


JOHN JONES.

Yr eiddoch, &c.,

Idrisyn.

Y

# DEONGLYDD BERNIADOL,

NEU

EGLURHAD MANWL AR BOB ADNOD

YN YR

# HEN DESTAMENT A'R NEWYDD,

ER GWASANAETH

## Yr Ysgolion Sabbothol.

GAN Y PARCH. JOHN JONES, (IDRISYN,)
FICER LLANDYSILIO, CEREDIGION,
*Golygydd a Chasglydd yr "Esboniad Berniadol," &c.*

CYFROL IV.
O ESAY HYD MALACHI.

MACHYNLLETH:
CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN J. WILLIAMS.
AC AR WERTH HEFYD
GAN HUGHES A BUTLER, LLUNDAIN,
A'R HOLL LYFRWERTHWYR.

1865.

# LLYFR Y PROFFWYD ESAY.

YSTYR yr enw *Esay*, *Esaias*, neu *Isaiah*, yw '*iachawdwriaeth Jehofa*.' Enw ei dad ef oedd *Amoz*, neu *Amots*; nid y proffwyd a elwid Amos, yr hwn oedd fugail defaid; eithr brawd i Amasiah brenin Juda: ac am hyny gelwir Esay gan rai 'y proffwyd brenhinol.' Gellir casglu oddiwrth rai ymadroddion yn y llyfr hwn fod Esay yn cyfaneddu yn Jerusalem; ac yr oedd ganddo ddau fab, i'r rhai y rhoddwyd enwau yn arwyddo dygwyddiadau pwysig yn hanes yr Iuddewon: gwel pen. vii. 3, a viii. 3. Dywed y rabbiniaid fod ganddo ferch hefyd, yr hon a roddes efe yn wraig i Manasseh mab Hezeciah, neu, yn ol ereill, i Hezeciah ei hun, a'i bod yn fam i Manasseh; ac y mae traddodiad yn mhlith Iuddewon a Christionogion ddarfod i'r Manasseh hwn, ar ol cael ei geryddu gan y proffwyd am ei bechodau, roddi Esay i farwolaeth trwy ei lifio â llif bren, at yr hyn y tybir yn gyffredin fod yr apostol yn cyfeirio yn Heb. xi. 37. Ymddengys iddo ddechreu proffwydo tua'r flwyddyn c. c. 759, a pharhau yn ei swydd am fwy na thriugain mlynedd, dan deyrnasiad Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezeciah, os nid am beth amser dan deyrnasiad Manasseh hefyd: canys y mae traddodiad yn mhlith y Cristionogion dwyreiniol iddo farw yn 120 mlwydd oed.—Y gair Hebreig am *brofffwyd* yw *nabi*, yr hwn a arwydda un yn llefaru dan gynhyrfiad, fel ffynnon yn bwrlymu ei dyfroedd i fyny; hyny yw, un yn llefaru gyda gwres a bywiogrwydd, a hyny dan ddylanwad uniongyrchiol dwyfol ysbrydoliaeth. Y gair *proffwydo*, fel ei harferir yn yr ysgrythyrau, a arwydda, (1) Rhagfynegu pethau i ddyfod. (2) Llefaru yn enw yr Arglwydd, trwy ei awdurdod ef, ac fel ei genad neillduol, Exod. vii. 1. (3) Canu, moliannu, neu glodfori Duw, a hyny dan ddwyfol ddylanwad, 1 Sam. x. 11, a xix. 20, 1 Cron. xxv. 2, 3. Arferai Duw amlygu ei feddwl i'r proffwydi gynt mewn amrai foddau, megys trwy freuddwyd, trwy weledigaeth, trwy lais hyglyw, neu trwy argraff dwyfol ar y meddwl, yr hyn a alluogai y proffwyd i fyned allan megys o hono ei hun, ac i ganfod â golwg ysbrydol yr hyn a gymerai le yn y dyfodiant.—Prif wrthddrychau proffwydoliaeth Esay yw caethiwed Babilon, dychweliad yr Iuddewon o'r caethiwed hwnw, a theyrnasiad y Messia; ac addefir fod ei ddarluniad ef o berson, swyddau, dyoddefiadau, a brenhiniaeth Crist, wedi ei osod i lawr mor eglur a llawn, nes y mae y llyfr hwn yn debycach i hanesiaeth nag i broffwydoliaeth; ac y mae y cyflawniad manwl a fu i'w ragddywediadau yn profi tuhwnt i amheuaeth, i bob meddwl diragfarn, wirionedd a dwyfoldeb y grefydd Gristionogol. Farodd yr ystyriaeth o hyn i rai o'r tadau alw Esay 'y pummed efengylwr,' a'i broffwydoliaeth 'yr efengyl yn ol St. Esay.' Y mae efe wedi traethu am Grist yn llawnach ac eglurach nag un o'r proffwydi ereill, nes y mae ei lyfr wedi bod bob amser yn ffynnon cysur i eglwys Dduw, ac efe a bery felly hyd ddiwedd y byd.—Er fod proffwydoliaeth Esay yn sefyll yn mlaenaf yn mhlith yr un-ar-bymtheg o'r proffwydi ag sydd yn gorphen yr Hen Destament, nid yw felly am ei fod ef wedi ysgrifenu ei lyfr o flaen y lleill oll. Y mae yn wir iddo broffwydo o flaen Jeremiah, Ezeciel, a Daniel: ond yr oedd Hosea, Joel, Amos, a Micah, yn gydoeswyr âg ef, a rhai o honynt wedi dechreu proffwydo o'i flaen ef, yn enwedig Jonah, yr hwn oedd wedi proffwydo yn agos i gan mlynedd o'i flaen ef. Eithr y rheswm am y flaenoriaeth yw hyd a phwysigrwydd ei lyfr, yn nghyda'i ragoriaeth ar yr holl broffwydoliaethau ereill. Y mae yn anhawdd penderfynu amseriad cywir ei holl broffwydoliaethau, eithr dosberthir hwynt yn gyffredin fel hyn: I. Y proffwydoliaethau a draddododd efe yn amser Uzziah a Jotham, yn mha rai y mae yn ceryddu yr Iuddewon am eu pechodau, yn cyhoeddi barnau Duw arnynt, ac yn crybwyll am amser dedwyddach i ddyfod, pen. i—vi. II. Proffwydoliaethau yn amser Ahaz, yn mha rai y sonia efe am ymosodiad Resin a Phecah yn erbyn Jerusalem, yn nghyda'r addewid o Immanuel fel prawf o waredigaeth Juda; dinystr Syria ac Israel, dinystr byddin Senacherib, a gwaredigaeth y duwiolion trwy y Messia, pen. vii—xii. III. Proffwydoliaethau ereill yn amser Ahaz fel y meddylir, lle y mae yn proffwydo am ddinystr y Babiloniaid, y Philistiaid, y Moabiaid, y Syriaid, yr Aifftiaid, a chenhedloedd ereill, pen. xiii—xxiv. IV. Proffwydoliaethau yn amser Hezeciah, yn cynwys rhagfynegiad o'r trueni a ddeuai ar yr Iuddewon, daioni Duw yn gofalu am weddill ei bobl, eu dychweliad i'w gwlad eu hunain, eu derbyniad o frenhiniaeth y Messia, a dinystr gelynion Crist, pen. xxv—xxxv. V. Hanes goresgyniad Senacherib a'i fyddin, clafychiad Hezeciah, a'i adferiad, pen. xxxvi—xxxix. VI. Proffwydoliaethau a draddodwyd tua diwedd oes y proffwyd, yn mha rai y rhagfynega efe am ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, ffolineb eilunaddoliaeth, dyfodiad y Messia, ei ddyoddefaint a'i farwolaeth, llwyddiant ei frenhiniaeth, a gogoniant y dyddiau diweddaf, pen. xl—lxvi. Y mae arddull y proffwyd Esay yn farddonol, hedegog, ac arddunol, er ei fod weithiau yn syml ac eglur, gan newid ei arddull yn barhaus, yn ol natur ei faterion. Wrth fygwth, y mae efe yn ddifrifol a gwresog; wrth gysuro neu addysgu, y mae yn dyner ac awgrymiadol iawn: ac yn ei ranau barddonol, y mae yn llawn yni a than. Y mae yn byw yn y fath fodd yn y dygwyddiadau a ddarlunia, nes y mae y dyfodol yn ymddangos ganddo ef fel y mynedol neu y presenol.

---

## PENNOD I.

GWELEDIGAETH Esay fab Amoz, yr hon a welodd efe am Juda a Jerusalem, yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, *a* Hezeciah, brenhinoedd Juda.

---

PEN. I. Adn. 1. *Gweledigaeth Esay fab Amoz*] Yr adnod hon yw teitl yr holl lyfr, yr hwn a elwir yn *weledigaeth*, i osod allan un o'r dulliau y datguddiwyd i'r proffwyd yr hyn a fynega efe yma: gwel y rhagarweiniad. Yr oedd y *proffwydi* gynt yn cael eu galw yn *weledyddion*, 1 Sam. ix. 9. *Yr hon a welodd efe am Juda a Jerusalem*—ac am wledydd a chenhedloedd ereill cyn belled ag yr oeddynt yn dal cysylltiad â hwy. *Yn nyddiau Uzziah*,

2 Gwrandewch, nefoedd; clyw,
dithau, ddaear: canys yr Arglwydd
a lefarodd, Megais a meithrinais
feibion, a hwy a wrthryfelasant i'm
herbyn.
3 Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd,
a'r asyn breseb ei berchenog: *ond*
Israel nid edwyn, fy mhobl ni
ddeall.
4 O genhedlaeth bechadurus,
pobl lwythog o anwiredd, had y
rhai drygionus, meibion yn llygru:
gwrthodasant yr Arglwydd, dig-
iasant Sant Israel, ciliasant yn ol!
5 ¶ I ba beth y'ch tarewir mwy?
cildynrwydd a chwanegwch: y pen
oll *sydd* glwyfus, a'r holl galon yn
llesg.
6 O wadn y troed hyd y pen nid
*oes* dim cyfan ynddo; *ond* archoll-
ion, a chleisiau, a gwelïau crawn-
llyd: ni wasgwyd hwynt, ac ni
rwymwyd, ac ni thynerwyd âg
olew.
7 *Y mae* eich gwlad yn anrheith-
iedig, eich dinasoedd wedi eu llosgi
â thân: eich tir a dyeithriaid yn ei
ysu yn eich gwydd, ac wedi ei an-
rheithio fel ped ymchwelai estron-
iaid ef.
8 Merch Seion a adewir megys
lluestty mewn gwinllan, megys lle-

---

*Jotham, Ahaz, a Hezeciah*—felly nid yw y 'weledigaeth' uchod i gael ei chyfyngu i'r bennod gyntaf hon, fel y tybiodd rhai, eithr ymestyna dros deyrnasiad y pedwar brenin hyn, fel y danghoswyd yn y rhagarweiniad.

Adn. 2. *Gwrandewch, nefoedd*] Sef yr holl angylion; *clyw, dithau, ddaear*—sef holl drigolion y byd; *canys yr Arglwydd a lefarodd*—ac am hyny dylai gael gwrandawiad gan ei holl greaduriaid rhesymol yn mhob rhan o'i lywodraeth. Neu, 'Jehofa *sydd* yn llefaru,' fel y mae *Lowth* ac ereill yn ei gyfieithu, am y tybiant fod yn anmhriodol galw sylw yr holl greadigaeth at leferydd a draethesid eisioes. Ond gall fod y proffwyd yn galw eu sylw yma at yr hyn a lefarasai yr Arglwydd wrtho ef, fel y byddai iddo yntau ei fynegu eilwaith iddynt hwythau. *Megais a meithrinais feibion*—gyda thynerwch tadol a'r gofal mwyaf; neu, 'mawrygais a dyrchefais feibion,' fel yr arwydda y wreiddiol; hyny yw, efe a ddyrchafasai Israel i anrhydedd a breintiau neillduol fel ei bobl gyfammodol. *A hwy a wrthryfelasant i'm herbyn*—a droisant yn elynion a bradychwyr i mi a'm gorsedd.

Adn. 3. *Yr ŷch a edwyn ei feddiannydd*] Er mor hurt ydyw; *a'r asyn breseb ei berchenog*—lle yr arfera ymborthi: *ond Israel nid edwyn*—'nid edwyn *fi*,' fel y mae y LXX, y *Syriaeg*, a'r *Vulgate* yn ei ddarllen; *fy mhobl ni ddeall*—er y proffesant fod ganddynt lawer o reswm a gwybodaeth. Arddanghosir Israel yma fel yn ynfytach na'r ysgrubliaid mwyaf diddeall; canys ni cheir anifeiliaid y maes yn gwrthryfela yn erbyn eu perchenogion, fel y gwnaethai Israel yn erbyn Duw.

Adn. 4. *O genhedlaeth bechadurus*] Efe a lefara yma am yr *holl* genedl; *pobl lwythog o anwiredd*—y rhai oeddynt yn gorwedd dan ddirfawr lwyth o hono, er nad oeddynt eto yn ei deimlo; *had y rhai drygionus*—plant drygionus i rieni drygionus; *meibion yn llygru*—yn eu llygru eu hunain trwy eu pechodau, ac yn llygru ereill trwy eu siamplau. *Gwrthodasant yr Arglwydd*—nid yn hollol trwy broffes, ond trwy fuchedd ddrygionus; *digiasant Sant Israel*—trwy wrthod yr Arglwydd felly; *ciliasant yn ol*—ymddyeithrasant oddiwrtho trwy gefnu arno.

Adn. 5. *I ba beth y'ch tarewir mwy?*] I ba *ddyben?* neu, yn ol y *Vulgate*, 'ar ba *ran?*' Fel pe dywedasai, Pa ran o'r corff sydd heb gael ei tharaw? Y mae pob rhan yn dwyn nodau fflangellau a roddwyd arnoch eisioes am eich pechodau. *Cildynrwydd a chwanegwch*—ni wna eich ceryddu ddim ond chwanegu eich gwrthryfel. *Y pen oll sydd glwyfus, a'r holl galon yn llesg*—y mae y brenin a'r offeiriaid wedi cydbellhau oddiwrth gyfiawnder; neu, y mae y wladwriaeth yn cael ei gorthrymu gan ei gelynion, a'r eglwys yn cael ei llygru gan ei llywodraethwyr a'i haelodau. Fel hyn yr oedd holl gyfansoddiad gwladol ac eglwysig y genedl yn glwyfus a llesg gan bechod, a chan geryddon am bechod.

Adn. 6. *O wadn y troed hyd y pen*] Yr hyn a gynwys yr oll o'r corff; *nid oes dim cyfan ynddo*—nid oes un ran o hono yn iach a diarcholl. Yr alleiriad Caldeaidd yw, 'O'r isaf o'r bobl hyd y penaethiaid, y mae pawb yn wrthnysig a gwrthryfelgar.' *Ond archollion, a chleisiau, a gwelïau crawnllyd*—sef pob math o ddoluriau pwdr a ffiaidd. *Ni wasgwyd hwynt*—i gael y crawn allan; *ac ni rwymwyd*—y briwiau hyny i geisio eu hiachâu; *ac ni thynerwyd âg olew*—â'r hwn yr eneinid briwiau yn y dwyrain i'w gwellâu, Luc x. 34.

Adn. 7. *Y mae eich gwlad yn anrheithiedig*] Felly yr oedd yn nyddiau Ahaz gan yr Israeliaid, y Syriaid, y Philistiaid, a'r Edomiaid, 2 Cron. xxviii; *eich dinasoedd wedi eu llosgi â thân*—gan eich gelynion; *eich tir*—sef cynyrch eu tir, *â dyeithriaid yn ei ysu yn eich gwydd*—heb allu o honoch eu hattal; *ac wedi ei anrheithio fel ped ymchwelai estroniaid ef*—y rhai ni fwriadant ei breswylio eu hunain, ac am hyny a ddinystriant y cwbl yn hollol ac anadferadwy.

Adn. 8. *Merch Seion*] Sef dinas Jerusalem, *a adewir megys lluestty mewn gwinllan*—lle y gwylia y gwinllanwyr rhag lladron, neu yr ymguddiant rhag y gwres; *megys llety mewn gardd cucumerau*—lle yr erys y gwylwyr dros nos, tra y byddo y ffrwythau yn addfedu, Job xxvii. 18; *megys dinas warchäedig*—yr hon sydd yn y perygl mwyaf o gael ei dinystrio gan y gelyn, yr un modd a'r dinasoedd o'i

ty mewn gardd cucumerau, megys dinas warchäedig.

9 Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn o weddill, fel Sodom y buasem, *a* chyffelyb fuasem i Gomorra.

10 ¶ Gwrandewch air yr Arglwydd, tywysogion Sodom; clywch gyfraith ein Duw ni, pobl Gomorra.

11 Beth *yw* lluosogrwydd eich aberthau i mi? medd yr Arglwydd: llawn ydwyf o boeth-aberthau hyrddod, ac o frasder anifeiliaid breision; gwaed bustych hefyd, ac ŵyn, a bychod, nid ymhyfrydais ynddynt.

12 Pan ddeloch i ymddangos ger fy mron, pwy a geisiodd hyn ar eich llaw, *sef* sangu fy nghynteddau?

13 Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer: arogl-darth sydd ffiaidd genyf; ni allaf oddef y newydd-loerau na'r sabbothau, cyhoeddi cymanfa; anwiredd *ydyw*, sef yr uchel-ŵyl gyfarfod.

14 Eich lleuadau newydd a'ch gŵyliau gosodedig a gasaodd fy enaid: y maent yn faich arnaf; blinais yn *eu* dwyn.

15 A phan estynoch eich dwylaw, mi a guddiaf fy llygaid rhagoch: hefyd pan weddioch lawer, ni wrandawaf: eich dwylaw sydd lawn o waed.

16 ¶ Ymolchwch, ymlanhewch, bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd oddi-gerbron fy

---

hamgylch. Y meddwl yw, nad oedd Jerusalem i sefyll yn hir, mwy na lluestty mewn gwinllan, neu lety mewn gardd, y rhai a fwriedid i sefyll am ychydig amser yn unig.

Adn. 9. *Oni buasai i Arglwydd y lluoedd adael i ni ychydig iawn o weddill*] Heb eu dyfetha yn yr ymosodiad uchod o eiddo y gelynion; *fel Sodom y buasem, &c.*—buasem fel trigolion Sodom a Gomorra, wedi ein *llwyr* ddyfetha oddiar y ddaear: gwel ar Rhuf. ix. 29.

Adn. 10. *Gwrandewch air yr Arglwydd*] Sef y genadwri a roddodd efe yn fy ngenau i atoch; *tywysogion Sodom*—sef tywysogion *Juda*, yr hon oedd wlad debyg i *Sodom* yn ei phechodau a'i thrueni. *Clywch gyfraith ein Duw ni*—tybia rhai mai cyfraith Moses a feddylir; tybia ereill mai cyfeirio y mae efe yn broffwydoliaethol at efengyl Crist: ond y mae yn debycach mai cyfeirio y mae at yr hyn ag yr oedd efe yn myned i'w draethu yn yr adnodau dylynol. *Pobl Gomorra*—pobl debyg i'r rhai hyny mewn drygioni. Y crybwylliad am Sodom a Gomorra yn yr adnod flaenorol, a barodd i'r proffwyd gyfarch tywysogion a phobl Juda a Jerusalem dan yr enwau hyn.

Adn. 11. *Beth yw lluosogrwydd eich aberthau i mi*] Tra yr ydych yn llawn rhagrith, aflendid, a gwaed? gwel ar adn. 15, &c. *Llawn ydwyf o boeth-aberthau hyrddod, &c.*—yr ydych yn cynyg digon o'r rhai hyn i mi yn barhaus, gan gyflawni llythyren y gyfraith seremonïol fel ei traethwyd i chwi, Lef. iv—vii. *Nid ymhyfrydais ynddynt*—pan yn cael eu hoffrymu heb y purdeb mewnol a'r ymgyflwyniad ysbrydol hwnw i mi a arwyddir trwyddynt. Neu, nid oedd Duw yn ymhyfrydu ynddynt mewn cydmariaeth i weithredoedd o gyfiawnder: gwel Amos v. 21—24, Salm li. 16—19.

Adn. 12. *Pan ddeloch i ymddangos ger fy mron*] Ar y tair gŵyl arbenig, neu ar amserau ereill; *pwy a geisiodd hyn ar eich llaw*—sef sangu ei gynteddau ef gyda'r fath ragrith calon? Yr oedd Duw wedi gorchymyn iddynt ymddangos yno ger ei fron ef, Exod. xxiii. 17, Deut. xvi. 16; ond nid yn y fath ysbryd a thymher ag y gwnaent hwy yn awr.

Adn. 13. *Na chwanegwch ddwyn offrwm ofer*] Sef offrwm ffurfiol a rhagrithiol o'r fath ag a ddygent hwy: *arogl-darth sydd ffiaidd genyf*—pan y byddo yn cael ei offrymu yn y fath fodd rhagrithiol. *Ni allaf oddef y newydd-loerau*—sef y wasanaeth a gadwent hwy ar ŵyl y newydd-loerau, Lef. xxiii. 24, 25; *na'r sabbothau*—sef y dyddiau gŵyl yn y rhai yr ymattalient ac y gorphwysent hwy oddiwrth eu gorchwylion cyffredin; *cyhoeddi cymanfa*—pryd yr oedd y bobl i ymgynull yn nghyd. *Anwiredd ydyw*—o ran y dull halogedig o'i chynal; *sef yr uchel-ŵyl gyfarfod*—gwel ar Num. xxix. 35. Tybia *Lowth* mai dydd mawr y cymod a olygir yma.

Adn. 14 *Eich lleuadau newydd*] Sef gŵyl y newydd-loerau, adn. 13; *a'ch gŵyliau gosodedig*—y rhai a benodid gan y gyfraith, megys y pasc, y pentecost, &c.; *a gasaodd fy enaid*—oblegid eich dull rhagrithiol ac annuwiol o'u cadw. *Y maent yn faich arnaf*—o herwydd eu hamledd a'u hansawdd; *blinais yn eu dwyn*—fel dyn yn blino dan faich trwm.

Adn. 15. *A phan estynoch eich dwylaw*] Mewn gweddi, 1 Bren. viii. 22; *mi a guddiaf fy llygaid rhagoch*—ni chymeraf sylw o honoch chwi na'ch gweddi: *hefyd pan weddioch lawer*—yn fynych, ac yn hir; *ni wrandawaf*—tra y byddoch yn glynu yn eich pechodau: *eich dwylaw sydd lawn o waed*—yr hyn yw yr achos fod eich gweddiau heb eu gwrandaw. Yr oedd eu dwylaw yn llawn o drais ac annghyfiawnder; a gorthryment y tylawd, y weddw, a'r amddifad.

Adn. 16. *Ymolchwch, ymlanhewch*] Edifarhewch, a dygwch ffrwythau addas i edifeirwch. Meddylir fod yma gyfeiriad at y golchiadau deddfol a orchymynid gan Moses, Lef. xiv. 8, 9, 47. Yr oedd y bobl hyn yn aflan yn ngolwg Duw, er eu holl gyflawniadau seremonïol; a gelwir arnynt yma i ymolchi ac ymlanhau mewn ystyr moesol, nid am y gall-

llygaid: peidiwch â gwneuthur
drwg.
17 Dysgwch wneuthur daioni:
ceisiwch farn, gwnewch uniondeb
i'r gorthrymedig, gwnewch farn i'r
amddifad, dadleuwch dros y weddw.
18 Deuwch yr awr hon, ac ym-
resymwn, medd yr Arglwydd: pe
byddai eich pechodau fel ysgarlad,
ânt cyn wŷned a'r eira; pe cochent
fel porffor, byddant fel gwlan.
19 Os byddwch ewyllysgar ac
ufydd, daioni y tir a fwytewch.
20 Ond os gwrthodwch, ac *os* an-
ufyddhewch, â chleddyf y'ch ysir:
canys genau yr Arglwydd a'*i* llef-
arodd.
21 ¶ Pa wedd yr aeth y ddinas
ffyddlon yn butan! cyflawn fu o
farn: lletyodd cyfiawnder ynddi;
ond yr awr hon lleiddiaid.
22 Dy arian a aeth yn sothach,
dy win sydd wedi ei gymysgu â
dwfr;
23 Dy dywysogion *sydd* gyndyn,
ac yn gyfranogion â lladron; pob

---

ent hwy wneyd hyny yn eu nerth eu hunain, ond i ddangos iddynt eu hangen am gael eu golchi, a'u dwyn i weddio am i'r Arglwydd eu glanhau a'u puro trwy ei Ysbryd. *Bwriwch ymaith ddrygioni eich gweithredoedd*—Hebreigiaeth, yn arwyddo gweithredoedd drygionus; *oddi-gerbron fy llygaid*—hyny yw, eu bwrw hwynt ymaith yn *llwyr*, fel na welid dim o honynt hyd yn nod gan yr Hollwybodol. *Peidiwch â gwneuthur drwg*—mwyach, ar ol i chwi gael eich glanhau felly oddiwrth eich gweithredoedd drygionus.

Adn. 17. *Dysgwch wneuthur daioni*] Nid oedd yn ddigon iddynt beidio gwneuthur drwg, ond yr oeddynt i wneuthur daioni, ac i *ddysgu* gwneuthur hyny yn ol y cyfarwyddiadau a roddai Duw iddynt trwy ei air a'i Ysbryd. *Ceisiwch farn*—neu gyfiawnder rhwng gŵr a gŵr; *gwnewch uniondeb i'r gorthrymedig*—sef i'r neb a orthrymir gan y trawsion galluog; *gwnewch farn i'r amddifad*—a fyddo wedi colli ei dad, ac yn cael cam gan ei warcheidwaid neu ereill; *dadleuwch dros y weddw*—mewn llys barn, neu ryw le arall, yr hon na feddo ŵr i gymeryd ei phlaid. Y mae Duw yn gorchymyn hyn yn neillduol mewn amrai fanau yn ei air: gwel Exod. xxii. 22, Job xxix. 11—13, Salm lxxxii. 3, 4, Diar. xxxi. 9.

Adn. 18. *Deuwch yr awr hon, ac ymresymwn, medd yr Arglwydd*] Ar y dybiaeth y byddai i'r bobl hyn edifarhau ac ymddiwygio, fel y soniwyd uchod, y mae yr Arglwydd yma yn eu galw hwy ato i ymresymu âg ef, nid yn wir o flaen gorsedd barn a chyfiawnder, eithr o flaen gorsedd gras a thrugaredd. *Pe byddai eich pechodau fel ysgarlad*—dywedir fod y gair *shanim*, a gyfieithir yma *ysgarlad*, yn arwyddo brethyn coch dysglaer wedi ei liwio *ddwywaith*, yn gyntaf yn y gwlan, ac wedi hyny yn yr edafedd. *Ant cyn wŷned a'r eira*—er iddynt gael eu cochi yn gyntaf yn ngwlan y llygredd gwreiddiol, ac wedi hyny yn edafedd lluosog ein troseddiadau gweithredol, fel y sylwa *Henry*, eto hwy a wneir yn wŷn fel eira, trwy 'waed Iesu Grist ei Fab ef, yr hwn sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod,' 1 Ioan i. 7. *Pe cochent fel porffor*—y gwahaniaeth rhwng ysgarlad a phorffor yw, fod y cyntaf yn golygu *coch dwfn*, a'r olaf yn golygu *coch* wedi ei gymysgu â gwawr *las*, ac yn llai parhaol na'r cyntaf. Yr oedd hwn yn cael ei ddefnyddio yn fynych yn lleni y tabernacl, ac yn ngwisgoedd yr archoffeiriad, ac mewn bri mawr gan y cyfoethogion, Barn. viii. 26, Luc xvi. 19. *Byddant fel gwlan*—sef yr un modd ag yr oedd y gwlan hwnw yn ei gyflwr cyntefig, cyn iddo gael ei liwio yn goch. Y meddwl yw, yr adferid yr enaid i'w burdeb gwreiddiol trwy faddeuant a santeiddhad, fel na byddai dim o ôl pechod yn aros arno, hyd yn nod eu gweithredoedd *gwaedlyd* at y rhai y cyfeiriwyd yn adn. 15. Beth bynag fyddai y rhesymau a ddygent hwy yn mlaen yn y ddadl hon, y rhai a ddefnyddid gan Dduw yw, 'Pe byddai eich pechodau fel ysgarlad a phorffor, ânt cyn wŷned a'r eira a'r gwlan.'

Adn. 19. *Os byddwch ewyllysgar ac ufydd*] Yn ewyllysgar i wrando ar fy llais, ac yn ufydd i'm gorchymynion; *daioni y tir a fwytewch*—heblaw eich golchi oddiwrth eich pechodau, chwi a gewch bob bendith dymhorol angenrheidiol.

Adn. 20. *Ond os gwrthodwch, ac os anufyddhewch*] Fel y gwnaethoch hyd yma; *â chleddyf y'ch ysir*—sef â chleddyf eich gelynion, y rhai a ddeuant i mewn i'ch gwlad i'w hanrheithio yn fwy fyth, adn. 7; *canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd*—yr hwn ni fedr ddywedyd celwydd, ac a fyn amddiffyn ei anrhydedd ei hun. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol trwy gleddyf y Babiloniaid a'r Rhufeiniaid.

Adn. 21. *Pa wedd yr aeth y ddinas ffyddlon yn butan!*] Yr oedd Jerusalem wedi bod yn ddinas ffyddlon i Dduw yn amser Dafydd, Solomon, a brenhinoedd ereill Juda; ond yn awr, trwy ei heilunaddoliaeth a'i phechodau ereill, yr oedd wedi myned yn anffyddlon iddo ef, fel gwraig heb gyflawni ei chyfammod priodasol. *Cyflawn fu o farn*—unwaith, sef o gyfiawnder yn ei llysoedd barn; *lletyodd cyfiawnder ynddi*—bu yn aros ynddi yn hir fel ei gartref priodol: *ond yr awr hon lleiddiaid*—dynion gwaedlyd, aflan, ac anghyfiawn o bob math a drigant ynddi.

Adn. 22. *Dy arian a aeth yn sothach*] Trwy gymysgu âg ef fetteloedd ereill o lai gwerth; *dy win sydd wedi ei gymysgu â dwfr*—ac eto yn cael ei werthu fel gwin pur. Neu, yr oedd y dynion a gyfrifid unwaith fel arian pur neu y gwin goraf, wedi llygru a dirywio fel arian llawn o sothach, neu fel gwin wedi ei gymysgu â dwfr.

Adn. 23. *Dy dywysogion sydd gyndyn*] Neu wrthryfelgar yn erbyn Duw; *ac yn gyfranogion â lladron*—trwy oddef lladron heb

un yn caru rhoddion, ac yn dylyn
gwobrau: ni farnant yr amddifad,
a chŵyn y weddw ni chaiff ddyfod
atynt.
24 Am hyny, medd yr Arglwydd,
Arglwydd y lluoedd, cadarn *Dduw*
Israel, Aha, ymgysuraf ar fy
ngwrthwynebwyr, ac ymddialaf ar
fy ngelynion.
25 ¶ A mi a ddychwelaf fy llaw
arnat, ac a lân-buraf dy sothach, ac
a dynaf ymaith dy holl alcan.
26 Adferaf hefyd dy farnwyr fel
cynt, a'th gynghoriaid megys yn y
dechre: wedi hyny y'th elwir yn
Ddinas cyfiawnder, yn Dref ffydd-
lon.
27 Seion a waredir â barn, a'r
rhai a ddychwelant ynddi â chyf-
iawnder.
28 ¶ A dinystr y troseddwyr a'r
pechaduriaid *fydd* yn nghyd: a'r
rhai a ymadawant â'r Arglwydd, a
ddyfethir.
29 Canys cywilyddiant o achos y
derw a chwennychasoch; a gwarth-
ruddir chwi am y gerddi a ddethol-
asoch.
30 Canys byddwch fel derwen
â'i dail yn syrthio, ac fel gardd heb
ddwfr iddi.
31 A'r cadarn fydd fel carth, a'i
weithydd fel gwreichionen: a hwy

---

eu cospi, neu wneyd trais ac anngbyfiawnder eu hunain fel y gwna lladron: *pob un yn caru rhoddion, ac yn dylyn gwobrau*—neu yn derbyn gwobrau am ŵyro barn. *Ni farnant yr amddifad*—ni wnant gyfiawnder o blaid yr amddifad; *a chŵyn y weddw ni chaiff ddyfod atynt*—eithr gwrthodant wrandaw arni er mwyn gwobrau ei gorthrymwyr.

Adn. 24. *Am hyny, medd yr Arglwydd, &c.*] Y mae y tri enw hyn, 'Arglwydd, Arglwydd y lluoedd, a chadarn Dduw Israel,' yn gosod allan fawredd, awdurdod, a gallu Jehofa, fel Duw cyfammodol Israel. *Aha, ymgysuraf ar fy ngwrthwynebwyr, ac ymddialaf ar fy ngelynion*—ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth nwydau dynion, y rhai a gânt ryw fath o esmwythyd a chysur i'w meddyliau trwy ddial ar eu gelynion, neu wrth gospi troseddwyr beiddgar. Ond nid yw Duw byth yn ymhyfrydu mewn cospi neb ond y rhai a gyflawnasant fesur eu hanwiredd.

Adn. 25. *A mi a ddychwelaf fy llaw arnat*] 'I'th amddiffyn a'th waredu di,' fel y mae rhai yn ei ddeall; neu, yn ol ereill, 'i'th geryddu drachefn, a thrwy hyny dy ddiwygio.' *Ac a lân-buraf dy sothach*—cyfeiriad at y dull o buro metteloedd. Fel pe dywedasai, Symudaf o'th fysg yr holl rai drygionus ac anniwygiadwy; a'r rhai y gellir eu diwygio, mi a'u puraf oddiwrth eu llygredd yn ffwrneisiau cystudd. *Ac a dynaf ymaith dy holl alcan*—dywedir fod alcan yn dra niweidiol i arian, ac yn ei wneuthur mor frau a gwydr, tra y mae yn anhawdd iawn ei wahaniaethu oddiwrtho.

Adn. 26. *Adferaf hefyd dy farnwyr fel cynt*] Fel y rhai oedd genyt o Moses hyd Solomon; *a'th gynghoriaid megys yn y dechre*—pryd yr oeddynt oll yn gyfiawn a di-dderbyn-wyneb: *wedi hyny y'th elwir yn Ddinas cyfiawnder*—yn yr hon yr ymddygir yn gyfiawn tuag at bob dyn; *yn Dref ffyddlon*—yn ei chadwraeth fanol o holl wasanaeth ac addoliad Duw. Dywed *Kimchi* fod hyn i'w ddeall am ddyddiau y Messia, (sef cyfnod dedwydd y milflwyddiant,) pryd y bydd yr holl rai drygionus wedi darfod, ac y peidia gweddill Israel â gwneuthur drygioni, na dywedyd celwydd.

Adn. 27. *Seion*] Sef trigolion Seion, neu breswylwyr Juda a Jerusalem; *a waredir â barn*—trwy weinyddiad o gyfiawnder barnol Duw ar eu gelynion hwy: *a'r rhai a ddychwelant ynddi*—neu *iddi*, o gaethiwed Babilon; *â chyfiawnder*—sef trwy wirionedd a ffyddlondeb Duw yn cyflawni ei addewid o waredigaeth iddynt ar ol y 70 mlynedd o gaethiwed. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at waredigaeth dychweledigion ysbrydol.

Adn. 28. *A dinystr y troseddwyr a'r pechaduriaid fydd yn nghyd*] Hyny yw, a fydd ar yr un pryd a gwaredigaeth Seion; *a'r rhai a ymadawant â'r Arglwydd*— trwy droi oddiwrtho ef at eilunod, *a ddyfethir*—yn llwyr, ac am byth.

Adn. 29. *Canys cywilyddiant o achos y derw a chwennychasoch*] Pan welant y gosp a ddygasai eu heilunaddoliaeth arnynt; neu *cywilyddiwch*, fel y mae rhai, yn nghyda'r Galdeaeg, yn ei ddarllen; *a gwarthruddir chwi am y gerddi a ddetholasoch*—i osod eich eilunod ynddynt. Er i Israel gael gwaharddiad i addoli mewn llwyni, a gorchymyn i'w llosgi hwynt â thân, Deut. xii. 2, 3, a xvi. 21; eto ymddengys eu bod hwy yn dra chwannog i'r math yma o eilunaddoliaeth, fel y dengys eu holl hanes: gwel 1 Bren. xvi. 33, a xviii. 19, 2 Bren. xvi. 4, Ezec. vi. 13, a xvi. 16. Wrth y *derw* uchod y dealla rhai y *terebinth*, neu y pren *turpentine;* ac ereill yr *ilex*, neu y gelynen.

Adn. 30. *Canys byddwch fel derwen â'i dail yn syrthio*] Wedi colli eich holl harddwch a'ch nerth trwy gyfiawn farn Duw; *ac fel gardd heb ddwfr iddi*—lle y mae pob peth yn gwywo ac yn crino yn anocheladwy. Yn ngwledydd poethion y dwyrain yr oeddynt yn gwneyd eu gerddi ar lanau afonydd, lle y gallent droi y dwfr iddynt, neu yn cloddio llynoedd mawrion ynddynt i'w dyfrhau, am y byddai i ychydig ddyddiau o sychder eu llosgi i fyny, a'u gwneyd yn hollol ddiffrwyth am y tymhor hwnw.

Adn. 13. *A'r cadarn*] Eich tywysogion,

a losgant ill dau yn nghyd, ac ni bydd a'*u* diffoddo.

## PENNOD II.

Y GAIR yr hwn a welodd Esay mab Amoz, am Juda a Jerusalem.

2 A bydd yn y dyddiau diweddaf, fod mynydd tŷ yr Arglwydd wedi ei barotoi yn mhen y mynyddoedd, ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau; a'r holl genhedloedd a ddylifant ato.

3 A phobloedd lawer a ânt ac a ddywedant, Deuwch, ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob; ac efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd, a ni a rodiwn yn ei lwybrau ef: canys y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem.

4 Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd, ac a gerydda bobloedd lawer: a hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau, a'u gwaewffyn yn bladuriau: ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl, ac ni ddysgant ryfel mwyach.

5 Tŷ Jacob, deuwch, a rhodiwn yn ngoleuni yr Arglwydd.

6 ¶ Am hyny y gwrthodaist dy

---

eich llywiawdwyr, a'ch cadfridogion; *fydd fel carth*—yn barod i gymeryd tân ar unwaith; *a'i weithydd fel gwreichionen*—yn barod i'w danio a'i ddifa ef yn y fan. Gall fod y *gweithydd* yma yn arwyddo deiliaid neu filwyr Juda. Ond wrth y CADARN uchod y dealla rhai yr *eilun* a addolent hwy; ac wrth ei WEITHYDD, y *crefftwr* a'i gwnaethai. *A hwy a losgant ill dau yn nghyd*—y meddwl yw, y byddai i'r genedl gael eu cospi, ac y byddai i'w holl weithredoedd eilunaddolgar fod yn achlysur o'u cosp, ac y byddai iddynt oll gael eu dyfetha ar unwaith.

PEN. II. Adn. 1. *Y gair yr hwn a welodd Esay*] Neu y peth a ddatguddiodd Duw iddo ef trwy air neu weledigaeth; *am Juda a Jerusalem*—gwel ar pen. i. 1. Meddylir i'r hyn a ddywedir yma gymeryd lle dan deyrnasiad Uzziah neu Jotham.

Adn. 2. *A bydd yn y dyddiau diweddaf*] Sef yn nyddiau y Messia, ac yn enwedig yn ystod y milflwyddiant. Gelwir goruchwyliaeth yr efengyl yn fynych dan yr enw hwn, am mai hi yw yr oruchwyliaeth *ddiweddaf* a roddir i'n byd ni. *Fod mynydd tŷ yr Arglwydd*—sef eglwys neu addoliad y gwir Dduw. Gelwir hon yn 'fynydd tŷ yr Arglwydd,' am mai ar fynydd yr oedd y deml y pryd hyn yn sefyll. *Wedi ei barotoi yn mhen y mynyddoedd*—wedi ei osod a'i sefydlu yn *amlwg* yn y byd; *ac yn ddyrchafedig goruwch y bryniau*—sef goruwch pob mawredd a gogoniant daearol, neu goruwch pob gau-grefydd a fu yn y byd o'r blaen. *A'r holl genhedloedd a ddylifant ato*—fel afon fawr, i gofleidio crefydd Crist. Y pryd hyn bydd i'r gareg a dorwyd, nid trwy waith dwylaw, fyned yn fynydd mawr, a llenwi yr holl ddaear, Dan. ii. 34, 35.

Adn. 3. *A phobloedd lawer a ânt ac a ddywedant*] Wrth eu gilydd, *Deuwch, ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd*—y fath fydd eu sel, fel nid yn unig yr ânt eu hunain, ond y cymhellant ereill hefyd i fyned gyda hwy; *i dŷ Duw Jacob*—felly y gelwir yr eglwys Gristionogol, mewn cyfeiriad at y deml Iuddewig gynt, i'r hon yr esgynai y llwythau ar y gŵyliau arbenig. *Ac efe a'n dysg ni yn ei ffyrdd*—trwy ei air, ei Ysbryd, a'i weision; *a ni a rodiwn yn ei lwybrau ef*—gydag awydd, sel, a hyfrydwch. *Canys y gyfraith a â allan o Seion*—hon yw iaith y proffwyd; a gelwir athrawiaethau yr efengyl yn *gyfraith*, am eu bod yn meddu holl awdurdod cyfraith, i'n rhwymo ni i ufydd-dod fel y gwnai y gyfraith gynt: *a gair yr Arglwydd o Jerusalem*—sef cenadwri ei drugaredd ef at holl ddynolryw. Fel hyn gorchymynodd ein Harglwydd bendigedig 'bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd, *gan ddechreu yn Jerusalem*,' Luc xxiv. 47, 49: gwel hefyd Act. i. 8, Rhuf. x. 18. Yr eglwys Gristionogol, ein *Seion* ni, yw y ffynnonell yn barhaus, o'r hon yr anfonir yr efengyl a dylanwad crefyddol dros yr holl ddaear.

Adn. 4. *Ac efe a farna rhwng y cenhedloedd*] Fel ag i'w dwyn oll i heddwch; *ac a gerydda bobloedd lawer*—trwy argyhoeddiad a dylanwad ei air a'i Ysbryd, gan ddangos iddynt y drwg o ryfela â'u gilydd. *A hwy a gurant eu cleddyfau yn sychau*—i aredig eu tir â hwynt, yn lle archolli eu gilydd; *a'u gwaewffyn yn bladuriau*—i ladd gwair â hwynt, yn lle lladd eu gilydd. Darfu i'r proffwyd Joel wrthdroi y geiriau hyn, a'u cymhwyso at ryfel yn ffynu yn lle heddwch: 'Gyrwch eich sychau yn gleddyfau, a'ch pladuriau yn waewffyn,' Joel iii. 10. *Ni chyfyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl*—dan lywodraeth heddychol 'Tywysog tangnefedd;' *ac ni ddysgant ryfel mwyach*—ni ddysgant y gelfyddyd o ryfela, ond bydd pawb yn caru eu gilydd, ac yn gweddio dros eu gilydd. O prysured yr hyfryd fore!

Adn. 5. *Tŷ Jacob*] Sef y genedl Iuddewig, hiliogaeth Jacob; *deuwch, a rhodiwn yn ngoleuni yr Arglwydd*—yn llewyrch ei wyneb ef, ac ar hyd ei lwybrau. Fel pe dywedasai y proffwyd yn y rhagolwg ar yr amser dedwydd uchod, Gan y bydd i'r Cenhedloedd yn nyddiau y Messia ddyfod i rodio yn llwybrau yr Arglwydd, adn. 3, bydded i ninau wneyd hyny yn awr. Ond tybia *Lowth* mai cyfarch yr Iuddewon hyny y mae y proffwyd, y rhai a geid yn byw yn nyddiau yr efengyl, gan eu cynghori hwythau i wneyd derbyniad o honi.

Adn. 6. *Am hyny y gwrthodaist dy bobl*]

bobl, tŷ Jacob, am eu bod wedi eu
llenwi allan o'r dwyrain, a'u *bod* yn
swynwyr megys y Philistiaid, ac
mewn plant dyeithriaid yr ymfodd-
lonant.
7 A'u tir sydd gyflawn o arian ac
aur, ac nid *oes* dyben ar eu trysorau:
*a*'u tir sydd lawn o feirch, ac nid
*oes* dyben ar eu cerbydau.
8 Eu tir hefyd sydd lawn o eilun-
od; i waith eu dwylaw eu hun yr
ymgrymant, i'r hyn a wnaeth eu
bysedd eu hun:
9 A'r gwreng sydd yn ymgrymu,
a'r bonheddig yn ymostwng: am
hyny na faddeu iddynt.
10 ¶ Dos i'r graig, ac ymgudd
yn y llwch, rhag ofn yr Arglwydd,
a rhag gogoniant ei fawredd ef.
11 Uchel drem dyn a iselir, ac
uchder dynion a ostyngir; a'r Ar-
glwydd yn unig a ddyrchefir yn y
dydd hwnw.
12 Canys dydd Arglwydd y llu-
oedd *fydd* ar bob balch ac uchel, ac
ar bob dyrchafedig; ac efe a os-
tyngir:
13 Ac ar holl uchel a dyrchafed-
ig gedrwydd Libanus, ac ar holl
dderw Basan,
14 Ac ar yr holl fynyddoedd uch-
el, ac ar yr holl fryniau dyrchaf-
edig,
15 Ac ar bob tŵr uchel, ac ar bob
magwyr gadarn,
16 Ac ar holl longau Tarsis, ac ar
yr holl luniau dymunol.
17 Yna yr iselir uchelder dyn, ac

---

Yma y mae y proffwyd yn troi oddiwrth dŷ Jacob i lefaru wrth Dduw, gan adrodd yr achos o drallodau tŷ Jacob. *Am eu bod wedi eu llenwi allan o'r dwyrain*—sef eu llenwi âg arferion paganaidd, dewiniol, ac annuwiol y dwyreinwyr, megys y Syriaid, y Caldeaid, y Persiaid a'r Arabiaid; *a'u bod yn swynwyr megys y Philistiaid*—y rhai a gymerent arnynt ddatguddio pethau dyfodol neu guddiedig trwy ramantu, &c., 1 Sam. vi. 2; *ac mewn plant dyeithriaid yr ymfoddlonant*—gan ddylyn eu harferion halogedig hwynt, a gwneuthur cyfathrachau â hwynt yn groes i'th air di.

Adn. 7. *A'u tir sydd gyflawn o arian ac aur, &c.*] Yr hyn a'u gwnai hwynt yn falch, moethus, a thrythyll, ac a'u galluogai i ddylyn pob drygioni yn ddirwystr. *A'u tir sydd lawn o feirch*—y rhai hefyd, yn gystal a'u harian a'u haur, a waherddid gan y gyfraith, Deut. xvii. 16, 17; *ac nid oes dyben ar eu cerbydau*—sef eu cerbydau rhyfel.

Adn. 8. *Eu tir hefyd sydd lawn o eilunod*] Tybia *Vitringa* fod Esay yma yn cyfeirio at eilunod a gadwent hwy yn eu tai gartref, trwy fod Uzziah a Jotham yn addolwyr y gwir Dduw, ac nad oedd eilunaddoliaeth yn ffynu dan eu teyrnasiad hwy. Modd bynag y mae yn sicr, er fod Uzziah (neu Azariah) yn addoli y gwir Dduw ei hun, na thynodd efe yr uchelfeydd ymaith, ond fod y bobl yn arogl-darthu yno fyth, 2 Bren. xv. 4. *I waith eu dwylaw eu hun yr ymgrymant*—sef i eilun-dduwiau a wnaethent â'u bysedd eu hunain.

Adn. 9. *A'r gwreng*] Sef y bobl gyffredin, *sydd yn ymgrymu*—i dduwiau o bren a maen, y rhai a wnaed ond odid ganddynt hwy eu hunain; *a'r bonheddig yn ymostwng*—o flaen duwiau mwy costfawr o aur ac arian fe allai: *am hyny na faddeu iddynt*—neu, 'ni faddeui iddynt,' fel y gellir ei gyfieithu: gwel ar Salm v. 10. Eithr y LXX a'i darllenant, 'Ac ni foddlonaf fi iddynt.'

Adn. 10. *Dos i'r graig*] Sef i dyllau y creigiau, adn. 19; *ac ymgudd yn y llwch*—yn ogofau llychlyd y ddaear; *rhag ofn yr Arglwydd*—rhag ei gyfiawn farnedigaethau ef; *a rhag gogoniant ei fawredd ef*—neu ei fawredd gogoneddus; 'pan gyfodo efe i gynhyrfu y ddaear.' Chwanegir yma y geiriau hyn gan y LXX, yr *Arabaeg*, ac un hen ysgrifly̆fr *Hebreig*, pa ddarlleniad a geir hefyd yn adn. 19, 21.

Adn. 11. *Uchel drem dyn a iselir*] Mewn gwarth ac anobaith; *ac uchder dynion a ostyngir*—trwy orfodiaeth gan gyfiawn farn Duw, fel y gostyngasant hwythau eu gliniau yn wirfoddol o flaen eu heilun-dduwiau, ac felly bydd eu cosp yn cyfateb i'w pechod; *a'r Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn y dydd hwnw*—trwy ei waith yn dryllio yr eilunod a'u haddolwyr yn nghyd.

Adn. 12. *Canys dydd Arglwydd y lluoedd*] Sef dydd ei ddial ef, pryd yr ymddengys efe yn eglur fel gweinyddwr y barnedigaethau hyny; *fydd ar bob balch ac uchel*—i'w llwyr ddarostwng hwynt; *ac ar bob dyrchafedig*—pa un bynag ai dynion beilchion ai duwiau gau: *ac efe a ostyngir*—yn hollol ac am byth, er maint ei fri a'i gryfder.

Adn. 13. *Ac ar holl uchel a dyrchafedig gedrwydd Libanus*] Wrth y rhai hyn y golygir tywysogion a phendefigion y bobl; *ac ar holl dderw Basan*—sef y gwŷr mawrion a'r cedyrn yn eu mysg hwynt.

Adn. 14. *Ac ar yr holl fynyddoedd uchel*] Wrth y rhai hyn, a'r *bryniau dyrchafedig*, y dealla *Lowth* y teyrnasoedd, y taleithiau, a'r dinasoedd enwog.

Adn. 15. *Ac ar bob tŵr uchel*] Sef eu hamddiffynfeydd cryfion; *ac ar bob magwyr gadarn*—sef y caerau uchel a llydain ag oeddynt o amgylch eu dinasoedd hwynt.

Adn. 16. *Ac ar holl longau Tarsis*] Sef ar eu masnach forawl a'u masnachwyr; *ac ar yr holl luniau dymunol*—sef pob peth ag ydoedd yn ddymunol i'r golwg fel gwaith cywrain ac arddunol. Fe allai ei fod yn golygu eu delwau cerfiedig.

y gostyngir uchder dynion: a'r
Arglwydd yn unig a ddyrchefir yn
y dydd hwnw.
18 A'r eilunod a fwrw efe ymaith
yn hollol.
19 A hwy a ânt i dyllau y creig-
iau, ac i ogofau llychlyd, rhag ofn
yr Arglwydd, a rhag gogoniant ei
fawredd ef, pan gyfodo efe i gy-
nhyrfu y ddaear.
20 Yn y dydd hwnw y teifl dyn
ei eilunod arian, a'i eilunod aur (y
rhai a wnaethant iddynt i'w hadd-
oli) i'r wâdd, ac i'r ystlumod:
21 I fyned i agenau y creigiau,
ac i gopäau y clogwyni, rhag ofn yr
Arglwydd, a rhag gogoniant ei
fawredd ef, pan gyfodo efe i gy-
nhyrfu y ddaear.
22 Peidiwch chwithau â'r dyn yr
hwn *sydd* â'i anadl yn ei ffroenau:
canys yn mha beth y gwneir cyfrif
o hono?

## PENNOD III.

CANYS wele yr Arglwydd, Ar-
glwydd y lluoedd, a dŷn ymaith o
Jerusalem, ac o Juda, y cynal-
iaeth a'r ffon, holl gynaliaeth bara,
a holl gynaliaeth dwfr.
2 Y cadarn, a'r rhyfelwr, y
brawdwr, a'r proffwyd, y synwyr-
ol, a'r henwr,
3 Y tywysog deg-a-deugain, a'r
anrhydeddus, a'r cynghorwr, a'r
crefftwr celfydd, a'r areithiwr hy-
awdl.

---

Adn. 17. *Yna yr iselir uchelder dyn, &c.*] Gwel yr un geiriau yn adn. 11; ac ailadroddir hwynt yma, i ddangos sicrwydd yr hyn a ddywedir.

Adn. 18. *A'r eilunod*] Yn y dyddiau diweddaf, *a fwrw efe ymaith yn hollol*—trwy argyhoeddi pawb o'u hoferedd, a'u hanallu i waredu eu haddolwyr. Nid oes genym hanes i neb o'r Iuddewon fod yn euog o eilunaddoliaeth ar ol caethiwed Babilon.

Adn. 19. *A hwy*] Sef yr eilunaddolwyr; *a ânt i dyllau y creigiau*—i ymguddio rhag ofn yr Arglwydd; *ac i ogofau llychlyd*—neu bydewau diddwfr. Yr oedd llawer o dyllau ac ogofau fel hyn, naturiol a chelfyddydol, yn Judea, i'r rhai yr enciliai y trigolion mewn amseroedd o berygl: gwel Barn. vi. 2, 1 Sam. xxiv. 3. *A rhag gogoniant ei fawredd ef*—gwel ar adn. 10. *Pan gyfodo efe i gynhyrfu y ddaear*—i gynhyrfu pobl y ddaear yn erbyn Juda, neu i gynhyrfu gwŷr Juda gan ddychryn ac arswyd. Fe allai hefyd fod daeargryn ddychrynllyd yn cymeryd lle ar y pryd, yn arwydd fod Duw wedi digio: gwel Salm xviii. 7.

Adn. 20. *Yn y dydd hwnw*] Sef dydd dinystr Juda a Jerusalem gan y Caldeaid ond odid; *y teifl dyn ei eilunod arian a'i eilunod aur*—er mor werthfawr eu defnyddiau; *i'r wâdd ac i'r ystlumod*—hwy a ddygant eu heilunod hyny gyda hwy i'r tyllau a'r ogofau llychlyd lle yr ânt i ymguddio, a gadawant hwynt yno ar eu hol i'r creaduriaid aflan a lochesant yn y fath leoedd.

Adn. 21. *I fyned i agenau y creigiau, ac i gopäau y clogwyni*] Hyny yw, taflai dynion eu heilunod i'r wâdd a'r ystlumod, yn lle eu cymeryd allan o'r ogofau gyda hwy, fel y gallent hwy eu hunain ffoi yn gyflymach i'r creigiau a'r clogwyni, *rhag ofn yr Arglwydd, &c.*—gwel ar adn. 10, 19.

Adn. 22. *Peidiwch chwithau â'r dyn*] Hyny yw, peidied gwŷr Juda âg ymddiried am gymhorth yn y cenhedloedd eilunaddolgar o'u hamgylch, â'r rhai yr oeddynt mewn cynghrair, megys yr Aifftiaid, y Syriaid, &c. *Yr hwn sydd â'i anadl yn ei ffroenau*—yr hwn sydd wan a byr-hoedlog, heb ganddo awdurdod ar ei fywyd yn hwy nag yr anadla: gwel ar Salm cxlvi. 3, 4. *Canys yn mha beth y gwneir cyfrif o hono*—fel eich cynorthwywr, pan y cyfyd Duw i'ch erbyn?

PEN. III. Adn. 1. *Canys wele yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd*] Gwel ar 1 Sam. i. 3, 11. Dyry y proffwyd yn wastadol yr enw hwn i Dduw, pan yn son am ryw waith a fyddo yn gofyn nerth a dylanwad neillduol yr Anfeidrol i'w gyflawni. *A dŷn ymaith o Jerusalem ac o Juda y cynaliaeth a'r ffon*—sef pob peth ag y dysgwylient hwy am help ac ymwared oddiwrtho; *holl gynaliaeth bara, a holl gynaliaeth dwfr*—y canlyniad o'r hyn fyddai newyn a syched. Meddylir fod yma gyfeiriad at warchaead Jerusalem gan y Caldeaid, pryd yr oedd y bara a'r dwfr yn brin iawn: gwel ar Jer. xiv. 1—6, a xxxvii. 21.

Adn. 2. *Y cadarn a'r rhyfelwr*] Hyny yw, tynai yr Arglwydd y rhai hyn hefyd ymaith o Jerusalem ac o Juda, fel y dywedir iddo wneyd, 2 Bren. xxiv. 14—16; *y brawdwr*—neu y barnwyr gwladol; *a'r proffwyd*—pawb a ddysgent neu a rybyddient y bobl; *y synwyrol*—y rhai yr oedd eu doethineb yn angenrheidiol i gadw y bobl rhag dinystr; *a'r henwr*—yr henuriaid, neu yr henafgwyr, y rhai yr oedd eu doethineb wedi cynyddu trwy hir brofiad.

Adn. 3. *Y tywysog deg-a-deugain*] Holl swyddogion y fyddin, fel na byddai un wedi ei adael a allai lywodraethu cynifer a hanner cant o filwyr; *a'r anrhydeddus*—o ran bri, dylanwad, a gwaedoliaeth; *a'r cynghorwr*—neu y seneddwyr doethion; *a'r crefftwr celfydd*—megys y seiri a'r gofaint, y rhai a wnaent addurniadau a dodrefn heirdd mewn amseroedd o heddwch, ac arfau milwrol mewn amseroedd o ryfel; *a'r areithiwr hyawdl*—fel na byddai neb i ddadlu dros y gorthrymedig mewn

4 A rhoddaf blant yn dywysog-
ion iddynt, a bechgyn a arglwydd-
iaetha arnynt.
5 A'r bobl a orthrymir y naill
gan y llall, a phob un gan ei gy-
mydog: y bachgen yn erbyn yr
henwr, a'r gwael yn erbyn yr an-
rhydeddus, a ymfalchïa.
6 Pan ymaflo gŵr yn ei frawd o
dŷ ei dad, *gan ddywedyd*, Y mae
dillad genyt, bydd dywysog i ni; a
*bydded* y cwymp hwn dan dy law
di:
7 Yntau a dwng yn y dydd hwnw,
gan ddywedyd, Ni byddaf iachäwr;
canys yn fy nhŷ nid *oes* fwyd na
dillad: na osodwch fi yn dywysog
i'r bobl.
8 Canys cwympodd Jerusalem, a
syrthiodd Juda; o herwydd eu tafod
hwynt a'u gweithredoedd *sydd* yn
erbyn yr Arglwydd, i gyffroi llygaid
ei ogoniant ef.
9 ¶ Dull eu gwynebau hwynt a
dystiolaetha yn eu herbyn; a'u
pechod fel Sodom a fynegant, *ac* ni
chelant: gwae eu henaid, canys tal-
asant ddrwg iddynt eu hunain.
10 Dywedwch mai da *fydd* i'r
cyfiawn: canys ffrwyth eu gweith-
redoedd a fwynhant.
11 Gwae yr anwir, drwg *fydd*

---

llysoedd barn, nac i ymddyddan yn gall a deniadol â'r gelynion yn y porth.

Adn. 4. *A rhoddaf blant yn dywysogion iddynt*] Sef plant o ran oedran, neu ddynion mor ddibrofiad a phlant; *a bechgyn a arglwyddiaetha arnynt*—hyny yw, bechgyn o ran profiad a gwybodaeth. Cyflawnwyd hyn yn llawn yn yr olyniad o dywysogion egwan a drygionus a fu o farwolaeth Josiah hyd ddinystr y ddinas a'r deml.

Adn. 5. *A'r bobl a orthrymir y naill gan y llall*] Ar ol iddynt golli eu swyddogion doeth a da, a chael rhai diwerth a phlentynaidd yn eu lle. *Y bachgen yn erbyn yr henwr*—gan feddwl ei fod ef yn llawer doethach na'i dad; *a'r gwael yn erbyn yr anrhydeddus*—trwy fod pob teimlad o barch ac ymostyngiad wedi ei ddileu o'u plith; *a ymfachïa*—fel ag i ddarostwng a sathru yr henwr a'r anrhydeddus.

Adn. 6. *Pan ymaflo gŵr yn ei frawd o dŷ ei dad*] Mewn rhyw berthynas, cyfaill, neu gymydog iddo. *Ymaflyd* mewn un a arwydda, ceisio ei gymhorth ef: gwel pen. iv. 1, Zech. viii. 23. *Gan ddywedyd, Y mae dillad genyt*—y mae genyt ti rywbeth wedi ei adael i gynal yr urddas a gynygiwn i ti, tra yr ydym ni wedi ein llwyr andwyo, heb genym ymborth na dillad. *Bydd dywysog i ni*—i'n llywodraethu, ein porthi, a'n dilladu, a ni a ufyddhawn i ti. *A bydded y cwymp hwn*—neu yr aflwydd a'r difrod yma a ddaeth i'n cyfarfod ni; *dan dy law di*—i adfer pethau i'w lle. Cymer ein cyflwr andwyol ni yn dy law dy hun i'n meddyginiaethu.

Adn. 7. *Yntau a dwng yn y dydd hwnw*] A ddywed yn benderfynol megys trwy lw; *Ni byddaf iachäwr*—neu adgyweiriwr eich dinystr presenol, am nad yw hyny yn fy ngallu: *canys yn fy nhŷ nid oes fwyd na dillad*—i'm cynal i a'm teulu, chwaithach i'ch cynal chwi. *Na osodwch fi yn dywysog i'r bobl*—yr hwn wyf cyn dyloted a chwithau.

Adn. 8. *Canys cwympodd Jerusalem*] Yn gyffredinol fel dinas; *a syrthiodd Juda*—fel gwlad, heb obaith am adferiad; *o herwydd eu tafod hwynt a'u gweithredoedd sydd yn erbyn yr Arglwydd*—trwy iddynt droseddu ei gyfraith ef mewn gair a gweithred; *i gyffroi llygaid ei ogoniant ef*—neu ei Fawredd gogoneddus, yr hwn sydd 'lanach ei lygaid nag y gall edrych ar ddrwg.' Ond y mae rhai yn darllen '*cwmwl* ei ogoniant,' fel y mae yn y *Syriaeg*, gan gyfeirio at y cwmwl yn yr hwn yr ymddanghosai gogoniant yr Arglwydd uwchben y tabernacl, Exod. xvi. 9, 10, a xl. 34—38.

Adn. 9. *Dull eu gwynebau hwynt a dystiolaetha yn eu herbyn*] Neu '*gywilydd* eu gwynebau.'—LXX. Y *llygad* yw mynegai y meddwl. Y mae balchder, cenfigen, dygasedd, neu lofruddiaeth, pan yn cael eu meithrin yn y galon, yn edrych allan yn eglur trwy y llygad, gan rybyddio y rhai annichellgar i fod ar eu gwyliadwriaeth; fel swn y neidr gynffondrwst, cyhoeddant hwythau bresenoldeb y dinystrydd. *A'u pechod fel Sodom a fynegant*—neu a amlygant yn ddigywilydd; *ac ni chelant*—fel y gwna dynion fyddont â rhyw radd o ŵylder yn aros ynddynt. *Gwae eu henaid, canys talasant ddrwg iddynt eu hunain*—hwynt-hwy eu hunain yw yr achos o'u dinystr, nid Duw.

Adn. 10. *Dywedwch*] Cyhoeddwch, chwi offeiriaid a Lefiaid, yn eich pregethau a'ch addysgiadau i'r bobl; *mai da fydd i'r cyfiawn*—hyd yn nod pan fyddo drwg i'r anwir; *canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhant*—fel y mae yr amaethwr diwyd, yr hwn a lafuria ei dir, yn cael bwyta o ffrwyth ei lafur; felly y caiff y cyfiawn fwynhau ffrwyth eu gweithredoedd. Bydd i'r Arglwydd naill ai cysgodi drostynt yn nydd ei ddialedd, neu roddi iddynt gysuron dwyfol a sylweddol yn nghanol yr holl drallodau a ddisgynant ar y wlad. Y mae y geiriau hyn wedi bod yn gynaliaeth a chysur i'r Cristion yn mhob oes, yn nghanol holl adfydau bywyd. Ni fydd i Dduw wrthod nac anghofio y rhai hyny ag sydd yn ei garu ac yn ei wasanaethu ef mewn gwirionedd. Y mae rheswm yn dysgu hyn i ni; y mae profiad yr holl dduwiolion yn ei gadarnhau; ac y mae holl air Duw yn ei wirio.

Adn. 11. *Gwae yr anwir*] Y mae hyn yn wir am bob gŵr anwir, er y cyfeirir yma yn neillduol at yr Iuddewon drygionus ag y sonir

*iddo:* canys gwobr ei ddwylaw ei
hun a fydd iddo.
12 ¶ Fy mhobl *sydd* â'u treiswyr
yn fechgyn, a gwragedd a arglwydd-
iaetha arnynt. O fy mhobl, y rhai
a'th dywysant sydd yn peri *i ti*
gyfeiliorni, a ffordd dy lwybrau a
ddystrywiant.
13 Yr Arglwydd sydd yn sefyll i
ymddadlu, ac yn sefyll i farnu y
bobloedd.
14 Yr Arglwydd a ddaw i farn â
henuriaid ei bobl, a'u tywysogion:
canys chwi a borasoch y winllan;
anrhaith y tylawd *sydd* yn eich
tai.
15 Beth *sydd* i chwi a guroch ar
fy mhobl, ac a faloch ar wynebau y
tylodion? medd Arglwydd Dduw y
lluoedd.
16 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd,
O herwydd balchïo o ferched Seion,
a rhodio â gwddf estynedig, ac â
llygaid gwamal, gan rodio a rhy-
gyngu *wrth* gerdded, a thrystio â'u
traed:
17 Am hyny y clafra yr Arglwydd
gorynau merched Seion; a'r Ar-
glwydd a ddynoetha eu gwarthle
hwynt.
18 Yn y dydd hwnw y tỳn yr
Arglwydd ymaith addurn yr esgid-
iau, y rhwydwaith hefyd, a'r lloer-
awg wisgoedd,
19 Y cadwynau, a'r breichledau,
a'r moledau,

---

am danynt yn adn. 8, 9. *Drwg fydd iddo*—yn y byd hwn a'r nesaf. Nid yw *fydd iddo* yn y wreiddiol, dim ond *drwg.* Mewn un gair dywedwch wrtho, *Drwg!* Nis gellwch ddywedyd *da* am dano, nac wrtho: y mae y cwbl yn *ddrwg*—ynddo, o'i flaen, o'i ol, o'i amgylch, uwch ei ben, ac odditano: *drwg* mewn amser, a *drwg* dros dragwyddoldeb! *Canys gwobr ei ddwylaw ei hun a fydd iddo*—'cyflog ei bechod fydd marwolaeth.' Gan mai y dwylaw yw offerynau cyffredin gweithrediad, y maent yn cael eu rhoddi yma am yr holl gyneddfau, neu yr holl ddyn. Dyma yr egwyddor yn ol pa un yr ymddygir at bawb: *Da* yma, ac ar ol myned oddiyma, fydd i'r *cyfiawn; drwg* yma, ac am byth, fydd i'r *anwir.*

Adn. 12. *Fy mhobl sydd â'u treiswyr*] 'Sydd â'u *trethwyr*,' fel yr arwydda y wreiddiol; *yn fechgyn*—o ran oedran, neu o ddiffyg profiad: gwel ar adn. 4. *A gwragedd a arglwyddiaetha arnynt*—fel y gwnai Jezebel, gwraig Ahab, ar Israel; neu ddynion merchedaidd ac anwrol. Ond yn lle *nashim,* 'gwragedd,' y mae rhai yn darllen *noshim,* 'usurwyr,' neu 'ocrwyr.' *O fy mhobl*—yma y mae Duw fel yn tosturio wrthynt o achos eu cyflwr adfydus, er cynddrwg oeddynt. *Y rhai a'th dywysant*—dy lywodraethwyr gwladol ac eglwysig; neu, 'y rhai a'th *fendithiant*,' sef eu proffwydi gau, y rhai a lefarent heddwch wrthynt mewn gweniaith; *sydd yn peri i ti gyfeiliorni*—o ffordd dy ddyledswydd, yr hon yw ffordd diogelwch a llwyddiant; *a ffordd dy lwybrau a ddystrywiant*—trwy eu haddysgiadau a'u siamplau drwg, fel nas gelli ei cherdded.

Adn. 13. *Yr Arglwydd sydd yn sefyll i ymddadlu*] Sydd barod i chwilio i mewn i'r achos hwn; *ac yn sefyll i farnu y bobloedd*—i gyhoeddi ei ddedfryd, gan roddi *da* i'r rhai cyfiawn, a *drwg* i'r rhai anwir, adn. 10, 11.

Adn. 14. *Yr Arglwydd a ddaw i farn â henuriaid ei bobl, a'u tywysogion*] Am mai hwy oeddynt flaenaf yn y camwedd: *canys chwi a borasoch y winllan*—a ddystrywias-och y wlad a'i thrigolion trwy eich trais a'ch gormes; *anrhaith y tylawd sydd yn eich tai*—sef yr hyn yr yspeiliasoch hwynt o hono.

Adn. 15. *Beth sydd i chwi a guroch ar fy mhobl?*] Pa hawl sydd genych chwi i'w gorthrymu hwynt? neu pa fantais yw hyny i chwi? *Ac a faloch ar wynebau y tylodion?*—cyffelybiaeth gref, yn gosod allan eu dirfawr ormes: gwel ar Mica iii. 2, 3.

Adn. 16. *O herwydd balchïo o ferched Seion*] Ar ol i Dduw geryddu henuriaid a thywysogion y bobl, y mae efe yma yn troi i geryddu benywod Jerusalem, yn enwedig y graddau uwchaf o honynt, am eu balchder a'u rhodres. *A rhodio â gwddf estynedig*—yn arwydd o falchder ac uchel-feddwl; *ac â llygaid gwamal*—llygaid wedi eu paentio, medd rhai, neu lygaid hudol ac anniwair; *gan rodio a rhygyngu wrth gerdded*—neu arafgamu yn fursenaidd a balch; *a thrystio â'u traed*—i beri i bawb sylwi arnynt. Arferai y boneddigesau beilchion gynt wisgo math ar addurniadau am eu migyrnau, ac ar eu hesgidiau, wrth y rhai y crogai modrwyau, y rhai a swnient fel clychau bychain wrth iddynt gerdded, at yr hyn ond odid y cyfeirir yma.

Adn. 17. *Am hyny y clafra yr Arglwydd gorynau merched Seion*] A chrach ffiaidd; *a'r Arglwydd a ddynoetha eu gwarthle hwynt*—trwy offerynoliaeth y Caldeaid. Arferai gorchfygwyr barbaraidd yn yr amseroedd hyny ddyosg dillad eu caethion rhyfel, gan eu gadael yn noethion, at yr hyn ond odid y cyfeirir yma.

Adn. 18. *Yn y dydd hwnw*] Pan ymosodai y Caldeaid ar eu gwlad: *y tỳn yr Arglwydd ymaith addurn yr esgidiau*—gwel ar adn. 16; *y rhwydwaith hefyd*—yr hwn a wisgent am eu penau neu dros eu gwynebau; *a'r lloerawg wisgoedd*—naill ai eu coleri ysblenydd, ar lun hanner lleuad, y rhai a wisgent am eu gwarau: neu ynte ryw addurn aur o'r llun hwnw a wisgent ar goryn eu pen.

Adn. 19. *Y cadwynau*] A wisgent am eu gyddfau; *a'r breichledau*—a wisgent am eu harddynau; *a'r moledau*—Saes., *mufflers,* y

20 Y penguwch, ac addurn y coesau, a'r ysnodenau, a'r dwyfronegau, a'r clust-dlysau,
21 Y modrwyau, ac addurn y trwyn,
22 Y gwisgoedd symudliw, a'r mentyll, a'r misyrnau, a'r crychnodwyddau,
23 Y drychau hefyd, a'r llian meinwych, a'r cycyllau, a'r gynau.
24 A bydd yn lle perarogl, ddrewi; bydd hefyd yn lle gwregys, rwygiad; ac yn lle iawn-drefn gwallt, foelni; ac yn lle dwyfroneg, wregys o sachlian; *a* llosgfa yn lle prydferthwch.
25 Dy wŷr a syrthiant gan y cleddyf, a'th gadernid trwy ryfel.
26 A'i phyrth hi a ofidiant, ac a alarant: a hithau yn anrheithiedig a eistedd ar y ddaear.

## PENNOD IV.

AC yn y dydd hwnw saith o wragedd a ymaflant mewn un gŵr, gan ddywedyd, Ein bara ein hun a fwytawn, a'n dillad ein hun a wisg-

---

rhai a wisgent ond odid dros eu gwynebau.

Adn. 20. *Y penguwch*] Sef yr addurn a wisgent am eu penau; *ac addurn y coesau*—sef y torchau o aur a gemau a wisgent am eu coesau; neu, fel y tybia rhai, y gadwen fer ag ydoedd yn cyraedd o'r naill figwrn i'r llall, dyben yr hon oedd gwneuthur eu camrau yn ogyhyd; *a'r ysnodenau*—i ddal eu gwallt yn ei le; *a'r dwyfronegau*—rhyw addurn a wisgid ganddynt ar y fynwes; er y tybia rhai mai math ar gostrelau oeddynt, yn y rhai y cedwid peraroglau dymunol ac adfywiol; *a'r clust-dlysau*—o aur a meini gwerthfawr, y rhai a grogent wrth eu clustiau.

Adn. 21. *Y modrwyau*] Y rhai a wisgent am eu bysedd; *ac addurn y trwyn*—sef modrwy fawr o aur, wedi ei haddurno â pherlau a meini gwerthfawr, yn crogi wrth y ffroen. Dywed *Syr J. Chardin* na welodd ef erioed lances yn Arabia, nac yn holl Bersia, heb fod ganddi fodrwy fel hyn yn ei ffroenau.

Adn. 22. *Y gwisgoedd symudliw*] Wedi eu gweu â sidan o wahanol liwiau, neu eu brwydweithio yn amryliw âg edeu a nodwydd; *a'r mentyll*—i'w taflu drostynt pan yn rhodio allan ond odid; *a'r misyrnau*—tybia rhai mai y wisg yn yr hon yr arferent gysgu a feddylir yma; *a'r crych-nodwyddau*—â'r rhai y crychent eu cudynau gwallt, fel y tybia rhai; tra y barna ereill mai codau neu byrsau i gadw arian a feddylir.

Adn. 23. *Y drychau hefyd*] Y rhai a wneid o bres llathredig, Exod. xxxviii. 8; ond y mae y LXX yn ei ddeall am wisg deneu neu rwydog; *a'r llian meinwych*—o ba un y gwnaent amrai ddarnau o'u gwisgoedd penaf, Luc xvi. 19; *a'r cycyllau*—sef y turbanau neu y pen-wisgoedd; *a'r gynau*—y rhai a wisgent dros yr holl gorff; neu y 'gorchuddleni,' fel y mae yn y Saesonaeg. Addefir gan bawb fod yn dra anhawdd i neb yn y wlad a'r oes hon roddi ystyr sicr i'r addurniadau a'r gwisgoedd uchod; ond y mae hyn yn eglur, pa beth bynag oeddynt, eu bod yn cael eu gwisgo gan ferched Juda y pryd hyny i borthi eu balchder, yr hyn oedd yn digio Duw yn fawr.

Adn. 24. *A bydd yn lle perarogl*] Yr hwn a ddefnyddid mor helaeth ac a gerid mor fawr gan foneddigesau y dwyrain, Esther ii. 12, Can. iv. 10, 11; *ddrewi*—yn codi oddiar grach neu ddoluriau ffiaidd dros eu holl gorff, neu oddiwrth ddadgyfansoddiad marwolaeth. *Bydd hefyd yn lle gwregys*—costfawr i rwymo eu dillad yn drefnus am danynt; *rwygiad*—yn eu dillad, naill ai gan eu gelynion, neu ynte ganddynt hwy eu hunain yn arwydd o'u galar a'u gofid. *Ac yn lle iawn-drefn gwallt*—neu wallt wedi ei ddolenu a'i addurno yn brydferth; *foelni*—wedi ei achosi trwy i'r Arglwydd glafru eu corynau hwynt, adn. 17. *Ac yn lle dwyfroneg*—neu addurn costfawr a wisgid ganddynt ar y fynwes, adn. 20; *wregys o sachlian*—bras a gwrthun, yn arwydd o ddarostyngiad a galar. *A llosgfa*—neu wyneb wedi ei losgi gan wres yr haul wrth eu caethgludo i Babilon, neu wrth weithio yn eu caethiwed yno; *yn lle prydferthwch*—yn lle gwyneb gwŷn a glân, a hwnw wedi ei bereneinio.

Adn. 25. *Dy wŷr a syrthiant gan y cleddyf*] Sef gwrywiaid Jerusalem a Juda; *a'th gadernid*—y rhai cadarnaf o honot, megys y milwyr a'r tywysogion; *trwy ryfel*—â'r Caldeaid, yn yr hon y gorchfygir ac y caethgludir hwynt.

Adn. 26 *A'i phyrth hi a ofidiant ac a alarant*] Sef pyrth Jerusalem, y rhai yn gyffelybiaethol a arddanghosir fel yn galaru am nad oedd neb wedi eu gadael yn fyw i gydgyfarfod ynddynt, nac i gyniwair trwyddynt; *a hithau yn anrheithiedig a eistedd ar y ddaear*—fel gwraig dorcalonus wedi colli ei phriod a'i phlant. Darfu i *Vespasian*, ond odid ar gais Josephus, wneuthur bathodyn coffadwriaethol am ddinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, yr hwn sydd ar gael hyd heddyw; ac y mae ar yr un pryd yn arddanghosiad cywir o'r hyn a ddywedir yma am ei dinystr gan y Caldeaid. Ar un tu iddo danghosir Judea fel benyw gaeth yn eistedd dan balmwydden, a'i phen yn pwyso ar ei llaw, a'i phenelin ar ei glin, ac yn ŵylo; ac o amgylch iddi ceir yr argraff yma, yn cyfeirio at gaethiwed y wlad, *Judea Capta. Senatus consulto.*

PEN. IV. Adn. 1. *Ac yn y dydd hwnw*] Sef y dydd hwnw o ddinystr ag y cyfeiriwyd ato yn y bennod flaenorol; *saith o wragedd a ymaflant mewn un gŵr*—bydd nifer y lladdedigion mor fawr, fel na bydd ond un dyn wedi ei adael ar gyfer pob saith o fenywod, yr

wn: yn unig galwer dy enw di
arnom ni; cymer ymaith ein gwarth
ni.
2 Y pryd hwnw y bydd blaguryn
yr Arglwydd yn brydferthwch ac
yn ogoniant; a ffrwyth y ddaear yn
rhagorol ac yn hardd i'r rhai a
ddiangasant o Israel.
3 A bydd, *am* yr hwn a adewir
yn Seion, ac a weddillir yn Jeru-
salem, y dywedir wrtho, *O* sant;
*sef* pob un a'r a ysgrifenwyd yn
mhlith y rhai byw yn Jerusalem:
4 Pan ddarffo i'r Arglwydd olchi
budreddi merched Seion, a charthu
gwaed Jerusalem o'i chanol, mewn
ysbryd barn, ac mewn ysbryd
llosgfa.
5 A'r Arglwydd a grea ar bob
trigfa o fynydd Seion, ac ar ei gy-
manfaoedd, gwmwl a mwg y dydd,
a llewyrch tân fflamllyd y nos;
canys ar yr holl ogoniant *y bydd*
amddiffyn.

---

hwn a geisiant yn briod iddynt: rhif penodol am rif anmhenodol. *Ein bara ein hun a fwytawn*—os cymeri ni yn wragedd i ti; *a'n dillad ein hun a wisgwn*—cynygiant fyw ar eu cost eu hunain yn gwbl; *yn unig galwer dy enw di arnom ni*—fel dy wragedd; *cymer ymaith ein gwarth ni*—sef y gwarth o weddwdod, yr hwn a ystyrid yn aflwydd mawr bob amser yn mhlith yr Iuddewon.

Adn. 2. *Y pryd hyny*] Pan ddarffo i'r Arglwydd olchi ymaith fudreddi merched Seion, adn. 4; *y bydd blaguryn yr Arglwydd*—sef 'Messia yr Arglwydd.'—*Y Galdeaeg.* 'Y Messia, Mab Dafydd.'—*Kimchi.* 'Eglwys a phobl Israel.'—*Benson.* 'Ezra neu Nehemiah.'—*Grotius.* 'Y gweddill a ddychwelant o Babilon.'—*Vogellius.* 'Yr Iuddewon, y rhai a fyddent yn bobl ddiwygiedig ar ol y caethiwed, ac a flagurent gydag ysbryd adnewyddol.'—*Michaelis.* Y mae ereill yn deall yr adnod hon fel darluniad barddonol o ffrwythlondeb anarferol y ddaear mewn amseroedd dyfodol. Ond y farn debycaf a mwyaf cyffredinol yw, ei fod yn cyfeirio at Grist, yr hwn a osodir allan yn fynych dan yr enw *Blaguryn:* gwel Jer. xxxiii. 15, Zech. iii. 8, a vi. 12. *Yn brydferthwch ac yn ogoniant*—yn hardd a gwerthfawr iawn yn ngolwg ei holl wir ganlynwyr. *A ffrwyth y ddaear yn rhagorol ac yn hardd*—gall fod y 'blaguryn' a 'ffrwyth y ddaear' yn eiriau cyfystyr, trwy fod y ddau yn cynwys y meddylddrych o *dyfiant;* ac os yw y cyntaf yn cyfeirio at Grist, gall fod yr olaf hefyd; er y tybia *Hengstenberg* fod 'blaguryn yr Arglwydd' yn cyfeirio at natur ddwyfol Crist, a 'ffrwyth y ddaear' at ei natur ddynol ef. *I'r rhai a ddiangasant o Israel*—sef i Israel waredigol neu ysbrydol, y rhai a drowyd at Grist, ac a ddiangasant felly rhag y dialedd a ddisgynodd ar yr anufyddion.

Adn. 3. *A bydd, am yr hwn a adewir yn Seion, ac a weddillir yn Jerusalem*] Os yw hyn yn cyfeirio at yr ychydig a ddychwelasant o Babilon, y meddwl yw, y byddai iddynt gael eu diwygio, ac y byddent yn bobl dra gwahanol i'w tadau, yr hyn oedd wirionedd diamheuol: ond os yw yn cyfeirio at amseroedd y Messia, fel yr ymddengys fod y cysylltiad yn arwyddo, yna yr ystyr yw, y byddai i'r gweddill a adewid heb eu tori ymaith gyda chorff y genedl, y rhai a gredent yn y Messia, fod yn bobl santaidd. *Y dywedir wrtho, O sant!*—hyny yw, gelwid hwy yn bobl santaidd, a byddent felly mewn gwirionedd. *Sef pob un a'r a ysgrifenwyd yn mhlith y rhai byw yn Jerusalem*—y rhai yr oedd eu henwau wedi eu hysgrifenu yn llyfr y bywyd. Arferai yr Iuddewon ysgrifenu enwau yr holl bobl mewn llyfr, 'yn mhlith yr achau,' Ezra ii. 62; a bod enw un yn ysgrifenedig yn y cyfryw lyfr, a arwydda ei fod yn *fyw;* canys pan y byddai *farw,* neu pan y gwnai efe ryw drosedd neillduol, dilëid ei enw ef o'r llyfr hwnw: gwel ar Luc x. 20, Dat. iii. 5, a xxii. 19.

Adn. 4. *Pan ddarffo i'r Arglwydd olchi budreddi merched Seion*] Neu eu puro hwynt oddiwrth eu halogrwydd moesol, megys eu balchder, eu heilunaddoliaeth, a'u pechodau ereill; *a charthu gwaed Jerusalem o'i chanol*—sef euogrwydd y gwaed gwirion a dywalltesid o dro i dro yn Jerusalem, pen. i. 15; *mewn ysbryd barn*—cyfeiria hyn at yr adfydau a'r barnau a ddisgynent ar y genedl trwy y Caldeaid, neu ynte wedi hyny trwy y Rhufeiniaid; *ac mewn ysbryd llosgfa*—cyfeiria hyn at waith y gelynion yn llosgi Jerusalem, neu at dân digofaint Duw, trwy ba un yr ysa efe ei elynion, ac y pura efe ei bobl megys mewn ffwrneisiau, i ysgaru y sothach oddiwrth yr aur pur; gwel ar Ezec. xxii. 18—22, Mal. iii. 2, 3.

Adn. 5. *A'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o fynydd Seion*] Ar bob tŷ anedd lle y byddo ei bobl ef yn trigo. Ond wrth y *trigfeydd* hyn y dealla rhai y gwahanol ganghenau o eglwys Crist. *Ac ar ei gymanfaoedd*—sef eu cyfarfodydd crefyddol, neu eu cynulliadau eglwysig. *Gwmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nos*—cyfeirir yma at y golofn niwl a thân, yr hon a arweiniai ac a amddiffynai blant Israel ddydd a nos yn eu teithiau trwy yr anialwch: gwel ar Exod. xiii. 21, 22, a xiv. 20. Y meddwl yw, y byddai yr Arglwydd o hyd yn arweinydd ac yn amddiffynydd i'w bobl; ïe, yr arferai efe yr un gallu ag a ddefnyddid i *greu* y bydoedd, i ddiogelu ei bobl eto ar eu taith tua'r Ganaan nefol. *Canys ar yr holl ogoniant*—sef ar ei holl bobl neu ei eglwys, y rhai sydd yn ogoneddus trwy waith ei ras ar eu heneidiau, ac a fyddant yn ogoniant mynegol iddo ef dros dragwyddoldeb; *y bydd amddiffyn*—gorchuddir a chysgodir hwynt byth rhag pob niwed.

Adn. 6. *A phabell fydd yn gysgod y dydd*

6 A phabell fydd yn gysgod y dydd rhag gwres, ac yn noddfa ac yn ddiddos rhag tymhestl a rhag gwlaw.

## PENNOD V.

CANAF yr awr hon i'm hanwylyd, ganiad fy anwylyd am ei winllan. Gwinllan sydd i'm hanwylyd mewn bryn tra ffrwythlon.

2 Ac efe a'i cloddiodd hi ao a'i digaregodd, ac a'i planodd o'r winwydden oraf, ac a adeiladodd dŵr yn ei chanol, ac a drychodd winwryf ynddi: ac efe a ddysgwyliodd *iddi* ddwyn grawnwin, hithau a ddyg rawn gwylltion.

3 Ac yr awr hon, preswylwyr Jerusalem, a gwŷr Juda, bernwch, atolwg, rhyngof fi a'm gwinllan.

4 Beth *oedd* i'w wneuthur ychwaneg i'm gwinllan, nag a wnaethym ynddi? paham, a mi yn dysgwyl iddi ddwyn grawnwin, y dyg hi rawn gwylltion?

---

*rhag gwres*] Hyny yw, byddai yr Arglwydd yn babell iddynt i'w cysgodi; *ac yn noddfa ac yn ddiddos rhag tymhestl a rhag gwlaw* —y mae yma gyfeiriad at y pebyll a gludai yr ymdeithwyr gyda hwynt yn y gwledydd dwyreiniol, i'w cysgodi rhag y gwres, y gwyntoedd, a'r gwlaw. Cyfarfyddir â'r rhai hyn yn fynych yn mhob rhan o Arabia a'r Aifft, ac mewn amrai barthau ereill. Ystyr y ddwy adnod yw, (1) Y byddai Duw yn amddiffynydd i'w holl bobl. (2) Yr amddiffynai efe eu teuluoedd hwynt. (3) Y gallent ddysgwyl ei fendith ef ar eu cynulliadau crefyddol. (4) Y byddai efe, trwy ei Fab, yn noddfa ac yn gysgod digonol iddynt yn ngwyneb yr holl dymhestloedd a'u cyfarfyddent. Y mae pob pechadur yn agored i ddigofaint tanllyd Duw, ac i dymhestloedd ei lidiogrwydd cyfiawn ef, y rhai a gurant byth ar yr enaid noeth yn uffern; ond wrth iddo ffoi at Grist trwy ffydd, a llechu dan ei gysgod ef, y mae yn cael ei waredu rhag y digofaint sydd ar ddyfod.

PEN. V. Adn. 1. *Canaf yr awr hon i'm hanwylyd*] I Dduw Israel, yr hwn a aethai i gyfammod â'i bobl fel eu Gwaredwr a'u Noddwr; *ganiad fy anwylyd*—nid caniad o'm pen fy hun, ond caniad wedi ei roddi yn fy ngenau i trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, ac felly yn teilyngu eich sylw manylaf; *am ei winllan*—am dŷ Israel, adn. 7, neu am ei eglwys ef yn mhlith pobl Israel. *Gwinllan sydd i'm hanwylyd mewn bryn tra ffrwythlon*—sef yn Nghanaan, yr hon oedd wlad fryniog a ffrwythlon iawn; neu, yn ol yr Hebraeg, 'ar gorn mab yr olew.' 'Efe a eilw wlad Israel yn *gorn*, am ei bod yn uwch na'r holl wledydd, fel y mae y corn yn uwch na'r holl gorff; ac yn *fab yr olew*, am ei bod yn llifeirio o laeth a mêl.'—*Kimchi.*

Adn. 2. *Ac efe a'i cloddiodd hi*] A gododd glawdd neu argae o'i hamgylch; *ac a'i digaregodd*—a symudodd y cerig, neu y meini tramgwydd, allan o honi, sef y Cenhedloedd eilunaddolgar ond odid; *ac a'i planodd o'r winwydden oraf*—Hebr., 'gwinwydden *Sorek*,' mewn cyfeiriad at ddyffryn rhwng Ascalon a Gaza, yr hwn sydd yn rhedeg i randir Juda, ac yn enwog am ei winllanoedd a'i winrawn. Y meddwl yw, iddo osod Israel yn ngwlad Canaan, y rhai oeddynt yn rhagori ar yr holl bobloedd, nid wrth natur, ond am i Dduw eu gwneyd hwy felly trwy ei ras a breintiau crefyddol. *Ac a adeiladodd dŵr yn ei chanol* —yr oedd math ar dŵr yn mhob gwinllan, i'r gwyliedyddion ei gwylied; ac yma golygir y deml yn Jerusalem. *Ac a drychodd winwryf ynddi*—a wnaeth ynddi le i wasgu allan sudd y grawnsypiau, neu i wneuthur gwin. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at yr holl wasanaeth offeiriadol, neu foddion gras. *Ac efe a ddysgwyliodd iddi ddwyn grawnwin*—neu winrawn pur, sef ffrwythau rhinwedd a gwir grefydd; *hithau a ddyg rawn gwylltion*—neu 'rawnwin gwenwynig,' fel y mae *Lowth* yn ei gyfieithu: gwel ar 2 Bren. iv. 39—41. Yn lle troi allan yn bobl rinweddol a duwiol, yn ol y manteision ag oedd ganddynt, aeth corff y genedl yn llygredig a niweidiol.

Adn. 3. *Ac yr awr hon, preswylwyr Jerusalem, a gwŷr Juda*] Yma y mae yr Arglwydd yn gofyn i'r troseddwyr, fel y gwna barnwr yn y llys, beth sydd ganddynt i'w ddywedyd drostynt eu hunain; neu, yn hytrach, y mae efe fel yn galw arnynt i gyhoeddi eu dedfryd eu hunain. *Bernwch, atolwg, rhyngof fi a'm gwinllan*—yr oedd mor amlwg fod eu hachos hwy yn ddrwg, fel na cheisiai yr Arglwydd ond eu barn hwy eu hunain ar y mater.

Adn. 4. *Beth oedd i'w wneuthur ychwaneg i'm gwinllan, nag a wnaethym ynddi*] Mewn trefn iddi ddwyn ffrwythau da? Fel hyn yr oedd Duw wedi gwneuthur pob peth ag ydoedd ddichonadwy, yn unol â rhyddid a chyfrifoldeb dyn, tuag at achub y genedl. Nis gallasai roddi iddynt gyfraith burach a pherffeithiach fel rheol bywyd, nac annogaethau cryfach i ufyddhau iddi, nag a roddasai. Efe a addawai iddynt fywyd os ufyddhäent, ac a fygythiai iddynt farwolaeth os anufyddhäent. Y mae y geiriau hyn yr un mor gymhwysiadol atom ninau heddyw. Beth ychwaneg a allasai Duw ei wneyd i ninau, nag a wnaeth? Y mae wedi rhoddi ei Fab i farw drosom, ei Ysbryd i'n hargyhoeddi, ei air i'n dysgu, gwahanol foddion gras i'n cynorthwyo, a'i weision i'n gwahodd a'n hannog i ufydd-dod; ïe, y mae yn addaw y nefoedd i ni os ufyddhawn, ac yn bygwth uffern arnom os anufyddhawn: a pha beth ychwaneg a allasai efe ei wneuthur i ni, heb iddo ein *gwthio* i ufydd-dod, ac felly ddinystrio ein cyfrifoldeb, a'n hanaddasu i fod yn ddeiliaid barn? *Paham, a mi yn dysgwyl iddi ddwyn grawnwin*—ffrwyth pur, cyfateb-

5 Ac yr awr hon mi a hysbysaf i
chwi yr hyn a wnaf i'm gwinllan:
tynaf ymaith ei chae, fel y porer
hi; toraf ei magwyr, fel y byddo hi
yn sathrfa.
6 A mi a'i gosodaf hi yn ddifrod:
nid ysgythrir hi, ac ni chloddir hi;
ond mieri a drain a gyfyd: ac i'r
cymylau y gorchymynaf na wlaw-
iont wlaw arni.
7 Diau, gwinllan Arglwydd y
lluoedd *yw* tŷ Israel, a gwŷr Juda
*yw* ei blanhigyn hyfryd ef: ac efe
a ddysgwyliodd am farn, ac wele
drais; am gyfiawnder, ac wele lef.
8 ¶ Gwae y rhai sydd yn cysylltu
tŷ at dŷ, *ac* yn cydio maes wrth faes,
hyd *oni byddo* eisiau lle, ac y trig-
och chwi yn unig yn nghanol y tir.
9 Lle y clywais *y dywedodd* Ar-
glwydd y lluoedd, Yn ddiau bydd
tai lawer, mawrion a thêg, yn
annghyfanedd heb drigianydd.
10 Canys deg cyfair o winllan
a ddygant un bath, a lle homer a
ddwg epha.
11 ¶ Gwae y rhai a gyfodant yn
fore i ddylyn diod gadarn, a arhos-
ant hyd yr hwyr, *hyd oni* enyno y
gwin hwynt.
12 Ac yn eu gwleddoedd hwynt
y mae y delyn, a'r nabl, y dympan,
a'r bibell, a'r gwin: ond am waith
yr Arglwydd nid edrychant, a
gweithred ei ddwylaw ef nid ystyr-
iant.

---

ol i'w manteision; *y dyg hi rawn gwylltion?*—gwel ar adn. 2.

Adn. 5. *Ac yr awr hon mi a hysbysaf i chwi yr hyn a wnaf i'm gwinllan*] Mewn ffordd o farn. *Tynaf ymaith ei chae*—ei chlawdd drain; *fel y porer hi*—fel y gallo pob math o anifeiliaid oddiallan fyned iddi i'w phori: *toraf ei magwyr*—ei mur cerig a phridd, ar ba un y tyfai y drain uchod; *fel y byddo hi yn sathrfa*—i bob bwystfil aflan. Y meddwl yw, y tynai Duw ei bresenoldeb a'i amddiffyniad dwyfol oddiwrth y wlad a'r eglwys, fel y byddai yn agored i ruthriadau ei gelynion.

Adn. 6. *A mi a'i gosodaf hi yn ddifrod*] Heb na chae na magwyr o'i hamgylch. *Nid ysgythrir hi*—ni thorir y canghenau diffrwyth oddiwrthi, fel y gallo y lleill ffrwythloni yn well; *ac ni chloddir hi*—nid agorir y ddaear o amgylch ei gwraidd, i fwrw tail arnynt, Luc xiii. 8; hyny yw, ni chaiff driniaeth fagwrol mwyach: *ond mieri a drain a gyfyd*—nes y bydd yn debycach i anialwch nag i winllan: *ac i'r cymylau y gorchymynaf na wlawiont wlaw arni*—i'w dyfrhau a'i maethu hi. Y meddwl yw, y byddai i'r Arglwydd dynu o'u plith bob moddion o ras, a dylanwadau ei Ysbryd, a'u gadael hwynt yn agored i bob cyfeiliornad a thrueni.

Adn. 7. *Diau, gwinllan Arglwydd y lluoedd yw tŷ Israel*] Cawn yma ddeongliad o'r ddammeg uchod, fel yn Mat. xxi. 33; *a gwŷr Juda yw ei blanhigyn hyfryd ef*—yn y rhai yr ymhyfrydai yr Arglwydd gynt, pryd yr oedd eu ffrwyth yn gyfiawnder a santeiddrwydd. *Ac efe a ddysgwyliodd am farn*—am uniondeb, rhinwedd, a thrugaredd oddiwrthynt; *ac wele drais*—sef gormes a 'thywallt gwaed,' fel yr arwydda y wreiddiol: *am gyfiawnder*—rhwng gŵr a gŵr; *ac wele lef*—oddiwrth y rhai a gaent gam, yn gwaeddi yn ei glustiau ef. Dyma y 'grawn gwylltion' yn adn. 2, 4; a dyma y rheswm i Dduw eu rhoddi hwy a'u gwlad i ddwylaw eu gelynion.

Adn. 8. *Gwae y rhai sydd yn cysylltu tŷ at dŷ*] Y mae y proffwyd yn myned yn awr i enwi rhai o'r pechodau ag y cyfeiriasai efe atynt yn nammeg y winllan; *ac yn cydio maes wrth faes*—trwy drais ond odid, neu trwy ei brynu neu ei wystlo hyd flwyddyn y jubili, Lef. xxv. 23, &c.; *hyd oni byddo eisiau lle*—ar y tylodion i fyw ynddo, ar ol cael eu troi o'u tai a'u tiroedd gan y treiswyr uchod; *ac y trigoch chwi yn unig yn nghanol y tir*—yn y lleoedd brasaf, a phawb ereill yn grwydriaid heb le i orphwys.

Adn. 9. *Lle y clywais*] Saes. 'yn fy nghlustiau,' y dywedodd Arglwydd y lluoedd; *Yn ddiau bydd tai lawer, mawrion a thêg*—sef eiddo y treiswyr cybyddlyd uchod; *yn annghyfanedd*—trwy i'r rhai a drigent ynddynt naill ai cael eu cludo i Babilon, neu gael eu symud o honynt trwy ryw adfydau cospawl ereill.

Adn. 10. *Canys deg cyfair o winllan*] Neu o unrhyw faes. *Cyfair* oedd cymaint o dir ag a ellid ei aredig mewn diwrnod â dau ŷch; ac felly yr oedd deg cyfair yn ddigon o waith i ddau ŷch am ddeg diwrnod. *A ddygant un bath*—o win, neu ynte o wenith neu haidd. Y *bath* ydoedd fesur Iuddewig yn cynwys oddeutu saith galwyn a hanner o'n mesur ni, yr hyn nid oedd ond y nesaf peth i ddim oddiwrth ddeg cyfair o dir. *A lle homer a ddwg epha*—sef y ddegfed ran yn unig o'r had a hauesid, Exod. xvi. 36.

Adn. 11. *Gwae y rhai a gyfodant yn fore i ddylyn diod gadarn*] Wrth ba un y meddylir yma y *shechar*, neu win y balmwydden, yr hwn oedd y mwyaf meddwol o'r cwbl. Ar ol i'r proffwyd gyhoeddi gwae uwchben y dynion bydol uchod, y mae efe yma yn cyhoeddi gwae yn erbyn dynion afradus a meddw. *A arhosant hyd yr hwyr*—gan dreulio yr holl ddiwrnod i segura ac yfed; *hyd oni enyno y gwin hwynt*—sef enyn eu nwydau i ddylyn aflendid a phechodau ereill yn eu meddwdod.

Adn. 12. *Ac yn eu gwleddoedd hwynt y mae y delyn, &c.*] Sef pob math o offerynau cerdd gyda'u *gwin*, fel y byddo i'w holl nwydau gael eu boddhau i'r eithaf, a'u pleserau fod yn berffeithiach. *Ond am waith yr Ar-*

13 ¶ Am hyny y caethgludwyd
fy mhobl, am nad *oes ganddynt*
wybodaeth: a'u gwŷr anrhydeddus
*sydd* newynog, a'u lluaws a wywodd
gan syched.
14 Herwydd hyny yr ymeangodd
uffern, ac yr agorodd ei safn yn an-
ferth; ac yno y disgyn eu gogon-
iant, a'u lluaws, a'u rhwysg, a'r hwn
a lawenycha ynddi.
15 A'r gwreng a grymir, a'r gallu-
og a ddarostyngir, a llygaid y rhai
uchel a iselir.
16 Ond Arglwydd y lluoedd a
ddyrchefir mewn barn; a'r Duw
santaidd a santeiddir mewn cyfiawn-
der.
17 Yr ŵyn hefyd a borant yn ol
eu harfer; a dyeithriaid a fwytânt
ddiffeithfaoedd y breision.
18 Gwae y rhai a dynant anwir-
edd â rheffynau oferedd, a phechod
megys â rhaffau mên:
19 Y rhai a ddywedant, Brysied,
*a* phrysured ei orchwyl, fel y gwel-
om; nesäed hefyd, a deued cynghor
Sant yr Israel, fel y gwypom.
20 ¶ Gwae y rhai a ddywedant
am y drwg, Da *yw;* ac am y da,
Drwg *yw;* gan osod tywyllwch am

---

*glwydd nid edrychant*—ni feddyliant ddim am wasanaethu Duw; *a gweithred ei ddwylaw ef nid ystyriant*—sef ei farnau trymion, y rhai a fygythiai efe arnynt am eu pechodau, a'r rhai a ddylasent eu darostwng hwynt i edifeirwch a diwygiad.

Adn. 13. *Am hyny y caethgludwyd fy mhobl*] Efe a lefara am eu caethgludiad fel pe buasai wedi cymeryd lle eisioes, trwy iddo gael ei bortreiadu o'i flaen ef mewn gweledigaeth, pen. i. 1; canys nid oedd gwŷr Juda eto wedi eu caethgludo, nac efallai y deg llwyth ychwaith, y rhai ni chaethgludwyd hyd y chweched flwyddyn i Hezeciah, tua diwedd dyddiau Esay, pen. i. 1. *Am nad oes ganddynt wybodaeth*—am nad ystyriant weithredoedd Duw, na'u perygl a'u dyledswydd eu hunain. *A'u gwŷr anrhydeddus sydd newynog*—a ddyfethir trwy newyn; *a'u lluaws*—sef y werin, neu y bobl gyffredin, *a wywodd gan syched*—a fyddant feirw o syched, ar ol y gwleddoedd a'r gwin a grybwyllwyd adn. 12.

Adn. 14. *Herwydd hyny yr ymeangodd uffern*] *Sheol*, y bedd, neu ororau tywyllion y meirw. Nid yw y gair yn arwyddo yma wlad y colledigion, er y gallwn feddwl i eneidiau y rhan fwyaf o honynt fyned yno hefyd. *Ac yr agorodd ei safn yn anferth*—i lyncu yr holl rai hyny a fyddent feirw trwy newyn, a syched, a'r cleddyf, ar yr un pryd ag y caethgludid y lleill. *Ac yno y disgyn eu gogoniant*—sef eu gwŷr anrhydeddus; *a'u lluaws*—y werin, neu y bobl gyffredin; *a'u rhwysg*—sef eu beilchion rhwysgfawr; *a'r hwn a lawenycha ynddi*—sef pob un a lawenychai yn gnawdol yn y wlad, neu yn y gwleddoedd annuwiol uchod.

Adn. 15. *A'r gwreng a grymir*] Darostyngir y bobl gyffredin yn is nag o'r blaen, gan farn Duw; *a'r galluog a ddarostyngir*—i'r un cyflwr a'r gwreng, sef y galluog o ran cyfoeth neu awdurdod yn y tir; *a llygaid y rhai uchel a iselir*—sef eu huchel drem hwy: gwel ar pen. ii. 11, 17.

Adn. 16. *Ond Arglwydd y lluoedd a ddyrchefir mewn barn*] Trwy weinyddiad ei farnedigaethau ar ei elynion anniwygiadwy; *a'r Duw santaidd a santeiddir mewn cyfiawnder*—a gydnabyddir yn santaidd a chyfiawn yn y barnau a weinyddir ganddo.

Adn. 17. *Yr ŵyn hefyd a borant yn ol eu harfer*] Yn rhydd a dirwystr yn y man y mynont. Wrth yr *ŵyn* hyn y golygir naill ai y 'cyfiawnion,' yn ol y *Galdeaeg;* neu ynte y bobl dylodion a diniwed, y rhai a adewir yn y wlad. *A dyeithriaid*—sef rhyw ddyeithriaid neu estroniaid, neu ynte y tylodion uchod, y rhai na feddent hawl yn y wlad; *a fwytânt ddiffeithfaoedd y breision*—sef ffrwyth tiroedd eu gwŷr mawrion, y rhai a laddwyd neu a gaethgludwyd.

Adn. 18. *Gwae y rhai a dynant anwiredd â rheffynau oferedd*] Sef â rhesymau neu esgusodion ofer; megys, nad yw Duw yn sylwi ar ymddygiadau dynion; fod y pechaduriaid mwyaf yn dianc yn ddigosp; nad ydym yn canfod dim arwyddion o gyfryngiad dwyfol, &c. *A phechod megys â rhaffau mên*—sef â'u holl egni, fel anifel yn llusgo llwyth trwm. Ymddengys fod yma gyfeiriad at gynydd mewn pechod, neu fyned oddiwrth bechodau bychain at rai mwy. Yn unol â hyn y dywed *Kimchi*, oddiwrth yr hen rabbiniaid, 'Y mae tuedd ddrwg ar y cyntaf fel llinyn main o rawn, ond yn y diwedd fel rhaff mên.' Wrth hir ymarfer â phechod, y mae dynion o'r diwedd yn cyraedd y graddau uwchaf o ddrygioni, gan herio Duw, a gwawdio ei farnau bygythiedig, fel y dywedir yn yr adnod nesaf.

Adn. 19. *Brysied*] Duw; *a phrysured ei orchwyl*—sef ei farn arnom; *fel y gwelom*—y cyflawniad o honi. Fel hyn yr oedd y gwatwarwyr hyn yn gwawdio bygythion Duw trwy y proffwyd, ac yn ei herio i'w cyflawni. *Nesäed hefyd, a deued cynghor Sant yr Israel*—sef ei fwriad o'u danfon hwy i gaethiwed, yr hyn y dywedai y proffwyd fod *santeiddrwydd* Duw yn ei rwymo ef i'w gyflawni; *fel y gwypom*—mai gwir yw y bygythiad. Hon oedd iaith eglur eu hymddygiadau: yr oeddynt yn ymddwyn fel pe buasent yn llefaru fel hyn.

Adn. 20. *Gwae y rhai a ddywedant am y drwg, Da yw, &c.*] Gan geisio cymysgu enwau ac ansawdd rhinwedd a drygioni, duwioldeb ac annuwioldeb. *Gan osod tywyllwch*—anwybodaeth, cyfeiliornad, a phechod; *am oleuni*—am wybodaeth, gwirionedd, a duwioldeb. *Y rhai a osodant chwerw*—sef pechod, yr hwn a dry allan yn y diwedd yn chwerw

oleuni, a goleuni am dywyllwch; y
rhai a osodant chwerw am felys, a
melys am chwerw.
21 Gwae y rhai *sydd* ddoethion
yn eu golwg eu hun, a'r rhai deall-
gar yn eu golwg eu hun.
22 Gwae y rhai cryfion i yfed
gwin, a'r dynion nerthol i gymysgu
diod gadarn:
23 Y rhai a gyfiawnhant yr anwir
er gwobr, ac a gymerant ymaith
gyfiawnder y rhai cyfiawn oddi-
ganddynt.
24 Am hyny megys ag yr ysa y
ffagl dân y sofl, ac y difa y fflam y
mân-ûs; *felly* y bydd eu gwreiddyn
hwynt yn bydredd, a'u blodeuyn a
gyfyd i fyny fel llwch; am iddynt
ddiystyru cyfraith Arglwydd y llu-
oedd, a dirmygu gair Sant yr Israel.
25 Am hyny yr enynodd llid yr
Arglwydd yn erbyn ei bobl, ac yr
estynodd efe ei law arnynt, ac
a'u tarawodd hwynt; a chrynodd
y mynyddoedd, a bu eu celanedd
hwynt yn rhwygedig yn nghanol yr
heolydd. Er hyn oll ni ddychwel-
odd ei lid ef, ond eto *y mae* ei law ef
wedi ei hestyn allan.
26 ¶ Ac efe a gyfyd faner i'r
cenhedloedd o bell, ac a chwibana
arnynt hwy o eithaf y ddaear; ac
wele, ar frys yn fuan y deuant.
27 Ni *bydd un* blin na thram-
gwyddedig yn eu plith; ni huna yr
un, ac ni chwsg: ac ni ddattodir
gwregys ei lwynau, ac ni ddryllir
carai ei esgidiau.

---

iawn i'r pechadur; *am felys*—am rinwedd a santeiddrwydd, yr hwn a fydd felysach yn y diwedd na'r diliau mêl.

Adn. 21. *Gwae y rhai sydd ddoethion yn eu golwg eu hun*] Gan wrthod felly gynghor y Goruchaf; *a'r rhai deallgar yn eu golwg eu hun*—y rhai a dybiant eu bod yn ddeallgar, pan nad ydynt.

Adn. 22. *Gwae y rhai cryfion i yfed gwin*] Y rhai sydd yn ddigon cryf i'w lymeitian ef o'r bore hyd yr hwyr, adn. 11; *a'r dynion nerthol i gymysgu diod gadarn*—neu i'w hyfed hi ar ol ei chymysgu â defnyddiau a'i gwnaent yn fwy cryf a meddwol nag o'r blaen. Cyfeirir yma at farnwyr ac ynadon meddw ac annghyfiawn. Yr oedd y rhai hyn yn defnyddio eu cryfder a'u nerth, nid i wasanaethu eu gwlad, llai o lawer i wasanaethu Duw, eithr i wasanaethu eu boliau a'u blysiau eu hunain.

Adn. 23. *Y rhai a gyfiawnhant yr anwir er gwobr*] Trwy eu rhyddhau oddiwrth y gosp a haeddasant, am ychydig arian i brynu gwin a diod gadarn; *ac a gymerant ymaith gyfiawnder y rhai cyfiawn*—trwy euog-farnu y rhai cyfiawn yn lle yr anwir.

Adn. 24. *Am hyny*] Am y drygioni uchod o yfed, derbyn gwobr, a gŵyro barn; *megys ag yr ysa y ffagl dân*—Hebr., 'y *tafod* tân,' *y sofl*—yr hyn a wna efe yn hawdd, yn gyflym, ac yn anwrthwynebol; *ac y difa y fflam y mân-ûs*—neu y peiswyn sych: *felly*—yr un mor sicr, *y bydd eu gwreiddyn hwynt yn bydredd*—sef tadau y genedl; *a'u blodeuyn a gyfyd i fyny fel llwch*—dyfethir eu plant hefyd. Hon sydd gyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth blanhigyn yn pydru yn y gwreiddyn, ac yn sychu i fyny ac yn darfod yn y blodeuyn. Dyfethir yr holl genedl, wreiddyn a changen, heb obaith am adferiad; a gwneir hyny mor sicr ac effeithiol ag y difa y fflam y sofl a'r mân-ûs. *Am iddynt ddiystyru cyfraith Arglwydd y lluoedd*—yr hon a waharddа y pechodau uchod; *a dirmygu gair Sant yr Israel*—heb ufyddhau iddo, na chredu y cospid hwynt fel y bygythiai.

Adn. 25. *Am hyny yr enynodd llid yr Arglwydd yn erbyn ei bobl*] Lawer gwaith cyn iddo eu caethgludo hwynt i Babilon; *ac yr estynodd efe ei law arnynt*—i'w taraw a'u cystuddio hwynt. *A chrynodd y mynyddoedd*—gall hyn fod yn cyfeirio at y ddaeargryn a grybwyllir Amos i. 1; er y tybia rhai ei fod yn arwyddo yma gryndod y penaethiaid yn eu mysg, neu ysgydwad eu sefydliadau gwladwriaethol. *A bu eu celanedd hwynt yn rhwygedig yn nghanol yr heolydd*—yn ganlynol i'r cryndod dinystriol uchod, heb i neb eu claddu. *Er hyn oll*—er yr holl farnedigaethau trymion uchod; *ni ddychwelodd ei lid ef*—ni thrôdd yn ol, neu ni ddarfyddodd; *ond eto y mae ei law ef wedi ei hestyn allan*—i daraw yn drymach fyth, onid edifarhewch chwi.

Adn. 26. *Ac efe a gyfyd faner i'r cenhedloedd*] I'w galw hwynt yn nghyd i gyflawni ei fwriadau dialeddol; *o bell*—o Assyria, Babilon, neu Rufain; *ac a chwibana arnynt hwy o eithaf y ddaear*—mewn cyfeiriad at arferiad y rhai a fagent wenyn yn Syria a Phalestina, y rhai a arweinient y gwenyn o'u cychod i'r maesydd, ac yn ol drachefn, trwy chwibanu arnynt, neu wneyd rhyw swn arall. *Ac wele, ar frys yn fuan y deuant*—dywedir hyn mewn cyfeiriad at adn. 19, lle y mae y gwatwarwyr yn herio Duw i 'frysio a phrysuro' ei weithredoedd dialeddol: felly sicrheir iddynt yma, y deuai efe 'ar frys yn fuan.'

Adn. 27. *Ni bydd un blin na thramgwyddedig yn eu plith*] Neb wedi blino na syrthio yn mhlith byddinoedd y gelyn; *ni huna yr un, ac ni chwsg*—ond byddant oll yn effro, bywiog, a heinif i gyflawni y dinystr; *ac ni ddattodir gwregys ei lwynau*—i gymeryd gorphwysdra, fel ag i fod trwy hyny yn annmharod i'r daith neu i'r frwydr; *ac ni ddryllir carai ei esgidiau*—neu ni ddattodir hi, ond byddant yn wastad â'u hesgidiau am eu traed yn barod i'r ymgyrch.

28 Yr hwn *sydd* â'i saethau yn llymion, a'i holl fwäau yn annelog: carnau ei feirch ef a gyfrifir fel callestr, a'i olwynion fel corwynt.
29 Ei ruad *fydd* fel llew; efe a rua fel cenawon llew; efe a chwyrna hefyd, ac a ymeifl yn yr ysglyfaeth; efe a ddianc hefyd, ac a'*i* dwg ymaith yn ddiogel, ac ni bydd achubydd.
30 Ac efe a rua arnynt y dydd hwnw fel rhuad y môr: os edrychir ar y tir, wele dywyllwch *a* chyfyngder, a'r goleuni a dywyllir yn ei nefoedd.

## PENNOD VI.

YN y flwyddyn y bu farw y brenin Uzziah, y gwelais hefyd yr Arglwydd yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig, a'i odre yn llenwi y deml.
2 Y seraphiaid oedd yn sefyll oddiar hyny: chwech adain ydoedd i bob un; â dwy y cuddiai ei wyneb, ac â dwy y cuddiai ei draed, ac â dwy yr ehedai.
3 A llefodd y naill wrth y llall,

---

Adn. 28. *Yr hwn sydd â'i saethau yn llymion, a'i holl fwäau yn annelog*] Yn barod i'r ymosodiad cyn gynted ag y caent orchymyn: *carnau ei feirch ef a gyfrifir fel callestr*—y rhai ni niweidir gan erwinder y ffordd, na phellder y daith; *a'i olwynion fel corwynt*—o ran cyflymdra, sef olwynion ei gerbydau rhyfel.

Adn. 29. *Ei ruad fydd fel llew*] Yn ddychrynllyd ac ofnadwy iawn; *efe a rua fel cenawon llew*—pan yn ngolwg eu hysglyfaeth, Salm civ. 21: *efe a chwyrna hefyd, ac a ymeifl yn yr ysglyfaeth*—heb i neb allu gwneyd iddo ollwng ei afael. *Efe a ddianc hefyd*—gan ddwyn ymaith ei ysglyfaeth gydag ef; *ac ni bydd achubydd*—ni bydd neb yn alluog i ddwyn ei ysglyfaeth oddiarno. Y mae y darluniad hwn yn cyfateb yn berffaith i'r hyn a wnaed i'r Iuddewon gan y Caldeaid a'r Rhufeiniaid.

Adn. 30. *Ac efe*] Sef y gelyn, neu Dduw trwy y gelyn; *a rua arnynt y dydd hwnw fel rhuad y môr*—ar ystorm ddychrynllyd. Yma cydmherir yr Iuddewon i forwyr mewn tymhestl. *Os edrychir ar y tir*—gan feddwl dianc yno rhag cynddaredd y dymhestl; *wele dywyllwch a chyfyngder*—yn cau oddiwrthynt bob gobaith am ymwared: *a'r goleuni a dywyllir yn ei nefoedd*—gan niwl tew, fel na bydd llewyrch iddynt oddiwrth yr haul, y lloer, na'r ser. Y meddwl yw, na byddai gobaith am waredigaeth i'r Iuddewon o'r nefoedd na'r ddaear, o'r byd na'r eglwys, oddiwrth Dduw na dynion.

PEN. VI. Adn. 1. *Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Uzziah*] Gwel ar 2 Cron. xxvi. 33; *y gwelais hefyd yr Arglwydd*—er mai *Adonai* sydd yma yn y testyn Hebreig argraffedig, eto *Jehofa* yn ddiamau a feddylir, ac felly y darllenir ef mewn 105 o ysgriflyfrau Kennicott a De Rossi; *yn eistedd ar eisteddfa uchel a dyrchafedig*—sef ar orseddfainc uchel uwchben yr arch yn y cysegr santeiddiolaf; *a'i odre yn llenwi y deml*—sef godre ei wisg fawreddog a gogoneddus; neu, yn ol y LXX, 'a'i *ogoniant* yn llenwi y deml.' Meddylir fod y proffwyd yn sefyll y pryd hyn wrth allor y poeth-offrwm; a chasgla rhai oddiyma y rhaid fod llen y deml wedi ei thynu ymaith, pan y gwelai y proffwyd yr hyn a gymerai le tufewn i'r llen; a bod hyn oll yn cyfeirio at bresenoldeb a gogoniant Crist, yn ei swyddau cyfryngol, yn llenwi yr holl eglwys ar y ddaear. Y mae Ioan yn dyfynu adn. 10 o'r bennod hon fel yn gymhwysiadol at yr Iuddewon yn nyddiau Crist; ac yna yn chwanegu, 'Y pethau hyn a ddywedodd Esaias pan welodd ei ogoniant ef, ac y llefarodd am dano ef,' Ioan xii. 40, 41. Gan hyny rhaid mai Crist yw JEHOFA y testyn.

Adn. 2. *Y seraphiaid oedd yn sefyll oddiar hyny*] Neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'yn sefyll o'i *amgylch* ef,' yn barod i weini i'w Brenin. Y mae y gair neu yr enw hwn yn dyfod oddiwrth y ferf *saraph*, 'llosgi neu fflamio; ac arwydda yma fodau ysbrydol yn ymddangos fel pe buasent yn *danllyd* neu *fflamllyd*. Yr oedd eu henw a'u hymddangosiad yn arwyddo, (1) Eu *natur*, pa un sydd ogoneddus, pur, a dysglaer; ac, (2) Eu *brwdfrydedd*, neu eu cariad gwresog at Dduw, a'u sel dros ei ogoniant a'i wasanaeth ef. *Chwech adain ydoedd i bob un*—i'r dybenion a grybwyllir yn y geiriau nesaf. *A dwy y cuddiai ei wyneb*—yn arwydd o orchŵyledd santaidd yn mhresenoldeb Jehofa; *ac â dwy y cuddiai ei draed*—neu ei ranau isaf, o barch i'w Creawdwr, ac i arwyddo nad oedd eu gwasanaeth oraf hwy ddim yn deilwng o'i sylw ef; *ac â dwy yr ehedai*—i wneuthur gorchymyn eu Brenin gyda'r cyflymder mwyaf.

Adn. 3. *A llefodd y naill wrth y llall*] Sef pob un ar unwaith; neu ynte llefodd y naill ar ol y llall, neu mewn atebiad iddo. Fe allai i'r cyntaf o'r seraphiaid hyn lefain '*Sant*,' ac i'r nesaf ei ailadrodd, ac wedi hyny y trydydd; ac yna i'r cwbl gyduno yn y corus canlynol, 'Yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef!' *Sant, Sant, Sant*—'y mae *santeiddrwydd* Duw, neu *burdeb* uwchraddol ei natur ef,' fel y sylwa *Lowth*, 'yn cynwys ynddo ei holl briodoliaethau ereill ef, yn enwedig ei gyfiawnder a'i drugaredd. *Yw Arglwydd y lluoedd*—sef Llywodraethwr mawr holl luoedd nef a daear, angylion a dynion, yn gystal a ser y ffurfafen. *Yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef*—y mae y ddaear ei hun, a phob peth arni, yn dangos gogoniant ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni anfeidrol. Y mae yr eglwys Gristionogol wedi bod yn ystyried yr adroddiad triphlyg uchod o'r gair *Sant* bob

ac a ddywedodd, Sant, Sant, Sant, yw Arglwydd y lluoedd, yr holl ddaear sydd lawn o'i ogoniant ef.
4 A physt y rhiniogau a symudasant gan lef yr hwn oedd yn llefain, a'r tŷ a lanwyd gan fwg.
5 ¶ Yna y dywedais, Gwae fi: canys darfu am danaf: o herwydd gŵr halogedig *ei* wefusau *ydwyf* fi, ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo: canys fy llygaid a welsant y brenin, Arglwydd y lluoedd.
6 Yna yr ehedodd ataf un o'r seraphiaid, ac yn ei law farworyn a gymerasai fe oddiar yr allor mewn gefail:
7 Ac a'*i* rhoes i gyffwrdd â'm genau, ac a ddywedodd, Wele, cyffyrddodd hwn â'th wefusau, ac ymadawodd dy anwiredd, a glanhawyd dy bechod.
8 Clywais hefyd lef yr Arglwydd yn dywedyd, Pwy a anfonaf? a phwy a â drosom ni? Yna y dywedais, Wele fi, anfon fi.
9 ¶ Ac efe a ddywedodd, Dos, a dywed wrth y bobl hyn, Gan glyw-

---

amser fel yn gosod allan athrawiaeth y Drindod; megys hefyd ei hawgrymir mewn amrai leoedd ereill yn yr Hen Destament, yn enwedig Num. vi. 24—26, Esay xlviii. 16.

Adn. 4. *A physt y rhiniogau*] Saes., 'pyst y *drws*,' sef drws y deml; *a symudasant gan lef yr hwn oedd yn llefain*—sef gan lef y seraffiaid, yr hyn ond odid oedd yn arwydd o ddinystr y deml gan y Babiloniaid yn gyntaf, ac wedi hyny gan y Rhufeiniaid: *a'r tŷ a lanwyd gan fwg*—yr hyn ar brydiau ereill ydoedd yn arwydd o bresenoldeb a ffafr Duw, ond yma o'i lid a'i soriant wrth ei bobl o herwydd eu pechodau; a gall ei fod hefyd yn arwydd o dywyllwch a dallineb yr Iuddewon.

Adn. 5. *Yna y dywedais*] Yn yr olwg ar ogoniant yr Arglwydd yn ei deml, a'r seraffiaid yn cuddio eu gwynebau â'u hadenydd yn mhresenoldeb Jehofa, ac wrth eu clywed hwy yn ei foliannu ef nes symud pyst y rhiniogau, a llenwi y deml gan fwg; *Gwae fi, canys darfu am danaf*—dyfethir fi yn anocheladwy. Y mae y proffwyd yn enwi yma dri rheswm dros hyny: (1) *O herwydd gŵr halogedig ei wefusau ydwyf fi*—ymddengys ei fod yn cyfeirio yma at anmherffeithrwydd ei ymadroddion neu ei weinidogaeth fel proffwyd. (2) *Ac yn mysg pobl halogedig o wefusau yr ydwyf yn trigo*—troseddwyr mewn gair a gweithred, y rhai nad argyhoeddwyd genyf yn ddigon llym, ac felly yr wyf yn haeddu cael fy ninystrio yn eu dinystr hwy. (3) *Canys fy llygaid a welsant y Brenin, Arglwydd y lluoedd*—yr hwn nas gall dyn ei weled, a *byw*, Exod. xxxiii. 20, Barn. vi. 22, a xiii. 22.

Adn. 6. *Yna yr ehedodd ataf un o'r seraffiaid*] Ond odid ar orchymyn Duw; *ac yn ei law farworyn*—yn offeryn ac yn arwydd o'i buredigaeth; *a gymerasai efe oddiar yr allor mewn gefail*—sef oddiar allor y poethoffrwm: gwel ar Lef. vi. 12, 13. Cymerodd y seraff y marworyn oddiar yr allor, i arwyddo nad yw dynion i ddysgwyl puredigaeth oddiwrth bechod ond trwy y cyfryw foddion ag a benododd Duw, ac yn enwedig trwy gyfryngdod Crist, yr hwn yr oedd yr allor hòno yn ei arddangos yn eglur; a thrwy y gras pureiddiol hwnw o eiddo yr Ysbryd Glân, yr hwn a arwyddid trwy y marworyn tân hwnw, a'r hwn ni roddir i neb ond trwy haeddiant aberth Crist: gwel Heb. ix. 14, a xiii. 10.

Adn. 7. *Ac a'i rhoes i gyffwrdd â'm genau*] Yn ysgafn, ac heb eu llosgi; *ac a ddywedodd*—i wroli fy meddwl ofnus; *Wele, cyffyrddodd hwn â'th wefusau*—y rhai y cwynit ti eu bod yn halogedig; *ac ymadawodd dy anwiredd*—dy annghymhwysder i ymuno â seraffiaid i glodfori Duw, neu i draethu cenadwri yn ei enw ef fel ei broffwyd; *a glanhawyd dy bechod*—neu glanhawyd di oddiwrth dy bechod. Nid oedd hyn oll ddim ond arwydd cysgodol fod Duw, trwy aberth Crist y wir allor, a thrwy santeiddiad yr Ysbryd Glân, yn ei gymhwyso ef â phob dawn, ysbrydoliaeth, a gras, i waith y weinidogaeth yn llwyrach o hyny allan.

Adn. 8. *Clywais hefyd lef yr Arglwydd*] Hebr., 'lef Jehofa,' megys ag y clywsai o'r blaen lef y seraffiaid. *Pwy a anfonaf*—at bobl wrthnysig Juda? Efe a ofynai hyn, nid am na wyddai pwy i'w anfon, ond i roddi cyfle i Esay gynyg ei wasanaeth yn wirfoddol. *A phwy a â drosom ni*—i draethu wrthynt y genadwri a ganlyn? Y mae y cyfnewidiad hwn o'r rhif unigol i'r rhif lluosog yn dra hynod; a chan mai yr un anfonydd a olygir yn y ddwy frawddeg, rhaid fod yma awgrymiad o luosogrwydd personau yn hanfod y Duwdod; canys nid yw y *pluralis excellentiæ*, neu y ffurf luosog o osod allan fawredd brenhinoedd a thywysogion, ddim ond *dyfais ddiweddar:* gwel ar Gen. i. 26. *Yna y dywedais, Wele fi*—yn barod i fyned; *anfon fi*—atynt. Yr oedd y proffwyd wedi cael ei wroli a'i gymhwyso at y gwaith pwysig hwn trwy gyffyrddiad y marworyn oddiar yr allor â'i wefusau, nes y mae efe yn awr yn ymdeimlo yn barod i gario y genadwri ddwyfol at ei gydwladwyr.

Adn. 9. *Ac efe a ddywedodd, Dos, a dywed wrth y bobl hyn*] Nid yw Duw yma yn eu galw hwy *ei bobl*, canys yr oedd wedi eu diarddel hwy, am iddynt hwy ei wrthod ef. *Gan glywed clywch*—â'r clustiau allanol; *ond na ddeallwch*—â'r galon neu y meddwl. Neu '*ni* ddeallwch.' Nid gorchymyn iddynt beidio deall y mae efe, ond rhagfynegu y peidient. *A chan weled gwelwch*—â'r llygaid corfforol; *ond na wybyddwch*—neu *ni* wybyddwch â'r deall. Clywed cenadwri y proffwyd a feddylir, ond heb ei deall hi; a gweled

ed clywch, ond na ddeallwch; a
chan weled gwelwch, ond na wy-
byddwch.
10 Brasâ galon y bobl hyn, a
thrymha eu clustiau, a chau eu
llygaid; rhag iddynt weled â'u llyg-
aid, a chlywed â'u clustiau, deall
â'u calon, a dychwelyd, a'u medd-
yginiaethu.
11 Yna y dywedais, Pa hyd, Ar-
glwydd? Ac efe a atebodd, Hyd
oni anrheithier y dinasoedd heb
drigianydd, a'r tai heb ddyn, a
gwneuthur y wlad yn gwbl annghy-
fanedd,
12 Ac i'r Arglwydd bellhau dyn-
ion, a *bod* ymadawiad mawr yn
nghanol y wlad.
13 ¶ Ac eto *bydd* ynddi ddegwm,
a *hi* a ddychwel, ac a borir; fel y
llwyfen a'r dderwen, y rhai wrth
fwrw *eu dail y mae* sylwedd yn-
ddynt: *felly* yr had santaidd *fydd*
ei sylwedd hi.

## PENNOD VII.

A BU yn nyddiau Ahaz mab Jo-
tham, mab Uzziah brenin Juda,
ddyfod o Resin brenin Syria, a
Phecah mab Remaliah, brenin Is-

---

trugaredd neu farn Duw, ond heb ddysgu gwybodaeth oddiwrthi.

Adn. 10. *Brasâ galon y bobl hyn, &c.*] Gwna hwynt (neu yn hytrach *gwneir* hwynt) yn hurt, hwyrdrwm, a dall, trwy gyhoeddi iddynt y cyfryw wirioneddau ag a effeithiant felly arnynt. Cynyrchid yr effeithiau hyny ynddynt gan gyflwr llygredig eu calonau eu hunain, ac nid gan unrhyw dueddiad naturiol yn y gwirionedd ei hun, a llai o lawer trwy unrhyw ddylanwad uniongyrchiol o eiddo Duw na'i broffwyd. Yn ol yr ieithwedd Hebreig, dywedir fod un yn gwneyd yr hyn ag y mae efe yn achlysur iddo gael ei wneyd, pa mor anfwriadol bynag ganddo ef, ïe, er iddo fod yn hollol groes i'w amcan: gwel ar Mat. x. 35, a xiii. 14, 15, Ioan xii. 40. *Rhag iddynt weled â'u llygaid, &c.*—hyny yw, braseir eu calon, trymheir eu clustiau, a chauir eu llygaid trwy eu cyndynrwydd eu hunain dan dy weinidogaeth di, rhag iddynt weled, clywed, na deall; *a dychwelyd*—sef rhag iddynt ddychwelyd oddiwrth eu harferion pechadurus at Dduw; *a'u meddyginiaethu*—rhag iddynt gael eu meddyginiaethu oddiwrth bechod a'i effeithiau angeuol, trwy faddeuant a santeiddhad.

Adn. 11. *Yna y dywedais, Pa hyd, Arglwydd*] Y parha y farn ddychrynllyd hon? *Hyd oni anrheithier y dinasoedd heb drigianydd, &c.*—bydd i'r bobl hyn barhau yn gyndyn a gwrthnysig hyd oni ddelo y Babiloniaid i anrheithio eu dinasoedd a'u tai, a gwneuthur y wlad yn gwbl annghyfanedd.

Adn. 12. *Ac i'r Arglwydd bellhau dynion*] O'u gwlad, trwy beri iddynt gael eu caethgludo i Babilon; *a bod ymadawiad mawr yn nghanol y wlad*—nid yn unig yn neu o'i chyrau eithaf, ond o'i chanol hefyd.

Adn. 13. *Ac eto bydd ynddi ddegwm*] Er yr holl ymadawiad a'r annghyfanedd-dra uchod, yr oedd yr Arglwydd yn bwriadu cadw yn y wlad megys y *ddegfed ran* o'r trigolion, gan feddwl ond odid 'pobl dylodion y wlad,' y rhai a adawyd yno yn 'winllanwyr ac yn arddwyr,' 2 Bren. xxiv. 14, a xxv. 12. *A hi a ddychwel, ac a borir*—y mae rhai yn deall hyn am *ddychweliad* y gaethglud o Babilon, a'u *hysglyfaethiad* eilwaith gan frenhinoedd Syria, ac wedi hyny gan y Rhufeiniaid; ond y mae ereill yn ei ddeall am *ddychweliad* a *dinystr* y gweddill a adewsid yn y wlad, ar ol iddynt ffoi i'r Aifft rhag ofn y Caldeaid, 2 Bren. xxv. 26, Jer. xl—xlv; ac y mae ereill yn ei ddeall am ddychweliad y *tir* i'w ffrwythlondeb arferol, yr hwn a borid eilwaith fel yn y dyddiau gynt. *Fel y llwyfen a'r dderwen*—neu ryw brenau ereill; *y rhai wrth fwrw eu dail y mae sylwedd ynddynt*—y rhai y mae bywyd yn eu gwreiddyn i gynyrchu dail ereill yn eu lle yr haf canlynol: *felly yr had santaidd*—yr ychydig Iuddewon gweddill, *fydd ei sylwedd hi*—fydd bywyd y genedl, oddiwrth ba rai y cyfyd hiliogaeth arall. Fel hyn, er i'r Iuddewon gael eu hymlid a'u dyfetha gan eu gelynion y naill dro ar ol y llall, eto ni lwyr ddiffoddwyd y genedl, eithr cynyddai a thyfai drachefn fel y llwyfen a'r dderwen. Fel hyn y bu ar ol caethiwed Babilon, ac fel hyn y mae heddyw ar ol difrod dychrynllyd y Rhufeiniaid ac ereill. Ond wrth yr *had santaidd* y mae rhai yn deall yr Iuddewon Cristionogol, y rhai yw sylwedd neu atteg y genedl, er mwyn pa rai y maent yn cael eu cadw heb eu llwyr ddiwreiddio oddiar y ddaear. Yr ystyr a ddyry *Kimchi* i'r adnod hon yw, 'y byddai yn y wlad *ddeg brenin* o'r amser y traethwyd y broffwydoliaeth hon, sef Jotham, Ahaz, Hezeciah, Manasseh, Amon, Josiah, Joachaz, Joacim, Joacin, a Zedeciah: wedi hyny y byddai difrod cyffredinol, ac y cludid y bobl i gaethiwed.'

PEN. VII. Adn. 1. *A bu yn nyddiau Ahaz*] Gwel hanes annuwioldeb y brenin hwn yn 2 Cron. xxviii. 1—4; *ddyfod o Resin brenin Syria, a Phecah mab Remaliah, brenin Israel*—ffurfiwyd y cynghrair hwn rhwng Resin a Phecah yn erbyn teyrnas Juda yn nyddiau Jotham, 2 Bren. xv. 37; ond ymddengys na wnaethant gydymosodiad ar Jerusalem hyd y flwyddyn gyntaf neu yr ail o deyrnasiad Ahaz ei fab ef. *Ond ni allodd ei gorchfygu*—yn llwyr, am fod Duw wedi addaw amddiffyn Jerusalem a thŷ Dafydd hyd oni ddeuai y Messia. Er hyny darfu iddynt gaethgludo llawer o Juda i Damascus, a lladd mewn un diwrnod chwech ugain mil, 2 Cron. xxviii. 5, 6.

Adn. 2. *A mynegwyd i dŷ Dafydd*] Sef i'r brenin Ahaz, a'i deulu a'i lyswyr; *Syria*

rael, i fyny *tua* Jerusalem, i ryfela
arni: ond ni allodd ei gorchfygu.
2 A mynegwyd i dŷ Dafydd, gan
ddywedyd, Syria a gydsyniodd âg
Ephraim. A'i galon ef a gyffrôdd,
a chalon ei bobl, megys y cynhyrfa
prenau y coed o flaen y gwynt.
3 Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrth Esay, Dos allan yr awr hon i
gyfarfod Ahaz, ti a Sear-jasub dy
fab, wrth ymyl pistyll y llyn uchaf,
yn mhrif-ffordd maes y panwr:
4 A dywed wrtho, Ymgadw, a
bydd lonydd; nac ofna, ac na fedd-
alhäed dy galon, rhag dwy gloren
y pentewynion myglyd hyn, rhag
angerdd llid Resin a Syria, a mab
Remaliah:
5 Canys Syria, ac Ephraim, a
mab Remaliah, a ymgynghorodd
gynghor drwg yn dy erbyn, gan
ddywedyd,
6 Esgynwn yn erbyn Juda, a
blinwn hi, torwn hi hefyd atom, a
gosodwn frenin yn ei chanol hi;
*sef* mab Tabeal.
7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Ni saif, ac ni bydd *hyn*.
8 Canys pen Syria *yw* Damascus,
a phen Damascus yw Resin; ac o
fewn pum mlynedd a thriugain y
torir Ephraim rhag bod yn bobl.

---

*a gydsyniodd âg Ephraim*—sef â theyrnas y deg llwyth, yr hon yn fynych a elwir *Ephraim*, am mai y llwyth hwnw oedd y lluosocaf a'r cryfaf o honynt. *A'i galon ef a gyffrôdd*—sef calon Ahaz a'i bobl; *megys y cynhyrfa prenau y coed o flaen y gwynt*—pan yn cael eu hysgwyd gan wynt tymhestlog. Yr achos o hyn oedd yr ymwybodolrwydd o'u heuogrwydd dirfawr, trwy yr hyn y fforffetiasant yr amddiffyniad dwyfol; a'r ystyriaeth o luosogrwydd a nerth eu gelynion.

Adn. 3. *Dos allan yr awr hon i gyfarfod Ahaz*] Yma cawn anghraifft hynod o drugaredd ragflaenol Duw i un heb ymofyn âg ef, na cheisio ei gymhorth; ac os ceir Duw fel hyn gan rai nad ydynt yn ymofyn am dano, pa faint mwy y ceir ef gan y rhai a'i ceisiant â'u holl galon! *Ti a Sear-jasub dy fab*—yr hwn yr oedd arwyddocâd ei enw, '*gweddill a ddychwel*,' yn wystl o'r waredigaeth addawedig. *Wrth ymyl pistyll y llyn uchaf*—lle yr aethai Ahaz ond odid i ddiogelu y dwfr a redai oddiyno i'r ddinas, ac i'w attal rhag y gelyn, fel y gwnaeth Hezeciah wedi hyn, 2 Cron. xxxii. 3, 4; *yn mhrif-ffordd maes y panwr*—gwel ar 2 Bren. xviii. 17.

Adn. 4. *A dywed wrtho, Ymgadw, a bydd lonydd*] Ymwrola ac ymdawela o ran dy feddwl; *nac ofna, ac na feddalhäed dy galon*—na chalon dy bobl ychwaith, adn. 2; *rhag dwy gloren*—dwy gynffon neu ddau ben, *y pentewynion myglyd hyn*—y rhai y mae ynddynt fwy o fwg nag o dân, neu fwy o rith nag o nerth, trwy fod eu nerth hwy a'u byddinoedd bron â chael ei ddiffodd, adn. 16. *Rhag angerdd llid Resin a Syria*—y mae 'a Syria' yn cael ei adael allan o'r *Syriaeg;* ac y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, 'Resin *brenin* Syria.' *A mab Remaliah*—felly y gelwir *Pecah*, i arwyddo ei fod ef yn annheilwng o'r enw 'brenin,' gan iddo ddyfod i'r orsedd trwy ladd ei feistr, 2 Bren. xv. 25.

Adn. 5 *Canys Syria, ac Ephraim*] Neu y deg llwyth, adn. 2; *a mab Remaliah*—gwel ar adn. 4; *a ymgynghorodd gynghor drwg yn dy erbyn*—yr hwn a eglurir yn yr adnod nesaf.

Adn. 6. *Esgynwn yn erbyn Juda, a blinwn hi*] Trwy ryfela yn ei herbyn; *torwn hi hefyd atom*—trwy ddarostwng yr holl wlad i ni ein hunain; *a gosodwn frenin yn ei chanol hi*—yn lle Ahaz o dŷ Dafydd, yr hwn a fydd dan deyrnged i frenhinoedd Syria ac Israel; *sef mab Tabeal*—rhyw swyddog milwrol ond odid yn perthyn i'r fyddin gynghreiriol, yn yr hwn yr oedd ganddynt hyder mawr.

Adn. 7. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Yr hwn yw Brenin mawr yr holl frenhinoedd; *Ni saif*—y cynghor drwg hwn; *ac ni bydd hyn*—ni chânt osod eu brenin eu hunain ar y wlad hon.

Adn. 8. *Canys pen Syria yw Damascus, a phen Damascus yw Resin*] Y meddwl yw, Fel mai Damascus yw prifddinas Syria, ac mai Resin yw pen neu frenin Damascus; felly y parhant i fod, heb chwanegu atynt deyrnas Juda, fel y bwriadant wneyd. Cedwir Resin o fewn ei derfynau ei hun, i fod yn ben ar Damascus yn unig. *Ac o fewn pum mlynedd a thriugain y torir Ephraim rhag bod yn bobl*—cyflawnwyd hyn yn gywir yn yr amser a nodir yma; canys o'r amser ag y traethwyd y broffwydoliaeth hon yn nechre teyrnasiad Ahaz, hyd yr amser ag y symudodd Esar-hadon y gweddill o'r deg llwyth i Assyria, y rhai a adewsid ar ol gan Tiglathpileser a Salmaneser, ac y dygwyd yr Assyriaid i ddinasoedd Samaria yn eu lle hwynt, yr oedd 65 mlynedd yn gywir, fel y profwyd yn helaeth gan *Usher*, *Jubb*, ac ereill. Yr oedd Ephraim wedi cael eu tori o fod yn *deyrnas* o'r blaen; eithr yn awr torwyd hwynt o fod yn *bobl*, fel y dywedir yma: gwel ar Ezra iv. 2, 10, 2 Bren. xvii. 3, 24. Gall ymddangos yn hynod fod y proffwyd, yr hwn a ragfynega yma am lwyr ddinystr *Ephraim*, yn myned heibio heb ddywedyd dim am y *Syriaid*. Ond dylid cofio fod y Syriaid yn awr mewn cynghrair âg Ephraim neu Israel, a bod yr hyn a ddywedir am y naill yn cael ei fwriadu hefyd am y lleill; ac felly fod dinystr y ddau, tua'r un amser, yn cael ei arwyddo. Yn wir yr oedd y Syriaid a'r Israeliaid yn byw mor agos i'w gilydd, fel mai prin y gallai byddinoedd estronol ymosod ar y naill, heb iddynt yn gyntaf ddarostwng y llall.

Adn. 9. *Hefyd pen Ephraim yw Samaria*] Yr hon oedd brifddinas y deg llwyth; *a phen*

9 Hefyd pen Ephraim *yw* Samar-
ia, a phen Samaria *yw* mab Remal-
iah. Oni chredwch, diau ni sicr-
heir chwi.
10 ¶ A'r Arglwydd a chwaneg-
odd lefaru wrth Ahaz, gan ddy-
wedyd,
11 Gofyn it' arwydd gan yr Ar-
glwydd dy Dduw; gofyn o'r dyfn-
der, neu o'r uchelder oddiarnodd.
12 Ond Ahaz a ddywedodd, Ni
ofynaf, ac ni themtiaf yr Arglwydd.
13 A dywedodd yntau, Gwran-
dewch yr awr hon, tŷ Dafydd; Ai
bychan genych flino dynion, oni
flinoch hefyd fy Nuw?
14 Am hyny yr Arglwydd ei hun
a ddyry i chwi arwydd; Wele!
morwyn a fydd feichiog, ac a esgor
ar fab, ac a eilw ei enw ef, Im-
manuel.
15 Ymenyn a mêl a fwyty efe,

*Samaria yw mab Remaliah*—sef Pecah, brenin Israel, yr hwn a gedwid o fewn ei derfynau ei hun, heb allu gorchfygu Juda yn ol ei fwriad. Bernir yn gyffredin fod rhanau y ddwy adnod uchod wedi cael eu trawsosod gan ryw adysgrifenydd bore; canys fel ag y safant yn awr, sonir am ddinystr Ephraim cyn son am ei ogoniant. Meddylir eu bod yn sefyll yn wreiddiol yn y drefn hon: 'Canys (neu *er mai)* pen Syria yw Damascus, a phen Damascus yw Resin; (ac *er mai)* pen Ephraim yw Samaria, a phen Samaria yw mab Remaliah; *er hyny* o fewn pum mlynedd a thriugain y torir Ephraim rhag bod yn bobl.' *Oni chredwch*—chwi gwŷr Juda, yr hyn ag yr wyf fi yn awr yn ei ddywedyd wrthych yn enw yr Arglwydd; hyny yw, os bydd i chwi droi at yr Assyriaid am gymhorth, yn lle rhoddi eich ymddiried a'ch hyder yn Nuw; *diau ni sicrheir chwi*—yn eich gwlad, mwy nag Ephraim yn eu gwlad hwythau. Cawn eiriau cyffelyb i'r rhai hyn yn 2 Cron. xx. 20. Y mae y rhan yma o'r ysgrythyr yn derbyn cryn oleuni wrth i ni ystyried i gaethiwed Manasseh brenin Juda gymeryd lle ar yr un pryd a dinystr Israel: gwel Dr. Jubb.

Adn. 10. *A'r Arglwydd a chwanegodd lefaru wrth Ahaz*] Sef trwy enau y proffwyd Esay.

Adn. 11. *Gofyn it' arwydd gan yr Arglwydd dy Dduw*] Sef rhywbeth anarferol a goruwchnaturiol, yr hwn y byddo *hollalluogrwydd* Duw yn ofynol i'w gyflawni, i'r dyben i gadarnhau gwirionedd yr addewid a wnaed yn awr o berthynas i ddiogelwch Judea, Jerusalem, a thŷ Dafydd. *Gofyn o'r dyfnder*—sef am gyflawniad rhyw wyrth ar y ddaear; neu o'r *bedd*, fel y mae y *Vulgate* a rhai o'r tadau yn ei ddeall; neu o *hades*, gororau yr ysbrydion ymadawedig. *Neu o'r uchelder oddiarnodd*—gofyn am ryw wyrth i gymeryd lle yn yr awyr uwchben, neu yn mhlith y ser a'r planedau: gofyn am arwydd lle y mynot, neu o'r fath a fynot. Wrth ddywedyd fel hyn, yr oedd y proffwyd yn awgrymu fod holl naturiaeth dan lywodraeth y Duw hwnw, yr hwn a eilw efe yma yn Dduw Ahaz, am ei fod yn Dduw ei dadau ef, i'r dyben i'w ennill ef i roddi ei gred a'i ymddiried ynddo.

Adn. 12. *Ond Ahaz a ddywedodd, Ni ofynaf*] Am arwydd gan Dduw; *ac ni themtiaf yr Arglwydd*—trwy wneuthur felly. Ond dylasai Ahaz ystyried na fuasai gofyn arwydd yn *demtio* yr Arglwydd, pan yr oedd Duw ei hun wedi peri iddo wneuthur hyny. Ond y gwir reswm am hyn oedd, ei fod ef eisioes wedi prynu brenin Assyria i'w gynorthwyo ef yn erbyn Resin a Phecah: gwel ar 2 Bren. xvi. 7, 8.

Adn. 13. *A dywedodd yntau*] Sef y proffwyd Esay; *Gwrandewch yr awr hon, tŷ Dafydd*—sef Ahaz, a'i dywysogion, a'i lyswyr, y rhai oeddynt gynrychiolwyr tŷ Dafydd. *Ai bychan genych flino dynion*—sef proffwydi a phobl Dduw, trwy eu gorthrymu a'u dirmygu; *oni flinoch hefyd fy Nuw*—trwy anufydd-dod i'w orchymyn, annghrediniaeth o'i air, ac anniolchgarwch iddo?

Adn. 14. *Am hyny yr Arglwydd ei hun a ddyry i chwi arwydd*] Gan na ofyni di am arwydd gwyrthiol o ddiogelwch y wlad, bydd i Dduw roddi arwydd felly i'w bobl heb ei ofyn. Er mai *Adonai* yw y gair a ddefnyddir yma yn y testyn argraffedig, eto y mae 48 o'r ysgrifiyfrau Hebreig yn darllen *Jehofa*, yr hwn yn ddiamau yw yr iawn ddarlleniad. *Wele!*—gair i dynu sylw at bwysigrwydd yr hyn a ddywedir; *morwyn a fydd feichiog, ac a esgor ar fab*—a hyny tra yn *forwyn.* Hyn oedd yr arwydd goruwchnaturiol a gwyrthiol a roddai yr Hollalluog iddynt. Pe mai yr ystyr yw, fel y tybia rhai, fod i ryw un ag ydoedd y pryd hyny yn forwyn, briodi gŵr, a chael mab yn y ffordd gyffredin, ni buasai dim yn hynod yn y dygwyddiad, a buasai yn amgylchiad rhy isel i'w alw yn arwydd neu wyrth oddiwrth Dduw. Gan hyny ymddengys i mi mai cyfeiriad sydd yma yn unig at feichiogiad ac esgoriad y Forwyn Fair; ac felly ei cymhwysir ef gan ddwyfol ysbrydoliaeth yn Mat. i. 23. *Ac a eilw ei enw ef Immanuel*—'yr hyn o'i gyfieithu yw, Duw gyda ni:' gwel ar Mat. i. 23. Yr oedd *morwyn* i esgor ar fab, ac yr oedd y mab hwnw i fod yn *Immanuel*, neu Dduw-dyn; gan hyny nis gall yr ymadrodd hwn fod yn cyfeirio at neb ond *Mair*, a'i *Mab* bendigedig. Ond yma gellir gofyn, 'Pa fodd y gallai hyny fod yn arwydd i Ahaz, yr hyn oedd i gymeryd lle yn mhen mwy na saith gant o flynyddoedd wedi hyn?' Yr wyf yn ateb, mai amcan y proffwyd oedd dangos, nid yn unig y cai Resin a Phecah fod yn aflwyddiannus yn eu hymosodiad yn erbyn brenhiniaeth Juda y *pryd hyny;* ond y cai Juda a thŷ Dafydd, er fod eu gelynion yn lluosog ac yn gryfion, eu cadw a'u diogelu rhag llwyr ddinystr hyd nes y deuai yr amser i *forwyn* esgor ar fab a elwid *Immanuel*, neu hyd nes y byddai i'r Messia

fel y medro ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da.

16 Canys cyn medru o'r bachgen ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da, y gwrthodir y wlad a ffieiddiaist, gan ei dau frenin.

---

ymddangos mewn cnawd; ac felly y bu: gwel ar Mat. i. 23.

Adn. 15. *Ymenyn a mêl a fwyty efe*] Danghosodd *Jarchi* a *Harmer* yn eglur fod 'ymenyn a mêl' yn cael eu hystyried yn *ddanteithion* yn y dwyrain; ac felly arwyddant yma y byddai heddwch gwladol, a digonedd o bob daioni tymhorol, pan enid Crist, Gal. iv. 4. Gall fod yma hefyd gyfeiriad at *ddynoliaeth* Immanuel: er iddo gael ei ymddwyn yn wyrthiol, a'i fod yn meddu natur *ddwyfol*, eto fod ganddo natur *ddynol*, yr hon a fyddai mewn angen am ymborth i'w chynal fel plant yn gyffredin, trwy yr hwn y cynyddai efe o fod yn faban i fod yn ddyn. *Fel y medro*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, '*hyd oni* fedro;' hyny yw, ymenyn a mêl a fwyty efe, *hyd oni* byddo ei synwyrau wedi eu dadlenu trwy dyfiant, Luc ii. 40. Neu, yn fwy priodol, fel y mae yr *Esgob Lowth* yn ei gyfieithu, '*pan* y medro;' hyny yw, ar ol i'w gyneddfau dynol ymagor, ac iddo yntau gyraedd addfedrwydd oedran a synwyr, bydd y wlad mewn cyflwr o heddwch a llwyddiant, ac heb gael ei blino gan unrhyw un o'i gelynion presenol, ac yn gallu cynyrchu digonedd o ymborth i gynal ei holl drigolion. *Ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da*—hyny yw, 'ymenyn a mêl a fwyty efe, *pan* y medro ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da.' Fel pe dywedasai, Er i'r wlad gael ei blino cyn hyny, eto, pan y byddo efe wedi tyfu i oedran a synwyr, bydd i heddwch, llwyddiant, a phob digonoldeb, ffynu yn y wlad. Os yw y darn cyntaf o'r adnod hon yn cyfeirio at natur *ddynol* Crist, gall fod y darn olaf yn cyfeirio at ei natur *ddwyfol* ef, trwy yr hon y medrai efe 'ymwrthod â'r drwg ac ethol y da,' yr hyn ni fedr un dyn ei wneuthur o hono ei hun.

Adn. 16. *Canys cyn medru o'r bachgen ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da*] Hyny yw, cyn ei ddyfod i gyflwr o addfedrwydd rheswm ar ol ei eni, neu cyn ei fod yn deirblwydd oed; *y gwrthodir y wlad a ffieiddiaist*—sef unol wlad Israel a Syria, yr hon a ffieiddiai Ahaz ar gyfrif eu cydfwriad gwaedlyd yn ei erbyn ef; *gan ei dau frenin*—sef Resin brenin Syria, a Phecah brenin Israel. Wrth *wrthod* y wlad gan y brenhinoedd hyn, y dealla rhai eu *lladd* hwynt ill dau, yr hyn a wnaed cyn pen y ddwy flynedd wedi hyn, fel y gwelir wrth gydmharu 2 Bren. xv. 27, 30, â xvi. 1, 9. Ond y mae rhai yn cyfieithu yr adnod hon fel hyn: 'Canys cyn y dysgo y bachgen wrthod y drwg ac ethol y da, anrheithir y wlad, yr hon yr wyt ti yn ofni rhag ei dau frenin.' Ond yma gellir gofyn, 'Pwy a feddylir wrth y *bachgen* yn yr adnod hon?' Y mae tri golygiad ar hyn: I. Tybia *Vitringa* ac ereill, mai yr un ydyw a'r *mab* ag y cyfeirir ato yn adn. 14, 15; a bod y proffwyd yma yn cael ei gario o ran ei feddwl i edrych ar *Immanuel* fel wedi ei ymddwyn eisioes yn mru y forwyn, ac i gael ei eni yn ebrwydd, yn arwydd o waredigaeth i bobl Dduw; ac na byddai i ddim mwy o amser basio cyn y dinystrid Resin a Phecah, nag a ydoedd i gymeryd lle rhwng genedigaeth y bachgen a'i addfedrwydd i allu gwahaniaethu rhwng drwg a da: gwel ar pen. viii. 4. II. Tybia yr *Archesgob Usher*, *Poole*, *Henry*, *Kennicott*, ac amrai esbonwyr enwog ereill, fod genym broffwydoliaeth ddeublyg yn yr adnodau hyn; y rhan flaenaf yn gynwysedig yn adn. 14, 15, ac yn cyfeirio at y MESSIA; a'r rhan olaf yn gynwysedig yn adn. 16, ac yn cyfeirio at SEAR-JASUB, mab Esay. 'Fod adn. 16,' ebai *Dr. Kennicott*, 'yn cynwys proffwydoliaeth wahanol, a ymddengys oddiwrth hyn: (1) Profwyd fod y geiriau yn adn. 14, 15, yn cael eu cyfyngu at y Messia, yr hwn yr oedd ei enedigaeth i gymeryd lle yn mhen mwy na 700 o flynyddoedd ar ol hyny; tra y mae y geiriau yn adn. 16 yn cael eu cyfyngu at ryw fachgen nad oedd i gyraedd oedran synwyr cyn i'r brenhinoedd a ddeuent y pryd hyny yn erbyn Jerusalem gael eu hunain eu tori ymaith, (2) Yr oedd rhyw ddyben yn ddiamau i gael ei ateb trwy bresenoldeb mab Esay, yr hwn y gorchymynasai Duw iddo ei gymeryd gydag ef i gyfarfod âg Ahaz, adn. 3; ac eto nid ymddengys i un defnydd gael ei wneyd o'r mab hwnw, os na chyfeirir ato yn y frawddeg hon. (3) Y mae y proffwydoliaethau hyn yn cael eu gwahaniaethu yn amlwg wrth gael eu cyfeirio at wahanol bersonau. Cyfeiriwyd y flaenaf at *dŷ Dafydd*, er cysur i'r duwiolion yn gyffredinol; gan ei bod yn sicrhau iddynt nid yn unig gadwraeth y tŷ hwnw, ond hefyd ffyddlondeb Duw i'w addewid fawr: tra y mae yr ail yn cael ei chyfeirio at y *brenin* yn neillduol, gan raghysbysu iddo ddinystr ebrwydd y ddau frenin, ei elynion ef.' Y mae *Dr. Doddridge*, yr hwn hefyd a dybia fod yr adnod hon yn cyfeirio at SEAR-JASUB, gan gydfarnu â *Dr. Kennicott* i Esay gael gorchymyn i'w gymeryd ef yn ei law i'r dyben i ddywedyd rhywbeth hynod am dano, yn egluro ystyr cyffredin yr adnodau hyn fel y canlyn: 'Ti a ddigiaist Dduw trwy wrthod arwydd yn awr; er hyny bydd i'w drugaredd odidog ef wneuthur eich gwaredigaeth fforffetiedig bresenol (trwy farwolaeth y brenhinoedd cynghreiriol hyn, yr hyn a ddygwydd cyn i'r *bachgen hwn* yn fy llaw dyfu i fyny i'r ymarferiad o reswm) yn arwydd o waredigaeth lawer ardderchocach trwy y Messia, yr hwn a enir o forwyn bur, ac a ymostwng i fyned trwy gyflwr tyner babandod fel plant ereill.' III. Ond tybia *Barnes* ac ereill, fod y geiriau hyn oll, yn eu hystyr cyntefig, yn cyfeirio at ryw un ag ydoedd y pryd hyny yn forwyn, ond wedi hyny a briodai, ac a gai fab; a chyn i'r mab hwnw dyfu i oedran a synwyr, y byddai i'r ddau frenin gelyniaethus hyny, Resin a Phecah, gael eu tori ymaith: ac mai mewn ail ystyr, neu ystyr *cyfaddasol* yn unig, y cyfeirir hwynt at enedigaeth Crist. Ond yr wyf fi yn meddwl

17 ¶ Yr Arglwydd a ddwg arnat
ti, ac ar dy bobl, ac ar dŷ dy dadau,
ddyddiau ni ddaethant er y dydd yr
ymadawodd Ephraim oddiwrth Ju-
da, *sef* brenin Assyria.
18 A bydd yn y dydd hwnw, i'r
Arglwydd chwibanu am y gwybed-
yn *sydd* yn eithaf afonydd yr Aifft,
ac am y wenynen *sydd* yn nhir As-
syria:
19 A hwy a ddeuant, ac a or-
phwysant oll yn y dyffrynoedd an-
nghyfaneddol, ac yn nghromlech-
ydd y creigiau, ac yn yr ysbyddaid
oll, ac yn y perthi oll.
20 Yn y dydd hwnw yr eillia yr
Arglwydd â'r ellyn a gyflogir, *sef*
â'r rhai o'r tuhwnt i'r afon, *sef* â
brenin Assyria, y pen, a blew y
traed; a'r farf hefyd a ddifa efe.
21 A bydd yn y dydd hwnw, i ŵr
fagu anneir-fuwch, a dwy ddafad.
22 Bydd hefyd o amlder y llaeth
a roddant, iddo fwyta ymenyn;
canys ymenyn a mêl a fwyty pawb
a adewir o fewn y tir.
23 A bydd y dydd hwnw, fod
pob lle yr hwn y bu ynddo fil o
winwydd *er* mil o arian *bathol*, yn
fieri ac yn ddrain y bydd.
24 A saethau ac â bwäau y daw
yno: canys yn fieri ac yn ddrain y
bydd yr holl wlad.

---

fod digon wedi ei ddywedyd eisioes i wrthbrofi y golygiad diweddaf hwn.

Adn. 17. *Yr Arglwydd a ddwg arnat ti*] Fel pe dywedasai, Er y bydd i Dduw, er mwyn ei enw ei hun, dy achub di a'th deyrnas yn awr rhag cael eich llwyr ddyfetha gan Resin a Phecah; eto y mae ganddo ef farn drom yn ystôr i'w thywallt arnat ti a'th bobl am eich drygioni; *ac ar dŷ dy dadau*—dy feibion, a'th olynwyr yn y frenhiniaeth; *ddyddiau ni ddaethant*—sef dyddiau o adfyd na bu eu cyffelyb, *er y dydd yr ymadawodd Ephraim*—sef y deg llwyth, *oddiwrth Juda*—a Benjamin; *sef brenin Assyria*—yn nghyda'r Aifftiaid a grybwyllir yn yr adnod nesaf. Syrthiodd rhan o'r adfyd hwn oddiwrth frenin Assyria yn nyddiau Ahaz, 2 Cron. xxviii. 20, pryd y dechreuodd efe fedi ffrwyth chwerw ei ymddiriediad yn mrenin Assyria, yn lle yn Arglwydd y lluoedd: gwel ar 2 Cron. xxxii. 1, &c., a xxxvi. 10, &c.

Adn. 18. *A bydd yn y dydd hwnw*] A grybwyllwyd adn. 17; *i'r Arglwydd chwibanu*—gwel ar pen. v. 26; *am y gwybedyn*—neu 'am y gwybed,' sef byddin yr Aifftiaid, y rhai a elwir yn *wybed*, i arwyddo eu nifer mawr, a chyflymdra eu symudiad; *sydd yn eithaf afonydd yr Aifft*—sef yn saith ffrwd y Nilus, y rhai a ymarlloesant i Fôr-y-canoldir; *ac am y wenynen sydd yn nhir Assyria*—sef eu byddin filwraidd, yr hon a gyffelybir i *wenyn* ar gyfrif eu lluosogrwydd, eu symudiad rheolaidd, a'u heffeithiau niweidiol. Cyflawnwyd hyn yn ymosodiad olynol Pharao-Necho, Esar-hadon, a Nebuchodonosor: gwel ar 2 Cron. xxxvi. 7—21, Esay xxxvi a xxxvii. Jer. xlvi. 1—10.

Adn. 19. *A hwy a ddeuant, ac a orphwysant oll*] Ar ol cael buddugoliaeth hawdd; *yn y dyffrynoedd annghyfaneddol*—y rhai er hyny sydd leoedd ffrwythlon; *ac yn nghromlechydd y creigiau*—Saes., 'yn *nhyllau* y creigiau;' *ac yn yr ysbyddaid oll*—Saes., 'ar y *drain* oll;' *ac yn y perthi oll*—ar bob math o lwyni neu goed. Enwir y rhai hyn oll, am fod gwybed a gwenyn yn arferol o ddisgyn arnynt.

Adn. 20. *Yn y dydd hwnw yr eillia yr Arglwydd*] Neu y llwyr ddifa efe, fel y mae eillio yn difa y blew; *â'r ellyn a gyflogir*—neu a gyflogwyd gan Ahaz, yr hwn a brynodd gymhorth yr Assyriaid â swm mawr o arian ac aur, 2 Bren. xvi. 8; *sef â'r rhai o'r tuhwnt i'r afon*—sef yr afon Euphrates, tuhwnt i ba un y gorweddai Assyria; *sef â brenin Assyria*—neu frenhinoedd olynol yr amherodraeth hòno; *y pen, a blew y traed, a'r farf*—defnyddir yr ymadroddion dammegol hyn i osod allan lwyr ddinystr y wlad o ben bwygilydd. Wrth y *pen*, neu wallt y pen, y golygir y dynion uwchaf yn y llywodraeth; wrth *flew y traed*, neu ranau isaf y corff, y meddylir y bobl gyffredin; ac wrth y *farf* y deallir ond odid yr offeiriaid.

Adn. 21. *A bydd yn y dydd hwnw*] Sef yn yr amser adfydus a nodwyd uchod; *i ŵr fagu anneir-fuwch, a dwy ddafad*—ar y rhai yr ymddibyna efe am ei gynaliaeth ei hun a'i deulu. Ni byddai chwaneg i'w magu y pryd hyny, o herwydd eu difa mor ddiweddar gan y gelynion; ac ni byddai eisiau chwaneg at gynaliaeth yr ychydig drigolion a adewsid ar ol.

Adn. 22. *Bydd hefyd o amlder y llaeth a roddant*] Canys rhoddant lawer o laeth, trwy fod yr holl wlad o'u blaen yn borfa rydd iddynt; *iddo fwyta ymenyn*—hyny yw, efe a gaiff ddigon o ymenyn oddiar y fath borfa fras ac eang; ac efe a gaiff ei fwyta ei hun, trwy na fydd yno neb i'w brynu: *canys ymenyn a mêl a fwyty pawb*—bydd i bob teulu gweddilledig o fewn y tir fyw yn unig ar gynyrch natur, heb lafurio y ddaear i godi bara.

Adn. 23. *A bydd y dydd hwnw fod pob lle*] Neu bob gwinllan lle yr oedd mil o winwydd yn tyfu ynddi; *er mil o arian bathol*—hyny yw, yr hon a rentid allan yn flynyddol am fil o siclau arian, neu am 2*s.* 6*c.* y pren, yr hyn a gyrhaeddai i £125 o'n harian ni, Can. viii. 12; *yn fieri ac yn ddrain y bydd*—o ddiffyg dynion yn y wlad i'w thrin.

Adn. 24. *A saethau ac â bwäau y daw yno*] Nid â neb i'r winllan hòno mwyach, nac yn wir i un ran arall o'r wlad, heb fod ganddo

25 Eithr yr holl fynyddoedd y
rhai a geibir â cheibiau, ni ddaw
yno ofn mieri na drain; ond bydd yn
hebryngfa gwartheg, ac yn sathrfa
defaid.

## PENNOD VIII.

A'R Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Cymer it' rôl fawr, ac ysgrifena arni â phin dyn, am Maher-shalal-hash-baz.
2 A chymerais yn dystiolaeth i
mi dystion ffyddlon, Uriah yr offeir-
iad, a Zechariah mab Jeberechiah.
3 A mi a neseais at y broffwydes;
a hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar
fab. Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Galw ei enw ef Maher-
shalal-hash-baz.
4 Canys cyn y medro y bachgen
alw, Fy nhad, neu, Fy mam, golud
Damascus ac yspail Samaria a ddyg-
ir ymaith o flaen brenin Assyria.
5 ¶ A chwanegodd yr Arglwydd
lefaru wrthyf drachefn, gan ddy-
wedyd,
6 O herwydd i'r bobl hyn wrthod
dyfroedd Siloah, y rhai sydd yn
cerdded yn araf, *a chymeryd* llawen-
ydd o Resin, a mab Remaliah:

---

arfau angeuol yn ei law, naill ai i'w amddiffyn ei hun rhag y bwystfilod a lochesant yno, neu i ladd rhai o'r creaduriaid yn fwyd iddo ei hun a'i deulu: *canys yn fieri ac yn ddrain y bydd yr holl wlad*—yn gystal a'r gwinllanoedd. Diamau fod hwn yn ddarluniad cywir o holl wlad Judea yn ystod caethiwed Babilon.

Adn. 25. *Eithr yr holl fynyddoedd y rhai a geibir â cheibiau*] Sef y gwinllanoedd ar ochr y bryniau, y rhai a geibid gynt, pen. v. 1; *ni ddaw yno ofn mieri a drain*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'ni ddeui yno rhag ofn mieri a drain;' *ond bydd yn hebryngfa gwartheg, ac yn sathrfa defaid*—bydd pob gardd, gwinllan, a chae yn un anialwch agored, heb glawdd o'i ddeutu i gadw ymaith anifeiliaid y maes. Tybia rhai mai addewid o amser gwell, ar ol yr annghyfanedd-dra blaenorol, yw y geiriau hyn, pryd y ceibid yr holl fynyddoedd, heb ofn i fieri na drain dyfu arnynt; ac y byddent oll naill ai yn dwyn ŷd, neu yn borfa i wartheg a defaid. Eithr yr ystyr a roddwyd uchod sydd fwyaf cyson â'r cyd-destyn.

PEN. VIII. Adn. 1. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrthyf*] Yn mhellach ar y pen hwn; *Cymer it' rôl fawr*—neu lafn gloew mawr o fettel, fel yr arwydda y gair; *ac ysgrifena arni â phin dyn*—neu 'â chŷn cerfio,' y fath ag a ddefnyddid gan ddyn; *am Maher-shalal-hash-baz*—sef am yr hyn a arwyddid trwy yr *enw* hwnw, yr hwn a roddwyd wedi hyn i fab y proffwyd, adn. 3. Gan fod yn arferiad rhoddi teitl arwyddocaol yn nechre llyfr, felly y teitl ag yr oedd y proffwyd i'w ddefnyddio oedd *Maher-shalal-hash-baz*, yr hwn a arwydda, 'Brysia i'r yspail, prysura i'r anrhaith;' hyny yw, ysgrifena am yr hyn ag y mae Duw yn prysuro i'w wneuthur, sef rhoddi Syria ac Israel yn ysglyfaeth i'r Assyriaid, adn. 4, os nid gwŷr Juda hefyd, adn. 6, &c. Y mae yr enw uchod yn cynwys ailadroddiad o'r un meddylddrych; hyny yw, y mae *hash-baz* o'r un arwyddocâd a *maher-shalal;* ac fe'i hailadroddir i roddi pwys arno, ac i dynu sylw ato.

Adn. 2. *A chymerais yn dystiolaeth i mi dystion ffyddlon*] I'w weled ef yn ysgrifenu yn ol gorchymyn Duw, ac i fod yn dystion o hyny mewn amser dyfodol; fel, pan gyflawnid y broffwydoliaeth, y gwybyddid ei fod ef wedi rhagfynegu y dygwyddiad. *Uriah yr offeiriad*—yr hwn a grybwyllir 2 Bren. xvi. 10—16; *a Zechariah*—sef tad-yn-nghyfraith Ahaz ond odid, 2 Bren. xviii. 2. Nis gallai ef fod y Zechariah a grybwyllir 2 Cron. xxix. 13, fel y tybia *Barnes;* canys tad hwnw oedd Asaph, tra yr oedd hwn yn fab i Jeberechiah. Gan fod y naill yn offeiriad, a'r llall yn dad i wraig y brenin, yr oedd y ddau hyn yn addas iawn i fod yn dystion ar yr achos hwn.

Adn. 3. *A mi a neseais at y broffwydes*] Sef at ei wraig ei hun, yr hon a elwir yn 'broffwydes,' am ei bod yn wraig i broffwyd; er y tybia rhai fod ysbryd proffwydoliaeth wedi syrthio arni hithau hefyd. *A hi a feichiogodd, ac a esgorodd ar fab*—yn yr amser dyladwy. *Galw ei enw ef Maher-shalal-hash-baz*—fel y byddo i'w enw, bob tro y gelwid neu y traethid ef, fod yn goffadwriaeth o'r barnedigaethau nesaol: gwel ar adn. 1.

Adn. 4. *Canys cyn y medro y bachgen alw, Fy nhad, neu, Fy mam*] Hyny yw, cyn y medro siared y geiriau cyntaf a ddysgir gan blant. Yr oedd *Sear-jasub* yn hynach na hwn; ac am hyny dywedir am dano ef, 'Cyn medru o hono ymwrthod â'r drwg, ac ethol y da,' pen. vii. 16, yr hyn a ofynai radd uwch o oedran a gwybodaeth. Ond yr oedd amser y dinystr yn awr yn nesâu yn gyflym, ac am hyny defnyddir ymadroddion yma i arwyddo hyny. *Golud Damascus ac yspail Samaria*—dwy brifddinas Syria ac Israel yn cael eu henwi am y ddwy deyrnas hyny, pen. vii. 8, 9; *a ddygir ymaith o flaen brenin Assyria*—yr hyn a ddechreuodd gael ei gyflawni yn fuan wedi hyn gan Tiglath-pileser brenin Assyria, fel y dysgwn oddiwrth 2 Bren. xv. 29, a xvi. 9, 1 Cron. v. 26.

Adn. 5. *A chwanegodd yr Arglwydd lefaru wrthyf drachefn*] Nid yn unig am Israel, ond am Juda hefyd, gan gadarnhau yr hyn a fynegwyd yn pen. vii. 17, &c.

Adn 6. *O herwydd i'r bobl hyn*] Sef pobl Israel, fel y tybia rhai; tra y tybia ereill ei fod yn golygu rhai o bobl anfoddlon Juda, os nid hwy yn unig; *wrthod dyfroedd Siloah,*

7 Am hyny wele, mae yr Ar-
glwydd yn dwyn arnynt ddyfroedd
yr afon, yn gryfion ac yn fawrion,
*sef* brenin Assyria, a'i holl ogon-
iant; ac efe a esgyn ar ei holl afon-
ydd, ac ar ei holl geulenydd ef.
8 Ie, trwy Juda y treiddia efe:
efe a lifa, ac a â drosodd, efe a gyr-
aedd hyd y gwddf; ac estyniad ei
adenydd ef fydd llonaid lled dy dir
di, O Immanuel.
9 ¶ Ymgyfeillechwch, bobloedd,
a chwi a ddryllir: gwrandewch, holl
belledigion y gwledydd; ymwreg-
yswch, a chwi a ddryllir; ymwreg-
yswch, a chwi a ddryllir.
10 Ymgynghorwch gynghor, ac
fe a ddiddymir; dywedwch y gair,
ac ni saif: canys *y mae* Duw gyda
ni.
•11 ¶ Canys fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd wrthyf â llaw gref, ac
efe a'm dysgodd na rodiwn yn ffordd
y bobl hyn, gan ddywedyd,

---

*y rhai sydd yn cerdded yn araf*—sef dyfroedd llyn Siloam, Ioan ix. 7, y rhai a wrthgyferbynir yma i ddyfroedd gwylltion a chryfion yr Euphrates, y rhai a arddanghosant amherodraeth Assyria; *a chymeryd llawenydd o Resin, a mab Remaliah*—neu ymhyfrydu yn mhrenhinoedd Syria a Samaria. Wrth *ddyfroedd Siloah*, y rhai a gerddent yn *araf*, y golygir llywodraeth dyner tŷ Dafydd, a'r amddiffyniad dwyfol a addewsid iddi, yr hon yr oedd deg llwyth Israel wedi ei gwrthod, trwy osod Pecah mab Remaliah yn frenin arnynt, a cheisio cymhorth Resin brenin Syria; ac yr oedd y ddau lwyth ereill, sef teyrnas Juda, yn awr yn gwrthod cymhorth Jehofa, trwy geisio ymgyfathrachu â brenin Assyria, yr hwn a osodir allan yn brydferth yn yr adnodau nesaf dan y gyffelybiaeth o'r afon Euphrates. Er nas gellir dywedyd fod teyrnas Juda yn gyffredinol yn ymlawenychu yn Resin a mab Remaliah, eto gall fod plaid gref o wŷr Juda yn gwneuthur hyny, gan chwennych gwrthod eu cyfiawn frenin eu hunain, a llywodraeth a chrefydd eu gwlad, a throi at Israel a Syria eilunaddolgar.

Adn. 7. *Am hyny wele, mae yr Arglwydd yn dwyn arnynt ddyfroedd yr afon*] Sef byddinoedd brenin Assyria, y rhai a gyffelybir yma i ddyfroedd gwylltion yr Euphrates, am eu bod yn rhedeg yn gryfion a chyflym; *sef brenin Assyria, a'i holl ogoniant*—sef ei holl nerth milwraidd, yr hwn oedd gogoniant y wlad hòno: *ac efe a esgyn ar ei holl afonydd*—a orlenwa ei holl gamlasau ei hun; *ac ar ei holl geulenydd ef*—hyny yw, bydd i'r afon fawr hon lenwi ei gwely priodol ei hun, a gorlifo dros ei holl geulenydd, a rhedeg allan dros holl wlad Syria ac Israel, fel y gorlifa afon dros y maesydd cymydogaethol.

Adn. 8. *Ie, trwy Juda y treiddia efe*] Ar ol gorlifo dros wlad Israel, efe a ruthra hefyd ar wlad Juda; ac felly y gwnaeth Senacherib yn mhen ychydig flynyddau ar ol gorchfygu Samaria gan Salmaneser, 2 Bren. xviii. 9, 13. *Ac efe a gyraedd hyd y gwddf*—fel llifeiriant yn dyrchafu hyd wddf y dyn a fyddo ynddo, yr hwn nad all ond prin achub ei fywyd. Yma cyffelybir gwlad Juda i gorff dyn, a'r llifeiriant o'i amgylch wedi ymgodi hyd ei wddf; ac y mae yn debyg mai Jerusalem, y brifddinas, oedd y *pen* ar y gwddf hwnw, yr hon a barhâai fyth heb ei gorchuddio gan fyddin Senacherib: gwel ar 2 Bren. xix. 32—36. *Ac estyniad ei adenydd ef*—neu ei gatrodau milwraidd, y rhai fyth a elwir yn 'adenydd;' *fydd llonaid lled dy dir di, O Immanuel*—sef llonaid gwlad Juda, yr hon a elwir yn 'dir Immanuel,' am mai yno y genid ef, y gweinidogaethai, ac y byddai farw: gwel ar pen. vii. 14. Y mae y proffwyd yn cyfeirio y geiriau hyn at *Immanuel*, er cysur i bobl Dduw, ac i sicrhau iddynt, er trymed y ffrewyll hon, y gwnai Duw wahaniaeth rhwng Israel a Juda; hyny yw, tra y torid Israel ymaith gan yr Assyriaid o fod yn bobl, y diogelid gwlad Juda er mwyn y Messia, i fod yn le ei enedigaeth a'i weinidogaeth ef: gwel ar Gen. xlix. 10.

Adn. 9. *Ymgyfeillechwch, bobloedd*] Ymgynghreirwch â'ch gilydd faint a fynoch, O Syriaid ac Israeliaid; *a chwi a ddryllir*—bydd i'ch ymosodiad yn erbyn tŷ Dafydd a theyrnas Juda fod yn aflwyddiannus, a therfynu yn eich dinystr eich hunain. *Gwrandewch, holl belledigion y gwledydd*—sef yr Assyriaid, a'r llywodraethau ereill ag oeddynt mewn cynghrair â hwynt. *Ymwregyswch*—i ryfel yn erbyn Juda a thŷ Dafydd; *a chwi a ddryllir*—sef chwi eich hunain. Y mae y proffwyd yn adrodd hyn deirgwaith, i sicrhau y peth yn fwy. Darfu i'r crybwylliad am *Immanuel* yn yr adnod flaenorol, a'r rhagolwg ar sicrwydd ei enedigaeth ef yn nhir Juda yn nghyflawnder yr amser, wroli ysbryd y proffwyd i'r fath raddau, nes y mae efe yn herio holl elynion pobl Dduw i wneyd eu gwaethaf yn eu herbyn hwy, gan y byddai i hyny droi allan yn y diwedd er dinystr iddynt hwy eu hunain.

Adn. 10. *Ymgynghorwch gynghor*] Yn erbyn Juda a thŷ Dafydd; *ac fe a ddiddymir*—gan allu a daioni Duw: *dywedwch y gair*—cyhoeddwch y cynghor hwnw yn erbyn Jerusalem a'r bobl ffyddlon o'i mewn; *ac ni saif*—ni fydd grym ynddo, neu ni ellwch ei ddwyn i ben, am y rheswm a enwir yn y geiriau nesaf: *canys y mae Duw gyda ni*—Hebr., 'o herwydd Immanuel.' Addewid Duw y byddai i *forwyn* esgor ar Fab, a'r Mab hwnw yn *Immanuel*, 'Duw gyda ni,' oedd gobaith a chysur y proffwyd yn ngwyneb holl ymgynghoriadau y gelynion.

Adn. 11. *Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf â llaw gref*] Neu trwy rymus ddylanwad ysbryd proffwydoliaeth; *ac efe a'm dysgodd na rodiwn yn ffordd y bobl hyn*—sef yn ffordd ofnus, annuwiol, neu eilunaddolgar rhai o bobl Juda; neu, efe a'm dysgodd na chydymffurfiwn âg amcan Ahaz

12 Na ddywedwch, Cydfwriad,
wrth y rhai oll y dywedo y bobl hyn,
Cydfwriad: nac ofnwch chwaith eu
hofn hwynt, ac na arswydwch.
13 Arglwydd y lluoedd ei hun a
santeiddiwch; a *bydded* efe yn ofn
i chwi, a *bydded* efe yn arswyd i
chwi:
14 Ac efe a fydd yn noddfa; ond
yn faen tramgwydd ac yn graig
rhwystr i ddau dŷ Israel, yn fagl ac
yn rhwyd i breswylwyr Jerusalem.
15 A llawer yn eu mysg a dram-
gwyddant, ac a syrthiant, ac a
ddryllir, ac a rwydir, ac a ddelir.
16 Rhwym y dystiolaeth, selia y
gyfraith yn mhlith fy nysgyblion.
17 A minau a ddysgwyliaf am yr
Arglwydd sydd yn cuddio ei wyneb
oddiwrth dŷ Jacob, ac a wyliaf am
dano.
18 Wele fi, a'r plant a roddes yr
Arglwydd i mi, yn arwyddion ac
yn rhyfeddodau yn Israel; oddi-
wrth Arglwydd y lluoedd, yr hwn
sydd yn trigo yn mynydd Seion.

---

a'i bobl o alw i mewn gymhorth yr Assyriaid yn erbyn Resin a Phecah, brenhinoedd Syria ac Israel.

Adn. 12. *Na ddywedwch, Cydfwriad, wrth y rhai oll y dywedo y bobl hyn, Cydfwriad*] Yr oedd llawer o bobl Juda yn ofni cydfwriad Syria ac Israel yn eu herbyn hwynt, yn llawer mwy nag a fuasai raid iddynt pe ymddiriedasent yn fwy yn yr Arglwydd; ac yr oedd y rhai ofnus hyny yn dychrynu ereill trwy son wrthynt am y cydfwriad hwnw: ac yma gorchymynai yr Arglwydd i'r proffwyd, a'r rhai oedd gydag ef, na sonient hwy am y cydfwriad hwnw wrth y rhai ag y soniai ereill wrthynt am dano. *Nac ofnwch chwaith eu hofn hwynt, ac na arswydwch*—eithr yn hytrach, cofiwch fod Duw gyda chwi, adn. 10. Neu gall mai yr ystyr yw, Na foed i chwi ymuno â'r rhai a waeddant am gydymgyngbreiriad â'r Assyriaid, trwy annghredu addewid Duw o'ch achub o law Syria ac Israel. Ond yn lle *kesher*, 'cydfwriad,' y mae un ysgriflyfr Hebreig yn darllen *kadosh*, 'santaidd yw;' yr hyn a arweiniodd rai i feddwl mai ystyr yr adnod dywell hon yw, 'Na alwch chwi eilunod y cenhedloedd hyn yn *santaidd;* ac nac ofnwch chwi wrthddrychau eu hofn (neu eu haddoliad) hwy:' gwel *Lowth, Secker, &c.* Rhaid addef fod yr ystyr hwn yn cysoni yn dda â'r adnod nesaf, er na dderbynir ef gan nemawr.

Adn. 13. *Arglwydd y lluoedd ei hun a santeiddiwch*] Trwy ymddiried yn ei addewidion ef am waredigaeth; *a bydded efe yn ofn i chwi*—neu yn wrthddrych eich addoliad; *a bydded efe yn arswyd i chwi*—yn hytrach na brenhinoedd Syria ac Israel.

Adn. 14. *Ac efe a fydd yn noddfa*] I chwi rhag eich gelynion, os bydd i chwi ei santeiddio ef yn eich calonau, gan ei ofni ef yn unig. Byddai felly iddynt mewn ystyr tymhorol ac ysbrydol. *Ond yn faen tramgwydd ac yn graig rhwystr*—sef yn achlysur o gwymp a dinystr, *i ddau dŷ Israel*—i'r rhai anufydd a drwg yn nheyrnas y deg llwyth, ac yn nheyrnas Juda; *yn fagl ac yn rhwyd i breswylwyr Jerusalem*—sef i'r rhai digred ac annuwiol yno, a hyny ar yr un pryd ag y byddai yn noddfa i'r lleill. Cyflawnwyd hyn yn hynod yn amser dinystr olaf Jerusalem gan y Rhufeiniaid: gwel ar Mat. xxiv. 13, 16, &c. Y mae llawer o'r hen esbonwyr Iuddewig yn cymhwyso y geiriau hyn at y MESSIA; ac felly hefyd y gwna ysgrifenwyr y Testament Newydd, Rhuf. ix. 33, 1 Pedr ii. 8.

Adn. 15. *A llawer yn eu mysg*] Nid pawb, canys bydd i weddill ddianc, pen. iv. 2, a vi. 13; *a dramgwyddant*—wrth y maen tramgwydd a'r graig rhwystr uchod; *ac a ddryllir, ac a rwydir, ac a ddelir*—felly lladdwyd llawer, a daliwyd a chaethgludwyd y lleill yn amser yr Assyriaid, y Caldeaid, a'r Rhufeiniaid.

Adn. 16. *Rhwym y dystiolaeth, selia y gyfraith*] Fe allai fod hyn yn arwyddo, cadw y proffwydoliaethau uchod rhag myned ar goll; neu ynte, eu bod yn gauedig eto oddiwrth ddeall y bobl, gan eu bod yn rhagfynegiadau o bethau i ddyfod, ac mewn ymadroddion allegawl ac aneglur. *Yn mhlith fy nysgyblion*—dywed yr Iuddewon fod y gyfrol, pan y gorphenid hi gan y proffwyd, yn cael ei rhoddi i'w ddysgyblion ef, neu i'r rhai a *ddysgid* ganddo, i'w chadw yn ddiogel. Gall fod yma gyfeiriad at y duwiolion yn mhlith y bobl, y rhai a gaent ddeall y rhan yma o'r ysgrythyr yn well rhagllaw.

Adn. 17. *A minau a ddysgwyliaf am yr Arglwydd*] Sef am ei ddychweliad ef atynt i drugarhau wrthynt; neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, am gyflawniad o'i addewid ef yn anfoniad y Messia: *sydd yn cuddio ei wyneb oddiwrth dŷ Jacob*—yr hwn sydd yn awr yn tynu oddiwrth ei bobl ei wenau a'i amddiffyniad grasol: *ac a wyliaf am dano*—â llygad ffydd.

Adn. 18. *Wele fi, a'r plant a roddes yr Arglwydd i mi*] Llefarwyd y geiriau hyn yn llythyrenol gan Esay am dano ei hun a'i feibion, ond yn gyfriniol am Grist a'i bobl, o'r hwn yr oedd y proffwyd yn gysgod; ac am hyny cymhwyswyd hwynt gan yr apostol yn briodol at Grist, Heb. ii. 13. *Yn arwyddion ac yn rhyfeddodau yn Israel*—yr oedd enw y proffwyd ei hun yn arwyddo 'iachawdwriaeth Jehofa,' fel y nodwyd yn y rhagarweiniad; ac yr oedd enwau ei ddau fab ef yn arwyddo 'gweddill a ddychwel,' pen. vii. 3; a 'brysia i'r yspail, prysura i'r anrhaith,' pen. viii. 1, 3. *Oddiwrth Arglwydd y lluoedd*—y daw hyn oll; *yr hwn sydd yn trigo yn mynydd Seion*—yn Jerusalem, lle yr oedd y deml yn awr, a lle y gosodai y Messia ei deyrnas ysbrydol i fyny ar ol hyn.

19 ¶ A phan ddywedant wrthych, Ymofynwch â'r swynyddion, ac â'r dewiniaid, y rhai sydd yn hustyng, ac yn sibrwd: onid â'u Duw yr ymofyn pobl? dros y byw at y meirw?
20 At y gyfraith, ac at y dystiolaeth: oni ddywedant yn ol y gair hwn, *hyny sydd* am nad *oes* oleuni ynddynt.
21 A hwy a dramwyant trwyddi, yn galed arnynt ac yn newynog: a bydd pan newynont, yr ymddigiant, ac y melldithiant eu brenin a'u Duw, ac a edrychant i fyny.
22 A hwy a edrychant ar y ddaear; ac wele drallod a thywyllwch, niwl cyfyngder: a *byddant* wedi eu gwthio i dywyllwch.

## PENNOD IX.

ETO ni *bydd* y tywyllwch yn ol yr hyn *a fu* yn y gofid; megys yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn ysgafn â thir Zabulon a thir Naphtali, ac wedi hyny yn ddwysach y cystuddiodd *hi* wrth ffordd y môr, tuhwnt i'r Iorddonen, yn Galilee y cenhedloedd.

---

Adn. 19. *A phan ddywedant wrthych*] Pan ddywedo Israel, y rhai a syrthiasant oddiwrth y gwir Dduw at goelgrefydd y cenhedloedd, wrthych chwi y rhai ydych yn glynu fyth wrth Dduw a'i air; *Ymofynwch â'r swynyddion ac â'r dewiniaid*—am gyfarwyddyd a chynorthwy; *y rhai sydd yn hustyng ac yn sibrwd*—sef bol-lefarwyr, consurwyr, ac ymofynwyr â'r meirw, Lef. xix. 31, a xx. 27, Deut. xviii. 11. *Onid â'u Duw yr ymofyn pobl*—neu y dylent ymofyn? yn enwedig chwychwi, y rhai y mae y gwir Dduw genych? *Dros y byw at y meirw?*—hyny yw, yr oedd yr eilunaddolwyr yn ymofyn â'r meirw yn achos y rhai byw, fel y gwnaethai Saul wrth geisio gan y ddewines o Endor godi Samuel, 1 Sam. xxviii. 7, &c. Neu, *yn lle* myned at y Duw byw, hwy a ymofynent âg ysbrydion y meirw.

Adn. 20. *At y gyfraith ac at y dystiolaeth*] Boed i bob dadl ac achos gael ei benderfynu yn hytrach gan air Duw. *Oni ddywedant yn ol y gair hwn*—hyny yw, oni ddywed eich gwrthwynebwyr, neu y dewiniaid a grybwyllwyd uchod; *hyny sydd am nad oes oleuni ynddynt*—am eu bod yn ddall, ac felly yn annheilwng o ymofyn â hwynt. Ond y mae *Lowth* ac ereill yn cyfieithu y geiriau hyn, 'Oni ddywedant yn ol y gair hwn, *yn yr hwn nid oes dim tywyllni*, hwy a dramwyant trwy y wlad yn galed arnynt, ac yn newynog,' &c.

Adn. 21. *A hwy a dramwyant trwyddi*] Sef trwy y wlad; hyny yw, byddai i'r Iuddewon gwrthgiliedig oddiwrth Dduw a'i gyfraith, y rhai a aent ar ol dewiniaid a swynyddion, gael eu cospi am hyny: hwy a dramwyent trwy y wlad, naill ai ar ffo rhag eu gelynion, neu yn gaethgludedig ganddynt; *yn galed arnynt ac yn newynog*—heb gysuron ysbrydol na thymhorol. *A bydd pan newynont, yr ymddigiant*—y ffyrnigant yn fwy, yn lle ymostwng mewn edifeirwch am eu pechodau; *ac y melldithiant eu brenin*—yr hwn, fel y tybiant hwy, a ddygasai ran fawr o'u caledi presenol arnynt; *a'u Duw*—neu, fel y mae yr Iuddewon yn ei ddeall, 'a'u *heilun*,' yn yr hwn y gobeithiasant yn ofer am gynorthwy; *ac a edrychant i fyny*—o'r diwedd, am gymhorth oddiwrth y gwir Dduw o'r nefoedd. Ond tybia ereill mai 'edrych i fyny i felldithio y gwir Dduw a'u Brenin' a feddylir, o herwydd eu darostwng dan ei anfoddlonrwydd amlwg ef.

Adn. 22. *A hwy a edrychant ar y ddaear*] 'Ar ol methu cael cymhorth o'r nefoedd,' ebai *Benson*, 'hwy a droant eu golwg i lawr, gan edrych yma ac acw am gysur.' *Ac wele drallod a thywyllwch, niwl cyfyngder*—y mae y proffwyd yma yn pentyru geiriau bron o'r un arwyddocâd, i nodi allan fawredd, helaethrwydd, a pharhad eu trueni. *A byddant wedi eu gwthio i dywyllwch*—i bob rhyw drueni ac anobaith, a hyny gan gyfiawn farn Duw!

PEN. IX. Adn. 1. *Eto ni bydd y tywyllwch yn ol yr hyn a fu yn y gofid*] Y mae *Lowth*, gan ddylyn y Beibl Hebreig, yn gosod yr adnod hon yn olaf yn y bennod flaenorol. Dealla rhai y geiriau hyn fel yn arwyddo *mwyhad* y tywyllwch hwn ragor y tywyllwch neu y trueni a fygythiwyd yn y ddwy adnod flaenorol, fel cosp gyfiawn ar wrthodwyr y Messia: fel pe dywedasai, Ni fydd hwn yn drallod mor *ysgafn* a'r rhai a ddisgynasant ar y parthau hyn yn amser brenhinoedd Assyria, ond bydd yn llawer *trymach* na hwynt oll, fel barn gyfiawn Duw ar yr Iuddewon am wrthod a chroeshoelio y Messia. Y mae ereill, modd bynag, yn deall yr adnod hon fel yn addaw *lleihad* y tywyllwch neu y trueni olaf hwn ragor yr un cyntaf: fel pe dywedasai, Er y bydd y trallod hwn a ddisgyn ar y wlad a'i thrigolion yn fawr, eto ni bydd *mor fawr* a'r un a ddisgynodd ar drigolion Zabulon a Naphtali gan frenin Assyria, pryd y caethgludwyd ac y diwreiddiwyd hwynt o'u gwlad, heb i'w llygaid weled goleuni yr efengyl; tra o flaen ac yn nghanol y tywyllwch hwn, am yr hwn yr wyf yn awr yn son, y cyfyd goleuni gogoneddus i sirioli pawb fyddo â llygaid ganddynt i'w weled ef. *Megys yn yr amser cyntaf y cyffyrddodd yn ysgafn â thir Zabulon a thir Naphtali*—ond odid yn amser Pul brenin Assyria, 2 Bren. xv. 19; *ac wedi hyny yn ddwysach y cystuddiodd hi wrth ffordd y môr*—yn amser Tiglath-pileser fe allai, 2 Bren. xv. 29, pryd yr ennillodd efe yr holl wlad oddiarnynt, ac y caethgludodd hwythau. *Tuhwnt i'r Iorddonen*—neu, fel yr arwydda y

2 Y bobl a rodiasant mewn tywyllwch, a welsant oleuni mawr: y rhai sydd yn aros yn nhir cysgod angau, y llewyrchodd goleuni arnynt.
3 Amlheaist y genhedlaeth, ni chwanegaist lawenydd; llawenychasant ger dy fron megys y llawenydd amser cynauaf, *ac* megys y llawenychant wrth ranu yspail.
4 Canys drylliaist iau ei faich ef, a ffon ei ysgwydd ef, gwialen ei orthrymwr, megys yn nydd Midian.
5 Canys pob câd y rhyfelwr sydd mewn trwst, a dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed; ond bydd *hwn* trwy losgiad *a* chynud tân.
6 Canys bachgen a aned i ni,

---

geir, ar hyd ochr yr Iorddonen; *yn Galilee y cenhedloedd*— sef 'Galilea uwchaf,' lle y preswyliai llawer o genhedloedd o Phenicia, Syria, a manau ereill. Yn unol â hyn y mae *Lowth* yn ei chyfieithu, 'Ond ni fydd ar ol hyn dywyllwch yn y tir a ofidiwyd: yn yr amser cyntaf efe a ddarostyngodd dir Zabulon a thir Naphtali; ond yn yr amser diweddaf efe a'i gwnaeth yn ogoneddus: sef ffordd y môr, tuhwnt i'r Iorddonen, Galilee y cenhedloedd.' *Boothroyd* a gyfieitha ddiwedd yr adnod fel hyn: 'Canys fel yn yr amser cyntaf y darostyngodd efe dir Zabulon a thir Naphtali; felly, yn yr amser diweddaf, efe a wna yn ogoneddus ffordd y môr, ar hyd glan yr Iorddonen, sef Galilee y cenhedloedd.' Y mae yn nodedig mai y parthau a ddyoddefasant fwyaf trwy ymosodiad yr Assyriaid dan Tiglath-pileser oeddynt Zabulon, Naphtali, a Manasseh, sef gwlad Galilea o amgylch môr Gennesaret; a dyma y parthau a freintiwyd gyntaf trwy bregethiad a gwyrthiau Crist: gwel ar Mat. iv. 13—16.

Adn. 2. *Y bobl a rodiasant mewn tywyllwch*] Yn nhywyllwch anwybodaeth a phechod, yn gystal ag yn nhywyllwch adfydau a thrallodion, sef preswylwyr Galilee y cenhedloedd, adn. 1; *a welsant oleuni mawr*—sef Crist, yr hwn a ddaeth yn oleuni y byd. *Y rhai sydd yn aros yn nhir cysgod angau*—gwel ar Mat. iv. 16; *y llewyrchodd goleuni arnynt*—yma sonia y proffwyd am yr hyn ni chymerai le hyd fwy na 700 mlynedd wedi hyn, fel wedi cymeryd lle eisioes: gwel ar adn. 6. Er y byddai i lawer o'r Iuddewon, ar y rhai y llewyrchai y Messia, dramgwyddo wrtho, a gwrthod ei athrawiaeth ef, a syrthio trwy hyny i dywyllwch dudew ac adfydau blinion; eto byddai i ereill ei dderbyn ef gyda'r llawenydd mwyaf, a rhodio yn ei oleuni ef: ac am hyny, ar ol i'r proffwyd ddarlunio trueni ei wrthodwyr, y mae efe yn troi i ddarlunio dedwyddwch y rhai a dderbynient belydrau yr Haul cyfiawnder hwn, a'r achos o'u llawenydd.

Adn. 3. *Amlheaist y genhedlaeth*] Fel ser y nefoedd, yn ol dy addewid i Abraham; *ni chwanegaist lawenydd*—y genedl, yn gyfatebol i gynydd eu rhif, hyd oni ddaeth y Messia. Ond y mae 17 o'r ysgriflyfrau Hebreig, yn nghyda'r *Targum*, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg*, yn ei ddarllen heb y gair nacaol; 'Amlheaist y genedl, chwanegaist *eu* llawenydd;' yr hwn yn ddiamau yw yr iawn ddarlleniad. *Llawenychasant ger dy fron megys y llawenydd amser cynauaf*—pryd y dygid yr ysgubau adref gyda bloedd a llawenydd, yr hyn a ddylynid â gwledd: gwel ar Deut. xii. 7, a xiv. 22—26. *Ac megys y llawenychant wrth ranu yspail*—a gymerasid mewn rhyfel: gwel ar 1 Sam. xxx. 16, 2 Cron. xx. 25—28.

Adn. 4. *Canys drylliaist iau ei faich ef*] Dywedir hyn mewn cyfeiriad at iau orthrymus y Philistiaid, y Moabiaid, y Midianiaid, yr Assyriaid, y Caldeaid, y Persiaid, ac ereill, dan ba un yr oedd Israel wedi bod yn fynych; *a ffon ei ysgwydd ef*—sef gorthrymder eu caethwasanaeth, mewn cyfeiriad ond odid at yr iau a roddid ar warau caethweision; *gwialen ei orthrymwr*—â'r hon y fflangellid y caethwas; *megys yn nydd Midian*—pryd y drylliwyd iau drom y Midianiaid, ac y gwaredodd yr Arglwydd ei bobl o'u dwylaw hwynt trwy law Gedeon: gwel ar Barn. vii ac viii. Yn awr, fel yr oedd yr iau a osodid ar Israel gan eu gelynion yn gysgod o iau Satan, pechod, a marwolaeth, sef gelynion ysbrydol pobl Dduw; felly yr oedd eu gwaredigaethau oddi-tan yr iau hòno yn gysgod o'r waredigaeth ysbrydol a geir trwy Grist. Ac am y waredigaeth neu yr iachawdwriaeth ysbrydol hon, yr hon a gymerai le trwy wasgariad goleuni yr efengyl, y sonia y proffwyd yma, fel y mae yn eglur oddiwrth yr adnodau blaenorol a dylynol.

Adn. 5. *Canys pob câd y rhyfelwr*] Neu bob rhyfel gyffredin a gymer le rhwng byddinoedd daearol; *sydd mewn trwst*—a ddylynir â thrwst arfau, udgyrn, tabyrddau, carlamiad meirch, a bloeddiadau dynion; *a dillad wedi eu trybaeddu mewn gwaed*—yr hwn a red o archollion y clwyfedigion ar hyd eu dillad. *Ond bydd hwn*—y rhyfel neu y fuddugoliaeth ysbrydol yma, *trwy losgiad a chynud tân*—yn fwy esmwyth a diberygl i bobl Dduw, ond yn fwy ofnadwy i'w gelynion hwy, y rhai a ddyfetha Duw megys trwy dân ysol. Arferid llosgi arfau rhyfel y gelynion, ar ol cael buddugoliaeth arnynt, (gwel ar Salm xlvi. 9, 10, Ezec. xxxix. 9,) yn arwydd o *heddwch;* ac fe allai mai at hyny y cyfeirir yma, fel yr hyn a gymerai le dan lywodraeth 'Tywysog tangnefedd,' adn. 6. Ond tybia ereill mai at ddylanwadau yr Ysbryd Glân, fel tân yn puro, y cyfeiria y proffwyd; neu at brofedigaethau tanllyd y saint, i'w puro hwynt oddiwrth eu holl sothach.

Adn. 6. *Canys bachgen a aned i ni*] Crybwyllir hyn fel *rheswm* am y buddugoliaethau uchod. Addefir yn gyffredinol nid yn unig gan esbonwyr Cristionogol, ond hefyd gan yr hen ddoctoriaid Iuddewig, mai at y MESSIA y cyfeirir yma; er i rai o'r Iuddewon diweddar, mewn gwrthwynebiad i'r Arglwydd Iesu, geis-

Mab a roddwyd i ni, a bydd y llyw-
odraeth ar ei ysgwydd ef: a gelwir
ei enw ef, Rhyfeddol, Cynghorwr,
y Duw cadarn, Tad tragwyddoldeb,
Tywysog tangnefedd.

7 Ar helaethrwydd *ei* lywodraeth
a'*i* dangnefedd ni *bydd* diwedd, ar
orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhin-
iaeth ef, i'w threfnu hi, ac i'w
chadarnhau â barn ac â chyfiawn-

---

io cymhwyso yr hyn a ddywedir yma at *Hezeciah.* Yn wir y mae yr enwau neu y teitlau a ddefnyddir yma yn gyfryw ag nas gellir, heb fod yn euog o gabledd, eu cymhwyso at Hezeciah, nac at unrhyw greadur arall, dyn nac angel. Ymddengys fod golwg y proffwyd wedi ei sefydlu ar gnawdoliad Crist, fel ag i lyncu i fyny ei holl feddwl ef. Yr oedd golygfeydd yr amseroedd dyfodol, fel *panorama* neu ddrych-arluniau, yn cael eu hagor ac yn pasio heibio o flaen ei lygad ef. Yr oedd rhan fawr o'r arluniau symudol hyn yn arddangos gwarchaeadau, brwydrau, trallodau, a thywyllwch dudew; ond mewn rhan arall gwelai oleuni. Yma efe a ganfyddai y bobl yn llawenychu; arfau rhyfel yn cael eu dodi heibio; yr arlun o heddwch yn dylyn; y goleuni yn ymeangu ac yn cryfhau, fel yr oedd y tywyllwch yn cilio; a gwelai Dywysog y tangnefedd ei hun, sef Haul mawr cyfiawnder, fel wedi ei eni eisioes, ac yn dechreu ymaflyd yn ei swydd. Y mae NATUR DDYNOL y Messia yn cael ei henwi ganddo yn gyntaf, fel y *bachgen* a *aned* o'r Forwyn Fair, pen. vii. 14. *Mab a roddwyd i ni*—cyfeiria hyn at NATUR DDWYFOL y Messia, yr hon ni ddywedir iddi gael ei *geni*, eithr yn unig ei *rhoddi.* Yn y sylw ar Heb. i. 3, danghoswyd fod yr enw *Mab*, neu *Fab Duw*, pan yn cael ei ddefnyddio am Grist, yn cyfeirio bob amser at ei natur *ddwyfol* ef, neu at ei natur ddwyfol ef mewn *undeb* â'i ddyndod, Luc i. 35; ac nad oes genym un gair arall ag sydd, yn unigol ac ynddo ei hun, yn gosod allan ei Dduwdod ef: gwel y sylw yno ar waelod y ddalen. Y Mab hwn oedd *rhodd* arbenig y Tad i'r byd: nid oedd genym ni un hawl ynddo ef, eithr Duw a'i *rhoddodd* ef yn wirfoddol i fod yn Waredwr i'r byd, Ioan iii. 16. *A bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef*—cyfeirir ato yma nid yn unig fel Brenin ei eglwys, ond hefyd fel yn meddu, yn ei gymeriad cyfryngol, bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear, Mat. xxviii. 18, Eph. i. 21, 22. Sonir am ei *ysgwydd* mewn dull cyffelybiaethol, trwy mai ar ysgwyddau dynion yr arferir gosod beichiau trymion: neu gall fod yma gyfeiriad at yr hen arferiad o wisgo ar yr ysgwydd yr arwyddion o lywodraeth: gwel ar pen. xxii. 22. *A gelwir ei enw ef*—hyny yw, efe a *fydd* mewn gwirionedd yr hyn a ddywedir yma am dano; canys y mae y geiriau canlynol i'w deall nid fel ei enwau priodol ef yn unig, eithr fel dysgrifiad o'i natur a'i briodoliaethau gogoneddus ef. *Rhyfeddol*—y mae Crist yn 'rhyfeddol' yn ei berson, fel 'Duw wedi ymddangos yn y cnawd;' ac hefyd yn ei enedigaeth, ei athrawiaethau, a'i wyrthiau; yn ei allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni; yn ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad; yn ei groes a'i goron, yn ei ras a'i ogoniant. *Cynghorwr*—dywedir fod Crist yn cael ei alw yn 'Gynghorwr,' am ei fod gyda Tad a'r Ysbryd yn y cynghor bore yn nhragwyddoldeb; am ei fod yn gwybod holl gynghor Duw, ac yn ei amlygu i ddynion trwy ei air a'i Ysbryd; am ei fod yn cynghori ac yn dysgu ei bobl a'i eglwys yn eu holl amheuon a'u dyryswch; ac am ei fod yn dadlu eu hachos hwynt yn llys y nef, fel y gwna cynghorwyr daearol mewn llysoedd gwladol. *Y Duw cadarn*—nis gall yr enw hwn fod yn briodol i unrhyw ddyn, ond 'y dyn Crist Iesu,' (1 Tim. ii. 5,) yr hwn oedd yn Dduw yn gystal ag yn ddyn, ac a elwir felly yn yr adnodau canlynol, Ioan i. 1, a xx. 28, Rhuf. ix. 5, 1 Tim. iii. 16, Heb. i. 8, 1 Ioan v. 20. Y mae yr enw 'Duw cadarn,' yn cael ei roddi yn ddiamheuol i'r gwir Dduw yn pen. x. 21; ac nid yw yn briodol i neb arall yn y testyn hwn. *Tad tragwyddoldeb*—nid yw y gair *Tad* yn cael ei roddi yma i Grist mewn cyfeiriad at y gwahaniaethiad personau yn y Drindod santaidd; canys y person *cyntaf* a elwir felly bob amser yn yr ysgrythyrau, ac nid yr *ail*, oddieithr lle y cyfeirir at y *tri* yn nghyd, megys 1 Cor. xv. 24: eithr defnyddir ef yma, mewn dull barddonol prydferth, i arwyddo ffynnonell *bodaeth* neu *barhad.* Nid yn unig arddanghosir ef fel yn *dragwyddol* ei hunan, ond gosodir ef allan trwy droellymadrodd grymus a barddonol, fel *Tad* tragwyddoldeb, unwedd a phe buasai tragwyddoldeb ei hun yn ddyledus iddo am ei fodaeth. Gellir chwanegu, fod cyfeiriad mynych at dragwyddol fodaeth Crist yn y Testament Newydd: gwel Ioan i. 1, 2, a viii. 58, Col. i. 17, Heb. i. 10, 11, Dat. i. 8, ac amrai ysgrythyrau ereill. Y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Tad yr oes dragwyddol;' ond nis gallaf fi weled fod dim gwahaniaeth rhwng hyny a'r cyfieithiad cyffredin, 'Tad tragwyddoldeb.' *Tywysog tangnefedd*—dyma deitl arall nad yw yn briodol mewn un modd i *Hezeciah*, yr hwn yr oedd ei deyrnasiad yn llawn *rhyfeloedd*, fel y gwelwn yn 2 Bren. xviii. Ond y mae yn berffaith briodol i GRIST, yr hwn a elwir 'yr heddwch,' Mica v. 5; 'ein tangnefedd ni,' Eph. ii. 14; a 'gwneuthurwr heddwch' rhwng Iuddewon a Chenhedloedd, a rhwng y ddau a Duw, Eph. ii. 15—17; a'r hwn a addawodd dangnefedd fel cymun-rodd i'w ddysgyblion, Ioan xiv. 27, a xvi. 33. Y mae yn afresymol meddwl y buasai i'r enwau goruchel a dwyfol hyn gael eu rhoddi trwy ddwyfol ysbrydoliaeth i *ddyn* yn unig; ac y mae yr *hen* Iuddewon, megys Jonathan, Rabbi Jose, a Ben Sira, yn tystio mai i'r MESSIA y rhoddir hwynt yma.

Adn. 7. *Ar helaethrwydd ei lywodraeth a'i dangnefedd ni bydd diwedd*] Mewn amser nac yn nhragwyddoldeb; eithr parha ei lywodraeth ef byth, a bydd i dangnefedd gydredeg â'i lywodraeth ef hyd eithaf tragwyddoldeb: gwel ar 1 Cor. xv. 24, 2 Pedr i. 11. *Ar orseddfa Dafydd, ac ar ei frenhiniaeth ef*—ni bydd diwedd; hyny yw, ar orseddfa Dafydd.

der, o'r pryd hwn, a hyd byth. Zel
Arglwydd y lluoedd a wna hyn.
8 ¶ Yr Arglwydd a anfonodd air
i Jacob; ac efe a syrthiodd ar Is-
rael.
9 A'r holl bobl a wybydd, *sef*
Ephraim a thrigiannydd Samaria,
y rhai a ddywedant mewn balchder,
ac mewn mawredd calon,
10 Y priddfeini a syrthiasant,
ond â cherig nâdd yr adeiladwn: y
sycamorwydd a dorwyd, ond ni a'u
newidiwn *yn* gedrwydd.
11 Am hyny yr Arglwydd a
ddyrchafa wrthwynebwyr Resin yn
ei erbyn ef, ac a gysyllta ei elynion
ef yn nghyd;
12 Y Syriaid o'r blaen, a'r Phil-
istiaid hefyd o'r ol: a hwy a ysant
Israel yn safnrhwth. Er hyn i gyd
ni ddychwelodd ei lid ef, ond eto *y*
*mae* ei law ef yn estynedig.

---

fel yr oedd efe yn *gysgod* o Grist. Y mae hyn yn gyson â'r addewid a wnaed i Dafydd, 2 Sam. vii. 12—16, 1 Bren. viii. 25, Salm cxxxii. 11, yr hon a gyfeiria at Grist fel yn disgyn oddiwrth Dafydd. Pan y dywedir fod Crist i eistedd ar orseddfa Dafydd, nid ydym i ddeall hyny yn llythyrenol; eithr y meddwl yw, y bydd i Grist deyrnasu *ar bobl Dduw* fel y gwnaeth Dafydd, yn gynwysedig o Iuddewon a Chenhedloedd crediniol. Yn yr ystyr yma ni bydd diwedd ar orseddfa na brenhiniaeth Dafydd byth. *I'w threfnu hi*—ar egwyddorion diysgog o gyfiawnder, doethineb, a daioni; *ac i'w chadarnhau â barn ac â chyfiawnder*—i'w sicrhau trwy weinyddiadau uniawn a chyfiawn. Fel yr oedd Dafydd yn eistedd ar ei orseddfa ddaearol, i drefnu a chadarnhau ei frenhiniaeth ar Israel trwy farn a chyfiawnder; felly yr eistedd Crist, Mab Dafydd, ar ei orseddfa ysbrydol yntau, i gadarnhau ei frenhiniaeth trwy weinyddiadau uniawn a chyfiawn. *O'r pryd hyn*—o'r amser ag y dechreuodd efe deyrnasu ar y ddaear; *a hyd byth*—yn ddiddiwedd yn y nef. *Zel Arglwydd y lluoedd a wna hyn*—bydd i'r gwaith mawr hwn gael ei ddwyn oddiamgylch gan frwdfrydedd yr Hollalluog, neu oddiar ei awydd gwresog ef am ei ogoniant ei hun, anrhydedd ei Fab, a lles ac iachawdwriaeth ei bobl.

Adn. 8. *Yr Arglwydd*] Yn lle *Adonai*, y mae 30 o ysgriflyfrau *Kennicott* a *De Rossi*, yn nghyda thri argraffiad Hebreig, yn darllen *Jehofa* yma; *a anfonodd air i Jacob*—sef gair o fygythiad, neu 'air angeuol,' yn ol y LXX, at y deg llwyth gwrthryfelgar ac eilunaddolgar, hiliogaeth Jacob: *ac efe a syrthiodd*—neu 'a syrth;' hyny yw, cyflawnir ef yn ddiffael; *ar Israel*—sef ar y deg llwyth hyny. Cawn yma ddechread proffwydoliaeth newydd. Ar ol i'r proffwyd fod yn cysuro *Juda* â'r addewidion blaenorol, y mae efe yn troi yma i gyhoeddi bygythion yn erbyn *Israel.*

Adn. 9. *A'r holl bobl a wybydd*] A gânt wybod, trwy brofiad chwerw, wirionedd gair bygythiol yr Arglwydd; *sef Ephraim*—neu deyrnas y deg llwyth, pen. vii. 2; *a thrigiannydd Samaria*—sef preswylwyr prifddinas y deyrnas hòno, pen. vii. 9; *y rhai a ddywedant mewn balchder*—y geiriau a adroddir yn yr adnod nesaf; *ac mewn mawredd calon*—neu hunan-hyder ymffrostgar.

Adn. 10. *Y priddfeini a syrthiasant*] Sef y tai a wnaed o briddfeini; *ond â cherig nâdd yr adeiladwn*—y rhai a fyddant ar unwaith yn harddach ac yn gryfach na'r priddfeini hyny: *y sycamorwydd a dorwyd*—y rhai nid oeddynt ond coed meddal, brau, a gwael; *ond ni a'u newidiwn yn gedrwydd*—a ddefnyddiwn gedrwydd yn eu lle hwynt, y rhai sydd yn brenau llawer cryfach a gwerthfawrocach. Y mae yr ymadroddion allegawl hyn yn dangos balchder a hunan-hyder mawr; a'r meddwl yw, y byddai iddynt yn hawdd adgyweirio y colledion a ddyoddefasant trwy ruthr eu gelynion, a dwyn achosion eu teyrnas i gyflwr mwy blodeuog nag erioed.

Adn. 11. *Am hyny*] Dengys yr adnod hon a'r nesaf y gosp a ddeuai ar Israel am eu balchder; *yr Arglwydd a ddyrchafa wrthwynebwyr Resin*—sef yr Assyriaid, *yn ei erbyn ef*—sef yn erbyn Israel; neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'yn erbyn *Resin,*' fel na chai Israel ddim cynorthwy mwyach oddiwrth Resin brenin Syria; a thybiant fod y broffwydoliaeth hon wedi ei chyflawni gan Tiglathpileser brenin Assyria, pryd y lladdodd efe Resin: gwel ar 2 Bren. xvi. 7—9. Ond yn lle '*gwrthwynebwyr* Resin,' y mae 30 o ysgriflyfrau *Kennicott* a *De Rossi* yn darllen '*tywysogion* Resin,' y rhai a ddyrchafai yr Arglwydd yn erbyn *Israel;* ac y mae hyn yn gyson â'r adnod nesaf, lle y cawn y *Syriaid* yn codi yn erbyn Israel. *Ac a gysyllta ei elynion ef yn nghyd*—yn erbyn Israel, sef y Syriaid, y Philistiaid, a'r Assyriaid hefyd ond odid.

Adn. 12. *Y Syriaid o'r blaen, a'r Philistiaid hefyd o'r ol*] Neu, fel y mae *Dr. Waterland* yn ei gyfieithu, 'Y Syriaid o'r *dwyrain*, a'r Philistiaid o'r *gorllewin*:' gwel ar Job xxiii. 8. *A hwy a ysant Israel yn safnrhwth*—gan agor eu geneuau fel bwystfilod i'w llyncu hwynt. Er fod y Syriaid unwaith mewn cynghrair âg Israel i'w cynorthwyo hwynt, eto y mae yn debyg i'w tywysogion hwynt, ar ol marwolaeth Resin, ymuno â'r Assyriaid a'r Philistiaid yn erbyn Israel. *Er hyn i gyd ni ddychwelodd ei lid ef*—ni chiliodd lid yr Arglwydd oddiwrth Israel; *ond eto y mae ei law ef yn estynedig*—i'w taro hwynt yn drymach fyth am eu hanedifeirwch: gwel ar pen. v. 25.

Adn. 13. *A'r bobl ni ddychwelant at yr hwn a'u tarawodd*] At Dduw, yr hwn oedd yn eu cospi hwynt; *ac ni cheisiant Arglwydd y lluoedd*—yr hyn oedd y rheswm fod ei lid ef yn parhau yn eu herbyn, a'i law yn estynedig i'w taro hwynt drachefn. Felly ni a

13 ¶ A'r bobl ni ddychwelant at
yr hwn a'u tarawodd, ac ni cheis-
iant Arglwydd y lluoedd.
14 Am hyny y tỳr yr Arglwydd
oddiwrth Israel ben a chynffon,
cangen a brwynen, yn yr un dydd.
15 Yr henwr a'r anrhydeddus *yw*
y pen: a'r proffwyd sydd yn dysgu
celwydd, efe *yw* y gynffon.
16 Canys cyfarwyddwyr y bobl
hyn sydd yn peri *iddynt* gyfeiliorni,
a llyncwyd *y rhai* a gyfarwyddir
ganddynt.
17 Am hyny nid ymlawenha yr
Arglwydd yn eu gwŷr ieuainc hwy,
ac wrth eu hamddifaid a'u gweddw-
on ni thosturia: canys pob un o
honynt *sydd* ragrithiwr a drygion-
us, a phob genau yn traethu ynfyd-
rwydd. Er hyn oll ni ddychwelodd
ei lid ef, ond eto *y mae* ei law ef yn
estynedig.
18 ¶ O herwydd anwiredd a lysg
fel tân; y mieri a'r drain a ysa efe,
ac a gyneu yn nyrysni y coed; a
hwy a ddyrchafant *fel* ymddyrchaf-
iad mwg.
19 Gan ddigofaint Arglwydd y
lluoedd y tywylla y ddaear, ac y
bydd y bobl fel ymborth tân: nid
eiriach neb ei frawd.
20 Ac efe a gipia ar y llaw dde-
au, ac a newyna; bwyty hefyd ar
y llaw aswy, ac nis digonir hwynt:
bwytânt bawb gig ei fraich ei hun:
21 Manasseh, Ephraim; ac
Ephraim, Manasseh: hwythau yn
nghyd yn erbyn Juda. Er hyn oll
ni ddychwelodd ei lid ef, ond eto *y
mae* ei law ef yn estynedig.

---

welwn mai amcan Duw wrth geryddu Israel falch oedd eu dychwelyd hwy ato ei hun.

Adn. 14. *Am hyny y tỳr yr Arglwydd oddiwrth Israel ben a chynffon*] Gwel ar adn. 15; *cangen a brwynen*—ymadrodd diarebol, yn arwyddo yr uwchaf a'r isaf yn eu plith; *yn yr un dydd*—oll ar unwaith.

Adn. 15. *Yr henwr a'r anrhydeddus yw y pen*] Ag y cyfeiriwyd ato yn adn. 14; *a'r proffwyd sydd yn dysgu celwydd*—o'r rhai yr oedd llawer y pryd hyn yn Samaria, y rhai a arweinient y bobl yn fwy ar gyfeiliorn; *efe yw y gynffon*—y rhai iselaf a ffieiddiaf o'r holl bobl.

Adn. 16. *Canys cyfarwyddwyr y bobl hyn*] Sef y proffwydi celwyddog uchod, a'u llywodraethwyr gwladol ac eglwysig; *sydd yn peri iddynt gyfeiliorni*—y rhai cyntaf trwy athrawiaethau a chynghorion drwg, a'r rhai olaf trwy eu gorfodi yn awdurdodol; *a llyncwyd y rhai a gyfarwyddir ganddynt*—hyny yw, llyncwyd hwynt gan safn cyfeiliornad a dinystr.

Adn. 17. *Am hyny nid ymlawenha yr Arglwydd yn eu gwŷr ieuainc hwy*] I drugarhau wrthynt, fel y gwna efe yn ei bobl ffyddlon, pen. lxii. 5, Zeph. iii. 17; *ac wrth eu hamddifaid a'u gweddwon ni thosturia*—er ei fod yn Dad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon, Salm lxviii. 5: *canys pob un o honynt sydd ragrithiwr a drygionus*—yn proffesu eu bod yn dda, ac eto yn glynu mewn eilunaddoliaeth a phechod; *a phob genau yn traethu ynfydrwydd*—sef anwiredd a drygioni, yr hyn yn fynych a elwir yn 'ynfydrwydd,' ac sydd felly mewn gwirionedd. *Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, &c.*—gwel ar adn. 12.

Adn. 18. *O herwydd anwiredd a lysg fel tân*] Gan ysu a dyfetha Israel am eu drygioni: *y mieri a'r drain a ysa efe, ac a gyneu yn nyrysni y coed*—efe a ddifa bob gradd o honynt, neu a'u difa fel tân a fyddo wedi cydio mewn mieri a pherthi: *a hwy a ddyrchafant fel ymddyrchafiad mwg*—diflana eu holl fawredd a'u balchder hwy, fel y diflana mwg pan ddyrchafo i'r awyr.

Adn. 19. *Gan ddigofaint Arglwydd y lluoedd*] Sef gan fwg ei ddigofaint ef; *y tywylla y ddaear*—sef y rhan hòno o'r ddaear a breswylid gan y deg llwyth; *ac y bydd y bobl fel ymborth tân*—fel darnau o goed ar y tân, pob un yn cynorthwyo i enyn a difa y llall: *nid eiriach neb ei frawd*—hyny yw, nid *arbed* neb ei frawd, chwaithach estron.

Adn. 20. *Ac efe a gipia ar y llaw ddeau*] Meddylir mai yr ystyr yw, y byddai i'r naill gipio neu ysglyfio ymborth oddiar y llall; *ac a newyna*—o herwydd methu cael digon: *bwyty hefyd ar y llaw aswy*—efe a wna yr un peth oddiar ereill; *ac nis digonir hwynt*—o herwydd cyffredinolrwydd y prinder. *Bwytânt bawb gig ei fraich ei hun*—neu byddant oll yn barod i wneyd hyny gan eu newyn angherddol; neu, fel y mae y *Galdeaeg* yn ei ddarllen, 'Bwytânt bawb gig ei *gymydog* ei hun:' gwel Jer. xix. 9. Ond tybia rhai mai at gwerylon a therfysgoedd cyffredinol y cyfeirir yn benaf yn yr adnod hon a'r nesaf, y rhai ar yr un pryd a allent fod yn cael eu dylyn â newyn.

Adn. 21. *Manasseh, Ephraim*] Sef y ddau lwyth a ddisgynasant oddiwrth y brodyr hyn, meibion Joseph; *ac Ephraim, Manasseh*—y meddwl yw, y byddai i'r perthynasau agosaf gweryla ac ymryson â'u gilydd, neu ysglyfio oddiar eu gilydd, megys Manasseh oddiar Ephraim, ac Ephraim oddiar Manasseh. *Hwythau yn nghyd yn erbyn Juda*—er y byddai i'r ddau lwyth uchod ddifrodi eu gilydd fel y nodwyd, eto byddai iddynt gyduno â'u gilydd, ac â'r llwythau ereill hefyd, i fyned yn erbyn teyrnas Juda. Diamau fod pob un o'r deg llwyth yn cael ei gynwys yma, er y priodolir hyn i Ephraim a Manasseh yn neillduol, am mai eu rhandiroedd hwy a orweddent yn nesaf at eiddo Juda a Benjamin yn ngwlad Canaan. *Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, &c.*—gwel ar adn. 12.

## PENNOD X.

GWAE y rhai sydd yn gwneuthur
deddfau anwir, a'r ysgrifenydd-
ion sydd yn ysgrifenu blinder;
2 I ymchwelyd y tlodion oddi-
wrth farn, ac i ddwyn barn anghen-
ogion fy mhobl: fel y byddo
gweddwon yn yspail iddynt, ac yr
anrheithiont yr amddifaid.
3 A pha beth a wnewch yn nydd
yr ymweliad, ac yn y dystryw a
ddaw o bell? at bwy y ffowch am
gynorthwy? a pha le y gadewch
eich gogoniant?
4 Hebof fi y crymant dan y car-
charorion, a than y rhai a laddwyd
y syrthiant. Er hyn oll ni ddych-
welodd ei lid ef, ond eto *y mae* ei
law ef yn estynedig.
5 ¶ Gwae Assur, gwialen fy llid,
a'r ffon yn eu llaw hwynt yw fy
nigofaint.
6 At genedl ragrithiol yr anfonaf
ef, ac yn erbyn pobl fy nigter y gor-
chymynaf iddo yspeilio yspail, ac
ysglyfaethu ysglyfaeth, a'u gosod
hwynt yn sathrfa megys tom yr
heolydd.
7 Ond nid felly yr amcana efe,
ac nid felly y meddwl ei galon; eithr
*y mae* yn ei fryd ddyfetha a thori
ymaith genhedloedd nid ychydig.

---

PEN. X. Adn. 1. *Gwae y rhai sydd yn gwneuthur deddfau anwir*] Dylasai y pedair adnod flaenaf o'r bennod hon fod yn niwedd y bennod flaenorol, gan eu bod yn cynwys parhad o'r mater a drinir yno; megys y dylasai y saith adnod flaenaf o'r bennod hòno fod yn niwedd pen. viii. Wrth y *deddfau anwir* hyn y golygir cyfreithiau gorthrymus ac anghyfiawn, y rhai a wneid gan y llywodraethwyr gwladol yn Israel. *A'r ysgrifenyddion sydd yn ysgrifenu blinder*—gwae y rhai sydd yn cyfansoddi y cyfreithiau gorthrymus hyny, neu y barnwyr sydd yn eu gosod mewn grym, fel ag i beri blinder.

Adn. 2. *I ymchwelyd y tylodion oddiwrth farn*] Oddiwrth gael barn neu gyfiawnder; *ac i ddwyn barn anghenogion fy mhobl*—i ŵyro barn yn eu hachos hwy; neu, yn ol y Saesonaeg, 'i ddwyn ymaith yr hawl,' neu eu hiawnderau, 'oddiwrth dylodion fy mhobl;' *fel y byddo gweddwon yn yspail iddynt*—fel y gallont yspeilio eiddo y gweddwon; *ac yr anrheithiont yr amddifaid*—y rhai na feddant neb i'w hamddiffyn. Dygir yr un cyhuddiad yn erbyn tywysogion Juda, pen. i. 23.

Adn. 3. *A pha beth â wnewch yn nydd yr ymweliad*] Pan yr ymwelo Duw â chwi mewn barn am hyn oll? *ac yn y dystryw a ddaw o bell*—oddiwrth yr Assyriaid a'u cynghreirwyr? *At bwy y ffowch am gynorthwy*—i'ch gwaredu o'u dwylaw hwy, pan yr ydych wedi colli cynorthwy y Syriaid, pen. ix. 11, 12, a phan y mae Duw ei hun yn eich erbyn? *A pha le y gadewch eich gogoniant*—pa le y dodwch ef i'w gadw yn ddiogel, fel ag i fod eilwaith at eich gwasanaeth? Wrth y *gogoniant* hwn y dealla rhai eu golud a'u teitlau uchel yn y llywodraeth; ac ereill, eu lloi aur a'u duwiau, yn y rhai yr ymogoneddent yn fawr; ac ereill, eu tywysogion a'u pendefigion.

Adn. 4. *Hebof fi*] Heb ffafr a chymhorth Duw, yr hwn yr oeddynt hwy wedi ei fforffetio, ac heb geisio am adferiad o hono; *y crymant dan y carcharorion*—neu 'yn mhlith y carcharorion;' *a than y rhai a laddwyd*—neu 'yn mhlith y rhai a laddwyd,' *y syrthiant*—yn lladdedigion eu hunain. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn ymosodiad Tiglath-pileser brenin Assyria, 2 Bren. xv a xvi. *Er hyn oll ni ddychwelodd ei lid ef, &c.*—gwel ar pen. ix. 12, 13.

Adn. 5. *Gwae Assur*] Sef yr Assyriaid, neu Senacherib brenin Assyria. Cawn yma ddechread proffwydoliaeth newydd, yr hon sydd yn parhau hyd ddiwedd pen. xii. Ymddengys oddiwrth adn. 9—11, i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu ar ol i Salmaneser gymeryd Samaria, yn y chweched flwyddyn i'r brenin Hezeciah; a chan fod y rhan flaenaf o honi yn rhagfynegu ymosodiad Senacherib ar ddinasoedd Juda, a dinystr ei fyddin ef, rhaid ei bod wedi ei thraethu cyn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i Hezeciah, pryd y cymerodd hyny le, 2 Bren. xviii. 10, 13. *Gwialen fy llid*—i geryddu Juda; *a'r ffon yn eu llaw hwynt*—sef yn llaw yr Assyriaid, *yw fy nigofaint*—heb yr hyn nis gallant hwy wneuthur dim. Y meddwl yw, fod yr Assyriaid wedi cael eu penodi yn offerynau yn llaw Duw i gospi yr Iuddewon gwrthryfelgar ac anufydd, wrth y rhai yr oedd efe wedi digio. Ond trwy nad oedd amcan Assur yr un peth ag amcan Duw, byddai *gwae* iddo ef yn niwedd ei waith, fel y dywedir yma: gwel ar adn. 7.

Adn. 6. *At genedl ragrithiol yr anfonaf ef*] Sef at wŷr Juda, y rhai a gymerent arnynt fod yn ffyddlon i Dduw, pan nad oeddynt felly: *ac yn erbyn pobl fy nigter*—wrth y rhai yr wyf wedi digio, ac ar fedr tywallt fy nigter; *y gorchymynaf iddo yspeilio yspail*—neu ysglyfaethu eu heiddo oddiarnynt; *a'u gosod hwynt yn sathrfa*—dan draed eu meirch a'u milwyr.

Adn. 7. *Ond nid felly yr amcana efe*] Nid gwneyd ewyllys Duw fydd amcan brenin Assyria, ond cyflawni ei fwriadau hunanol ei hun, trwy ddyfetha a thori ymaith *genhedloedd nid ychydig*—er helaethu ei diriogaeth a'i ogoniant ei hun. Nid oedd dyfetha gwlad Juda ond rhan o'i gynllun ef; canys yr oedd yn ei fryd gymeryd yr Aifft ac Ethiopia hefyd, pen. xx. Ond parodd Duw i 'gynddaredd dyn ei foliannu ef;' canys efe a

8 Canys efe a ddywed, Onid *yw*
fy nhywysogion i gyd yn frenhin-
oedd?
9 Onid fel Carchemis *yw* Calno?
onid fel Arpad *yw* Hamath? onid
fel Damascus *yw* Samaria?
10 Megys y cyrhaeddodd fy llaw
deyrnasoedd yr eilunod, a'r rhai yr
oedd eu delwau cerfiedig yn rhagori
ar yr eiddo Jerusalem a Samaria:
11 Onid megys y gwnaethym i
Samaria ac i'w heilunod, felly y
gwnaf i Jerusalem ac i'w delwau
hithau?
12 A bydd pan gyflawno yr Ar-
glwydd ei holl waith yn mynydd
Seion, ac yn Jerusalem, yr ymwel-
af â ffrwyth mawredd calon brenin
Assur, ac â gogoniant uchelder ei
lygaid ef:
13 Canys dywedodd, Trwy nerth
fy llaw y gwnaethym *hyn*, a thrwy
fy noethineb; o herwydd doeth yd-
wyf: ac mi a symudais derfynau
pobloedd, a'u trysorau a yspeiliais,
ac a fwriais i'r llawr y trigolion fel
*gŵr* grymus.
14 A'm llaw a gafodd gyfoeth y
bobloedd fel nŷth; ac megys y
cesglir ŵyau wedi eu gado, y cesgl-
ais yr holl ddaear; ac nid oedd a
symudai aden, nac a agorai safn,
nac a ynganai.
15 A ymffrostia y fwyell yn erbyn

---

oruwchreolodd ei fwriadau ef i ddwyn oddiamgylch ei amcanion ei hun. Fel hyn ni a welwn fod dynion i gael eu barnu yn ol yr hyn ydynt ynddynt eu hunain, ac nid yn ol y defnydd a wna Duw o honynt trwy oruwchreoli eu gweithrediadau. Yr oedd *bwriad* yr Assyriaid yn ddrwg, ac yn ol hyny y rhaid eu barnu hwy. Yr oedd gwaith Duw yn dwyn daioni oddiwrth yr hyn a wnaent hwy, yn beth nad oeddynt hwy yn ei amcanu; ac am hyny nid oeddynt *hwy* yn haeddu dim clod am dano, nac i dderbyn dim gwobr.

Adn. 8. *Canys efe a ddywed*] Yn malchder ei galon, *Onid yw fy nhywysogion i gyd yn frenhinoedd?*—sef y rhai a osodasai efe dano ei hun i lywodraethu y taleithiau a orchfygesid ganddo.

Adn. 9. *Onid fel Carchemis yw Calno? &c.*] Oni orchfygais i yr holl leoedd hyn y naill ar ol y llall, y cryfaf yn gystal a'r gwanaf? *Carchemis* oedd ddinas wrth yr afon Euphrates, Jer. xlvi. 2. *Calno* oedd yr un a Chalne yn ngwlad Sinar, ar du dwyreiniol y Tigris, Gen. x. 10. *Arpad* a *Hamath* oeddynt ddwy ddinas yn Syria, ar derfyn gogleddol gwlad Canaan. *Damascus* oedd prifddinas Syria, fel yr oedd *Samaria* yn brifddinas deg llwyth Israel, pen. vii. 8, 9.

Adn. 10. *Megys y cyrhaeddodd fy llaw deyrnasoedd yr eilunod*] Y rhai y tybiai y trigolion y byddai i'w heilunod eu gwaredu rhagof fi; *a'r rhai yr oedd eu delwau cerfiedig yn rhagori ar yr eiddo Jerusalem a Samaria*—mewn rhif, defnydd, a nerth. Beth bynag am dduwiau Samaria, efe a ddylasai wybod mai JEHOFA oedd Duw Jerusalem, yr hyn y cafodd efe ei wybod ar ol hyn: gwel ar 2 Bren. xix. 21, &c.

Adn. 11. *Onid megys y gwnaethym i Samaria ac i'w heilunod*] Cesglir oddiyma fod y deg llwyth wedi eu caethgludo eisioes o Samaria, a'u heilunod hwy wedi eu dystrywio: gwel ar adn. 5. *Felly y gwnaf i Jerusalem, ac i'w delwau hithau*—efe a dybiai fod îsdduwiau amddiffynol yn Jerusalem, fel yn holl ddinasoedd y cenhedloedd; neu ynte nad oedd JEHOFA ei hun ddim cyn gryfed a'r duw yr haul, yr hwn yr oedd yr Assyriaid yn ei addoli.

Adn. 12. *A bydd pan gyflawno yr Arglwydd ei holl waith*] O gospi ei bobl trwy law yr Assyriaid; *yn mynydd Seion*—yma cyfeirir ond odid at wŷr y llys, yr hwn oedd yn mynydd Seion; *ac yn Jerusalem*—sef ar drigolion y ddinas hòno; *yr ymwelaf*—medd yr Arglwydd, *â ffrwyth mawredd calon brenin Assur*—sef â'i falchder ef; *ac â gogoniant uchelder ei lygaid ef*—ei uchelgais a'i draha. Tybiai brenin Assyria mai ei waith *ef* oedd yr hyn a wneid ganddo ar drigolion Jerusalem, sef eu dyfetha a'u tori ymaith fel y mynai, adn. 7; ond yma danghosir mai gwaith yr Arglwydd oedd y cwbl, ac na chai y brenin creulon hwnw wneyd dim ond yr hyn a oddefid iddo gan Dduw, ac yna fyned dan y wae a'r gosp ei hun, adn. 5.

Adn. 13. *Canys dywedodd*] Brenin Assyria yn malchder ei galon, *Trwy nerth fy llaw y gwnaethym hyn*—trwy fy nghryfder a'm doethineb fy hun. *Ac mi a symudais derfynau pobloedd*—trwy chwanegu eu tiriogaethau hwy at fy nheyrnas fy hun; *a'u trysorau a yspeiliais*—gan gymeryd eu haur a'u hariau at fy ngwasanaeth; *ac a fwriais i'r llawr y trigolion*—gan eu darostwng hwynt o'u gallu a'u gogoniant blaenorol; *fel gŵr grymus*—ymddygais yn hyn oll fel gŵr grymus: neu bwriais i lawr y trigolion, y rhai oeddynt rymus.

Adn. 14. *A'm llaw a gafodd gyfoeth y bobloedd fel nyth*] Yn llawn o ŵyau: *ac megys y cesglir ŵyau wedi eu gado*—gan yr aderyn, yr hwn, gan ddychryn, nid erys yno i'w gwylio; *y cesglais yr holl ddaear*—holl gyfoeth y ddaear. Hon oedd iaith chwyddedig ei falchder ef. *Ac nid oedd a symudai aden*—dywedir hyn mewn cyfeiriad fyth at yr aderyn yn hofian uwchben ei nyth i'w ddiogelu; *nac a agorai safn*—i roddi larwm, neu alarm; *nac a ynganai*—y meddwl yw, fod ei nerth a'i enw ef yn peri y fath fraw pa le bynag yr elai, nes y ffoai pawb am eu bywyd mewn dystawrwydd, heb i neb feiddio ei wrthsefyll ef.

Adn. 15. *A ymffrostia y fwyell yn erbyn*

yr hwn a gymyno â hi? a ymfawr-
yga y llif yn erbyn yr hwn a'i tyno?
megys ped ymddyrchafai y wialen
yn erbyn y rhai a'i codai hi i fyny,
*neu* megys ped ymddyrchafai y ffon,
*fel pe* na *byddai* yn bren.
16 Am hyny yr hebrwng yr Ar-
glwydd, Arglwydd y lluoedd, yn
mhlith ei freision ef gulni; a than
ei ogoniant ef y llysg llosgiad
megys llosgiad tân.
17 A bydd goleuni Israel yn dân,
a'i Sant ef yn fflam: ac efe a lysg, ac
a ysa ei ddrain a'i fieri mewn un
dydd:
18 Gogoniant ei goed hefyd, a'i
ddoldir, a ysa efe, enaid a chorff:
a byddant megys pan lesmeirio
banerwr.
19 A phrenau gweddill ei goed
ef a fyddant *o* rifedi, fel y rhifo
plentyn hwynt.
20 ¶ A bydd yn y dydd hwnw,
na chwanega gweddill Israel, a'r
rhai a ddiangodd o dŷ Jacob, ym-
gynal mwyach ar yr hwn a'u taraw-
odd: ond pwysant ar yr Arglwydd,
Sant Israel mewn gwirionedd.
21 Y gweddill a ddychwel, *sef*
gweddill Jacob, at y Duw cad-
arn.
22 Canys pe byddai dy bobl di, Is-
rael, fel tywod y môr, gweddill o
honynt a ddychwel: darfodiad ter-

---

*yr hwn a gymyno*] Neu a doro goed â hi? *a ymfawryga y llif yn erbyn yr hwn a'i tyno*—ar draws y pren, neu a lifio â hi? Fel pe dywedasai, Y mae mor afresymol i ti ymffrostio fel hyn, yr hwn nad wyt ddim ond offeryn yn llaw Duw, ag a fyddai i'r fwyell ymffrostio yn erbyn yr hwn a doro goed â hi; neu i'r llif ymfawrygu yn erbyn y llifiwr, gan briodoli ei nerth ef iddi ei hun. *Megys ped ymddyrchafai y wialen yn erbyn y rhai a'i codai hi i fyny*—i geryddu ereill â hi; *neu megys ped ymddyrchafai y ffon*—trwy ei nerth ei hun, *fel pe na byddai yn bren*—marw eithr yn *weithredydd moesol*, yn cario allan ei gynlluniau ei hun. Fel hyn y gwrthbrofa y proffwyd ymffrost gwâg Senacherib, gan ddangos iddo nad oedd ef, er ei holl gynghorau a'i weinyddiadau, ddim ond offeryn yn llaw rhagluniaeth i wneyd yr hyn a fynai Duw.

Adn. 16. *Am hyny yr hebrwng yr Arglwydd*] Sef Arglwydd mawr yr holl luoedd yn y nef a'r ddaear; *yn mhlith ei freision ef*—sef ei fyddin a'i dywysogion milwraidd, y rhai a besgodd efe âg yspail ei fuddugoliaethau; *gulni*—neu wendid, darfodedigaeth, a marwolaeth: *a than ei ogoniant ef*—dan bob peth gwerthfawr neu fawreddog, yn yr hwn yr ymogonedda efe, megys ei nerth, ei ddoethineb, a'i filwyr cedyrn; *y llysg llosgiad megys llosgiad tân*—sef dinystr hollol a chyflym. Fe allai fod hyn yn cyfeirio at y dinystr a fu ar ei fyddin, trwy ba un y lladdwyd 185,000 o'i wŷr ef mewn un noson; a thybia rhai mai trwy fellten neu dân y lladdwyd hwynt: gwel ar 2 Bren. xix. 35.

Adn. 17. *A bydd goleuni Israel*] Sef Duw, yr hwn yw goleuni a chysur Israel, yn gystal a'u Sant; *yn dân*—ac yn *fflam*, i ddifa eu gelynion hwy: *ac efe a lysg ac a ysa ei ddrain a'i fieri*—sef milwyr cyffredin brenin Assyria, y rhai ni allant wrthsefyll tân digofaint Duw mwy na phe buasent ddrain a mieri; *mewn un dydd*—neu yn hytrach mewn un noson, 2 Bren. xix. 35.

Adn. 18. *Gogoniant ei goed hefyd, a'i ddoldir*] Sef ei bendefigion a swyddogion ei fyddin; *a ysa efe enaid a chorff*—hyny yw, yn *hollol*. Fel y mae enaid a chorff yn gwneyd i fyny yr holl ddyn, felly y mae yr ymadrodd hwn yn arwyddo yma eu hysu hwynt yn gwbl ac yn hollol. *A byddant megys pan lesmeirio banerwr*—megys pan *ladder* ef, neu megys pan *ddiango* ymaith, fel y mae *Symmachus* yn ei ddeall, yr hyn a bair ddychryn yn yr holl fyddin. Y LXX a'i cyfieithant, 'A bydd y diangol megys un a ddiango o'r fflam dân.' Neu, yn ol ereill, 'byddant megys *dyn claf* yn treulio ac yn diflanu ymaith.'

Adn. 19. *A phrenau gweddill ei goed ef*] Sef y gweddill o fyddin yr Assyriaid; *a fyddant o rifedi*—mor fychan, *fel y rhifo plentyn hwynt*—yn hawdd, gan mor ychydig fyddant.

Adn. 20. *A bydd yn y dydd hwnw*] Yma darlunia y proffwyd yr effaith a gai dinystr yr Assyriaid ar yr Iuddewon; *na chwanega gweddill Israel, a'r rhai a ddiangodd o dŷ Jacob*—heb gael eu dyfetha gan ffrewyll yr Assyriaid; *ymgynal mwyach ar yr hwn a'u tarawodd*—hyny yw, nid ymgynghreiriant mwyach â'r Assyriaid, neu ni phwysant arnynt hwy mwyach am gynorthwy rhag eu gelynion: *ond pwysant ar yr Arglwydd, Sant Israel*—yr hwn yn unig a all eu cynal a'u gwaredu; *mewn gwirionedd*—nid trwy broffes yn unig, neu mewn rhagrith, ond yn wirioneddol.

Adn. 21. *Y gweddill a ddychwel*] *Searjasub* yw y gair Hebreig yma, sef enw mab Esay, yr hwn a roddwyd iddo ef yn ernes ac yn wystl o'r dychweliad hwn, pen. vii. 3; *sef gweddill Jacob*—y rhai a weddilliwyd, neu a adawyd, ar ol ymosodiad y gelyn ar eu gwlad; *at y Duw cadarn*—yr hwn a ddanghosodd ei gadernid yn eu gwaredigaeth hwy. Diamau mai 'Immanuel,' neu y 'Mab a roddwyd i ni,' a olygir yma: gwel ar pen. vii. 14, a ix. 6. Ymddengys mai at ddychweliad yr Iuddewon at Grist yn y dyddiau diweddaf y cyfeirir yma yn benaf, o'r hyn yr oedd eu dychweliad presenol hwy yn gysgod: gwel ar Rhuf. ix. 27.

Adn. 22. *Canys pe byddai dy bobl di, Israel, fel tywod y môr*] O ran amldra, megys yr addawsai Duw, Gen. xxii. 17; *gweddill o honynt a ddychwel*—dim ond gweddill, am

fynedig a lifa drosodd *mewn* cyf-
iawnder.
23 Canys darfodedigaeth, a *hòno*
yn derfynedig, a wna Arglwydd
Dduw y lluoedd yn nghanol yr holl
dir.
24 ¶ Am hyny fel hyn y dywed
Arglwydd Dduw y lluoedd, Fy
mhobl yr hwn a breswyli yn Seion,
nac ofna rhag yr Assyriad: â gwi-
alen y'th dery di, ac efe a gyfyd ei
ffon i'th erbyn, yn ol ffordd yr Aifft.
25 Canys eto ychydig bach, ac fe
a dderfydd y llid, a'm digofaint yn
eu dinystr hwy.
26 Ac Arglwydd y lluoedd a gyf-
yd ffrewyll yn ei erbyn ef, megys
lladdfa Midian yn nghraig Oreb:
ac *fel y bu* ei wialen ar y môr, felly
y cyfyd efe hi yn ol ffordd yr Aifft.
27 A bydd yn y dydd hwnw, y
symudir ei faich ef oddiar dy ys-
gwydd di, a'i iau ef oddiar dy wàr
di; a dryllir yr iau, o herwydd yr
eneiniad.
28 Daeth at Aiath, tramwyodd i
Migron, yn Michmas y rhoddes ei
ddodrefn i gadw.
29 Aethant trwy y rhyd, yn Geba
y lletyasant: dychrynodd Ramah;
Gibeah Saul a ffoes.
30 Bloeddia *â'th* lef, merch Gal-
im: pâr ei chlywed hyd Lais, O
Anathoth dylawd.

---

fod corff y genedl wedi gadael yr Arglwydd. *Darfodiad terfynedig a lifa drosodd mewn cyfiawnder*—neu ddarfodedigaeth benderfynedig, yr hon yr oedd Duw wedi *penderfynu* ei rhoddi ar gorff y genedl yn gosp *gyfiawn* am eu pechodau, a'r hon a *lifai* dros yr holl wlad fel afon fawr: gwel ar Rhuf. ix. 27, 28.

Adn. 23. *Canys darfodedigaeth*] Neu ddinystr ysol; *a hòno yn derfynedig*—neu wedi ei phenderfynu yn mwriad Duw; *a wna Arglwydd Dduw y lluoedd yn nghanol yr holl dir*—sef gwlad Canaan. Y mae cyfieithiad y LXX, yr hwn a ddylynir mewn rhan gan yr apostol Paul wrth ddyfynu y geiriau hyn, yn gwahaniaethu ychydig: 'Canys efe a orphen y gwaith, ac a'i cwtoga mewn cyfiawnder; oblegid byr waith a wna yr Arglwydd ar yr holl fyd cyfaneddol:' gwel ar Rhuf. ix. 28.

Adn. 24. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd*] Yma y mae y proffwyd yn dychwelyd at brif bwnc ei broffwydoliaeth, sef cysuro pobl Jerusalem â'r sicrwydd y byddai i fyddin yr Assyriaid gael ei dyfetha. *Fy mhobl, yr hwn a breswyli yn Seion*—sef yn ninas Jerusalem, lle y mae fy nheml, fy offeiriaid, a'm haddoliad i; *nac ofna rhag yr Assyriad*—yr hwn yn fuan a ddryllir. *A gwialen y'th dery di*—y mae yn wir y bydd iddo dy daro yn ysgafn; *ac efe a gyfyd ei ffon i'th erbyn*—i'th daro yn drymach, fel pe byddai am dy lwyr ddyfetha; *yn ol ffordd yr Aifft*—fel y gwnai Pharao gynt â'th dadau.

Adn. 25. *Canys eto ychydig bach, ac fe a dderfydd y llid*] Sef llid Duw yn erbyn ei bobl ond odid, ar ol i'r dyben o hono gael ei ateb; *a'm digofaint yn eu dinystr hwy*—derfydd fy nigofaint yn ninystr yr Assyriaid. Bydd i'r gelyn ag sydd yn awr yn cystuddio pobl Dduw, gael ei hunan ei gospi, trwy i'r digofaint dwyfol droi oddiwrthynt hwy ato ef.

Adn. 26. *Ac Arglwydd y lluoedd a gyfyd ffrewyll yn ei erbyn ef*] I'w gospi am ei falchder, ei draha, a'i greulondeb: gwel ar adn. 7, &c. *Megys lladdfa Midian yn nghraig Oreb*—yn amser Gedeon: gwel ar Barn. vii. 19—25. *Ac fel y bu ei wialen ar y môr*—i'w hollti trwy law Moses, a hyny i'r dyben i'th waredu di a boddi yr Aifftiaid; *felly y cyfyd efe hi yn ol ffordd yr Aifft*—o'th blaid di, ac yn erbyn yr Assyriaid, fel y gwnaethai wrth y môr coch yn erbyn yr Aifftiaid.

Adn. 27. *Ac yn y dydd hwnw*] Sef dydd dinystr yr Assyriaid; *y symudir ei faich ef oddiar dy ysgwydd di*—sef y deyrnged ond odid, yr hon a osodasai brenin Assyria ar wŷr Juda: *a dryllir yr iau, o herwydd yr eneiniad*—o herwydd y frenhiniaeth a'r offeiriadaeth, y rhai a dderbynid trwy eneiniad; neu o herwydd pobl Dduw, y rhai a elwid ei 'eneiniog' ef, Salm cv. 15; neu er mwyn diogelu tŷ a brenhiniaeth Dafydd ei eneiniog; neu er mwyn y Messia ei hun, yr hwn a eneiniwyd gan Dduw, Heb. i. 9.

Adn. 28. *Daeth at Aiath*] Meddylir mai yr hen Ai, neu Aia, yn llwyth Benjamin, oedd hon. Yn yr adnod hon a'r rhai canlynol cawn hanes taith byddin Senacherib, wrth iddynt fyned yn erbyn Jerusalem. *Tramwyodd i Migron*—lle ond odid rhwng Ai a Michmas, yn llwyth Benjamin. *Yn Michmas y rhoddes ei ddodrefn i gadw*—sef y gweddill o'i arfau rhyfel, y rhai nad oedd arno eu heisiau ar y pryd, a'r rhai y gallai deithio yn rhwyddach hebddynt. Trwy nad oedd ond oddeutu deg milldir o Michmas i Jerusalem, byddai yn hawdd iddo eu cael oddiyno, os byddai eu heisiau.

Adn. 29. *Aethant trwy y rhyd*] Neu 'fwlch Michmas,' 1 Sam. xiii. 33, a xiv. 4, 5; *yn Geba y lletyasant*—yr hon oedd yn fwy i'r gorllewin, ac heb fod yn ddim nes at Jerusalem. *Dychrynodd Ramah*—rhag yr Assyriaid; *Gibeah Saul a ffoes*—sef trigolion Gibeah, lle y ganed Saul. Trwy fod y lle hwn o fewn oddeutu saith milldir i Jerusalem, y mae yn debyg mai i Jerusalem y ffodd gwŷr Ramah a Gibeah.

Adn. 30. *Bloeddia â'th lef*] Bloeddia yn *uchel*, yn arwydd o'th fawr ddychryn; *merch Galim*—neu y ferch Galim. Gan mai Jerusalem oedd y fam-ddinas, gelwid y trefi cymydogaethol yn 'ferched' iddi. *Pâr ei chlywed hyd Lais*—bloeddia yn ddigon uchel

31 Ymbellaodd Madmenah: trig-
olion Gebim a ymgasglasant i ffoi.
32 Eto y dydd hwnw y saif efe yn
Nob; efe a gyfyd ei law *yn erbyn*
mynydd merch Seion, bryn Jeru-
salem.
33 Wele, yr Arglwydd, Arglwydd
y lluoedd, yn ysgythru y gangen â
dychryn: a'r rhai uchel o gyrff a
dorir ymaith, a'r rhai goruchel a
ostyngir.
34 Ac efe a dỳr ymaith frysglwyni
y coed â haiarn; a Libanus trwy
un cryf a gwymp.

## PENNOD XI.

YNA y daw allan wialen o gyff
Jesse; a blaguryn a dyf o'i
wraidd ef.
2 Ac ysbryd yr Arglwydd a or-
phwys arno ef; ysbryd doethineb a

---

i drigolion Lais, yn nghwr gogleddol Canaan allu dy glywed; *O Anathoth dylawd*—neu, fel y mae yn y Syriaeg, 'gwrando ar y llef, O Lais! ateb hi, O Anathoth!' Fel pe dywedasai, 'Bydded i lef trigolion *Galim* gyraedd hyd *Lais*, ac i'w hadlais *(echo)* gyraedd yn ol i *Anathoth.*' Ystyr *Anathoth* yw 'yr atebiad,' neu 'dylodi;' ac yr oedd y ddinas hon yn sefyll o fewn oddeutu pedair milldir i Jerusalem.

Adn. 31. *Ymbellaodd Madmenah*] Diangodd ei thrigolion yn mhell: *trigolion Gebim a ymgasglasant i ffoi*—mewn dychryn rhag Senacherib. Dau le bychan yn agos i Jerusalem.

Adn. 32. *Eto y dydd hwnw y saif efe yn Nob*] Yr oedd dinas offeiriadol o'r enw hwn oddeutu pymtheg milldir i'r gogledd-orllewin o Jerusalem, 1 Sam. xxi. 1; ond fe allai mai rhyw le arall yn ngolwg Jerusalem, ac yn agos ati, a feddylir yma. *Ac efe a gyfyd ei law*—mewn agwedd fygythiol, ond heb allu taro; *yn erbyn mynydd merch Seion, bryn Jerusalem*—hyny yw, yn erbyn Jerusalem, yr hon yr oedd rhan o honi ar fynydd Seion; neu, yn ol y *Galdeaeg*, 'yn erbyn y *cysegr* sydd yn Seion, ac yn erbyn y *llys* sydd yn Jerusalem.'

Adn. 33. *Wele yr Arglwydd, Arglwydd y lluoedd*] Ar ol darlunio taith yr Assyriaid tua Jerusalem, a'r braw a'r dychryn a feddiannai y trigolion yn mhob lle, y mae y proffwyd yma yn cyhoeddi y canlyniad o'u nesâd hwy at Jerusalem, er cysur i'w phreswylwyr. *Yn ysgythru y gangen â dychryn*—sef y gangen uwchaf, neu Senacherib falch ei hun, yr hwn a ffoai ymaith yn y dychryn mwyaf, 2 Bren. xix. 36. *A'r rhai uchel o gyrff a dorir ymaith*—sef y rhai talaf a chryfaf yn y fyddin, neu ei swyddogion uchel, y rhai a gydmherir yma i goed uchel yn cael eu tori i lawr. *A'r rhai goruchel a ostyngir*—sef yr holl feilchion yn eu plith. Yr oedd Senacherib wedi bod yn ymffrostio fod ei dywysogion ef i gyd yn frenhinoedd, adn. 8; ond yn y dinystr hwn ni byddant ddim mwy na'r rhai gwaelaf.

Adn. 34. *Ac efe a dỳr ymaith frysglwyni y coed*] Neu 'dewlwyni y goedwig,' sef holl gorff y fyddin, adn. 18, 19; *â haiarn*—fel y torir coed â llif neu fwyell haiarn: *a Libanus*—felly y gelwir yr holl fyddin Assyriaidd, fel pe buasent yn goedwig fawr o goed Libanus; *trwy un cryf a gwymp*—sef trwy 'angel yr Arglwydd,' fel y crybwyllir 2 Bren. xix. 35.

PEN. XI. Adn. 1. *Yna y daw allan wialen*] Ar ol i'r proffwyd fod yn cysuro pobl Dduw â'r addewid o waredigaeth dymhorol oddiwrth yr Assyriaid, y mae efe yma yn dangos y gwna Duw beth mwy na hyny iddynt, y rhoddai efe iddynt yr hir-ddysgwyliedig Fessia, ac y caent trwyddo ef waredigaeth ysbrydol. *O gyff Jesse*—ni ddywed efe o gyff *Dafydd*, yr hwn ydoedd frenin; ond o gyff *Jesse*, yr hwn nid oedd ond dyn cyffredin; i arwyddo, pan y genid Crist, y byddai y teulu brenhinol wedi ei ddarostwng i'w iselder dechreol. *A blaguryn a dyf o'i wraidd ef*—yma hefyd danghosir iselder y teulu brenhinol, yr hwn a fyddai fel pren wedi ei dori i lawr, heb ddim yn aros ond y cyff neu y gwreiddyn yn y ddaear. Dylai y rhai a gymhwysant hyn at *Hezeciah*, gofio ei fod ef wedi ei eni eisioes; a bod yr hen ddoctoriaid Iuddewig yn ei ddeall yn unfrydol am y Messia

Adn. 2. *Ac ysbryd yr Arglwydd*] Sef yr Ysbryd Glân, â'r hwn yr eneiniodd Duw ef, Act. x. 38, Heb. i. 9; *a orphwys arno ef*—nid a ddaw arno ef ar amserau, fel yr oedd yn dyfod ar y proffwydi; ond a *orphwys* arno ac ynddo ef yn barhaus. *Ysbryd doethineb*—'yn yr hwn y mae holl drysorau doethineb a gwybodaeth yn guddiedig,' Col. ii. 3; *a deall*—y gwahaniaeth rhwng y geiriau a gyfieithir yma *doethineb* a *deall* yw, fod y cyntaf yn dynodi doethineb yn briodol felly; a'r olaf yn dynodi yr iawn-farn hòno a ddeillia oddiwrth ddoethineb, trwy ba un y gwahaniaethai efe rhwng pethau, neu y penderfynai eu natur a'u cymeriad. *Ysbryd cynghor*—trwy yr hwn y cymhwysid ef, fel dysgawdwr cyhoeddus, i roddi cynghor addas yn mhob amgylchiad, pen. ix. 6; *a chadernid*—nerth, yni, a grym; trwy yr hwn y galluogid ef i bregethu gydag awdurdod, i wneuthur gwyrthiau, i orchfygu ei elynion, ac i fyned trwy ei holl ddyoddefiadau mawrion. *Ysbryd gwybodaeth*—sef perffaith wybodaeth o holl ewyllys a chynghor Duw, o galonau dynion, ac o bob peth dirgel; *ac ofn yr Arglwydd*—sef parchedig ofn, neu ofn ei ddigio ef, a gofal am ryngu ei fodd ef yn mhob peth. Os gofynir, 'Pa fodd y gallai un ag ydoedd *ddwyfol* yn ei natur ei hun, fod mewn angen am ei ddonio fel hyn â'r Ysbryd Glân?' yr atebiad yw, ei fod ef hefyd yn *ddyn* wedi deilliaw o gyff Jesse, ac y gallai efe, fel *dyn*, gael ei gymhwyso i'w waith trwy offerynoliaeth yr Ysbryd Glân. Cadwyd ei natur ddynol ef fel hyn yn bur a dilwgr; llanwyd ei

deall, ysbryd cynghor a chadernid,
ysbryd gwybodaeth ac ofn yr Ar-
glwydd;
3 Ac a wna ei ddeall ef yn fywiog
yn ofn yr Arglwydd: ac nid wrth
olwg ei lygaid y barn efe, nac wrth
glywed ei glustiau y cerydda efe.
4 Ond efe a farn y tylodion mewn
cyfiawnder, ac a argyhoedda dros
rai llariaidd y ddaear mewn union-
deb: ac efe a dery y ddaear â gwi-
alen ei enau, ac âg anadl ei wefusau
y lladd efe yr anwir.
5 A chyfiawnder fydd gwregys ei
lwynau ef, a ffyddlondeb yn wregys
ei arenau.
6 A'r blaidd a drig gyda'r oen,
a'r llewpard a orwedd gyda'r mŷn;
y llo hefyd, a chenau y llew, a'r
anifail bras, fyddant yn nghyd, a
bachgen bychan a'u harwain.
7 Y fuwch hefyd a'r arth a borant

---

feddwl â gwir ddoethineb a deall; ac yr oedd ei galon bob amser yn llawn o gariad at Dduw, ac o ofn yr Arglwydd.

Adn. 3. *Ac a wna ei ddeall ef yn fywiog yn ofn yr Arglwydd*] Yn y pethau a berthynant i addoliad Duw, a phob rhan o grefydd; neu, ni farna efe yn fyrbwyll a phleidgarol, ond yn ystyriol a chyfiawn, fel y mae ofn yr Arglwydd yn rhwymo pob barnwr i wneyd. *Ac nid wrth olwg ei lygaid y barn efe*—nid wrth yr ymddanghosiad allanol, fel y gwna barnwyr daearol, y rhai ni allant chwilio y galon; *nac wrth glywed ei glustiau y cerydda efe*—ni fydd iddo ef gondemnio neb, neu gyhoeddi dedfryd yn erbyn neb, oddiar yr hyn a glywo gan ereill; ond bydd iddo 'chwilio yr arenau a'r calonau' ei hun: gwel ar Dat. ii. 23.

Adn. 4. *Ond efe a farn y tylodion*] Y rhai y mae barnwyr daearol yn fynych yn eu gorthrymu; *mewn cyfiawnder*—yn gyfiawn a diduedd: *ac a argyhoedda*—neu a 'ddadleua,' fel y gellir ei gyfieithu; *dros rai llariaidd y ddaear*—dros rai isel y ddaear, neu y dosbarth isaf; *mewn uniondeb*—heb wneyd cam âg ereill wrth wneyd cyfiawnder â hwynthwy. Ond wrth y 'tylodion' a'r 'rhai llariaidd' uchod y dealla rhai y tylodion yn yr ysbryd, neu ddeiliaid teyrnas ysbrydol Crist. *Ac efe a dery y ddaear*—sef dynion daearol a drygionus; *â gwialen ei enau*—â'r barnedigaethau a fygythiwyd o'i enau; neu â'i air, yr hwn a elwir yn 'wialen ei nerth,' Salm cx. 2; neu trwy bregethiad yr efengyl, fel y mae rhai yn ei ddeall: *ac âg anadl ei wefusau*—neu y ddedfryd a ddaw allan o'i wefusau, *y lladd efe yr anwir*—y condemnia efe yr anedifeiriol i ddinystr. Cyflawnwyd hyn mewn rhan trwy ymadroddion a phregethiad awdurdodol yr Arglwydd Iesu pan ar y ddaear; a chyflawnir hyn yn llwyrach ddydd y farn.

Adn. 5. *A chyfiawnder fydd gwregys ei lwynau ef*] Fydd yn addurn ac yn nerth iddo, fel yr oedd y gwregys am lwynau y dwyreinwyr yn addurn ac yn nerth iddynt hwythau; *a ffyddlondeb*—yn ngweinyddiad ei holl swyddau cyfryngol, *yn wregys ei arenau*—yr un peth mewn geiriau ereill. Y meddwl yw, y bydd efe yn hynod am gyfiawnder a gwirionedd; ac y bydd i'w frwdfrydedd dros y rhai hyn ei wneyd ef yn gryf a bywiog yn y cyflawniad o ddybenion ei deyrnas.

Adn. 6. *A'r blaidd a drig gyda'r oen*] Yn yr adnodau hyn dengys y proffwyd effeithiau dymunol teyrnasiad y Messia, yn cynyrchu heddwch, diogelwch, a dedwyddwch yn mhlith pob math a gradd o ddynion ar y ddaear. Yr ymadroddion a ddefnyddir yma sydd *gyffelybiaethol.* Dan y gyffelybiaeth o greaduriaid gwyllt a gwâr yn cyd-drigo mewn llonyddwch a diogelwch dan ofal y Pen-bugail, gosodir allan braidd neu ddeiliaid y Messia yn ymborthi ac yn aros mewn perffaith ddiogelwch, heb gael eu niweidio gan ddynion a fuont unwaith mor ffyrnig, creulon, a bwystfilaidd a *blaidd, llew, asp,* neu *wiber.* Ond yn mha gyfnod o amser y Messia yr oedd hyn i gymeryd lle? Tybia rhai mai yn nechre ei deyrnasiad, pryd yr oedd efe i weinidogaethu ar y ddaear yn bersonol; tybia ereill mai yn niwedd ei deyrnasiad, neu yn amser y milflwyddiant: ond y mae yn debycach fod hyn yn ddarluniad o effeithiau achubol gras yr efengyl yn mhob cyfnod o'r oruchwyliaeth Gristionogol, pryd y mae dynion creulon a niweidiol yn cael eu dychwelyd oddiwrth eu harferion drygionus, a'u gwneyd mor ddiniwed a defnyddiol a'r *oen,* y *fuwch,* a'r *llo.* Nad yw hyn yn cyfeirio at unrhyw gyfnewidiad yn natur neu gyfansoddiad y bwystfilod hyn yn *llythyrenol,* sydd amlwg, (1) Am fod yr holl ymadroddion a ddefnyddir yma yn farddonol a chyffelybiaethol; megys gwialen o gyff Jesse, adn. 1; gwialen ei enau, adn. 4; cyfiawnder yn wregys, adn. 5, &c. (2) Am fod ymadroddion cyffelyb yn cael eu defnyddio yn gyffredin iawn i osod allan ddynion aflywodraethus a mileinig, fel y cawn siamplau yn y beirdd Arabaidd, Persiaidd, Groegaidd, a Lladinaidd. (3) Am mai pethau i gymeryd lle yn eglwys Dduw, sef yn 'mynydd ei santeiddrwydd ef,' adn. 9, yw hyn oll. (4) Am nad oes yn yr efengyl un cymhwysder i effeithio cyfnewidiad fel hyn yn natur llewod, eirth, a gwiberod. *A'r llewpard a orwedd gyda'r mŷn*—yr ieuanc o'r geifr, yr hwn, fel yr oen, a ystyrid bob amser yn arwydd o ddiniweidrwydd. *Y llo hefyd, a chenau y llew, a'r anifail bras*—sef rhyw greadur tew neu besgedig, yr hwn a arferai fod yn ysglyfaeth ddymunol i lewod a'u cenawon; *fyddant yn nghyd*—heb y perygl lleiaf i'r cenau llew eu rhwygo: *a bachgen bychan a'u harwain*—neu a allai eu harwain, heb i'r cenau llew wneyd dim niwed iddo ef na hwythau.

Adn. 7. *Y fuwch hefyd*] Sef dynion llonydd a diniwed fel y fuwch; *a'r arth*—sef dynion ag oeddynt unwaith yn greulon a rheibus fel yr arth; *a borant yn nghyd*—mewn heddwch

yn nghyd; eu llydnod a *gyd*-orweddant: y llew, fel yr ŷch, a bawr wellt.
8 A'r plentyn sugno a chwery wrth dwll yr asp; ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd ei law.
9 Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy santeiddrwydd: canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd, megys y mae y dyfroedd yn toi y môr.
10 ¶ Ac yn y dydd hwnw y bydd gwreiddyn Jesse, yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd: âg ef yr ymgais y cenhedloedd: a'i orphwysfa *fydd* yn ogoniant.
11 Bydd hefyd yn y dydd hwnw, i'r Arglwydd fwrw eilwaith ei law i feddiannu gweddill ei bobl, y rhai

---

a diogelwch: *eu llydnod a gydorweddant*—sef eu plant hwy, yn mhorfeydd gwelltog yr efengyl, heb i'r naill niweidio y llall. *Y llew, fel yr ŷch, a bawr wellt*—bydd y cyfnewidiad a gymer le yn nhymherau y dynion creulonaf, mor fawr a phe byddai i'r llew golli ei chwant naturiol am waed, a dyfod i bori gwellt fel yr ŷch: neu daw dynion ag oeddynt unwaith yn greulon ac ysglyfaethus fel llewod, i fyw trwy onestrwydd ar eu hennill eu hunain, neu i ymborthi yn ysbrydol ar ddanteithion yr efengyl, yr hyn a fydd yn gymaint rhyfeddod a phe byddai i lewod ddyfod i bori gwellt fel ychain.

Adn. 8. *A'r plentyn sugno a chwery*] Neu a allai chwareu; *wrth dwll yr asp*—lle yr arfera nythu neu lochesu, heb iddo gael dim niwed ganddi: *ac ar ffau y wiber yr estyn yr hwn a ddiddyfnwyd*—oddiwrth y fron, *ei law*—yr un mor ddiberygl, er na byddai ond plentyn newydd ei ddiddyfnu. Am wenwyn yr asp a'r wiber, gwel ar Salm xci. 13, Act. xxviii. 3—6. Y meddwl yw, y byddai i'r dynion mwyaf peryglus a niweidiol gael eu troi trwy ras yr efengyl i fod mor ddiniwed a hawdd eu trin, fel y gallai y plentyn lleiaf eu llywodraethu.

Adn. 9. *Ni ddrygant ac ni ddyfethant*] Hyn a ddywedir am y dynion nwydwyllt, ffyrnig, a chreulon hyny unwaith, y rhai a ddarluniwyd yn y tair adnod uchod dan y gyffelybiaeth o *lewod, llewpardiaid, eirth, a gwiberod;* eithr a ddofwyd, ac a wnaed yn 'greaduriaid newyddion' dan deyrnasiad y Messia: *yn holl fynydd fy santeiddrwydd*—sef yn yr eglwys Gristionogol, yr hon a ddarlunir yn fynych dan yr enw hwn gan y proffwydi, mewn cyfeiriad at y mynydd ar ba un y safai y deml gynt. Lle bynag y sefydlir yr efengyl, ac y llwydda crefydd Crist, bydd i'r effeithiau hyn gael eu cynyrchu; ac yn y man bydd i efengyl bur Crist, yr hon yw 'gallu Duw er iachawdwriaeth i bob un a'r sydd yn credu,' gyraedd dros wyneb yr holl ddaear. *Canys y ddaear a fydd llawn o wybodaeth yr Arglwydd*—o wybodaeth gywir am ei Fôd a'i briodoliaethau, am ei grefydd a'i addoliad, ac am ei hawliau cyfiawn yn ngwasanaeth ac ufydd-dod ei holl greaduriaid moesol; nes y teimla dynion yn gyffredinol duedd i gofleidio ei grefydd ef, ac i ymagweddu yn ol rheolau ei air santaidd, ac yn unol â chymhelliadau ei Ysbryd: ac felly nid gwybodaeth hanesiol yn unig o Dduw a feddylir yma, ond hefyd gwybodaeth brofiadol ac achubol. Awgrymir yma fod yr holl greulondeb, y trais, a'r elyniaeth ag sydd mewn dynion cnawdol ac annuwiol tuag at eu gilydd, neu tuag at bobl yr Arglwydd, yn tarddu oddiar eu hanwybodaeth o Dduw, a'u diffyg o grefydd Crist; yr hon, pa le bynag y ffyna, a bair gyfnewidiad llwyr a thrwyadl yn nghalonau a bucheddau y rhai a'i derbyniant. *Fel y mae y dyfroedd yn toi y môr*—sef yn toi gwaelodion y môr, gan dreiddio i bob cilfach, a llenwi pob pant: gwel ar Hab. ii. 14. Nid yw y ddaear yn llawn o wybodaeth yr Arglwydd eto, ond hi a fydd felly yn nddiau yn ystod y milflwyddiant; a'r pryd hyny bydd yr effeithiau dedwydd uchod yn sicr o gymeryd lle. Dofir nwydau digofus dynion a fuont unwaith yn greulon fel llewod neu eirth; cyfnewidir eu hanian, eu calonau, a'u bucheddau; dygir hwynt i gydymddwyn â'u gilydd, i garu eu gilydd, ac i weddio dros eu gilydd; gwneir y meddw yn sobr, a'r cablwr yn weddiwr; a throir erlidwyr creulon fel Saul o Tarsus, i fod mor addfwyn a diniwed a'r oen.

Adn. 10. *Ac yn y dydd hwnw*] Sef yn nyddiau y Messia; *y bydd gwreiddyn Jesse*—neu y 'blaguryn' hwnw, yr hwn 'a dŷf o'i wraidd ef,' adn. 1; *yr hwn a saif yn arwydd i'r bobloedd*—neu yn 'faner,' at ba un y cyrchant o bob parth, adn. 12. *Ag ef yr ymgais y cenhedloedd*—nid yn unig yr Iuddewon, ond y Cenhedloedd hefyd, y rhai a daflant ymaith eu heilunod, gan geisio iachawdwriaeth trwy Grist. *A'i orphwysfa*—sef ei eglwys, lle y mae yn gorphwys ac yn preswylio; neu ynte y gorphwysdra a'r tawelwch a ddyry efe oddiwrth euogrwydd a phechod; *fydd yn ogoniant*—Saes., 'fydd yn ogoneddus;' bydd ei eglwys wedi ei phrydferthu â'r dwyfol bresenoldeb. Ond bydd yn llawer mwy gogoneddus yn y byd a ddaw, pan dderbynir y credinwyr i'r 'orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw,' Heb. iv. 9. Y pryd hyny bydd yr eglwys yn *ogoniant* tragwyddol.

Adn. 11. *Bydd hefyd yn y dydd hwnw*] Mewn rhyw gyfnod o ddyddiau y Messia; *i'r Arglwydd fwrw eilwaith ei law i feddiannu gweddill ei bobl*—ymddengys mai y *waith gyntaf*, pa un a awgrymir yma trwy y gair *eilwaith*, yw naill ai, (1) Y waredigaeth o'r *Aifft;* ac yna rhaid fod yr ail hon yn golygu y waredigaeth o Babilon: neu ynte, (2) Y waredigaeth o *Babilon;* ac yna rhaid fod yr ail hon yn cyfeirio at waredigaeth yn nyddiau y Messia. Ymddengys mai y golygiad diweddaf hwn yw y tebycaf, (1) Am y tybir fod

a weddillir gan Assyria, a chan yr Aifft, a chan Pathros, a chan Ethiopia, a chan Elam, a chan Sinar, a chan Hamath, a chan ynysoedd y môr.
12 Ac efe a gyfyd faner i'r Cenhedloedd, ac a gynull grwydriaid Israel, ac a gasgl wasgaredigion Juda o bedair congl y ddaear.
13 Cenfigen Ephraim a ymedy hefyd, a gwrthwynebwyr Juda a dorir ymaith: ni chenfigena Ephraim wrth Juda, ac ni chyfynga Juda ar Ephraim.
14 Ond hwy a ehedant ar ysgwyddau y Philistiaid tua'r gorllewin; yn nghyd yr yspeiliant feibion y dwyrain: hwy a osodant eu llaw ar Edom a Moab, a meibion Ammon fydd *mewn* ufydd-dod iddynt.
15 Yr Arglwydd hefyd a ddifroda dafod môr yr Aifft, ac â'i wynt nerthol efe a gyfyd ei law ar yr

---

y waredigaeth gyntaf hòno, fel yr ail, yn waredigaeth i *weddill* y bobl hyn o *wahanol* wledydd lle yr oeddynt yn wasgaredig; tra yr oedd y waredigaeth o'r Aifft yn cofleidio nid y gweddill, ond yr holl genedl, ac yn eu dwyn o'r Aifft yn unig. (2) Am fod yr ail waredigaeth hon yn cyraedd at holl grwydriaid Israel, neu y deg llwyth, a gwasgaredigion Juda, neu y ddau lwyth, adn. 12; tra nad oedd y waredigaeth o Babilon yn cyraedd ond at y ddau lwyth, a rhyw ychydig o'r deg llwyth ag oeddynt wedi ymgymysgu â hwynt. Ac, (3) Am fod yr ail waredigaeth hon i'w hestyn iddynt yn nyddiau y Messia, ac i ddylyn dychweliad y Cenhedloedd, fel y mae yn amlwg oddiwrth adn. 9, 10; tra yr oedd y waredigaeth o Babilon i gymeryd lle yn hir cyn dyfodiad y Messia, ac felly o flaen galwad y Cenhedloedd. *Y rhai a weddillir gan Assyria*—Saes., 'i feddiannu gweddill ei bobl, y rhai a weddillir, *o* Assyria;' neu, bydd i'r Arglwydd eu meddiannu hwynt *yn* Assyria, ac *yn* y manau ereill a enwir yma. Nid ydym i gasglu oddiyma y bydd i'r Arglwydd eu dwyn hwynt o'r holl leoedd hyn i wlad Canaan; eithr y meddwl yw, y bydd iddo gymeryd meddiant o honynt fel ei bobl *yn* y gwledydd hyn, a'u gwneyd yno yn Gristionogion. *A chan yr Aifft*—Saes., '*o'r* Aifft,' neu *yn* yr Aifft, lle y mae llawer o Iuddewon yn mhob oes. *Pathros*—y rhan ddeheuol o wlad yr Aifft, yr hon a elwir yr 'Aifft Uwchaf.' *Ethiopia*—Saes., 'ac *o Cus*,' sef y gwledydd a boblogwyd gan hiliogaeth *Cus*, mab hynaf Cam, Gen. x. 6, &c. Y mae yr enw *Cus* yn cael ei roddi yn fynych yn yr ysgrythyrau i Arabia, i Ethiopia yn Affrica, ac i'r parthau dwyreiniol rhwng y Tigris a'r Forgainc Bersiaidd; a meddylir mai y lle olaf hwn, yr hwn a elwir *Chusastan*, a feddylir yma. *Elam*—hwn oedd enw y wlad a feddiannwyd gyntaf gan y Persiaid, Gen. xiv. 1. *Sinar*—parth o Babilonia, yn gorwedd rhwng y Tigris a'r Euphrates, Gen. xi. 2. *Hamath*—dinas yn Syria, ar derfyn gogleddol Canaan, pen. x. 9. *Ynysoedd y môr*—sef yr ynysoedd yn Môr-y-canoldir, a'r holl wledydd ereill trwy yr holl fyd, y rhai a wahenid gan fôr oddiwrth Asia, megys Lloegr, Ewrop, America, &c.

Adn. 12. *Ac efe a gyfyd faner i'r Cenhedloedd*] Sef y Crist croeshoeliedig, yr hwn, fel baner, a gyfodir i fyny yn ngweinidogaeth yr efengyl, yn arwydd i Iuddewon a Chenhedloedd ymgasglu ato ef. *Ac a gynull grwydriaid Israel*—sef y deg llwyth ag sydd yn awr ar goll. Ni ddywedir y bydd iddynt gael eu hadnabod na'u gwahaniaethu fel y cyfryw, llawer llai y bydd iddynt gael eu dwyn yn ol i'w gwlad; eithr y meddwl yw, y bydd iddynt hwy, yn nghyda phawb ereill o'r teulu dynol, gael eu cynull at Grist. *Ac a gasgl wasgaredigion Juda*—at Grist, yr un modd a chrwydriaid Israel; *o bedair congl y ddaear*—o'r dwyrain a'r gorllewin, o'r gogledd ac o'r deau.

Adn. 13. *Cenfigen Ephraim a ymedy*] Yr oedd Ephraim, neu y deg llwyth, yn cenfigenu yn fawr wrth Juda gynt, fel y gwelwn yn hanes eu rhyfeloedd â hwynt; ond ar ol iddynt gael eu cynull at Grist, derfydd hyn: gwel ar adn. 6—8. *A gwrthwynebwyr Juda a dorir ymaith*—pwy bynag fyddant; neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'a *gelyniaeth* Juda a dorir ymaith.' *Ni chenfigena Ephraim wrth Juda*—o herwydd ei freintiau uwch, neu ei awdurdod helaethach; *ac ni chyfynga Juda ar Ephraim*—ni ddefnyddia efe ei oruwch-awdurdod i orthrymu ei frodyr îs. Y meddwl yw, y bydd undeb, cydgordiad, heddwch, a chariad, yn teyrnasu yn mhlith holl ganlynwyr Crist yn yr amser a ddaw: gwel fy Narlith i ar y *Milflwyddiant*.

Adn. 14. *Ond hwy a ehedant ar ysgwyddau y Philistiaid tua'r gorllewin*] Cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth adar ysglyfaethus yn disgyn ar warau defaid a lloi. *Yn nghyd*—sef llwythau Ephraim a Juda, *yr yspeiliant feibion y dwyrain*—o'u heilunod, neu y darostyngant hwy i ufydd-dod Crist. *Hwy a osodant eu llaw ar Edom a Moab*—eu hen elynion greddfol gynt; *a meibion Ammon fydd mewn ufydd-dod iddynt*—y mae hyn oll i'w ddeall am fuddugoliaethau ysbrydol meibion Israel ar yr holl Genhedloedd, ar ol iddynt hwy eu hunain gael eu dychwelyd at Grist; canys arfera y proffwydi lefaru am bethau ysbrydol yr efengyl dan y cyffelyb gydmhariaethau.

Adn. 15. *Yr Arglwydd hefyd a ddifroda*] Neu a 'sycha i fyny;' neu, yn ol y *Galdeaeg*, 'a dery â sychder;' *dafod môr yr Aifft*—neu gainc y môr coch. Nid yn unig efe a'i holita, fel y gwnaeth yn amser Moses; ond efe a'i cwbl sycha, fel y byddo yn dramwyfa hawdd. *Ac â'i wynt nerthol efe a gyfyd ei law ar yr afon*—sef ar y *Nilus*, yn ol rhai; ond y mae yn debycach mai yr *Euphrates* a feddylir;

afon, ac a'i tery hi yn y saith ffrwd, ac a wna fyned drosodd yn droedsych.

16 A hi a fydd yn brif-ffordd i weddill ei bobl ef y rhai a adewir o Assyria, megys ag y bu i Israel yn y dydd y daeth efe i fyny o dir yr Aifft.

## PENNOD XII.

YNA y dywedi yn y dydd hwnw, Molaf di, O Arglwydd: er it' sori wrthyf, dychwelir dy lid, a thi a'm cysuri.

2 Wele, Duw *yw* fy iachawdwriaeth; gobeithiaf, ac nid ofnaf: canys yr Arglwydd Dduw *yw* fy nerth a'*m* cân; efe hefyd yw fy iachawdwriaeth.

3 Am hyny mewn llawenydd y tynwch ddwfr o ffynnonau iachawdwriaeth.

4 A chwi a ddywedwch yn y dydd hwnw, Molwch yr Arglwydd, gelwch ar ei enw, hysbyswch ei weithredoedd ef yn mhlith y bobloedd, cofiwch mai dyrchafedig yw ei enw ef.

---

megys ag y cododd Moses ei law ar y môr coch, Exod. xiv. 21. *Ac a'i tery hi yn y saith ffrwd*—neu 'yn saith ffrwd,' fel y byddo yn hawdd ei chroesi; *ac a wna fyned drosodd yn droedsych*—y meddwl yw, nid y byddai i'r Iuddewon fyned o Assyria a'r Aifft i Ganaan; ond y byddai i'r holl rwystrau ag sydd ar ffordd buddugoliaethau yr efengyl yn mhob gwlad gael eu symud.

Adn. 16. *A hi a fydd yn brif-ffordd*] Sef yr afon Euphrates, yn gystal a thafod môr yr Aifft, ar ol eu sychu i fyny felly; *i weddill ei bobl ef y rhai a adewir*—sef i weddill yr Iuddewon, y rhai a fyddant ar gael y pryd hyny; *o Assyria*—a phob gwlad arall: gwel ar adn. 11. *Megys ag y bu i Israel yn y dydd y daeth efe i fyny o dir yr Aifft*—y meddwl yw, megys ag y sychwyd y môr coch gynt i Israel ddyfod trwyddo i'r anialwch; felly y sychir yr Euphrates yn awr, fel y gallont hwy ddyfod at Grist; neu, mewn geiriau eglur, symudir pob rhwystr ag sydd yn awr ar eu ffordd i gofleidio Cristionogaeth. Gallwn sylwi yma, (1) Fod yr Iuddewon yn awr, trwy ryfedd ragluniaeth Duw, yn wasgaredig yn mhob gwlad. (2) Eu bod felly yn gallu llefaru agos bob iaith, fel na raid iddynt ymboeni i geisio eu dysgu y pryd hyny. (3) Eu bod eisioes yn addoli Duw Israel, a bod ysgrythyrau yr Hen Destament yn eu meddiant, a llawer o honynt yn meddu y Testament Newydd hefyd. (4) Ac y bydd iddynt, ar ol eu cynull at Grist, fod yn genhadau llwyddiannus i ddychwelyd y Cenhedloedd yn mhob man at Gristionogaeth. Yr oedd yr apostolion oll yn Iuddewon; ac y mae eu defnyddioldeb hwy fel pregethwyr yr efengyl, a'r sel santaidd a ddanghosent yn eu gwaith, yn brawf o'r hyn a wna yr Iuddewon eto, pan y dychwelir hwynt i fod yn genhadau dros Grist.

PEN. XII. Adn. 1. *Yna y dywedir yn y dydd hwnw*] Ar ol i'r hyn a ragfynegwyd yn niwedd y bennod flaenorol gael ei gyflawni, byddai i eglwys Dduw, yn gyfansoddedig o Iuddewon a Chenhedloedd, ddywedyd fel un gŵr; *Molaf di, O Arglwydd*—hyny yw, byddai iddynt hwythau ganu cân o foliant i Dduw am eu gwaredigaeth ysbrydol, fel y canodd meibion Israel gynt gân o foliant iddo am eu gwaredigaeth dymhorol ar fin y môr coch: gwel ar Exod. xv. 1, &c. *Er it' sori wrthyf*—pan yn fy nghyflwr annychweledig o dywyllwch paganaidd, neu annghrediniaeth Iuddewig; *dychwelir dy lid, a thi a'm cysuri*—Saes., 'dychwelwyd dy lid, ac yr wyt yn fy nghysuro.'

Adn. 2. *Wele, Duw yw fy iachawdwriaeth*] Yw awdwr a ffynnonell fy iachawdwriaeth, ac am hyny efe a haedda gael ei foli fel hyn. *Gobeithiaf*—yn ei allu a'i ffyddlondeb; *ac nid ofnaf*—y bydd iddo siomi fy ngobaith, neu fod yn analluog neu anewyllysgar i'm gwaredu rhagllaw. *Canys yr Arglwydd Dduw yw fy nerth a'm cân*—yw fy nerth i ganu, a thestyn fy nghân; *efe hefyd yw fy iachawdwriaeth*—y mae yn debyg i'r proffwyd gymeryd y geiriau hyn o gân meibion Israel, lle y cawn yr un geiriau: gwel ar Exod. xv. 2.

Adn. 3. *Am hyny*] Am mai yr Arglwydd Dduw yw eich nerth, a'ch cân, a'ch iachawdwriaeth; *mewn llawenydd y tynwch ddwfr*—sef bendithion ysbrydol, adfywiol, a glanhaol; *o ffynnonau iachawdwriaeth*—sef o foddion gras ac ordinhadau yr efengyl. Y mae yr Iuddewon eu hunain yn cymhwyso hyn at ddyddiau y MESSIA. Ar y dydd olaf o ŵyl y pebyll dygai yr offeiriaid ddwfr mewn cawg aur o lyn Siloam, a thywalltent ef, wedi ei gymysgu â gwin, ar yr aberth a orweddai ar yr allor, tra yr ydoedd y bobl yn canu geiriau yr adnod hon. Dechreuwyd y ddefod yma nid trwy orchymyn Moses, ond mewn amser diweddarach, ac mewn cyfeiriad at y geiriau hyn o eiddo y proffwyd, fel arwydd o fendithion dyfodol dan yr efengyl: a chymhwysodd ein Hiachawdwr y ddefod hon, yn nghyda'r dyben o honi, ato ei hun, ac at ddylanwadau yr Ysbryd Glân y rhai a roddid trwyddo ef: gwel ar Ioan vii. 37, 38.

Adn. 4. *A chwi a ddywedwch*] Wrth ereill, mewn ffordd o annogaeth; *yn y dydd hwnw*—sef yn y dydd ag y byddoch chwi eich hunain yn tynu dwfr mewn llawenydd o ffynnonau iachawdwriaeth; *Molwch yr Arglwydd*—mewn llawenydd a gorfoledd; *gelwch ar ei enw*—mewn gweddi; neu yn l[illegible]t-rach, fel y mae ar ymyl y ddalen, '*cyhoeddwch* ei enw,' sef fel Gwaredwr hollddigonol; *hysbyswch ei weithredoedd ef yn mhlith y bobloedd*—ag sydd eto heb glywed am ei weithredoedd rhyfedd ef mewn prynedigaeth

5 Cenwch i'r Arglwydd; canys
godidogrwydd a wnaeth efe: hys-
bys *yw* hyn yn yr holl dir.
6 Bloeddia a chroch-lefa, bres-
wylferch Seion; canys mawr *yw*
Sant Israel o'th fewn di.

## PENNOD XIII.

BAICH Babilon, yr hwn a welodd
Esay mab Amoz.
2 Dyrchefwch faner ar y mynydd
uchel, dyrchefwch lef atynt, ysgyd-
wch law, fel yr elont i fewn pyrth y
pendefigion.
3 Myfi a orchymynais i'm rhai
santaidd; gelwais hefyd fy nghed-
yrn i'm digter, y rhai a ymhyfryd-
ant yn fy nyrchafiad.
4 Llef tyrfa yn y mynyddoedd, yn
gyffelyb i bobl lawer; swn twrf
teyrnasoedd y cenhedloedd [wedi
ymgynull: Arglwydd y lluoedd
sydd yn cyfrif llu y rhyfel.
5 Dyfod y maent o wlad bell, o
eithaf y nefoedd; *sef* yr Arglwydd
ac arfau ei lidiogrwydd, i ddifa yr
holl dir.
6 ¶ Udwch: canys agos *yw* diwr-
nod yr Arglwydd; megys anrhaith
oddiwrth yr Hollalluog y daw.
7 Am hyny yr holl ddwylaw a

---

a gras; *cofiwch*—neu 'perwch gofio,' *mai dyrchafedig yw ei enw ef*—ynddo ei hun, o herwydd yr hyn ydyw ac a wnaeth, ac y dylai gael ei ddyrchafu yn ngolwg yr holl genhedloedd.

Adn. 5. *Cenwch i'r Arglwydd*] Felly y dywedodd Miriam wrth feibion Israel, Exod. xv. 21, at ba eiriau ond odid y cyfeiria y proffwyd; *canys godidogrwydd a wnaeth efe* —wrth ddarparu iachawdwriaeth ysbrydol i ni trwy ei Fab: *hysbys yw hyn yn yr holl dir* —Saes., 'yn yr holl *ddaear*;' neu, yn fwy priodol, '*bydded* hyn yn hysbys trwy yr holl ddaear,' neu '*bydd* hyn yn hysbys.'

Adn. 6. *Bloeddia a chroch-lefa*] Mewn sain cân, moliant, a gorfoledd; *breswylferch Seion*—felly y gelwir yr eglwys Gristionogol, wedi ei gwneyd i fyny o Iuddewon a Chenhedloedd: *canys mawr yw Sant Israel o'th fewn di*—hyny yw, danghosodd Duw ei fod yn fawr, ac yn haeddu ei glodfori, trwy y waredigaeth ryfeddol a ddygodd efe i ni trwy ei Fab. Ond tybia rhai mai Crist ei hun a elwir yma yn 'Sant Israel.' Pa un bynag am hyny, y mae yntau yn fawr a gogoneddus yn ei eglwys, a bydd felly byth.

PEN. XIII. Adn. 1; *Baich Babilon*] Sef y *farn drom* ag ydoedd i ddyfod fel *baich* ar Babilon; neu *broffwydoliaeth* am ddinystr Babilon; *yr hwn a welodd Esay mab Amoz* —oddeutu 200 o flynyddoedd cyn i'r farn hòno gymeryd lle, a hyny mor amlwg a phe buasai wedi dygwydd eisioes. Addefir yn gyffredinol fod cyfansoddiad y bryddest hon yn dra choeth, prydferth, hedegog, ac arddunol; a bod y dinystr hwn o eiddo Babilon, yn gysgod o ddinystr Babilon ysbrydol: gwel ar Dat. xviii. 2, &c.

Adn. 2. *Dyrchefwch faner ar y mynydd uchel*] I gynull byddinoedd y Mediaid a'r Persiaid yn nghyd; *dyrchefwch lef atynt*—i'w galw yn nghyd, gan feddwl ond odid sain udgorn; *ysgydwch law*—codwch eich llaw, yn arwydd iddynt ymgynull; *fel yr elont i fewn pyrth y pendefigion*—i ddinas Babilon, ac i'w phalasau, i'w hanrheithio a'i dinystrio.

Adn. 3. *Myfi a orchymynais i'm rhai santaidd*] Felly y geilw efe y Mediaid a'r Persiaid, nid am eu bod yn *ddihalog*, ond am eu bod wedi eu *neillduo* ganddo ef i'r gwaith hwn: *gelwais hefyd fy nghedyrn*—y rhai a gynysgaeddais â nerth a gwroldeb; *i'm digter*—i gyflawni fy nigter ar y Babiloniaid; *y rhai a ymhyfrydant yn fy nyrchafiad*—nis gwyddai y rhai hyn ddim am y gwir Dduw; ond yr oeddynt yn ymhyfrydu yn narostyngiad a dinystr y Caldeaid, yr hyn a fyddai yn y diwedd yn ddyrchafiad i Dduw. Eu dyrchafu eu hunain fyddai eu hamcan hwy; ond dyrchafu Duw fyddai y canlyniad, yn ninystr ei elynion a gwaredigaeth ei bobl: gwel ar pen. x. 7.

Adn. 4. *Llef tyrfa yn y mynyddoedd*] Cyn gynted ag y gorchymynodd yr Arglwydd iddynt ymgynull yn y weledigaeth hon a ddanghosid i'r proffwyd, hwy a ddaethant yn lluoedd at ei faner ef; *yn gyffelyb i bobl lawer* —Saes., 'i bobl *fawr*,' sef fel byddinoedd wedi eu dysgyblu yn dda, ac yn perthyn i bobl wareiddiedig a chryfion. *Swn twrf teyrnasoedd y cenhedloedd wedi ymgynull*—canys yr oedd gan Cyrus lawer o genhedloedd ereill yn ei fyddin, heblaw y Mediaid a'r Persiaid. *Arglwydd y lluoedd sydd yn cyfrif llu y rhyfel* —sydd yn eu cynull, yn eu trefnu, ac yn eu llywodraethu.

Adn. 5. *Dyfod y maent o wlad bell, o eithaf y nefoedd*] Neu o eithaf y ddaear dan y nefoedd, sef o'r gwledydd dwyreiniol a gogleddol pellaf ag a oeddynt y pryd hyny yn adnabyddus iddynt; *sef yr Arglwydd*—llywodraethwr mawr y byddinoedd hyny; *ac arfau ei lidiogrwydd*—y Mediaid a'r Persiaid, y rhai oeddynt wialen yn ei law ef, ac offerynau ei ddigofaint, pen. x. 5; *i ddifa yr holl dir*—sef gwlad Caldea, yn gystal a Babilon ei phrifddinas.

Adn. 6. *Udwch*] Chwi drigolion Babilon a Chaldea, yn yr olwg ar y dinystr nesaol; *canys agos yw diwrnod yr Arglwydd*—i ddial arnoch: *megys anrhaith*—neu ddinystr, *oddiwrth yr Hollalluog y daw*—yr hwn ni ddichon neb ei attal, na dianc rhagddo.

Adn. 7. *Am hyny yr holl ddwylaw a laesa*] Fel nad all neb o'r Babiloniaid drin arfau yn y dydd hwnw; *a chalon pob dyn a dawdd*—gan lwfrdra a dychryn.

laesa; a chalon pob dyn a dawdd.
8 A hwy a ofnant; gwewyr a doluriau a'u deil hwynt; megys *gwraig* yn esgor yr ymofidiant; pawb wrth ei gyfaill a ryfedda; eu hwynebau *fyddant* wynebau fflamllyd.
9 Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod, yn greulon â digofaint a digter llidiog, i osod y wlad yn ddiffaethwch; a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi.
10 Canys ser y nefoedd, a'u planedau, ni roddant eu llewyrch: yr haul a dywyllir yn ei godiad, a'r lloer ni oleua â'i llewyrch.
11 A mi a ymwelaf â'r byd *am ei* ddrygioni, ac â'r annuwiolion *am* eu hanwiredd: a gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio; gostyngaf hefyd uchder y rhai ofnadwy.
12 Gwnaf ddyn yn werthfawrocach nag aur coeth; ïe dyn na chŷn o aur Ophir.
13 Am hyny yr ysgydwaf y nefoedd, a'r ddaear a gryn o'i lle, yn nigofaint Arglwydd y lluoedd, ac yn nydd llid ei ddigter ef.
14 A hi a fydd megys ewig wedi ei tharfu, ac fel dafad heb neb a'i coleddo; pawb a wynebant at eu pobl eu hun, a phawb i'w gwlad eu hun a ffoant.
15 Pob un a geffir *ynddi* a drywenir; a phawb a chwaneger *ati* a syrth trwy y cleddyf.
16 Eu plant hefyd a ddryllir o

---

Adn. 8. *A hwy a ofnant*] Wrth weled eu gelynion yn nghanol y ddinas; *gwewyr a doluriau a'u deil hwynt* — megys gwewyr gwraig yn esgor: *pawb wrth ei gyfaill a ryfedda*—wrth weled y fath ddinas gadarn wedi ei chymeryd mor hawdd: *eu hwynebau fyddant wynebau fflamllyd*—y mae y wyneb yn gyffredin yn glasu ac yn gwelwi mewn dychryn, ond yn cochi mewn digofaint cyffrous; ac yma awgrymir eu bod nid yn unig wedi brawychu, ond hefyd wedi ymgynddeiriogi mewn digofaint tanllyd yn erbyn eu gelynion.

Adn. 9. *Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod*] Gwel ar adn. 6; *yn greulon â digofaint a digter llidiog*—nid yw hyn yn arwyddo fod yr Arglwydd yn greulon; ond y meddwl yw, na byddai dim trugaredd iddynt hwy yn y dydd hwnw, eithr cyfiawnder manwl. *I osod y wlad yn ddiffaethwch*—fel yr adroddir yn adn. 19—22; *a'i phechaduriaid a ddifa efe allan o honi*—o herwydd eu heilunaddoliaeth, eu drygioni, a'u creulondeb tuag at ei bobl ef yn ystod eu caethiwed; ac yn enwedig wrth eu caethiwo: gwel ar adn. 16.

Adn. 10. *Canys ser y nefoedd, a'u planedau, &c.*] Wrth y 'planedau' (Saes., *constellations)* hyn y deallir tyrau o ser, neu y ser hyny a ymddanghosant fel yn ymyl eu gilydd. Tybiodd llawer fod yr hyn a ddywedir yma am yr haul, y lloer, a'r ser, yn cyfeirio at frenhinoedd, tywysogion, ac ynadon, fel goleuadau yr amherodraeth; ac mai yr ystyr yw, y byddai i'w gallu a'u gogoniant hwy ddarfod. Ond y mae yn debycach mai arddanghosiad sydd yma o drallod *cyffredinol*, neu ddarluniad cyffelybiaethol o gyfyngder mor fawr a phe byddai i oleuadau y nefoedd ddiffoddi ar unwaith.

Adn. 11. *A mi a ymwelaf â'r byd am ei ddrygioni*] Sef â'r amherodraeth Fabilonaidd, yr hon a elwir yma yn *fyd*, fel y galwyd yr amherodraeth Rufeinig wedi hyn, Luc ii. 1, am ei bod yn ymestyn dros ran fawr o'r byd; *ac â'r annuwiolion am eu hanwiredd*—eu gwahanol bechodau o fewn yr amherodraeth hòno: *a gwnaf i falchder y rhai rhyfygus beidio*—trwy y dinystr a ddygir arnynt; *gostyngaf hefyd uchder y rhai ofnadwy*—y rhai sydd yn peri ofn a dychryn i'r holl wledydd.

Adn. 12. *Gwnaf ddyn yn werthfawrocach nag aur coeth*] O herwydd y prinder dynion a fydd o'i mewn: *ïe dyn*—o ryw werth o ran ei ddoethineb a'i ddylanwad; *na chŷn o aur Ophir*—hyny yw, yn werthfawrocach na thalp mawr o'r aur goraf. Neu, ni phrynir bywyd neb ag aur, eithr rhoddir hwynt oll i'r cleddyf: gwel ar adn. 17. Ond y mae y *Galdeaeg* yn rhoddi ystyr gwahanol i'r geiriau: 'Mi a garaf y rhai a'm hofnant i, yn fwy nag aur yn yr hwn yr ymffrostia dynion; a'r rhai a gadwant y gyfraith, yn fwy nag aur profedig Opher.'

Adn. 13. *Am hyny yr ysgydwaf y nefoedd*] Trwy ystorm o fellt a tharanau cryfion; *a'r ddaear a gryn o'i lle*—trwy ysgydwad, neu ddaeargryn gyffredinol, fel y mae rhai yn ei ddeall. Ond y mae yn debycach mai darluniad barddonol yw hwn o ddyryswch, annhrefn, a braw cyffredinol yn meddylian dynion, fel pe byddai y nefoedd a'r ddaear wedi eu taflu ar draws eu gilydd. *Yn nigofaint Arglwydd y lluoedd*—sef yn nydd llid ei ddigter ef yn erbyn y Caldeaid.

Adn. 14. *A hi a fydd megys ewig wedi ei tharfu, &c.*] Babilon, yr hon a arferai fod yn ddychryn i bawb fel arthes greulon, a fydd fel ewig ofnus yn cael ei hymlid gan yr heliwr, neu ddafad heb fugail i'w hamddiffyn rhag y blaidd. *Pawb a wynebant at eu pobl eu hun*—sef pawb o'r dyeithriaid a fyddont yn preswylio neu yn masnachu o'i mewn, neu yn cynorthwyo y Babiloniaid fel milwyr; *a phawb i'w gwlad eu hun a ffoant*—rhag cael eu dinystrio yn ei dinystr hi.

Adn. 15. *Pob un a geffir ynddi a drywenir*] A chleddyf, saeth, neu bicell; *a phawb a chwaneger ati*—yn gynorthwywyr i'r Babiloniaid, *a syrth trwy y cleddyf*—sef cleddyf y Mediaid a'r Persiaid.

Adn. 16. *Eu plant hefyd a ddryllir o flaen eu llygaid*] Fel y drylliasent hwythau blant yr Iuddewon, Salm cxxxvii. 8, 9; *eu tai a yspeilir*—fel yr yspeiliasent hwythau dai yr

flaen eu llygaid; eu tai a yspeilir, a'u gwragedd a dreisir.
17 Wele fi yn cyfodi y Mediaid yn eu herbyn hwy, y rhai ni roddant fri ar arian; a'r aur nid ymhyfrydant ynddo.
18 *Eu* bwäau hefyd a ddryllia y gwŷr ieuainc, ac *wrth* ffrwyth bru ni thosturiant: eu llygad nid eiriach y rhai bach.
19 ¶ A Babilon, prydferthwch y teyrnasoedd, gogoniant godidogrwydd y Caldeaid, fydd megys dinystr Duw ar Sodom a Gomorra.
20 Ni chyfaneddir hi yn dragywydd, ac ni phreswylir hi o genhedlaeth i genhedlaeth; ac ni phabella yr Arabiad yno, a'r bugeiliaid ni chorlanant yno.
21 Ond anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno; a'u tai hwynt a lenwir o ormesiaid, a chywion yr estrys a drigant yno, a'r ellyllon a lamant yno:

---

Iuddewon, a thŷ Dduw hefyd, 2 Cron. xxxvi. 17—19; *a'u gwragedd a dreisir*—gan y milwyr, fel y tresiasent hwythau y gwragedd yn Seion, a'r morwynion yn ninasoedd Juda, Galar. v. 11.

Adn. 17. *Wele fi yn cyfodi y Mediaid yn eu herbyn hwy*] Y rhai oeddynt eto heb ddyfod i ddim nerth, trwy eu bod yn ddarostyngedig y pryd hyn i'r Assyriaid, ac yn ymddibynol arnynt hwy. Wrth edrych ar y broffwydoliaeth hon gan hyny, dylem gofio, (1) Fod Media, pan draethwyd hi, yn dalaeth ddibynol ar deyrnas Assyria; (2) Fod hir amser yn ofynol cyn y gallai hi ddyfod yn deyrnas annibynol; (3) Ei bod i gyraedd ei hannibyniaeth trwy gymhorth y Babiloniaid, y rhai wedi hyny a orchfygid ganddi; (4) Nad oedd yn bosibl i ddyn, o hono ei hun, ragweled a rhagfynegu y chwyldroadau hyn; (5) A bod pob peth yn cyduno, cyn belled ag y gallai dyn ragweled, i wneuthur yr amgylchiad hwn yn *annhebygol.* Yr oedd nerth ac adnoddau dirfawr Babilon, a'r ffaith fod Media y pryd hyn yn dalaeth wan ac ymddibynol, a bod y fath chwyldroadau mawrion i gymeryd lle cyn y gallai y broffwydoliaeth hon gael ei chyflawni, yn peri fod y rhagfynegiad hwn yn un o'r rhai mwyaf hynod yn y gyfrol santaidd. *Y rhai ni roddant fri ar arian*—y rhai a allent gael eu cynyg iddynt yn bridwerth dros fywydau; *a'r aur nid ymhyfrydant ynddo*—trwy y byddant yn fwy chwannog i ddyfetha y trigolion, nag i gyraedd eu hanrhaith hwy. Yn unol â hyn cawn Cyrus yn cyfarch ei fyddin yn y geiriau yma: 'Chwi Fediaid, ac ereill ag sydd yn awr yn fy ngwrandaw i, mi a wn yn dda na ddarfu i chwi fy nylyn i yn y rhyfelgyrch hwn gyda bwriad i ennill cyfoeth.' —*Cyrop lib.* v. Y mae y rhagfynegiad hwn o eiddo y proffwyd yn fwy hynod, am fod yr amgylchiad yn un tra annghyffredin yn mhlith gorchfygwyr.

Adn. 18. *Eu bwäau hefyd a ddryllia y gwŷr ieuainc*] Dywedir fod y Persiaid yn saethyddion rhagorol, a bod eu bwäau yn dri chufydd o hyd, ac wedi eu gwneuthur ond odid o bres neu ddur; *ac wrth ffrwyth bru ni thosturiant*—sef wrth fabanod yn y bru, neu rai newydd eu geni; *eu llygad nid eiriach*—neu nid arbed, *y rhai bach*—hyny.

Adn. 19. *A Babilon, prydferthwch y teyrnasoedd*] Yr hon oedd yn rhagori ar brifddinasoedd holl deyrnasoedd y ddaear y pryd hyny; *gogoniant godidogrwydd y Caldeaid*—Hebr., 'gogoniant balchder y Caldeaid,' neu brif addurn y Caldeaid beilchion. Dywed haneswyr fod y ddinas hon yn 60 milldir o gwmpas, ac yn cael ei hamgylchu â mur 300 o droedfeddi o uchder, a 75 o led, yn mha un yr oedd 100 o byrth pres. Un o'i phrif addurniadau oedd teml Belus, yn nghanol pa un yr oedd tŵr o wyth uchder, yn sefyll ar chwarter milldir o dir ysgwâr. Yr oedd ei thyrau uchel, ei phalasau ardderchog, ei gerddi crogedig, ei heolydd llydain, ac yn wir pob peth ynddi, yn ei gwneuthur mewn gair yn 'ogoniant yr holl ddaear.' *Fydd megys dinystr Duw ar Sodom a Gomorra*—hyny yw, llwyr ddymchwelir hi, neu gwneir hi yn annghyfanedd, fel y gwnaeth Duw Sodom a Gomorra, Gen. xix. 24, 25.

Adn. 20. *Ni chyfaneddir hi yn dragywydd*] Dywed yr haneswyr diweddaraf ei bod yn aros hyd heddyw yn bentwr o adfeilion. A'r hyn sydd yn gwneuthur ei chyflwr presenol yn fwy hynod yw, ddarfod i Alexander Fawr fwriadu gwneyd Babilon yn brifddinas ei amherodraeth, ac iddo anfon dynion yno i adeiladu teml Belus, ac i adgyweirio glanau yr afon, a throi dyfroedd yr Euphrates eilwaith i'w gwely ei hun; ond efe a gyfarfu â gormod o anhawsderau i allu myned yn mlaen â'i waith, a bu orfod iddo ei adael. *Ac ni phabella yr Arabiad yno*—y meddwl yw, y byddai hi mor bell oddiwrth gael ei gwneuthur yn ddinas drigianol, fel na byddai yn addas i'r Arabiaid crwydredig godi pabell yno i letya dros nos; neu y byddent yn anfoddlon i wneuthur hyny rhag ofn 'ysbrydion drwg,' fel y dywed *Mignan* ac ereill. *A'r bugeiliaid ni chorlanant yno*—trwy na thyfai yno borfa addas i'r defaid, neu am y byddai y lle yn llawn o fwystfilod ysglyfaethus.

Adn. 21. *Ond anifeiliaid gwylltion yr anialwch a orweddant yno*] Dywed Jerome eu bod felly yno yn ei amser ef; *a'u tai hwynt*—sef adfeilion eu tai, *a lenwir o ormesiaid*—neu o 'estrys,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu; neu, yn ol y LXX, 'o ddadwrdd' neu 'udiadau;' *a chywion yr estrys a drigant yno*—neu 'ddylluanod,' fel y mae yn y Saesonaeg; *a'r ellyllon a lamant yno*—tybia rhai mai epaod a feddylir yma wrth yr ellyllon; ereill, mai math ar dduwiau anghenfilaidd ar lun dyn a gafr; ac ereill, mai ysbrydion aflan, y rhai y tybid eu bod yn preswylio yn y fath leoedd annghyfanedd, Mat. xii. 43.

22 A'r cathod a gydatebant yn
ei gweddwdai hi, a'r dreigiau yn y
palasoedd hyfryd: a'i hamser *sydd*
yn agos i ddyfod, a'i dyddiau nid
oedir.

## PENNOD XIV.

CANYS yr Arglwydd a dosturia
wrth Jacob, ac a ddethol Israel
eto, ac a bair iddynt orphwys yn eu
tir eu hunain: a'r dyeithr a ym-
gysyllta â hwynt, a hwy a lynant
wrth dŷ Jacob.
2 Y bobl hefyd a'u cymer hwynt,
ac a'u dygant i'w lle, a thŷ Israel
a'u meddianna hwynt yn nhir yr
Arglwydd, yn weision ac yn for-
wynion: a hwy a gaethiwant y rhai
a'u caethiwodd hwythau, ac a lyw-
odraethant ar eu gorthrymwyr.
3 ¶ A bydd yn y dydd y rhoddo
yr Arglwydd lonyddwch i ti oddi-
wrth dy ofid, ac oddiwrth dy ofn,
ac oddiwrth y caethiwed caled y
gwasanaethaist ynddo,
4 I ti gymeryd y ddiareb hon yn
erbyn brenin Babilon, a dywedyd,
Pa wedd y peidiodd y gorthrymwr?
*ac* y peidiodd y dref aur?
5 Yr Arglwydd a ddrylliodd ffon
yr anwiriaid, *a* theyrnwialen y
llywiawdwyr.
6 Yr hwn sydd yn taro y bobloedd
mewn digllonedd â phla gwastadol,
yr hwn sydd yn llywodraethu y
cenhedloedd mewn llidiogrwydd, a
erlidir heb *neb* yn lluddias.

---

Adn. 22. *A'r cathod*] Sef cathod gwylltion, neu greaduriaid o rywogaeth y *jackal* neu y blaidd; *a gydatebant yn ei gweddwdai hi*—a atebant eu gilydd yn ei thai adfeiliedig ac annghyfaneddol; *a'r dreigiau yn y palasoedd hyfryd*—sef yn ngharneddau y palasau hyfryd gynt. *A'i hamser sydd yn agos i ddyfod*—cymer yr holl bethau uchod le yn mhen oddeutu 200 o flynyddau; *a'i dyddiau nid oedir*—sef dyddiau dinystr Babilon, fel y soniwyd uchod. Neu fe allai fod y proffwyd yma yn cyfeirio y geiriau hyn at y caethion yn Babilon, i'w cysuro hwy âg addewid o waredigaeth ebrwydd.

PEN. XIV. Adn. 1. *Canys yr Arglwydd a dosturia wrth Jacob*] Sef wrth yr Iuddewon yn nghaethiwed Babilon, yr hyn yw y rheswm dros ddinystr dioedi y ddinas hòno, fel yr adroddwyd uchod; *ac a ddethol Israel eto*—er iddo ymddangos fel wedi eu gwrthod hwy; *ac a bair iddynt orphwys yn eu tir eu hunain*—yn ngwlad Judea, mewn heddwch a diogelwch. Wrth *Jacob* ac *Israel* yma y golygir yn benaf gwŷr Juda a Benjamin. *A'r dyeithr a ymgysyllta â hwynt*—byddai i lawer o'r Cenhedloedd ddyfod yn broselytiaid i'w crefydd hwy; *a hwy a lynant wrth dŷ Jacob*—gan fyned gyda hwy i'w gwlad.

Adn. 2. *A'r bobl hefyd a'u cymer hwynt*] Sef pobl Babilon; *ac a'u dygant i'w lle*—sef i Jerusalem: gwel gyflawniad o hyn, Ezra i. 4, 6. *A thŷ Israel a'u meddianna hwynt yn nhir yr Arglwydd*—sef yn ngwlad Judea, yr hon a elwir yn 'dir Immanuel,' pen. viii. 8; *yn weision ac yn forwynion*—hyny yw, byddai i'r Caldeaid a adawent eu gwlad eu hunain er mwyn crefydd yr Iuddewon, foddloni i aros yn eu plith hwy fel gweision a morwynion iddynt. *A hwy a gaethiwant y rhai a'u caethiwodd hwythau*—hyny yw, gwnaent hyny mewn effaith; *ac a lywodraethant ar eu gorthrymwyr*—sef ar y Caldeaid, y rhai a'u gorthryment hwy gynt. Nid yw hyn yn meddwl y byddai iddynt eu caethiwo trwy *drais;* eithr yr ystyr yw, y byddent yn alluog, trwy eu dylanwad gartref, i'w tueddu hwynt i gofleidio eu gwasanaeth a'u crefydd hwy.

Adn. 3. *A bydd yn y dydd y rhoddo yr Arglwydd lonyddwch i ti*] Trwy dy waredu o gaethiwed Babilon.

Adn. 4. *I ti gymeryd y ddiareb hon*] Neu arferyd y ddammeg hon, sef yr ymadroddion pwysig, cymhen, a chynwysfawr a ganlyn; *yn erbyn brenin Babilon*—nid yw yn sicr fod unrhyw frenin neillduol yn cael ei fwriadu yma; ond os oedd, gallwn feddwl mai at Belsassar, brenin diweddaf y Caldeaid, y cyfeirir, Dan. v. 30, 31. *Pa wedd y peidiodd y gorthrymwr*—â gorthrymu y taleithiau ag oeddynt dan dreth neu deyrnged iddo? *ac y peidiodd y dref aur*—â derbyn y trethi hyny? Pwy a allasai feddwl y peidiasai y fath bethau? Gelwir Babilon yn *dref aur* yma, naill ai am fod ynddi lawer o gyfoeth; neu am mai yno y dygid y trethi o'r taleithiau a orthrymid ganddi; neu ynte am mai felly y gelwid hi gan y Babiloniaid eu hunain.

Adn. 5. *Yr Arglwydd a ddrylliodd ffon yr anwiriaid*] Sef gallu ac awdurdod y Caldeaid drygionus; *a theyrnwialen y llywiawdwyr*—sef eu brenhiniaeth hwy. Hyn sydd atebiad i'r gofyniad yn yr adnod flaenorol: fel pe dywedasai, Yr Arglwydd a ddrylliodd nerth y gorthrymwr, a dyna paham y peidiodd efe â'i orthrwm.

Adn. 6. *Yr hwn sydd yn taro y bobloedd mewn digllonedd â phla gwastadol*] Neu â gorthrwm parhaus. Hyn a ddywedir am frenin Babilon. *Yr hwn sydd yn llywodraethu y cenhedloedd mewn llidiogrwydd*—sef trigolion y taleithiau ag oeddynt wedi eu darostwng ganddo. *A erlidir heb neb yn lluddias*—cai yntau ei hun ei erlid yn awr gan ei elynion, heb i neb geisio ei achub ef o'u dwylaw hwynt. Ac nid rhyfedd hyny, gan ei fod ef wedi bod mor greulon wrth bawb o'r blaen.

Adn. 7. *Gorphwysodd a llonyddodd yr holl ddaear*] Sef deiliaid amherodraeth eang Caldea, pen. xiii. 11; *canasant o lawenydd*

7 Gorphwysodd *a* llonyddodd yr holl ddaear; canasant o lawenydd.
8 Y ffynidwydd hefyd *a* chedrwydd Libanus a lawenhasant yn dy erbyn, *gan ddywedyd,* Er pan orweddaist, nid esgynodd cymynydd i'n herbyn.
9 Uffern odditanodd a gynhyrfodd o'th achos, i gyfarfod *â thi* wrth dy ddyfodiad: hi a gyfododd y meirw i ti, *sef* holl dywysogion y ddaear; cyfododd holl frenhinoedd y cenhedloedd o'u gorseddfaoedd.
10 Y rhai hyny oll a lefarant, ac a ddywedant wrthyt, A wanhawyd tithau fel ninau? a aethost ti yn gyffelyb i ni?
11 Disgynwyd dy falchder i'r bedd, *a* thrwst dy nablau: danat y taenir pryf, pryfed hefyd a'th doant.
12 Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd, Luciffer, mab y wawr ddydd! *pa fodd* y'th dorwyd ti i lawr, yr hwn a wanheaist y cenhedloedd!
13 Canys ti a ddywedaist yn dy

—am eu rhyddhau oddiwrth iau mor orthrymus.

Adn. 8. *Y ffynidwydd hefyd a chedrwydd Libanus*] Y rhai a dorid at wasanaeth ei falchder a'i rwysg ef; *a lawenhasant yn dy erbyn* — am nas gelli mwyach eu cwympo hwynt i adeiladu dy balasau; *gan ddywedyd* —yn eu hiaith, *Er pan orweddaist*—yn dy fedd, *nid esgynodd cymynydd i'n herbyn*—i'n tori i lawr â'i lif a'i fwyell. Yma, mewn dull barddonol prydferth, yr hwn a ddefnyddir yn dra mynych yn yr ysgrythyrau, priodolir teimlad a bywyd i goed y maes. Ond tybia rhai mai brenhinoedd a phendefigion y ddaear a feddylir yma wrth y 'ffynidwydd a'r cedrwydd,' y rhai a arddanghosir fel yn llawenhau yn nghwymp brenin Babilon, o herwydd iddo ef eu gorthrymu a'u drygu hwy mor fynych.

Adn. 9. *Uffern odditanodd*] Hebr., *sheol,* sef y bedd; neu ororau tywyllion y byd isod, cartref yr ysbrydion ymadawedig hyd fore yr adgyfodiad, fel y tybia rhai; *a gynhyrfodd o'th achos, i gyfarfod â thi wrth dy ddyfodiad*—i'r byd anweledig atynt hwy, neu i gyflwr y meirw. *Hi a gyfododd y meirw i ti*— hyny yw, 'uffern' a'u cyfododd; *sef holl dywysogion y ddaear*—y rhai oeddynt wedi marw o'i flaen ef. Y mae y gair *rephaim,* a gyfieithir 'meirw' yma, yn arwyddo *cewri;* a'r gair a gyfieithir 'tywysogion,' yn arwyddo *geifr mawrion;* sef tywysogion yn arwain eu byddinoedd i'r maes, fel bychod geifr yn arwain y deadelloedd. *Cyfododd holl frenhinoedd y cenhedloedd*—y rhai a fuasent feirw eisioes; *o'u gorseddfaoedd*—i'w gyfarch ef, ar ei ddyfodiad i'w plith, yn yr iaith wawdlyd a ganlyn. Arddanghosir hwynt fyth, mewn dull barddonol prydferth, fel yn dal yr un urddas ag a ddalient gynt ar y ddaear. Yma newidir yr olygfa, o blith y rhai *byw* ar y ddaear, i blith y rhai *meirw* dan y ddaear; ac arddanghosir y rhai hyny fel yn ymgynhyrfu o achos dyfodiad y brenin balch hwn atynt, ac yn myned o'u hystafelloedd megys at enau y pwll i'w gyfarch ef ar ei ddyfodiad i'w plith. Os *uffern* y colledigion a feddylir yma wrth *sheol,* gallai cynhyrfiad o'r fath uchod fod mewn gwirionedd yn mhlith ysbrydion colledig hen frenhinoedd y ddaear, ar ddyfodiad brenin balch Babilon atynt yno: ond os y *bedd* a feddylir, yna nid yw y cwbl ddim ond arddanghosiad o'r meirw, mewn dull barddonol prydferth, fel pe buasent yn fyw.

Adn. 10. *Y rhai hyny oll a lefarant ac a ddywedant wrthyt*] Mewn ffordd o wawdiaith; *A wanhawyd tithau fel ninau*—o ran dy nerth corfforol a'th awdurdod gwladol? *A aethost ti yn gyffelyb i ni*—yn ddeiliad i angau, yr hwn oeddit o'r blaen yn frenin brenhinoedd?

Adn. 11. *Disgynwyd dy falchder i'r bedd*] I bydru yno gyda'th gorff; *a thrwst dy nablau*—hyny yw, darfyddodd swn dy offer cerdd yn nystawrwydd y bedd, y rhai ond odid a chwareuid yn nghyfeddach olaf Belsassar, Dan. v. 1, &c. *Danat y taenir pryf*—yn lle y gwely clud ar ba un y gorweddit gynt; *pryfed hefyd a'th doant*—yn lle y cynfasau a'r gwrthbanau cynhes â'r rhai y'th orchuddid. Beth a allai fod yn fwy darostyngol na'r iaith hon? Ac eto y mae hi mor gyfaddasol i ereill ag i'r brenin balch a ffroen-uchel hwn. Y mae yr un mor wir am y mawrion a'r beilchion yn mhob gwlad; canys bydd iddynt hwythau, y rhai a orweddant yn awr ar welyau o fân-blyf, orwedd cyn hir lle y bydd y pryfed odditanynt a throstynt! O fel y dylai yr ystyriaeth o hyn ddarostwng ein balchder, a'n dwyn i ymbarotoi erbyn ein cyfnewidiad, ac i geisio am 'dŷ nid o waith llaw, tragwyddol yn y nefoedd!'

Adn. 12. *Pa fodd y syrthiaist o'r nefoedd*] O uwchder dy ogoniant, a'th fawredd, a'th rwysg; *Luciffer, mab y wawr ddydd!*— 'Luciffer,' yn briodol, a arwydda seren ddydd ddysglaer, megys *Jupiter* neu *Venus,* yn ymddangos yn y bore, neu ar doriad y wawr; ond yma, yn gyffelybiaethol, gesyd allan frenin galluog Babilon, yr hwn a ragorai mewn gwychder a gogoniant ar holl frenhinoedd y ddaear, fel yr oedd y seren fore yn rhagori mewn dysgleirdeb ar y ser ereill. Tybia rhai mai *Luciffer* oedd enw blaenor yr angylion syrthiedig; a bod syrthiad brenin Babilon yn debyg i syrthiad hwnw o'r nefoedd ar ol iddo bechu: ond nid oes sail dda i'r dyb hon. Dywedir fod y gair *heilel,* yr hwn a gyfieithir yma *Luciffer,* yn dyfod oddiwrth *yalal,* udo, bloeddio, neu ysgrechain; ac y dylasai y frawddeg hon gael ei chyfieithu, '*Uda,* fab y wawrddydd!' Felly y mae y *Syriaeg* yn ei ddeall, yn nghyda *Michaelis, Noyes, Clarke,* &c. *Pa fodd y'th dorwyd ti i lawr*—yn anad neb; *yr hwn a wanheaist y cenhedloedd* —mor hawdd; neu a orchfygaist y rhai cryfaf o honynt yn gystal a'r rhai gwanaf!

galon, Mi a ddringaf i'r nefoedd; oddiar ser Duw y dyrchafaf fy ngorseddfa; a mi a eisteddaf yn mynydd y gynulleidfa, yn ystlysau y gogledd.
14 Dringaf yn uwch na'r cymylau; tebyg fyddaf i'r Goruchaf.
15 Er hyny i uffern y'th ddisgynir i ystlysau y ffos.
16 Y rhai a'th welant a edrychant arnat yn graff, *ac* a'th ystyriant, *gan ddywedyd*, Ai dyma y gŵr a wnaeth i'r ddaear grynu, ac a gynhyrfodd deyrnasoedd?
17 A osododd y byd fel anialwch, ac a ddinystriodd ei ddinasoedd, heb ollwng ei garcharorion yn rhydd tuag adref?
18 Holl frenhinoedd y cenhedloedd, *ie*, hwy oll a orweddasant mewn gogoniant, bob un yn ei dŷ ei hun:
19 Eithr tydi a fwriwyd allan o'th fedd, fel cangen ffiaidd, *neu* wisg y lladdedigion, y rhai a drywanwyd â chleddyf; y rhai a ddisgynent i gerig y ffos, fel celan wedi ei mathru.
20 Ni byddi mewn un bedd â hwynt, o herwydd dy dir a ddyfethaist, *a'*th bobl a leddaist: ni bydd had yr annuwiol enwog byth.

---

Adn. 13. *Canys ti a ddywedaist yn dy galon*] Yn dy feddwl a'th fwriad; *Mi a ddringaf i'r nefoedd*—i fod goruwch pawb mewn awdurdod ac anrhydedd. *Oddiar ser Duw y dyrchafaf fy ngorseddfa*—yn uwch na phawb mewn gwlad ac eglwys; neu yn uwch na'r holl *dduwiau;* neu 'yn uwch na'r Israeliaid,' fel y mae Targum *Jonathan* a *Kimchi* yn ei ddeall. *A mi a eisteddaf yn mynydd y gynulleidfa, yn ystlysau y gogledd*—tybia rhai mai 'mynydd presenoldeb Duw' a feddylir, lle yr arferai Jehofa gyfarfod â Moses; ereill, mai 'mynydd Moriah,' ar ba un yr adeiladwyd teml Solomon, a lle yr ymgynullai Israel i addoli; ac ereill, mai un o 'fynyddoedd Armenia,' yn ystlysau y gogledd, lle y tybid fod y duwiau yn ymgynull neu yn cartrefu.

Adn. 14. *Dringaf yn uwch na'r cymylau*] Gan eu gwneuthur hwy yn orseddfa i mi; *tebyg fyddaf i'r Goruchaf*—yn mawredd fy awdurdod a helaethrwydd fy llywodraeth. Y mae yr iaith hon yn debyg iawn i'r un a ddefnyddia yr apostol gyda golwg ar Anghrist yn 2 Thes. ii. 4: 'Hyd onid yw efe, megys Duw, yn eistedd yn nheml Duw, ac yn dangos ei hun mai Duw ydyw.' Ac y mae y tebygolrwydd hwn yn fwy hynod, fel y sylwa *Barnes*, am yr arddanghosir Anghrist, yn Dat. xvii. 4, 5, fel yn eistedd yn BABILON, eisteddfa ysbrydol rhodres, balchder, a thrais. Dichon fod y geiriau hyn o Esay yn ngolwg yr apostol pan yn ysgrifenu ei ddarluniad o Anghrist.

Adn. 15. *Er hyny*] Er maint dy falchder a'th ymffrost; *i uffern y'th ddisgynir*—yn lle dringo o honot i'r nefoedd; *i ystlysau y ffos*—ac nid i ystlysau y gogledd, adn. 13. Wrth *uffern* a'r *ffos* yma y golygir y bedd, neu gyflwr y meirw; ac wrth *ystlysau* y ffos y dealla rhai y ceneddau neu y cilfachau hyny yn meddau neu ogofau y meirw, lle y dodid eu cyrff i orwedd.

Adn. 16. *Y rhai a'th welant*] Yn dy gyflwr isel presenol; *a edrychant arnat yn graff*—fel pe baent yn methu coelio eu llygaid eu hunain; *ac a'th ystyriant*—yn fanylach, rhag eu bod yn dy gamgymeryd; *gan ddywedyd*—yn yr olwg ar dy gelan wael a llygredig, *Ai dyma'r gŵr a wnaeth i'r ddaear grynu*—rhag ei ofn; *ac a gynhyrfodd deyrnasoedd*—wrth ei ewyllys, neu wrth ei fygythiad!

Adn. 17. *A osododd y byd fel anialwch*] Trwy ddyfetha ei gynyrch, a lladd neu gaethgludo ei drigolion; *ac a ddinystriodd ei ddinasoedd*—hyd eu sylfaeni; *heb ollwng ei garcharorion yn rhydd*—i fyned adref i'w gwlad eu hun, fel y gollyngodd Cyrus yr Iuddewon wedi hyn.

Adn. 18. *Holl frenhinoedd y cenhedloedd*] Ar ol iddynt farw; *ie, hwy oll a orweddasant mewn gogoniant*—yn eu beddau, neu a gladdwyd mewn rhwysg; *pob un yn ei dŷ ei hun*—yn ei geuedd neu ei gilfach ei hun, adn. 15. Arferai y brenhinoedd gynt gael beddrod mawreddog iddynt eu hunain, 2 Cron. xxi. 20, a xxxv. 24, Neh. iii. 16.

Adn. 19. *Eithr tydi a fwriwyd allan o'th fedd*] A rwystrwyd i'th feddrod dy hun; neu ni chladdwyd di, fel brenhinoedd ereill, mewn bedd brenhinol mawreddog; *fel cangen ffiaidd*—o'r teulu brenhinol; *neu wisg y lladdedigion*—yr hon a halogesid â gwaed; *y rhai a ddisgynent i gerig y ffos*—i'r bedd, yr hwn a dorid mewn craig, neu ar yr hwn y codid carnedd gerig; *fel celan wedi ei mathru*—gallai hyn ddygwydd yn llythyrenol i Belsassar, yr hwn a laddwyd yn y nos, Dan. v. 30. Tybia *Lowth* ac ereill fod y 'gangen ffiaidd,' i'r hon y cyffelybid y brenin hwn, i'w deall am grogbren, ar ba un y rhoddid drwgweithredwr i farwolaeth, yr hwn a gyfrifid yn 'ffiaidd,' ac a gleddid yn yr un bedd a'i gelan ef. Arferid gynt gladdu y gareg â pha un y llabyddiwyd dyn, neu y cleddyf â pha un ei lladdwyd, neu y napcyn â pha un ei llindagwyd, a'r wisg waedlyd a fyddai am dano, yn yr un bedd a'i gelan ef.

Adn. 20. *Ni byddi mewn un bedd â hwynt*] Sef â'r brenhinoedd uchod, adn. 18; *o herwydd dy dir a ddyfethaist*—neu dy wlad; *a'th bobl a leddaist*—nid yn unig estroniaid, ond dy bobl dy hun hefyd. Dywed Xenophon i'r brenin creulon hwn ladd mab Gobrias am iddo, wrth hela, ladd baedd a llew, y rhai yr oedd y brenin wedi methu eu lladd! *Ni bydd had yr annuwiol enwog byth*—neu yn barhaus, er y gallant fod felly am dro. Dywedir

21 Darperwch laddfa i'w feibion
ef, am anwiredd eu tadau; rhag
codi o honynt a goresgyn y tir, a
llenwi wyneb y byd â dinasoedd.
22 Minau a gyfodaf yn eu herbyn
hwynt, medd Arglwydd y lluoedd,
ac a doraf allan o Babilon enw a
gweddill, a mab ac ŵyr, medd yr
Arglwydd:
23 Ac a'i gosodaf hi yn feddiant
i aderyn y bwn, ac yn byllau dyfr-
oedd; ysgubaf hi hefyd âg ysgubau
dystryw, medd Arglwydd y lluoedd.
24 ¶ Tyngodd Arglwydd y llu-
oedd, gan ddywedyd, Diau megys
yr amcenais, felly y bydd; ac fel y
bwriedais, hyny a saif;
25 Am ddryllio Assur yn fy nhir:
canys mathraf ef ar fy mynyddoedd;
yna y cilia ei iau ef oddiarnynt, ac
y symudir ei faich ef oddiar eu
hysgwyddau hwynt.
26 Dyma y cynghor a gymerwyd
am yr holl ddaear; a dyma y llaw a
estynwyd ar yr holl genhedloedd.
27 O herwydd Arglwydd y llu-
oedd a'i bwriadodd, a phwy a'i
diddyma? ei law ef hefyd a estyn-
wyd, a phwy a'i try yn ol?
28 Yn y flwyddyn y bu farw y
brenin Ahaz, y bu y baich hwn.
29 ¶ Palestina, na lawenycha di
oll, er tori gwialen dy darawydd: o
herwydd o wreiddyn y sarff y daw

---

hyn naill ai am Belsassar ei hun, yr hwn a ddisgynasai oddiwrth henafiaid annuwiol; neu am ei blant ef, fel y dywedir isod.

Adn. 21. *Darperwch laddfa i'w feibion ef*] Chwi Fediaid a Phersiaid; *am anwiredd eu tadau*—gwel ar Exod. xx. 5: *rhag codi o honynt a goresgyn y tir*—neu feddiannu y wlad eilwaith fel o'r blaen; *a llenwi wyneb y byd â dinasoedd*—neu 'â *rhyfeloedd*,' fel y mae gan y LXX; neu 'â *gelynion*,' fel y mae yn y Galdeaeg, trwy yr hyn y parheid rhyfel, ac yr aflonyddid heddwch dynolryw.

Adn. 22. *Minau a gyfodaf yn eu herbyn hwynt, medd Arglwydd y lluoedd*] Sef yn erbyn teulu brenin Babilon; *ac a doraf allan o Babilon enw a gweddill*—sef y goffadwriaeth am y rhai a fuant feirw, a'r gweddill o'r rhai sydd eto yn fyw; *a mab ac ŵyr*—sef pob un o'r teulu a allai hòni ei fod yn etifedd i'r orsedd.

Adn. 23. *Ac a'i gosodaf hi yn feddiant i aderyn y bwn*] Saes., *bittern*, sef aderyn mawr a breswyliai ar lanau afonydd, ac mewn tiroedd corsiog; *ac yn byllau dyfroedd*—hyn a wnaed trwy i Cyrus droi dyfroedd yr Euphrates i orlifo y ddinas: *ysgubaf hi hefyd âg ysgubau dystryw*—sef â byddinoedd y Mediaid a'r Persiaid, y rhai ni adawant ynddi breswylwyr na thrysorau; neu, fel y mae *Lowth* yn ei gyfieithu, 'Suddaf hi yn llynclyn lleidiog dystryw.'

Adn. 24. *Tyngodd Arglwydd y lluoedd*] Yn ei feddwl ei hun, neu ynte wrth y proffwyd; ac adroddir hyn i ddangos sicrwydd y cyflawniad. Tybir yn gyffredin mai am ddinystr yr Assyriaid, sef byddin Senacherib, y sonir yma, yr hyn oedd i gymeryd lle yn hir cyn dinystr y Babiloniaid, fel yr adroddir 2 Bren. xix. 35; a bod hyn yn cael ei ddwyn i mewn yma, fel y gallai yr Iuddewon weled sicrwydd dinystr y Babiloniaid yn nghyflawniad y bygythiad yn erbyn yr Assyriaid. Tybia ereill mai yr un bobl a feddylir yn yr adnodau hyn wrth yr Assyriaid a'r Babiloniaid, am y cyfrifid Babilon yn brifddinas Assyria hefyd: gwel *Strabo*, llyfr xvi. *sub init.* Eithr y golygiad cyntaf yw y mwyaf rhesymol. *Diau megys yr amcenais*—wneuthur i'r Assyriaid; *felly y bydd*—cyflawnaf yr hyn a amcenais yn eu herbyn hwy: *ac fel y bwriedais*—eu dryllio hwynt; *hyny a saif*—yn ddigyfnewid.

Adn. 25. *Am ddryllio Assur*] Sef byddin yr Assyriaid; *yn fy nhir*—sef 'tir Immanuel,' neu wlad Judea, pen. viii. 8: *canys mathraf ef ar fy mynyddoedd*—ar y mynyddoedd o amgylch Jerusalem, lle y dyfethwyd byddin Senacherib. *Yna y cilia ei iau ef oddiarnynt, &c.*—gwel ar pen. x. 27.

Adn. 26. *Dyma y cynghor a gymerwyd am yr holl ddaear*] Am yr amherodraeth eang hon, pa un sydd yn awr yn nwylaw yr Assyriaid, ac a ddaw yn fuan i ddwylaw y Babiloniaid; *a dyma y llaw a estynwyd ar yr holl genhedloedd*—o fewn yr amherodraeth hòno, sef llaw rhagluniaeth Duw yn cyflawni ei amcanion ei hun.

Adn. 27. *O herwydd Arglwydd y lluoedd a'i bwriadodd*] Yr hwn y mae ei lywodraeth yn ddiderfyn, a'i allu yn anfeidrol; *a phwy a'i diddyma*—neu a rwystra iddo ef gyflawni ei fwriadau? *Ei law ef hefyd a estynwyd*—neu a estynir i gyflawni y farn hon; *a phwy a'i try yn ol*—neu a ddichon ei luddias?

Adn. 28. *Yn y flwyddyn y bu farw y brenin Ahaz*] Yr hwn oedd y trydydd brenin o'r pedwar ag y bu Esay yn proffwydo yn eu hamser, pen. i. 1; *y bu y baich hwn*—gwel ar pen. xiii. 1. Nid y baich ag y soniwyd am dano uchod ar Assyria a Babilon a feddylir, ond y baich a ganlyn yn erbyn y Philistiaid. Felly cawn yma broffwydoliaeth newydd, yr hon a gyflawnwyd dan deyrnasiad Hezeciah, 2 Bren. xviii. 8.

Adn. 29. *Palestina*] Neu holl wlad y Philistiaid, ar y rhai yr oedd pump o arglwyddi, 1 Sam. vi. 4, 16; *na lawenycha di oll*—sef yr oll o'r pum llwyth yno; *er tori gwialen dy darawydd*—neu am fod Ahaz, ŵyr Uzziah dy elyn ffyrnig, wedi marw. Yr oedd Uzziah wedi taraw a darostwng y Philistiaid gynt, 2 Cron. xxvi. 6, 7; ond trwy gymeryd mantais ar deyrnasiad egwan Ahaz, rhuthrodd y Philistiaid i ddinasoedd Juda, ac

gwiber allan, a'i ffrwyth hi *fydd*
sarff danllyd hedegog.
30 A chynblant y tylodion a ym-
borthant, a'r rhai anghenus a or-
weddant mewn diogelwch: a mi a
laddaf dy wreiddyn â newyn, yntau
a ladd dy weddill.
31 Uda, borth; gwaedda, ddinas;
Palestina, ti oll a doddwyd: canys
mwg sydd yn dyfod o'r gogledd, ac
ni *bydd* unig yn ei amseroedd nod-
edig ef.
32 A pha beth a atebir i genhadau
y genedl? seilio o'r Arglwydd
Seion, ac y gobeithia trueiniaid ei
bobl ef ynddi.

## PENNOD XV.

BAICH Moab. O herwydd y nos
y dinystriwyd Ar Moab, *ac* y
dystawyd hi; o herwydd y nos y
dinystriwyd Cir Moab, *ac* y dysta-
wyd hi.
2 Aeth i fyny i Baith ac i Ddibon,
i'r uchelfeydd i ŵylo: am Nebo
ac am Medeba yr uda Moab: *bydd*
moelni ar eu holl benau, *a* phob
barf wedi ei heillio.

---

ennillasant lawer o honynt, 2 Cron. xxviii. 18, 19; a phan fu farw Ahaz, llawenychasant oll yn fawr iawn. Ond yma y mae Duw yn peri iddynt beidio llawenychu am farwolaeth Ahaz, yr hwn oedd 'wialen' o gŷff Uzziah eu tarawydd gynt. *O herwydd o wreiddyn y sarff y daw gwiber allan*—ymadrodd diarebol ond odid. Fel pe dywedasai, Er fod Uzziah, Jotham, ac Ahaz wedi marw, eto fe gyfyd un oddiwrthynt hwy a fydd yn llawer mwy dinystriol i chwi nag y buont hwy. Efe a gyfeiria yma at Hezeciah, yr hwn a 'darawodd y Philistiaid hyd Gaza a'i therfynau,' 2 Bren. xviii. 8. *A'i ffrwyth hi fydd sarff danllyd hedegog*—y meddwl yw, y byddai Hezeciah, o hiliogaeth Uzziah, yn fwy angeuol i'r Philistiaid nag y bu Uzziah ei hun, o gymaint ag y mae sarff danllyd hedegog yn fwy ofnadwy na sarff gyffredin. Y mae y *Targum* yn rhoddi ystyr tra gwahanol i'r adnod hon a'r nesaf, gan eu cymhwyso at y MESSIA: 'O herwydd o feibion Jesse y daw y Messia; a'i weithredoedd yn eich plith fyddant fel y sarff hedegog.'

Adn. 30. *A chynblant y tylodion*] Sef y rhai mwyaf tylawd o honynt; *a ymborthant*—a gânt eu gwala a'u gweddill o fara. Y meddwl yw, y byddai i Hezeciah, er yn ffrewyll dost i'r Philistiaid, fod yn llywodraethwr tirion a haelionus i'w ddeiliaid ei hun, a gofalu am eu porthi a'u diogelu fel y gofala bugail am ei braidd. *A'r rhai anghenus a orweddant mewn diogelwch*—heb gael eu haflonyddu mwyach gan fleiddiaid y Philistiaid. *A mi a laddaf dy wreiddyn â newyn*—lladdai Duw y Philistiaid â newyn, fel y lleddir gwreiddyn pren â sychder mawr; *ac yntau a ladd dy weddill*—hyny yw, y rhai a fyddent heb eu lladd gan Dduw â newyn, a leddid gan Hezeciah â'r cleddyf.

Adn. 31. *Uda, borth*] Sef swyddogion a barnwyr dinasoedd y Philistiaid; *gwaedda, ddinas*—sef trigolion cyffredin eu dinasoedd hwy. *Palestina*—sef holl wlad y Philistiaid, *ti oll a doddwyd*—neu a doddir gan ofn a dychryn. *Canys mwg*—neu lwch yn codi fel mwg, *sydd yn dyfod o'r gogledd*—oddiwrth gerddediad byddin Hezeciah ar eu taith atat o Jerusalem, yr hon a orweddai i'r gogledd-ddwyrain oddiwrth wlad y Philistiaid. Ond tybia rhai fod y proffwyd yma yn cyfeirio at drallod newydd ag ydoedd i ddisgyn arnynt oddiwrth yr Assyriaid neu y Caldeaid, ac nid at yr un a grybwyllwyd adn. 29, 30, fel yn dyfod oddiwrth Hezeciah. *Ac ni bydd unig yn ei amseroedd nodedig ef*—ni bydd Hezeciah yn unig, ond bydd llu mawr gydag ef pryd yr ymosoda arnat.

Adn. 32. *A pha beth a atebir i genhadau y genedl*] Y rhai a anfonid oddiwrth ryw genedl i lon-gyfarch Hezeciah ar ol ei fuddugoliaeth uchod, neu i holi am ei ddiogelwch ef? *Seilio o'r Arglwydd Seion*—hyn fydd yr atebiad i'r cenhadau hyny, fod yr Arglwydd wedi seilio Seion neu Jerusalem yn gadarn, a'i hamddiffyn iddo ei hun; *ac y gobeithia trueiniaid ei bobl ef ynddi*—yn ngwyneb pob ymosodiad yn ei herbyn, am fod Arglwydd y lluoedd yn amddiffynwr iddi. Gellir cymhwyso hyn yn briodol at ddiogelwch eglwys Dduw yn ein dyddiau ni, o'r hon yr oedd Seion gynt yn gysgod.

PEN. XV. Adn. 1. *Baich Moab*] Sef proffwydoliaeth am ddinystr Moab, yr hyn a fyddai yn faich trwm iddi: gwel ar pen. xiii. 1. Yr oedd gwlad Moab yn gorwedd o du y dwyrain i'r môr marw, ar gyfer Judea. Y Moabiaid oeddynt hiliogaeth Lot o'i ferch hynaf, Gen. xix. 37. Meddylir i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn y flwyddyn gyntaf i Hezeciah, ac iddi ddechreu cael ei chyflawni yn mhen tair blynedd ar ol hyny, pen. xvi. 14. Dechreuwyd dinystr Moab gan yr Assyriaid, a gorphenwyd ef gan y Babiloniaid. *O herwydd y nos*—Saes., '*yn* y nos;' neu, 'mewn noson,' yn sydyn ac annysgwyliadwy. *Y dinystriwyd Ar Moab*—Ar oedd prifddinas Moab, yr hon a orweddai o'r tu deau i afon Arnon. *Cir Moab*—dinas enwog arall, yr un a Cir-haraseth, neu Cir-hares, pen. xvi. 7, 11. *Ac y dystawyd hi*—neu 'y torwyd hi ymaith,' fel y mae ar ymyl y ddalen.

Adn. 2. *Aeth i fyny*] Hyny yw, aeth brenin Moab i fyny, neu efe a'i bobl; *i Baith ac i Ddibon*—y mae *Lowth* yn gwneyd un lle o'r ddau hyn; 'Aeth i fyny i Beth-Dibon.' Ystyr y gair *beth* yw *tŷ;* a *Dibon* oedd enw tref, lle yr oedd tŷ i'r eilunod. *I'r uchelfeydd i ŵylo*—o herwydd y galanastra hwn, ac i weddio yno am gymhorth y duwiau. *Am Nebo ac am Medeba yr uda Moab*—sef am

3 Yn eu heolydd yr ymwregys-
ant â sachlian: ar benau eu tai, ac
yn eu heolydd, yr uda pob un, gan
ŵylo yn hidl.
4 Gwaedda Hesbon hefyd, ac Ele-
aleh: hyd Jahas y clywir eu llef-
ain hwynt: am hyny arfogion Moab
a floeddiant, *pob un* a flina ar ei
einioes.
5 Fy nghalon a waedda am Moab,
ei ffoaduriaid hi *a ânt* hyd Soar, *fel*
anner deirblwydd; mewn ŵylofain
y dringant hyd allt Luhith: canys
codant waedd dinystr *ar hyd* ffordd
Horonaim.
6 O herwydd dyfroedd Nimrim a
fyddant yn anrhaith: canys gwyw-
odd y llysiau, darfu y gwellt; nid
oes gwyrddlesni.
7 Am hyny yr helaethrwydd a
gawsant, a'r hyn a roisant i gadw,
a ddygant i afon yr helyg.
8 Canys y gwaeddi a amgylchyn-
odd derfyn Moab, eu hudfa hyd Eg-
laim, a'u hochain *hyd* Beer-elim.
9 Canys dyfroedd Dimon a lenwir
o waed; canys gosodaf ychwaneg
ar Ddimon, llewod ar yr hwn a ddi-
ango yn Moab, ac ar weddill y wlad.

## PENNOD XVI.

ANFONWCH oen i lywodraethwr y tir, o Sela i'r anialwch, i fynydd merch Seion.

---

eu colli neu eu dinystrio hwynt. Yr oedd yno fynydd o'r enw *Nebo*, i ba un yr esgynodd Moses i weled Canaan cyn ei farw, Deut. xxxiv. 1; ond y mae yn debyg mai at ddinas o'r enw hwn, wrth droed y mynydd hwnw, y cyfeirir yma. *Medeba* oedd fynydd crwn, ac yr oedd tref o'r un enw wedi ei hadeiladu ar ei ben ef. Y mae ei hadfeilion presenol yn ddwy filldir o amgylchedd. *Bydd moelni ar eu holl benau, &c.*—trwy iddynt eillio eu gwallt a'u barfau yn arwydd o'u galar.

Adn. 3. *Yn eu heolydd yr ymwregysant â sachlian*] Arwydd cyffredin arall o alar. *Ar benau eu tai*—y rhai oeddynt leddf neu wastad; *ac yn eu heolydd*—sef yn mhob man lle yr arferent rodio; *yr uda pob un*—y gwaeddant ac y crochlefant; *gan ŵylo yn hidl*—yn brawf fod eu galar a'u llefiadau yn ddiragrith a gwirioneddol.

Adn. 4. *Gwaedda Hesbon hefyd*] Prifddinas Sehon brenin yr Amoriaid, yr hon a gymerasent hwy oddiar y Moabiaid, ac a roddwyd gan Moses i'r Reubeniaid, Num. xxi. 25, 26, a xxxii. 3, 37. *Ac Elealeh*—tref gaerog o fewn oddeutu pedair milldir i Hesbon. *Hyd Jahas y clywir eu llefain hwynt*—yr un ond odid a Jahara, dinas oddeutu pymtheg milldir i'r deau-ddwyrain o Hesbon. *Am hyny arfogion Moab a floeddiant*—sef eu milwyr hwynt: *pob un a flina ar ei einioes*—fel y byddai yn well ganddo braidd farw na byw.

Adn. 5. *Fy nghalon a waedda am Moab*] Meddylir mai iaith y proffwyd yw hon, yn tosturio wrth y Moabiaid fel ei gydgreaduriaid, yn yr olwg ar eu trueni dirfawr. Ond y mae y LXX yn ei ddarllen, '*ei* galon a waedda,' sef calon y brenin fe allai. *Ei ffoaduriaid hi a ânt hyd Soar*—tref fechan yn nghwr deheuol y môr marw, lle y ffoisai Lot rhag dinystr Sodom, Gen. xix. 23; *fel anner deirblwydd*—hyny yw, bloeddiant yn gryf ac uchel, fel anner yn ei chyflawn faint a'i nerth. *Mewn ŵylofain y dringant hyd allt Luhith*—yr hon oedd ar eu ffordd i Soar. *Canys codant waedd dinystr ar hyd ffordd Horonaim*—tref arall yn debygol rhwng Luhith a Soar, yr hon oedd cartref Sanbalat, Neh. ii. 10.

Adn. 6. *O herwydd dyfroedd Nimrim a fyddant yn anrhaith*] Cauir y ffynnonau a'r ffrydiau i fyny yno gan y gelynion: gwel anghraifft o hyn yn yr un wlad, yn amser Moses, 2 Bren. iii. 25. Dyma un rheswm paham y ffoent hwy o'r gogledd tua'r deau, fel y byddai iddynt gael dwfr a phorfa i'w hanifeiliaid. *Canys gwywodd y llysiau, darfu y gwellt*—o herwydd i'r gelynion gau i fyny y ffynnonau a'r ffrydiau, y rhai a ddyfrhäent y tir, gan beri i'r gwellt dyfu.

Adn. 7. *Am hyny yr helaethrwydd a gawsant*] Cyfeiria hyn ond odid at amledd yr anifeiliaid a gawsant hwy yn eu llwyddiant; *a'r hyn a roisant i gadw*—sef yr hyn a allasant ei gadw o'r anifeiliaid hyny; *a ddygant i afon yr helyg*—lle y cânt ddwfr a phorfa; neu 'i ddyffryn yr Arabiaid,' fel y mae ar ymyl y ddalen.

Adn. 8. *Canys y gwaeddi*] O achos y trueni a ddisgynasai arnynt, *a amgylchynodd derfyn Moab*—oedd yn gyffredinol dros yr holl wlad hòno: *eu hudfa hyd Eglaim*—yn nherfyn deheuol Moab; *a'u hochain hyd Beer-elim*—yr un a Beer, Num. xxi. 16.

Adn. 9. *Canys dyfroedd Dimon*] Yr un a Dibon, fel y tybir, adn. 2; *a lenwir o waed*—y lladdedigion. *Canys gosodaf ychwaneg ar Ddimon*—gosodaf fwy o ddrwg arni na throi ei dyfroedd yn waed, sef yr hyn a ganlyn. *Llewod ar yr hwn a ddiango yn Moab*—bydd i'r rhai a ddiangant i'r mynyddoedd a'r anialwch gael eu hysglyfaethu gan fwystfilod yno; *ac ar weddill y wlad*—pawb a fyddant wedi dianc rhag difrod y rhyfel. Ond tybia *Vitringa* mai at Nebuchodonosor y cyfeirir yma, yr hwn a orphenai y difrod a ddechreuasid gan yr Assyriaid: gwel Jer. iv. 7, a v. 6, a xlviii. 40. Fel hyn hefyd y deallwyd yr ymadrodd gan yr alleirydd Caldeaidd, yr hwn, yn lle *llewod*, a ddarllena, 'Brenin gyda'i fyddin i ddyfetha y Moabiaid.'

PEN. XVI. Adn. 1. *Anfonwch oen i lywodraethwr y tir*] I Hezeciah, yr hwn oedd yn frenin ar Juda, ac yn llywodraethwr tir Moab hefyd o ran hawl. Yma y mae y proff-

2 Bydd fel aderyn yn gwibio wedi
ei fwrw allan *o'r* nyth; *felly* y bydd
merched Moab *wrth* rydau Arnon.
3 Ymgynghora, gwna farn, gwna
dy gysgod fel nos yn nghanol han-
ner dydd; cuddia y rhai gwasgar-
edig, na ddatguddia y crwydrad.
4 Triged fy ngwasgaredigion
gyda thi, Moab, bydd di loches
iddynt rhag y dinystrydd; canys
diweddwyd y gorthrymydd, yr an-
rheithiwr a beidiodd, y mathrwyr a
ddarfuant o'r tir.
5 A gorseddfainc a ddarperir
mewn trugaredd; ac arni yr eist-
edd efe mewn gwirionedd, o fewn
pabell Dafydd, yn barnu ac yn ceis-
io barn, ac yn prysuro cyfiawnder.
6 ¶ Clywsom am falchder Moab,
(balch iawn *yw,)* am ei falchder, a'i
draha, a'i ddigllonedd; *ond* nid
felly *y bydd* ei gelwyddau.
7 Am hyny yr uda Moab am
Moab, pob un a uda: am sylfaeni
Cir-hareseth y griddfenwch; yn
ddiau hwy a darawyd.

---

wyd yn cynghori y Moabiaid pa beth i'w wneyd tuag at ragflaenu, neu o leiaf liniaru, y farn fygythiedig. Arferai y Moabiaid dalu treth o ŵyn i Dafydd, ac i'r brenhinoedd o'i hiliogaeth ef, byth er pan orchfygasai efe eu gwlad, 2 Sam. viii. 2: ond ar ol rhanu y frenhiniaeth, telid y dreth hon i frenhinoedd Israel hyd farwolaeth Ahab, sef 'can mil o ŵyn, a chan mil o hyrddod gwlanog,' 2 Bren. iii. 4, 5. Ond y mae yn debyg fod hyn yn awr wedi ei ommedd, ac nad oeddynt yn talu y dreth hon mwyach i frenhinoedd Israel na Juda. Yn awr y mae y proffwyd yma yn eu cynghori i ddiwygio yn hyn, a thalu y dreth hon i Hezeciah brenin Juda, a gwneyd heddwch âg ef, yr hyn a allai fod o fantais fawr iddynt yn ngwyneb eu trychineb nesaol. *O Sela*—sef o *Petra*, prifddinas Arabia Garegog; *i'r anialwch*—sef rhyw anialwch yn ngwlad Moab; ac felly y mae yr ymadrodd yn golygu, 'o bob rhan o'ch gwlad.' Ond tybia *Vitringa* mai yr anialwch ger Jericho a olygir; ac felly yr ystyr yw, 'anfonwch ŵyn o *Sela* yn ngwlad Moab, i *Jericho* yn ngwlad Canaan,' yr hyn a fyddai oddeutu hanner y ffordd i Jerusalem. *I fynydd merch Seion*—i'w hoffrymu yn y deml yno yn ebyrth i'r Arglwydd.

Adn. 2. *Bydd fel aderyn yn gwibio wedi ei fwrw allan o'r nyth*] Yr hwn ni ŵyr i ba le i fyned; *felly y bydd merched Moab wrth rydau Arnon*—ar ol eu gyru allan o'u gwlad. Yr afon *Arnon* 'oedd derfyn Moab, rhwng Moab a'r Amoriaid,' Num. xxi. 13.

Adn. 3. *Ymgynghora*] Mewn pryd, pa beth sydd oraf i'w wneuthur; *gwna farn*—neu gyfiawnder, trwy dalu y dreth uchod, a gwneyd yr hyn a orchymynir isod. *Gwna dy gysgod*—cysgoda dros yr Iuddewon a ffoant i'th wlad rhag poethder erledigaeth; *fel nos yn nghanol hanner dydd*—fel y mae y nos yn cysgodi rhag gwres y dydd. *Cuddia y rhai gwasgaredig*—o olwg eu gelynion; *na ddatguddia y crwydrad*—i'r rhai a fyddont yn chwilio am dano ef i'w ddyfetha. Ond tybia *Lowth* ac ereill mai cynghori yr Iuddewon i noddi y Moabiaid ffoedig y mae y proffwyd yma.

Adn. 4. *Triged fy ngwasgaredigion gyda thi, Moab*] Neu, fel y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'Triged gwasgaredigion Moab gyda thi.' Ond y dyb fwyaf cyffredin yw, mai wrth Moab y llefarir yma. *Bydd di loches iddynt rhag y dinystrydd*—sef i'r Iuddewon rhag Resin a Phecah, pen. vii. 1, &c.; neu rhag Senacherib, pen. xxxvi. *Canys diweddwyd y gorthrymydd, yr anrheithiwr a beidiodd*—neu a ddiwedda ac a beidia, a hyny mor sicr a phe buasai wedi cymeryd lle eisioes; *y mathrwyr a ddarfuant o'r tir*—neu a symudir yn ebrwydd; ac *yna* bydd Judea yn alluog i addalu y tiriondeb a ddeisyfir yn awr gan Moab, sef noddi a chysgodi ei gwasgaredigion.

Adn. 5. *A gorseddfainc a ddarperir mewn trugaredd*] 'Er fy mod yn awr yn cospi gwŷr Juda am eu pechodau, eto gwaredaf hwynt er mwyn fy nhrugaredd fy hun.' Neu, 'cadarnheir gorseddfainc brenin Juda, yr hwn a ddengys drugaredd i chwithau y Moabiaid.' *Ac arni yr eistedd efe mewn gwirionedd*—yn sicr a pharhaus, 2 Cron. xxxii. 1; *o fewn pabell Dafydd*—yn ei lys neu ei balas ef; *yn barnu ac yn ceisio barn*—yn chwilio allan wirionedd pethau gyda gofal a dyfalwch; *ac yn prysuro cyfiawnder*—yn gwneyd cyfiawnder â phawb yn ddioedi, yn ol eu gwir haeddiant. Awgrymir yma y byddai i frenin Juda nid yn unig *drugarhau* wrth y Moabiaid os trugarhäent hwy wrth yr Iuddewon gwargaredig, ond hefyd eu *cospi* hwynt os gommeddent eu noddi a'u cysgodi hwynt. Ond y mae yn debyg fod y proffwyd yma yn edrych yn mhellach na brenhiniaeth Hezeciah, sef at frenhiniaeth Crist.

Adn. 6. *Clywsom am falchder Moab*] Yma y mae y proffwyd, ar ol bod yn llefaru wrth y Moabiaid, yn troi i lefaru am danynt wrth bobl Juda; *balch iawn yw*—fel y gŵyr pawb: *am ei falchder, a'i draha, a'i ddigllonedd*—y rhai sydd bob amser yn cyfarfod yn yr un dyn; canys lle y byddo balchder, yno y bydd traha a digofaint hefyd. Fel pe dywedasai, Nid wyf fi yn dysgwyl y bydd i'm cynghorion hyn gael unrhyw effaith dda ar frenin Moab; canys bydd iddynt yn barhaus ymddwyn yn falch, digllon, ac ysgeler. *Ond nid felly y bydd ei gelwyddau*—sef ei iaith ymffrostgar a hunanol. Fel pe dywedasai, Ni bydd ef yn alluog i'w amddiffyn ei hun rhag ei elynion, fel yr ymffrostia efe: y mae ei ymffrost yn fwy na'i nerth, a'i falchder a'i hunanoldeb yn fwy na'i gryfder.

Adn. 7. *Am hyny*] Am ei fod yn rhy uchel a digllon i wneyd yn ol fy nghynghor i; *yr uda Moab am Moab*—sef y Moabiaid am eu gwlad, neu y byw am y meirw: *pob un a uda*—bydd udo cyffredinol trwy yr holl wlad.

8 Canys gwinwydd Hesbon a
wanhasant; *ac am* winwydden Sib-
mah, arglwyddi y cenhedloedd a
ysgydwasant ei phêr-winwydd hi;
hyd Jaser y cyraeddasant; crwydr-
asant *ar hyd* yr anialwch; ei chang-
henau a ymestynasant, *ac* a aethant
dros y môr.
9 ¶ Am hyny y galaraf âg ŵylo-
fain Jaser, gwinwydden Sibmah;
dyfrhaf di, Hesbon ac Elealeh, â'm
dagrau: canys ar dy ffrwythydd
haf, ac ar dy gynauaf, y syrthiodd
bloedd.
10 Y llawenydd hefyd a'r gorfol-
edd a ddarfu o'r dolydd; ni chenir,
ac ni floeddir yn y gwinllanoedd;
ni sathr sathrydd win yn y gwrŷf-
oedd; gwnaethym i'*w* bloedd *gyn-
auaf* beidio.
11 Am hyny y rhua fy ymysgar-
oedd am Moab fel telyn, a'm perf-
edd am Cir-hares.
12 ¶ A phan weler flino o Moab
ar yr uchelfan, yna y daw efe i'w
gysegr i weddio; ond ni thycia
iddo.
13 Dyma y gair a lefarodd yr Ar-
glwydd am Moab, er yr amser
hwnw.
14 Ond yn awr y llefarodd yr Ar-
glwydd, gan ddywedyd, O fewn tair
blynedd, fel blynyddoedd gwas cyf-
log, y dirmygir gogoniant Moab,
a'r holl dyrfa fawr; a'r gweddill
*fydd* ychydig bach *a* dirym.

---

Hyn fyddai canlyniad eu digllonedd yn peidio anfon treth i'r Iuddewon, neu effaith eu balchder yn gommedd ceisio eu ffafr hwynt. *Am sylfaeni Cir-hareseth y griddfenwch*—sef am ddinystrio ei sylfaeni hi, pen. xv. 1. *Yn ddiau hwy a darawyd*—dryllir a dystrywir hwynt yn ddiamheuol.

Adn. 8. *Canys gwinwydd Hesbon a wanhasant*] Trwy ddinystr yr anrheithiwr, neu am na fyddai neb i'w gwrteithio: *ac am winwydden Sibmah*—lle o fewn oddeutu hanner milldir i Hesbon, pen. xv. 4; *arglwyddi y cenhedloedd*—yn gyntaf yr Assyriaid, ac wedi hyny y Caldeaid; *a ysgydwasant*—neu a ddystrywiasant, *ei phêr-winwydd hi*—y rhai oeddynt yn glodfawr iawn trwy yr holl wledydd. *Hyd Jaser y cyraeddasant*—yr oedd Jaser yn sefyll oddeutu 15 milldir i'r gogledd o Sibmah; ac yr oedd gwinwydd Sibmah mor rhagorol, fel y ceisiwyd planhigion oddiyno i'w planu yn Jaser, ac ar hyd yr anialwch o'i hamgylch. *Ei changhenau a ymestynasant*—planwyd hwynt trwy yr holl wledydd hyny; *ac a aethant dros y môr*—i wledydd ereill: gwel ar Jer. xlviii. 32.

Adn. 9. *Am hyny y galaraf âg ŵylofain Jaser*] Gyda'r un galar ag a ddaliai wŷr Jaser, *gwinwydden Sibmah*—Saes., '*am* winwydden Sibmah,' yr hon a ddygesid oddiyno i Jaser, adn. 8. *Dyfrhaf di, Hesbon ac Elealeh*—gwel ar pen. xv. 4, *â'm dagrau*—fel hyn ŵylai y proffwyd yn ddwys yn yr olwg ar eu trueni nesaol, pen. xv. 5. *Canys ar dy ffrwythydd haf, ac ar dy gynauaf, y syrthiodd bloedd*—sef bloedd dinystr y rhyfelwyr, yn lle bloedd llawenydd y gwinllanwyr yn amser y cynauaf, pen. ix. 3.

Adn. 10. *Y llawenydd hefyd a'r gorfoledd*] A ddanghosid yn amser y cynauaf, *a ddarfu o'r dolydd*—Saes., 'o'r dolydd llawnion,' yn gystal ag o'r gwinllanoedd. *Ni sathr sathrydd win yn y gwrŷfoedd*—neu yn y cafnau mwyach, fel y gwneid gynt, i wasgu y gwin allan o'r grawn: *gwnaethym i'w bloedd gynauaf beidio*—neu gwnai Duw hyny cyn hir, trwy ddwyn eu gelynion arnynt.

Adn. 11. *Am hyny y rhua fy ymysgaroedd am Moab*] Meddai y proffwyd, *fel telyn*—efe a deimlai ei ymysgaroedd yn ymgynhyrfu ac yn crynu o'i fewn, fel tannau telyn pan darewid hwy â bysedd y chwareuydd; *a'm perfedd*—a grynant felly, *am Cir-hares*—yr un a Cir-haraseth yn adn. 7, neu Cir yn pen. xv. 1.

Adn. 12. *A phan weler flino o Moab ar yr uchelfan*] Sef ar eu heilunod cyffredin yn Beth-Dibon, trwy fethu cael cymhorth ganddynt, pen. xv. 2; *yna y daw efe i'w gysegr i weddio*—i deml ei brif dduw *Cemos*, yr hon y dywed Jerome ei bod ar ben Nebo: *ond ni thycia iddo*—trwy na fedr Cemos, mwy na'r duwiau llai, wrando ei weddi ef, nac estyn ymwared iddo. Tybia *Kimchi* mai y deml yn Jerusalem a feddylir yma wrth y *cysegr;* ond nid yw hyny yn debygol.

Adn. 13. *Dyma y gair a lefarodd yr Arglwydd am Moab*] Dyma sylwedd ei fygythiad ef yn erbyn y wlad hòno a'i thrigolion; *er yr amser hwnw*—hyny yw, o'r amser ag y dechreuwyd rhagfynegu am ei dinystr hi gan unrhyw broffwyd. Yr hyn a ddywedwyd yn y ddwy bennod uchod gan Esay, yw sylwedd holl fygythion yr Arglwydd yn erbyn Moab. Ymddengys i Balaam ragweled yr hyn a ddygwyddai i Moab yn y dyddiau diweddaf, Num. xxiv. 14, 17: gwel hefyd Exod xv. 15, Num. xxi. 28, 29, Salm lx. 8, a cviii. 9, Amos ii. 2, Seph. ii. 9.

Adn. 14. *Ond yn awr y llefarodd yr Arglwydd*] Yn fwy eglur, gan nodi nid yn unig yr amgylchiadau, ond hefyd amser eu cyflawniad. *O fewn tair blynedd*—o amser marwolaeth Ahaz, neu o amser traethiad y broffwydoliaeth hon, pen. xiv. 29; *fel blynyddoedd gwas cyflog*—yr hwn ni erys yn ei le gymaint ag un diwrnod wedi i'w amser ddyfod i fyny; hyny yw, o fewn tair blynedd yn gymhwys; *y dirmygir gogoniant Moab*—gan yr Assyriaid, yr hyn a orphenir gan Nebuchodonosor; *a'r holl dyrfa fawr*—a fyddai gan Moab i ymogoneddu ac ymffrostio ynddynt: *a'r gweddill*—y rhai a ddiangant rhag y di-

## PENNOD XVII.

BAICH Damascus. Wele Ddamascus wedi ei symud o *fod* yn ddinas, a charnedd wedi syrthio a fydd hi.
2 Gwrthodwyd dinasoedd Aroer: i ddeadellau y byddant, y rhai a orweddant, ac ni *bydd* a'*u* dychryno.
3 A derfydd amddiffynfa o Ephraim, a brenhiniaeth o Damascus, a gweddill Syria: fel gogoniant meibion Israel y byddant, medd Arglwydd y lluoedd.
4 Ac ar y dydd hwnw y bydd i ogoniant Jacob feinhau, a brasder ei gig ef a gulha.
5 Ac efe a fydd fel pan gasglo y cynauafwr ŷd, a medi â'i fraich y twysenau: a bydd fel casglydd twysenau yn nglŷn Rephaim.
6 ¶ (Eto ynddo y gadewir lloffion grawnwin, fel ysgydwad olewwydden, *sef* dau *neu* dri o rawn yn mlaen y brig, *a* phedwar *neu* bump yn ei changhenau ffrwythlon eithaf, medd Arglwydd Dduw Israel.
7 Yn y dydd hwnw yr edrych

---

PEN. XVII. Adn. 1. *Baich Damascus*] Gwel ar pen. xiii. 1. Damascus oedd brifddinas Syria, yr hon oedd yn nodedig am ei heilunaddoliaeth. Dywedir fod ynddi 365 o heolydd, yn mhob un o ba rai yr oedd eilun, i'r hwn y rhoddid diwrnod o addoliad, fel ag yr addolid yr oll yn ystod y flwyddyn: ac yr oedd hyny yn ddigon o reswm dros ddinystrio y ddinas hon. *Wele Ddamascus wedi ei symud o fod yn ddinas*—yr hyn a gymerodd le trwy Tiglath-pileser brenin Assyria, yn amser Ahaz brenin Juda, 2 Bren. xvi. 9. *A charnedd wedi syrthio a fydd hi*—neu bentwr aflunlaidd lle y buasai dinas gynt. Ond ymddengys iddi gael ei hadgyweirio ar ol hyn; canys proffwydwyd yn ei herbyn gan Jeremiah, pen. xlix. 23, a chan Zechariah, pen ix. 1.

Adn. 2. *Gwrthodwyd dinasoedd Aroer*] Y rhai oeddynt o amgylch Aroer, ar lan yr afon Arnon, ar gyfer y môr marw, y rhai a ennillwyd ond odid gan y Syriaid gyda'r lleoedd ereill y ffordd hòno, 2 Bren. x. 32, 33. Ond tybia *Grotius* mai at ddyffryn Aroer yn Syria, yn agos i fynyddoedd Libanus, y cyfeirir yma, ac nid at ddinas Aroer ar lan Arnon. Eithr y LXX, yn nghyda *Lowth* ac ereill, yn lle 'Aroer,' a ddarllenant 'am byth:' 'Gadawyd y dinasoedd *am byth*,' neu am amser maith. Y mae pob un o'r golygiadau hyn yn arwyddo fod nid yn unig Damascus, ond holl deyrnas Syria, yn cael ei chynwys yn y 'baich' hwn. *I ddeadellau y byddant*—ar ol i'r bobl adael y dinasoedd hyn; *y rhai a orweddant*—yno i bori; *ac ni bydd a'u dychryno*—trwy fod yr holl wlad wedi ei diboblogi.

Adn. 3. *A derfydd amddiffynfa o Ephraim, a brenhiniaeth o Damascus*] Crybwyllir yma am Ephraim, neu deyrnas Samaria, mewn cysylltiad â Damascus neu Syria, am eu bod mewn cynghrair â'u gilydd, ac i gael eu suddo yn yr un difrod. *A gweddill Syria*—nystr hwnw, *fydd ychydig bach*—o ran rhifedi, *a dirym*—o ran nerth. Y mae y manylrwydd â'r hwn y cyflawnwyd hyn oll, fel y cadarnheir trwy dystiolaeth pob ymdeithydd a fu yn y wlad hòno, a'r wybodaeth gywir o ddaearyddiaeth y wlad a ddanghosir gan Esay, yn rhwymo pob dyn diduedd i gydnabod nas gallai neb ond dyn dan ddwyfol ysbrydoliaeth ysgrifenu y broffwydoliaeth hon.

yr hyn fyddai ar ol o deyrnas Syria, ar ol i'w phrifddinas Damascus gael ei dinystrio. *Fel gogoniant meibion Israel y byddant*—hyny yw, dyfethir holl deyrnas Syria yr un modd ag amddiffynfeydd neu drefi caerog teyrnas y deg llwyth: dyoddefant ill dwy yr un dynged, gan eu bod yn yr un cynghrair. Y *Galdeaeg* a'i darllena, 'A'r llywodraeth a dderfydd o Ephraim, a'r frenhiniaeth o Damascus,' &c.

Adn. 4. *Ac ar y dydd hwnw y bydd i ogoniant Jacob*] Sef awdurdod, cryfder, ac urddas y deg llwyth; *feinhau*—neu deneuo, fel y treulia y corff dynol ymaith gan afiechyd; *a brasder ei gig ef a gulha*—fel dyn a fyddo mewn darfodedigaeth. Y meddwl yw, pan ddechreuai eu hadfyd oddiwrth yr Assyriaid, y byddai iddynt golli eu pobl, eu heiddo, a'u gogoniant milwrol; ac y byddai i'w prif ddynion gael eu lladd, neu eu caethgludo i Assyria.

Adn. 5. *Ac efe a fydd fel pan gasglo y cynauafwr ŷd*] Yr hwn, hyd y medro, a gasgla y cwbl i mewn; *a medi â'i fraich y twysenau*—bob un o honynt: *a bydd fel casglydd twysenau yn nglŷn Rephaim*—yr hwn a wna ymdrech i'w lloffa yn llwyr. Glŷn Rephaim, neu 'glŷn y cewri,' Jos. xv. 8, ydoedd ddyffryn ffrwythlon iawn yn agos i Jerusalem; ac yr oedd yr ŷd a dyfai yno mor rhagorol, fel yr ymdrechid cael pob twysen i'r ysgubor. Yr oedd Israel fel maes llawn o ŷd addfed; a brenin Assyria fyddai y medelwr i'w lwyr dori ef i lawr.

Adn. 6. *Eto ynddo y gadewir lloffion grawnwin, &c.*] Fel pe dywedasai, Er llwyred fydd y medi a'r casglu uchod, gadewir o Israel rai ar ol, yr un modd ag y gadewir rhai grawn yn mrig y winwydden, neu olifiaid yn nghanghenau eithaf yr olewwydden, y rhai a fyddont yn rhy uchel i'w cyraedd â'r llaw. Ac felly y bu: gadawyd rhai o wŷr Israel ar ol heb eu caethgludo, y rhai a ffoisant at wŷr Juda, ac a ddygwyd gyda hwy i Babilon.

Adn. 7. *Yn y dydd hwnw yr edrych dyn at ei Wneuthurwr*] Am gynorthwy, yn lle at fraich o gnawd; *a'i lygaid a edrychant ar Sant Israel*—ar y gwir Dduw, i'w addoli ef yn unig.

Adn. 8. *Ac nid edrych am yr allorau*] Y rhai a wnaethai efe i aberthu i dduwiau gau;

dyn at ei Wneuthurwr, a'i lygaid a edrychant ar Sant Israel:

8 Ac nid edrych am yr allorau, *y rhai ydynt* waith ei ddwylaw; ïe, nid edrych am yr hyn a wnaeth ei fysedd, na'r llwyni, na'r delwau.)

9 ¶ Yn y dydd hwnw y bydd eu dinasoedd cedyrn fel cangen wrthodedig, a'r brig, y rhai a adawsant o herwydd meibion Israel: felly y bydd annghyfanedd-dra.

10 O herwydd annghofio o honot Dduw dy iachawdwriaeth, ac na chofiaist graig dy gadernid: am hyny y pleni blanhigion hyfryd, ac yr impi hwynt â changhenau dyeithr.

11 Y dydd y gwnei i'th blanhigyn dyfu, a'r bore y gwnei i'th had flodeuo: *ond bydd* y cynauaf yn bentwr ar ddydd llesgedd a dolur gofidus.

12 ¶ Gwae dyrfa pobloedd lawer, fel twrf y môr y trystiant; ac i dwrf y bobloedd a drystiant fel swn dyfroedd lawer.

13 Fel swn dyfroedd lawer y trystia y bobl; a *Duw* a'u cerydda hwynt, a hwy a ffoant yn mhell, ac a erlidir fel peiswyn mynydd o flaen y gwynt, ac fel peth yn treiglo yn mlaen corwynt.

14 Ac wele drallod ar brydnawn, *a* chyn y bore ni *bydd*. Dyma ran y rhai a'n hanrheithiant ni, a choelbren y rhai a'n hyspeiliant ni.

## PENNOD XVIII.

GWAE y tir sydd yn cysgodi âg adenydd, yr hwn *sydd* tuhwnt i afonydd Ethiopia:

---

*na'r llwyni*—y rhai a blanasai; *na'r delwau*—y rhai a gerfiasai ac a addolasai.

Adn. 9. *Yn y dydd hwnw y bydd eu dinasoedd cedyrn fel cangen wrthodedig*] Heb irder ynddi, na ffrwyth na dail arni. *A'r brig, y rhai a adawsant o herwydd meibion Israel*—tybir yn gyffredin mai y meddwl yw, y byddai i'r Assyriaid adael rhai dinasoedd bychain yn nheyrnas Israel heb eu dinystrio, fel y gadewir ychydig rawn yn mrig y pren, adn. 6, yn y rhai y byddai i weddill Israel gartrefu. Ond yn lle 'y gangen a'r brig,' y mae y LXX yn darllen, 'yr Hefiaid a'r Amoriaid,' gan gyfieithu yr adnod fel hyn: 'Eu dinasoedd cedyrn a adewir, fel pan y gadawodd yr Hefiaid a'r Amoriaid hwynt, o herwydd meibion Israel.' *Felly y bydd annghyfanedd-dra*—yn ngwlad Israel y pryd hyn trwy ddwylaw yr Assyriaid, megys y bu yno gynt trwy ddwylaw meibion Israel, pryd y cymerasant hwy y wlad oddiar yr hen Ganaaneaid.

Adn. 10. *O herwydd annghofio o honot Dduw dy iachawdwriaeth*] O Israel; *ac na chofiaist graig dy gadernid*—sef yr Arglwydd, yr hwn a fuasai yn iachawdwriaeth ac yn gadernid iddynt o amser eu gwaredigaeth o'r Aifft hyd eu hymraniad yn amser Rehoboam: *am hyny y pleni blanhigion hyfryd*—yn dy dir; *ac yr impi hwynt â changhenau dyeithr*—wedi eu cyrchu o wledydd ereill. Tybia *Lowth* mai ymadroddion cyffelybiaethol yw y rhai hyn, yn arwyddo addoliad ac arferion dyeithr a phaganaidd gwŷr Israel; tra y tybia ereill fod y geiriau i'w deall yn llythyrenol, am blanhigion neu hadau wedi eu gosod i dyfu yn eu tir.

Adn. 11. *Y dydd y gwnei i'th blanhigion dyfu, &c.*] Arferai meibion Israel ddiwydrwydd a gofal mawr gyda'u planhigion hyn, neu gyda'u defodau a'u gau-grefydd, fel garddwr diwyd yn ceisio gwneyd i'w blanhigion a'i had dyfu a blodeuo: *ond bydd y cynauaf yn bentwr*—ofer a diwerth i chwi, *ar ddydd llesgedd a dolur gofidus*—hyny yw, bydd i'r Assyriaid ddwyn ymaith y cwbl a feddwch, a chwithau eich hunain hefyd, yn nydd eich gwendid a'ch gofid nesaol.

Adn. 12. *Gwae dyrfa pobloedd lawer*] Meddylir nad oes un cysylltiad rhwng yr hyn a ddywedir yn y tair adnod hyn, a'r hyn a ddywedwyd uchod; a bod y proffwyd yma yn cyfeirio at fyddin luosog Senacherib, y rhai a ddaethant yn erbyn Hezeciah a Jerusalem, ac a drystient â'u traed wrth gerdded, *fel twrf y môr*—yn uchel a dychrynllyd. *Ac i dwrf y bobloedd a drystiant fel swn dyfroedd lawer*—hyny yw, gwae y bobl a drystiant felly; neu, 'y mae eu rhuthriad hwy fel rhuthriad dyfroedd lawer,' neu 'ddyfroedd cryfion.'

Adn. 13. *Fel swn dyfroedd lawer y trystia y bobl*] Saes., 'y cenhedloedd a ruthrant fel rhuthriad dyfroedd lawer;' ac felly y gwnaeth yr Assyriaid i wlad Judea. *A Duw a'u cerydda hwynt*—a ddyrysa eu cynlluniau, ac a sioma eu bwriadau, trwy ladd 185,000 o honynt mewn un noson, 2 Bren. xix. 35. *A hwy a ffoant yn mhell*—sef Senacherib ei hun, a'r rhai ni leddid o'i fyddin; *ac a erlidir fel peiswyn mynydd*—yr hwn a ddeuai oddiwrth ŷd a ddyrnid ar ben mynydd, ac a ysgubid ymaith o flaen corwynt.

Adn. 14. *Ac wele drallod ar brydnawn*] Yn mhlith gwŷr Jerusalem, rhag ofn yr Assyriaid; *a chyn y bore ni bydd*—trwy i'w gelynion hyny gael eu lladd yn y nos. *Dyma ran y rhai a'n hanrheithiant ni, &c.*—y rhai a fynent ein hanrheithio a'n hyspeilio. Ac fel hyn y bydd, yn fuan neu yn hwyr, gyda holl elynion pobl yr Arglwydd.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Gwae y tir sydd yn cysgodi âg adenydd*] Addefir gan bawb fod y bennod hon yn un o'r rhai mwyaf tywyll yn yr Hen Destament; a rhaid i minau addef ei bod yn ymddangos i mi yn llawer tywyllach ar ol darllen sylwadau meithion y prif

2 Yr hwn sydd yn anfon wrth y môr a hebrwng genadau hyd y môr, ac ar hyd wyneb y dyfroedd, mewn llestri brwyn, *gan ddywedyd,* Ewch, genadon cyflym, at genhedlaeth wasgaredig ac yspeiliedig, at bobl ofnadwy er pan ydynt ac eto, cenhedlaeth wedi ei mesur a'i sathru, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir.
3 Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear, gwelwch pan gyfodo efe faner *ar* y mynyddoedd, a chlywch pan udgano âg udgorn.
4 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Byddaf lonydd, a mi a ystyriaf yn fy annedd, megys gwres eglur ar lysiau, fel niwl gwlith yn ngwres cynauaf.
5 Canys o flaen cynauaf, pan fyddo y blodeuyn yn berffaith, a'r grawnwin surion yn addfedu yn y blodeuyn: efe a dyr y brig â chrymanau, ac a dŷn ymaith *ac* a dyr y canghenau.

---

feirniaid ar ei gwahanol ranau. Nid oes braidd ddau o honynt yn cyduno ar unrhyw frawddeg ynddi; a chynygir gan rai o honynt ddeg neu fwy o wahanol ystyron i rai rhanau o honi, o'r rhai nis gwyddant eu hunain, fel yr addefant, pa un i'w ddewis. Yn ngwyneb hyn barnwyf mai gwell yw rhoddi gerbron fy narllenwyr, a hyny mor fyr ag y medraf, yr hyn a ymddengys i mi fel yr ystyr mwyaf naturiol, heb ddyrysu eu meddyliau â'r gwahanol olygiadau. Yn lle '*gwae* y tir,' y mae *Lowth* ac ereill yn cyfieithu *hoi arets*, '*Oh* dir!' gan alw eu sylw yn unig at yr hyn a ddywedir isod, heb gyhoeddi *gwae* uwch eu pen. Wrth y *tir* hwn y deallir yn gyffredin yr Aifft neu Ethiopia; ac wrth *gysgodi âg adenydd* y dealla *Grotius* 'gysgod mynyddoedd' y wlad hòno; a *Coverdale*, 'tir y llongau adeiniog,' gan gyfeirio at hwyliau mawrion eu llongau; ac ereill, y wlad ag ydoedd yn 'cysgodi yr Iuddewon rhag eu gelynion,' neu mewn cynghrair â hwynt yn erbyn yr Assyriaid. *Yr hwn sydd tuhwnt i afonydd Ethiopia*—dywedir fod *meeber* yn arwyddo y tu *hwn*, yn gystal a'r tu *hwnt;* ac felly gall fod yn cyfeirio at yr *Aifft* o'r tu *hwn* i Ethiopia, neu at *Ethiopia* o'r tu *hwnt* i'r Aifft, hyny yw, o Ganaan, lle y traddodid y broffwydoliaeth hon. *Cus*, ac nid *Ethiopia*, yw y wreiddiol yma; a thybia rhai ei fod yn meddwl *Arabia:* gwel ar pen. xi. 11. Ond y mae rhai yn deall y *tir* hwn am Judea; ereill am yr amherodraeth Rufeinig; tra y tybia ereill mai cyfeiriad sydd yma at ddinystr Gog a Magog yn amseroedd y Messia.

Adn. 2. *Yr hwn a hebrwng genadau hyd y môr*] Môr-y-canoldir, neu y môr coch, fe allai; *ac ar hyd wyneb y dyfroedd*—sef dyfroedd y Nilus ond odid; *mewn llestri brwyn*—wedi eu gwneuthur o'r *papyrus:* gwel ar Exod. ii. 2. *Ewch, genadon cyflym, at genhedlaeth wasgaredig*—ar hyd gwlad eang; *ac yspeiliedig*—gan ruthriadau ei gelynion. Y rhai hyn ydynt eiriau y proffwyd yn gorchymyn i'r cenadon hyny, y rhai a hebryngwyd allan gan yr Aifftiaid neu yr Ethiopiaid, ddychwelyd i'w gwlad eu hun gyda'r genadwri a ganlyn; nid fe allai i'w *bygwth* hwy, ond i dynu eu *sylw* at gyfryngiad eglur Rhagluniaeth o'u plaid, yr hyn a addewir yma. *At bobl ofnadwy er pan ydynt ac eto*—sef pobl ryfelgar a chreulon erioed. *Cenhedlaeth wedi ei mesur a'i sathru*—neu wedi ei mesur i'w sathru gan yr Assyriaid. *Yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir*—neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'yr hon y *maethodd* yr afonydd ei thir,' trwy orlifo dros eu glanau. Y mae y darluniad hwn yn cydweddu yn dda â'r Aifft a'i thrigolion.

Adn. 3. *Holl drigolion y byd, a phreswylwyr y ddaear, gwelwch*] Sylwch ar yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd, a'r hyn a wna Duw; neu, 'chwi a gewch weled.' *Pan gyfodo efe faner ar y mynyddoedd, &c.*—cawn yma ddatganiad yn cael ei wneuthur i'r parthau ereill o'r byd, i beri iddynt ddysgwyl cwymp yr Assyriaid. Y mae Duw yn gwahodd holl bobl y ddaear i edrych ar hyn: cyn gynted ag y gwelent hwy yr arwydd a benodwyd gan Dduw, sef banerau wedi eu dyrchafu gan Senacherib ar fynyddoedd Judea; a chyn gynted ag y clywent swn udgyrn y fyddin elyniaethus hòno yn gwahodd eu gilydd i ymbarotoi i warchae ar Jerusalem, dyna fod iddynt sylwi ar gyflawniad y farn ddwyfol hon: gwel *Vitringa.* Ond tybia rhai mai at ymosodiad yr Assyriaid yn erbyn Tirhacah brenin yr Ethiopiaid y cyfeirir yma, yr hyn a gymerodd le tua'r un amser ag yr ymosododd Senacherib ar wlad Judea: gwel ar 2 Bren. xix. 9. Eithr y meddwl blaenaf yw y tebycaf.

Adn. 4. *Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Sef wrth y proffwyd, gyda golwg ar Senacherib a'i fyddin, gelynion cyffredinol yr Iuddewon, yr Aifftiaid, a'r Ethiopiaid; *Byddaf lonydd*—heb ddyfod allan i'w herbyn hyd nes y delo yr amser priodol i hyny; *a mi a ystyriaf yn fy annedd*—sef yn ei gysegr yn Jersalem, neu yn ei lys yn y nef, gan sylwi ar eu cynlluniau hwynt. *Megys gwres eglur ar lysiau, &c.*—y meddwl yw, yn ol rhai, y byddai efe mor llonydd a'r haul yn tywynu ar y llysieuyn, neu y gwlith yn eistedd ar yr eginyn, hyd nes y deuai yr amser iddo gyfodi i faeddu eu bwriadau hwynt. Y LXX a'i cyfieithant, 'Bydd gorphwysfa yn fy ninas megys canol-ddydd haf, ac megys cwmwl gwlith yn nydd cynauaf.' Yn unol â hyn tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at yr hyn a fyddai Duw i'w bobl ar ol i'w trallod presenol fyned heibio; y byddai efe mor adfywiol iddynt a gwres yr haul neu wlith ar irwellt.

Adn. 5. *Canys o flaen cynauaf, &c.*] Yn yr adnodau uchod golygir y bobl hyn fel yn ffurfio eu cynlluniau, y rhai a ddechreuent addfedu fel cae gwenith, neu fel pren ffrwythau, tra yr oedd Duw yn edrych arnynt yn

6 Gadewir hwynt yn nghyd i adar
y mynyddoedd, ac i anifeiliaid y
ddaear: ac arnynt y bwrw yr adar
yr haf, a holl anifeiliaid y ddaear a
auafa arnynt.
7 ¶ Yr amser hwnw y dygir
rhodd i Arglwydd y lluoedd *gan*
bobl wasgaredig ac yspeiliedig, a
chan bobl ofnadwy er pan ydynt ac
eto, cenedl wedi ei mesur a'i sathru,
yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei
thir, i le enw Arglwydd y lluoedd,
*sef i* fynydd Seion.

## PENNOD XIX.

BAICH yr Aifft. Wele yr Ar-
glwydd yn marchogaeth ar
gwmwl ysgafn, ac efe a ddaw i'r
Aifft: ac eilunod yr Aifft a gynhyrf-
ant rhagddo ef, a chalon yr Aifft a
dawdd yn ei chanol.
2 Gyraf hefyd yr Aifftiaid yn
erbyn yr Aifftiaid, a hwy a ymladd-
ant bob un yn erbyn ei frawd, a
phob un yn erbyn ei gymydog;
dinas yn erbyn dinas, *a* theyrnas yn
erbyn teyrnas.
3 Ac ysbryd yr Aifft a balla yn ei
chanol, a mi a ddiddymaf ei chyng-
hor hi: yna yr ymofynant âg eilun-
od, ac â swynyddion, ac â dewiniaid,
ac â brudwyr.
4 A mi a gauaf yr Aifft yn llaw
arglwydd caled; a brenin cadarn a

---

llonydd: ac yma efe a ddengys na chai y cynlluniau hyny ddyfod i lawn addfedrwydd, ond y byddai i Dduw gyfryngu, a'u dyfetha hwynt tra yn addfedu; fel dyn yn myned i gae gwenith, ac yn ei fedi i lawr cyn iddo addfedu; neu yn myned i winllan, ac yn tori y gwinwydd i lawr pan fyddai y grawn yn dechreu ffurfio yn y blodeuyn, neu pan fyddai y blodeuyn yn dechreu troi yn rawn addfed. *Efe a dyr y brig â chrymanau, &c.*—nid yn unig y grawn, ond y canghenau ar y rhai y tyfent, gan attal iddynt ffrwytho drachefn. Y meddwl yw, y byddai i Dduw nid yn unig siomi cynlluniau presenol yr Assyriaid, ond hefyd eu hanalluogi i ffurfio cynlluniau niweidiol rhagllaw.

Adn. 6. *Gadewir hwynt yn nghyd i adar y mynyddoedd, ac i anifeiliaid y ddaear*] Lleddid eu byddin, a gadewid eu celaneddau ar wyneb y maes yn fwyd i adar a bwystfilod ysglyfaethus, yr hyn yn ddiamau a ddygwyddodd i fyddin Senacherib, 2 Bren. xix. 35. *Ac arnynt y bwrw yr adar yr haf, &c.*—byddant yn ddigon o ymborth i'r adar a'r bwystfilod dros yr haf a'r gauaf, neu am flwyddyn gyfan. Tybia rhai, fel y nodwyd, mai am ddinystr yr Assyriaid y dywedir hyn; ac ereill, mai am ddinystr yr Aifftiaid neu yr Ethiopiaid gan yr Assyriaid: eithr y dyb gyntaf a ymddengys i mi fel y fwyaf cyson â'r cyd-destynau.

Adn. 7. *Yr amser hwnw y dygir rhodd i Arglwydd y lluoedd*] Sef ar ol cyflawni y dinystr nodedig uchod; *gan bobl wasgaredig, &c.*—sef gan bobl yr Aifft neu Ethiopia, fel y tybiwyd ar adn. 2; *i le enw Arglwydd y lluoedd*—lle yr addolid Jehofa, neu y gosododd efe goffadwriaeth o'i enw: *sef i fynydd Seion*—neu y deml yn Jerusalem. 'Nid oes genym ni,' ebai *Barnes*, 'ddim sicrwydd pa bryd na pha fodd y cyflawnwyd y broffwydoliaeth hon.' Ond yr oedd yr Aifftiaid mewn cynghrair â theyrnas Juda y pryd hyn, ac yn gyd-ddyoddefwyr â'r Iuddewon dan ymosodiad eu gelyn cyffredin Senacherib ac felly yr oedd dinystr byddin yr Assyriaid yn fantais fawr iddynt hwythau: ac yn ganlynol i hyny dywedir yn 2 Cron. xxxii. 23, 'A llawer a ddygasant *roddion i'r Arglwydd i Jerusalem*, a phethau gwerthfawr i Hezeciah brenin Juda; fel y dyrchafwyd ef o hyny allan yn ngŵydd yr holl genhedloedd.' Felly y mae diwedd y bennod hon yn cysoni yn dda â'r hyn a ddygwyddodd yn ganlynol i ddinystr byddin Senacherib, ac yn rhoddi lle i ni gasglu mai at hyny y cyfeirir yn y bennod dywell hon.

PEN. XIX. Adn. 1. *Baich yr Aifft*] Gwel ar pen. xiii. 1. Yn y bennod flaenorol y mae y proffwyd yn cysuro yr Aifftiaid trwy ragfynegu dinystr yr Assyriaid, y rhai a fuont yn rhyfela dros dair blynedd yn eu herbyn hwy; ond yma y mae efe yn rhagfynegu eu dinystr hwythau o herwydd eu heilunaddoliaeth a'u drygioni. *Wele yr Arglwydd yn marchogaeth ar gwmwl ysgafn*—Saes., 'ar gwmwl *buan*,' fel cadfridog o flaen ei fyddin, neu fel barnwr yn myned i'w orsedd i brofi a chollfarnu drwgweithredwyr. Darlunir symudiadau Jehofa yn fynych fel hyn: gwel ar Salm civ. 3. *Ac efe a ddaw i'r Aifft*—gyda'r cyflymder mwyaf: *ac eilunod yr Aifft a gynhyrfant rhagddo ef*—bydd eilunod lluosog ac amrywiol yr Aifftiaid mor bell oddiwrth allu eu gwaredu hwy, nes y byddant eu hunain yn crynu rhag ei ofn ef; *a chalon yr Aifft a dawdd yn ei chanol*—sef calonau y dynion mwyaf dewr a gwrol yn yr Aifft. Meddylir fod hyn yn cyfeirio at y trallodau a ddisgynant yn olynol ar yr Aifft, o amser dinystr byddin Senacherib hyd ei darostyngiad hi gan y Macedoniaid, olynwyr Alexander Fawr.

Adn. 2. *Gyraf hefyd yr Aifftiaid yn erbyn yr Aifftiaid, &c.*] Trwy beri neu oddef rhyfeloedd cartrefol o'i mewn; *a theyrnas yn erbyn teyrnas*—neu 'dalaeth yn erbyn talaeth;' canys yr oedd yr Aifft wedi ei rhanu yn ddwy dalaeth a deugain.

Adn. 3. *Ac ysbryd yr Aifft a balla yn ei chanol*] O herwydd y terfysgoedd cartrefol hyny; *a mi a ddiddymaf ei chynghor hi*—trwy ddyrysu eu hamcanion hwy: *yna yr ymofynant âg eilunod, &c.*—am gyfarwyddyd

lywodraetha arnynt, medd yr Ar-
glwydd, Arglwydd y lluoedd.
5 A'r dyfroedd a ddarfyddant o'r
môr, yr afon hefyd a â yn hesp ac
yn sech.
6 A hwy a droant yr afonydd yn
mhell; y ffrydiau amddiffyn a ddy-
hysbyddir, ac a sychant: torir
ymaith *bob* corsen a hesgen.
7 Y papyr-frwyn wrth yr afon,
ar fin yr afon, a phob peth a hauwyd
wrth yr afon, a wywa, a chwelir, ac
ni bydd *mwy*.
8 Y pysgodwyr hefyd a dristânt,
a'r rhai oll a fwriant fachau i'r afon-
ydd a alarant: felly y rhai a daen-
ant rwydau ar hyd wyneb y dyfroedd
a lesgânt.
9 Gwaradwyddir hefyd y rhai a
weithiant fein-llin, a'r rhai a weuant
rwydwaith.
10 A hwy a dorir yn eu bwriadau,
y rhai oll a wnant argaeau *a* physg-
od-lynau.
11 ¶ Diau ynfydion *yw* tywysog-
ion Soan; cynghor doethion gyng-
horwyr Pharao a aeth yn ynfyd;
pa fodd y dywedwch wrth Pharao,
Mab y doethion *ydwyf* fi, mab hen
frenhinoedd?

---

a chynorthwy: gwel ar pen. viii. 19. Dywed *Herodotus* fod dewiniaeth yr Aifft yn cael ei chyfyngu i'w duwiau.

Adn. 4. *Ac mi a gauaf yr Aifft*] A roddaf yr holl wlad hòno i fyny, *yn llaw arglwydd caled, &c.* — sef Nebuchodonosor yn y lle cyntaf, ac wedi hyny yr holl olyniad o frenhinoedd Persia, y rhai yn gyffredin oeddynt feistri caled a gormesol.

Adn. 5. *A'r dyfroedd a ddarfyddant o'r môr*] Mewn cydmhariaeth, trwy i'r Nilus fethu arllwys ei dogn arferol o ddyfroedd i Fôr-y-canoldir; *yr afon hefyd a â yn hesp ac yn sech*—danghosodd *Tremellius* i hyn gael ei gyflawni yn llythyrenol dan deyrnasiad y deuddeg brenin y rhai a lywodraethasant yr Aifft ar ol Sethon. Y mae yn dra hysbys fod yr Aifft yn derbyn ei holl ffrwythlondeb oddiwrth orlifiad y Nilus dros ei glanau, yr hyn a gymer le yn flynyddol tua dechre Awst. Pan na byddo ei dyfroedd yn ymgodi ddeuddeg cufydd, newyn yw y canlyniad, am na fydd i'r dyfroedd y pryd hyny orlifo dros y tir; a phan yr ymgodont ddeunaw cufydd, dylynir hyny hefyd â newyn, am nad enciliant yn ddigon buan i'r trigolion allu hau eu had. Yr uchder priodol i sicrhau cynauaf toreithiog yw o ddeuddeg cufydd i unarbymtheg, neu o chwech i wyth llath: gwel ar Gen. xli. 31.

Adn. 6. *A hwy a droant yr afonydd yn mhell*] Sef y rhai hyny ond odid a ymarllwysent i'r Nilus; hyny yw, troant hwy i redeg yn mhell o'r Nilus, i'r dyben i'w sychu hi. Fe allai mai yr Aifftiaid eu hunain a wnaent hyn, yn eu rhyfeloedd â'u gilydd, adn. 2. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'a'r afonydd a *ddrewant*.' *Y ffrydiau amddiffyn a ddyhysbyddir, ac a sychant*—sef y camlasau ond odid, trwy y rhai y gwasgerid dyfroedd y Nilus ar hyd y dyffrynoedd. *Torir ymaith bob corsen a hesgen*—Saes., 'hwy a *wywant*,' a hyny o eisiau dwfr.

Adn. 7. *Y papyr-frwyn wrth yr afon, ar fin yr afon*] Sef y *papyrus*, fel y mae rhai yn ei ddeall, Exod. ii. 2; neu y *porfeydd* ar fin yr afon, yn ol ereill; *a phob peth a hauwyd wrth yr afon*—megys ŷd a llysiau o bob math; *a wywa*—o ddiffyg gorlifiad y Nilus dros ei glanau; *a chwelir*—fel ûs o flaen y gwynt; *ac ni bydd mwy*—ddim olion o honynt yn aros.

Adn. 8. *Y pysgodwyr hefyd a dristânt, &c.*] Am nas gallant ddal pysgod mwyach â bachau nac â rhwydau, trwy eu bod oll wedi trengu o ddiffyg dwfr. Dywed haneswyr fod afonydd yr Aifft yn arferol o fod yn llawn o bob math o bysgod: gwel Num. xi. 5.

Adn. 9. *Gwaradwyddir hefyd*] Siomir, neu deflir allan o waith, *y rhai a weithiant fein-llin*—neu a wnant lian main, am yr hwn yr oedd yr Aifft bob amser yn glodfawr; *a'r rhai a weuant rwydwaith*—neu 'waith gwŷn,' fel y mae ar ymyl y ddalen. Fe allai mai at nyddu yr *edafedd* y cyfeirir yn y frawddeg gyntaf, ac mai at ei weu yn *llian* y cyfeirir yn yr olaf; er y tybia rhai mai *rhwydau pysgota* a feddylir.

Adn. 10. *A hwy a dorir yn eu bwriadau*] Neu a siomir, *y rhai oll a wnant argaeau a physgod-lynau*—am y sychai y dyfroedd, ac y trengai y pysgod, yn y rhai hyny fel yn yr afonydd. Y mae llawer o wahanol farnau am ystyr yr adnod hon. Y LXX a'i cyfieithant, 'A'r holl rai a wnant win haidd a alarant, ac a ofidiant yn eu henaid.'

Adn. 11. *Diau ynfydion yw tywysogion Soan*] Soan oedd brifddinas yr Aifft Isaf, lle yr oedd y brenhinoedd yn gyffredin yn cartrefu: gwel ar Num. xiii. 22, Salm lxxviii. 12. *Cynghor doethion gynghorwyr Pharao*—sef gwŷr ei lys ef. *Pharao* oedd enw cyffredin brenhinoedd yr Aifft, fel yr oedd *Cesar* wedi hyny yn enw cyffredin amherawdwyr Rhufain; a meddylir mai *Psammetichus* oedd enw priodol y brenin hwn. *A aeth yn ynfyd*—trwy na fedrai eu cynghor hwynt attal y trallodau hyn; neu ynte trwy eu bod yn gwenieithio i'w brenin, ac yn ei annog ef i wneyd yr hyn ag ydoedd yn fwy o niwed i'w deyrnas nag o les. *Pa fodd y dywedwch wrth Pharao*—neu y perwch iddo ddywedyd, *Mab y doethion ydwyf fi*—yr hwn y mae fy noethineb yn naturiol ac etifeddiaethol; *mab hen frenhinoedd*—yr hwn a ddaethym i'r orsedd trwy ddisgyniad naturiol a chyfreithlon oddiwrth linach henafol? Arferai yr Aifftiaid ymffrostio yn henafiaeth eu cenedl, ac yn enwedig eu brenhinoedd, y rhai, fel y dychymygent hwy, a fuont yn teyrnasu yn olynol am

12 *Mae* hwynt? *mae* dy ddoethion?
a mynegant it' yr awr hon, a gwy-
byddant pa gynghor a gymerodd Ar-
glwydd y lluoedd yn erbyn yr Aifft.
13 Tywysogion Soan a ynfydas-
ant; twyllwyd tywysogion Noph, a
phenaethiaid eu llwythau a hudas-
ant yr Aifft.
14 Cymysgodd yr Arglwydd yn-
ddi ysbryd gwrthnysigrwydd; a
hwy a wnaethant i'r Aifft gyfeiliorni
yn ei holl waith, fel y cyfeiliorna
meddwyn yn ei chwydfa.
15 Ac ni bydd gwaith i'r Aifft, y
hwn a wnelo y pen na'r gloren, y
gangen na'r frwynen.
16 Y dydd hwnw y bydd yr Aifft
fel gwragedd; canys hi a ddychryna,
ac a ofna rhag ysgydwad llaw Ar-
glwydd y lluoedd, yr hon a ysgyd-
wa efe arni hi.
17 A bydd tir Juda yn arswyd i'r
Aifft: pwy bynag a'i cofia hi, a ofna
ynddo ei hun; o herwydd cynghor
Arglwydd y lluoedd, yr hwn a gy-
merodd efe yn ei herbyn hi.
18 ¶ Y dydd hwnw y bydd pum
dinas yn nhir yr Aifft yn llefaru
iaith Canaan, ac yn tyngu i Ar-
glwydd y lluoedd: Dinas dystryw y
gelwir un.
19 Y dydd hwnw y bydd allor i'r

---

ddeg mil o flynyddoedd; ac yr oeddynt yn meithrin y dyb ffol hon yn eu brenhinoedd trwy eu gweniaith.

Adn. 12. *Mae hwynt?*] Pa le y mae doethion yr Aifft, y rhai a gymerant arnynt gynghori y brenin trwy eu mawr ddoethineb? *A mynegant it' yr awr hon*—trwy eu dewiniaeth a'u swynyddiaeth, os gallant; *a gwybyddant*—neu 'parant i ti wybod,' *pa gynghor a gymerodd Arglwydd y lluoedd yn erbyn yr Aifft*—yr hwn a gyflawna efe yn ebrwydd. Yr oedd hyn yn hysbys i broffwydi Duw; ond nid oedd felly i ddoethion yr Aifft, er eu holl ddoethineb tybiedig.

Adn. 13. *Tywysogion Soan a ynfydasant*] Gwel ar adn. 11; *twyllwyd tywysogion Noph*—neu Moph, yr un a Memphis; *a phenaethiaid eu llwythau a hudasant yr Aifft*—a barasant i'r brenin a'i bobl gyfeiliorni, yr hyn yw yr achos o'u drygfyd nesaol.

Adn. 14. *Cymysgodd yr Arglwydd ynddi ysbryd gwrthnysigrwydd*] Neu rhoddodd hwynt i fyny i'w gwrthnysigrwydd eu hunain: *a hwy a wnaethant i'r Aifft gyfeiliorni yn ei holl waith*—neu ddyrysu yn ei holl fesurau a'i chynlluniau; *fel y cyfeiliorna meddwyn yn ei chwydfa*—pan fyddo yn pendroni yn ei feddwdod, ac yn chwydu.

Adn. 15. *Ac ni bydd gwaith i'r Aifft*] Ar dir na dwfr, adn. 5—10; neu, y fath fydd eu hannghytundeb, fel na all neb ffurfio cynllun na rhoddi cynghor a arweinia i lwyddiant na diogelwch; *yr hwn a wnelo y pen na'r gloren*—Saes., 'y pen na'r gynffon; *y gangen na'r frwynen*—y meddwl yw, nad allai y mawr na'r bach, yr uchel na'r isel, wneyd dim lles iddynt: gwel ar pen. ix. 14, 15.

Adn. 16. *Y dydd hwnw y bydd yr Aifft fel gwragedd*] Yn wan ac ofnus; *canys hi a ddychryna ac a ofna rhag ysgydwad llaw Arglwydd y lluoedd*—rhag ei gosp fygythiedig ef. Cofient am bläau Duw ar eu tadau gynt yn yr Aifft, ac ofnent y byddai i'r un barnau syrthio eto arnynt hwythau.

Adn. 17. *A bydd tir Juda yn arswyd i'r Aifft*] Nid am fod rhyfel rhyngddynt, ond oblegid y proffwydoliaethau yn erbyn yr Aifft, y rhai a draethwyd yn nhir Juda. *Pwy bynag a'i cofia hi*—a gofia am y proffwydoliaethau hyny yn ngwlad Juda; *a ofna ynddo ei hun*—rhag fod amser eu cyflawniad yn agos: *o herwydd cynghor Arglwydd y lluoedd*—sef ei benderfyniad ef gyda golwg ar yr Aifft; *yr hwn a gymerodd efe yn ei herbyn hi*—oblegid ei heilunaddoliaeth. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y byddai y goffadwriaeth o'r hyn a wnaethai Senacherib i ddinasoedd Juda, a'i fwriad i gyflawni yr un pethau yn yr Aifft, yn arswyd ac yn ddychryn iddynt, am fod Duw wedi penderfynu rhoddi yr Aifft yn gystal a thir Juda yn llaw yr Assyriaid.

Adn. 18. *Y dydd hwnw*] Rywbryd yn ystod y cyfnod a ddadlenir yma i'r proffwyd; *y bydd pum dinas yn nhir yr Aifft*—rhif penodol am rif anmhenodol, yn arwyddo amrai ddinasoedd; *yn llefaru iaith Canaan*—yn proffesu y grefydd Iuddewig, neu yn cyduno â'r Iuddewon i addoli y gwir a'r bywiol Dduw; *ac yn tyngu i Arglwydd y lluoedd*—i'w enw ef, ac nid i enwau eu duwiau gau; neu yn ymgysegru i'w wasanaeth ef trwy gyfammod difrifol, Deut. vi. 13. *Dinas dystryw y gelwir un*—o'r pum dinas hyny. Ond yn lle *ir haheres*, 'dinas dystryw,' y mae pymtheg o'r ysgriflyfrau a saith o'r argraffiadau Hebreig yn darllen *ir hacheres*, 'dinas yr haul,' gan gyfeirio ond odid at Heliopolis, neu at Leontopolis yn nhalaeth Heliopolis. Y LXX a'i darllenant, 'dinas cyfiawnder;' a meddylir mai Iuddewon yr Aifft a'i galwasant hi felly ar ol adeiladu eu teml yno, yr hon a fwriadent hwy i fod mor enwog a theml Jerusalem. Ar ol i Nebuchodonosor gymeryd Jerusalem, ffôdd llawer o'r Iuddewon i'r Aifft, gan ddwyn Jeremiah yno gyda hwynt. Symudodd Alexander a'r Ptolomeis lawer yn chwaneg yno, yn enwedig i Alexandria, lle y caniatawyd iddynt fwynhau eu crefydd ac arfer eu hiaith eu hunain; ac yno y cyfieithwyd yr Hen Destament i'r Roeg, yr hon a ddeallid gan lawer o'r Aifftiaid hefyd. Oddiyma i ddiwedd y bennod cawn broffwydoliaeth newydd, yn addaw daioni ysbrydol i'r Aifftiaid ar ol eu holl ddrygfyd tymhorol. Cyfeirir yn gyntaf at ledaeniad y wybodaeth o'r gwir Dduw yn yr Aifft a Syria, trwy yr Iuddewon; ac yna at y derbyniad bore o'r efengyl yn yr

Arglwydd yn nghanol tir yr Aifft. a cholofn i'r Arglwydd gerllaw ei therfyn hi.
20 Yn arwydd hefyd ac yn dyst-
iolaeth y bydd i Arglwydd y llu-
oedd yn nhir yr Aifft. Canys llef-
ant ar yr Arglwydd o herwydd y
gorthrymwyr; ac efe a enfyn idd-
ynt iachawdwr a phenaeth, ac efe
a'u gwared hwynt.
21 A'r Arglwydd a adwaenir gan
yr Aifft; ïe yr Aifftiaid a adwaen-
ant yr Arglwydd yn y dydd hwnw: gwnant hefyd aberth ac offrwm, ac addunant adduned i'r Arglwydd, ac a'*i* talant.
22 Yr Arglwydd hefyd a dery yr
Aifft; efe a'*i* tery ac a'*i* hiachâ;
hwythau a droant at yr Arglwydd,
ac efe a'u gwrendy hwynt, ac a'u
hiachâ hwynt.
23 ¶ A'r dydd hwnw y bydd prif-
ffordd o'r Aifft i Assyria, ac yr â yr
Assyriaid i'r Aifft, a'r Aifftiaid i
Assyria; a'r Aifftiaid gyda'r As-
syriaid a wasanaethant.

---

un gwledydd, pan y cyhoeddid hi i'r byd: gwel *Lowth.*

Adn. 19. *Y dydd hwnw y bydd allor i'r Arglwydd yn nghanol tir yr Aifft*] Tybia rhai fod hyn, yn ei ystyr cyntaf, yn cyfeirio at y deml a'r allor a adeiladwyd gan Onias i'r Iuddewon yn yr Aifft, ar yr un cynllun a theml Jerusalem, ond nid mor fawreddog. Dywedir i Onias ddangos i Ptolemy Philometer, a'i frenhines Cleopatra, y broffwydoliaeth hon yn Esay, yr hon a draddodwyd oddeutu chwe chant o flynyddoedd cyn hyny; ac i'r brenin wedi hyny ganiatâu iddo adeiladu y deml hon yn nhalaeth Heliopolis, C.C. 149. Gwnaed Onias ei hun yn archoffeiriad ynddi; ac yr oedd yno offeiriaid a Lefiaid yn gwasanaethu, ac addoliad dwyfol yn cael ei gynal bob dydd, yr un modd ag yn Jerusalem, yr hwn a barhaodd cyhyd; canys ar ol i Vespasian ddinystrio teml Jerusalem, efe a orchymynodd i hon hefyd gael ei dinystrio: gwel *Newton* ar y Proffwydoliaethau, cyf. i. dal. 375. Modd bynag, rhaid i ni ddeall hyn, mewn ail ystyr o leiaf, yn cyfeirio at *allor* ysbrydol ac efengylaidd yn cael ei chodi i'r Arglwydd yn yr Aifft; canys yr oedd yr allor *Lefiaidd* i'w chyfyngu i un lle, Deut. xii. 13, 14. *A cholofn i'r Arglwydd gerllaw ei therfyn hi*—cyfeirir yma at yr hen arferiad o godi colofnau i Dduw. Peth cyffredin iawn yw i'r proffwydi lefaru am yr addoliad efengylaidd mewn ymadroddion perthynol i'r addoliad Iuddewig, fel y deallid hwy yn well gan y sawl ag y llefarent hwy wrthynt. Y meddwl yw, y byddai i Dduw Israel gael ei addoli yn ddyladwy hyd yn nod yn y lleoedd mwyaf halogedig, y fath ag ydoedd yr Aifft yn marn yr Iuddewon; ac y byddai arwyddion o dduwioldeb i'w canfod yn mhob lle.

Adn. 20. *Yn arwydd hefyd ac yn dystiolaeth y bydd*] Yr allor a'r golofn uchod; *i Arglwydd y lluoedd*—sef yn arwydd ac yn dystiolaeth o'i fodaeth ef, ac o ymroddiad yr Aifftiaid i'w wasanaethu a'i addoli ef fel yr unig wir Dduw. *Canys llefant ar yr Arglwydd o herwydd y gorthrymwyr*—ac nid ar eu heilunod megys gynt; *ac efe a enfyn iddynt iachawdwr a phenaeth*—Saes., 'waredwr ac un mawr;' *ac efe a'u gwared hwynt*—o ddwylaw eu gorthrymwyr. Barna *Grotius* fod y gwaredwr hwn yn cyfeirio at yr *angel* a ddinystriai fyddin Senacherib; tybia *Gesenius* mai at *Psammetichus* y cyfeirir; tra y golyga *Newton* a *Vitringa* mai *Alexander Fawr* a feddylir. 'Pwy a allai hwn fod,' gofyna yr Esgob Newton, 'ond Alexander, yr hwn a wahaniaethir bob amser â'r enw 'Alexander Fawr,' ac olynydd nesaf yr hwn a elwid 'Ptolemy Fawr,' a 'Ptolemy Soter,' neu y 'gwaredwr?' Ar ddyfodiad cyntaf Alexander i'r Aifft, ymostyngodd yr holl bobl yn llawen iddo ef o elyniaeth at y Persiaid, fel ag y daeth efe yn arglwydd ar y wlad heb unrhyw wrthwynebiad.' Ond gan nad yw yn debyg fod nemawr o'r Aifftiaid yn 'llefain ar yr Arglwydd' y pryd hyny, gallwn feddwl fod y geiriau yn cyfeirio yn benaf at ddyddiau yr efengyl, ac at yr Iachawdwr CRIST, yr hwn yw y Penaeth, neu yr un mawr, a wared yr Aifftiaid oddiwrth eu gorthrymwyr ysbrydol pechod a Satan. Felly ni chymer llawn gyflawniad o'r broffwydoliaeth hon'le hyd nes y byddo Mahometaniaeth ac eilunaddoliaeth wedi diflanu o'r wlad hòno.

Adn. 21. *A'r Arglwydd a adwaenir gan yr Aifft*] A gydnabyddir ac a addolir yno gan yr Iuddewon; *ïe yr Aifftiaid a adwaenant yr Arglwydd yn y dydd hwnw*—a broselytir yn gyntaf i'r grefydd Iuddewig, ac a ddygir wedi hyny dan iau Crist: gwel ar Act. ii. 10. *Gwnant hefyd aberth ac offrwm*—gan gyduno yn gyntaf â defodau crefydd yr Iuddewon, ac wedi hyny ymuno â'r Cristionogion mewn aberthau ac offrymau ysbrydol o weddiau a mawl. *Ac addunant adduned i'r Arglwydd*—i'w wasanaethu ef yn unig; *ac a'i talant*—yn onest a chydwybodol.

Adn. 22. *Yr Arglwydd hefyd a dery yr Aifft*] Trwy ryw elynion fe allai, neu trwy geryddon rhagluniaethol, i'w dwyn i ystyriaeth o'u pechod a'u trueni, fel y darluniwyd adn. 2—10. *Hwythau a droant at yr Arglwydd*—i weddio arno ef am waredigaeth; *ac efe a'u gwrendy hwynt, ac a'u hiachâ*—fel yr adroddwyd adn. 18—20. Efe a enfyn iddynt iachawdwr, ac a egyr o'u blaen ffordd newydd o lwyddiant, ac a bair i'r wir grefydd flodeuo yn eu plith, yr hyn a fydd yn fwy nag ad-daliad iddynt am yr holl adfyd a ddyoddefasent.

Adn. 23. *A'r dydd hwnw y bydd priffordd o'r Aifft i Assyria, &c.*] Hyny yw, bydd heddwch rhwng y ddwy wlad, a thramwyaeth rydd o'r naill wlad i'r llall; *a'r Aifftiaid gyda'r Assyriaid a wasanaethant*—yn

24 Y dydd hwnw y bydd Israel yn drydydd gyda'r Aifft, a chydag Assyria, *sef* yn fendith o fewn y tir:
25 Yr hwn a fendithia Arglwydd y lluoedd, gan ddywedyd, Bendigedig *yw* yr Aifft fy mhobl i, ac Assyria gwaith fy nwylaw, ac Israel fy etifeddiaeth.

## PENNOD XX.

YN y flwyddyn y daeth Tartan i Asdod, (pan ddanfonodd Sargon brenin Assyria ef,) ac yr ymladdodd yn erbyn Asdod, ac a'i hennillodd hi;
2 Yr amser hwnw y bu gair yr Arglwydd trwy law Esay mab Amoz, gan ddywedyd, Dos, a dattod y sachlian oddiam dy lwynau, a diosg dy esgidiau oddiam dy draed. Ac efe a wnaeth felly, gan rodio yn noeth, ac heb esgidiau.
3 Dywedodd yr Arglwydd hefyd, Megys y rhodiodd fy ngwas Esay yn noeth ac heb esgidiau dair blynedd *yn* arwydd ac *yn* argoel yn erbyn yr Aifft, ac yn erbyn Ethiopia;
4 Felly yr arwain brenin Assyria gaethiwed yr Aifft, a chaethglud Ethiopia, *sef* yn llanciau a henafgwyr, yn noethion ac heb esgidiau, ac yn din-noeth, yn warth i'r Aifft.

---

yr un fyddin, a than yr un blaenor: ac felly y bu dan Alexander Fawr. Neu gall fod yma gyfeiriad atynt yn cydwasanaethu yr Arglwydd, fel o un galon.

Adn. 24. *Y dydd hwnw y bydd Israel yn drydydd*] Wedi eu huno fel un bobl gyda'r Aifftiaid a'r Assyriaid; *sef yn fendith*—fel ffynnonell gwybodaeth a breintiau crefyddol; *o fewn y tir*—o fewn unol diroedd y tair cenedl hyn. Yr oedd tir Israel yn gorwedd yn y canol rhwng yr Aifft ac Assyria.

Adn. 25. *Yr hwn*] Sef y tir unedig uchod, yr hwn oedd yn arwydd neu gysgod o'r hyn fyddai holl wledydd y byd dan yr efengyl; *a fendithia Arglwydd y lluoedd*—â bendithion ei iachawdwriaeth. *Bendigedig yw yr Aifft fy mhobl i*—yma cydnabyddir yr Aifftiaid yn bobl mewn cyfammod â Duw, yr un modd a had Abraham; *ac Assyria gwaith fy nwylaw*—wedi eu llunio ganddo i'w ogoniant ei hun, a'u creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da, Eph. ii. 10; *ac Israel fy etifeddiaeth*—enw a roddir yn gyffredin yn yr ysgrythyrau i bobl Israel. Fel hyn arwyddir yma y byddai i ganolfur y gwahaniaeth rhwng Iuddewon a Chenhedloedd gael ei ddattod; ac 'y byddai y Cenhedloedd yn gyd-etifeddion, ac yn gydgorff, ac yn gyd-gyfranogion o'i addewid ef yn Nghrist trwy yr efengyl:' gwel ar Eph. ii. 14, a iii. 6.

PEN. XX. Adn. 1. *Yn y flwyddyn y daeth Tartan i Asdod*] Dywed *Kimchi* mai y flwyddyn hon oedd y bedwaredd ar ddeg i Hezeciah brenin Juda. *Tartan* oedd un o gadfridogion Senacherib brenin Assyria, 2 Bren. xviii. 17; ac *Asdod*, neu *Azotus*, oedd ddinas gadarn ar lân Môr-y-canoldir, yn ngwlad y Philistiaid, lle yr oedd teml Dagon, 1 Sam. v. 1, &c., yr hon y meddylir fod Hezeciah y pryd hyn wedi ei hennill oddiarnynt hwy, 2 Bren. xviii. 8, 13. *Pan ddanfonodd Sargon brenin Assyria ef*—meddylir yn gyffredin mai Senacherib oedd y Sargon hwn, trwy fod i hwnw, fel y dywed *Kimchi*, wyth o wahanol enwau. *Ac a'i hennillodd hi*—ac yna bu yn meddiant yr Assyriaid hyd oni chymerwyd hi gan Psammetichus brenin yr Aifft, ar ol bod yn gwarchae arni am naw mlynedd ar hugain: gwel *Herod.* ii. 157.

Adn. 2. *Yr amser hwnw y bu gair yr Arglwydd trwy law Esay*] Anfonodd yr Arglwydd ef i hysbysu tynged yr Aifftiaid, a'r ffolineb i'r Iuddewon ymddiried ynddynt hwy am gynorthwy. *Dos, a dattod y sachlian oddiam dy lwynau*—wrth hwn y meddylir naill ai y wisg flewog a wisgid yn uwchaf gan y proffwydi, 2 Bren. i. 8; neu ynte yr arwydd o alar a wisgid gan Esay o herwydd caethgludiad y deg llwyth, neu o achos y trueni ag ydoedd ar ddyfod ar wlad Juda. *A dyosg dy esgidiau oddiam dy draed*—fel yr arferai caethion a charcharorion wneuthur, y rhai yr oedd efe trwy hyn i arddangos eu cyflwr. *Ac efe a wnaeth felly*—yn ol gorchymyn Duw.

Adn. 3. *Dywedodd yr Arglwydd hefyd*] Gan egluro a chymhwyso yr arwydd; *Megys y rhodiodd fy ngwas Esay yn noeth ac heb esgidiau*—nid yn hollol noeth fe allai, eithr heb ei wisg uwchaf, yn ol arferiad caethion a charcharorion. *Dair blynedd*—y mae y LXX, a dau ysgriflyfr Hebreig, yn ei ddarllen, 'Megys y rhodiodd fy ngwas Esay yn noeth ac heb esgidiau *dair blynedd*, tair blynedd a fydd yn arwydd ac yn argoel i'r Aifftiaid a'r Ethiopiaid.' Barna rhai mai *tri diwrnod* a ddylasai yr ymadrodd cyntaf fod, ac nid *tair blynedd*, ac mai camgymeriad ydoedd o eiddo rhyw adysgrifenydd boreol. Tybia *Lowth* ac ereill mai *tri diwrnod* y bu y proffwyd yn rhodio yn noeth, i arwyddo y byddai i'r dygwyddiad gymeryd lle yn mhen *tair blynedd;* sef diwrnod am flwyddyn, yn ol y rheol brofffwydoliaethol, Num. xiv. 34, Ezec. iv. 6. Tybia ereill mai ymddangos felly ar amserau penodol dros ystod tair blynedd yr oedd y proffwyd, i arwyddo mai tair blynedd fyddai hyd y trallod hwnw. *Yn arwydd ac yn argoel yn erbyn yr Aifft*—i arddangos caethiwed yr Aifft; *ac yn erbyn Ethiopia*—Hebr., 'ac yn erbyn *Cus*.' Gwelsom eisioes fod y gair hwn yn arwyddo Ethiopia yn Affrica, ac hefyd parthau deheuol Arabia, pen. xi. 11; a meddylir mai y lle diweddaf a olygir yma.

Adn. 4. *Felly yr arwain brenin Assyria gaethiwed yr Aifft*] Saes., 'yr Aifftiaid yn garcharorion;' *a chaethglud Ethiopia*—Saes.,

5 Brawychant a chywilyddiant o
achos Ethiopia eu gobaith hwynt,
ac o achos yr Aifft eu gogoniant
hwy.
6 A'r dydd hwnw y dywed pres-
wylwyr yr ynys hon, Wele, fel hyn
*y mae* ein gobaith ni, lle y ffoisom
am gymhorth i'n gwared rhag bren-
in Assyria; a pha fodd y diangwn?

## PENNOD XXI.

BAICH anialwch y môr. Fel y
mae corwynt yn y deau yn myned
trwyodd; *felly* y daw o'r anialwch,
o wlad ofnadwy.
2 Gweledigaeth galed a fynegwyd
i mi. Yr anffyddlon sydd yn an-
ffyddloni, a'r dinystrydd sydd yn
dinystrio. Elam, dring; Media,
gwarchae; gwnaethym i'w holl
riddfan hi ddarfod.
3 Am hyny y llanwyd fy llwynau
o ddolur; gwewyr a'm daliasant fel
gwewyr gwraig yn esgor; syrthiais
wrth *ei* glywed, brawychais wrth *ei*
weled.
4 Cyfeiliornodd fy nghalon, braw
a'm dychrynodd; efe a drôdd fy
nghyfnos ddymunol yn ddychryn i
mi.
5 Parotoa y bwrdd, gwylia yn y

---

'a'r Ethiopiaid yn gaethion;' *sef yn llanciau a henafgwyr*—yn ddiwahaniaeth; *yn noethion ac heb esgidiau*—yr un modd ag yr ymddanghosai Esay; *yn warth i'r Aifft*—heb fod ganddynt ddim, neu ond ychydig, i guddio eu noethni. Yr oedd hyn yn ddarostyngiad dirfawr i'r Aifftiaid beilchion, y rhai a osodent y fath fri mawr ar eu gwisgoedd.

Adn. 5. *Brawychant a chywilyddiant, &c.*] Dywedir hyn am yr Iuddewon hyny, y rhai a obeithient am gymhorth oddiwrth Ethiopia a'r Aifft.

Adn. 6. *A'r dydd hwnw y dywed preswylwyr yr ynys hon*] Neu 'y *wlad* hon,' fel y mae ar ymyl y ddalen, sef preswylwyr Judea. *Wele, fel hyn y mae ein gobaith ni, &c.*—neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Wele, y fath yw gwrthddrychau ein hyder ni, at y rhai y ffoisom am gynorthwy rhag brenin Assyria.' *A pha fodd y diangwn*—ein hunain bellach? Yr oedd hyn oll yn cael ei fwriadu i ddangos i'r Iuddewon yr ynfydrwydd o ymddiried mewn pobloedd ereill, ac i'w hennill hwy i hyderu yn Nuw eu tadau.

PEN. XXI. Adn. 1. *Baich anialwch y môr*] Sef Babilon, fel y mae yn amlwg oddiwrth adn. 9: a gelwir hi yn *anialwch*, gyda golwg ar yr hyn ydoedd gynt, ac a fyddai eto; ac yn anialwch y *môr*, am ei bod yn sefyll ar fin yr Euphrates, neu i gael ei gordoi gan ddyfroedd: gwel ar Jer. li. 13. *Fel y mae corwynt yn y deau yn myned trwyodd*—yn chwythu trwy bob peth gyda rhuthr anwrthwynebol; *felly y daw o'r anialwch*—felly y daw dinystr anwrthwynebol ar Babilon o'r anialwch, yr hwn a orweddai rhyngddi hi a Media a Phersia; *o wlad ofnadwy*—yr oedd parthau gogleddol Media a Phersia, lle y codwyd i fyny y rhan fwyaf o'u milwyr, yn fynyddig iawn; yn ddychrynllyd ac ofnadwy i ddyeithriaid fyned y ffordd hòno, ac yn cynyrchu milwyr ofnadwy.

Adn. 2. *Gweledigaeth galed a fynegwyd i mi*] Yn arddangos adfyd caled i syrthio ar Babilon. *Yr anffyddlon sydd yn anffyddloni, a'r dinystrydd sydd yn dinystrio*—neu, fel y mae *Lowth* ac ereill yn ei gyfieithu, 'Yr anrheithydd sydd yn cael ei anrheithio, a'r dinystrydd sydd yn cael ei ddinystrio.' Y meddwl yw, y byddai i'r Mediaid a'r Persiaid wneuthur i'r Babiloniaid yr un peth ag a wnaethent hwythau i genhedloedd ereill. *Elam, dring*—i fyny yn erbyn Babilon. Elam oedd enw y parth hwnw a feddiannwyd gyntaf gan y Persiaid, ac a elwid felly oddiwrth *Elam* fab Sem, Gen. x. 22; a rhoddir hi yma am Persia yn gyffredinol. *Media, gwarchae*—ar Babilon: gwel ar pen. xiii. 17. *Gwnaethym i'w holl riddfan hi ddarfod*—y meddwl yw, y gwnai Duw i'r holl riddfan a achosid gan Babilon ddarfod, yn enwedig griddfanau pobl Dduw yno. Amcan y broffwydoliaeth hon yw cysuro yr Iuddewon yn Babilon, pan gaethgludid hwynt yno.

Adn. 3. *Am hyny y llanwyd fy llwynau o ddolur*] Yn y rhagolwg ar y trychineb a syrthiai ar Babilon. Neu gall mai llefaru y mae y proffwyd yn mherson Belsassar a'r Caldeaid, i ddangos y braw a'r dychryn a'u daliai hwynt ar ddyfodiad Cyrus a'i fyddin i'w plith, Dan. v. 6, &c. *Gwewyr a'm daliasant fel gwewyr gwraig yn esgor*—yr hwn yw y mwyaf o bob gwewyr. *Syrthiais wrth ei glywed*—wrth glywed fod y gelyn yn dyfod i'r ddinas; *brawychais wrth ei weled*—wedi dyfod i mewn. Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Y fath oedd fy ngofid fel nas gallwn weled; a'm braw, fel nas gallwn glywed;' hyny yw, yr oedd ei holl synwyrau wedi dyrysu gan fawredd y trallod hwnw, yn enwedig pan welodd efe y darn llaw yn ysgrifenu ar y pared, a phan glywodd efe ddeongliad Daniel o'r ysgrifen.

Adn. 4. *Cyfeiliornodd fy nghalon*] Dychlamodd a symudodd o'i lle; neu, fel ar ymyl y ddalen, 'fy meddwl a grwydrodd,' neu a ddyrysodd: *braw a'm dychrynodd*—fel na wyddwn pa le yr oeddwn: *efe a drôdd fy nghyfnos ddymunol yn ddychryn i mi*—sef noson ei wledd a'i gyfeddach, yn yr hon y lladdwyd ef, Dan. v. 30.

Adn. 5. *Parotoa y bwrdd*] Hwn oedd gorchymyn blaenorol Belsassar i barotoi y bwydydd a'r diodydd; *gwylia yn y ddysgwylfa*—gosod wylwyr i edrych ar ol diogelwch y ddinas; *bwyta, yf*—gwna yn llawen ar hyd y nos. Ond tra yr oedd Belsassar yn parotoi i

ddysgwylfa, bwyta, ŷf; cyfodwch,
dywysogion; eneiniwch y darian.
6 O herwydd fel hyn y dywedodd
yr Arglwydd wrthyf, Dos, gosod
wyliedydd, myneged yr hyn a welo.
7 Ac efe a welodd gerbyd, *a* dau
o wŷr meirch, cerbyd asynod, *a*
cherbyd camelod; ac efe a ystyr-
iodd yn ddyfal iawn dros ben.
8 Ac efe a lefodd, Llew: fy ar-
glwydd, ar y ddysgwylfa yr wyf fi
yn sefyll liw dydd yn wastad, ac ar
fy nghadwriaeth yr ydwyf yn sefyll
bob nos.
9 Ac wele, yma y mae yn dyfod
gerbyd o wŷr, *a* dau o wŷr meirch.
Ac efe a atebodd ac a ddywedodd,
Syrthiodd, syrthiodd Babilon; a
holl ddelwau cerfiedig ei duwiau hi
a ddrylliodd efe i lawr.
10 O fy nyrniad, a chnwd fy
llawr-dyrnu! yr hyn a glywais gan
Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, a
fynegais i chwi.

---

wledda, yr oedd Cyrus yn parotoi i ymosod arno ef a'i ddinas. *Cyfodwch, dywysogion*—meddylir mai iaith Belsassar yw hon hefyd, yn galw ar ei fil tywysogion i godi oddiwrth y bwrdd, wedi ei ddychrynu trwy ddyfodiad disymwth y gelynion i'r ddinas: *eneiniwch y darian*—parotowch eich arfau i ryfel. Ond gan fod brenin yn cael ei alw yn fynych yn *darian* i'w bobl, tybia rhai mai galw y mae Belsassar am i'w dywysogion gyfodi i eneinio *brenin* arall yn ei le ef. Eithr tybia rhai mai Cyrus sydd yma yn galw ar ei swyddogion milwraidd ei hun i ymbarotoi i'r rhuthr; ac yn unol â hyny y mae *Vitringa* yn darllen yr adnod: 'Y mae y bwrdd wedi ei barotoi; y mae y gwyliwr yn sefyll yn y ddysgwylfa; y maent yn bwyta ac yn yfed: cyfodwch yn awr, chwi dywysogion,' &c.

Adn. 6. *O herwydd fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Yma y mae y proffwyd yn llefaru yn ei berson ei hun. *Dos, gosod wyliedydd, myneged yr hyn a welo*—hyn a orchymynid iddo mewn gweledigaeth, ac felly ni chyflawnwyd ef ond mewn gweledigaeth. Modd bynag, y mae yn arddanghosiad o'r hyn a wneid wedi hyny, pan elai y Mediaid a'r Persiaid i'r ddinas. Yr amcan yw dwyn dull dinystr Babilon yn fwy eglur a llawn o flaen y llygad; a llefarir am dano fel pe buasai Esay yn fyw ar y pryd.

Adn. 7. *Ac efe*] Sef y gwyliedydd uchod; *a welodd gerbyd, a dau o wŷr meirch*—yr oedd y dwyreinwyr gynt yn defnyddio cerbydau mewn rhyfel, yn y rhai yr oedd un gŵr i edrych ar ol y meirch, a'r llall i ddefnyddio yr arfau. *Cerbyd asynod, a cherbyd camelod*—defnyddid asynod neu fulod yn gyffredin gan y Persiaid, a chamelod gan y Mediaid, yn enwedig pan y methent gael meirch: gwel *Strabo* a *Herodotus*. Dywed yr olaf mai camelod oedd yn dwyn arfau ac arlwy byddin Cyrus ar y pryd. Dywedir fod y gair *recheb*, yr hwn a gyfieithir deirgwaith yn *gerbyd* yn yr adnod hon, yn arwyddo cerbyd neu fên, a'r dynion ynddynt; neu farchogwyr ar feirch, asynod, neu gamelod; neu lu o farchogion neu gerbydau. Ymddengys fod yr ymadroddion uchod yn arwyddo yr *oll* o fyddin Cyrus, yn gerbydau, marchogion, a gwŷr traed. *Ac efe a ystyriodd yn ddyfal iawn dros ben*—a graffodd yn fanwl ar yr hyn a welai, fel ag i allu deall y cwbl.

Adn. 8. *Ac efe a lefodd, Llew*] Neu '*fel llew.*' Tybia rhai ei fod yn cyfeirio at Cyrus, arweinydd y fyddin, yr hwn a welai efe yn nesâu at y ddinas gyda ffyrnigrwydd, cyflymdra, ac arswydolrwydd llew. Ond yn lle *aryeh*, 'llew,' tybia Lowth ac ereill mai yr iawn ddarlleniad yw *haroeh*, 'gwyliedydd,' ac mai y gair hwn oedd yn yr ailun o ba un y gwnaed y cyfieithiad *Syriaidd:* yn unol â hyn efe a gyfieitha y frawddeg, 'A'r *gwyliedydd* a lefodd, Fy arglwydd,' &c. *Fy arglwydd*—yma efe a gyfarcha y proffwyd, yr hwn a'i gosodasai ef i wylio, adn. 6; *ar y ddysgwylfa yr wyf fi yn sefyll liw dydd yn wastad, &c.*—y meddwl yw, ei fod yn gwylio ar y tŵr yn barhaus, nos a dydd, yn ol y gorchymyn a roddwyd iddo.

Adn. 9. *Ac wele, yma y mae yn dyfod gerbyd o wŷr*] Neu wŷr mewn cerbydau, &c., adn. 7; *a dau o wŷr meirch*—sef dwy fyddin o wŷr meirch fe allai. *Ac efe a atebodd ac a ddywedodd*—yn mhellach, *Syrthiodd, syrthiodd Babilon*—y mae ei chwymp a'i dinystr yn sicr ac anocheladwy. *A holl ddelwau cerfiedig ei duwiau hi a ddrylliodd efe i lawr*—fel nas gall y ddinas ddysgwyl dim cynorthwy oddiwrthynt hwy. Tybia rhai mai at Cyrus y cyfeirir yn y rhagenw *efe;* tra y barna ereill mai at Dduw, yr hwn yr oedd y fyddin hon yn offerynau yn ei law.

Adn. 10. *O fy nyrniad, a chnwd fy llawr-dyrnu!*] Hon yw iaith Jehofa ei hun, yn ol rhai; neu ynte iaith y proffwyd yn arddel perthynas a chydymdeimlad â'r Iuddewon fel ei frodyr a phobl ei ofal. Tybia rhai mai cospedigaeth Babilon a feddylir wrth y dyrniad hwn, ac mai y Babiloniaid oedd cnwd y llawr-dyrnu, y rhai a ddyrnid fel hyn am eu pechodau: gwel ar Jer. li. 33. Ond y mae yn debycach mai at yr Iuddewon y cyfeirir. Fel pe dywedasai, 'O fy mhobl, y rhai a roddais yn llaw y Babiloniaid i'ch dyrnu am eich pechodau, fel yr ysgerid y da oddiwrth y drwg, megys yr ysgerir y gwenith oddiwrth y gwellt a'r ûs; clywch hyn er eich cysur, y bydd i'ch cosp, sef eich caethiwed a'ch gorthrymder yn Babilon, ddiweddu yn fuan trwy ddinystr eich gorthrymwyr.' *Yr hyn a glywais*—neu a ddanghoswyd i mi trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, *gan Arglwydd y lluoedd, Duw Israel*—sef Duw cyfammodol Israel, *a fynegais i chwi*—hyny yw, efe a ddarluniodd iddynt uchod y cwbl a hysbysasai Duw iddo am ddinystr y Babiloniaid a gwaredigaeth Israel.

11 ¶ Baich Dumah. Arnaf fi y mae yn galw o Seir, Y gwyliedydd, beth am y nos? y gwyliedydd, beth am y nos?
12 Dywedodd y gwyliedydd, Daeth y bore a'r nos hefyd: os ceisiwch, ceisiwch: dychwelwch, deuwch.
13 ¶ Baich ar Arabia. Yn y coed yn Arabia y lletŷwch chwi, fforddolion Dedanim.
14 Dygwch ddyfroedd i gyfarfod â'r sychedig, trigolion tir Tema, achubwch flaen y crwydrus â'i fara.
15 O herwydd rhag cleddyfau y ffoisant, rhag y cleddyf noeth, a rhag y bwa anelog, a rhag trymder rhyfel.
16 O herwydd fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf fi, Cyn pen blwyddyn, o fath blwyddyn gwas cyflog, y derfydd hefyd holl anrhydedd Cedar.
17 A'r gweddill o rifedi saethyddion gwŷr cedyrn meibion Cedar,

---

Adn. 11. *Baich Dumah*] Yr un ag Idumea, neu wlad Edom. Yn y ddwy adnod hyn cyfeirir at y farn ag ydoedd i ddyfod fel *baich trwm* ar yr Edomiaid, a hyny ond odid tuag amser rhyddhad yr Iuddewon o Babilon, at yr hyn y cyfeiriwyd yn yr adnodau blaenorol. Y mae y proffwyd o hyd yn ei ddangos ei hun fel yn byw yn yr amseroedd hyny: gwel ar adn. 6. *Arnaf fi y mae yn galw o Seir*—y mae rhyw un yn galw, yr hwn ond odid a gynrychiolai holl drigolion mynydd Seir, neu wlad Edom. *Y gwyliedydd, beth am y nos?*—y mae hyn yn cael ei ofyn i'r proffwyd ddwywaith, a hyny fe allai mewn *gwawd* o hono ef fel proffwyd, neu ddatguddydd dirgeledigaethau. Y mae *nos* yn fynych yn arwyddo trallodau, gofidiau, neu gystuddiau; ac ymddengys mai at drallodau yr Iuddewon yn Babilon y cyfeirir yma. Fel pe dywedasent, Gan dy fod di yn wyliedydd neu broffwyd, dywed i ni pa faint sydd o'r nos hòno heb ddarfod, neu a oes rhyw arwyddion o wawriad y bore. Ond trwy fod yr Edomiaid yn gystal a'r Iuddewon wedi eu darostwng gan y Caldeaid, tybia rhai mai holi yn ddifrifol o berthynas i'w cyflwr trallodus eu hunain y maent hwy, trwy nad oedd y proffwyd wedi son dim am danynt hwy hyd yma. Eithr y golygiad cyntaf yw y mwyaf cyson â'r adnod nesaf.

Adn. 12. *Dywedodd y gwyliedydd*] Mewn atebiad iddynt, ond eto yn dra thywyll; *Daeth y bore a'r nos hefyd*—y mae y *bore* yma yn cyfeirio at lwyddiant neu hawddfyd, yn wrthgyferbyniol i'r *nos* uchod. Y meddwl yw, naill ai, (1) Daeth *bore* hyfryd o waredigaeth i'r Iuddewon, neu y mae ar ddyfod, ar ol *nos* ddû o gaethiwed blinderus; neu, (2) Daeth *bore* o waredigaeth iddynt *hwy*, a *nos* o drallod i *chwithau* yr Edomiaid, neu y mae ar ddyfod. *Os ceisiwch*—am fwy o hysbysrwydd o berthynas i'r hyn sydd o'ch blaen chwi eich hunain, *ceisiwch*—mewn ysbryd mwy têg a gonest; neu ceisiwch gan Dduw. *Dychwelwch*—yn gyntaf, oddiwrth eich drygioni; ac yna, *deuwch*—i ymofyn yn wirioneddol a sobr, a chyda mwy o barch i broffwydi yr Arglwydd; ac wedi hyny gallwch ddysgwyl rhyw atebiad gyda golwg ar eich nos eich hunain, neu wawriad eich bore. Ymddengys i'r Edomiaid ymuno â byddin Nebuchodonosor yn erbyn eu brodyr yr Iuddewon, a'u bod yn brif offerynau i ddinystrio muriau Jerusalem hyd ei sylfeini; ac felly nid rhyfedd eu bod yn gwawdio yn awr gyda golwg ar eu trallod hwy: gwel ar Salm cxxxvii. 7.

Adn. 13. *Baich ar Arabia*] Neu farn drom ag ydoedd i ddisgyn ar barthau o Arabia, a hyny cyn pen blwyddyn, adn. 16. *Yn y coed yn Arabia y lletŷwch chwi*—wedi eich ymlid o'ch pebyll gan yr Assyriaid, fel y tybir. *Fforddolion Dedanim*—sef y Dedaniaid, y rhai a deithient yn gwmnïau o farchnatwyr, Ezec. xxvii. 15, 20. Y rhai hyn oeddynt hiliogaeth *Dedan*, ŵyr Abraham o Cetura, Gen. xxv. 3, y rhai a ymsefydlasant yn *Arabia Petrea.*

Adn. 14. *Dygwch ddyfroedd i gyfarfod â'r sychedig*] Sef â'r Dedaniaid yn eu ffoedigaeth; *achubwch flaen y crwydrus â'i fara*—rhoddwch fara a dwfr iddynt, rhag iddynt drengu o newyn a syched. Hyn a ddywedir wrth drigolion *tir Tema*, rhan arall o Arabia, y rhai nad oeddynt mewn perygl fel y lleill. *Tema* oedd un o feibion Ismael, Gen. xxv. 15, oddiwrth yr hwn y deilliodd y trigolion hyn, ac y cafodd y tir ei enw.

Adn. 15. *O herwydd rhag cleddyfau y ffoisant, &c.*] Hwy a ffoisant am eu bywyd, ac am hyny dylent gael eich cydymdeimlad, eich tosturi, a'ch amgeledd.

Adn. 16. *Cyn pen blwyddyn*] O'r amser y traethwyd y broffwydoliaeth hon; *o fath blwyddyn gwas cyflog* — dywedir hyn i'w gwahaniaethu oddiwrth flwyddyn broffwydoliaethol, pen. xvi. 14, a xx. 3; *y derfydd hefyd holl anrhydedd Cedar*—yn gystal ag eiddo y Dedaniaid. *Cedar* oedd fab Ismael, Gen. xxv. 13; a'i hiliogaeth ef a breswylient yn y rhan ddeheuol o *Arabia Deserta*, a'r rhan ogleddol o *Arabia Petrea.* Wrth *anrhydedd* Cedar y meddylir eu lluosogrwydd, eu nerth, a'u cyfoeth, yn y rhai yr ymfalchïent.

Adn. 17. *A'r gweddill o rifedi saethyddion gwŷr cedyrn meibion Cedar*] Y rhai a adewid heb eu lladd gan yr Assyriaid; *a leiheir*—a fyddant yn ychydig iawn; *canys Arglwydd Dduw Israel a'i dywedodd*—yr hwn ni fetha gyflawni ei air. Yr oedd Ismael ei hun yn saethwr rhagorol, Gen. xxi. 20, ac felly yr oedd ei hiliogaeth ef; canys â'u bwäau y lladdent eu helwriaeth, ac yr ymladdent â'u gelynion. Bernir i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu tua'r un amser a'r lleill, sef oddeutu y 14eg i Hezeciah, blwyddyn rhuthr-gyrch Senacherib; a meddylir mai efe, ar ei ddyfod-

a leiheir: canys Arglwydd Dduw
Israel a'i dywedodd.

## PENNOD XXII.

BAICH glŷn gweledigaeth. Beth
*a ddarfu* i ti yn awr, pan ddring-
aist ti oll i nenau y tai?
2 Ti yr hon wyt yn llawn terfysg,
yn ddinas derfysgol, yn ddinas la-
wen: dy laddedigion ni laddwyd â
chleddyf, na'th feirw mewn rhyfel.
3 Dy holl dywysogion a gyd-ffois-
ant, gan *y perchen* bwäau y rhwym-
wyd hwynt: y rhai oll a gafwyd
ynot a gyd-rwymwyd, *y rhai* a ffois-
ant o bell.
4 Am hyny y dywedais, Edrych-
wch oddiwrthyf; mi a ŵylaf yn
chwerw, na lafuriwch fy nghysuro,
am ddinystr merch fy mhobl.
5 O herwydd diwrnod blinder *yw*,
a mathru, a dyrysni, gan Arglwydd
Dduw y lluoedd, yn nglŷn gweled-
igaeth, yn difurio y gaer, ac yn
gwaeddi i'r mynydd.
6 Elam hefyd a ddyg y cawell
saethau, mewn cerbydau dynion,
*a* gwŷr meirch; Cir hefyd a ddy-
noethodd y darian.

---

iad i Judea, a orchfygodd y gwahanol lwythau Arabaidd hyn, yr hyn a feddylir wrth y 'baich ar Arabia,' adn. 13.

PEN. XXII. Adn. 1. *Baich glŷn gweledigaeth*] Proffwydoliaeth am farn drom yn erbyn *Jerusalem* sydd yma hyd adn. 15; yr hon a elwir *glŷn*, am fod mynyddoedd uchel o'i hamgylch, a phantiau hefyd ynddi; a glŷn *gweledigaeth*, am fod yr Arglwydd yn rhoddi gweledigaethau yno i'w broffwydi, ac amlygiadau o'i ewyllys. *Beth a ddarfu i ti yn awr, pan ddringaist ti oll i nenau y tai?*—gwelsom yn fynych fod nenau tai y dwyrain yn lleddf neu wastad, fel y gellid rhodio arnynt, Deut. xxii. 3; ac y maent felly eto. Yn ei weledigaeth gwelai y proffwyd holl drigolion Jerusalem wedi dringo i benau eu tai yn y cyffro mwyaf, a gofynai iddynt beth oedd yr achos o hyny? Cyfeirir yma at y trallod a ddisgynai ar Jerusalem oddiwrth Senacherib a Nebuchodonosor. Y mae rhai rhanau yn briodol i'r naill, a rhanau ereill i'r llall. Tybia *Vitringa* mai ymosodiad y Caldeaid dan Nebuchodonosor a ddarlunir yn adn. 1—5; ac mai at eiddo yr Assyriaid dan Senacherib y cyfeirir yn adn. 6—14.

Adn. 2. *Ti yr hon wyt yn llawn terfysg*] Ac yn y cyffro mwyaf; *yn ddinas derfysgol*—o'r naill ben i'r llall. Neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'ti yr hon *oeddit* ddinas lawn o brysurwch a bywiogrwydd gynt;' *yn ddinas lawen*—a dedwydd gynt. Fel pe dywedasai, Beth a ddarfu i ti *yn awr*, pan y mae dy lawenydd wedi darfod, dy fasnachdai wedi eu cau, dy heolydd wedi eu gadael, a'th bobl oll wedi dringo i benau y tai, i wylio symudiadau y gelyn, neu i ymgynghori o berthynas i'w diogelwch eu hunain? *Dy laddedigion ni laddwyd â chleddyf*—fel mewn rhyfel gyffredin; eithr buont feirw o newyn neu haint.

Adn. 3. *Dy holl dywysogion a gyd-ffoisant*] Yn lle sefyll i geisio amddiffyn y ddinas a'r wlad; *gan y perchen bwäau y rhwymwyd hwynt*—neu y gorfodwyd hwynt i ffoi, sef rhag saethau y Caldeaid; neu rhwymwyd hwynt gan y braw a'r dychryn mwyaf. *Y rhai oll a gafwyd ynot*—heb allu ffoi, *a gyd-rwymwyd*—mewn cadwynau, neu ynte mewn braw a dychryn: gwel hanes rhwymiad Zedeciah, 2 Bren. xxv. 1—7, Jer. lii. 4—11. *Y rhai a ffoisant o bell*—o'r dinasoedd yn y wlad, i Jerusalem am ddiogelwch; neu, 'a ffoisant yn mhell.' Y mae *Houbigant* a *Lowth* yn ei chyfieithu fel hyn: 'Dy holl flaenoriaid a aethant ymaith yn nghyd; hwy a ffoisant rhag y bwa: y rhai oll a gafwyd ynot a gyd ffoisant, aethant ymaith yn mhell.'

Adn. 4. *Am hyny y dywedais*] Yn yr olwg ar y trueni hwn; *Edrychwch oddiwrthyf*—trowch ymaith eich golwg, neu gadewch i mi lonydd i ŵylo yn chwerw: *na lafuriwch fy nghysuro*—na thrafferthwch i geisio fy nghysuro, am fod hyny yn anmhosibl; *am ddinystr merch fy mhobl*—am ddinystr Jerusalem gan y Caldeaid.

Adn. 5. *O herwydd diwrnod blinder yw*] Ail yn unig i orthrymder mawr y Rhufeiniaid wedi hyn, 'y fath ni bu o ddechre y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith,' Mat. xxiv. 21; *a mathru*—dynion dan draed y gelyn; *a dyrysni*—neu 'gyfyng-gynghor,' fel na wyddom pa beth i'w wneuthur; *gan Arglwydd Dduw y lluoedd*—yr hwn a ddefnyddiai y Caldeaid fel offerynau ei ddigofaint; *yn nglŷn gweledigaeth*—sef yn Jerusalem, adn. 1; *yn difurio y gaer*—sef yn dryllio muriau y ddinas; *ac yn gwaeddi i'r mynydd*—nes y clywid y waedd yn y mynyddau oddiamgylch. Neu, yr oedd y dinasyddion ar y pryd yn gwaeddi am help o'r mynyddau, neu yn cymhell eu gilydd i ffoi i'r mynyddau. Hyd yma darluniwyd dinystr Jerusalem gan fyddin Nebuchodonosor, pryd y dygwyd yr Iuddewon yn gaethion i Babilon; ac oddiyma yn mlaen cawn hanes eu trallod oddiwrth yr Assyriaid yn flaenorol i hyny.

Adn. 6. *Elam hefyd*] Neu Persia, pen. xxi. 2; *a ddyg y cawell saethau*—gyda'r Assyriaid yn erbyn Jerusalem; *mewn cerbydau dynion a gwŷr meirch*—hyny yw, byddai cerbydau rhyfel a gwŷr meirch hefyd o Elam: gwel ar pen. xxi. 7. *Cir hefyd a ddynoethodd y darian*—i fyned allan yn erbyn Jerusalem gyda hwynt. Nid 'Cir Moab' a feddylir yma, pen. xv. 1; ond lle o'r un enw yn Media, 2 Bren. xvi. 9; canys yr oedd y Mediaid a'r Persiaid yn myddin Senacherib gyda'r Assyriaid, at yr hyn y cyfeirir yma.

7 A bydd dy ddyffrynoedd dewisol yn llawn o gerbydau, a'r gwŷr meirch a ymfyddinant tua'r porth.

8 ¶ Ac efe a ddynoethodd dô Juda, ac yn y dydd hwnw yr edrychaist ar arfogaeth tŷ y goedwig.

9 A gwelsoch rwygiadau dinas Dafydd, mai aml oeddynt; a chasglasoch ddyfroedd y pysgodlyn isaf.

10 Rhifasoch hefyd dai Jerusalem, a thynasoch y tai i lawr i gadarnhau y mur.

11 A rhwng y ddau fur y gwnaethoch lyn i ddyfroedd yr hen bysgodlyn; ond nid edrychasoch am ei wneuthurwr, nid ystyriasoch yr hwn a'i lluniodd ef er ys talm.

12 A'r dydd hwnw y gwahoddodd Arglwydd Dduw y lluoedd *rai* i ŵylofain, ac i alarnad, ac i foeledd, ac i ymwregysu â sachlian:

13 Ac wele lawenydd a gorfoledd, gan ladd gwartheg a lladd defaid, gan fwyta cig ac yfed gwin: bwytawn ac yfwn; canys y fory, *meddant,* y byddwn feirw.

14 A datguddiwyd *hyn* lle y clywais gan Arglwydd Dduw y lluoedd, Yn ddiau ni lanheir yr anwiredd hyn hyd oni byddoch feirw, medd Arglwydd Dduw y lluoedd.

15 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Cerdda, dos at y trysorydd hwn, *sef* at Sebna, yr hwn *sydd* benteulu, *a dywed,*

---

Adn. 7. *A bydd dy ddyffrynoedd dewisol yn llawn o gerbydau*] Sef o gerbydau rhyfel yr Assyriaid; *a'r gwŷr meirch a ymfyddinant tua'r porth*—i gynorthwyo ac amddiffyn y gwŷr traed tra y byddent hwy yn gwneuthur yr ymosodiad, ac i rwystro i'r Iuddewon ddianc o'r ddinas.

Adn. 8. *Ac efe*] Sef Senacherib, *a ddynoethodd dô Juda*—wrth y *tô* hwn y dealla y LXX 'byrth Juda:' ereill, 'ddinasoedd caerog Juda,' y rhai oeddynt yn dô ac yn amddiffyn i'r wlad; ac ereill a dybiant fod 'dynoethi tô Juda' yn arwyddo, 'gosod y wlad yn agored i warth, fel benyw wedi ei dyosg o'i gorchudd neu ei dillad.' *Ac yn y dydd hwnw yr edrychaist*—ti Juda, neu ti frenin Juda; *ar arfogaeth tŷ y goedwig*—i weled pa faint o arlwy rhyfel oedd yno, gan ymddiried yn y rhai hyny yn fwy nag yn Nuw: gwel ar 1 Bren. vii. 2, a x. 16, 17.

Adn. 9. *A gwelsoch rwygiadau dinas Dafydd*] Y rhai ond odid a wnaed gan Pecah brenin Israel; *mai aml oeddynt*—a bod eisiau eu hadgyweirio: *a chasglasoch ddyfroedd y pysgodlyn isaf*—fel ag i gael dwfr i'r ddinas, a gadael y gelynion oddifaes heb ddim: gwel yr hanes yn 2 Cron. xxxii. 3—5.

Adn. 10. *Rhifasoch hefyd dai Jerusalem*] I wybod eich nerth, neu rif eich pobl; neu ynte, i wybod pa nifer o dai oedd yn angenrheidiol i'r trigolion: *a thynasoch y tai i lawr*—gynifer ag oedd dros ben hyny; *i gadarnhau y mur*—i gael defnyddiau at hyny. Yr oedd brys am y defnyddiau hyn, ac yr oedd yn beryglus myned allan o'r ddinas i'w ceisio.

Adn. 11. *A rhwng y ddau fur y gwnaethoch lyn i ddyfroedd yr hen bysgodlyn*] I'r dyfroedd hyny redeg trwy bibelli neu gwteri i'r llyn newydd, at wasanaeth y ddinas. Adwaenir y llyn hwn hyd heddyw fel 'llyn Hezeciah.' Y mae yn 240 o droedfeddi o hyd, a 144 o led. Crybwyllir am dano gan fab Sirach, Eccles. xlviii. 17. *Ond nid edrychasoch am ei wneuthurwr*—sef Creawdwr y dwfr hwnw; *nid ystyriasoch yr hwn a'i lluniodd ef er ys talm*—sef er dechread y byd. Ond fe allai mai Gwneuthurwr *Jerusalem* fel lle ei addoliad ef a feddylir; neu Luniwr y *trallod* presenol ar breswylwyr Jerusalem, i'w cospi hwynt am eu pechodau: gwel ar pen. xxxvii. 26.

Adn. 12. *A'r dydd hwnw*] Sef dydd trallod Jerusalem; *y gwahoddodd Arglwydd Dduw y lluoedd*—trwy ei broffwydi ond odid; *rai i ŵylofain ac i alarnad*—am eu pechodau; *ac i foeledd*—i eillio y pen a'r farf, yn arwydd o ofid a galar, Ezra ix. 3; *ac i ymwregysu â sachlian*—yr hyn oedd yn arwydd arall o ddarostyngiad a galar, pen. iii. 24.

Adn. 13. *Ac wele lawenydd a gorfoledd*] Yn lle ŵylo a galaru yn dduwiol am eu pechodau, yr achos o'u trallod, aeth y bobl i lawenychu a gorfoleddu yn gnawdol; *gan ladd gwartheg a lladd defaid*—yn lle ymprydio a gweddio, aethant i loddesta yn fwy nag o'r blaen; *gan fwyta cig ac yfed gwin*—ond odid i ormodedd, ac annog eu gilydd i lythineb a meddwdod. *Bwytawn ac yfwn*—tra y gallom, a mwynhawn bleserau bywyd tra y byddont yn ein cyraedd; *canys y fory, meddant, y byddwn feirw*—a dyna ddiwedd arnom am byth. Hon yw iaith pawb a geisiant eu rhan yn y bywyd hwn, er dechread y byd. Dywedir fod gan *Domitian* lun angau yn hongian yn ei ystafell giniaw, i ddangos i'w westeion, gan fod bywyd yn ansicr, y dylasent wneyd y goraf o hono trwy loddesta yn helaeth. Ceir ymadroddion cyffelyb i eiriau y testyn yn ngwaith beirdd Groeg a Rhufain: gwel hefyd 1 Cor. xv. 32.

Adn. 14. *A datguddiwyd hyn lle y clywais*] Saes., 'yn fy *nghlustiau*,' gan Arglwydd y lluoedd; *Yn ddiau ni lanheir yr anwiredd hyn hyd oni byddoch feirw*—hyny yw, ni faddeuir ef byth. Nis gall un pechod fod yn waeth nag anystyriaeth a dideimladrwydd ar fin y bedd, neu ymroi i loddest a rhysedd pan fo angau fel yn rhythu yn ngwyneb dyn, fel yr oedd yn awr gyda'r gwŷr hyn!

Adn. 15. *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd*] Gyda golwg ar fater arall, ond un a berthynai yn agos i'r achos uchod;

16 Beth *sydd* i ti yma? a phwy
*sydd* genyt ti yma, pan drychaist i
ti yma fedd, fel yr hwn a drychai
ei fedd yn uchel, *ac* a naddai iddo
ei hun drigfa mewn craig?
17 Wele yr Arglwydd yn dy fudo
di â chaethiwed tost, a chan wisgo
a'th wisg di.
18 Gan dreiglo y'th dreigla di *fel*
treiglo pêl i wlad eang: yno y
byddi farw, ac yno *y bydd* cerbydau
dy ogoniant yn warth i dŷ dy feistr.
19 Yna y'th yraf o'th sefyllfa, ac
o'th sefyllfa y dinystria efe di.
20 ¶ Ac yn y dydd hwnw y
galwaf ar fy ngwas Eliacim fab
Hilciah:
21 A'th wisg di hefyd y gwisgaf
ef, ac â'th wregys di y nerthaf ef: a
than ei law ef y rhoddaf dy lywodr-
aeth di: ac efe a fydd yn dad i bres-
wylwyr Jerusalem, ac i dŷ Juda.
22 Rhoddaf hefyd agoriad tŷ Da-
fydd ar ei ysgwydd ef: yna yr egyr
efe, ac ni *bydd* a gauo; ac efe a gau,
ac ni *bydd* a agoro.
23 A mi a'i sicrhaf ef *fel* hoel
mewn man sicr; ac efe a fydd yn

---

*Cerdda*—O broffwyd, *dos at y trysorydd hwn*—yr hwn y tybir ei fod yn mlaenaf yn yr halogrwydd a'r gloddest uchod; *sef at Sobna*—neu *Shebna*, fel y mae yn y Saesonaeg; *yr hwn sydd ben-teulu*—neu yn edrych ar ol achosion teuluaidd y brenin Hezeciah, ac yn drysorydd iddo. Meddylir ei fod yn berson gwahanol i 'Sobna yr ysgrifenydd,' yr hwn a grybwyllir 2 Bren. xviii. 18, 37, a xix. 2. Dywed rhai mai Aifftwr ydoedd, wedi ei broselytio i'r grefydd Iuddewig; a dywed yr Iuddewon ei fod yn bwriadu bradychu Jerusalem i ddwylaw Senacherib.

Adn. 16. *Beth sydd i ti yma?*] Hyny yw, beth yr wyt ti yn ei wneuthur yma? sef yn Jerusalem, neu wrth fedd y brenhinoedd yno, lle y bwriadai efe gael ei gladdu. *A phwy sydd genyt ti yma?*—pwy o'th berthynasau di a gladdwyd yma? *Pan drychaist*—pan y cloddiaist neu y neddaist i ti yma fedd; *fel yr hwn a drychai ei fedd yn uchel*—yn uchel neu amlwg yn y graig, yn mhlith beddau y gwŷr mwyaf yno; *ac a naddai iddo ei hun drigfa mewn craig*—yn gartref anrhydeddus i'w gorff ar ol iddo farw? Ymddengys oddiyma fod Sobna yn ŵr balch iawn, ac am gael anrhydedd iddo ei hun yn fyw ac yn farw.

Adn. 17. *Wele yr Arglwydd yn dy fudo di â chaethiwed tost*] Fel na chai di dy gladdu yma yn y bedd a wnaethost i ti dy hun; *a chan wisgo a'th wisg di*—Saes., 'a'th orchuddia di,' sef â gwarth: neu gall fod yma gyfeiriad at orchuddio ei wyneb fel drwgweithredwr condemniedig: gwel ar Esther vii. 8.

Adn. 18. *Gan dreiglo y'th dreigla di fel treiglo pêl*] Mor chwyrn neu mor hawdd a hyny; *i wlad eang*—fe allai i Assyria; neu 'fel pêl ar *dir gwastad*.' Dywed yr Iuddewon, pan aeth efe allan o Jerusalem i'w thraddodi hi i ddwylaw y gelynion, iddynt ofyn yn mha le yr oedd ei fyddin ef; a phan ddywedodd efe iddynt droi yn ol, darfod iddynt hwythau ddywedyd, 'Ti a'n gwawdiaist ni:' ac yna tyllasant ei sodlau, a rhwymasant ef wrth gynffonau y meirch, ac fel hyn y bu efe farw. *Yno y byddi farw*—yn Assyria, neu allan o Jerusalem, fel y nodwyd uchod; *ac yno y bydd cerbydau dy ogoniant*—yn y rhai y marchogit gyda'r fath rwysg ar hyd heolydd Jerusalem; *yn warth i dŷ dy feistr*—am godi y fath ddyn gwael a drygionus i swydd mor uchel. Byddai hyny yn warth i Ahaz, yr hwn a'i gosodasai ef yn y swydd; ac i Hezeciah, yr hwn a'i parhaodd ef ynddi.

Adn. 19. *Yna y'th yraf o'th sefyllfa*] O'th swydd fel trysorydd a phen-teulu y brenin; *ac o'th sefyllfa y dinystria efe di*—Saes., 'y tyn efe di i lawr.' Yr Arglwydd a wnai hyn iddo: canys y mae newidiad y person, wrth son am yr un gweithredydd, yn beth cyffredin iawn yn ysgrifeniadau y proffwydi.

Adn. 20. *Ac yn y dydd hwnw*] Ar ol dy symud di o'th swydd; *y galwaf ar fy ngwas Eliacim fab Hilciah*—i'w osod ef yn y swydd yn dy le di. Ac felly ni a'i cawn ef yn cael ei alw yn 'ben-teulu' yn 2 Bren. xviii. 18, 37. Ystyr yr enw *Eliacim* yw 'adgyfodiad Duw,' neu 'Dduw yr adgyfodiad;' a meddylir ei fod ef yn gysgod o Grist yn ei berson a'i waith.

Adn. 21. *A'th wisg di hefyd y gwisgaf ef, &c.*] Sef â'r wisg a'r gwregys berthynol i'r swydd hòno; *a than ei law ef y rhoddaf dy lywodraeth di*—neu yr awdurdod a ddaliai Sobna yn y teulu brenhinol: *ac efe a fydd yn dad, &c.*—yn gofalu yn dyner a serchog am achosion yr Iuddewon oll, gan geisio eu llesâd.

Adn. 22. *Rhoddaf hefyd agoriad tŷ Dafydd ar ei ysgwydd ef*] Sef awdurdod a llywodraeth dros y llys neu y palas brenhinol. Gwelsom yn fynych fod *agoriad* yn arwydd o awdurdod a hawl, fel dyn yn cael agoriadau neu allweddau y tŷ ar ol iddo ei brynu neu ei gael dan rent. Tybia rhai fod allwedd fawr o aur, neu ryw ddefnydd arall, yn crogi ar ei ysgwydd ef fel arwydd o'i awdurdod; tra y tybia ereill mai llun allwedd wedi ei frwydweithio yn ei wisg, neu ei wnïo arni, yw y cwbl a feddylir. *Yna yr egyr efe, ac ni bydd a gauo, &c.*—y meddwl yw, mai ganddo ef yn unig y byddai awdurdod i roddi swyddau neu freintiau i ddynion, neu i'w hamddifadu o honynt. Defnyddiodd ein Harglwydd yr un ymadrodd i osod allan awdurdod ei apostolion yn ei eglwys, Mat. xvi. 19; a chymhwysodd hefyd y geiriau hyn ato ei hun, Dat. iii. 7.

Adn. 23. *A mi a'i sicrhaf ef*] Yn ei swydd yn ddiysgog; *fel hoel mewn man sicr*—cyfeirir yma at yr hoelion neu y cethri a osodid yn muriau tai oddifewn, i grogi dillad, llestri, a phethau ereill arnynt. Yn awr, fel yr oedd

orseddfa gogoniant i dŷ ei dad.
24 Ac arno ef y crogant holl ogoniant tŷ ei dad, hil ac epil; yr holl fân lestri; o'r llestri meiliau, hyd yr holl offer cerdd.
25 Yn y dydd hwnw, medd Arglwydd y lluoedd, y symudir yr hoel a hoeliwyd yn y man sicr, a hi a dorir, ac a syrth: torir hefyd y llwyth *oedd* arni; canys yr Arglwydd a'*i* dywedodd.

## PENNOD XXIII.

BAICH Tyrus. Llongau Tarsis, udwch: canys anrheithiwyd *hi*, fel nad oes na thŷ na chyntedd: o dir Chittim y datguddiwyd iddynt.
2 Dystewch drigolion yr ynys, yr hon y mae marchnadyddion Sidon, y rhai sydd yn tramwy y môr, yn dy lenwi.
3 Ac wrth ddyfroedd lawer, had Sihor, cynauaf yr afon *yw* ei chnwd

---

yr hoelion hyny yn cynal y pethau a grogid wrthynt, felly y byddai Eliacim yn gynaliaeth i bawb o'i amgylch. *Ac efe a fydd yn orseddfa gogoniant*—neu 'yn eisteddfa ogoneddus,' neu yn gynaliaeth anrhydeddus; *i dŷ ei dad*—i'w holl dylwyth a'i berthynasau.

Adn. 24. *Ac arno ef y crogant holl ogoniant tŷ ei dad*] Dywedir hyn mewn cyfeiriad fyth at y gyffelybiaeth o *hoel* yn yr adnod uchod; *hil ac epil*—sef plant ac ŵyrion tŷ ei dad: *yr holl fân lestri*—bydd i'r rhai lleiaf a distadlaf gael lles ac anrhydedd trwyddo ef: *o'r llestri meiliau*—Saes., 'llestri cwpanau,' neu y llestri lleiaf; *hyd yr holl offer cerdd*—neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'hyd yr holl *lestri costrelau*,' neu y llestri mwyaf ond odid. Ond y mae y gair *nebalim* yn arwyddo *offer cerdd* hefyd, fel yn y testyn; a diamau y crogid pethau felly ar yr hoelion yn y tai, yn gystal a llestri a dillad o bob math. Y meddwl yw, y byddai Eliacim yn ogoniant ac yn gynaliaeth i'w holl berthynasau yn fawr a bach; ac y byddai iddo trwy ei dynerwch, ei ddoethineb, a'i ofal tadol, lesâu holl breswylwyr Jerusalem a thŷ Juda, adn. 21.

Adn. 25. *Yn y dydd hwnw, medd Arglwydd y lluoedd, y symudir yr hoel*] Hyn a ddywedir, nid am Eliacim, ond am Sobna, fel ailadroddiad a chadarnhad o'r ddedfryd a gyhoeddwyd uchod yn ei erbyn ef; *a hoeliwyd yn y man sicr*—yn ol ei feddwl ef; canys efe a fwriadai dreulio hir oes yn ei swydd, a chael ei gladdu yn anrhydeddus fel swyddog yn y teulu brenhinol, adn. 16. *A hi a dorir ac a syrth*—fel hoel neu bin yn syrthio o'r mur. *Torir hefyd y llwyth oedd arni*—yr un modd a'r llestri a'r pethau ereill a grogent ar yr hoelion a nodwyd uchod. Y meddwl yw, y byddai i anrhydedd, cynaliaeth, a gobeithion pawb a ymbwysent ar Sobna, ddyfod i'r dim. *Canys yr Arglwydd a'i dywedodd*—ac am hyny y mae yn sicr o gymeryd lle.

PEN. XXIII. Adn. 1. *Baich Tyrus*] Gwel ar pen. xiii. 1. Tyrus oedd hen ddinas gyfoethog yn Phenicia, ar lan Môr-y-canoldir, yn agos i derfyn gogleddol Palestina, a therfyn gorllewinol Syria. Yr oedd dwy ddinas o'r enw hwn; un ar y cyfandir, yr hon a elwid yr 'Hen Dyrus;' a'r llall mewn ynys oddeutu hanner milldir oddiwrth y tir, yr hon a elwid 'Tyrus Newydd,' ac a ydoedd yn bedair milldir o amgylchedd. Adeiladwyd y gyntaf oddeutu 240 o flynyddoedd o flaen teml Solomon, ac yr oedd yn rhagori mewn masnach, mawredd, a chyfoeth, ar holl ddinasoedd Syria a Phenicia. Yr oedd ganddi ei brenhinoedd ei hun, un o ba rai oedd Hiram, cyfaill Dafydd, 2 Sam. v. 11. Pan draethodd Esay y broffwydoliaeth hon am ei dinystr hi, oddeutu 125 o flynyddau o leiaf cyn i hyny gymeryd lle, yr oedd hi yn sefyll yn gadarn yn ei mawredd a'i gogoniant: er hyny hi a ddyfethwyd, fel y dywedir yma, a hyny ddwywaith; yn gyntaf, gan Nebuchodonosor, C. C. 573, ar ol iddi ei wrthsefyll ef am dair blynedd ar ddeg; ac wedi hyny gan Alexander Fawr, C. C. 332. *Llongau Tarsis, udwch*—o herwydd aflwydd Tyrus. Wrth *Tarsis* yma y meddylir *Tartessus* yn yr Hispaen, rhwng pa rai yr oedd llawer o fasnach forawl. *Canys anrheithiwyd hi*—felly y danghosid i'r proffwyd yn ei weledigaeth, fel pe buasai wedi cymeryd lle eisioes, er na wnaed hyny dros gan mlynedd wedi hyn. *Fel nad oes na thŷ na chyntedd*—yn sefyll i fyny. Ond tybia rhai mai y meddwl yw, fod y nwydd-dai wedi eu chwalu, a'r porthladd wedi ei gau neu ei lenwi i fyny, fel nad allai y llongau fyned i mewn yno. *O dir Chittim y datguddiwyd iddynt*—sef i'r Hispaeniaid. Wrth *dir Chittim* y deallir yn gyffredin ynysoedd a glanau Môr-y-canoldir, er fod rhai yn ei gyfyngu i ynys *Cyprus*.

Adn. 2. *Dystewch*] Yn arwydd o ofid a braw, pen. xlvii. 5, Galar. ii. 10; *drigolion yr ynys*—y rhai oeddynt yn preswylio yn y rhan hono o Tyrus a amgylchynid gan fôr, adn. 1; *yr hon y mae marchnadyddion Sidon*—dinas arall yn Phenicia, hynach na Tyrus, yn sefyll oddeutu 20 milldir o du y gogledd i Tyrus; *yn dy lenwi*—â morwyr a masnach.

Adn. 3. *Ac wrth ddyfroedd lawer had Sihor*] Neu 'had y *Nilus*,' 1 Cron. xiii. 5, yr hwn a heuid yn y llaid bras hwnw pan giliai y 'dyfroedd lawer.' *Cynauaf yr afon yw ei chnwd hi*—yr hwn a ddygid oddiyno mewn llongau i Tyrus. *Felly marchnadfa cenhedloedd yw hi*—sef yr Aifftiaid a chenhedloedd ereill.

Adn. 4. *Cywilyddia, Sidon*] Am aflwydd dy ferch Tyrus, adn. 12. Y Sidoniaid a adeiladasant ac a boblogasant Tyrus, ar ol i frenin Ascalon gymeryd eu dinas eu hunain oddiarnynt. *Canys y môr, ie cryfder y môr, a lefarodd*—felly y gelwir Tyrus, am ei bod yn gryfder i Fôr-y-canoldir trwy ei llynges. *Nid ymddygais, &c.*—y mae y geiriau hyn oll yn

hi: felly marchnadfa cenhedloedd
yw hi.
4 Cywilyddia, Sidon: canys y
môr, *ie* cryfder y môr, a lefarodd,
gan ddywedyd, Nid ymddygais, ac
nid esgorais, ni fegais wŷr ieuainc
chwaith, *ac ni* feithrinais forwynion.
5 Megys wrth glywed son am yr
Aifftiaid, yr ymofidiant wrth glyw-
ed son am Tyrus.
6 Ewch trosodd i Tarsis; udwch,
preswylwyr yr ynys.
7 Ai hon *yw* eich *dinas* lawen
chwi, yr hon *y mae* ei henafiaeth er y
dyddiau gynt? ei thraed a'i dygant
hi i ymdaith i bell.
8 Pwy a gynghorodd hyn yn er-
byn Tyrus goronog, yr hon *yr yd-*
*oedd* ei marchnatawyr yn dywysog-
ion, a'i marsiandwyr yn bendefigion
y ddaear?
9 Arglwydd y lluoedd a fwriad-
odd hyn, i ddifwyno balchder pob
gogoniant, *ac* i ddirmygu holl ben-
defigion y ddaear.
10 Dos trwy dy wlad fel afon, O
ferch Tarsis: nid *oes* nerth mwyach.
11 Estynodd ei law ar y môr, dy-
chrynodd y teyrnasoedd; gorchy-
mynodd yr Arglwydd am *ddinas* y
farsiandïaeth, ddinystrio ei chad-
ernid.
12 Ac efe a ddywedodd, Ni chai
orfoleddu mwyach, yr orthrymedig
forwyn, merch Sidon; cyfod, dos i
Chittim; yno chwaith ni bydd llon-
yddwch.
13 Wele dir y Caldeaid; nid oedd

---

yr amser presenol yn y Saesonaeg; a'r medd-wl yw, nad oedd hi yn ymddwyn, yn esgor, nac yn magu plant fel y bu; fod ei phoblogaeth a'i chyfoeth yn lleihau yn lle cynyddu; neu nad oedd hi mwyach yn plannu dinasoedd a threfedigaethau megys gynt, nac yn eu maethu hwynt trwy ei masnach; yr hyn a fyddai yn achos o alar a chywilydd i Sidon, wrth weled ei merch falch a chyfoethog wedi ei darostwng mor isel.

Adn. 5. *Megys wrth glywed son am yr Aifftiaid*] Yn cael eu cospi â phläau yn amser Moses, neu am drallodau yr Aifftiaid yn pen. xix. 1, &c.; *yr ymofidiant*—yr ymofidia y cenhedloedd oddiamgylch; *wrth glywed son am Tyrus*—am y dinystr a fygythir yma yn erbyn Tyrus. Ond tybia rhai mai ystyr y wreiddiol yw, 'pan glywai yr Aifftiaid am ddinystr Tyrus, yr ymofidient hwy o'i hachos hi,' am nas gallent farchnata â hi mwyach, adn. 3.

Adn. 6. *Ewch trosodd i Tarsis*] Chwi drigolion Tyrus, rhag eich gelynion: *udwch, preswylwyr yr ynys*—gwel ar adn. 2.

Adn. 7. *Ai hon yw eich dinas lawen chwi*] Yr hon oedd unwaith mor llawn o fasnach, rhwysg, a digrifwch? *yr hon y mae ei henafiaeth er y dyddiau gynt*—gwel ar adn. 1. *Ei thraed a'i dygant hi i ymdaith i bell*—i ymguddio yno rhag ei gelynion.

Adn. 8. *Pwy a gynghorodd hyn?*] Ai gwaith dyn yw y difrod hwn, ynte gwaith Duw? *yn erbyn Tyrus goronog*—yr hon oedd yn ddinas frenhinol: gwel ar adn. 1. *Yr hon yr ydoedd ei marchnatawyr yn dywysogion, &c.*—yn gyfartal i dywysogion a phendefigion o ran cyfoeth, mawredd, ac awdurdod; neu, yr oedd tywysogion a phendefigion yn dyfod i farchnata iddi.

Adn. 9. *Arglwydd y lluoedd a fwriadodd hyn*] Sef y farn hon ar Tyrus; *i ddifwyno balchder pob gogoniant*—o eiddo dyn; *ac i ddirmygu holl bendefigion y ddaear*—trwy ddwyn eu cynlluniau hwynt i ddirmyg, neu trwy ddangos iddynt mor wael a dinerth yw y rhai galluocaf o honynt i'w wrthsefyll ef.

Adn. 10. *Dos trwy dy wlad fel afon*] Yn tori dros ei glanau, ac yn ymwasgaru ar led; *O ferch Tarsis*—gall mai *Tyrus* a elwir yma yn 'ferch Tarsis,' am ei bod yn ymddibynu am ei chynaliaeth i raddau helaeth trwy fasnachu â Tarsis; neu am y byddai i lawer o honynt ffoi i gartrefu yn Tarsis: neu ynte, gall mai pobl Tarsis, y rhai a gartrefent ac a fasnachent yn Tyrus, a feddylir yma. *Nid oes nerth mwyach*—yn Tyrus i'th amddiffyn; am hyny ffoa i wledydd ereill fel afon lifeiriol.

Adn. 11. *Estynodd ei law ar y môr*] Jehofa a wnaeth hyn, fel y dywedir eto, neu Nebuchodonosor fel offeryn yn ei law ef. Wrth y *môr* hwn y meddylir Tyrus, yr hon oedd wedi ei hadeiladu ar lan y môr, ac mewn ynys yn y môr, adn. 1; yn nghyda'r dinasoedd ereill ar lanau Môr-y-canoldir. *Gorchymynodd yr Arglwydd am ddinas y farsiandïaeth*—sef am Tyrus a'i threfedigaethau; *ddinystrio ei chadernid*—sef ei chastelli a'i hamddiffynfeydd, neu ynte ei thrigolion, ei chyfoeth, a'i hadeiladau.

Adn. 12. *Ni chai orfoleddu mwyach*] I'r un graddau, neu am dymhor o leiaf, adn. 17; *y forwyn orthrymedig*—gelwir Tyrus yn *forwyn*, am nad oedd hi wedi bod hyd yma dan iau un gelyn: ac yn forwyn *orthrymedig*, neu *dreisiedig*, ar gyfrif yr hyn a wneid iddi yn awr gan y Caldeaid. *Merch Sidon*—gelwir hi felly am iddi gael ei hadeiladu a'i phoblogi gan y Sidoniaid, adn. 4. *Cyfod, dos i Chittim*—am ddiogelwch: gwel ar adn. 1. *Yno chwaith ni bydd llonyddwch*—canys byddai i Nebuchodonosor gario ei ryfeloedd yno hefyd.

Adn. 13. *Wele dir y Caldeaid*] Tybiai pobl Tyrus fod eu lle hwy yn anorchfygadwy; ond yma gelwir arnynt i ystyried gwlad y Caldeaid, trwy y rhai y gwneid y dinystr hwn ar Tyrus. *Nid oedd y bobl hyn*—nid oedd y Caldeaid mewn bod, neu o ddim enwogrwydd ar y cyntaf; *nes i Assur*—rhyw frenin galluog yn Assyria, *ei sylfaenu hi i drigolion yr anialwch*—yn gartref i'r rhai a gyfanheddent yn wasgaredig ar hyd yr anialwch lle y mae

y bobl hyn, *nes* i Assur ei sylfaenu hi i drigolion yr anialwch: dyrchafasant ei thyrau, cyfodasant ei phalasau; *ac* efe a'i tynodd hi i lawr.

14 Llongau Tarsis, udwch; canys anrheithiwyd eich nerth.

15 A'r dydd hwnw yr annghofir Tyrus ddeng mlynedd a thriugain, megys dyddiau un brenin: yn mhen y deng mlynedd a thriugain y cân Tyrus megys putan.

16 Cymer y delyn, amgylchyna y ddinas, ti butan annghofiedig: cân gerdd yn dda: cân lawer, fel y'th gofier.

17 ¶ Ac yn mhen y deng mlynedd a thriugain yr Arglwydd a ymwel â Thyrus, a hi a ddychwel at ei helw, ac a buteinia â holl deyrnasoedd y byd ar wyneb y ddaear.

18 Yna y bydd ei marchnad a'i helw yn santeiddrwydd i'r Arglwydd: ni thrysorir ac nis cedwir; canys eiddo y rhai a drigant o flaen yr Arglwydd fydd ei marsiandïaeth, i fwyta yn ddigonol, ac yn ddillad parhaus.

---

Babilon. *Dyrchafasant ei thyrau, cyfodasant ei phalasau*—yn unol â hyn dywed *Herodotus* mai yr Assyriaid a adeiladasant dyrau a themlau Babilon. *Ac efe a'i tynodd hi i lawr*—Hebr., 'a'i nododd hi i'w dinystrio;' hyny yw, yn ol rhai, byddai i Dduw ei thynu hi i lawr; a pha faint hawddach y tynai efe Tyrus i lawr, yr hon nid oedd mor gadarn a Babilon? Neu, yn ol ereill, cyfeirir yma at yr hyn a wnaethai brenin Assyria yn ddiweddar i Babilon, sef ei gosod dan deyrnged i amherodraeth Assyria; neu at yr hyn a wnai y Caldeaid i *Tyrus*, er fod y Caldeaid hyny y pryd hyn yn gaethion eu hunain dan iau yr Assyriaid. Addefir gan bawb fod yr adnod hon yn dra thywyll.

Adn. 14. *Llongau Tarsis, udwch*] Gwel ar adn. 1; *canys anrheithiwyd eich nerth*—anrheithiwyd Tyrus, yr hon a dderbyniai eu nwyddau hwy, ac felly a ydoedd yn nerth a chynaliaeth iddynt.

Adn. 15. *A'r dydd hwnw*] Ar ol ei dinystrio hi, *yr annghofir Tyrus ddeng mlynedd a thriugain*—byddai iddi gael ei gadael yn y cyflwr hwnw hyd nes y terfynai y 70 mlynedd o frenhiniaeth Babilon; *megys dyddiau un brenin*—neu un teulu brenhinol, sef Nebuchodonosor, Efil-merodach ei fab, a Belsassar ei ŵyr, Jer. xxvii. 7. Dechreuodd Nebuchodonosor ei fuddugoliaethau yn y flwyddyn gyntaf e'i deyrnasiad; o hyny hyd gymeriad Babilon gan Cyrus yn amser Belsassar yr oedd 70 mlynedd, pryd y byddai i'r holl genhedloedd a ddarostyngwyd gan Nebuchodonosor gael eu hadfer i'w rhyddid. Y 70 mlynedd hyn oedd holl yspaid y frenhiniaeth Fabilonaidd. Cymerwyd Tyrus gan Nebuchodonosor tua chanol y cyfnod hwnw, neu yn y flwyddyn 32 o'i deyrnasiad; felly ni wasanaethasant hwy frenin Babilon am 70 mlynedd, eithr am y gweddill o'r blynyddoedd hyny, neu am oddeutu 38 o flynyddoedd. 'A'r holl genhedloedd hyn,' ebai Jeremiah, 'a wasanaethant frenin Babilon ddeng mlynedd a thriugain,' Jer. xxv. 11. Cafodd rhai o honynt eu darostwng yn gynt, a rhai yn ddiweddarach; eithr *diwedd* y cyfnod hwn oedd amser eu gwaredigaeth hwynt oll. Felly y mae *Lowth*, *Newton*, *Vitringa*, *Aben Ezra*, *Rosenmuller*, ac ereill, yn deall y geiriau hyn. Ond y mae ffordd arall o gyfrif y 70 mlynedd hyn, sef o'r flwyddyn ag y cymerwyd Tyrus gan Nebuchodonosor hyd y 19 i Darïus Hystaspes, yr hwn y darfu i'r Pheniciaid neu wŷr Tyrus ei gynorthwyo â'u llynges yn erbyn yr Ioniaid; a meddylir iddynt y pryd hyny gael eu hadfer i'w rhyddid a'u breintiau blaenorol. Fel mai yr hen ddinas ar fin y môr oedd y fwyaf blodeuog cyn amser Nebuchodonosor, felly y ddinas newydd ar yr ynys oedd y fwyaf blodeuog ar ol ei hadferiad; a hon yw y Tyrus a ddaeth mor glodfawr wedi hyny mewn hanesyddiaeth. *Yn mhen y deng mlynedd a thriugain y cân Tyrus megys putan*—nid mewn ffordd o fawl a diolchgarwch i Dduw, eithr i ddenu masnachwyr ati drachefn, fel y canai putan i hudo ei chariadon.

Adn. 16. *Cymer y delyn, &c.*] Arferai putanod ar eu dychweliad i ddinas, ar ol bod yn hir yn absenol o honi, a chael eu hannghofio, gymeryd offer cerdd o amgylch y ddinas, er mwyn tynu sylw eu hen gariadon; ac yma, i gadw yn mlaen y gyffelybiaeth a ddechreuwyd yn niwedd yr adnod flaenorol, cymhellir masnachwyr Tyrus i wneyd yr un modd. *Cân gerdd yn dda, cân lawer, fel y'th gofier*—gan fasnachwyr y cymydogaethau, ac y delont â'u nwyddau drachefn i'th borthladd.

Adn. 17. *Ac yn mhen y deng mlynedd a thriugain*] Gwel ar adn. 15; *yr Arglwydd a ymwel â Thyrus*—i'w hadfer hi i'w mawredd blaenorol, yn enwedig y rhan ynysol o honi, adn. 1; *a hi a ddychwel at ei helw*—sef elw ei marsiandïaeth, yr hwn a osodir allan dan y gyffelybiaeth o elw putan; *ac a buteinia â holl deyrnasoedd y byd*—dywedir hyn mewn cyfeiriad fyth at y gyffelybiaeth uchod; *ar wyneb y ddaear*—neu dros wyneb yr holl ddaear. Dywedir fod brenhinoedd pob cenedl yn prynu ac yn gwisgo ei phorffor a'i hysgarlad hi.

Adn. 18. *Yna*] Nid yn ddiatreg, ond rywbryd ar ol ei hadferyd, yn enwedig yn nyddiau yr efengyl; *y bydd ei marchnad a'i helw yn santeiddrwydd i'r Arglwydd*—bydd i wir grefydd ffynu yno, a bydd i'w chyfoeth gael ei gysegru i'w wasanaeth ef. *Ni thrysorir ac nis cedwir*—yr oll o'i chyfoeth i ddybenion masnachol, llawer llai i ddybenion drwg; *canys eiddo y rhai a drigant o flaen yr Arglwydd*—sef gweinidogion crefydd, mewn cyfeiriad at yr offeiriaid dan y gyfraith yn

## PENNOD XXIV.

WELE yr Arglwydd yn gwneuthur y ddaear yn wâg, ac yn ei difwyno hi; canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi, ac a wasgar ei thrigolion.
2 Yna y bydd yr un ffunud i'r bobl ac i'r offeiriad, i'r gwas ac i'w feistr, i'r llaw-forwyn ac i'w meistres, i'r prynydd ac i'r gwerthydd, i'r hwn a roddo ac i'r hwn a gymero echwyn, i'r hwn a gymero lôg ac i'r hwn a dalo lôg iddo.
3 Gan waghau y gwagheir, a chan yspeilio yr yspeilir y wlad; canys yr Arglwydd a lefarodd y gair hwn.
4 Galarodd *a* diflanodd y ddaear, llesgaodd *a* dadwinodd y byd, dihoenodd pobl feilchion y ddaear.
5 Y ddaear hefyd a halogwyd dan ei phreswylwyr: canys troseddasant y cyfreithiau, newidiasant y deddfau, diddymasant y cyfammod tragwyddol.
6 Am hyny melldith a ysodd y tir, a'r rhai oedd yn trigo ynddo a anrheithiwyd; am hyny preswylwyr y tir a losgwyd, ac ychydig ddynion a adawyd.

---

trigo yn y deml yn Jerusalem; *fydd ei marsiandiaeth*—rhoddir llawer o'i helw at gynal crefydd a'i gweinidogion; *i fwyta yn ddigonol, ac yn ddillad parhaus*—hyny yw, at gael bwyd a dillad iddynt yn barhaus. Sefydlwyd y grefydd Gristionogol yn Tyrus yn fore. Bu ein Harglwydd ei hun yn ymweled â thueddau Tyrus a Sidon, Mat. xv. 21; a chafodd Paul amrai ddysgyblion yno, gyda'r rhai y bu yn aros saith niwrnod, Act. xxi. 3—6. Dywed *Eusebius*, pan sefydlwyd eglwys Dduw yn Tyrus, 'i lawer o'i chyfoeth hi gael ei gysegru i'r Arglwydd;' a dywed *Jerome*, 'Gwelsom eglwysi wedi eu hadeiladu i'r Arglwydd yn Tyrus; gwelsom gyfoeth pawb, yr hwn ni thrysorwyd ac nis cadwyd, wedi ei roddi i'r rhai a drigent o flaen yr Arglwydd.' Dywed *Newton* ac ereill ei bod wedi ei gwneuthur yn archesgobaeth yn fore, a bod 14 o esgobaethau dan ei llywodraeth, y rhai a ddyoddefasant lawer oddiwrth erledigaeth Diocletian. Crybwylla *Reland* am yr esgobion canlynol, y rhai a aethant o Tyrus, ar wahanol amserau, i wahanol gynghorau neu gymanfaoedd; sef *Cessius, Paulinus, Zeno, Vitalis, Uranius, Photius*, ac *Eusebius:* gwel *Reland's Palestine*, dal. 1002—1011. Parhaodd Tyrus yn Gristionogol hyd nes y cymerwyd hi gan y Saraceniaid yn y flwyddyn O. C. 639; ac adennillwyd hi eilwaith gan y Cristionogion yn 1124. Yn 1280, gorchfygwyd hi gan y Mameluciaid; ac wedi hyny, yn 1516, cymerwyd hi oddiarnynt hwythau gan y Tyrciaid. Y mae yn awr dan lywodraeth y Sultan, fel rhan o Syria; ac wedi syrthio i adfeilion, 'yn gopa craig, ac yn daenfa rhwydau,' yn ol rhagfynegiad y proffwyd, Ezec. xxvi. 14: gwel *Sandy's Travels.*

PEN. XXIV. Adn. 1. *Wele yr Arglwydd yn gwneuthur y ddaear yn wâg*] Wrth y *ddaear* yma y golygir yn ddiamau wlad Canaan; ac wrth ei gwneuthur yn *wâg* y meddylir caethgludiad ei thrigolion, yn gyntaf gan yr Assyriaid, ac yna gan y Caldeaid; er y tybia rhai fod yn y bennod hon, yn enwedig tua'i diwedd hi, gyfeiriad hefyd at ddinystr pellach ei dinasoedd a'i thrigolion gan y Rhufeiniaid. *Ac yn ei difwyno hi*—gan ei gosod yn ddiffaethwch. *Canys efe a ddadymchwel ei hwyneb hi*—Saes., 'a'i try hi â'i gwyneb i lawr,' gan arllwys oddiarni ei sefydliadau gwladol a chrefyddol; *ac a wasgar ei thrigolion*—ar hyd wyneb y ddaear: gwel ar Deut. xxviii. 62.

Adn. 2. *Yna y bydd yr un ffunud i'r bobl ac i'r offeiriad*] Neu 'i'r *tywysog*,' fel y mae ar ymyl y ddalen; *i'r gwas ac i'w feistr, &c.*—y meddwl yw, nid y byddai pawb yr un ffunud o ran eu cyflwr moesol, eithr y dygwyddai yr un aflwydd a thrallod iddynt oll: byddai iddynt oll gael eu suddo yn yr un trueni, heb arbed neb ar gyfrif eu graddau a'u gwaedoliaeth.

Adn. 3. *Gan waghau y gwagheir*] Y wlad o'i thrigolion; *a chan yspeilio yr yspeilir y wlad*—o'i chyfoeth a'i thrysorau; *canys yr Arglwydd a lefarodd y gair hwn*—ac am hyny ni fethir ei gyflawni.

Adn. 4. *Galarodd a diflanodd y ddaear*] Sef preswylwyr Canaan; *llesgaodd a dadwinodd y byd*—sef y byd Iuddewig, fel dyn claf yn llesgâu yn ei gystudd, neu ddail yn gwywo ac yn diflanu ymaith: *dihoenodd pobl feilchion y ddaear*—trwy y caledi ag oedd arnynt, a rhag ofn drygfyd mwy fyth.

Adn. 5. *Y ddaear hefyd a halogwyd*] Gan ddrygioni ei phreswylwyr: *canys troseddasant y cyfreithiau*—a roddasai Duw iddynt yn foesol a gwladol; *newidiasant y deddfau*—neu yr ordinhadau crefyddol perthynol i'r addoliad dwyfol; *diddymasant y cyfammod tragwyddol*—a wnaed gan Dduw âg Abraham a'i had, i fod byth mewn grym. Ymddengys yn eglur oddiyma mai gwlad Israel a Juda a feddylir yn y bennod hon, canys nid oedd Duw y pryd hyny wedi rhoddi ei gyfreithiau a'i ddeddfau i un genedl arall, nac wedi ymgyfammodi â hwynt.

Adn. 6. *Am hyny melldith a ysodd y tir*] Fel tân difaol; *a'r rhai oedd yn trigo ynddo a anrheithiwyd*—gan eu gelynion: *am hyny preswylwyr y tir a losgwyd*—a 'ddinystriwyd' dan effeithiau y felldith hòno; neu, yn ol y LXX, 'a wnaed yn dylodion;' *ac ychydig ddynion a adawyd*—yn fyw yn y wlad. Yr oedd hyn yn llythyrenol wir ar ol i fyddin Nebuchodonosor ymosod ar Judea, 2 Bren. xxix. 14, &c.

7 Galarodd y gwin, llesgaodd y
winwydden, y rhai llawen galon oll
a riddfanasant.
8 Darfu llawenydd y tympanau,
peidiodd trwst y gorfoleddwyr, dar-
fu hyfrydwch y delyn.
9 Nid yfant win dan ganu;
chwerw fydd diod gref i'r rhai a'i
hyfant.
10 Drylliwyd y ddinas wagedd;
cauwyd pob tŷ, fel na ddeler i mewn.
11 *Y mae* llefain am win yn yr
heolydd; tywyllodd pob llawenydd,
hyfrydwch y tir a fudodd ymaith.
12 Yn y ddinas y gadawyd
annghyfaneddrwydd, âg anrhaith
hefyd y dryllir y porth.
13 ¶ Oblegid bydd o fewn y tir,
yn nghanol y bobloedd, megys ys-
gydwad olewwydden, *ac* fel grawn
lloffa pan ddarffo cynauaf y gwin.
14 Hwy a ddyrchafant eu llef, *ac*
a ganant; o herwydd godidog-
rwydd yr Arglwydd, bloeddiant o'r
môr.
15 Am hyny gogoneddwch yr
Arglwydd yn y dyffrynoedd, enw
Arglwydd Dduw Israel yn ynysoedd
y môr.
16 ¶ O eithafoedd y ddaear y
clywsom ganiadau, *sef* gogoniant i'r
cyfiawn. A dywedais, O fy nghulni,
O fy nghulni! gwae fi! y rhai an-
ffyddlon a wnaethant yn anffydd-
lon, ïe, gwnaeth yr anffyddlon o'r
fath anffyddlonaf.

---

Adn. 7. *Galarodd y gwin*] Am nad oedd neb i'w yfed; *llesgaodd y winwydden*—am nad oedd neb i'w gwrteithio. Hon sydd iaith farddonol brydferth. *Y rhai llawen galon oll a riddfanasant*—yn yr olwg ar y fath annghyfanedd-dra.

Adn. 8. *Darfu llawenydd y tympanau, &c.*] Sef y llawenydd, a'r gorfoledd, a'r hyfrydwch a arferent fod yn eu gwleddoedd, eu cyfeddach, a'u dawnsiau.

Adn. 9. *Nid yfant win dan ganu*] Am fod gofidiau blin wedi eu dal: *chwerw fydd diod gref i'r rhai a'i hyfant*—hyny yw, ni chânt felysder a hyfrydwch wrth ei hyfed, o herwydd y trallod a ddaethai arnynt: gwel ar pen. v. 11, 12.

Adn. 10. *Drylliwyd y ddinas wagedd*] Sef Jerusalem, yr hon a fuasai yn llawn o wagedd a phob rhyw annhrefn: *cauwyd pob tŷ, fel na ddeler i mewn*—rhag i'r gelynion ddyfod i mewn; neu am fod y trigolion wedi eu caethgludo, neu wedi ffoi, neu wedi marw trwy y cleddyf, yr haint, neu y newyn.

Adn. 11. *Y mae llefain am win yn yr heolydd*] I ddadebru eu hysbrydoedd, neu i esmwythâu eu gofid; *tywyllodd pob llawenydd*—neu 'darfu pob llawenydd,' a daeth nos ddû o alar a gofid yn ei le: *hyfrydwch y tir a fudodd ymaith*—darfu pob peth oedd â thuedd ynddo i wneyd dynion yn hyfryd a llawen.

Adn. 12. *Yn y ddinas y gadawyd annghyfaneddrwydd*] Yn lle trigolion dedwydd; *ag anrhaith hefyd y dryllir y porth*—neu 'â dinystr,' fel ag y gall unrhyw elyn ddyfod i'r ddinas pan y myno.

Adn. 13. *Oblegid bydd o fewn y tir, &c.*] Ar ol i'r dinystr uchod syrthio ar y dinasoedd; *megys ysgydwad olewwydden, &c.*—y meddwl yw, y byddai i ychydig ddynion gael eu gadael ar ol yn y wlad, fel y mae rhai o'r ffrwythau yn aros ar y prenau ar ol eu hysgwyd i gael y ffrwythau i lawr: gwel ar pen. xvii. 5, 6.

Adn. 14. *Hwy a ddyrchafant eu llef, ac a ganant*] Byddai i'r gweddill hyny ddyrchafu eu llef mewn diolchgarwch i Dduw, a chanu am ei ddaioni iddynt: *o herwydd godidogrwydd yr Arglwydd*—neu ei waredigaeth odidog ef iddynt, *bloeddiant o'r môr*—o ynysoedd a glanau Môr-y-canoldir, lle y ffoisent am ddiogelwch.

Adn. 15. *Am hyny gogoneddwch yr Arglwydd*] Sef am ei ryfedd waredigaeth iddynt. Y rhai hyn ydynt eiriau y proffwyd yn eu cymhell hwy i ganu mawl i'r Arglwydd, neu eiriau y gweddill achubedig yn annog eu gilydd i hyny. *Yn y dyffrynoedd*—lle yr oeddynt yn wasgaredig; neu, yn ol y Saesonaeg, 'yn y *tânau*,' neu brofedigaethau tanllyd; neu, yn ol y LXX, 'yn yr *ynysoedd*,' i'r rhai y ffoisent, adn. 14; ac, yn ol ereill, 'yn y *goleuni*.' *Enw Arglwydd Dduw Israel yn ynysoedd y môr*—sef ar hyd glanau ac ynysoedd Môr-y-canoldir, adn. 14.

Adn. 16. *O eithafoedd y ddaear*] Sef o wledydd ereill tufaes i Palestina; *y clywsom ganiadau*—o lawenydd a moliant; *sef gogoniant i'r cyfiawn*—y mae y geiriau hyn yn cael eu deall mewn tair ffordd: (1) Canu clodydd dynion cyfiawn, y rhai gynt a ddirmygid, ond yn awr a anrhydeddid. (2) Caniadau o ogoniant i Jehofa, yn dyfod oddiwrth y Cenhedloedd, neu oddiwrth yr Iuddewon yn eu gwledydd hwy. (3) Caniadau o fawl a gogoniant i'r Messia, yr hwn yn fynych a elwir y 'Cyfiawn.' *A dywedais*—pan glywais y caniadau hyfryd hyny, yn yr ystyriaeth o drallod fy ngwlad; *O fy nghulni, O fy nghulni! gwae fi!*—fel pe dywedasai, Y mae fy nghnawd yn curio ymaith gan ofid o herwydd creulonderau y gelynion! *Y rhai anffyddlon a wnaethant yn anffyddlon*—tybia rhai ei fod ef yma yn cyfeirio at fyddin Nebuchodonosor, neu ryw elynion estronol ereill, y rhai a ddibrisient gyfammodau a deddfau, ac a ddygent eu hamcanion eu hunain oddiamgylch trwy hoced, ystryw, a thwyll; a thybia ereill ei fod yn cyfeirio at wrthnysigrwydd yr Iuddewon yn nyddiau y Messia. *Ie, gwnaeth yr anffyddlon o'r fath anffyddlonaf*—efe a chwanega y geiriau hyn i ddanges echryslonrwydd eu

17 Dychryn, a ffos, a magl *fydd* arnat ti, breswylydd y ddaear.

18 A'r hwn a ffy rhag trwst y dychryn, a syrth yn y ffos; a'r hwn a gyfodo o ganol y ffos, a ddelir yn y fagl: o herwydd ffenestri o'r uchelder a agorwyd, a seiliau y ddaear sydd yn crynu.

19 Gan ddryllio yr ymddrylliodd y ddaear, gan rwygo yr ymrwygodd y ddaear, gan symud yr ymsymudodd y ddaear.

20 Y ddaear gan symud a ymsymud fel meddwyn, ac a ymsigla megys bwth: a'i chamwedd fydd trwm arni; a hi a syrth, ac ni chyfyd mwy.

21 Yr amser hwnw yr ymwel yr Arglwydd â llu yr uchel, *yr hwn sydd* yn yr uchelder, ac â brenhinoedd y ddaear ar y ddaear.

---

gweithred, ac mor ddwys y teimlai efe yn ngwyneb hyny. Y mae *Boothroyd* yn cyfieithu diwedd yr adnod hon fel hyn: 'Och fy adfyd, fy adfyd! Gwae fi! Y mae yr anrheithwyr eto yn anrheithio; ïe, y mae yr anrheithwyr yn anrheithio yn barhaus.' Tybia rhai fod y proffwyd yma yn personoli Jerusalem, a'r rhai a adewsid ar ol o drigolion Judea: fel pe dywedasai, Ni ddarfu i'r caniadau a glywsom o wledydd ereill ddim ond peri i'r difrod o'n hamgylch ni fod yn fwy teimladwy a gofidus. Y caniadau hyny oddidraw a alwent i'n cof addoliadau edmygol y deml, a dedwyddwch yr amser a aeth heibio; ac a barent i bob un o'r rhai a adewsid ar ol, ac a fuont yn dystion o'r difrodiadau, waeddi allan, 'O fy nghulni, O fy nghulni!' Y mae colli cnawd yn arwydd cyffredin o dylodi, eisiau, a thrueni, yr un modd ag y mae cystudd yn treulio ymaith y cnawd a'r nerth: gwel ar Salm cii. 5, a cix. 24. Ond y mae ereill, fel y nodwyd uchod, yn cymhwyso y geiriau hyn at amser y Messia: fel pe dywedasai y proffwyd, '*Gwae fi!*—yr wyf yn treulio ymaith gan ofid, nid am fod y *Cenhedloedd* yn canu gogoniant i'r Cyfiawn, ond am fod yr *Iuddewon anffyddlon*, fy nghenedl fy hun, y rhai a fuont lawer gwaith o'r blaen yn anffyddon i Dduw, wedi gwneuthur yn awr o'r fath *anffyddlonaf*, trwy wrthod y Cyfiawn, a mynu ei groeshoelio ef; yr hyn a barodd i Dduw eu gwrthod hwythau, a dwyn y Cenhedloedd i'r eglwys yn eu lle, i ganu ei ogoniant ef yn eithafoedd y ddaear.' Y mae y doctoriaid Iuddewig eu hunain yn dywedyd fod yma gyfeiriad at anffyddlondeb rhai o'r Iuddewon yn amser y Messia. Fel hyn yr oedd yn dra naturiol i'r proffwyd deimlo yn ddwys yn achos ei genedl ei hun, wrth ragweled, trwy ddwyfol ysbrydoliaeth, y byddai iddynt hwy wrthod y Messia, ac felly ddwyn dinystr ar eu penau eu hunain trwy offerynoliaeth y Rhufeiniaid.

Adn. 17. *Dychryn, a ffos, a magl, &c.*] Cyfeirir yma at y gwahanol foddau o ddala anifeiliaid gwylltion. Yr oedd yr helwyr yn eu *dychrynu* hwynt rywfodd, i beri iddynt redeg; yn eu rhediad syrthient i *ffos*, neu bydew gorchuddiedig â brigau deiliog neu dyweirch; ac os diangent rhag hòno, yr oedd *magl* mewn lle arall yn barod i gau am danynt: gwel ar Job xli. 1. Y meddwl yw, na fyddai preswylwyr Canaan yn ddiogel mewn un man rhag barn Duw; ac, os diangent hwy rhag un perygl, y syrthient yn ebrwydd i un arall: gwel ar Jer. xlviii. 43, Amos v. 19.

Adn. 18. *A'r hwn a ffy rhag trwst y dychryn, &c.*] Gwel ar adn. 17. *O herwydd ffenestri o'r uchelder a agorwyd, &c.*—cyfeirir yma at agoriad ffenestri y nefoedd, a rhwygiad ffynnonau y dyfnder mawr, yn amser y dylif, Gen. vii. 11; a chyffelybir y dinystr a syrthiai arnynt hwy, i'r un a ddisgynodd ar breswylwyr yr hen fyd.

Adn. 19. *Gan ddryllio yr ymddrylliodd y ddaear, &c.*] Dywedir hyn mewn cyfeiriad fyth at rwygiad y ddaear yn amser y dylif, yr hyn ond odid a effeithiwyd trwy ddaeargryn; ac fe'i hadroddir deirgwaith, i ddangos arswydolrwydd a sicrwydd y barnau hyn, ac i ddihuno yr Iuddewon hwyrdrwm i deimlad o'u perygl.

Adn. 20. *Y ddaear gan symud a ymsymud fel meddwyn*] Yn ol ac yn mlaen, yn yr aflywodraeth mwyaf; *ac a ymsigla megys bwth*—neu luestty mewn gwinllan, yr hwn a siglir gan y gwynt, neu a symudir yn hawdd o'i le: gwel ar pen. i. 8. Yr oedd y rhai hyn yn cael eu gwneuthur weithiau fel pabell, a phryd arall crogid cynfas rhwng dwy gangen, fel y gallai y gwyliwr ynddi fod allan o gyraedd bwystfilod. Meddylir fod yma gyfeiriad at sigliad Canaan gan ryfeloedd, anrheithiadau, a barnedigaethau ereill, fel ag i ddymchwelyd yr eglwys a'r wladwriaeth yno. *A'i chamwedd fydd trwm arni*—fel llwyth trwm yn gorwedd ar fwthyn, dan yr hwn ei llethir. *A hi a syrth, ac ni chyfyd mwy*—i'w chyflwr blaenorol; neu ni chyfyd hyd y dyddiau diweddaf, pryd y creda yr Iuddewon yn y Messia a groeshoeliasent.

Adn. 21. *Yr amser hwnw*] Meddylir fod hyn yn cyfeirio at amser caethiwed Babilon, neu amser dinystr a gwasgariad yr Iuddewon gan y Rhufeiniaid; *yr ymwel yr Arglwydd â llu yr uchel*—sef â'r llywodraethwyr eglwysig fe allai; *yr hwn sydd yn yr uchelder*—neu mewn awdurdod uchel yn yr eglwys Iuddewig: *ac â brenhinoedd y ddaear ar y ddaear*—y rhai sydd yn uchel mewn awdurdod gwladol. Ond y mae rhai, megys *Jerome*, yn cymhwyso yr adnodau hyn at *ddydd y farn*, gan feddwl fod 'llu yr uchel' yn golygu yr haul a'r lloer a'r ser, gwrthddrychau addoliad llaweroedd. Tybia *Aben Ezra* eu bod yn meddwl yr angylion da; a *Rosenmuller*, eu bod i'w deall am yr ysbrydion drwg; tra y barna ereill eu bod yn golygu Anghrist a'i bleidwyr galluog. Eithr y dyb flaenaf yw y fwyaf naturiol.

22 A chesglir hwynt *fel* y cesglir
carcharorion mewn daeardy, a hwy
a garcherir mewn carchar, ac yn
mhen llawer o ddyddiau yr ymwelir
â hwynt.
23 Yna y lleuad a wrida, a'r haul
a gywilyddia, pan deyrnaso Ar-
glwydd y lluoedd yn mynydd Seion
ac yn Jerusalem, ac o flaen ei hen-
uriaid *mewn* gogoniant.

## PENNOD XXV.

O ARGLWYDD, fy Nuw *ydwyt;*
dyrchafaf di, moliannaf dy enw;
canys gwnaethost ryfeddodau: *dy*
gynghorion er ys talm *sydd* wirion-
edd *a* sicrwydd.
2 Canys gosodaist ddinas yn ben-
twr, *a* thref gadarn yn garnedd;
palas dyeithriaid, fel na byddo
ddinas; nid adeiledir hi byth.
3 Am hyny pobl nerthol a'th
ogonedda, dinas y cenhedloedd ofn-
adwy a'th arswyda:
4 Canys buost nerth i'r tylawd, a
chadernid i'r anghenog yn ei gyf-
yngder, yn nodded rhag tymhestl,
yn gysgod rhag gwres, pan *oedd*
gwynt y cedyrn fel tymhestl *yn er-
byn* mur.
5 Fel gwres mewn sychder y

---

Adn. 22. *A chesglir hwynt fel y cesglir carcharorion mewn daeardy*] I'r dyben i'w cospi; *a hwy a garcherir mewn carchar*—fe allai nad yw hyn i'w ddeall yn llythyrenol, ond ei fod yn arwyddo y byddent mor sicr a diogel a phe buasent mewn carchar. Gall mai at gaethiwed Babilon y cyfeirir yma, neu at gyflwr moesol yr Iuddewon yn ein dyddiau ni. *Ac yn mhen llawer o ddyddiau*—ar ol iddynt fod 70 mlynedd yn nghaethiwed Babilon, neu ar ol iddynt gael eu cau mewn annghredin-iaeth dros hir amser am wrthod a chroeshoelio y Messia; *yr ymwelir â hwynt*—i drugarhau wrthynt, a'u gwaredu. Ond tybia rhai mai ymweled â hwynt mewn ffordd o *gosp* a fedd-ylir; a'r darlleniad ar ymyl y ddalen yw, 'y ceir hwynt yn ddiffygiol.'

Adn. 23. *Yna y lleuad a wrida*] Sef y bobl gyffredin fe allai; *a'r haul a gywilyddia*—sef y llywodraethwyr a'r penaethiaid mewn gwlad ac eglwys. Os deallir y geiriau hyn fel yn cyfeirio at ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, y meddwl yw, y byddai i bob gradd wrido a chywilyddio am eu heilunaddoliaeth a'u drygioni, yr hyn a fu yn achos o'u caeth-iwed; neu os deallir hwynt am adferiad yr Iuddewon yn nyddiau y Messia, gall mai yr ystyr yw, y byddai i bob gradd gywilyddio am wrthod o honynt Grist a'i efengyl. *Pan deyrn-aso Arglwydd y lluoedd yn mynydd Seion ac yn Jerusalem*—cyfeiria hyn naill ai at wasan-aeth yr ail deml yn Jerusalem ar ol y caeth-iwed; neu ynte, fel y mae yn debycaf, at deyrnasiad ysbrydol Crist yn ei eglwys yn y dyddiau diweddaf, yr hyn a ddechreuodd yn Jerusalem, ac a ledaena fwyfwy yn barhaus nes ymestyn dros yr holl fyd. *Ac o flaen ei henuriaid*—sef gweinidogion ei eglwys; *mewn gogoniant*—neu mewn modd gogoneddus. Ond y mae rhai yn ei ddeall am ogoniant tragwydd-ol y nef.

PEN. XXV. Adn. 1. *O Arglwydd, fy Nuw ydwyt*] Fy Nuw cyfammodol; fy Nghyfaill, fy Nhad, a'm rhan. Y mae y proffwyd yma yn llefaru yn enw yr holl eg-lwys, a phob gwir aelod ynddi. *Dyrchafaf di*—mewn geiriau gweddi neu ganmoliaeth; *moliannaf dy enw*—ar gân. Y rhai hyn yd-ynt ymadroddion yn tarddu oddiar deimlad dwfn a diolchgar o ddaioni Duw. *Canys gwnaethost ryfeddodau*—o blaid dy bobl, ac yn erbyn dy elynion, a hyny yn fynych yn mhob oes. *Dy gynghorion er ys talm*—y rhai a ffurfiwyd yn nhragwyddoldeb, ac a ddat-guddiwyd er's hir amser trwy dy broffwydi; *sydd wirionedd a sicrwydd*—y maent oll yn gadarn a diysgog, ac yn sicr o gael eu cyf-lawni oll.

Adn. 2. *Canys gosodaist ddinas yn ben-twr, a thref gadarn yn garnedd*] Tybia rhai mai at ddinystr Babilon y cyfeirir yma, tra y barna ereill y gall fod yma gyfeiriad hefyd at ddinystr unrhyw ddinas elyniaethus, megys Ninefe, Ar Moab, Rhufain, &c. *Palas dy-eithriaid*—neu brifddinas y Cenhedloedd dy-eithr a balch; *fel na byddo ddinas*—eithr pentwr o adfeilion. *Nid adeiledir hi byth*—gwel ar pen. xiii. 19—22.

Adn. 3. *Am hyny pobl nerthol a'th ogon-edda*] Sef y cenhedloedd amgylchynol; *dinas y cenhedloedd ofnadwy*—sef yr holl ddinas-oedd oddiamgylch, y rhai a berthynent i elyn-ion creulon Duw a'i bobl; *a'th arswyda*—a arswydant rhagot, wrth weled dy allu yn cael ei amlygu yn ninystr Babilon, neu ryw ddinas falch arall, a rhag ofn i'r un farn syrthio arnynt hwythau.

Adn. 4. *Canys buost nerth i'r tylawd*] Sef i'r Iuddewon tylodion ac anghenog; *yn ei gyfyngder*—pan yn cael eu bygwth gan eu gelynion: *yn nodded rhag tymhestl, yn gys-god rhag gwres*—gwel ar pen. iv. 6: *pan oedd gwynt y cedyrn fel tymhestl yn erbyn mur*—yn bygwth eu taflu i lawr, fel mur o flaen corwynt. Barna llawer mai at ddinystr Jerusalem gan y Caldeaid y cyfeirir yma; tra y casgla ereill, oddiwrth y nodded a'r cys-god a estynid iddynt gan yr Arglwydd, mai at ymgais aflwyddiannus Senacherib yn erbyn Jerusalem y cyfeirir.

Adn. 5. *Fel gwres mewn sychder*] Neu mewn gwlad sych a phoeth; *y darostyngi dwrf dyeithriaid*—sef bloedd derfysglyd y cenhedloedd paganaidd, neu eu cynddaredd a'u bloddest, yn eu hymgais i ymosod ar dy

darostyngi dwrf dycithriaid; *sef*
gwres â chysgod cwmwl; daros-
tyngir cangen yr ofnadwy.
6 ¶ Ac Arglwydd y lluoedd a
wna i'r holl bobloedd yn y mynydd
hwn wledd o basgedigion, gwledd
o loew-win; *o* basgedigion breision,
*a* gloew-win puredig.
7 Ac efe a ddifa yn y mynydd
hwn y gorchudd sydd yn gorchudd-
io yr holl bobloedd, a'r llen yr hon
a daenwyd ar yr holl genhedloedd.
8 Efe a lwnc angau mewn budd-
ugoliaeth; a'r Arglwydd Dduw a
sych ymaith ddagrau oddiar bob
wyneb: ac efe a dŷn ymaith warth-
rudd ei bobl oddiar yr holl ddaear:
canys yr Arglwydd a'*i* llefarodd.
9 ¶ A'r dydd hwnw y dywedir,
Wele, dyma ein Duw ni; gobeith-
iasom ynddo, ac efe a'n ceidw: dyma
yr Arglwydd; gobeithiasom ynddo,
gorfoleddwn a llawenychwn yn ei
iachawdwriaeth ef.
10 Canys llaw yr Arglwydd a
orphwys yn y mynydd hwn, a Moab
a sethrir tano, fel sathru gwellt
mewn tomen.

---

bobl. Y meddwl yw, Ti a'u darostyngi hwynt mor hawdd ag y darostyngit wres yr haul trwy gysgod cwmwl, neu trwy wlaw yn disgyn o gwmwl tew. *Sef gwres â chysgod cwmwl*—sef fel y darostyngit wres trwy gysgod cwmwl dû a thew. *Darostyngir cangen yr ofnadwy*—wrth y 'gangen' yma y dealla rhai *fraich* neu *allu* y gelynion ofnadwy, fel y mae y gangen yn *fraich* i bren; ac ereill a'i cyfieithant, 'darostyngir eu *cân*,' neu eu bloddest fuddugol. Yr ystyr yw, y gorchfygai Duw holl elynion ei bobl gyda'r hawsder mwyaf.

Adn. 6. *Ac Arglwydd y lluoedd a wna i'r holl bobloedd*] Iuddewon a Chenhedloedd yn ddiwahaniaeth; *yn y mynydd hwn*—sef mynydd Seion, neu yr eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd mynydd Seion yn gysgod; *wledd o basgedigion*—y rhai a elwir yma yn 'basgedigion breision;' *gwledd o loew-win*—yr hwn a elwir yma yn 'loew-win puredig;' neu hen win iliedig, wedi ei buro oddiwrth bob sorod a sothach. Wrth y *gwleddoedd* hyn y meddylir bendithion yr iachawdwriaeth, neu y grasau a'r cysuron ysbrydol hyny a roddir gan Dduw, trwy ordinhadau ei eglwys, i bob gwir aelod o honi; megys dylanwadau ei Ysbryd, maddeuant pechodau, santeiddhad, heddwch â Duw, a llawenydd yn yr Ysbryd Glân.

Adn. 7. *Ac efe a ddifa yn y mynydd hwn*] Sef yn ei eglwys, lle y pregethir yr efengyl yn ei phurdeb a'i heglurder llawn; *y gorchudd sydd yn gorchuddio yr holl bobloedd, &c.*—cyfeirir yma at y gorchudd o dywyllwch, anwybodaeth, coelgrefydd, anfadrwydd, a thrueni, yr hwn oedd fel llen wedi ei thaenu dros Iuddewon a Chenhedloedd: gwel ar 2 Cor. iii. 14, &c. Difäwyd y gorchudd hwn oddiar lawer o'r Iuddewon yn Jerusalem ar ddydd y Pentecost; a gwneir hyny oddiar y Cenhedloedd hefyd yn barhaus, pa le bynag y pregethir Crist a'i efengyl gyda ffyddlondeb.

Adn. 8. *Efe a lwnc angau mewn buddugoliaeth*] Trwy ei ddiddymu neu ei ddinystrio yn llwyr. Cyflawnir hyn yn llawn yn more yr adgyfodiad; canys wedi hyny ni bydd i neb farw mwyach. Y pryd hyny y gwireddir yr ymadrodd yn ei ystyr helaethaf, 'Byddaf angau i ti, O angau; byddaf dranc i ti, y bedd!' Hos. xiii. 14. Mewn un ystyr, 'diddymwyd angau' yn marwolaeth ac adgyfodiad Crist, trwy yr hyn y gosodwyd sail i adgyfodiad cyffredinol, 1 Cor. xv. 22; ac fe'i diddymir hefyd mewn effaith yn mhregethiad athrawiaeth yr adgyfodiad, trwy yr hyn y 'dygir bywyd ac anllygredigaeth i oleuni,' 2 Tim. i. 10: ond yn more yr adgyfodiad yn unig y dinystrir angau yn llwyr, ac y ceir buddugoliaeth gyflawn a thragwyddol arno: gwel ar 1 Cor. xv. 26, 54. *A'r Arglwydd Dduw a sych ymaith ddagrau oddiar bob wyneb*—trwy symud ymaith yr achosion o ddagrau, megys dyoddefiadau, croesau, gofidiau; a thrwy roddi cysur, gorfoledd, a dedwyddwch yn eu lle. Dechreuir hyn ar y ddaear, a pherffeithir ef yn y nef. Dywedai *Burns*, y bardd Albanaidd, nad allai ef byth ddarllen y geiriau hyn heb dywallt dagrau o lawenydd. *Ac efe a dŷn ymaith warthrudd ei bobl oddiar yr holl ddaear*—sef y gwarth a'r dirmyg a deflir arnynt gan eu gelynion yn mhob gwlad. Cyflawnir yr addewid hon yn ystod y milflwyddiant, ac yn enwedig ddydd y farn, ac yn y nef. *Canys yr Arglwydd a'i llefarodd*—ac am hyny gall holl blant erlidiedig Duw ymddibynu ar y cyflawniad o honi.

Adn. 9. *A'r dydd hwnw y dywedir*] Y dywed y saint, mewn gorfoledd santaidd, wrth eu gelynion; *Wele, dyma ein Duw ni*—fel pe y dywedent, Nid yw eich duwiau chwi ddim ond eilunod meirwon; eithr ein Duw ni yw y Duw byw, yr hwn a wnaeth i ni y fath bethau mawrion a rhyfedd. *Gobeithiasom ynddo*—yr ymddanghosai efe yn y cnawd, ac y deuai yn Geidwad i ni; *ac efe a'n ceidw*—yn ol ein dysgwyliad a'n gobaith. *Dyma yr Arglwydd*—Jehofa yw ei enw: *gobeithiasom ynddo*—yn nghanol ein holl brofedigaethau a'n hadfydau; *gorfoleddwn a llawenychwn yn ei iachawdwriaeth ef*—o hyn allan, mewn amser ac yn nhragwyddoldeb.

Adn. 10. *Canys llaw yr Arglwydd a orphwys yn y mynydd hwn*] Bydd i bresenoldeb grasol ac amddiffynol Jehofa aros yn barhaus yn yr eglwys Gristionogol. Ni bydd iddo symud o le i le, fel y gwnai gynt yn y tabernacl; ac ni bydd iddo ymadael yn llwyr, fel y gwnaeth o'r deml yn Jerusalem; eithr bydd iddo barhau yn ei eglwys bob amser hyd ddiwedd y byd, Mat. xxviii. 20. *A Moab a sethrir tano*—trwy fod y Moabiaid gynt yn elynion parhaus i Israel, enwir hwynt yma am

11 Ac efe a estyn ei ddwylaw yn
eu canol hwy, fel yr estyn nofied-
ydd *ei ddwylaw* i nofio; ac efe a
ostwng eu balchder hwynt yn
nghydag yspail eu dwylaw.
12 Felly y gogwydda, y gostwng,
*ac* y bwrw efe i lawr hyd y llwch,
gadernid uchelder dy gaerau.

PENNOD XXVI.

Y DYDD hwnw y cenir y gân hon
yn nhir Juda: Dinas gadarn
*sydd* i ni; *Duw* a esyd iachawdwr-
iaeth *yn* gaerau ac *yn* rhagfur.
2 Agorwch y pyrth, fel y del y
genedl gyfiawn i mewn, yr hon a
geidw wirionedd.
3 Ti a gedwi mewn tangnefedd
heddychol yr hwn sydd â'i feddyl-
fryd *arnat ti;* am ei fod yn ymddir-
ied ynot.
4 Ymddiriedwch yn yr Arglwydd
byth; o herwydd yn yr Arglwydd
Dduw *y mae* cadernid tragwyddol.
5 ¶ Canys efe a ostwng breswyl-
wyr yr uchelder; tref uchel a ost-
wng efe: efe a'i darostwng hi i'r
llawr, ac a'i bwrw hi i'r llwch.
6 Troed a'i sathr hi, *sef* traed y
trueiniaid, *a* chamrau y tylodion.
7 Uniondeb *yw* llwybr y cyfiawn;

---

holl elynion eglwys Dduw yn mhob oes; *fel sathru gwellt mewn tomen*—dan draed dynion ac anifeiliaid. *Lowth* a'i cyfieitha, 'A Moab a ddyrnir yn ei le, fel y dyrnir gwellt dan olwynion y fèn.'

Adn. 11. *Ac efe a estyn ei ddwylaw yn eu canol hwy, &c.*] Hyny yw, bydd i'r Arglwydd estyn ei ddwylaw o bob tu, i ddyfetha gelynion ei eglwys. Ond tybia *Lowth* ac ereill fod hyn i'w ddeall am *Moab*, yr hwn a osodir allan fel yn boddi, ac yn estyn ei ddwylaw fel nofiedydd i geisio achub ei fywyd. *Ac efe a ostwng eu balchder hwynt*—hyn a ddywedir am Dduw, yn gostwng balchder y Moabiaid, pen. xvi. 6; *yn nghydag yspail eu dwylaw*—hyny yw, efe a ddifeddianna y gelynion hyny o'r hyn oll a gymerasent hwy oddiar ei bobl ef.

Adn. 12. *Felly y gogwydda, y gostwng, ac y bwrw efe i lawr hyd y llwch*] Defnyddir yma dri gair bron o'r un ystyr, i osod allan sicrwydd y farn. *Gadernid uchelder dy gaerau*—sef eu hamddiffynfeydd, eu tyrau, a'u dinasoedd caerog a chedyrn; yr hyn a arwydda yma eu balchder hwy, neu bob uchder ag ydoedd yn ymgodi yn eu plith yn erbyn eglwys a phobl Dduw.

PEN. XXVI. Adn. 1. *Y dydd hwnw*] Ag y soniwyd am dano yn y bennod flaenorol. Tybia rhai mai at ddydd gwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon y cyfeirir yma; tra y tybia ereill mai at ddyddiau yr efengyl y cyfeirir. *Y cenir y gân hon yn nhir Juda*—neu yn eglwys Dduw, fel y meddylir yn gyffredin, yr hon a osodir allan yn fynych dan yr enw Juda, Jerusalem, Seion, &c. *Dinas gadarn sydd i ni*—sef y Jerusalem newydd, neu eglwys Dduw, yr hon a gyffelybir yn fynych i ddinas. *Duw a esyd iachawdwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur*—yn lle muriau o gerig. Dywed *Kimchi* fod y gair 'rhagfur' yn cyfeirio at y ffos a fyddai tuallan i furiau y ddinas; a bod y gân hon yn cyfeirio at amser y Messia.

Adn. 2. *Agorwch y pyrth, fel y del y genedl gyfiawn i mewn*] Sef y credinwyr, yn Iuddewon a Chenhedloedd, y rhai a *gyfiawnhawyd* trwy ffydd yn Nghrist; *yr hon a geidw wirionedd*—yr hon sydd yn gywir a diysgog yn y broffes a'r ymarferiad o'r wir grefydd. Tybia *Barnes* mai yr Iuddewon a feddylir yma, y rhai nad oeddynt wedi gwrthgilio oddiwrth eu crefydd yn ystod eu caethiwed. Ond yr oedd pyrth Jerusalem oll wedi eu dinystrio pryd yr oedd yr Iuddewon yn dychwelyd o Babilon. Meddylir fod gwahanol bleidiau yn canu y gân hon bob yn ail, gan ateb eu gilydd.

Adn. 3. *Ti a gedwi mewn tangnefedd heddychol*] Hebr., 'mewn tangnefedd, tangnefedd;' Saes., 'mewn tangnefedd perffaith;' hyny yw, yn y tangnefedd mwyaf, neu mewn tangnefedd ar dangnefedd; sef mewn tangnefedd â Duw, ac mewn tangnefedd cydwybod. *Yr hwn sydd â'i feddylfryd arnat ti*—yr hwn sydd wedi gosod ei feddwl a'i serch arnat trwy ffydd; neu yn 'ymddiried' ynot, fel ei heglurir yn y geiriau nesaf. *Am ei fod yn ymddiried ynot*—sef am ei fod yn credu ynot, ac wedi rhoddi ei serch arnat: gwel ar Salm xci. 14.

Adn. 4. *Ymddiriedwch yn yr Arglwydd byth*] Bob amser, a than bob amgylchiad; *o herwydd yn yr Arglwydd Dduw y mae cadernid tragwyddol*—Hebr., 'craig yr oesoedd,' i gynal pawb a ymddiriedant ynddo ef.

Adn. 5. *Canys efe a ostwng breswylwyr yr uchelder*] Dynion uchel eu meddwl, neu uchel mewn swyddau: *tref uchel a ostwng efe*—fe allai ei fod yn cyfeirio yma at holl ddinasoedd ei elynion, y rhai a ddinystrir ganddo, megys y gwnaeth, neu y gwnai, â Babilon, Jerusalem, Rhufain, &c. Ond tybia rhai mai Rhufain Babaidd, neu Anghrist, a feddylir yma. *Efe a'i darostwng hi i'r llawr, ac a'i bwrw hi i'r llwch*—sef i'r iselder a'r gwarth mwyaf.

Adn. 6. *Troed a'i sathr hi, &c.*] Bydd i Dduw ei darostwng hi dan draed ei drueiniaid, neu ei bobl dylodion, y rhai gynt a ddirmygid ganddi; ac am hyny, fel pe dywedasai, y mae genych reswm cryf dros ymddiried yn Nuw, adn. 3, 4.

Adn. 7. *Uniondeb yw llwybr y cyfiawn*] Ar hyd yr hwn yr ymdrechant gerdded; tra

tydi yr uniawn wyt yn pwyso ffordd
y cyfiawn.
8 *Ar* lwybr dy farnedigaethau hef-
yd y'th ddysgwyliasom, Arglwydd;
dymuniad *ein* henaid *sydd* at dy enw,
ac at dy goffadwriaeth.
9 A'm henaid y'th ddymunais liw
nos; â'm hysbryd hefyd o'm mewn
y'th fore-geisiaf: canys preswylwyr
y byd a ddysgant gyfiawnder, pan
*fyddo* dy farnedigaethau ar y
ddaear.
10 Gwneler cymwynas i'r annuw-
iol, *eto* ni ddysg efe gyfiawnder;
yn nhir uniondeb y gwna ar gam,
ac ni wel uchelder yr Arglwydd.
11 Ni welant, Arglwydd, *pan*
ddyrchafer dy law: *eithr* cânt wel-
ed, a chywilyddiant am *eu* heiddig-
edd *wrth* y bobl; ïe, tân dy elynion
a'u hysa hwynt.
12 ¶ Arglwydd, ti a drefni i ni
heddwch: canys ti hefyd a wnaeth-
ost ein holl weithredoedd ynom
ni.
13 O Arglwydd ein Duw, ar-
glwyddi *ereill* heb dy law di a ar-
glwyddiaethasant arnom ni; yn
unig trwyot ti y coffawn dy enw.
14 Meirw *ydynt*, ni byddant fyw;

---

y mae llwybrau y drygionus yn geimion a thwyllodrus. *Tydi yr uniawn*—sef y Duw uniawn a chywir; *wyt yn pwyso ffordd y cyfiawn*—wyt yn canfod yr anhawsderau a'r peryglon sydd ar eu ffordd, ac a roddi ras iddynt i'w cherdded heb ŵyro na thramgwyddo: neu, 'wyt yn gwneyd eu ffordd yn uniawn a gwastad.'

Adn. 8. *Ar lwybr dy farnedigaethau hefyd*] Sef ar lwybr dy ordinhadau a'th orchymynion; *y'th ddysgwyliasom, Arglwydd*—lle yr wyt yn arferol o'th ddatguddio dy hun i'r rhai a ddysgwyliant wrthyt: *dymuniad ein henaid sydd at dy enw, &c.*—sydd at ddyrchafu dy enw a'th goffadwriaeth ar y ddaear. Ond wrth y *barnedigaethau* uchod y dealla rhai *gerydd-on* Duw; ac felly y meddwl ond odid yw, Nid ymddyeithrodd ein serchiadau oddiwrthyt dan dy *geryddon*, ond yr oeddym yn barhaus yn dysgwyl dy wenau, ac yn dymuno dy bresenoldeb a'th ffafr; ac yr ydym yn ymgysuro yn y goffadwriaeth o'r hyn ydwyt, ac a addewaist fod i'th bobl.

Adn. 9. *A'm henaid y'th ddymunais liw nos*] Yn fy ngorweddfa; *â'm hysbryd hefyd o'm mewn*—trwy weddi daer a gwresog, *y'th fore-geisiaf*—y'th geisiaf yn gynar yn y bore. Y meddwl yw, ei fod yn treulio llawer o'r nos a'r dydd i garu Duw, a gweddio arno: gwel ar Salm lxiii. 6. *Canys preswylwyr y byd*—neu ddynion yn gyffredin, *a ddysgant gyfiawnder*—neu a ddylent wneuthur hyny, *pan fyddo dy farnedigaethau ar y ddaear*—canys amcan dy holl geryddon yw dihuno dynion at eu dyledswyddau.

Adn. 10. *Gwneler cymwynas i'r annuwiol*] Megys ei godi o gystudd, ei gadw rhag peryglon, neu ei lwyddo yn y byd, amcan yr hyn yw ei 'dywys ef i edifeirwch,' Rhuf. ii. 4; *eto ni ddysg efe gyfiawnder*—ni thywysir ef i edifeirwch, yn y cyffredin, trwy ddaioni na barnedigaethau Duw. Pa mor galed ac ystyfnig, gan hyny, y rhaid fod yr annuwiol! Yn ngwyneb cymwynasau a daioni Duw, ymfalchïo ac ymgaledu a wna; ac yn ngwyneb barnedigaethau a cheryddon Duw, grwgnach a chablu a wna! *Yn nhir uniondeb y gwna ar gam*—sef yn Nghanaan, neu hyd yn nod yn yr eglwys, lle y byddo ereill o'i amgylch yn gyfiawn a duwiol, a lle y mae ganddo yntau bob mantais i ddysgu cyfiawnder; *ac ni wel uchelder yr Arglwydd*—ei fawredd, ei allu, ei gariad; neu ni wel y teilyngdod anfeidrol sydd ynddo i gael ei garu ac ufyddhau iddo.

Adn. 11. *Ni welant, Arglwydd, pan ddyrchafer dy law*] I'w taro a'u ceryddu, neu i estyn cymwynasau iddynt; eithr priodolant y cwbl i ail achosion. *Eithr cânt weled*—yn fuan neu yn hwyr, mai dy law di ydyw; *a chywilyddiant am eu heiddigedd wrth y bobl*—Saes., 'am eu *cenfigen* wrth y bobl,' neu am eu gelyniaeth at bobl yr Arglwydd. Ond os gadewir allan y ddau air Italaidd o'r frawddeg hon, sef *eu* ac *wrth*, y rhai nad ydynt yn y wreiddiol, gellir eu darllen, 'a chywilyddiant am eiddigedd y bobl;' hyny yw, eisiau na buasent hwythau yn dangos yr un sel dros Dduw ag a wnaethai y duwiolion. *Ie, tân dy elynion a'u hysa hwynt*—sef y digofaint tanllyd ag yr arferi ei dywallt ar dy elynion ystyfnig a chyndyn. Eithr *Vitringa* a'i cyfieitha, 'Arglwydd, dy law a ddyrchafwyd; ni welant hwy: eithr cânt weled, a chywilyddiant. Dy sel dros dy bobl, ïe tân, a ysa dy elynion.'

Adn. 12. *Arglwydd, ti a drefni i ni heddwch*] Yn lle tân dy ddigofaint hwnw: *canys ti hefyd a wnaethost ein holl weithredoedd ynom ni*—y mae ein holl weithredoedd da i'w priodoli i ti, yr hwn a 'weithiaist ynom ewyllysio a gweithredu,' Phil. ii. 13. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, 'Gan mai ti a wnaethost yr holl weithredoedd daionus *erom* ni yn yr amser a aeth heibio, bydd i ti yn barhaus ein gwaredu ni, a threfnu i ni heddwch.'

Adn. 13. *O Arglwydd ein Duw*] Ein Duw cyfammodol, gan yr hwn yn unig y mae hawl i'n llywodraethu; *arglwyddi ereill heb dy law di*—megys y Philistiaid, yr Assyriaid, a'r Caldeaid; *a arglwyddiaethasant arnom ni*—yn galed a chreulon. *Yn unig trwyot ti*—trwy dy gymhorth a'th ras, *y coffawn dy enw*—y clodforwn di, ac yr ymddiriedwn ynot; neu, fel y mae *Lowth* ac ereill yn ei gyfieithu, 'Tydi yn unig, a'th enw di, a foliannwn ni o hyn allan.'

Adn. 14. *Meirw ydynt*] Y mae yr arglwyddi creulon hyny wedi eu dyfetha; *ni*

ymadawsant, ni chyfodant; am
hyny y gofwyaist a dyfethaist
hwynt, dinystriaist hefyd bob coffa
am danynt.
15 Ychwanegaist ar y genedl, O
Arglwydd, ychwanegaist ar y gen-
edl; ti a ogoneddwyd; ti a'*i* symud-
aist yn mhell *i* holl gyrau y ddaear.
16 Mewn adfyd, Arglwydd, yr
ymwelsant â thi; tywalltasant weddi
*pan oedd* dy gospedigaeth arnynt.
17 Fel y gofidia *ac* y gwaedda
gwraig feichiog dan ei gwewyr,
*pan* fyddo agos i esgor; felly yr
oeddym o'th flaen di, Arglwydd:
18 Beichiogasom, gofidiasom,
oeddym fel ped esgorem ar wynt;
ni wnaethom ymwared ar y ddaear,
a phreswylwyr y byd ni syrthiasant.
19 Dy feirw a fyddant byw, *fel*
fy nghorff i yr adgyfodant. Deffro-
wch, a chenwch, preswylwyr y
llwch: canys dy wlith *sydd fel*
gwlith llysiau, a'r ddaear a fwrw y
meirw allan.
20 ¶ Dyred, fy mhobl, dos i'th ys-

---

*byddant fyw*—i arglwyddiaethu yn ormesol ar neb mwyach: *ymadawsant*—i'r bedd; *ni chyfodant*—hyd fore yr adgyfodiad cyffredinol. *Am hyny y gofwyaist*—neu yr 'ymwelaist' â hwynt i'w dyfetha, sef fel na fyddai iddynt allu tra-arglwyddiaethu ar neb mwyach. *Dinystriaist hefyd bob coffa am danynt*—fel nad yw hyd yn nod eu henwau ar gael.

Adn. 15. *Ychwanegaist ar y genedl*] Lluosogaist yr Iuddewon ar ol iddynt gael eu gorthrymu felly; neu gall fod hyn yn cyfeirio at luosogiad y credinwyr, adn. 2. *Ti a ogoneddwyd*—yn lluosogiad a gwaredigaeth dy bobl. *Ti a'i symudaist yn mhell i holl gyrau y ddaear*—nes y mae credinwyr i'w cael erbyn hyn yn mhlith yr holl genhedloedd. Ond tybia rhai, fel y nodwyd, fod hyn yn cyfeirio at wasgariad a lluosogiad yr Iuddewon.

Adn. 16. *Mewn adfyd, Arglwydd, yr ymwelsant â thi*] Pan yr oeddit yn eu ceryddu er eu diwygio. Ond y mae y LXX, a dau ysgriflyfr Hebreig, yn ei ddarllen, 'y'th geisiasom di,' &c. *Tywalltasant weddi*—yn helaeth, taer, a difrifol; *pan oedd dy gospedigaeth arnynt*—o herwydd eu pechodau.

Adn. 17. *Fel y gofidia ac y gwaedda gwraig feichiog dan ei gwewyr*] Yr hyn a arwydda y gofid, yr ing, a'r perygl mwyaf; *felly yr oeddym o'th flaen di, Arglwydd*—y fath oedd ein hing a'n perygl ninau dan ein gwewyr am ein pechodau. Tybia rhai mai at galedi yr Iuddewon yn Babilon y cyfeirir yma; ac ereill, mai at weddiau yr eglwys, adn. 16.

Adn. 18. *Beichiogasom, gofidiasom*] Neu daeth ein gwewyr arnom; *oeddym fel ped esgorem ar wynt*—cawsom wewyr a phoenau gwraig yn esgor, ond nid y cysur o gael plentyn byw. Tybia *Michaelis* fod yma gyfeiriad at yr anhwyldeb a elwir *empneumatosis*, pryd y tybia y fenyw a'i meddyg fod beichiogiad wedi cymeryd lle, pan nad yw y cwbl ddim ond chwyddiad y groth gan wynt. Y meddwl yw, nad oedd yr Iuddewon yn cael gwaredigaeth o Babilon fel y dysgwylient; neu, yn hytrach, nad oedd yr eglwys yn cael gwaredigaeth oddiwrth ei gelynion, neu gynydd yn ei haelodau, yn gyfatebol i'w dysgwyliad. *Ni wnaethom ymwared ar y ddaear*—i ereill, neu ni chawsom ymwared; *a phreswylwyr y byd ni syrthiasant*—ni feddem allu i'w darostwng hwynt.

Adn. 19. *Dy feirw a fyddant byw*] Dywedir hyn mewn gwrthgyferbyniad i'r rhai a grybwyllwyd adn. 14; *fel fy nghorff i yr adgyfodant*—nid oes un gair yn cyfateb i *fel* yn y wreiddiol; ac y mae yr holl hen gyfieithiadau yn darllen *corff* yma yn y lluosog. Y *Syriaeg* a'r *Galdeaeg* a ddarllenant y frawddeg hon fel hyn, 'Eu cyrff meirw.' Y *Vulgate*, 'Fy lladdedigion a gyfodant.' A'r LXX, 'Y rhai sydd yn eu beddau a gyfodir.' Rhoddir tri ystyr i'r geiriau hyn: (1) Eu bod yn meddwl adferiad yr Iuddewon o Babilon. (2) Y byddai i'r Cenhedloedd, y rhai sydd yn feirw yn eu pechodau, gael eu bywhau, a'u gwneyd yn rhan o gorff dirgeledig Crist. (3) Fod y proffwyd yma yn llefaru yn mherson Crist, ac yn cysuro yr eglwys dan ei gofidiau âg addewid o adgyfodiad y corff yn y dydd diweddaf. Y mae y dyb ddiweddaf hon yn ymddangos i mi yn dra rhesymol; ac yn gyson â hyn dywed yr apostol, 'Yr hwn a newidia ein corff gwael ni, fel y gwneler ef yr un ffurf â'i gorff gogoneddus ef,' Phil. iii. 21. Y mae *Kimchi* hefyd yn cyfeirio y geiriau hyn at ddyddiau y Messia. Ond pe beth bynag yw ystyr yr adnod hon, y mae un peth yn sicr, sef fod athrawiaeth yr adgyfodiad yn adnabyddus iddynt: gwel ar Job xix. 25. Rhaid fod cyffelybiaeth a ddefnyddir i osod allan neu egluro unrhyw beth, yn gyffelybiaeth a dderbynid ac a ddeallid yn gyffredinol, pe amgen nid atebai y dyben i ba un ei defnyddid. *Deffrowch, a chenwch, preswylwyr y llwch*—yn y rhagolwg o'r hyn sydd yn eich aros. Os yw hyn i'w ddeall fel cyfarchiad i'r meirw yn y *bedd*, y mae yr iaith yn farddonol a phrydferth iawn. *Canys dy wlith*—neu ddylanwad oll-dreiddiol dy 'Brynwr byw,' yr hwn a ddisgyn arnat yn more y farn; *sydd fel gwlith llysiau*—yr hwn a dreiddia trwy y llysiau i'w hadfywio a'u cryfhau. Ond tybia rhai mai wrth Dduw y dywedir hyn. *A'r ddaear a fwrw y meirw allan*—trwy alwad a gallu Duw. Y mae y geiriau diweddaf hyn yn cael eu deall yn wahanol gan lawer. Y LXX a'u cyfieithant, 'Gwlad yr annuwiolion a gwymp, neu a dynir i lawr.' Y *Vulgate*, 'Ti a dyni i ddinystr wlad y cewri.' Y meddwl a gyfleir yma yw, y byddai i'r eglwys orchfygu ei holl wrthwynebwyr, a'u bwrw i lawr.

Adn. 20. *Dyred, fy mhobl, dos i'th ystafelloedd*] Encilia oddiwrth y byd annuwiol,

tafelloedd, a chau dy ddrysau arnat: llecha megys enyd bach, hyd onid elo y llid heibio.
21 Canys wele yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre, i ymweled âg anwiredd preswylwyr y ddaear: a'r ddaear a ddatguddia ei gwaed, ac ni chuddia mwyach ei lladdedigion.

## PENNOD XXVII.

Y DYDD hwnw yr ymwel yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarff hirbraff, ïe â lefiathan y sarff dorchog: ac efe a ladd y ddraig *sydd* yn y môr.
2 Yn y dydd hwnw cenwch iddi, Gwinllan y gwin coch.
3 Myfi yr Arglwydd a'i ceidw; ar *bob* moment y dyfrhaf hi: cadwaf hi nos a dydd, rhag *i neb* ei drygu.
4 Nid *oes* lidiogrwydd ynof: pwy a osodai fieri *a* drain yn fy erbyn mewn rhyfel? myfi a awn trwyddynt, mi a'u llosgwn hwynt yn nghyd.
5 Neu ymafled yn fy nerth i, *fel* y gwnelo heddwch â mi, *ac* efe a wna heddwch â mi.
6 Efe a wna i hiliogaeth Jacob

---

rhag i ti, trwy ymgyfranogi o'u pechodau, fod yn gyfranog hefyd o'u pläau; *a chau dy ddrysau arnat*—i fyfyrio ar y waredigaeth a addawyd uchod, ac i 'weddio ar dy Dad yr hwn a wel yn y dirgel,' Mat. vi. 6. *Llecha megys enyd bach*—meddylir fod yma gyfeiriad at yr hanes yn Exod. ix. 19, 20; neu at yr Israeliaid yn llechu dan arwydd y gwaed, Exod. xii. 22; neu at y gorchymyn a roddwyd i Rahab fel ammod ei chadwraeth, Jos. ii. 19; *hyd onid elo y llid heibio*—yr hwn a nodir yn yr adnod nesaf.

Adn. 21. *Canys wele yr Arglwydd yn dyfod allan o'i fangre*] Fel brenin yn dyfod allan o'i balas i eistedd mewn barn, neu i ymladd yn erbyn ei elynion; *i ymweled âg anwiredd preswylwyr y ddaear*—sef holl elynion Duw a'i bobl; er y tybia rhai mai at y Caldeaid y cyfeirir yma. *A'r ddaear a ddatguddia ei gwaed*—sef y gwaed gwirion a dywalltwyd arni; *ac ni chuddia mwyach ei lladdedigion*—hyny yw, ni bydd yn alluog i'w cuddio. O y fath gyfrif fydd gan lawer o deyrnasoedd y ddaear i'w roddi i Dduw am yr afonydd o waed a dywalltwyd ganddynt mewn trachwant am fwy o awdurdod, neu am eangu eu tiriogaethau! Ond fe allai mai at waed y merthyron y cyfeirir yma.

PEN. XXVII. Adn. 1. *Y dydd hwnw*] A enwyd yn nechre y bennod flaenorol, neu yn ei diwedd hi, adn. 21; *yr ymwel yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn*—sef â rhyw farnedigaethau trymion ac ofnadwy; *â lefiathan y sarff hirbraff*—sef â'r crocodil, yn arwyddo yma, yn ol rhai, frenin yr Aifft; *ïe â lefiathan y sarff dorchog*—sef sarff neu ddraig, yn arwyddo ond odid frenin Assyria; *ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr*—neu y morfil, yn arwyddo yma frenin Arabia, fel y tybia *Vitringa* ac ereill. Ond y mae *Jarchi* yn meddwl mai brenin *Tyrus* a feddylir wrth yr olaf; ac ereill, brenin *Babilon.* Tybia *Kimchi* mai *Gog a Magog* a feddylir yma wrth y creaduriaid hyn, ac ereill mai *Satan.* Gallwn feddwl fod y tri yn nghyd yn arwyddo holl elynion pobl Dduw, yn enwedig, y *Babiloniaid*, y rhai a ddyfethid gan yr Arglwydd â chleddyf ei ddigllonedd.

Adn. 2. *Yn y dydd hwnw*] Ar ol i'r gelynion nerthol hyn gael eu dyfetha; *cenwch iddi*—neu 'am dani,' sef am winllan neu eglwys Dduw. *Gwinllan y gwin coch*—yr hwn a ystyrid y gwin goraf yn ngwlad Judea, Diar. xxiii. 21.

Adn. 3. *Myfi yr Arglwydd a'i ceidw*] A gadwaf fy ngwinllan, neu fy eglwys, rhag ei dyfetha gan ei gelynion: *ar bob moment y dyfrhaf hi*—â dylanwadau bywhaol fy Ysbryd a'm gras: *cadwaf hi nos a dydd, rhag i neb ei drygu*—yr un modd ag y cadwai y gwylwyr eu gwinllanoedd, pen. i. 8.

Adn. 4. *Nid oes lidiogrwydd ynof*] Tuag at fy eglwys, er y bydd i mi oddef iddi gael ei chystuddio er mwyn ei phuro. *Pwy a osodai fieri a drain yn fy erbyn mewn rhyfel?*—hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, pwy a allai rwystro i mi ddial, pe byddai lidiogrwydd ynof? *Myfi a awn trwyddynt*—gyda'r rhwyddineb mwyaf; *mi a'u llosgwn hwynt yn nghyd*—fel sofl ar unwaith. Ond tybia rhai mai gau-broffeswyr neu ragrithwyr yn yr eglwys a olygir wrth y *mieri* a'r *drain* uchod, y rhai a elwir yn yr adnod nesaf i wneuthur heddwch â Duw. Tybia ereill mai gelynion yr eglwys a feddylir, i'r rhai y cynygir ammodau heddwch. Y mae *Lowth*, modd bynag, yn ystyried y rhan gyntaf o'r adnod hon fel geiriau y winllan neu yr eglwys; ac, yn lle *llidiogrwydd*, yn darllen *caer;* gan dybied fod y rhan olaf yn atebiad iddi o eiddo Jehofa, fel hyn: Meddai y WINLLAN, 'Nid oes im' gaer i'm hamddiffyn: O na byddai i mi glawdd o ddrain a mieri!' I hyn y mae JEHOFA yn ateb, 'Yn eu herbyn hwynt y cerddwn i ryfel, mi a'u llosgwn hwynt yn nghyd.'

Adn. 5. *Neu ymafled yn fy nerth i*] Boed i'r rhagrithwyr neu y gelynion hyny droi ataf fi mewn edifeirwch a ffydd; *fel y gwnelo heddwch â mi*—trwy aberth, a hyny yn nydd gras: *ac efe a wna heddwch â mi*—canys yr wyf yn wastad yn barod i gymodi â phechadur edifeiriol, pan y byddo iddo wynebu ataf fi am faddeuant ac iachawdwriaeth.

Adn. 6. *Efe a wna i hiliogaeth Jacob wreiddio*] Fel gwinwydden yn y ddaear; *Israel a flodeua ac a flaendardda*—fel pren ffrwythlon; *a hwy a lanwant wyneb y byd â*

wreiddio; Israel a flodeua ac a
flaendardda; a hwy a lanwant wyneb
y byd â chnwd.
7 ¶ A darawodd efe ef fel y tar-
awodd y rhai a'i tarawsai ef? a
laddwyd ef fel lladdfa ei laddedig-
ion ef?
8 Wrth fesur, pan êl allan, yr
ymddadleu âg ef: y mae yn attal ei
wynt garw ar ddydd dwyreinwynt.
9 Am hyny trwy hyn y glanheir
anwiredd Jacob; a dyma yr holl
ffrwyth, tynu ymaith ei bechod:
pan wnelo efe holl gerig yr allor fel
cerig calch briwedig, ni saif y
llwyni na'r delwau.
10 Eto y ddinas gadarn *fydd*
*unig*, *a'r* annedd wedi ei adael, a'i
wrthod megys yn anialwch: yno y
pawr y llo, ac y gorwedd, ac y difa
ei blagur hi.
11 Pan wywo ei brig hi, hwy a
dorir: gwragedd a ddaw, *ac* a'i
llosgant hi: canys nid pobl ddeall-
gar *ydynt:* am hyny yr hwn a'u
gwnaeth ni throsturia wrthynt, a'r
hwn a'u lluniodd ni thrugarha
wrthynt.
12 ¶ A'r dydd hwnw y bydd i'r
Arglwydd ddyrnu, o ffrwd yr afon
hyd afon yr Aifft: a chwi meibion
Israel a gesglir bob yn un ac un.
13 Ac yn y dydd hwnw yr udgenir
âg udgorn mawr; yna y daw y rhai

---

*chnwd*—fel hyn cynyddodd yr Iuddewon yn ddirfawr ar ol y caethiwed yn Babilon, ac ymledaenasant dros holl amherodraeth Rhufain. Ond fe allai fod hyn i'w ddeall yn benaf am gynydd y credinwyr, sef had ysbrydol Jacob, yn nyddiau yr efengyl.

Adn. 7. *A darawodd efe ef*] A darawodd Duw Israel, *fel y tarawodd y rhai a'i tarawsai ef*—fel y tarawodd Duw elynion Israel? Y mae y cwestiwn yn arwyddo gwadiad o'r peth. *A laddwyd ef fel lladdfa ei laddedigion ef?*—y meddwl yw, na laddodd Duw erioed ei bobl â lladdfa gyffredinol, neu lwyr ddinystr, fel y lladdodd efe y rhai a'u tarawsent hwy; eithr gofalodd bob amser am gadw gweddill o honynt yn fyw.

Adn. 8. *Wrth fesur, pan êl allan, yr ymddadleu âg ef*] Pan âi yr Arglwydd allan i gospi Israel â cheryddon am anwiredd, efe a wnai hyny wrth fesur, neu mewn cymedroldeb, fel tad yn ceryddu ei blentyn er lles iddo, ac nid er dinystr. *Y mae yn attal ei wynt garw*—sef ei lid mwyaf, neu ei farnau trymaf, *ar ddydd dwyreinwynt*—sef yn nydd ei geryddon ar ei bobl.

Adn. 9. *Am hyny trwy hyn y glanheir anwiredd Jacob*] Trwy y ceryddon hyn y dygir Jacob i wir edifeirwch am ei bechod a'i eilunaddoliaeth, ac i afael maddeuant. *A dyma yr holl ffrwyth*—neu yr effaith a fwriedid wrth ei geryddu; *tynu ymaith ei bechod*—yn yr euogrwydd a'r halogrwydd o hono, ac yn ei ganlyniadau: lladd ei bechod, nid ei ladd ef. *Pan wnelo efe holl gerig yr allor*—sef yr allorau a godasent hwy i eilunaddoliaeth; *fel cerig calch briwedig*—hyny yw, pan chwilfriwiai Duw hwynt, neu pan wnai Israel hyny ar ol gweled eu ffolineb; *ni saif y llwyni na'r delwau*—eithr hwythau a dynir i lawr, ac a losgir gyda dirmyg a digofaint. Gall fod yma gyfeiriad neillduol at yr allor a godasai Ahaz yn lle allor Duw, 2 Bren. xvi. 10, &c.; ac fe allai i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn nyddiau Ahaz, pryd yr oedd yr allor hòno yn cael ei defnyddio.

Adn. 10. *Eto y ddinas gadarn fydd unig*] Y mae *Gesenius*, a'r rhan fwyaf o'r esbonwyr, yn meddwl mai JERUSALEM a olygir yma; eithr ereill, megys *Vitringa*, *Rosenmuller*, *Grotius*, *Barnes*, *&c.*, a dybiant mai BABILON a feddylir, am fod y gân hon i gael ei chanu ar ol dychweliad yr Iuddewon o'u caethiwed. *A'r annedd wedi ei adael*—sef pob annedd ynddi, neu ei phalasau ardderchocaf; *a'i wrthod megys yn anialwch*—fel y dywedir am Babilon, pen. xiii. 20—22. *Yno y pawr y llo*—yr hwn a enwir yma am bob anifel neu fwystfil; *ac y gorwedd*—yn dawel, heb neb yno i'w aflonyddu; *ac y difa ei blagur hi*—y rhai a dyfant lle yr oedd y ddinas gadarn gynt yn sefyll.

Adn. 11. *Pan wywo ei brig hi, hwy a dorir*] Y meddwl yw, y byddai i'r ddinas gadarn uchod gael ei gadael gan bawb hyd nes y byddai i goedydd dyfu ynddi, a gwywo, a chwympo i lawr gan eu pwysi eu hunain, neu trwy law y rhai a ddeuent yno i geisio tanwydd. *Gwragedd a ddaw, ac a'i llosgant hi*—enwir y gwragedd, naill ai am fod y gwŷr wedi eu lladd, neu ynte am mai gwaith y gwragedd yn gyffredin oedd cynuta. *Canys nid pobl ddeallgar ydynt*—nid ydynt yn fy adnabod i, nac yn eu hadnabod eu hunain; neu nid ydynt yn adnabod fy ngweithredoedd i, na'r pethau a berthynant i'w heddwch; eithr cauant eu llygaid yn wirfoddol, ac ânt rhagddynt yn anystyriol yn eu pechodau. *Am hyny yr hwn a'u gwnaeth ni thosturia wrthynt*—er fod ei 'drugaredd ar ei holl weithredoedd;' *a'r hwn a'u lluniodd ni thrugarha wrthynt*—fel ag i'w gwaredu oddiwrth y dinystr dychrynllyd, yr hwn y maent yn ei ddwyn arnynt eu hunain.

Adn. 12. *A'r dydd hwnw y bydd i'r Arglwydd ddyrnu*] Neu *gasglu* ei bobl, fel y cesglir y gwenith oddiwrth y gwellt trwy ei ddyrnu; *o ffrwd yr afon hyd afon yr Aifft*—neu o'r Euphrates hyd y Nilus, sef o bob man lle y byddai yr Iuddewon ar wasgar: *a chwi meibion Israel a gesglir bob yn un ac un*—gyda'r gofal mwyaf, heb adael un ar ol, fel y casgla y llafurwr ei ysgubau.

Adn. 13. *Ac yn y dydd hwnw yr udgenir âg udgorn mawr*] Dywedir hyn mewn cyfeir-

ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria, a'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aifft, ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd santaidd yn Jerusalem.

## PENNOD XXVIII.

GWAE goron balchder, meddwon Ephraim; yr hwn *y mae* ardderchogrwydd ei ogoniant yn flodeuyn diflanedig, yr hwn *sydd* ar ben y dyffrynoedd breision, y rhai a orchfygwyd gan win.
2 Wele, un grymus a nerthol sydd gan yr Arglwydd, fel tymhestl cenllusg, *neu* gorwynt dinystriol, fel llifeiriant dyfroedd mawrion yn llifo trosodd, yr hwn a fwrw i lawr â llaw.
3 Dan draed y sethrir coron balchder, meddwon Ephraim.
4 Ac ardderchogrwydd ei ogoniant, yr hwn *sydd* ar ben y dyffryn bras, fydd blodeuyn diflanedig, megys ffigysen gynar cyn yr haf, yr hon *pan* welo yr hwn a edrycho arni, efe a'i llwnc hi, a hi eto yn ei llaw.
5 ¶ Yn y dydd hwnw y bydd Arglwydd y lluoedd yn goron ardderchogrwydd, ac yn goron gogoniant i weddill ei bobl;
6 Ac yn ysbryd barn i'r hwn a eisteddo ar farn, ac yn gadernid *i'r* rhai a ddychwelant y rhyfel i'r porth.
7 Ac er hyny hwy a gyfeiliornasant trwy win, ac a amryfusasant trwy ddiod gadarn: yr offeiriad a'r proff-

---

iad at yr arferiad o gynull Israel yn nghyd trwy udganiad udgorn, Num. x. 2, 3. Tybia rhai mai at gyhoeddiad Cyrus y cyfeirir yma, Ezra i. 1; neu at ryw weithred ragluniaethol o eiddo Duw. *Yna y daw y rhai ar ddarfod am danynt yn nhir Assyria*—lle y cludesid y deg llwyth, a lle yr oeddynt yn y cyflwr mwyaf gresynol a darfodedig. Neu, trwy fod Assyria yn gwneyd i fyny ran fawr o amherodraeth y Caldeaid, gall fod yr enw *Assyria* yn cael ei roddi yma i'r wlad hòno yn gyffredinol. *A'r rhai a wasgarwyd yn nhir yr Aifft*—lle yr oedd amrai o'r Iuddewon y pryd hyn, pen. xix. 18, &c. *Ac a addolant yr Arglwydd yn y mynydd santaidd yn Jerusalem*—ar ol iddynt ailadeiladu y ddinas a'r deml. Ymddengys i'r broffwydoliaeth hon gael ei chyflawniad cyntaf yn adferiad yr Iuddewon o Babilon; a chyflawnir hi yn mhellach yn eu dychweliad hwy i eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf, i'r hon y cesglir hwy yn nghyd trwy udganiad udgorn mawr yr efengyl.

PEN. XXVIII. Adn. 1. *Gwae goron balchder, meddwon Ephraim*] Hyny yw, gwae brifddinas falch y deg llwyth, a gwae ei thrigolion meddw. Wrth *goron balchder* y meddylir dinas Samaria; a gelwir hi felly am ei bod yn sefyll ar fryn yn nghanol dyffryn bras, yr hwn a amgylchid fel coron gan fryniau ereill; neu ynte, am yr arferai y meddwon yno wisgo coron o flodau yn eu gwleddoedd a'u cyfeddach, *Doeth.* ii. 7, 8. *Yr hwn y mae ardderchogrwydd ei ogoniant yn flodeuyn diflanedig*—yr hon y bydd i'w gogoniant a'i mawredd wywo yn fuan, yr un modd a'r coronau o flodau a wisgid gan Ephraim uwchben eu cwpanau meddwol. *Yr hwn sydd ar ben y dyffrynoedd breision*—yr oedd dinas Samaria, fel y nodwyd, yn sefyll ar ben bryn yn nghanol dyffrynoedd breision. *Y rhai a orchfygwyd gan win*—yr oedd gwŷr Ephraim yn dra chwannog i'r pechod o feddwdod, trwy fod amledd o win yn cael ei wneuthur yn eu gwlad hwy: gwel Hos. vii. 5, Amos vi. 6.

Adn. 2. *Wele, un grymus a nerthol sydd gan yr Arglwydd*] Sef Salmaneser brenin Assyria; *fel tymhestl cenllusg, neu gorwynt dinystriol*—yn difrodi ac yn bwrw i lawr y cwbl o'i flaen; *fel llifeiriant dyfroedd mawrion*—yn gorlifo dros y wlad; *yr hwn a fwrw i lawr â llaw*—â grym mawr; neu â llaw Duw, yr hwn a'i cynorthwyai ef yn ei waith: gwel ar 2 Bren. xvii. 3, &c.

Adn. 3. *Dan draed*] Sef dan draed yr Assyriaid, *y sethrir coron balchder, &c.*—gwel ar adn. 1.

Adn. 4. *Ac ardderchogrwydd ei ogoniant, &c.*] Gwel ar adn. 1; *fydd blodeuyn diflanedig*—a wywa fel y goron flodau uchod. *Megys ffigysen gynar cyn yr haf, &c.*—cyn i'r lleill fod yn addfed; yr hon, cyn gynted ag y gwelo dyn hi, a dỳn efe oddiar y pren, ac a lyncir ganddo yn awyddus cyn gynted ag y caffo hi i'w law. Amcan y gyffelybiaeth yw dangos yr hawsder â pha un y byddai i'r Assyriaid gymeryd y ddinas a'r deyrnas, a'r awydd â pha un y cipient yr anrhaith o'i mewn.

Adn. 5. *Yn y dydd hwnw*] Ar ol caethgludo deg llwyth Israel i Assyria; *y bydd Arglwydd y lluoedd yn goron arddechogrwydd*—lawer ardderchocach na choron balchder meddwon Ephraim; *ac yn goron gogoniant*—mewn ystyr gwladol ac eglwysig; *i weddill ei bobl*—sef i ddau lwyth Juda a Benjamin. Cyfeirir yma at lwyddiant a dedwyddwch brenhiniaeth Juda dan deyrnasiad Hezeciah.

Adn. 6. *Ac yn ysbryd barn i'r hwn a eisteddo ar farn*] Hyny yw, efe a ddyry ddoethineb i farnwyr Judea i wneyd cyfiawnder yn mhob achos a ddygid ger eu bron; *ac yn gadernid i'r rhai a ddychwelant y rhyfel i'r porth*—efe a ddyry wroldeb a nerth i'w byddin a'u swyddogion milwraidd.

Adn. 7. *Ac er hyny hwy a gyfeiliornasant*

wyd a gyfeiliornasant trwy ddiod gadarn, difäwyd hwy gan win, cyfeiliornasant trwy ddiod gadarn, amryfusasant mewn gweledigaeth, tramgwyddasant *mewn* barn.
8 Canys y byrddau oll sydd lawn o chwydfa *a* budreddi, heb le *glân*.
9 ¶ I bwy y dysg efe wybodaeth? ac i bwy y pâr efe ddeall yr hyn a glywo? i'r *rhai* a ddiddyfnwyd oddiwrth laeth, y rhai a dynwyd oddiwrth y bronau.
10 Canys *rhoddir* gorchymyn ar orchymyn, gorchymyn ar orchymyn; llin ar lin, llin ar lin, ychydig yma, *ac* ychydig acw.
11 Canys â bloesgni gwefusau, ac â thafodiaith ddyeithr, y llefara efe wrth y bobl hyn.
12 Y rhai y dywedodd efe wrthynt, Dyma orphwysdra, gadewch i'r diffygiol orphwyso, a dyma esmwythder; ond ni fynent wrando.
13 Eithr gair yr Arglwydd oedd iddynt yn orchymyn ar orchymyn, yn orchymyn ar orchymyn; yn llin

---

*trwy win*] Sef y 'gweddill' uchod, neu bobl Juda; *ac a amryfusasant trwy ddiod gadarn*—yr un modd a phobl Israel, y rhai a gaethgludwyd i Assyria; ac am hyny rhaid iddynt hwythau ddysgwyl yr un gosp, am yr hon y sonir isod. *Yr offeiriad a'r proffwyd a gyfeiliornasant trwy ddiod gadarn*—y rhai yn anad neb y dysgwylid iddynt fod yn sobr. *Difäwyd hwy gan win*—Saes., '*llyncwyd* hwy gan win,' yr un modd ag y llyncwyd gwin ganddynt hwythau. *Cyfeiliornasant trwy ddiod gadarn*—oddiar ffordd eu dyledswydd; neu dyryswyd eu meddyliau ganddi. *Amryfusasant mewn gweledigaeth*—gan adrodd eu dychymygion eu hunain yn lle gweledigaethau oddiwrth Dduw; neu trwy roddi cam-ystyr i ranau o'r ysgrythyrau. *Tramgwyddasant mewn barn*—wrth gyhoeddi barn neu ddedfryd y gyfraith. Yn mhob achos yn dwyn cysylltiad â chrefydd, yr oedd yr offeiriaid yn eistedd fel barnwyr.

Adn. 8. *Canys y byrddau oll*] Wrth y rhai yr eisteddent i yfed, *sydd lawn o chwydfa, &c.*—trwy i'w cylla fethu dal y gorlwyth o win a lyncent.

Adn. 9. *I bwy y dysg efe wybodaeth*] Y dysg Duw wybodaeth? *ac i bwy y pâr efe ddeall yr hyn a glywo?*—tybia rhai mai iaith y *gwatwarwyr* yw hon, y rhai a grybwyllir adn. 14. Fel pe dywedasent, A fynai Duw ein trin ni fel babanod newydd eu diddyfnu oddiwrth y fron, i'r rhai y rhaid dysgu yr un gwersi elfenol yn barhaus? Tybia ereill mai cwyn y proffwyd *Esay* ei hun yw y geiriau, yn dangos mai yr un peth oedd ceisio dysgu i'r bobl hyn y wybodaeth o Dduw, a phe ceisid dysgu babanod. *I'r rhai a ddiddyfnwyd oddiwrth laeth*—neu rai newydd gael eu tynu oddiwrth y bronau. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, fod yr offeiriaid a'r proffwydi meddw uchod mor anaddas i'w swydd a babanod.

Adn. 10. *Canys rhoddir gorchymyn ar orchymyn, &c.*] Rhaid eu haddysgu megys plant, trwy fyned yn fynych dros yr un pethau; *llin ar lin, llin ar lin*—llinyn ar ol llinyn, neu linell o'r llyfr ar ol llinell yn barhaus, yr un modd ag y dysgir i blant ddarllen; *ychydig yma, ac ychydig acw*—gan ofalu rhag rhoddi gormod iddynt ar unwaith. Y mae y wreiddiol yma yn dra byr a grymus: *ki tsav latsav tsav latsav, kav lakav kav lakav, zeeir sham zeeir sham.* Y mae *tsav* yn arwyddo *gorchymyn bach,* y fath ag sydd yn gyfaddas i ddeall plentyn, adn. 9; ac y mae *kav* yn arwyddo, yn ol *Kimchi*, y *llinyn* a estynir gan y saer maen i adeiladu haen o gerig wrtho. Ar ol gosod un haen neu res i lawr, efe a gyfyd y llinyn, ac a adeilada un arall, nes i'r holl adeilad gael ei gorphen yn raddol. A dyma y ffordd i ddysgu plant, trwy roddi iddynt y cyfryw hyfforddiad ag a allo eu deall gwan ei dderbyn; ac fel hyn yr oedd y proffwyd yn ymddwyn tuag at yr Israeliaid: gwel *Kimchi* ar y lle, a gwel ar Heb. v. 12—14.

Adn. 11. *Canys*] Neu, yn hytrach, *am hyny*, fel y gellir ei gyfieithu; canys amcan y proffwyd yma yw dangos cospedigaeth eu hurtrwydd: *â bloesgni gwefusau, ac â thafodiaith ddyeithr*—sef â thafodiaith y Caldeaid, y rhai a ddyg Duw i'w plith, ac i ddwylaw y rhai y trosglwydda efe hwynt; *y llefara efe wrth y bobl hyn*—gan na wrandawant hwy arno ef yn llefaru wrthynt trwy ei broffwydi yn eu hiaith eu hunain. Ond y mae y LXX yn ei gyfieithu, 'Canys â bloesgni y *llefarant hwy* wrth y bobl hyn;' gan ei ddeall ond odid am lefariad bloesg yr athrawon meddw uchod.

Adn. 12. *Y rhai y dywedodd efe wrthynt*] Y rhai y dywedodd Duw wrthynt trwy ei weinidogion; *Dyma orphwysdra*—i'r lluddedig a'r diffygiol; *a dyma esmwythder*—i'r trwmlwythog a'r blinderog. Y meddwl yw, ddarfod i Dduw ddangos i'r Iuddewon cyndyn pa le neu pa fodd yr oedd iddynt gael gorphwysdra i'w heneidiau, sef trwy ymddiried yn yr Arglwydd, ac ufyddhau i'w orchymynion ef. *Ond ni fynent wrando*—ar ei addysg a'i gynghor ef.

Adn. 13. *Eithr gair yr Arglwydd oedd iddynt yn orchymyn ar orchymyn, &c.*] Yr oedd gair yr Arglwydd yn wersi rhwydd a hawdd eu dysgu iddynt, fel y dywedent ei fod. Neu, nid oedd gair yr Arglwydd ddim ond fel gwersi i blant yn eu golwg hwy, y rhai a wawdient wersi Duw am eu bod mor hawdd eu dysgu: gwel ar adn. 9, 10. *Fel yr elent ac y syrthient yn ol*—yn wysg eu cefnau; *ac y dryllier*—hwynt yn eu codwm; *ac y magler, ac y dalier hwynt*—fel carcharorion rhyfel, i'w dwyn i Babilon. Syrthiodd a drylliwyd llawer o honynt cyn eu symud o'u gwlad, a maglwyd a daliwyd y lleill i'w dwyn i Babilon; ac fe allai mai at eu drylliad yn Jerusalem y cyfeirir yma, pan y sonir am 'syrthio a

ar lin, yn llin ar lin; ychydig yma,
*ac* ychydig acw; fel yr elent ac y
syrthient yn ol, ac y dryllier, ac y
magler, ac y dalier hwynt.
14 ¶ Am hyny gwrandewch air
yr Arglwydd, ddynion gwatwarus,
llywodraethwyr y bobl hyn, y rhai
*sydd* yn Jerusalem.
15 Am i chwi ddywedyd, Gwnaeth-
om ammod âg angau, ac âg uffern
y gwnaethom gynghrair; pan ddel
ffrewyll lifeiriol, ni ddaw atom ni:
canys gosodasom ein gobaith *ar* gel-
wydd, a than ffalsder y llechasom.
16 ¶ Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Wele fi yn syl-
faenu maen yn Seion, maen profed-
ig, *congl*-faen gwerthfawr, sylfaen
safadwy; ni frysia yr hwn a gredo.
17 A mi a osodaf farn wrth linyn,

---

dryllio' o flaen 'maglu a dal.' Ond myn rhai ei gyfieithu, 'Eithr gair yr Arglwydd *a fydd* iddynt yn orchymyn ar orchymyn,' &c. Yn yr ystyr yma cyfeirir at y modd ag y dywedodd Duw y byddai iddo eu dysgu yn *Babilon*, adn. 11. Yr oeddynt hwy wedi achwyn fod ei addysgiadau ef fel gwersi bychain yn cael eu mynych adrodd i blant: a dywed Duw yma y caent fod felly; y byddai iddynt hwy gael eu dwyn i wlad bell, ac aros yn hir yn mysg dyeithriaid, lle y caent ddigon o amser i gyraedd addysg; y caent *orchymyn ar orchymyn, a llin ar lin*—y naill farn i ddylyn y llall, nes y byddai y wers o weled eu ffolineb a'u drygioni wedi ei chwbl ddysgu ganddynt. *Ychydig yma, ac ychydig acw*—felly y galwent hwy wersi Duw trwy ei broffwydi, ac felly y dywed Duw y cai ei wersi ef fod iddynt mewn barn. Ni ddeuent oll fel un ffrwd orchfygol o ddigofaint ar unwaith; eithr rhenid hwynt iddynt yn ddognau bychain: gwel ar 1 Cor. xiv. 21.

Adn. 14. *Am hyny gwrandewch air yr Arglwydd*] Yr hwn a adroddir yn adn. 16, &c.; *ddynion gwatwarus*—y rhai ydych yn gwneuthur gwawd o addysgiadau a bygythion Duw; *llywodraethwyr y bobl hyn*—sef penaethiaid Jerusalem, yn wladol ac eglwysig. Fe allai mai at yr offeiriaid a'r proffwydi meddw a chyfeiliornus uchod y cyfeirir yn benaf, (adn. 7,) y rhai a dybient y gallent hwy ddianc rhag barnedigaethau Duw trwy eu nerth a'u doethineb eu hunain.

Adn. 15. *Am i chwi ddywedyd*] Yn eich meddyliau a'ch ymddygiadau, *Gwnaethom ammod âg angau*—i ymgadw oddiwrthym; *ac âg uffern*—sef y bedd, neu ororau tywyllion y meirw; *y gwnaethom gynghrair*—i beidio ein llyncu: o ganlyniad, *pan ddelo y ffrewyll lifeiriol*—a fygythir ar y wlad gan y proffwydi, *ni ddaw atom ni*—i'n drygu. Yr ystyr yw, fod eu hymddygiadau unwedd â phe buasent yn meddwl neu yn dywedyd fel hyn. *Canys gosodasom ein gobaith ar gelwydd*—ar eu heilunod, neu ar obeithion disail; *a than ffalsder y llechasom*—hyny yw, tybient eu hunain yn ddiogel yn yr hyn ydoedd ffalsedd a thwyll. Y geiriau olaf hyn a roddir yn eu genau gan y proffwyd, i ddangos mai celwydd a thwyll oedd yr hyn y gobeithient ynddo.

Adn. 16. *Am hyny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Fel pe dywedasai, Gan mai celwydd a thwyll yw eich noddfa chwi, mi a'ch cyfeiriaf at noddfa well a sicrach, yr hon ni fetha ddiogelu y rhai a ymddiriedant ynddi. Fel hyn, yn nghanol barn, efe a gofiai drugaredd. Ond, fel pe dywedasai, os bydd i chwi wrthod a diystyru y noddfa hòno, yr hon yr wyf fi yn awr yn ei chynyg i chwi oll, 'mi a osodaf farn wrth linyn,' &c., adn. 17. *Wele fi yn sylfaenu maen yn Seion*—yn Jerusalem, neu yn fy EGLWYS, i fod yn sail hyder a chysur i chwi oll. Nid *Hezeciah* a feddylir wrth y *maen* hwn, fel y tybia *Kimchi*, eithr yr ARGLWYDD IESU GRIST, fel y mae yn eglur, (1) Oddiwrth y rhanau hyny o'r Hen Destament, lle y gelwir Crist yn 'faen,' megys Salm cxviii. 22, Esay viii. 14, Dan. ii. 34—45, Zech. iii. 9. (2) Oddiwrth y testynau hyny yn y Testament Newydd, lle y cymhwysir y geiriau hyn at Grist, megys Rhuf. ix. 33, 1 Pedr ii. 6—8: gwel hefyd Mat. xxi. 42, Act. iv. 11, Rhuf. x. 11, Eph. ii. 20. (3) Oddiwrth ddiwedd yr adnod hon, lle y mae *ffydd* yn y maen hwn yn ofynol, yr hon nis gellir ei rhoddi mewn dyn yn unig. *Maen profedig*—wedi ei brofi a'i gymeradwyo fel yn ddigonol yn mhob ffordd i gynal yr adeilad. *Conglfaen gwerthfawr*—yn uno gwahanol ranau yr adeilad yn nghyd, gan wneuthur Ephraim a Juda, yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, yn un eglwys, er eu bod yn awr yn elynion ffyrnig i'w gilydd. *Sylfaen safadwy*—ar ba un y gellwch orphwys yn ddiogel, heb ofni iddi ymollwng neu falurio danoch. *Ni frysia*—neu 'ni ffoa ar frys.' Y mae y LXX yn ei gyfieithu, 'ni chywilyddir,' neu 'nis gwaradwyddir;' yr hyn a gynwys yr un ystyr, fel y danghoswyd ar Rhuf. ix. 33, a 1 Pedr ii. 6: eithr meddwl y gair Hebreig yw, '*brysio*' mewn ofn, i le arall am ddiogelwch. *Yr hwn a gredo*—neu a roddo ei hyder a'i ymddiriediad yn y maen hwn. Ni fydd raid iddo ef *ffoi ar frys* i chwilio am noddfa arall, am y bydd hon yn ddigonol i bob *credadyn*. Y meddwl cyffredinol yw, er fod tymhestl ddychrynllyd ar ddisgyn ar y bobl hyn o herwydd eu pechodau; er fod y deml i gael ei llosgi, a'r ddinas i gael ei dinystrio, a llawer o'r trigolion i gael eu lladd; eto yr oedd Duw yn bwriadu i'w frenhiniaeth ef ar y ddaear barhau. Yr oedd maen profedig, a chongl-faen gwerthfawr, a sylfaen safadwy, i'w osod yn Seion, yr hwn a fyddai yn noddfa sicr a diogel yn ngwyneb holl ymosodiadau y gelyn; a byddai i bawb a ymddiriedent yn hwnw gael eu cadw.

Adn. 17. *A mi a osodaf farn wrth linyn, a chyfiawnder wrth bwys*] Y mae y gyffelybiaeth o adeilad yn cael ei pharhau. Fel pe

a chyfiawnder wrth bwys; y cen-
llusg a ysguba noddfa celwydd, a'r
dyfroedd a foddant y lloches.
18 ¶ A diddymir eich ammod âg
angau, a'ch cynghrair âg uffern ni
saif: pan ddel y ffrewyll lifeiriol,
byddwch yn sathrfa iddi.
19 O'r amser y delo, y cymer
chwi: canys daw bob bore, ddydd
a nos; a blinder yn unig fydd *i* beri
deall yr hyn a glywir.
20 Canys byrach yw y gwely nag
*y galler* ymestyn *ynddo;* a chul yw
y cwrlid i ymdroi *ynddo.*
21 Canys yr Arglwydd a gyfyd
megys yn mynydd Perasim, efe a
ddigia megys yn nglŷn Gibeon, i
wneuthur ei waith, ei ddyeithr-
waith; ac i wneuthur ei weithred
ei ddyeithr-weithred.
22 Ac yn awr na watwarwch,
rhag cadarnhau eich rhwymau:
canys clywais *fod* darfodedigaeth
derfynol oddiwrth Arglwydd Dduw
y lluoedd ar yr holl dir.
23 ¶ Clywch, a gwrandewch
fy llais; ystyriwch, a gwrandewch
fy lleferydd.
24 Ydyw yr arddwr yn aredig ar
hyd y dydd i hau? ydyw efe yn
agoryd ac yn llyfnu ei dir?
25 Onid wedi iddo lyfnhau ei
wyneb, y taena efe y ffacbys, ac y
gwasgar y cwmin, ac y bwrw y
gwenith ardderchog, yr haidd nod-
edig, a'r rhyg *yn* ei gyfle?

---

dywedasai, Mi a weinyddaf farn mor union neu gyfiawn a phe byddai yn cael ei phrofi wrth linyn a phlwm y saer: mi a lwyr gospaf ac a ddyfethaf y rhai oll a wrthodant y maen hwn. *Y cenllusg a ysguba noddfa celwydd, &c.*—bydd i'r farn a dywelltir ar y wlad lwyr ddinystrio pob noddfa a lloches a ddyfeisiwyd neu a ffurfiwyd gan ddyn, yn gystal a'r rhai a lochesant ynddynt.

Adn. 18. *A diddymir eich ammod âg angau, &c.*] Yn y dydd hwnw: gwel ar adn. 15. *Pan ddel y ffrewyll lifeiriol*—dros y wlad, *byddwch yn sathrfa iddi*—er i chwi feddwl na chyffyrddai â chwi.

Adn. 19. *O'r amser y delo, y cymer chwi*] Cyn gynted ag yr anfono Duw y ffrewyll hon, hi a ddechreua eich ysgubo chwi ymaith. *Canys daw bob bore, ddydd a nos*—hyny yw, hi a barha i ddyfod nes eich llwyr ddyfetha. *A blinder yn unig fydd i beri deall yr hyn a glywir*—bydd y trallod hwn mor fawr, nes y bydd dim ond clywed am dano yn ddigon i lenwi y meddwl â dychryn.

Adn. 20. *Canys byrach yw y gwely nag y galler ymestyn ynddo, &c.*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo y byddai eu holl noddfeydd hwy yn annigonol i'w diogelu; fel y mae gwely byr, neu gwrlid cul, yn annigonol i roddi gorphwysdra neu gynhesrwydd i'r rhai a'i chwennychant.

Adn. 21. *Canys yr Arglwydd a gyfyd megys yn mynydd Perasim*] Lle yr ymladdodd efe yn erbyn y Philistiaid, 2 Sam. v. 20; *efe a ddigia megys yn nglŷn Gibeon*—lle yr ymladdodd efe yn erbyn y Canaaneaid, Jos. x. 10, &c., ac wedi hyny yn erbyn y Philistiaid, 1 Cron. xiv. 16. *I wneuthur ei waith, ei ddyeithr-waith, &c.*—gelwir hyn ei 'ddyeithr-waith,' am ei fod yn groes i hynawsedd ei natur ef, ac i'w ffordd arferol o ymddwyn tuag at ei bobl ei hun. Ei waith cyffredin ef oedd amddiffyn ei bobl, a'i ddyeithr-waith oedd ymladd yn eu herbyn; ond yn awr yr oedd eu drygioni hwynt yn ei orfodi ef i ymddwyn tuag atynt yr un modd a thuag at ei elynion. Cafodd hyn ei gyflawni mewn rhan trwy ymosodiad Senacherib ar Juda a Jerusalem; ac wedi hyny yn helaethach yn ninystr Jerusalem gan Nebuchodonosor, a chaethgludiad yr Iuddewon i Babilon; eithr yn ninystr diweddaf Jerusalem gan y Rhufeiniaid y cafodd efe ei lawn gyflawniad. Y pryd hyny llwyr ddinystriwyd eu heglwys a'u gwladwriaeth, a gwasgarwyd hwythau dros wyneb y ddaear, am iddynt wrthod y Messia, y Congl-faen gwerthfawr a osodwyd gan Dduw i fod yn noddfa iddynt.

Adn. 22. *Ac yn awr na watwarwch*] Yn yr olwg ar y farn ag y mae Duw yn ei dwyn arnoch; *rhag cadarnhau eich rhwymau*—rhag i'ch caethiwed fod yn drymach ac yn hiraeth nag y dylai fod. Byddai i Dduw eu cospi hwy yn gyfatebol i'w pechodau; ac os byddai iddynt hwy yn awr beidio gwatwar, byddai i hyny leihau eu cosp. *Canys clywais fod darfodedigaeth derfynol, &c.* — hysbysodd Duw i mi ei fod yn penderfynu diwreiddio yr holl genedl o Ganaan, oddieithr i chwi ddiwygio. Felly y gwnaeth efe â deg llwyth Israel yn amser Hezeciah; ac â'r ddau lwyth arall, Juda a Benjamin, yn nheyrnasiad Zedeciah.

Adn. 23. *Clywch, a gwrandewch fy llais, &c.*] Ystyriwch yn ddifrifol yr hyn yr wyf yn myned i'w ddywedyd wrthych, fel y gweloch ei resymoldeb.

Adn. 24. *Ydyw yr arddwr yn aredig ar hyd y dydd i hau? &c.*] Ai aredig neu lyfnu yw ei holl waith ef? Nage; eithr y mae ganddo lawer o bethau ereill i'w gwneuthur tuag at gael bara.

Adn. 25. *Onid wedi iddo lyfnhau ei wyneb, y taena efe y ffacbys*] A'r un modd y cwmin, y gwenith, yr haidd, a'r rhyg, yn ol natur y tir, neu yn ol ei ddymuniad i godi y naill neu y llall o'r ffrwythau hyn? Y meddwl yw, fod gan Dduw lawer o orchwyliaethau i'w dwyn yn mlaen gyda golwg ar ei bobl, yr un modd a'r amaethwr gyda golwg ar ei dir; a bod mor afresymol meddwl y byddai i Dduw ymddwyn tuag at ei bobl yr un modd bob amser, ag a fyddai i ni dybied na wna yr am-

26 Canys ei Dduw a'i hyfforddia
ef mewn synwyr, *ac* a'i dysg ef.
27 Canys nid âg ôg y dyrnir ffac-
bys, ac *ni* throir olwyn mèn ar
gwmin; eithr dyrnir ffacbys â ffon,
a chwmin â gwialen.
28 *Yd* bara a felir; ond gan
ddyrnu ni ddyrn y dyrnwr ef yn
wastadol, ac ni ysiga *ef* âg olwyn ei
fèn, ac nis mâl ef â'i wŷr meirch.
29 Hyn hefyd a ddaw oddiwrth
Arglwydd y lluoedd, *yr hwn* sydd
ryfedd yn ei gynghor, *ac* ardderch
og yn ei waith.

## PENNOD XXIX.

GWAE Ariel, Ariel, y ddinas y
trigodd Dafydd *ynddi:* ychwan-
egwch flwyddyn at flwyddyn; lladd-
ant ebyrth.
2 Eto mi a gyfyngaf ar Ariel, a
bydd galar a griddfan; a hi a fydd
i mi fel Ariel.
3 A gwersyllaf yn grwn i'th er-

---

aethwr ddim ond aredig neu lyfnu ei dir yn barhaus i'r dyben i gael cnwd.

Adn. 26. *Canys ei Dduw a'i hyfforddia ef mewn synwyr*] Pa fodd i drin ei dir; *ac a'i dysg ef*—nid ydym i gasglu oddiyma fod yr amaethwr yn cael ei ysbrydoli gan Dduw, neu ei fod yn cael datguddiad neillduol pa le, pa bryd, a pha fodd i hau ei had; eithr y meddwl yw, mai Duw yw awdwr ei holl fedrusrwydd ef; mai efe a'i cynysgaeddodd ef â synwyr, ac a'i dysgodd trwy ei ragluniaeth: gwel ar Exod. xxviii. 3, a xxxi. 3—6. Geilw mab Sirach hwsmonaeth, 'Yr hon a greodd y Goruchaf,' *Eccles.* vii. 15; a phriodolai y paganiaid y ddyfais o amaethyddiaeth i'r dduwies *Ceres*.

Adn. 27. *Canys nid âg ôg y dyrnir ffacbys*] Eithr 'â ffon,' fel y dywedir yma; *ac ni throir olwyn mèn ar gwmin*—i'w ddyrnu, eithr dyrnir ef 'â gwialen,' fel y mae synwyr yn dysgu i ddyn.

Adn. 28. *Yd bara a felir*] Neu a ddyrnir yn *llwyrach;* neu ynte, rhaid ei falu yn flawd, yn gystal a'i ddyrnu, i'r dyben i wneyd *bara* o hono. *Ond gan ddyrnu ni ddyrn y dyrnwr ef yn wastadol*—fel pe byddai hyny yn ddigon i'w wneyd yn fara; *ac ni ysiga ef âg olwyn ei fèn*—yr hon oedd un ffordd o ddyrnu; *ac nis mâl ef â'i wŷr meirch*—neu, yn ol *Lowth*, 'â charnau ei anifeiliaid,' yr hon oedd ffordd arall o ddyrnu. Gwelsom yn fynych yr arferai y dwyreinwyr ddyrnu eu grawn trwy i ychain a meirch sathru y gwellt: gwel ar Deut. xxv. 4. Yr oeddynt hefyd, ac y maent eto, yn dyrnu âg ôg neu fèn ddanneddog, yn gystal ag â ffyn neu wiail.

Adn. 29. *Hyn hefyd a ddaw oddiwrth Arglwydd y lluoedd*] Sef y gwahanol ffyrdd hyn o *ddyrnu* yr ŷd, adn. 27, 28, yn gystal a'i *dyfu*, adn. 24, 25. *Yr hwn sydd ryfedd yn ei gynghor*—yn ei fwriadau a'i gynlluniau tuag at ddynion; *ac ardderchog yn ei waith*—yn y cyflawniad o'r bwriadau a'r cynlluniau hyny. Meddwl y proffwyd yn yr adnodau hyn yw, y gellid dysgwyl i Dduw, yr hwn a ddysgasai y llafurwr mor ddoeth i ddefnyddio y fath amrywiol foddau yn ei amaethyddiaeth, fod ei hunan hefyd yn ddoeth, a dylyn amrywiol weinyddiadau tuag at ei bobl. Ni fyddai iddo ddylyn yr un drefn yn hollol bob amser, eithr byddai iddo amrywio yn ei orchwyliaethau yn ol fel y byddai achos, a phob amser arferyd y drefn oraf er dwyn oddiamgylch eu lles a'u dedwyddwch hwy.

PEN. XXIX. Adn. 1. *Gwae Ariel, Ariel*] Neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'O Ariel, llew Duw!' Y mae *Ariel* yma yn meddwl *Jerusalem*, 'y ddinas y trigodd Dafydd ynddi,' fel y dywedir yma; neu yr hon a ennillodd efe, 2 Sam. v. 7—9. Ond paham y gelwir Jerusalem yn *Ariel?* Tybia rhai mai i arwyddo *nerth* y ddinas, fel *ari el*, 'llew Duw;' tybia ereill fod y gair yn deilliaw oddiwrth *ur el*, 'tân Duw,' yr hwn a âi oddiyno i ysu ei elynion: gwel ar pen. xxxi. 9. Yn Ezec. xliii. 15, 16, cawn fod y gair yn arwyddo *allor* y poeth-offrwm; a gall ei fod yn cael ei roddi yma i Jerusalem, am mai yn y ddinas hòno yr oedd yr allor hon yn sefyll. Yn adn. 2 dywedir, 'Mi a gyfyngaf ar Ariel,—a hi a fydd i mi fel Ariel.' Ymddengys fod yr Ariel gyntaf yno yn arwyddo y *ddinas*, yr hon a drallodid gan y gelynion; a'r ail Ariel yn arwyddo *allor* y poeth-offrwm, yr hon a ddifaai yr aberthau arni, fel llew gwancus yn difa ei ysglyfaeth. *Ychwanegwch flwyddyn at flwyddyn*—hyn a ddywedir mewn ffordd o wawdiaith; *lladdant ebyrth*—neu 'boed iddynt eu lladd.' Fel pe dywedasai, Ewch yn mlaen flwyddyn ar ol blwyddyn, ac aberthwch ar yr amserau penodol fel arferol, trwy yr hyn y meddyliwch fy heddychu i: eithr gwybyddwch y bydd y cwbl yn ofer, ac y cospaf chwi i'r eithaf am eich addoliad rhagrithiol, yr hwn sydd gynwysedig o ffurfiau yn unig, heb ddim gwir dduwioldeb ynddo. Ystyr llythyrenol y frawddeg olaf yw, 'Boed i'r gŵyliau fyned yn mlaen yn eu cylch;' a meddylir i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn amser un o'r gŵyliau arbenig.

Adn. 2. *Eto mi a gyfyngaf ar Ariel*] Neu a ddygaf 'gyfyngder' ar Jerusalem; *a bydd galar a griddfan*—ynddi, yn lle gwleddoedd a llawenydd: *a hi a fydd i mi fel Ariel*—'fel aelwyd yr *allor* fawr, oll yn *fflam*, fel y bu pan y cymerwyd hi gan y Caldeaid; neu wedi ei gorchuddio â *chelaneddau* a *gwaed*, fel y bu pan gymerwyd hi gan y Rhufeiniaid.'—*Lowth.* Eithr ereill a'i darllenant, 'Hi a fydd i mi fel *llew;*' hyny yw, efe a'i triniai hi fel llew creulon a ffyrnig, yr hwn y rhaid ei rwymo a'i ddyfetha.

Adn. 3. *A gwersyllaf yn grwn i'th erbyn*] Sef 'i'th erbyn oddiamgylch,' neu o bob tu. Gall fod y proffwyd yn cyfeirio yma at wahanol warchaeadau, megys eiddo Senacherib, y Caldeaid, a'r Rhufeiniaid. *Ac a warchaeaf*

byn, ac a warchaeaf i'th erbyn mewn gwarchdŵr, ac a gyfodaf wrthglawdd yn dy erbyn.

4 A thi a ostyngir, o'r ddaear y llefari, ac o'r llwch y bydd isel dy leferydd; dy lais fydd hefyd o'r ddaear fel *llais* swynwr, a'th ymadrodd a hustyng o'r llwch.

5 A thyrfa dy ddyeithriaid fydd fel llwch mân, a thyrfa y cedyrn fel peiswyn yn myned heibio; ïe, bydd yn ddisymwth ddiatreg.

6 Oddiwrth Arglwydd y lluoedd y gofwyir trwy daranau, a thrwy ddaeargryn a thwrf mawr, *trwy* gorwynt, a thymhestl, a fflam dân ysol.

7 ¶ Yna y bydd tyrfa yr holl genhedloedd y rhai a ryfelant yn erbyn Ariel, fel breuddwyd gweledigaeth nos, sef y rhai oll a ymladdant yn ei herbyn hi a'i hamddiffynfa, ac a warchaent arni.

8 Ie, bydd megys newynog a freuddwydio, ac wele ef yn bwyta; a phan ddeffrô, gwag fydd ei enaid: ac megys y sychedig a freuddwydio, ac wele ef yn yfed; a phan ddeffrô, wele ef yn ddiffygiol, a'i enaid yn chwennych *diod:* felly y bydd tyrfa yr holl genhedloedd a lueddant yn erbyn mynydd Seion.

9 ¶ Arefwch, a rhyfeddwch; bloeddiwch, a gwaeddwch: meddwasant, ac nid *trwy* win; pen-feddwasant, ac nid *trwy* ddiod gadarn.

10 Canys tywalltodd yr Arglwydd arnoch ysbryd trymgwsg, ac a gauodd eich llygaid chwi: eich proffwydi a'ch penaethiaid, y gweledyddion, a orchuddiodd efe.

---

*i'th erbyn mewn gwarchdŵr*—math o dŵr neu esgynfa a godai y gelynion i hyny. *Ac a gyfodaf wrthglawdd yn dy erbyn*—yr hyn à wnaed gan y Caldeaid, 2 Bren. xxv. 1, 2.

Adn. 4. *A thi a ostyngir*] Yn gydwastad â'r llawr: *o'r ddaear y llefari, ac o'r llwch y bydd isel dy leferydd*—yn crefu yn ostyngedig am arbediad o'th fywyd. *Dy lais fydd hefyd o'r ddaear fel llais swynwr*—tybia rhai fod yma gyfeiriad at *ventriloquist*, neu fol-lefarwr, neu at rai yn cymeryd arnynt ymddyddan âg ysbrydion ymadawedig: gwel ar pen. viii. 19. *A'th ymadrodd a hustyng o'r llwch*—fel bol-lefarwr yn peri i ddynion feddwl fod ei leferydd yn dyrchafu o'r ddaear. Y meddwl ond odid yw, na fyddai ganddynt nerth i sefyll ar eu traed, nac i roddi eu llais allan yn gryf, gan newyn a gwendid. Neu gall fod yma gyfeiriad at waith llawer o breswylwyr Jerusalem yn ymguddio mewn tyllau dan y ddaear yn ystod gwarchaead eu dinas gan y Caldeaid a'r Rhufeiniaid, lle y bu llawer o honynt feirw gan newyn a haint.

Adn. 5. *A thyrfa dy ddyeithriaid*] Dy warchaewyr dyeithr a balch: *fydd fel llwch mân*—yn hawdd ei chwalu ymaith; *a thyrfa y cedyrn fel peiswyn yn myned heibio*—o flaen corwynt. Ymddengys mai at fyddin gref Senacherib y cyfeirir yn yr adnod hon a'r tair ganlynol. *Ie, bydd yn ddisymwth ddiatreg*—bydd eu dinystr yn ddisymwth a diatreg.

Adn. 6. *Oddiwrth Arglwydd y lluoedd y gofwyir*] Neu yr ymwelir, mewn ffordd o gosp, â'r Assyriaid hyny; *trwy daranau, &c.*—tybia rhai fod mellt, taranau, daeargryn, a chorwynt, yn cymeryd lle y noson fythgofiadwy hòno, pryd y lladdwyd 185,000 o honynt cyn y bore. Ond fe allai fod yr ymadroddion hyn i'w deall yn gyffelybiaethol, am eu dinystr hwy gan angel yr Arglwydd: gwel ar 2 Bren. xix. 35.

Adn. 7. *Yna y bydd tyrfa yr holl genhedloedd*] Y rhai a ryfelant yn erbyn Jerusalem; *fel breuddwyd gweledigaeth nos*—yn dwyllodrus, neu siomedig a darfodedig: gwel ar Salm lxxiii. 20

Adn. 8. *Ie, bydd megys newynog a freuddwydio*] Ei fod yn bwyta neu yn yfed; *a phan ddeffrô, gwag fydd ei enaid*—fydd ef ei hun: ni fydd dim yn ei gylla, er iddo freuddwydio ei fod wedi cael ei wala. *Felly y bydd tyrfa yr holl genhedloedd a lueddant*—neu a ryfelant, *yn erbyn mynydd Seion*—neu Jerusalem. Er iddynt ddychymygu y caent yspail lawer yn Jerusalem, eto ni thorwyd eu gwanc, eithr cawsant eu lladd eu hunain cyn myned i'r ddinas.

Adn. 9. *Arefwch, a rhyfeddwch*] Sefwch mewn syndod uwchben y fath gyflwr alaethus. Ar ol i'r proffwyd ddarlunio y farn *dymhorol* ag oedd yn dyfod ar yr Iuddewon, y mae efe yn awr yn myned i ragfynegu y farn *ysbrydol* â pha un yr ymwelid â hwy. *Bloeddiwch, a gwaeddwch*—mewn syndod a dychryn. Meddylir ei fod ef yma yn galw ar y rhai mwyaf ystyriol o'r Iuddewon i ryfeddu wrth hurtrwydd a chaledwch y lleill. *Meddwasant, ac nid trwy win, &c.*—eithr trwy hurtrwydd a ffolineb, yr hyn a'u gwna hwynt yn annheimladwy o'u perygl fel dynion meddw, heb wybod pa beth y maent yn ei wneuthur.

Adn. 10. *Canys tywalltodd yr Arglwydd arnoch ysbryd trymgwsg*] Rhoddodd chwi i fyny i galon-galedwch, dallineb, ac anystyriaeth, fel cosp am eich drygioni; *ac a gauodd eich llygaid chwi*—fel y caua dynion eu llygaid wrth gysgu, yn gosp gyfiawn arnoch am garu o honoch y tywyllwch yn fwy na'r goleuni: gwel ar pen. vi. 9, 10. *Eich proffwydi a'ch penaethiaid*—yn gystal a'r bobl gyffredin; *y gweledyddion*—y rhai a ddylasent fod â'u llygaid yn agored i weled; *a orchuddiodd efe*—â llen dew o dywyllwch barnol, fel pe buasai gorchudd ar eu llygaid.

Adn. 11. *A gweledigaeth pob un o honynt*]

11 A gweledigaeth pob un *o hon-*
*ynt* sydd i chwi fel geiriau llyfr sel-
iedig, yr hwn *os* rhoddant ef at *un*
a fedr *ar* lyfr, gan ddywedyd, Dar-
llen hwn, atolwg: yna y dywed, Ni
allaf; canys seliwyd ef.
12 Os rhoddir y llyfr at yr hwn
ni fedr *ar* lyfr, gan ddywedyd, Dar-
llen hwn, atolwg: yna y dywed, Ni
fedraf *ar* lyfr.
13 ¶ Am hyny y dywedodd yr Ar-
glwydd, O herwydd bod y bobl hyn
yn nesâu ataf â'u genau, ac yn fy
anrhydeddu â'u gwefusau, a phell-
hau eu calon oddiwrthyf, a bod eu
hofn tuag ataf fi wedi ei ddysgu
allan o athrawiaeth dynion;
14 Am hyny wele fi yn myned
rhagof i wneuthur yn rhyfedd yn
mysg y bobl hyn, *sef* gwyrthiau a
rhyfeddod: canys dyfethir doeth-
ineb eu doethion hwynt, a deall eu
rhai deallgar hwynt a ymguddia.
15 Gwae y rhai a ddyfn-geisiant i
guddio *eu* cynghor oddiwrth yr Ar-
glwydd, ac y mae eu gweithredoedd
mewn tywyllwch, ac a ddywedant,
Pwy a'n gwel ni? a phwy a'n
hedwyn?
16 Diau fel clai crochenydd y
cyfrifir eich trofeydd chwi. Canys
a ddywed y gwaith am y gweith-
ydd, Ni'm gwnaeth i? neu a ddy-
wed y peth a luniwyd am yr hwn
a'i lluniodd, Nid yw ddeallus?
17 Onid ychydig bach *fydd* eto
hyd oni throir Libanus yn ddoldir,
a'r doldir a gyfrifir yn goed?
18 ¶ A'r dydd hwnw y rhai bydd-
ar a glywant eiriau y llyfr, a llyg-
aid y deillion a welant allan o niwl
a thywyllwch.

---

Sef eiddo y gwir broffwydi, yn gystal a'r gau broffwydi; *sydd i chwi fel geiriau llyfr seliedig, &c.*—y meddwl yw, er iddynt gael hysbysiadau o feddwl Duw, eto nas gallent eu deall, mwy nag y gallai dyn ddarllen llyfr neu lythyr cauedig a seliedig.

Adn. 12. *Os rhoddir y llyfr*] Hyd yn nod ar ol iddo gael ei agor a'i ddadselio; *at yr hwn ni fedr ar lyfr*—na fedro ddarllen. Y meddwl yw, eu bod mor anwybodus o ystyr datguddiadau Duw, ag a ydyw dyn anllythyrenog o gynwysiad ac ystyr llyfr a rodder yn ei law. Nid oedd y dysgedig na'r annysgedig yn eu plith yn ddim goleuach trwy yr hyfforddiadau a roddai Duw iddynt.

Adn. 13. *O herwydd bod y bobl hyn yn nesâu ataf â'u genau*] Mewn mawl a gweddi ffurfiol yn unig; *ac yn fy anrhydeddu â'u gwefusau*—trwy addaw a phroffesu fy ngwasanaethu i; *a phellhau eu calon oddiwrthyf*—heb fy ngharu yn wirioneddol yn ol eu proffes; *a bod eu hofn tuag ataf fi*—sef eu crefydd a'u haddoliad, *wedi ei ddysgu allan o athrawiaeth dynion*—o herwydd eu bod yn dewis dychymygion a thraddodiadau eu gau-broffwydi yn hytrach na'r purdeb a'r dirag rithrwydd ag yr wyf fi yn ei ofyn yn fy ngair: gwel ar Mat. xv. 7, &c.

Adn. 14. *Am hyny wele fi yn myned rhagof i wneuthur yn rhyfedd*] Sef 'gwyrthiau a rhyfeddod,' nid mewn ffordd o drugaredd yn awr, eithr mewn ffordd o farn: *canys dyfethir doethineb eu doethion hwynt*—trwy fwrw gorchudd dros lygaid eu meddyliau, nes y bydd eu hynfydrwydd yn amlwg i bawb; *a deall eu rhai deallgar hwynt a ymguddia*—a â o'r golwg, neu a ddiflana: ni fydd yn ddigonol i attal y trallodau a ddisgynant ar eu gwlad. Cyflawnwyd hyn yn neillduol ar y dysgawdwyr Iuddewig yn nyddiau Crist, ac wedi hyny yn amser dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid.

Adn. 15. *Gwae y rhai a ddyfn-geisiant i guddio eu cynghor*] Y rhai a geisiant guddio eu bwriadau annuwiol o olwg yr Arglwydd, fel y ceisia lladron guddio eu lladrad yn ddwfn yn y ddaear o olwg dynion; *ac y mae eu gweithredoedd mewn tywyllwch*—gwel ar Ezec. viii. 12; *ac a ddywedant*—neu a dybiant yn eu calonau, nad all Duw na dynion eu gweled na'u hadnabod.

Adn. 16. *Diau fel clai crochenydd*] Yr hwn y gellir ei drin a'i foldio fel y myner, *y cyfrifir eich trofeydd chwi*—eich 'newidiad o bethau,' eich holl ystrywiau a'ch gau-ymddangosiadau, adn. 13. *Canys a ddywed y gwaith am y gweithydd, Ni'm gwnaeth i? &c.*—amcan y geiriau hyn ond odid yw dangos fod gan Dduw *allu* a *deall* i wneyd â hwy fel y mynai, fel y gall y crochenydd wneyd â'i glai. Efe a'u gwnaeth ac a'u lluniodd; ac am hyny yr oedd ganddo allu drostynt, a deall o berthynas iddynt.

Adn. 17. *Onid ychydig bach fydd eto hyd oni throir Libanus*] Yr hwn oedd fynydd anial, ac yn arwyddo yma y Cenhedloedd; *yn ddoldir*—Saes., 'yn faes ffrwythlon;' Hebr., 'yn Carmel,' neu yn winllan Duw: *a'r doldir*—sef yr Iuddewon, y rhai a fuasent gynt yn faes ffrwythlon i Dduw; *a gyfrifir yn goed*—neu yn goedwig anial a gwyllt? Fel pe dywedasai, Y mae *troad* arall i gymeryd lle cyn hir, yn gystal a'ch *trofeydd* chwithau, adn. 16. Cyfeirir yma, ac hyd ddiwedd y bennod, at ddyddiau yr efengyl, pryd y gwrthodid cenedl yr Iuddewon o fod yn eglwys a phobl i Dduw, ac y derbynid y Cenhedloedd a'r Iuddewon crediniol yn eu lle.

Adn. 18. *A'r dydd hwnw*] Sef dydd goruchwyliaeth yr efengyl; *y rhai byddar*—y Cenhedloedd, y rhai o'r blaen oeddynt fyddar; *a glywant eiriau y llyfr*—sef darlleniad gair Duw, a phregethiad yr efengyl; *a llygaid y deillion*—ysbrydol, *a welant allan o niwl a*

19 A'r rhai llariaidd a chwanegant lawenychu yn yr Arglwydd; a'r dynion tylodion a ymhyfrydant yn Sant Israel.
20 Canys darfu am yr ofnadwy, a dyfethwyd y gwatwarus, a'r rhai oll a wyliant am anwiredd a dorir ymaith.
21 Y rhai a wnant ddyn yn droseddwr o herwydd gair, ac a osodant faglau i'r hwn a geryddo yn y porth, ac a wnant i'r cyfiawn ŵyro am beth coeg.
22 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a waredodd Abraham, am dŷ Jacob, Weithian ni chywilyddir Jacob, ac ni lasa ei wyneb ef.
23 Eithr pan welo efe ei feibion, gwaith fy nwylaw, o'i fewn, hwy a santeiddiant fy enw, ïe, santeiddiant Sant Jacob, ac a ofnant Dduw Israel.
24 A'r rhai cyfeiliornus o ysbryd a ddysgant ddeall, a'r grwgnachwyr a ddysgant addysg.

## PENNOD XXX.

GWAE y meibion cyndyn, medd yr Arglwydd, a gymerant gynghor, ond nid genyf fi; ac a orchuddiant â gorchudd, ac nid o'm hysbryd i, i chwanegu pechod ar bechod.
2 Y rhai sydd yn myned i ddisgyn i'r Aifft (heb ymofyn â mi) i ymnerthu yn nerth Pharao, ac i

---

*thywyllwch*—ar ol bod yn hir mewn niwl a thywyllwch paganaidd.

Adn. 19. *A'r rhai llariaidd*] Y mae y gair hwn yn meddwl yn gyffredin rai mwyn, gostyngedig, ac amyneddgar; ond yma cyfeiria at y credinwyr gorthrymedig a dyoddefus; *a chwanegant lawenychu yn yr Arglwydd*—a lawenychant yn fawr, neu fwyfwy, ynddo ef: *a'r dynion tylodion*—sef y duwiolion anghenus a phrofedigaethus; *a ymhyfrydant yn Sant Israel*—yn eu Gwaredwr bendigedig fel eu rhan, sef Duw eu hiachawdwriaeth.

Adn. 20. *Canys darfu am yr ofnadwy*] Sef gelynion ofnadwy pobl Dduw; *a dyfethwyd y gwatwarus*—y rhai a'u gwawdient ac a'u blinent hwy: *a'r rhai oll a wyliant am anwiredd*—a wylient am gyfleusdra i gario allan eu bwriadau annuwiol; *a dorir ymaith*—o oes i oes. Yr oedd yn dygwydd fel hyn yn fynych yn amser boreaf Cristionogaeth.

Adn. 21. *Y rhai a wnant ddyn yn droseddwr o herwydd gair*] A ddywedo efe yn groes i'w meddwl hwy, er ei fod yn wirionedd; neu o herwydd ei ymlyniad ffyddlon wrth air Duw; *ac a osodant faglau i'r hwn a geryddo yn y porth*—a 'ddadleuo ei achos yn y porth;' *ac a wnant i'r cyfiawn ŵyro am beth coeg*—hyny yw, gŵyrent farn y cyfiawn pan gaent yr esgus lleiaf, neu heb ddim esgus. Y mae *Vitringa* ac ereill yn cymhwyso hyn oll at elynion Crist a'i apostolion, y rhai a 'gerydddent' yr annuwiolion a'r troseddwyr.

Adn. 22. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yn ngwyneb y cyfnewidiad dedwydd a gymer le ar ol symud y gorthrymwyr uchod; *yr hwn a waredodd Abraham*—o'i holl gyfyngderau, ac yn enwedig oddiwrth eilunaddoliaeth ei wlad; *am dŷ Jacob*—y rhai hefyd a waredir o'r diwedd: *Weithian ni chywilyddir Jacob*—o herwydd iselder neu gamymddygiadau ei blant; *ac ni lasa ei wyneb ef*—mewn ofn am danynt, neu o herwydd ei siomi ynddynt. Yma, mewn dull barddonol prydferth, arddanghosir y patriarch fel pe byddai yn edrych ar ei hiliogaeth o'r byd arall.

Adn. 23. *Eithr pan welo efe ei feibion*] Pan welo Jacob yr Iuddewon dychweledig at Gristionogaeth, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu pan welo efe y Cenhedloedd dychweledig, ei blant ysbrydol, yn ol ereill; *gwaith fy nwylaw*—nid had Jacob yn ol y cnawd, eithr plant yr addewid, y rhai a grewyd o'r newydd yn Nghrist Iesu o blith y Cenhedloedd a'r Iuddewon; *o'i fewn*—yn yr eglwys Gristionogol. Ond y mae rhai yn cyfieithu y geiriau uchod, 'Pan welo ei feibion ef waith fy nwylaw yn eu plith eu hunain;' hyny yw, pan welo yr Iuddewon crediniol y Cenhedloedd dychweledig wedi eu cydgorffori â hwynt yn un eglwys. *Hwy a santeiddiant fy enw, &c.*—yn lle diystyru y Cenhedloedd, hwy a fendithiant ac a ogoneddant Dduw gyda hwynt, ac am yr hyn a wnaethai efe iddynt.

Adn. 24. *A'r rhai cyfeiliornus o ysbryd*] Gall hyn fod yn cyfeirio at yr Iuddewon cyfeiliornus, adn. 9, 10, neu at y Cenhedloedd anffyddaidd neu eilunaddolgar, neu at y naill a'r llall; canys y mae pawb ar gyfeiliorn cyn eu dychwelyd; *a ddysgant ddeall*—a ddeuant i wybodaeth o'r gwirionedd fel y mae yn yr Iesu: *a'r grwgnachwyr*—yn erbyn Duw, ei addoliad, a'i genadon; *a ddysgant addysg*—a dderbyniant ac a ddeallant athrawiaethau dyfnion yr efengyl gyda chalon ddiolchgar.

PEN. XXX. Adn. 1. *Gwae y meibion cyndyn*] Sef yr Iuddewon cyndyn a gwrthryfelgar; *a gymerant gynghor, ond nid genyf fi*—y rhai a ymgynghorant â'u gilydd pa beth i'w wneuthur, heb ymofyn â mi, na gwrando ar fy llais: *ac a orchuddiant â gorchudd*—a ymguddiant dan orchudd neu amddiffyniad yr Aifftiaid, trwy fyned i gyfammod â hwynt; *ac nid o'm hysbryd i*—nid trwy gymhelliad fy Ysbryd i: *i chwanegu pechod ar bechod*—trwy ddirmygu fy naioni i, neu anhyderu yn fy ngallu a'm ffyddlondeb, yn chwanegol at eu cyndynrwydd a'u hanufydd-dod arferol.

Adn. 2. *Y rhai sydd yn myned i ddisgyn i'r Aifft*] Am gynorthwy yn erbyn eu gelynion; *heb ymofyn â mi*—trwy offeiriad na

ymddiried yn nghysgod yr Aifft.
3 Am hyny y bydd nerth Pharao
yn gywilydd i chwi, a'r ymddiried
yn nghysgod yr Aifft yn warad-
wydd.
4 Canys bu ei dywysogion yn
Soan, a'i genadau a ddaethant i
Hanes.
5 Hwynt oll a gywilyddiwyd o
herwydd y bobl ni fuddia iddynt,
ni *byddant* yn gynorthwy nac yn
llesâd, eithr yn warth ac yn warad-
wydd.
6 Baich anifeiliaid y deau. I dir
cystudd ac ing, *lle y daw* o honynt
yr hen lew a'r llew ieuanc, y wiber
a'r sarff danllyd hedegog, y dygant
eu golud ar gefnau asynod, a'u
trysorau ar gefnau camelod, at bobl
ni wna les.
7 Canys yn ddiles ac yn ofer y
cynorthwya yr Aifftiaid: am hyny
y llefais arni, Eu nerth hwynt *yw*
aros yn llonydd.
8 ¶ Dos yn awr, ysgrifena hyn
mewn llech ger eu bron hwynt, ac
ysgrifena mewn llyfr, fel y byddo
hyd y dydd diweddaf yn oesoes-
oedd;
9 Mai pobl wrthryfelgar *yw* y
rhai hyn, plant celwyddog, plant
ni fynant wrando cyfraith yr Ar-
glwydd:
10 Y rhai a ddywedant wrth y
gweledyddion, Na welwch; ac wrth
y proffwydi, Na phroffwydwch i ni
bethau union; traethwch i ni
weniaith, proffwydwch i ni siomed-
igaeth:
11 Ciliwch o'r ffordd, ciliwch o'r

---

phroffwyd, i gael gwybod a ydwyf fi yn foddlon i hyny; *i ymnerthu yn nerth Pharao*—sef yn ei filwyr ef; *ac i ymddiried yn nghysgod yr Aifft*—yn lle yn nghysgod yr Hollalluog.

Adn. 3. *Am hyny y bydd nerth Pharao yn gywilydd i chwi*] Yn lle cymhorth; *a'r ymddiried yn nghysgod yr Aifft yn waradwydd*—fel yr adroddir yn adn. 5—7.

Adn. 4. *Canys bu ei dywysogion*] Sef tywysogion Juda, *yn Soan*—prifddinas yr Aifft Isaf, pen. xix. 11; *a'i genadau a ddaethant i Hanes*—yr un ond odid a *Tapanhes*, lle yr oedd tŷ Pharao, Jer. xliii. 9.

Adn. 5. *Hwynt oll a gywilyddiwyd*] Sef y cenadau uchod, a'r rhai a'u hanfonasent; *o herwydd y bobl ni fuddia iddynt*—ni byddant yn gynorthwy nac yn llesâd iddynt, fel y dywedir yma; *eithr yn warth ac yn waradwydd*—trwy iddynt fod naill ai yn analluog, neu yn anewyllysgar, i'w cynorthwyo.

Adn. 6. *Baich anifeiliaid y deau*] Cyfeirir yma at y baich o drysorau a ddygai yr Iuddewon ar gefnau eu hasynod a'u camelod, i wobrwyo yr Aifftiaid yn y deau am eu cynorthwyo. *I dir cystudd ac ing*—felly y bu yr Aifft i'w tadau gynt, ac felly y byddai eto iddynt hwythau, y rhai a ymddiriedent yn ei chysgod hi. *Lle y daw o honynt yr hen lew, &c.*—dywed *Bochart*, *Ammianus*, ac ereill, fod yr Aifft ac Ethiopia yn llawn o lewod, gwiberod, a seirff tanllyd y pryd hyn; er y tybia rhai mai at greulondeb ac ystrywiau gwenwynllyd yr Aifftiaid y cyfeirir yma. *Y dygant eu golud, &c.*—i wobrwyo yr Aifftiaid am gynghreirio â hwynt, er na wnaent iddynt les.

Adn. 7. *Canys yn ddiles ac yn ofer y cynorthwya yr Aifftiaid*] Yn ofer yr addawent eu cynorthwyo, am na allent wneyd hyny, neu am na fyddai raid iddynt eu cynorthwyo. *Am hyny y llefais arni*—y llefodd y proffwyd, trwy orchymyn Duw, ar Jerusalem neu genedl yr Iuddewon. *Eu nerth hwynt yw aros yn llonydd*—yw aros gartref yn llonydd, gan ymddiried yn dawel yn yr Arglwydd am ddiogelwch, ac nid danfon cenadau i'r Aifft: gwel ar adn. 15. Ond tybia *Barnes* mai am yr Aifft y dywedir, 'Eu nerth hwynt yw aros yn llonydd.'

Adn. 8. *Dos yn awr*] Meddai Duw wrth y proffwyd; *ysgrifena hyn mewn llech*—cerfia hyn yn ddwfn mewn llech, i'w gosod i fyny mewn lle amlwg yn agos i'r deml, i fod yn barhaus yn ngolwg y bobl: *ac ysgrifena mewn llyfr*—ar femrwn, i'w gadw mewn cist yn y deml; *fel y byddo hyd y dydd diweddaf*—yn dystiolaeth i'r oesoedd a ddel, o gyndynrwydd yr Iuddewon a chyfiawnder eu cosp.

Adn. 9. *Mai pobl wrthryfelgar yw y rhai hyn*] Sef Iuddewon yr oes hòno; *plant celwyddog*—yn proffesu un peth, ac yn gwneyd peth arall; *plant ni fynant wrandaw cyfraith yr Arglwydd*—fel yr oedd yn ysgrifenedig yn yr ysgrythyrau, neu yn cael ei thraethu gan ei weision ef.

Adn. 10. *Y rhai a ddywedant wrth y gweledyddion*] Sef wrth y proffwydi, pen. i. 1; *Na welwch*—neu na adroddwch i ni eich gweledigaethau: *ac wrth y proffwydi*—yr un rhai a'r gweledyddion; *Na phroffwydwch i ni bethau union*—sef gwirioneddau argyhoeddiadol, ceryddol, a bygythiol; neu bethau yn cyfeirio at eu trueni, eu perygl, a'u cosp: *traethwch i ni weniaith*—pethau i'n boddhau a'n difyru; *proffwydwch i ni siomedigaeth*—yr hyn y bydd yn ddifyr ei glywed, er na ddaw byth i ben. Nid oeddynt yn ddiau yn ewyllysio i'r proffwydi eu twyllo a'u siomi; ond yr oeddynt yn ymddwyn fel pe buasent yn ewyllysio hyny. Yr oeddynt yn caru y rhai a lefarent heddwch wrthynt pryd nad oedd heddwch, yn fwy na'r rhai a ddywedent y gwir.

Adn. 11. *Ciliwch o'r ffordd*] O'ch ffordd neu eich dull presenol o bregethu i ni bethau

llwybr; perwch i Sant Israel beidio
â ni.
12 Am hyny fel hyn y dywed
Sant Israel, Am wrthod o honoch y
gair hwn, ac ymddiried o honoch
mewn twyll a cham, a phwyso ar
hyny:
13 Am hyny y bydd yr anwiredd
hyn i chwi fel rhwygiad chwyddedig
mewn mur uchel ar syrthio, yr hwn
y daw ei ddrylliad yn ddisymwth
heb atreg.
14 Canys efe a'i dryllia hi fel
dryllio llestr crochenydd, gan guro
heb arbed; fel na chaffer yn mysg
ei darnau gragen i gymeryd tân o'r
aelwyd, nac i godi dwfr o'r ffos.
15 Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Sant Israel, Trwy
ddychwelyd a gorphwys y byddwch
gadwedig; mewn llonyddwch a go-
baith y bydd eich cadernid; ond ni
fynech.
16 Eithr dywedasoch, Nid *felly;*
canys ni a ffown ar feirch; am hyny
y ffowch: a marchogwn ar *feirch*
buan; am hyny y bydd buan y
rhai a'ch erlidio.
17 Mil *a ffy* wrth gerydd un; ac
wrth gerydd pump y ffowch, hyd
oni'ch gadawer megys hwylbren ar
ben mynydd, ac fel baner ar fryn.

---

anhyfryd a dychrynllyd: neu 'ciliwch o'n ffordd ni;' canys yr oedd y proffwydi fel yn sefyll yn eu ffordd hwy, megys yr angel gynt yn ffordd Balaam, gyda chleddyf digofaint Duw yn noeth yn eu dwylaw, fel nas gallai y pechaduriaid hyn fyned yn mlaen yn ddiddychryn yn eu llwybrau pechadurus. *Perwch i Sant Israel beidio â ni*—na flinwch ni yn barhaus â chenadwri oddiwrth Dduw, neu trwy son o hyd am ei *santeiddrwydd* ef. Nid yn unig mynent i'r proffwydi gilio oddiwrthynt, eithr mynent hefyd i Dduw beidio â hwynt, a gadael llonydd iddynt yn eu pechodau: gwel ar Job xxi. 14.

Adn 12. *Am hyny fel hyn y dywed Sant Israel*] Yma y mae y proffwyd, i ddangos iddynt leied o awydd a deimlai efe i gydsynio â'u rhagfarn, yn enwi eilwaith *Sant Israel.* Ni ddylai gweinidogion yr efengyl byth gilio oddiwrth eu dyledswydd am fod dynion yn eu gwrthwynebu: ni ddylent byth beidio llefaru yn enw a thrwy awdurdod Sant Israel, am y gallai hyny beri anfoddlonrwydd a gwrthwynebiad. *Am wrthod o honoch y gair hwn*—ei air ef trwy y proffwydi, neu ei gyfraith ef, adn. 9; neu fe allai ei fod yn meddwl y gair 'Sant Israel,' fel y tybia *Barnes* ac ereill; *ac ymddiried o honoch mewn twyll a cham*—yn nghynorthwy diles ac ofer yr Aifftiaid, adn. 7; *a phwyso ar hyny*—yn lle ar yr Arglwydd.

Adn. 13. *Am hyny y bydd yr anwiredd hyn i chwi fel rhwygiad chwyddedig mewn mur uchel*] Yr hwn a all syrthio yn ddisymwth am eich pen: ac felly y daw barn Duw arnoch yn ddiatreg, am bwyso o honoch ar yr Aifft yn lle arno ef.

Adn. 14. *Canys efe a'i dryllia hi*] Hyny yw, bydd i Dduw, neu y dynion a ddefnyddia efe fel offerynau yn ei law, ddryllio Jerusalem, neu y genedl a'r wladwriaeth Iuddewig; *fel dryllio llestr crochenydd*—sef llestr pridd; *gan guro heb arbed*—nes chwilfriwio y cwbl; *fel na chaffer yn mysg ei darnau gragen*—neu ddernyn o'r llestr pridd yn ddigon o faint i'r wasanaeth leiaf, megys cario tân o'r aelwyd, neu ddwfr o'r ffos. Arwydda yr ymadrodd lwyr ddinystr. Ni ddywed y proffwyd pa bryd y cymerai hyn le, nac y byddai iddo gymeryd lle trwy fyddin Senacherib; eithr dangos y mae y byddai dinystr felly yn ganlyniad sicr i'w pechod o geisio cynorthwy o'r Aifft, er y gallai ei amser fod yn mhell.

Adn. 15. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Sant Israel*] Gwel ar adn. 12; *Trwy ddychwelyd a gorphwys*—oddiwrth eich bwriad presenol o bwyso ar yr Aifft; neu, fel y mae y LXX, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg* yn ei ddeall, 'trwy ddychwelyd at Dduw;' *y byddwch gadwedig*—rhag gallu eich gelynion. *Mewn llonyddwch*—neu ymostyngiad tawel i ewyllys Duw; *a gobaith*—neu hyder yn ei allu, ei drugaredd, a'i ffyddlondeb ef; *y bydd eich cadernid*—eich diogelwch, neu eich nerth i wrthsefyll byddin Senacherib. *Ond ni fynech*—ar y cyntaf. Eithr ymddengys i Hezeciah wedi hyn ymddiried yn yr Arglwydd: gwel ar pen. xxxvi. 6, 15, 18, 21.

Adn. 16. *Eithr dywedasoch, Nid felly*] Dyma fel y dywedodd llawer o honynt o leiaf. *Canys ni a ffown ar feirch*—ni a fynwn wŷr meirch o'r Aifft i orchfygu ein gelynion; neu, ni a ffown rhagddynt ar feirch, os bydd raid. *Am hyny y ffowch*—fel pe dywedasai, Ffoi a gewch, ac nid gorchfygu. *A marchogwn ar feirch buan*—meddai gwŷr Juda; *am hyny y bydd buan y rhai a'ch erlidio*—meddai yr Arglwydd. Fel pe dywedasai, Gan y *mynwch* ffoi, bydd *raid* i chwi ffoi: caiff eich pechod fod yn gosp i chwi.

Adn. 17. *Mil a ffy wrth gerydd un*] Y fath fydd eich ofnau a'ch llwfrdra, fel, yn lle i un o honoch chwi erlid mil, megys yr addawsai Duw os byddech ufydd, y bydd i fil o honoch chwi ffoi rhag un o'ch gelynion. *Ac wrth gerydd pump*—neu wrth i ryw nifer bychan iawn o'ch gelynion ymosod arnoch; *y ffowch*—bawb o honoch, pa mor lluosog bynag: gwel ar Lef. xxvi. 8, Deut. xxxii. 30, Jos. xxiii. 10. *Hyd oni'ch gadawer megys hwylbren ar ben mynydd*—Saes., *beacon*, sef pigwn neu arwydd-bren a goder ar leoedd uchel, un yma ac un acw; *ac fel baner ar fryn*—i fod yn rhybydd i ereill o gyfiawn farn Duw, a gwirionedd ei fygythion.

Adn. 18. *Ac am hyny*] Am fod y fath

18 ¶ Ac am hyny y dysgwyl yr
Arglwydd i drugarhau wrthych, ïe,
am hyny yr ymddyrchaif i dosturio
wrthych; canys Duw cyfiawnder
*yw* yr Arglwydd. Gwŷn eu byd y
rhai oll a ddysgwyliant wrtho.
19 Canys y bobl a drig yn Seion
o fewn Jerusalem: gan ŵylo nid
ŵyli; gan drugarhau efe a drugar-
ha wrthyt; wrth lef dy waedd, pan
ei clywo, efe a'th ateb di.
20 A'r Arglwydd a rydd i chwi
fara ing, a dwfr gorthrymder; ond
ni chornelir dy athrawon mwy, eithr
dy lygaid fyddant yn gweled dy
athrawon:
21 A'th glustiau a glywant air
o'th ol yn dywedyd, Dyma'r ffordd,
rhodiwch ynddi, pan bwysoch ar y
llaw ddeau, neu pan bwysoch ar y
llaw aswy.
22 Yna yr halogwch bâll dy gerf-
ddelw arian, ac ephod dy dawdd-
ddelw aur; gwasgeri hwynt fel
cadach misglwyf, a dywedi wrth-
ynt, Dos ymaith.
23 Ac efe a rydd wlaw i'th had
pan hauech dy dir, a bara cnwd y

---

drueni ar ddyfod arnoch; canys y mae trueni pobl Dduw yn cael ei grybwyll yn fynych yn yr ysgrythyr fel achlysur i Dduw drugarhau: neu 'eto er hyny,' fel y gellir ei gyfieithu. *Y dysgwyl yr Arglwydd i drugarhau wrthych*—y dysgwyl efe yn amyneddgar am eich edifeirwch, fel y gallo drugarhau wrthych. *Ie, am hyny yr ymddyrchaif i dosturio wrthych*—yn lle plygu i lawr i graffu ar eich anwiredd, ac i'ch cospi; efe a'i dyrchafa ei hun i dosturio wrthych, a'ch gwaredu. Neu gall mai y meddwl yw, y byddai ei gymeriad ef, wrth dosturio, yn fwy dyrchafedig nag wrth gospi; neu y byddai gan ddynion ac angylion, wrth iddo ef dosturio, feddyliau uwch am ei gariad, ei amynedd, a'i ddaioni. *Canys Duw cyfiawnder yw yr Arglwydd*—efe a wna yr hyn sydd *gyfiawn* trwy drugarhau wrth yr edifeiriol, yn gystal a thrwy gospi yr anedifeiriol. *Gwŷn eu byd y rhai oll a ddysgwyliant wrtho*—yn ffordd eu dyledswydd, fel y mae efe yn dysgwyl wrthynt hwy yn ffordd ei drugaredd.

Adn. 19. *Canys y bobl a drig yn Seion o fewn Jerusalem*] Ar ol eu dychweliad o gaethiwed. Yr amcan mewn golwg yn yr adnodau hyn, hyd ddiwedd adn. 26, yw darlunio cyflwr o lwyddiant dyfodol yr Iuddewon, ar ol y trallodau ag oeddynt i'w goddiweddyd hwynt am ymbwyso ar yr Aifft. Y mae y proffwyd, yn ei weledigaethau, yn canfod y bobl yn cael eu bygwth gan Senacherib; ac yna yn annghofio eu Duw, ac yn ceisio cymhorth gan yr Aifftiaid. Wedi hyny, fel canlyniad i hyn, y mae yn gweled cyfres hir o drallodau yn eu dal, megys dinystr Jerusalem gan Nebuchodonosor, a'u caethgludiad hwythau i Babilon. Eto, wedi hyny, efe a ganfydda eu dychweliad hwy i Seion o fewn Jerusalem; eu llwyddiant, eu dedwyddwch, a'u diogelwch; yn nghyda bendithion y nefoedd yn gorphwys arnynt: gwel ar adn. 27. Fod bendithion yr efengyl yn gwneyd i fyny ran o'r golygfeydd hyn o drugaredd sydd ddiamheuol, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen; canys dan deyrnasiad y Messia y dygir y corff o'r Iuddewon i eglwys Crist, yr hon yn fynych a elwir 'Seion' a 'Jerusalem.' *Gan ŵylo nid ŵyli*—o herwydd Senacherib, Nebuchodonosor, nac un gelyn arall. *Gan drugarhau efe a drugarha wrthyt*—yn dy gaethiwed a'th adfyd. *Wrth lef dy waedd, pan ei clywo, efe a'th ateb di*—efe a'th wared, ac a'th adfer i'th wlad. Fel hyn yr oedd bendithion tymhorol yr Iuddewon yn gysgod o fendithion ysbrydol yr eglwys dan yr efengyl.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a rydd i chwi fara ing, a dwfr gorthrymder*] Sef adfyd, caledi, a gorthrymder yn fynych, fel eu hymborth beunyddiol. Dyma fel y bu gyda'r Iuddewon ar ol eu hadfer o Babilon, a chyda'r dychweledigion cyntaf at Gristionogaeth. *Ond ni chornelir dy athrawon mwy*—ni fydd raid iddynt ymguddio neu ffoi mwyach rhag eu gelynion; *eithr dy lygaid fyddant yn gweled dy athrawon*—bydd eich athrawon yn bresenol yn eich cynulleidfaoedd, i'ch addysgu, eich rhybyddio, a'ch cysuro o bryd i bryd. Y mae y wreiddiol yma yn arwyddo 'athrawon cyffredin,' ac nid proffwydi neu weledyddion.

Adn. 21. *A'th glustiau*] Pan fyddych yn crwydro o'r iawn ffordd ar y llaw ddeau neu yr aswy, fel y dywedir yn niwedd yr adnod; *a glywant air o'th ol*—fel gair ysgol-feistr yn sefyll tu ol i'w ysgolor i'w addysgu, neu fugail tu ol i'w braidd i'w cyfarwyddo, neu ddyn yn gwaeddi ar ol ymdeithydd dyeithr a fyddo wedi colli ei ffordd; *yn dywedyd*—wrthych, *Dyma'r ffordd, rhodiwch ynddi*—y mae rhai yn deall y geiriau hyn fel llais Ysbryd Duw yn nghydwybod dyn a fyddo wedi crwydro oddiar ffordd ei ddyledswydd; ond arwyddant hefyd rybyddion ac addysgiadau yr athrawon uchod, y rhai a wyliant drostynt.

Adn. 22. *Yna yr halogwch bâll dy gerf-ddelw arian*] Ystyr y gair Cymreig *pâll* yw llen, gorchudd, gorsedd, neu babell; ac ymddengys ei fod yma yn arwyddo dalenau neu olchiad arian dros gerf-ddelwau pren. *Ac ephod dy dawdd-ddelw aur*—Saes., 'ac *addurn* dy dawdd-ddelwau aur.' Gall hyn fod yn arwyddo golchiad, dalenau, neu lafnau aur dros ddelw o fettel llai costfawr. *Gwasgeri hwynt*—gyda'r dirmyg a'r ffieidd-dra mwyaf; *a dywedi wrthynt, Dos ymaith*—cyflawnwyd hyn i ryw raddau yn flaenorol i ymosodiad Senacherib, 2 Cron. xxxi. 1; ac yn hollol felly, o du yr Iuddewon, ar ol caethiwed Babilon; a gwneir hyn o du y Cenhedloedd hefyd yn ystod goruchwyliaeth yr efengyl.

Adn. 23. *Ac efe a rydd wlaw i'th had, &c.*] Addewir iddynt yma fendithion tymhorol ar ol eu diwygio oddiwrth eilunaddoliaeth, sef

ddaear, ac efe a fydd yn dew ac yn
aml; a'r dydd hwnw y pawr dy
anifeiliaid mewn porfa helaeth.
24 Dy ychain hefyd a'th asynod,
y rhai a lafuriant y tir, a borant
ebran pur, yr hwn a nithiwyd â
gwyntyll ac â gogr.
25 Bydd hefyd ar bob mynydd
uchel, ac ar bob bryn dyrchafedig,
afonydd *a* ffrydiau dyfroedd, yn
nydd y lladdfa fawr, pan syrthio y
tyrau.
26 A bydd llewyrch y lleuad fel
llewyrch yr haul, a llewyrch yr
haul fydd saith mwy, megys lle-
wyrch saith niwrnod, yn y dydd y
rhwyma yr Arglwydd friw ei bobl,
ac yr iachao archoll eu dyrnod
hwynt.
27 ¶ Wele enw yr Arglwydd yn
dyfod o bell, yn llosgi gan ei ddig-
ofaint ef, a'i faich *sydd* drwm; ei
wefusau a lanwyd o ddigter, a'i
dafod *sydd* megys tân ysol.
28 Ei anadl hefyd, megys afon
lifeiriol, a gyraedd hyd hanner y
gwddf, i nithio y cenhedloedd â
gogr oferedd; a bydd ffrwyn yn
ngenau y bobloedd, yn *eu* gyru ar
gyfeiliorn.
29 Y gân fydd genych megys y
noswaith y santeiddir uchel-ŵyl; a

---

amlder o ymborth i ddyn ac anifel, yr hyn oedd yn gysgod o fendithion ysbrydol.

Adn. 24. *Dy ychain hefyd a'th asynod, y rhai a lafuriant y tir*] Nid oedd rydd i'r Iuddewon aredig âg ŷch ac âg asyn yn nghyd, Deut. xxii. 10; ond gallent wneyd hyny âg ychain wrth un arad, ac âg asynod wrth un arall. *A borant ebran pur*—byddai yno y fath lawnder o ŷd, fel y gallai eu hanifeiliaid ymborthi ar ŷd pur; *yr hwn a nithiwyd â gwyntyll ac â gogr*—oddiwrth bob cymysgedd o beiswyn a gwellt.

Adn. 25. *Bydd hefyd ar bob mynydd uchel, ac ar bob bryn dyrchafedig*] Y rhai yn gyffredin sydd sych a diffrwyth; *afonydd a ffrydiau dyfroedd*—sef bendithion maethlon ac adfywiol yr efengyl, canys nis gellir deall hyn yn llythyrenol; *yn nydd y lladdfa fawr*—sef pan ddialai Duw ar elynion ei bobl; *pan syrthio y tyrau*—sef tyrau Babilon, Jerusalem, neu Rufain; neu, 'pan syrthio y *cedyrn*,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu. Cyfeirir yma at yr amledd o foddion gras, a dylanwadau adfywiol yr Ysbryd Glân, y rhai a fyddent mewn manau ag oeddynt o'r blaen yn amddifad o honynt; hyny yw, byddent fel hyn ar ol dinystr Jerusalem a'r wladwriaeth Iuddewig, ac yn enwedig ar ol dymchweliad Rhufain baganaidd a theyrnas Annghrist.

Adn. 26. *A bydd llewyrch y lleuad fel llewyrch yr haul*] Y mae *llewyrch* neu *oleuni*, yn yr ysgrythyrau, yn arwyddo purdeb, gwybodaeth, a dedwyddwch; fel y mae *tywyllwch* yn arwyddo anwybodaeth, trueni, a phechod. Y meddwl yw, y byddai i bob gwybodaeth a chysur crefyddol a fwynhäai y credinwyr dan yr hen oruchwyliaeth, gael eu mwyhau yn ddirfawr dan y newydd. *A llewyrch yr haul fydd saith mwy, megys llewyrch saith niwrnod*—mewn un; hyny yw, bydd eu gwybodaeth, eu cysuron, a'u breintiau eglwysig yn berffaith. *Yn y dydd y rhwyma yr Arglwydd friw ei bobl*—sef y rhwygiad a'r archoll a dderbyniasent hwy gan eu gelynion, ac yn enwedig gan bechod a Satan, eu gelynion ysbrydol. Yn ystod y milflwyddiant y cyflawnir hyn yn llawn.

Adn. 27. *Wele enw yr Arglwydd*] Sef Jèhofa ei hun; *yn dyfod o bell*—sef o'r nefoedd; *yn llosgi gan ei ddigofaint ef*—neu, 'a'i ddigofaint yn llosgi,' sef yn erbyn yr Assyriaid; *a'i faich sydd drwm*—sef y gosp a weinydda efe. *Ei wefusau a lanwyd o ddigter, a'i dafod sydd megys tân ysol*—hyny yw, efe a ddyry orchymyn i'w dyfetha hwynt megys â thân ysol. Oddiyma hyd ddiwedd y bennod cyfeirir at ddinystr byddin yr Assyriaid, yr hyn a wneid gan Jehofa ei hun heb gymhorth yr Aifftiaid. Yn wir y mae yr holl bennod yn cyfeirio at yr un bobl. Yn adn. 1—6, danghosir yr Iuddewon, gan eu hofn hwynt, yn ceisio cymhorth o'r Aifft; yn adn. 7—17, cyhoedda y proffwyd farnau arnynt am hyny; yn adn 18—26, yn yr olwg ar y barnau hyny, efe a addawa iddynt gyflwr mwy dedwydd; ac yma, yn niwedd y bennod, efe a sicrha iddynt y byddai i'r Arglwydd ei hun, heb gymhorth neb arall, ddyfetha yr Assyriaid: gwel ar adn. 19.

Adn. 28. *Ei anadl hefyd*] Sef ei ddigofaint angherddol; *fel afon lifeiriol*—yr hon nis gall neb ei hattal; *a gyraedd hyd hanner y gwddf*—a ddyg yr Assyriaid i'r perygl mwyaf, fel dyn mewn llif-ddyfroedd hyd ei ên; *i nithio y cenhedloedd â gogr oferedd*—neu 'ogr dystryw neu golledigaeth,' yr hon, yn lle glanhau yr ŷd oddiwrth yr ûs a'r gwellt, a ollwng y ddau trwyddi i ddystryw: *a bydd ffrwyn yn ngenau y bobloedd*—nid i'w tywys ar hyd yr iawn ffordd, neu i Jerusalem lle y mynent hwy fyned; eithr i'w *gyru ar gyfeiliorn*—neu i ddinystr.

Adn. 29. *Y gân fydd genych*] Sef gan yr Iuddewon ar ol dyfetha byddin Senacherib; *megys y noswaith y santeiddir uchel-ŵyl*—sef y noson o flaen un o'r tair gŵyl arbenig, megys gŵyl y pasc, pryd y dechreuent lawenychu a gorfoleddu: *a llawenydd calon, megys pan elo un, &c.*—hyny yw, bydd llawenydd eich calon y pryd hyny yn gyffelyb i'ch llawenydd wrth fyned yn finteioedd gydag offer cerdd i addoli yr Arglwydd ar yr uchel-wyliau yn Jerusalem. *At gadarn yr Israel*—neu 'at *Graig* yr Israel,' sef i glodfori ac addoli Jehofa yn ei deml.

Adn. 30. *A'r Arglwydd a wna glywed ar-*

llawenydd calon, megys pan elo un â phibell i fyned i fynydd yr Arglwydd, at gadarn yr Israel.
30 A'r Arglwydd a wna glywed ardderchogrwydd ei lais, ac a ddengys ddisgyniad ei fraich, mewn digter llidiog, ac â fflam dân ysol, â gwasgarfa, ac â thymhestl, ac â cherig cenllusg.
31 Canys â llais yr Arglwydd y dystrywir Assur, *yr hwn* a darawai â'r wialen.
32 A pha le bynag yr elo y wialen ddiysgog, yr hon a esyd yr Arglwydd arno ef, gyda thympanau a thelynau y bydd: ac â rhyfel tost yr ymladd efe yn ei erbyn.
33 Canys darparwyd Tophet er doe, ïe, parotowyd hi i'r brenin: efe a'*i* dyfnhaodd *hi*, ac a'*i* heangodd: ei chyneuad *sydd* dân a choed lawer; anadl yr Arglwydd, megys afon o frwmstan, sydd yn ei henyn hi.

## PENNOD XXXI.

GWAE y rhai a ddisgynant i'r Aifft am gynorthwy, ac a ymddiriedant mewn meirch, ac a hyderant ar gerbydau, am *eu bod* yn aml; ac ar wŷr meirch, am eu bod yn nerthol iawn: ond nid edrychant am Sant Israel, ac ni cheisiant yr Arglwydd.
2 Eto *y mae* efe yn ddoeth, ac a ddaw â chospedigaeth, ac ni eilw ei air yn ol; eithr cyfyd yn erbyn tŷ

---

*dderchogrwydd ei lais*] Sef ei ddinystr mawreddog; neu efe a bair i'w orchymyn i ddyfetha yr Assyriaid gael ei glywed; *ac a ddengys ddisgyniad ei fraich*—sef ei farn angeuol arnynt; *mewn digter llidiog*—fel ag i ddifa 185,000 o honynt mewn un noson; *ac â fflam dân ysol, &c.*—gwel ar pen. xxix. 6.

Adn. 31. *Canys â llais yr Arglwydd*] Sef trwy ei orchymyn ef; *y dystrywir Assur*—neu fyddin yr Assyriaid; *yr hwn a darawai â'r wialen*—yr hwn a arferai flino a gorthrymu pobloedd ereill, neu yr hwn oedd wialen yn llaw Duw i geryddu ei bobl, pen. x. 5, 24. Felly y tarewir ef yn awr, fel yr arferai yntau daraw ereill.

Adn. 32. *A pha le bynag yr elo y wialen ddiysgog*] Neu 'wialen cerydd,' fel y mae *Lowth* yn ei chyfieithu; neu y wialen ag ydoedd yn *sicr* o gael ei defnyddio gan yr Arglwydd yn erbyn yr Assyriaid; hyny yw, pa le bynag yr elai y son am dani, neu pa bryd bynag y cymerai hyny le; *gyda thympanau a thelynau y bydd*—hyny yw, derbynir y newydd gyda llawenydd a diolchgarwch: *ac â rhyfel tost yr ymladd efe yn ei erbyn*—yr ymladd yr Arglwydd yn erbyn yr Assyriaid.

Adn. 33. *Canys darparwyd Tophet er doe*] Neu 'er cynt.' Tophet sydd ddyffryn yn agos i Jerusalem, o du y deau-ddwyrain iddi, yr hwn a elwid 'Dyffryn Hinnom,' neu *Gehenna;* lle yr oedd y Canaaneaid ar y cyntaf, ac wedi hyny yr Israeliaid, yn aberthu eu plant trwy dân i Moloch. Meddylir fod y lle hwn yn cael ei alw *Tophet*, oddiwrth *toph*, neu y tabyrddau a gurid i foddi llefiadau y plant a aberthid yno: gwel ar Lef. xviii. 21, Jos. xv. 8, 2 Bren. xxiii. 10, Mat. v. 22. Gan hyny y mae *Tophet* yma yn cael ei ddefnyddio am le o 'gospedigaeth trwy dân,' pa un bynag ai yno y dinystriwyd yr Assyriaid ai nadê. Gan fod *Tophet* wedi ei halogi felly trwy eilunaddoliaeth ffiaidd a chreulon, gorchymynodd Josiah i fudreddi y ddinas gael ei fwrw yno, i'r dyben i wneyd y lle yn fwy ffiaidd ac aflan, 2 Bren. xxiii. 10; a dywed yr Iuddewon fod tân yn cyneu yno yn barhaus, i'r dyben i ddifa y budreddi a'r celaneddau a deflid yno; yn yr hyn yr ystyrid y lle fel cysgod o uffern: gwel ar Mat. v. 22. Rhaid i ni ddeall *Tophet* yma mewn ystyr cyffelybiaethol, ac nid mewn ystyr llythyrenol, am y lle o *gosp* ag ydoedd i gael ei gweinyddu ar yr Assyriaid trwy ddigofaint tanllyd Duw. *Ie, parotowyd hi i'r brenin*—sef i'r brenin Hezeciah, fel y gallai ef ddefnyddio y lle i ysu a difa ei elynion; neu 'parotowyd hi *gan* y brenin.' *Efe a'i dyfnhaodd hi, ac a'i heangodd*—fel y gallai fod yn ddigon helaeth i gynwys holl fyddin yr Assyriaid ar unwaith. *Ei chyneuad sydd dân a choed lawer*—i losgi cyrff yr Assyriaid, fel y llosgid y plant gynt i Moloch. *Anadl yr Arglwydd*—sef ei ddigofaint tanllyd ef; *megys afon o frwmstan*—y mae brwmstan yn cael ei ddefnyddio yn yr ysgrythyr am dân nas gellid yn hawdd ei ddiffodd; *sydd yn ei henyn hi*—sydd yn cyneu tân y *Tophet* yma. Ymadroddion cyffelybiaethol yw y rhai hyn, yn gosod allan ddinystr 185,000 o'r Assyriaid mewn un noson gan angel yr Arglwydd: gwel ar 2 Bren. xix. 35.

PEN. XXXI. Adn. 1. *Gwae y rhai a ddisgynant i'r Aifft am gynorthwy*] Yr hyn a wnaethai yr Iuddewon, pen. xxx. 2, &c.; *ac a ymddiriedant mewn meirch*—yr hyn oedd yn groes i'r gyfraith, Deut. xvii. 16; *ac a hyderant ar gerbydau, am eu bod yn aml*—sef cerbydau rhyfel, pen. xxi. 7: *ond nid edrychant am Sant Israel*—i'w cynorthwyo yn erbyn yr Assyriaid; *ac ni cheisiant yr Arglwydd*—er ei fod yn anfeidrol fwy galluog na holl gerbydau a gwŷr meirch nerthol yr Aifft.

Adn. 2. *Eto y mae efe yn ddoeth*] Ac felly ofer yw i chwi feddwl ei dwyllo ef, neu geisio cyflawni eich bwriadau yn ddiarwybod iddo; *ac a ddaw â chospedigaeth*—arnoch, yn fuan neu yn hwyr, am beidio ymddiried yn [illegible], pen. xxx. 14, 19; *ac ni eilw ei air yn ol*—sef

y rhai drygionus, ac yn erbyn cynorthwy y rhai a weithredant anwiredd.

3 Yr Aifftiaid hefyd *ydynt* ddynion, ac nid Duw; a'u meirch yn gnawd, ac nid yn ysbryd. Pan estyno yr Arglwydd ei law, yna y syrth y cynorthwywr, ac y cwymp y cynorthwyedig, a hwynt oll a gydballant.

4 Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Megys y rhua hen lew a'r llew ieuanc ar ei ysglyfaeth, yr hwn er galw lluaws o fugeiliaid yn ei erbyn, ni ddychryn rhag eu llef hwynt, ac nid ymostwng er eu twrf hwynt: felly y disgyn Arglwydd y lluoedd i ryfela dros fynydd Seion, a thros ei fryn ef.

5 Megys adar yn ehedeg, felly yr amddiffyn Arglwydd y lluoedd Jerusalem; gan amddiffyn a gwared, gan basio heibio ac achub.

6 ¶ Dychwelwch at yr hwn y llwyr-giliodd meibion Israel oddiwrtho.

7 O herwydd yn y dydd hwnw gwrthodant bob un ei eilunod arian, a'i eilunod aur, y rhai a wnaeth eich dwylaw eich hun *yn* bechod i chwi.

8 ¶ A'r Assyriad a syrth trwy gleddyf, nid eiddo gŵr grymus; a chleddyf, nid eiddo dyn gwael, a'i difa ef: ac efe a ffy rhag y cleddyf,

---

ei fygythion yn eich erbyn: *eithr cyfyd yn erbyn tŷ y rhai drygionus*—sef yn erbyn yr Iuddewon; *ac yn erbyn cynorthwy y rhai a weithredant anwiredd*—yn erbyn eu cynorthwywyr hwynt, sef yr Aifftiaid.

Adn. 3. *Yr Aifftiaid hefyd ydynt ddynion, ac nid Duw*] Ac am hyny ofer iddynt feddwl y gallant eich amddiffyn chwi rhag llaw Duw; *a'u meirch yn gnawd, ac nid yn ysbryd*—ni feddant ddoethineb, synwyr, na gwybodaeth i'ch gwaredu. *Pan estyno yr Arglwydd ei law*—yn eich erbyn; *yna y syrth y cynorthwywr*—sef yr Aifftiaid; *ac y cwymp y cynorthwyedig*—sef yr Iuddewon; *a hwynt oll a gydballant*—sef yr Iuddewon, yr Aifftiaid, a'u meirch.

Adn. 4. *Canys*] 'Ond eto,' neu 'er hyny;' *fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*—amcan y geiriau hyn yw cysuro yr Iuddewon âg addewid o amddiffyniad Jehofa, ac felly eu hennill hwy i ymddiried ynddo ef yn hytrach nag yn yr Aifft. Fel pe dywedasai, Er i chwi wneyd ar fai wrth anfon i'r Aifft, at rai na allant eich cynorthwyo; eto bydd i'r Arglwydd, o'i ddaioni a'i drugaredd ei hun, ac er gogoniant i'w enw ei hun, roddi i chwi y cymhorth hwnw rhag yr Assyriaid, yr hwn nid ydych yn ei haeddu, ac na feddwch sail i'w ddysgwyl. *Megys y rhua hen lew a'r llew ieuanc ar ei ysglyfaeth*—pan y byddo yn barod i neidio arno a'i rwygo; *yr hwn er galw lluaws o fugeiliaid yn ei erbyn, ni ddychryn rhag eu llef hwynt*—fel ag i beidio neidio arno; *ac nid ymostwng er eu twrf hwynt*—ni ddigalonir ef, fel ag i ollwng ei afael o hono. *Felly y disgyn Arglwydd y lluoedd i ryfela dros fynydd Seion*—neu Jerusalem, adn. 5; *a thros ei fryn ef*—lle yr oedd y deml. Y meddwl yw, nad ofnai Duw rhag twrf bygythiol a chableddus yr Assyriaid, mwy nag yr ofnai llew cryf rhag amledd a thwrf rhyw fugeiliaid a geisient ei ddychrynu ef ymaith oddiwrth ei ysglyfaeth. Mynai yr Assyriaid wneyd ysglyfaeth o fynydd Seion; ond gwnaeth yr Arglwydd ysglyfaeth o honynt hwy, er mwyn achub mynydd Seion.

Adn. 5. *Megys adar yn ehedeg*] Uwchben eu nythod, i amddiffyn eu cywion; *felly yr amddiffyn Arglwydd y lluoedd Jerusalem*—rhag ymosodiad Senacherib: *gan amddiffyn a gwared*—gan ei hamddiffyn yn y fath fodd fel ag i sicrhau ei gwaredigaeth; *gan basio heibio ac achub*—meddylir fod yma gyfeiriad at waith Jehofa yn myned heibio drysau yr Israeliaid, wrth weled y gwaed ar gapan y drws ac ar y ddau ystlys-bost, gan attal i'r dinystrydd fyned i'w tai i ddinystrio: gwel ar Exod. xii. 23.

Adn. 6. *Dychwelwch at yr hwn y llwyr-giliodd meibion Israel oddiwrtho*] Yr oedd y deg llwyth wedi cilio yn llwyr oddiwrth yr Arglwydd, ac wedi eu caethgludo i Assyria; ac yr oedd y ddau lwyth arall, Juda a Benjamin, y rhai hefyd oeddynt o feibion Israel, wedi cilio i raddau pell iawn, pan yr ymddiriedent yn yr Aifft yn fwy nag yn yr Arglwydd eu Duw: ond am y mynai yr Arglwydd eu harbed hwy, gelwir arnynt yma i ddychwelyd at yr Arglwydd mewn edifeirwch, fel y gallent gael eu harbed.

Adn. 7. *O herwydd yn y dydd hwnw*] Pan yr ymosoda yr Assyriaid ar eich gwlad; *gwrthodant bob un ei eilunod arian a'i eilunod aur*—gan ymddiried yn yr Arglwydd yn unig am gynorthwy ac ymwared; *y rhai a wnaeth eich dwylaw eich hun yn bechod i chwi*—yn offerynau eich pechod o eilunaddoliaeth: gwel ar pen. xxx. 22.

Adn. 8. *A'r Assyriad a syrth trwy gleddyf*] Felly y gelwir offeryn eu dinystr, pa beth bynag ydoedd; *nid eiddo gŵr grymus*—nid trwy gleddyf yr Aifftiaid 'nerthol,' wrth y rhai y dysgwyliwch chwi am gynorthwy, adn. 1: *a chleddyf, nid eiddo dyn gwael, a'i difa ef*—hyny yw, bydd i fyddin yr Assyriaid gael ei difa, nid trwy gleddyf unrhyw *ddyn*, grymus na gwael, eithr trwy gleddyf anweledig *angel* yr Arglwydd. Ond tybia rhai mai at Senacherib ei hun y cyfeirir yma, yr hwn a syrthiai trwy ddwylaw ei ddau fab; nid gwŷr *grymus*, canys nid oeddynt yn rhyfelwyr; ac nid dynion *gwael*, canys yr

a'i wŷr ieuainc a fyddant dan dreth.
9 Ac efe a â i'w graig rhag ofn;
a'i dywysogion a ofnant rhag y
faner, medd yr Arglwydd, yr hwn
*y mae* ei dân yn Seion, a'i ffwrn yn
Jerusalem.

## PENNOD XXXII.

WELE, brenin a deyrnasa mewn
cyfiawnder, a thywysogion a
lywodraethant mewn barn.
2 A gŵr fydd megys yn ymgudd-
fa *rhag* y gwynt, ac yn lloches *rhag*
y dymhestl; megys afonydd dyfr-
oedd mewn sychdir, megys cysgod
craig fawr mewn tir sychedig.
3 Yna llygaid y rhai a welant ni
chauir, a chlustiau y rhai a glywant
a wrandawant.
4 Calon y rhai ehud hefyd a
ddeall wybodaeth, a thafod y rhai
bloesg a brysura lefaru yn eglur.
5 Ni elwir mwy y coegddyn yn
foneddig, ac ni ddywedir am y cyb-
ydd, Hael *yw*.
6 Canys coegwr a draetha goeg-
ni, a'i galon a wna anwiredd, i rag-
rithio, ac i draethu amryfusedd yn
erbyn yr Arglwydd, i ddiddymu

---

oeddynt yn dywysogion: gwel ar 2 Bren. xix. 37. *Ac efe a ffy rhag y cleddyf*—gwyddom i Senacherib ffoi rhag cleddyf yr Iuddewon, a rhag cleddyf anweledig yr angel dinystriol hefyd; *a'i wŷr ieuainc a fyddant dan dreth*—Saes., 'a faeddir,' neu 'a orchfygir;' neu, fel yr arwydda y wreiddiol, 'a doddir.' Nid ydym i feddwl i'r Assyriaid fyned dan dreth i'r Iuddewon; eithr y meddwl yw, y byddai i wŷr ieuainc brenin Assyria, blodau a grym ei fyddin ef, y rhai na laddwyd y pryd hyn, gael eu llwyr ddarostwng, yr un modd ag y mae dynion a osodir dan dreth i ereill yn cael eu darostwng danynt.

Adn. 9. *Ac efe a â i'w graig rhag ofn*] Ffoa Senacherib i'w amddiffynfa yn Ninefe, pen. xxxvii. 37; *a'i dywysogion*—y rhai a lywodraethent ei daleithiau ymddibynol; *a ofnant rhag y faner*—rhag unrhyw faner a welent, gan ofni mai baner fygythiol rhyw elyn nerthol a fyddai; neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'ofnant wrth ei weled ef yn ffoi.' *Medd yr Arglwydd, yr hwn y mae ei dân yn Seion*—yn llosgi yn barhaus ar allor y poethoffrwm; *a'i ffwrn yn Jerusalem*—sef 'tân ei ddigofaint,' i losgi ei elynion ac amddiffyn ei bobl, Zech. ii. 5, a xii. 6. Neu gall mai amcan y geiriau yw dangos yr Arglwydd megys gŵr yn cadw tŷ yn Seion neu Jerusalem, lle yr oedd ganddo ei dân a'i ffwrn at ei wasanaeth ei hun a'i deulu; ac am hyny efe a amddiffynai ei dŷ ei hun, ac a ddinystriai bawb a geisient ymosod arno.

PEN. XXXII. Adn. 1. *Wele, brenin a deyrnasa mewn cyfiawnder*] Addefir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio at Hezeciah, yr hwn oedd yn gysgod o Grist; *a thywysogion*—sef barnwyr, ynadon, a swyddogion y deyrnas, *a lywodraethant mewn barn*—a lanwant eu swyddau mewn cyfiawnder a ffyddlondeb. Meddylir i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn niwedd teyrnasiad Ahaz, neu yn nechre teyrnasiad Hezeciah. Ond er fod yma gyfeiriad at Hezeciah a swyddogion ei deyrnas, y mae yn amlwg fod yma gyfeiriad hefyd at Grist a swyddogion ei eglwys; canys nis gellir cymhwyso rhai o'r ymadroddion a ddefnyddir yma at unrhyw ddyn, nac at unrhyw amser amgen na dyddiau yr efengyl.

Adn. 2. *A gŵr fydd megys yn ymguddfa rhag y gwynt*] Rhag gorthrymderau gwladol; *ac yn lloches rhag y dymhestl*—rhag cynddaredd, trais, ac annghyfiawnder gormeswyr. *Megys afonydd dyfroedd mewn sychdir*—yn maethloni ac yn adfywio yr holl wlad; felly y byddai Hezeciah i'w deyrnas: *megys cysgod craig fawr mewn tir sychedig*—yn cuddio yr ymdeithydd rhag gwres yr haul; felly y byddai y brenin duwiol a doeth hwn i'w ddeiliaid. Ond y mae hyn yn wir am Grist, mewn ystyr llawer helaethach, i bawb a ymnoddant dan ei gysgod ef.

Adn. 3. *Yna llygaid y rhai a welant ni chauir*] Bydd llygaid y gweledyddion, neu athrawon y bobl, yn agored i ganfod gwirioneddau Duw; *a chlustiau y rhai a glywant*—sef clustiau y bobl, y rhai a addysgid gan eu hathrawon, *a wrandawant*—ar eu haddysgiadau hwynt.

Adn. 4. *Calon y rhai ehud hefyd*] Sef rhai byrbwyll a hawdd eu *hudo*, yr hyn sydd yn arwydd o wendid ac anwybodaeth; *a ddeall wybodaeth*—hwy a fyddant yn fwy pwyllig ac ystyriol, ac o ganlyniad yn alluog i ffurfio barn fwy cywir a goleu: *a thafod y rhai bloesg*—y rhai a arferent lefaru yn dywyll, neu gydag amheuaeth; *a brysura lefaru yn eglur*—am bethau Duw a'i grefydd. Y meddwl yw, y rhoddai Duw iddynt oleuni a deall, trwy ei air a'i Ysbryd, fel y gallent wybod y gwirionedd, ac hefyd ei draethu.

Adn. 5. *Ni elwir mwy y coegddyn*] Hebr., 'y ffol,' neu ddyn o feddwl bâs, crintach, a gwael; *yn foneddig*—yn ddyn synwyrol, anrhydeddus, a da: *ac ni ddywedir am y cybydd*—yr hwn a fŷn grafangu y cwbl iddo ei hun, ac eto a ofna fwynhau dim, rhag iddo ddarfod; *Hael yw*—i'r tylawd a'r anghenus. Y meddwl yw, na fyddai neb yn *gwenieithio* i arall y pryd hyny, neu yn priodoli i ddynion rinweddau na pherthynant iddynt.

Adn. 6. *Canys coegwr a draetha goegni*] Hebr., 'a draetha ynfydrwydd;' *a'i galon a wna anwiredd, i ragrithio*—ei amcan yw per i ddynion feddwl ei fod yr hyn nad yw; *ac i draethu amryfusedd yn erbyn yr Arglwydd*—neu gyhoeddi dedfryd annghyfiawn yngroes i orchymyn Duw; *i ddiddymu enaid y newynog*—Saes., 'i waghau enaid y newynog;' *ac*

enaid y newynog; ac efe a wna i
ddiod y sychedig ballu.
7 Arfau y cybydd *sydd* ddrygion-
us: efe a ddychymyg ddichellion i
ddifwyno y trueiniaid trwy ymad-
roddion gau; pan draetho yr ang-
henus yr union.
8 Ond yr hael a ddychymyg hael-
ioni; ac ar haelioni y saif efe.
9 ¶ Cyfodwch, wragedd diwaith;
clywch fy llais: gwrandewch fy
ymadrodd, ferched diofal.
10 Dyddiau gyda blwyddyn y
trallodir chwi, wragedd difraw:
canys darfu y cynauaf gwin, ni
ddaw cynull.
11 Ofnwch, rai difraw; dychryn-
wch, rai diofal: ymddyosgwch, ac
ymnoethwch, a gwregyswch *sach-
lian* am eich llwynau.
12 Galarant am y tethau, am y
maesydd hyfryd, am y winwydden
ffrwythlon.
13 Cyfyd drain *a* mieri ar dir fy
mhobl, ïe, ar bob tŷ llawenydd *yn*
y ddinas hyfryd.
14 Canys y palasau a wrthodir,
lluosogrwydd y ddinas a adewir, yr
amddiffynfeydd a'r tyrau fyddant
yn ogofeydd hyd byth, yn hyfryd-
wch asynod gwylltion, yn borfa de-
adellau;

---

*efe a wna i ddiod y sychedig ballu*—fel na chai y tylawd na bwyd na diod o'i fodd ef. Dan deyrnasiad brenin drwg fel *Ahaz*, gallai dynion gwael fel hyn gael eu dyrchafu i swydd ac awdurdod, ac felly gael gwenieithio iddynt, adn. 5; ond dan deyrnasiad brenin doeth a rhinweddol fel *Hezeciah*, ni dderbynid coegwyr o'r fath i swyddau dan y llywodraeth, am y byddai i goegwyr felly ymddwyn yn gyson â'u natur, a thraethu coegni, fel ag i lygru a niweidio pawb o'u deutu: gwel ar Salm ci. 4—8.

Adn. 7. *Arfau y cybydd sydd ddrygionus*] Sef y ffyrdd neu y moddion trwy ba rai y cyflawna efe ei amcanion: *efe a ddychymyg ddichellion i ddifwyno y trueiniaid*—Saes., 'i ddyfetha y tylodion;' *trwy ymadroddion gau*—trwy anwireddau neu gamddarluniadau; *pan draetho yr anghenus yr union*—pan ddywedo efe yr hyn fyddo wir, neu pan fyddo ei achos yn dda ac union. Ac am hyny ni ddylai y fath ddyn gael ei osod mewn swyddau o awdurdod.

Adn. 8. *Ond yr hael*] Dyn boneddigaidd a rhinweddol; *a ddychymyg haelioni*—efe a amcana yn mhob dim i wneyd yr hyn fyddo union, haelfrydig, a rhinweddol, er lles a chysur i bawb; *ac ar haelioni y saif efe*—efe a ddadleua dros haelioni a rhinwedd, ac a weithreda bob amser yn gyson â hyny; neu, bydd i'w gymeriad, ei anrhydedd, a'i barch gael eu *sicrhau* trwy ei haelioni.

Adn. 9. *Cyfodwch, wragedd diwaith*] Y rhai ydych yn eistedd yn ddiog uwchben eich digon; *clywch fy llais*—yn eich rhybyddio: *gwrandewch fy ymadrodd, ferched diofal*—y rhai ydych yn sefyll yn ddifraw yn ngwyneb holl fygythion Duw. Wrth y gwragedd a'r merched hyn y dealla rhai *ddynion* merchedaidd a difraw; ac ereill, *fenywod* beilchion Juda a Jerusalem; ac ereill, eu *dinasoedd* a'u *pentrefi* hwy. Oddiyma hyd ddiwedd adn. 14, arddanghosir y blinder a'r trallod a ddeuai ar yr Iuddewon a'u gwlad oddiwrth yr Assyriaid yn amser Senacherib, ac oddiwrth y Caldeaid yn amser Nebuchodonosor; ac yn adn. 15—20, cyfeirir at y llwyddiant a'r dedwyddwch a ddylynai y trallodau hyny, yr hyn oedd yn gysgod o lwyddiant a dedwyddwch eglwys Dduw dan yr efengyl.

Adn. 10. *Dyddiau gyda blwyddyn y trallodir chwi*] Yr hyn yn gywir oedd hyd yr amser ag y parhaodd Senacherib i'w blino hwy. Holl flynyddau teyrnasiad Hezeciah oedd 29; ymosododd Senacherib ar ei wlad ef yn y 14eg o'i deyrnasiad; ac ar ol dinystr byddin yr Assyriaid chwanegwyd at ei ddyddiau ef 15 mlynedd: gwel ar 2 Bren. xx. 1. *Wragedd difraw*—gwel ar adn. 9. *Canys darfu y cynauaf gwin*—fel na chynullid y ffrwythau i mewn yn amser ymosodiad Senacherib, ac yn enwedig yn amser caethgludiad yr Iuddewon i Babilon.

Adn. 11. *Ofnwch, rai difraw*] Gwel ar adn. 9; *dychrynwch, rai diofal*—rhag y trallod hwn, adn. 10; *ymddyosgwch ac ymnoethwch*—tynwch eich harddwisg oddiam danoch; *a gwregyswch sach-lian am eich llwynau*—yn arwydd o edifeirwch a galar: gwel ar pen. iii. 24.

Adn. 12. *Galarant am y tethau*] Am laeth eu gwartheg, neu am unrhyw beth a roddai faeth a moethau iddynt; *am y maesydd hyfryd*—y rhai ni bydd neb i'w trefnu a'u gwrteithio; *am y winwydden ffrwythlon*—yr hon a ddinystrid ond odid gan y gelynion.

Adn. 13. *Cyfyd drain a mieri ar dir fy mhobl*] O ddiffyg dynion i'w drin a'i amgeleddu, pen. vii. 29, &c.; *ïe, ar bob tŷ llawenydd yn y ddinas hyfryd*—sef ar y fan lle gynt y safai eu tai. Cyfeirir yma at ddinasoedd Juda, y rhai a ddinystrid gan yr Assyriaid; neu ynte at y dinystr a syrthiai ar y wlad yn gyffredinol trwy ddwylaw y Caldeaid, ac wedi hyny trwy ddwylaw y Rhufeiniaid.

Adn. 14. *Canys y palasau a wrthodir*] Gan eu preswylwyr, er teced ydynt; *lluosogrwydd y ddinas a adewir*—pobl luosog y ddinas a roddir i fyny gan Dduw i ddwylaw eu gelynion, neu a adewir i ymdaro drostynt eu hunain: *yr amddiffynfeydd a'r tyrau fyddant yn ogofeydd*—i finteioedd o yspeilwyr; *am byth*—am hir amser, neu hyd oni thywallter yr Ysbryd o'r uchelder, adn. 15; *yn hyfrydwch asynod gwylltion, &c.*—yn borfa i bob math o ysgrubliaid.

15 Hyd oni thywallter arnom yr
Ysbryd o'r uchelder, a bod yr anial-
wch yn ddoldir, a chyfrif y doldir
yn goedtir.
16 Yna y trig barn yn yr anial-
wch, a chyfiawnder a erys yn y dol-
dir.
17 A gwaith cyfiawnder fydd
heddwch ; ïe, gweithred cyfiawnder
*fydd* llonyddwch, a diogelwch, hyd
byth.
18 A'm pobl a drig mewn pres-
wylfa heddychlon, ac mewn annedd-
au diogel, ac mewn gorphwysfa-
oedd llonydd:
19 Pan ddisgyno cenllusg *ar* y
coed, ac y gostyngir y ddinas mewn
lle isel.
20 Gwŷn eich byd y rhai a hau-
wch gerllaw pob dyfroedd, y rhai a
yrwch draed yr ŷch a'r asyn *yno.*

## PENNOD XXXIII.

GWAE *di* anrheithiwr, a thi heb dy anrheithio; a *thi* anffyddlon, er na wnaed yn anffyddlon â thi: pan ddarffo it' anrheithio, y'th anrheithir; *a* phan ddarffo it' fod yn anffyddlon, byddant anffyddlon i ti.

---

Adn. 15. *Hyd oni thywallter arnom yr Ysbryd o'r uchelder*] Sef o'r nefoedd. Os yw y proffwyd yn cyfyngu ei ddarluniad o drallodau yr Iuddewon i yspaid ymosodiad Senacherib, yna cyfeiria yr ymadrodd hwn at y duwioldeb a'r llwyddiant a ffynai yn niwedd oes Hezeciah, ar ol dinystr byddin yr Assyriaid; ond os at gyflwr gwlad Judea yn ystod caethiwed Babilon y cyfeiria efe, yna rhaid mai at gyflwr dedwydd yr eglwys ar ol ei dychweliad o'r caethiwed hwnw y cyfeirir yma. Gallwn feddwl mai nid tywalltiad yr Ysbryd ar ddydd y pentecost a feddylir; canys yn mhen deugain mlynedd ar ol hyny y dinystriwyd Jerusalem, yr anrheithiwyd y wlad, ac y gwasgarwyd yr Iuddewon gan y Rhufeiniaid. Y mae diwedd yr adnod hon yn rhoddi lle i feddwl mai at dywalltiad yr Ysbryd yn y dyddiau diweddaf, ar ol dydd y pentecost, y cyfeirir yma, pryd y dychwelid y Cenhedloedd i eglwys Crist, ac y gwrthodid yr Iuddewon o herwydd eu hannghrediniaeth; neu ynte at y tywalltiad cyffredinol o hono yn nechre y milflwyddiant, pryd y bydd i'r Iuddewon a'r Cenhedloedd gael eu cydgorffori yn un eglwys. *A bod yr anialwch yn ddoldir*—gwel ar pen. xxix. 17; *a chyfrif y doldir yn goedtir*—y mae rhai yn deall y geiriau hyn yn llythyrenol; ond gan mai effaith tywalltiad yr Ysbryd o'r uchelder a fydd hyn, y mae yn debycach mai am yr eglwys, mewn rhyw gyfnod, y sonir yma.

Adn. 16. *Yna y trig bârn*] Cyfiawnder a gwir grefydd; *yn yr anialwch*—yn mhlith dynion annuwiol ag oeddynt o'r blaen fel anialwch gwyllt; *a chyfiawnder a erys yn y doldir*—a erys yn *barhaus* yn mhlith y rhai a wnaed gan Ysbryd Duw fel doldir ffrwythlon.

Adn. 17. *A gwaith cyfiawnder*] Sef ffrwyth neu effaith gwir grefydd; *fydd heddwch*—rhwng dynion a'u gilydd, a rhyngddynt a Duw: *ïe, gweithred cyfiawnder*—yr hon a gynyrchir gan gyfiawnder neu wir grefydd; *fydd llonyddwch*—pob math o lonyddwch, ac yn enwedig tawelwch cydwybod; *a diogelwch hyd byth*—sef diogelwch parhaus rhag cynhen, terfysg, ac ymryson; a diogelwch bythol i'r enaid rhag dialedd dwyfol.

Adn. 18. *A'm pobl a drig mewn preswylfa heddychlon*] Heb gael eu blino gan elynion oddifewn nac oddifaes; *ac mewn anneddau diogel*—fel Israel gynt dan arwydd y gwaed; *ac mewn gorphwysfaoedd llonydd*—cyfeiria hyn at lonyddwch a diogelwch yr eglwys yn y dyddiau diweddaf, yn gystal ag at gyflwr yr Iuddewon ar ol eu dychweliad o Babilon.

Adn. 19. *Pan ddisgyno cenllusg ar y coed*] Pan syrthio barnedigaethau Duw ar ei elynion ef; *ac y gostyngir y ddinas mewn lle isel*—hyny yw, pan ddarostyngir Ninefe neu Babilon, neu bob un o'r ddwy, i gyflwr isel. Ond tybia rhai mai at ddarostyngiad Jerusalem, gelyn penderfynol y Messia, y cyfeirir yma.

Adn. 20. *Gwŷn eich byd y rhai a hauwch gerllaw pob dyfroedd*] Mewn lleoedd dyfradwy ac ireiddlon, lle y gellwch ddysgwyl cnwd toreithiog; *y rhai a yrwch draed yr ŷch a'r asyn yno*—i aredig y tir, neu i sathru yr had yn y llaid ar ol ei hau. Meddylir fod yma gyfeiriad at ddull y dwyreinwyr o hau *reis:* gwel ar Preg. xi. 1. Ond y mae yr adnod hon i'w deall yn ysbrydol, am lafur gweinidogion yr efengyl ac ereill, yn y dyddiau diweddaf, yn hau had da y gair; yr hwn, dan ddylanwad Ysbryd Duw, a gynyrcha ffrwyth toreithiog, yr un modd a'r had naturiol a hauer mewn tir dyfradwy; a byddant hwythau, yr un modd a'r hauwyr dwyreiniol, yn wynfydedig a dedwydd wrth weled eu hymdrechiadau yn llwyddo.

PEN. XXXIII. Adn. 1. *Gwae di anrheithiwr*] Sef Senacherib brenin Assyria, yr hwn a anrheithiai wlad Judea; *a thi heb dy anrheithio*—felly gan yr Iuddewon: *a thi anffyddlon, er na wnaed yn anffyddlon â thi*—ymddygasai Senacherib yn anffyddlon iawn i'w gytundeb â Hezeciah, pryd nad oedd dim anffyddlondeb wedi ei wneyd âg ef: gwel ar 2 Bren. xviii. 17, &c., 2 Cron. xxviii. 20. *Pan ddarffo it' anrheithio, y'th anrheithir*—ac felly yn ddiamau y gwnaeth yr Iuddewon â'i wersyll ef, ar ol i'w fyddin gael ei dinystrio gan angel yr Arglwydd: gwel ar adn. 23. *A phan ddarffo it' fod yn anffyddlon*—tuag at yr Iuddewon; *byddant anffyddlon i ti*—hyny yw, bydd ereill felly. Yn ganlynol i hyny lladdwyd ef gan ei feibion ei

2 Arglwydd, trugarha wrthym; wrthyt y dysgwyliasom: bydd fraich iddynt bob bore, a'n hiachawdwriaeth ninau yn amser cystudd.
3 Wrth lais y twrf y gwibiodd y bobl; wrth ymddyrchafu o honot y gwasgarwyd y cenhedloedd.
4 A'ch yspail a gynullir *fel* cynulliad lindys; fel gwibiad ceiliogod rhedyn y rhed efe arnynt.
5 Dyrchafwyd yr Arglwydd; canys preswylio y mae yn yr uchelder: efe a lanwodd Seion o farn a chyfiawnder.
6 A sicrwydd dy amserau, *a* nerth iachawdwriaeth, fydd doethineb a gwybodaeth: ofn yr Arglwydd *yw* ei drysor ef.
7 Wele, eu rhai dewrion a waeddant oddiallan: cenadon heddwch a ŵylant yn chwerw.
8 Aeth y prif-ffyrdd yn ddisathr, darfu cyniweirydd llwybr: diddymodd y cyfammod, diystyrodd y dinasoedd, ni wnaeth gyfrif o ddynion.
9 Galarodd *a* llesgaodd y ddaear; cywilyddiodd Libanus, *a* thorwyd ef; Saron a aeth megys anialwch, ysgydwyd Basan hefyd a Charmel.

---

hun, a llyncwyd ei deyrnas o'r diwedd gan amherodraeth y Babiloniaid. Ymddengys mai cân fuddugol yw hon ar ddinystr byddin Senacherib, yn cael ei chanu gan wahanol bleidiau.

Adn. 2. *Arglwydd, trugarha wrthym*] Yma y mae y proffwyd yn tori allan i weddio drosto ei hun a'i genedl, gan gredu mai gweddi oedd yr arfogaeth fwyaf effeithiol yn erbyn yr Assyriaid: *wrthyt y dysgwyliasom*—gwel ar pen. xxvi. 8. *Bydd fraich iddynt*—neu, 'bydd fraich *i ni*,' fel y mae y Syriaeg, y Galdeaeg, a'r Vulgate yn ei ddarllen; *bob bore*—hyny yw, bydd yn *gymhorth* i ni bob dydd, ac yn fore bob dydd; *a'n hiachawdwriaeth ninau yn amser cystudd*—yn amser ein trallod hwn oddiwrth yr Assyriaid.

Adn. 3. *Wrth lais y twrf y gwibiodd y bobl*] Hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, wrth floedd uchel byddin yr Assyriaid y dychrynodd ac y ffôdd llawer o'r Iuddewon; neu gall mai yr ystyr yw, i'r Assyriaid wibio mewn dychryn wrth lais arswydol yr Arglwydd i'w herbyn: *wrth ymddyrchafu o honot*—i ddial arnynt, *y gwasgarwyd y cenhedloedd*—eilunaddolgar. Lladdwyd 185,000 o honynt mewn un noson, a ffôdd llawer ond odid gyda'u brenin, pen. xxxvii. 36, 37.

Adn. 4. *A'ch yspail*] Hyn a ddywedir wrth yr Assyriaid; *a gynullir fel cynulliad lindys*—ar ol lladd a gwasgaru yr Assyriaid, byddai i'r Iuddewon gynull yr holl yspail a ddygasent hwy oddiar ereill, a hyny mor llwyr ag y cynullai y lindys gnwd y maes: *fel gwibiad ceiliogod rhedyn*—Saes., 'fel gwibiad *locustiaid*,' i ddifa yr holl wyrddlysiau; *y rhed efe arnynt*—y rhedai Hezeciah a'i bobl i yspeilio eu gwersyll hwynt, yr hyn oedd gyfreithlon mewn rhyfel: gwel ar adn. 23.

Adn. 5. *Dyrchafwyd yr Arglwydd*] Yn ngolwg pawb, wrth iddo ddinystrio byddin mor luosog mewn un noson, ac wrth iddo waredu ei bobl o berygl mor fawr: *canys preswylio y mae yn yr uchelder*—y mae efe eisioes yn ddyrchafedig goruwch pawb yn y nefoedd ac ar y ddaear: *efe a lanwodd Seion o farn a chyfiawnder*—byddai i Jerusalem nid yn unig gael ei gwaredu o ddwylaw yr Assyriaid, ond hefyd gael ei bendithio dan deyrnasiad Hezeciah â chyfiawnder gwladol ac eglwysig, yr hyn yw ffrwyth gwir grefydd.

Adn. 6. *A sicrwydd dy amserau*] Sef dyddiau teyrnasiad Hezeciah, yr hwn a gyfeirchir yma; *a nerth iachawdwriaeth*—neu dy nerth achubol rhag dy elynion; *fydd doethineb a gwybodaeth*—i lywodraethu dy deyrnas yn dda. *Ofn yr Arglwydd*—neu wir grefydd, *yw ei drysor ef*—yr hwn sydd yn drysor llawer gwerthfawrocach na'r trysorau a roddasai Hezeciah i'r Assyriaid, neu a gymerasai efe oddiarnynt hwy, adn. 4. Byddai hyn yn fwy o sicrwydd, diogelwch, a nerth i'r wlad, na phob cadernid neu ddiogelwch arall. Ond y mae rhai yn cyfieithu yr adnod hon fel hyn: 'Diogelwch dy amserau fydd nerth, iachawdwriaeth, doethineb, a gwybodaeth: ofn yr Arglwydd, hyn fydd dy drysor.'

Adn. 7. *Wele, eu rhai dewrion a waeddant oddiallan*] Neu a waeddant allan, neu yn uchel, sef swyddogion milwraidd yr Iuddewon cyn eu gwaredu oddiwrth yr Assyriaid: *cenadon heddwch*—sef Eliacim, Sobnah, a Joab, 2 Bren. xviii 37; *a ŵylant yn chwerw*—wrth glywed cabledd a bygythion yr Assyriaid, ac wrth weled na wnaent hwy heddwch ar unrhyw ammodau têg.

Adn. 8. *Aeth y prif-ffyrdd yn ddisathr*] Trwy holl wlad Judea; *darfu cyniweirydd llwybr*—trwy nad oedd neb o'r Iuddewon yn meiddio myned allan o'r ddinas rhag ofn eu gelynion. *Diddymodd y cyfammod*—diddymodd Senacherib y cytundeb a wnaethai efe i ymadael am swm o arian, 2 Bren. xviii. 14—17; *diystyrodd y dinasoedd*—gan edrych ar ddinasoedd caerog Judea fel rhai hawdd eu cymeryd; *ni wnaeth gyfrif o ddynion*—o'u nerth, na'u bywydau, na'u cynygion i wneuthur heddwch.

Adn. 9. *Galarodd a llesgaodd y ddaear*] Sef y rhan hòno o wlad Canaan, dan y gorthrwm hwn; *cywilyddiodd Libanus*—am i'w goed gwerthfawr gael eu tori a'u llosgi gan y gelynion; *Saron a aeth megys anialwch*—er ei fod o'r blaen yn lle hyfryd a ffrwythlon; *ysgydwyd Basan hefyd a Charmel*—o'u holl ffrwythau. Hon sydd iaith farddonol brydferth, yn arddangos y difrod a wneid i wlad Judea gan yr Assyriaid. Gan mai lleoedd yn perthyn

10 Cyfodaf yn awr, medd yr Arglwydd: ymddyrchafaf weithian; ymgodaf bellach.
11 Chwi a ymddygwch ûs, *ac* a esgorwch ar sofl; eich anadl *fel* tân a'ch ysa chwi.
12 A'r bobloedd fyddant *fel* llosgfa calch, *fel* drain wedi eu tori y llosgir hwy yn tân.
13 ¶ Gwrandewch, belledigion, yr hyn a wnaethym; a gwybyddwch, gymydogion, fy nerth.
14 Pechaduriaid a ofnasant yn Seion, dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr: pwy o honom a drig gyda'r tân ysol? pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragwyddol?
15 Yr hwn a rodia *mewn* cyfiawnder, ac a draetha uniondeb, a wrthyd elw trawsder, a ysgydwo ei law rhag derbyn gwobr, a gauo ei glust rhag clywed celanedd, ac a gauo ei lygaid rhag edrych ar ddrygioni.
16 Efe a breswylia yr uchelderau; cestyll y creigiau *fydd* ei amddiffynfa ef: ei fara a roddir iddo, ei ddwfr *fydd* sicr.
17 Dy lygaid a welant y brenin yn ei degwch: gwelant y tir pell.

---

i'r deg llwyth oedd y manau hyn, nid ymddengys i Senacherib eu difwyno hwynt o'u barddwch a'u cynyrch ffrwythlon y pryd hyn. Ond yr oedd Salmaneser cyn hyn wedi anrheithio y lleoedd hyny. Gan hyny rhaid mai cyffelybu difwyniad Judea y pryd hyn gan Senacherib, i ddifwyniad gwlad y deg llwyth y pryd hyny gan Salmaneser, y mae y proffwyd yma.

Adn. 10. *Cyfodaf yn awr, medd yr Arglwydd*] Wrth weled hyfdra cableddus yr Assyriaid; *ymddyrchafaf weithian*—i achub fy mhobl, ac i ddial ar eu gelynion hwy; *ymgodaf bellach*—efe a ddywed hyn deirgwaith, i ddangos sicrwydd y weithred.

Adn. 11. *Chwi a ymddygwch ûs, ac a esgorwch ar sofl*] Try eich holl fwriadau a'ch gobeithion chwi yr Assyriaid yn siomedigaeth hollol: *eich anadl fel tân a'ch ysa chwi*—bydd i'ch cynddaredd yn erbyn fy mhobl ddwyn dinystr arnoch chwi eich hunain. Neu, fel y mae *Lowth*, ar ol y Galdeaeg, yn ei ddarllen, 'A'm *hysbryd* fel tân a'ch ysa chwi,' sef Ysbryd neu anadl yr Arglwydd.

Adn. 12. *A'r bobloedd fyddant fel llosgfa calch*] Bydd byddin yr Assyriaid fel odyn galch, neu llosgir hwynt yn lludw: *fel drain wedi eu tori*—ac wedi gwywo, a'u crynhoi yn bentwr; *y llosgir hwy yn y tân*—nes eu difa yn hollol. Tybia rhai mai *tân* neu *fellt* oedd offeryn dinystr yr Assyriaid: ond gwel ar 2 Bren. xix. 35.

Adn. 13. *Gwrandewch, belledigion*] Yn mhlith y Cenhedloedd, *yr hyn a wnaethym*—i fyddin yr Assyriaid; *a gwybyddwch, gymydogion, fy nerth*—Saes., 'cydnabyddwch fy nerth,' chwi Ganaaneaid. Efe a fynai i bawb, yn mhell ac yn agos, gydnabod mawredd ei nerth yn yr hyn a wnaethai efe i fyddin yr Assyriaid ac o blaid ei bobl ei hun, fel y byddai i bawb ofni Duw Israel, ac arswydo rhag aflonyddu ei etifeddiaeth ef.

Adn. 14. *Pechaduriaid a ofnasant yn Seion*] Pan welsant dân Duw yn difa byddin yr Assyriaid; *dychryn a ddaliodd y rhagrithwyr*—y rhai, er proffesu o honynt eu bod yn caru ac yn gwasanaethu Duw, eto oeddynt â'u calon yn mhell oddiwrtho. *Pwy o honom a drig gyda'r tân ysol*—o flaen yr hwn nid oedd byddin luosog yr Assyriaid ond megys drain? *Pwy o honom a breswylia gyda llosgfeydd tragwyddol*—pan y mae llosgfa am *un noson* wedi gwneuthur cynifer o'r Assyriaid fel calch neu ludw? adn. 12. Ymddengys oddiyma, yn gystal ag oddiwrth ranau ereill o'r ysgrythyr, fod yr Iuddewon yn credu yn nhragwyddol gospedigaeth yr annuwiol mewn byd arall.

Adn. 15. *Yr hwn a rodia mewn cyfiawnder*] Yr hwn, ar ol ei gyfiawnhau yn gyntaf trwy ffydd, a ymddyga yn gyfiawn yn mhob peth tuag at Dduw a dynion, fel yr adroddir isod. Ymddengys fod y proffwyd yma yn cymeryd mantais ar ofn a dychryn y pechaduriaid a'r rhagrithwyr uchod yn Seion, i ddangos iddynt pa fodd y gallent ddianc rhag y dialedd a'r gosp a ofnent, a pha fodd i gyraedd diogelwch a breintiau y cyfiawnion. *Ac a draetha uniondeb*—a ddywed y gwir ar bob achos, heb enllibio, goganu, na thwyllo ei gymydog. *A wrthyd elw trawsder*—yr hwn a wrthyd orthrymu neb, neu gymeryd mantais ar angen neu anwybodaeth ei gymydog er mwyn ei elw ei hun. *A ysgydwo ei law rhag derbyn gwobr*—yn arwydd na dderbyn efe wobr am ŵyro barn, neu wneyd cam â neb. *A gauo ei glust rhag clywed celanedd*—rhag gwrando ar neb a fynai ei hudo ef i weithredoedd o drais, creulondeb, neu dywallt gwaed. *Ac a gauo ei lygaid rhag edrych ar ddrygioni*—o unrhyw fath; hyny yw, rhag edrych ar ddrygioni yn cael ei gyflawni gan ereill heb iddo eu ceryddu, ac yn enwedig rhag cyflawni drygioni ei hun. Y neb a wnelai hyn, o barch i Dduw, ac mewn ufydd-dod i'w orchymyn ef, efe nid yn unig a gedwid rhag 'llosgfeydd tragwyddol,' adn. 14, ond a gai fwynhau y breintiau a enwir isod.

Adn. 16. *Efe a breswylia yr uchelderau*] Allan o gyraedd pob perygl; neu, efe a gaiff fyned yn y diwedd i'r nefoedd, yn lle i uffern. *Cestyll y creigiau fydd ei amddiffynfa ef*—sef yr amddiffynfeydd cryfaf; neu Duw ei hun fydd ei amddiffynfa, yr hwn yw Craig yr oesoedd. *Ei fara a roddir iddo, ei ddwfr fydd sicr*—gofala Duw am ddiwallu ei holl angenrheidiau naturiol ef yn y bywyd hwn, tra y byddo ar ei daith i'r bywyd tragwyddol.

18 Dy galon a fyfyria ofn; pa le *y mae* yr ysgrifenydd? pa le *y mae* y trysorwr? pa le *y mae* rhifwr y tyrau?
19 Ni chei weled pobl greulon, pobl o iaith ddyfnach nag a ddeallech di, *neu* floesg dafod, *fel* na ddeallech.
20 Gwel Seion, dinas ein cyfarfod: dy lygaid a welant Jerusalem, y breswylfa lonydd, y babell ni thynir i lawr, *ac* ni syflir un o'i hoelion byth, ac ni thorir un o'i rhaffau.
21 Eithr yr Arglwydd ardderchog *fydd* yno i ni, yn fangre afonydd *a* ffrydiau llydain: y rhwyf-long nid â trwyddo, a llong odidawg nid â drosto.
22 Canys yr Arglwydd *yw* ein barnwr, yr Arglwydd *yw* ein deddfwr, yr Arglwydd *yw* ein brenin; efe a'n ceidw.
23 Gollyngasant dy raffau, ni chadarnhasant eu hwylbren yn iawn, ni thaenasant yr hwyl; yna y rhenir ysglyfaeth yspail fawr, y cloffion a ysglyfaethant yr ysglyfaeth.

---

Adn. 17. *Dy lygaid a welant y brenin yn ei degwch*] A welant Hezeciah, nid wedi ymwisgo mewn sachlian a galar fel o'r blaen, 2 Bren. xix. 1, 3, eithr yn ei fawredd a'i ogoniant brenhinol. *Gwelant y tir pell*—yr oedd yr Iuddewon yn awr wedi eu cau o fewn Jerusalem fel mewn carchar; ond ar ol i fyddin Senacherib gael ei dinystrio, caent fyned allan o'r ddinas i bob rhan o'r wlad, a gweled ei chyrau eithaf. Ond os deallwn hyn mewn ystyr ysbrydol, gall gyfeirio at yr olwg a gaent hwy trwy ffydd ar eu Brenin a'u Duw, ac ar eu cartref tragwyddol yn y nefoedd.

Adn. 18. *Dy galon a fyfyria ofn*] A fyfyria gydag hyfrydwch a diolchgarwch ar yr hyn a barai i ti gynt *ofni*, sef ar yr Assyriaid yn amgylchu Jerusalem. *Pa le y mae yr ysgrifenydd*—yr hwn a osodwyd gan Senacherib i gofrestru enwau ei filwyr; neu i gyfrif yr Iuddewon, ar ol eu gorchfygu, i'r dyben i'w trethu? *Pa le y mae y trysorwr*—yr hwn a dalai i'r milwyr eu cyflogau, neu a edrychai ar ol y trysorau a gawsent hwy gan Hezeciah? 2 Bren. xviii. 14—16. *Pa le y mae rhifwr y tyrau*—yr hwn a âi o amgylch Jerusalem i weled ei chadernid hi, neu i edrych am le gwan i ymosod arno yn gyntaf? Y meddwl yw, y caent fyfyrio ar yr holl bethau hyn bellach yn ddiddychryn, a gofyn, mewn gorawen fuddugol, pa le yr oedd y gwŷr hyn a'u byddin luosog, y rhai gynt a barent iddynt y fath ofid!

Adn. 19. *Ni chei weled pobl greulon*] Neu, 'ni chei weled y bobl greulon hyn mwyach;' *pobl o iaith ddyfnach nag a ddeallech di*—sef yr Assyriaid, y rhai a lefarent yn y Syriaeg, yr hon ni ddeallid gan yr Iuddewon yn gyffredin; *neu floesg dafod*—sef tafodiaith a ymddanghosai i'r Iuddewon oll fel bloesgni annealladwy, oddieithr i ychydig o rai dysgedig yn eu plith, 2 Bren. xviii. 26.

Adn. 20. *Gwel Seion*] Myfyria ar brydferthwch a diogelwch Seion; *dinas ein cyfarfod*—lle yr oedd y llwythau yn arferol o gyfarfod ar y gŵyliau arbenig i addoli Duw. *Dy lygaid a welant Jerusalem, y breswylfa lonydd*—Saes., 'a welant Jerusalem *yn* breswylfa lonydd,' sef ar ol dinystrio byddin yr Assyriaid, y rhai oedd yn ei haflonyddu. *Y babell ni thynir i lawr*—hyny yw, gan fyddin Senacherib; *ac ni syflir un o'i hoelion*—sef y polion a osodid yn y ddaear i sicrhau lleni y babell wrthynt; *ac ni thorir un o'i rhaffau*—â'r rhai y rhwymid lleni y babell wrth y polion hyny. Cyffelybir Seion yma i babell gadarn, yr hon ni ddystrywid *byth* gan yr Assyriaid, er iddi gael ei thynu i lawr wedi hyny gan y Caldeaid a'r Rhufeiniaid. Eithr yr addewid hon a lawn gyflawnir yn ein Seion ni, yr eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd y Seion gynt yn gysgod, ac am yr hon y dywedir, 'A phyrth uffern nis gorchfygant hi,' Mat. xvi. 18.

Adn. 21. *Eithr yr Arglwydd ardderchog fydd yno i ni*] Yn Jerusalem, neu yn hytrach yn ei eglwys, o'r hon yr oedd Jerusalem yn gysgod; *yn fangre afonydd a ffrydiau llydain*—cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth y dyfr-ffosydd llydain a dyfnion a amgylchynent rai dinasoedd caerog. Nid oedd dyfr-ffos lydan felly o amgylch Jerusalem, ond byddai yr Arglwydd yn ddiogelwch iddi yn lle hyny. *Y rhwyf-long nid â trwyddo*—sef trwy y dwfr neu y diogelwch hwnw; *a llong odidawg nid â drosto*—neu ar hyd'ddo, i ddyfetha y ddinas. Wrth y 'rhwyf-long' a'r 'llong odidawg' yma y meddylir pob math o longau rhyfel y gelynion, bach a mawr. Hwn sydd ymadrodd barddonol prydferth, yn gosod allan ddiogelwch yr eglwys rhag pob math o elynion.

Adn. 22. *Canys yr Arglwydd yw ein barnwr*] I ddadlu ein dadl, a'n hamddiffyn rhag ein gelynion; *yr Arglwydd yw ein deddfwr*—neu ein deddfroddwr, mewn materion gwladol ac eglwysig; *yr Arglwydd yw ein brenin*—gan yr hwn y mae hawl i'n llywodraethu, ac i'r hwn yn unig y dylem ufyddhau: *efe a'n ceidw*—tra y byddom yn ufyddhau i'w ddeddfau, ac yn ei wasanaethu ef.

Adn. 23. *Gollyngasant dy raffau, &c.*] Hyn a ddywedir wrth Senacherib a'i fyddin fygythiol. Ar ol i'r proffwyd fod yn son am y rhwyf-long a'r llong odidawg, adn. 21, y mae efe yma, gan barhau yr un gyffelybiaeth, yn arddangos cyflwr andwyol yr Assyriaid fel llong wedi ei thaflu ar fôr tymhestlog, yr hon yr oedd ei rhaffau wedi eu tori, ei hwylbren wedi syrthio, a'i hwyliau heb eu lledu, fel nad oedd dim o'i blaen ond dinystr anocheladwy. Y meddwl yw, y byddai i holl obeithion yr Assyriaid gael eu siomi, ac y byddai i'w cynlluniau ddyfod i'r dim, fel llong yn dryllio

24 Ac ni ddywed y preswylydd,
Claf ydwyf: maddeuir anwiredd y
bobl a drigant ynddi.

## PENNOD XXXIV.

NESEWCH, genhedloedd, i glyw-
ed, a gwrandewch, bobloedd;
gwrandawed y ddaear ac oll y sydd
ynddi, y byd a'i holl gnwd.
2 Canys llidiogrwydd yr Ar-
glwydd *sydd* ar yr holl genhedl-
oedd, a'*i* soriant ar eu holl luoedd
hwynt: difrododd hwynt, rhoddes
hwynt i'r lladdfa.
3 A'u lladdedigion a fwrir allan,
a'u drewiant o'u celanedd a gyfyd i
fyny, y mynyddoedd hefyd a dodd-
ant o'u gwaed hwynt.
4 Holl lu y nefoedd hefyd a ddat-
todir, a'r nefoedd a blygir fel llyfr:
a'i holl lu a syrth, fel y syrthiai
deilen o'r winwydden, ac fel *ffigysen*
yn syrthio oddiar y pren.
5 Canys fy nghleddyf a drochir
yn y nefoedd: wele, ar Edom y

---

cyn cyraedd pen ei thaith. *Yna y rhenir ysglyfaeth yspail fawr*—yr hon a gymerid o wersyll yr Assyriaid, adn. 4; *y cloffion a ysglyfaethant yr ysglyfaeth*—nid yn unig byddai yno ddigon i'r gwŷr heinif a grymus yn mhlith yr Iuddewon; ond, ar ol iddynt hwy gario eu beichiau adref, byddai yno lawer ar ol i'r cloffion a'r cleifion hefyd, y rhai a ddeuent yn olaf yno am ysglyfaeth. Y mae yn dra thebyg i'r aur a'r arian a gawsai Senacherib gan Hezeciah, 2 Bren. xviii. 14—16, gael eu hadfer y pryd hyn; canys yn fuan wedi hyny cawn Hezeciah yn dangos amledd ei drysorau i genadon brenin Babilon: gwel ar 2 Bren. xx. 13—15.

Adn. 24. *Ac ni ddywed y preswylydd, Claf ydwyf*] Hyny yw, ni chai clefyd na chloffni neb o breswylwyr Jerusalem eu hattal hwynt rhag myned i wersyll yr Assyriaid i geisio rhan o'r ysglyfaeth, na'u lluddias hwynt i gydlawenychu â'r cyffredin yn achos y fath waredigaeth ogoneddus. Tybia rhai i'r Arglwydd roddi iachâd sydyn a gwyrthiol i'r cleifion yn Jerusalem y pryd hwnw; ond y mae yn debycach mai yr ystyr yw, na fyddai i neb o'r cleifion ddadlu eu bod yn glaf, fel rheswm dros beidio myned at yr ysglyfaeth. *Maddeuir anwiredd y bobl a drigant ynddi*—sef yn Jerusalem. Gwelsom o'r blaen fod Senacherib yn wialen yn llaw Duw i gospi gwŷr Juda am eu heilunaddoliaeth a'u drygioni, pen. x. 5, &c.; ac felly yr oedd dymchweliad ei fyddin ef yn brawf fod yr anwiredd hwnw, yr hwn oedd yn achos o'r ymosodiad hwn, wedi cael ei faddeu, a bod Duw bellach yn foddlon i ddangos iddynt ffafr a thrugaredd. Peth cyffredin yn yr ysgrythyr yw cysylltu symudiad unrhyw gystudd a fyddo wedi cael ei achosi gan bechod, â maddeuant o'r pechod hwnw: gwel Mat. ix. 2, &c., Marc ii. 5, &c., a'r sylw ar Ioan v. 14. Eithr yn y Jerusalem nefol yn unig y gwireddir yr addewid hon yn gyflawn. Yn mhob man arall rhaid i ddynion glafychu a marw: y nef yn unig yw y fan lle 'na ddywed y preswylydd, Claf ydwyf!'

PEN. XXXIV. Adn. 1. *Nesewch, genhedloedd, i glywed, a gwrandewch, bobloedd*] Am y barnedigaethau ag y mae Duw yn nghylch eu tywallt ar elynion ei bobl, y rhai a adroddir yn y bennod hon; ac am y llwyddiant a'r dedwyddwch a ddylyna ar ol hyny i'w eglwys a'i bobl ef, yr hyn a adroddir yn y bennod nesaf. *Gwrandawed y ddaear ac oll y sydd ynddi*—canys y mae y pethau hyn yn perthyn i bawb; *y byd a'i holl gnwd*—neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'y byd, a'r bobl ag sydd ynddo.'

Adn. 2. *Canys llidiogrwydd yr Arglwydd sydd ar yr holl genhedloedd*] Gelynol iddo ef a'i bobl; *a'i soriant ar eu holl luoedd hwynt*—y rhai a ryfelant yn erbyn ei deyrnas ef: *difrododd hwynt, &c.*—efe a'u difroda, a hyny mor sicr a phe buasai wedi cael ei wneyd eisioes.

Adn. 3. *A'u lladdedigion a fwrir allan*] Ar wyneb y maes heb eu claddu; *a'u drewiant o'u celanedd*—sef oddiwrth gyrff y meirwon, *a gyfyd i fyny*—fel ag i lenwi yr awyr; *y mynyddoedd hefyd a doddant o'u gwaed hwynt*—a orchuddir â'u gwaed, neu a fyddant wedi eu mwydo ganddo, yr hwn a red i lawr i'r dyffrynoedd.

Adn. 4. *Holl lu y nefoedd hefyd*] Sef yr haul, y lloer, a'r ser, y rhai yma a arwyddant frenhinoedd, tywysogion, a phendefigion y teyrnasoedd gelyniaethus; *a ddattodir*—a ddyoddefant chwyldroadau mawrion a nerthol: *a'r nefoedd a blygir fel llyfr*—fel na welir y goleuadau mawrion hyny mwyach yn ffurfafen eu teyrnasoedd, mwy nag y gwelir cynwysiad llyfr ar ol ei gau neu ei blygu yn nghyd: *a'i holl lu a syrth, fel y syrthiai deilen o'r winwydden*—ar ol iddi grino, a chael ei chwythu i lawr; *ac fel ffigysen yn syrthio oddiar y pren*—ar ol iddi addfedu, ac i'r pren gael ei ysgwyd: gwel ar Mat. xxiv. 29, Dat. vi. 13, 14. Mewn iaith broffwydoliaethol, y mae terfysgoedd mawrion ar y ddaear yn cael eu gosod allan yn fynych dan y gyffelybiaeth o derfysgoedd a chyfnewidiadau yn y nefoedd, ac yn y fath iaith ag a berthyna yn briodol i ddiwedd y byd.

Adn. 5. *Canys fy nghleddyf a drochir yn y nefoedd*] Sef yn ngwaed brenhinoedd a phendefigion uchel, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu, fel y mae y Galdeaeg yn ei ddarllen, 'fy nghleddyf a ddynoethir yn y nefoedd;' hyny yw, a barotoir yno i'w drochi yn ngwaed ei elynion ar y ddaear. *Wele, ar Edom y disgyn i farn*—sef ar yr Edomiaid,

disgyn i farn, ac ar y bobl a esgymunais.

6 Cleddyf yr Arglwydd a lanwyd o waed, tewychodd gan frasder, *a* chan waed ŵyn a bychod, gan frasder arenau hyrddod: canys y mae i'r Arglwydd aberth yn Bozrah, a lladdfa fawr yn nhir Edom.

7 A disgyn yr unicorniaid gyda hwynt, a'r bustych gyda'r teirw, a'u tir hwynt a feddwa o'u gwaed hwynt, a'u llwch fydd tew o frasder.

8 Canys diwrnod dial yr Arglwydd, blwyddyn taledigaeth yn achos Seion, *yw*.

9 A'i hafonydd a droir yn bŷg, a'i llwch yn frwmstan, a'i daear yn bŷg llosgedig.

10 Nis diffoddir nos na dydd; ei mwg a ddring byth: o genhedlaeth i genhedlaeth y diffeithir hi; ni *bydd* cyniweirydd trwyddi byth bythoedd.

11 ¶ Y pelican hefyd a'r draenog a'i meddianna; y dylluan a'r gigfran a drigant ynddi; ac efe a estyn arni linyn annhrefn, a meini gwagedd.

12 Ei phendefigion hi a alwant i'r frenhiniaeth, ond ni *bydd* yr un yno, a'i holl dywysogion hi fyddant ddiddim.

13 Cyfyd hefyd *yn* ei phalasau ddrain, danadl ac ysgall o fewn ei chaerydd: a hi a fydd yn drigfa dreigiau, yn gyntedd i gywion yr estrys.

14 Ac anifeiliaid gwylltion yr

---

gelynion greddfol yr Israeliaid, y rhai a enwir yma am holl elynion eglwys Dduw. *Ac ar y bobl a esgymunais*—neu a ddiofrydais i ddinystr o herwydd eu drygioni. Tybia rhai mai at Rufain Babaidd, neu deyrnas Anngbrist, y cyfeirir yma, neu fod y rhai hyny yn cael eu cynwys yn y bobl esgymunedig.

Adn. 6. *Cleddyf yr Arglwydd a lanwyd o waed*] Fel pe buasai yn fwystfil rheibus a gwancus; *tewychodd gan frasder*—ei ysglyfaeth aml; *a chan waed ŵyn a bychod, gan frasder arenau hyrddod*—wrth y rhai hyn ond odid y meddylir y werin bobl, fach a mawr. *Canys y mae i'r Arglwydd aberth yn Bozrah*—un o brifddinasoedd Edom; *a lladdfa fawr yn nhir Edom*—yn mhob lle arall trwy y wlad. Geilw y proffwyd y dialedd gwaedlyd hwn yn *aberth*, am ei fod yn cael ei wneuthur trwy orchymyn Duw, ac er anrhydedd i'w gyfiawnder ef.

Adn. 7. *A disgyn yr unicorniaid gyda hwynt, &c.*] Hwy a syrthiant gyda'r ŵyn, y bychod, a'r hyrddod uchod. Wrth y rhai hyn ond odid y golygir dynion ag oeddynt fel unicorniaid, bustych, a theirw, o ran grym, mawredd, neu eondra. *A'u tir hwynt a feddwa o'u gwaed*—hyny yw, a fydd yn llawn o'u gwaed, fel y mae y meddw yn llawn o ddiod gadarn; *a'u llwch fydd tew o frasder*—a lenwir â brasder y lladdedigion.

Adn. 8. *Canys diwrnod dial yr Arglwydd*] Ar ei elynion ef a'i bobl, yw y diwrnod hwnw; *blwyddyn taledigaeth yn achos Seion yw*—sef yr adeg i dalu cosp i elynion Seion.

Adn. 9. *A'i hafonydd*] Sef afonydd gwlad Edom, yr hon a arwydda yma holl elynion Seion; *a droir yn bŷg*—yn ddefnydd hawdd ei danio; *a'i llwch yn frwmstan*—yr hwn hefyd sydd ddefnydd tra hylosg; *a'i daear yn bŷg llosgedig*—y meddwl yw, y byddai ei daear yn debyg i dir Sodom a Gomorra, ac y byddai ei chosp yn gyffelyb i eiddo y dinasoedd hyny: gwel ar Gen. xix. 24.

Adn. 10. *Nis diffoddir nos na dydd*] Nes ei llwyr ddinystrio; *ei mwg a ddring byth*—yn arwydd o ddinystr anadferadwy, Dat. xiv. 23, a xix. 3: *o genhedlaeth i genhedlaeth y diffeithir hi*—hi a erys yn barhaus yn ddiffaethwch annghyfaneddol: *ni bydd cyniweirydd trwyddi byth bythoedd*—ei ffyrdd a wneir yn annhramwyadwy, fel yr ofna dynion anturio trwy y wlad. Y mae gwlad Edom yn aros yn y cyflwr hwn hyd heddyw, fel y tystia ymdeithwyr diweddar: gwel *Stephens, Volney, Irby, Mangles, Seetzen, Burckhardt, &c.*

Adn. 11. *Y pelican hefyd a'r draenog a'i meddianna, &c.*] Yn lle cael ei phreswylio gan ddynion, gadewir hi yn hollol i adar a bwystfilod aflan. *Ac efe*—sef Duw, *a estyn arni linyn annhrefn*—nid llinyn y saer, i'w hadeiladu i fyny eilwaith; eithr llinyn annhrefn, i'w nodi allan, gyda'r manylrwydd mwyaf, i ddinystr hollol; *a meini gwagedd*—rhai gwâg a disylwedd, ac anaddas at waith.

Adn. 12. *Ei phendefigion hi a alwant i'r frenhiniaeth*] A alwant am rywun i deyrnasu yno megys cynt, neu a elwir gan rywrai ereill i gymeryd y frenhiniaeth; *ond ni bydd yr un yno*—yr un frenhiniaeth i'w chymeryd, na'r un pendefig a'i cymera: *a'i holl dywysogion hi fyddant ddiddim*—fyddant wedi eu dyfetha gan farn Duw, neu a fyddant heb galon ynddynt i gymeryd y frenhiniaeth.

Adn. 13. *Cyfyd hefyd yn ei phalasau ddrain*] Sef yn adfeilion ei phalasau, neu yn y fan lle y safai ei phalasau gynt; *danadl ac ysgall o fewn ei chaerydd*—sef o fewn yr holl ddinas a'i hamddiffynfeydd: *a hi a fydd yn drigfa dreigiau, &c.*—yn gartref i bob math o greaduriaid aflan a rheibus.

Adn. 14. *Ac anifeiliaid gwylltion yr anialwch, a'r cathod, a ymgyfarfyddant*] Gwel yr un peth yn cael ei ddywedyd am Babilon, pen. xiii. 21, 22. *Yr ellyll a eilw ar ei gyfaill*—y naill *epa*, yn ol rhai, a eilw ar y llall: ond gwel ar pen. xiii. 21. *Yr ŵyll a orphwys yno hefyd*—heb neb i'w haflonyddu. Fe allai mai yr iawn enw yw *y ŵyll*, yn cyfateb i'r enw ar ymyl y ddalen, sef 'anghenfil y nos.' Yn y Saesonaeg fe'i gelwir *screech owl*, yr

anialwch, a'r cathod, a ymgyfar-
fyddant: yr ellyll a eilw ar ei gyf-
aill; yr wyll a orphwys yno hefyd,
ac a gaiff orphwysfa iddi.
15 Yno y nytha y dylluan, ac y
dodwa, ac y deora, ac a gasgl yn
ei chysgod; y fylturiaid a ymgasgl-
ant yno hefyd, pob un gyda'i gy-
mhar.
16 ¶ Ceisiwch allan o lyfr yr Ar-
glwydd, a darllenwch; ni phalla
un o hyn, ni bydd un heb ei gymhar;
canys fy ngenau, efe a orchymyn-
odd, a'i ysbryd, efe a'u casglodd
hwynt.
17 Efe hefyd a fwriodd y coel-
bren iddynt, a'i law ef a'i rhanodd
hi iddynt wrth linyn: meddiannant
hi hyd byth, a phreswyliant ynddi
o genhedlaeth i genhedlaeth.

## PENNOD XXXV.

YR anialwch a'r annghyfaneddle
a lawenychant o'u plegid; y
diffaethwch hefyd a orfoledda, ac a
flodeua fel rhosyn.
2 Gan flodeuo y blodeua, ac a
lawenycha hefyd â llawenydd ac â
chân: gogoniant Libanus a roddir
iddo, godidogrwydd Carmel a Sa-
ron: hwy a welant ogoniant yr Ar-
glwydd, *a* godidogrwydd ein Duw
ni.

---

ysgrech-ddylluan, neu aderyn y corff. Ond tybia yr Iuddewon mai rhyw 'ddrychiolaeth nos' a olygir, yr hon a ddarluniant hwy fel benyw wedi ymwisgo yn hardd, ac yn cynllwyn am blant yn y nos, i'w dwyn ymaith neu i'w lladd. Yr oedd tybiaeth gyffelyb yn mhlith y Groegiaid, y Rhufeiniaid, a'r Arabiaid.

Adn. 15. *Yno y nytha y dylluan, ac y dodwa, ac y deora*] Tybia rhai fod *kippoz* yma yn meddwl math ar neidr neu sarff, ac nid dylluan; canys y maent hwythau yn dodwy ac yn deor fel adar: *ac a gasgl yn ei chysgod*—a gasgl ei rhai bach dan ei chysgod. *Y fylturiaid a ymgasglant yno hefyd*—i nythu ac i fagu; *pob un gyda'i gymhar*—y gwryw a'r fenyw.

Adn. 16. *Ceisiwch allan o lyfr yr Arglwydd*] Sef o'r ysgrythyrau santaidd; *a darllenwch*—yr hyn a ddywedir yno, fel y gwelech y rhagfynegiad o'r pethau hyn, a'i gyflawniad. *Ni phalla un o hyn*—o'r rhagfynegiadau neu y proffwydoliaethau hyn am ddinystr y wlad a'i thrigolion, nac am breswyliad y creaduriaid hyn yn ei dinasoedd: *ni bydd un heb ei gymhar*—ni bydd un o'r rhagfynegiadau hyn heb gyflawniad iddo fel ei gymhar. *Canys fy ngenau*—sef genau yr Arglwydd, yr hwn ni fetha ddwyn ei amcanion i ben; *efe a orchymynodd*—i'r pethau hyn oll gymeryd lle: *a'i ysbryd*—sef Ysbryd Duw, yr hwn a ddygodd y creaduriaid gynt at Adda i gael eu henwau, ac at Noa i'w cadw yn fyw yn yr arch; *efe a'u casglodd hwynt*—a gasglodd y creaduriaid uchod i drigo yn ninasoedd annghyfaneddol Edom.

Adn. 17. *Efe hefyd a fwriodd y coelbren iddynt*] I drefnu iddynt le eu preswylfod; *a'i law ef a'i rhanodd hi iddynt wrth linyn*—a ranodd wlad Edom i'r creaduriaid aflan uchod, a hyny mor fanwl ag y rhanodd efe wlad Canaan gynt i'r Israeliaid, Num. xxvi. 55, 56. *Meddiannant hi hyd byth*—nid fe allai hyd ddiwedd y byd, eithr hyd ddechre y milflwyddiant ond odid; *a phreswyliant ynddi o genhedlaeth i genhedlaeth*—am oesoedd lawer. Y mae y proffwydoliaethau hyn yn awr wedi eu cyflawni, yn ol addefiad pob ymdeithydd: gwel ar adn. 10: ac y mae y cyflawniad o honynt yn un o'r pethau rhyfeddaf yn y byd. Bu yr Edomiaid yn genedl gref a lluosog am hir amser ar ol iddynt gael eu traethu; canys yn amser dinystr Jerusalem yr oeddynt bron cyn lluosoced a'r Iuddewon. Eto dywed y rhai a fuont yn ddiweddar yn y wlad hòno, iddynt weled yno, yn ystod tri diwrnod, fwy na deg-ar-hugain o ddinasoedd wedi eu gosod yn gwbl annghyfanedd, y rhai yr oedd eu hadfeilion yn llawn o ysgorpionau a chreaduriaid peryglus ereill. Ac y mae yn hynod i *anffyddiwr* o fath *Volney* orfod rhoddi yn hyn, fel mewn amrai anghreifftiau ereill, gadarnhad mor fanwl i wirionedd yr hen broffwydoliaethau!

PEN. XXXV. Adn. 1. *Yr anialwch a'r annghyfaneddle a lawenychant o'u plegid*] Oblegid y bendithion a'r llwyddiant a enwir isod. Megys ag y bydd i wlad gelynion yr eglwys gael ei throi yn anialwch, fel y soniwyd yn y bennod flaenorol; felly y bydd i dir Immanuel, eisteddle eglwys a phobl Dduw, yr hwn o'r blaen oedd yn ddiffrwyth a diystyredig fel anialwch annghyfaneddol, flodeuo fel gardd ffrwythlon. *Y diffaethwch hefyd a orfoledda*—sef y gwledydd ag oeddynt o'r blaen yn ddiffaethwch mewn ystyr moesol ac ysbrydol; *ac a flodeua fel rhosyn*—o ran prydferthwch a ffrwythlondeb ysbrydol, a breintiau crefyddol. Er y tybia rhai mai cyflwr blodeuog brenhiniaeth Hezeciah yn niwedd ei deyrnasiad, neu ddiwylliant Judea ar ol dychweliad yr Iuddewon o Babilon, a feddylir yma; eto y mae yn amlwg oddiwrth y cymhwysiad a wna Crist a'i apostolion o wahanol ranau y broffwydoliaeth hon at ddyddiau yr efengyl, mai llwyddiant teyrnas y Messia yn y dyddiau diweddaf oedd y prif peth yn ngolwg yr Ysbryd Glân wrth ysbrydoli y proffwyd i'w thraethu.

Adn. 2. *Gan flodeuo y blodeua*] Y diffaethwch hwnw unwaith, sef eglwys Dduw, yn y dyddiau diweddaf, yn enwedig ar ol dinystr teyrnas Annghrist, ac ar ol i'r holl Iudd-

3 ¶ Cadarnhewch y dwylaw llesg,
a chryfhewch y gliniau gweiniaid.
4 Dywedwch wrth y rhai ofnus o
galon, Ymgryfhewch, nac ofnwch:
wele, eich Duw chwi a ddaw *â* dial,
*ïe,* Duw *â* thaledigaeth; efe a ddaw,
ac a'ch achub chwi.
5 Yna yr agorir llygaid y deillion,
a chlustiau y byddarion a agorir.
6 Yna y llama y cloff fel hŷdd, ac
y cân tafod y mudan: canys dyfr-
oedd a dyr allan yn yr anialwch, ac
afonydd yn y diffaethwch.
7 Y crasdir hefyd fydd yn llyn,
a'r tir sychedig yn ffynonnau dyfr-
oedd; yn nhrigfa y dreigiau, a'u
gorweddfa, *y bydd* cyfle corsenau a
brwyn.
8 Yna y bydd prif-ffordd, a ffordd;
a ffordd santaidd y gelwir hi: yr
halogedig nid â ar hyd-ddi; canys
hi *a fydd* i'r rhai hyny: a rodio y
ffordd, pe *byddent* ynfydion, ni
chyfeiliornant.
9 Ni bydd yno lew, a bwystfil
gormesol ni ddring iddi, *ac* nis ceir
yno; eithr y rhai gwaredol a rodiant
*yno.*

---

ewon a'r Cenhedloedd gael eu cydgorffori ynddi; *ac y llawenycha hefyd â llawenydd ac â chân*—y llawenycha ei gwaredigion dedwydd a lluosog. *Gogoniant Libanus, &c.*—sef gogoniant a godidogrwydd *cyffelyb* i eiddo Libanus, Carmel, a Saron, pen. xxix. 17, a xxxiii. 9; *a roddir iddo*—i'r diffaethwch anial a grybwyllwyd uchod. *Hwy a welant ogoniant yr Arglwydd*—hyny yw, trigolion y diffaethwch hwnw a'i gwelant, y rhai a ddychwelir i eglwys Crist; *a godidogrwydd ein Duw ni*—yn wyneb Iesu Grist.

Adn. 3. *Cadarnhewch y dwylaw llesg*] Fel y gallont weithio yn fwy egnïol yn ngwinllan yr Arglwydd: *a chryfhewch y gliniau gweiniaid*—fel y gallont redeg yn fwy cyflym yn ffyrdd gorchymynion Duw. Hyn a ddywedir wrth athrawon y bobl: gwel ar Heb. xii. 12, 13.

Adn. 4. *Dywedwch wrth y rhai ofnus o galon*] Y rhai, o herwydd eu gwendid eu hunain a chryfder eu gelynion, sydd yn barod i ddychrynu a llwfrhau; *Ymgryfhewch, nac ofnwch*—yn yr ystyriaeth o'r hyn a wna Duw i'ch gelynion ac i chwithau. *Wele, eich Duw chwi a ddaw â dial*—ar eich gelynion; *ïe, Duw â thaledigaeth*—hyny yw, a *ddaw* â thaledigaeth gyfiawn iddynt am eu drygioni. *Efe a ddaw, ac a'ch achub chwi*—o'u dwylaw hwynt, er ei fod yn ymddangos fel yn oedi. Tybia rhai mai at ddyfodiad Crist yn y cnawd y cyfeirir yma.

Adn. 5. *Yna yr agorir llygaid y deillion*] A hyny mewn ystyr naturiol a moesol; *a chlustiau y byddarion a agorir*—y mae y geiriau hyn yn ddarluniad mor gywir o'r hyn a wnaeth ein Hiachawdwr yn nyddiau ei gnawd, nes y deallir hwynt bron yn gyffredinol fel yn cyfeirio at ei wyrthiau ef; a darfu iddo yntau ei hun eu cymhwyso hwynt ato ei hun: gwel ar Mat. xi. 4, 5.

Adn. 6. *Yna y llama y cloff fel hŷdd*] Gwel gyflawniad o hyn, Mat. xv. 30, 31; *ac y cân tafod y mudan*—foliant a gogoniant i'w Waredwr: *canys dyfroedd a dyr allan yn yr anialwch*—ag ydoedd gynt yn sych a diffrwyth; *ac afonydd yn y diffaethwch*—y meddwl yw, y byddai amledd o foddion gras a chyfryngau yr iachawdwriaeth i'w cael mewn manau ag oeddynt o'r blaen yn ddiffaethwch moesol.

Adn. 7. *Y crasdir hefyd fydd yn llyn*] O ddyfroedd adfywiol yr iachawdwriaeth; *a'r tir sychedig yn ffynnonau dyfroedd*—sef dyfroedd gras, i ddisychedu eneidiau y saint. *Yn nhrigfa y dreigiau a'u gorweddfa*—sef mewn manau crasboeth, sych, a didyfiant; *y bydd cyfle corsenau a brwyn*—Saes., 'y bydd *gwellt*, corsenau, a brwyn;' hyny yw, y bydd hydyfiant a gwyrddlesni, yr hyn ni welir ond mewn lleoedd llaith a dyfrllyd. Y meddwl yw, y byddai i eglwysi Cristionogol gael eu planu, a thyfu i fyny yn gryfion a blodeuog, hyd yn nod yn ninasoedd y Cenhedloedd, y rhai a fuont am lawer o oesoedd yn orweddfa i ddynion peryglus fel dreigiau, ïe, 'yn drigfa cythreuliaid,' Dat. xviii. 2.

Adn. 8. *Yna y bydd prif-ffordd, a ffordd*] Gellid meddwl oddiyma y byddai yno ddwy ffordd; ond y mae yr ymadrodd '*a ffordd*' yn cael ei adael allan o ddeunaw o'r ysgrifenau, a chan y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r LXX. Y cyfeiriad sydd yma at un ffordd union, rwydd, a brenhinol, yn arwain at Dduw, ac i'r nefoedd. *A ffordd santaidd y gelwir hi*—yn cael ei rhodio gan ddynion santaidd yn unig, yn arwain i le santaidd, ac yn llawn o ymarferiadau santaidd. *Yr halogedig nid â ar hyd-ddi*—ni fyn fyned, ac ni chai fyned pe mynai. Er i lawer o ddynion halogedig broffesu eu bod yn ei theithio, nid ydynt ond ar ffordd dystryw wedi y cwbl. *Canys hi a fydd i'r rhai hyny*—sef i'r 'rhai gwaredol' yn unig, adn. 9. *A rodio y ffordd, pe byddent ynfydion*—pe byddent yn fyr o wybodaeth, deall, a synwyr cyffredin; neu pe cyfrifid hwynt yn ynfydion a phenboethiaid gan ereill; *ni chyfeiliornant*—ni fyddai perygl iddynt fethu y ffordd, am ei bod mor eglur, union, a rhwydd, ac am fod Ysbryd Duw yn arweinydd iddynt. *Lowth* a'i cyfieitha: 'A phrif-ffordd fydd yno; a gelwir hi Ffordd santeiddrwydd: nid â neb aflan ar hyd-ddi: eithr efe ei hun [sef Duw] a fydd gyda hwynt yn rhodio yn y ffordd, a'r ynfyd ni chyfeiliorna ynddi.'

Adn. 9. *Ni bydd yno lew*] I'w llarpio na'u dychrynu; *a bwystfil gormesol ni ddring iddi*—nid yn unig bydd yn ffordd hawdd, eithr bydd hefyd yn ffordd ddiogel. Nid yw Satan, y 'llew rhuadwy,' ond yn 'rhodio oddiamgylch' iddi, 1 Pedr v. 8; 'a'r drwg hwnw

10 A gwaredigion yr Arglwydd
a ddychwelant, ac a ddeuant i Seion
â chaniadau, ac â llawenydd tra-
gwyddol ar eu pen: goddiweddant
lawenydd a hyfrydwch, a chystudd
a galar a ffy ymaith.

## PENNOD XXXVI.

AC yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i'r brenin Hezeciah, y daeth Senacherib brenin Assyria i fyny yn erbyn holl gaerog ddinasoedd Juda, ac a'u goresgynodd hwynt.
2 A brenin Assyria a anfonodd
Rabsaceh o Lachis i Jerusalem, at
y brenin Hezeciah, â llu dirfawr.
Ac efe a safodd wrth bistyll y llyn
uchaf, yn mhrif-ffordd maes y
panwr.
3 Ac aeth ato ef Eliacim mab
Hilciah, yr hwn *oedd* benteulu, a
Sebna yr ysgrifenydd, a Joah mab
Asaph y cofiadur.
4 ¶ A dywedodd Rabsaceh wrth-
ynt, Dywedwch yn awr wrth Heze-
ciah, Fel hyn y dywed y brenin
mawr, brenin Assyria, Pa hyder
*yw* hwn yr ymddiriedi *ynddo?*
5 Dywedais, *meddi*, (ond nid *yd-
ynt ond* geiriau ofer,) Cynghor a
nerth *sydd genyf* i ryfel: ar bwy,
atolwg, yr hyderi, pan wyt yn
gwrthryfela i'm herbyn?
6 Wele, hyderaist ar y ffon gors-
en ddrylliedig hòno, ar yr Aifft; yr
hon pwy bynag a bwyso arni, hi a
â i gledr ei law ef, ac a dylla trwy-
ddi: felly *y mae* Pharao brenin yr
Aifft i bawb a hyderant arno.
7 Ond os dywedi wrthyf, Yn yr
Arglwydd ein Duw yr ydym yn
ymddiried: onid efe *yw* yr hwn y
darfu i Hezeciah dynu i lawr ei
uchelfeydd, a'i allorau, a dywedyd
wrth Juda a Jerusalem, O flaen yr
allor hon yr addolwch?
8 Ac yn awr dod wystlon, atolwg,
i'm harglwydd brenin Assyria, a
mi a roddaf i ti ddwy fil o feirch,
os gelli di roddi rhai a farchogo
arnynt.
9 A pha fodd y troi di ymaith
wyneb un capten o'r gweision llei-
af i'm harglwydd, ac yr ymddiriedi
yn yr Aifft am gerbydau ac am
farchogion?
10 Ai heb yr Arglwydd y daeth-
ym i fyny yr awr hon yn erbyn y

---

n d yw yn cyffwrdd âg ef,' 1 Ioan v. 18. Yr un addewid yw hon ag a geir yn pen. xi. 9: 'Ni ddrygant ac ni ddyfethant yn holl fynydd fy santeiddrwydd.' *Eithr y rhai gwaredol*—y rhai a waredwyd trwy ras oddiwrth eu pechodau, ac o feddiant Satan; *a rodiant yno*—yn ddiogel, ac wrth eu bodd.

Adn. 10. *A gwaredigion yr Arglwydd*] *Geulim*, y rhai y prynwyd eu hetifeddiaeth yn ol iddynt gan eu *Göel*, neu eu Cyfathrachwr bendigedig; *a ddychwelant*—o Babilon, meddai rhai, gan ystyried mai y ffordd o Babilon i Jerusalem a olygir yn adn. 8; *ac a ddeuant i Seion â chaniadau*—gan ganu yn siriol a llawen ar eu taith tuag adref. Gall ei bod fel hyn gyda'r Iuddewon ar eu dychweliad i'w gwlad, Ezra ii. 65; ond y mae y geiriau nesaf yn rhy gryfion a mawreddog i'w deall yn unig am yr amgylchiad hwnw: gan hyny rhaid i ni eu deall am ddychweliad pechaduriaid gwaredigol i eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf; ac yn enwedig am eu derbyniad hwy i'r Ganaan nefol, y Jerusalem newydd, dinas y Duw byw. *Ac â llawenydd tragwyddol ar eu pen*—fe allai fod yma gyfeiriad at y goron o flodau a wisgai yr henafiaid ar eu penau yn eu gwleddoedd, ac mewn gorymdeithiau buddugol. *Goddiweddant lawenydd a hyfrydwch*—yr oedd llawenydd a hyfrydwch yn ffoi oddiwrthynt yn fynych yn y byd hwn, a chystudd a galar yn rhan iddynt yn eu lle: ond ar farwolaeth y saint, bydd cyfnewidiad dedwydd iddynt; *a chystudd a galar a ffy ymaith*—am byth, ac yn eu lle cânt lawenydd a hyfrydwch tragwyddol.

PEN. XXXVI. Adn. 1. *Ac yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg i'r brenin Hezeciah*] Sef o'i deyrnasiad ef; *y daeth Senacherib brenin Assyria i fyny yn erbyn holl gaerog ddinasoedd Juda, &c.*—cawsom yr hanes a adroddir yn y bennod hon, a'r tair ganlynol, wedi ei hadrodd bron yn yr un geiriau yn 2 Bren. xviii—xx, lle y deisyfir i'r darllenydd droi. Ymddengys mai y proffwyd Esay a ysgrifenodd yr hanes hon gyntaf, ac iddi gael ei chodi o'i waith ef i ail lyfr y Brenhinoedd, i orphen neu berffeithio yr hanes yno; canys dywedir yn 2 Cron. xxxii. 32, 'A'r rhan arall o hanes Hezeciah, a'i garedigrwydd ef, wele hwy yn ysgrifenedig yn ngweledigaeth Esay y proffwyd.' Gosodir yr hanes i mewn yma, am ei bod yn taflu goleuni mawr ar lawer o'r pethau a grybwyllwyd yn y rhanau ereill o broffwydoliaethau Esay.

Adn. 2. *A brenin Assyria a anfonodd Rabsaceh*] Yn nghyda Tartan a Rabsaris, fel yr adroddir yn 2 Bren. xviii. 17; eithr yma ni chrybwyllir ond am Rabsaceh yn unig, am mai efe oedd y prif lefarwr. Rhwng y ddwy adnod uchod cawn dair adnod arall yn 2 Bren. xviii, sef adn. 14—16 yn y bennod hòno, y

wlad hon i'w dinystrio? yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Dos i fyny yn erbyn y wlad hon, a dinystria hi.
11 ¶ Yna y dywedodd Eliacim, a Sebna, a Joah, wrth Rabsaceh, Llefara, atolwg, wrth dy weision yn Syriaeg; canys *yr ydym* ni yn *ei* deall: ac na lefara wrthym yn iaith yr Iuddewon, lle y clywo y bobl *sydd* ar y mur.
12 ¶ Ond Rabsaceh a ddywedodd, Ai at dy feistr ac atat tithau yr anfonodd fy meistr fi i lefaru y geiriau hyn? onid at y dynion sydd yn eistedd ar y mur *yr anfonodd fi,* fel y bwytaont eu tom eu hun, ac yr yfont eu trwnc eu hun gyda chwi?
13 A safodd Rabsaceh, a gwaeddodd â llef uchel yn iaith yr Iuddewon, ac a ddywedodd, Gwrandewch eiriau y brenin mawr, brenin Assyria.
14 Fel hyn y dywed y brenin, Na thwylled Hezeciah chwi: canys ni ddichon efe eich gwaredu chwi.
15 Ac na phared Hezeciah i chwi ymddiried yn yr Arglwydd, gan ddywedyd, Yr Arglwydd gan waredu a'ch gwared chwi, ni roddir y ddinas hon yn llaw brenin Assyria.
16 Na wrandewch ar Hezeciah: canys fel hyn y dywed brenin Assyria, Gwnewch fwynder â mi, a deuwch allan ataf, a bwytewch bob un o'i winwydden ei hun, a phob un *o'i* ffigysbren, ac yfed pawb ddwfr ei ffynnon ei hun;
17 Nes i mi ddyfod a'ch dwyn chwi i wlad megys eich gwlad eich hun, gwlad ŷd a gwin, gwlad bara a gwinllanoedd.
18 *Gwyliwch* rhag i Hezeciah eich hudo chwi, gan ddywedyd, Yr Arglwydd a'n gwared ni. A waredodd un o dduwiau y cenhedloedd ei wlad o law brenin Assyria?
19 *Mae* duwiau Hamath ac Arphad? *mae* duwiau Sepharfaim? a waredasant hwy Samaria o'm llaw i?
20 Pwy *sydd* yn mhlith holl dduwiau y gwledydd hyn a'r a waredasant eu gwlad o'm llaw i, fel y gwaredai yr Arglwydd Jerusalem o'm llaw?
21 Eithr hwy a dawsant, ac nid atebasant air iddo: canys gorchymyn y brenin *oedd* hyn, gan ddywedyd, Nac atebwch ef.
22 ¶ Yna y daeth Eliacim mab Hilciah, yr hwn *oedd* benteulu, a Sebna yr ysgrifenydd, a Joah mab Asaph y cofiadur, at Hezeciah â'u dillad yn rhwygedig, ac a fynegasant iddo eiriau Rabsaceh.

## PENNOD XXXVII.

A PHAN glybu y brenin Hezeciah *hyny*, efe a rwygodd ei ddillad, ac a ymwisgodd mewn sachlian, ac a aeth i dŷ yr Arglwydd.
2 Ac a anfonodd Eliacim y penteulu, a Sebna yr ysgrifenydd, a henuriaid yr offeiriaid, wedi ymwisgo mewn sachlian, at Esay y proffwyd mab Amoz.
3 A hwy a dywedasant wrtho, Fel hyn y dywedodd Hezeciah, Diwrnod cyfyngder, a cherydd, a chabledd, *yw* y dydd hwn: canys y plant a ddaethant hyd yr enedigaeth, ond nid *oes* grym i esgor.
4 Fe allai y gwrendy yr Arglwydd dy Dduw eiriau Rabsaceh, yr hwn a anfonodd brenin Assyria ei feistr i gablu y Duw byw, ac y cerydda efe y geiriau a glybu yr Arglwydd dy Dduw: am hyny dyrcha *dy* weddi dros y gweddill *sydd* i'w gael.
5 Felly gweision y brenin Hezeciah a ddaethant at Esay.
6 ¶ A dywedodd Esay wrthynt, Fel hyn y dywedwch wrth eich meistr, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Nac ofna y geiriau a glywaist, *trwy* y rhai y cablodd gweision brenin Assyria fi.
7 Wele fi yn rhoddi arno [ef

---

rhai a gynwysant hanes yr aur a'r arian a roddasai Hezeciah i frenin Assyria. Chwanegwyd y rhai hyny gan *Ezra* at yr hanes a gawsai efe yma gan *Esay;* neu ynte yr oedd *Esay* wedi ysgrifenu hanes arall am y pethau hyn mewn llyfr arall, o'r hwn y dyfynai *Ezra* yn llyfr y Brenhinoedd.

Adn. 3. *A Joah*] 'Joab' y gelwir hwn yn llyfr y Brenhinoedd, yr hyn a allai ddygwydd, yma neu yno, trwy ddiofalwch rhyw adysgrifenydd.

Adn. 4—22. *A dywedodd Rabsaceh wrthynt, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xviii. 19—37, lle y mae yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn fanwl.

wynt, ac efe a glyw swn, ac a ddy-
chwel i'w wlad: gwnaf hefyd iddo
syrthio gan y cleddyf yn ei wlad ei
hun.
8 ¶ Yna y dychwelodd Rabsaceh,
ac a gafodd frenin Assyria yn rhy-
fela yn erbyn Libnah: canys efe a
glywsai ddarfod iddo fyned o Lachis.
9 Ac efe a glywodd *son* am Tir-
hacah brenin Ethiopia, gan ddy-
wedyd, Efe a aeth allan i ryfela â
thi. A phan glywodd *hyny*, efe a
anfonodd genadau at Hezeciah, gan
ddywedyd,
10 Fel hyn y dywedwch wrth
Hezeciah brenin Juda, gan ddywed-
yd, Na thwylled dy Dduw di, yr
hwn yr wyt yn ymddiried ynddo,
gan ddywedyd, Ni roddir Jerusalem
yn llaw brenin Assyria.
11 Wele, ti a glywaist yr hyn a
wnaeth brenhinoedd Assyria i'r holl
wledydd, gan eu difrodi hwynt; ac
a waredir di?
12 A waredodd duwiau y cenhedl-
oedd hwynt, y rhai a ddarfu i'm tad-
au eu dinystrio, *sef* Gozan, a Har-
an, a Reseph, a meibion Eden, y
rhai *oedd* o fewn Telassar?
13 *Mae* brenin Hamath, a brenin
Arphad? a brenin dinas Sepharfaim,
Hena ac Ifah?
14 ¶ A chymerth Hezeciah y
llythyr o law y cenadau, ac a'i dar-
llenodd; a Hezeciah a aeth i fyny i
dŷ yr Arglwydd, ac a'i lledodd ger-
bron yr Arglwydd.
15 A Hezeciah a weddiodd ar yr
Arglwydd, gan ddywedyd,
16 Arglwydd y lluoedd, Duw Is-
rael, yr hwn wyt yn trigo *rhwng*
y cerubiaid, ti ydwyt Dduw, *ïe,*
tydi yn unig, i holl deyrnasoedd y
ddaear: ti a wnaethost y nefoedd
a'r ddaear.
17 Gogwydda, Arglwydd, dy
glust, a gwrando; agor dy lygaid,
Arglwydd, ac edrych: gwrando
hefyd holl eiriau Senacherib, yr
hwn a anfonodd i ddifenwi y Duw
byw.
18 Gwir *yw*, O Arglwydd, i fren-
hinoedd Assyria ddifa yr holl gen-
hedloedd a'u gwledydd,
19 A rhoddi eu duwiau hwy yn
tân: canys nid *oeddynt* hwy dduw-
iau, ond gwaith dwylaw dyn, *o*
goed a maen: am hyny y dinystr-
iasant hwynt.
20 Yr awr hon gan hyny, O Ar-
glwydd ein Duw, achub ni o'i law
ef; fel y gwypo holl deyrnasoedd y
ddaear mai ti *yw* yr Arglwydd,
tydi yn unig.
21 ¶ Yna Esay mab Amoz a an-
fonodd at Hezeciah, gan ddywed-
yd, Fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw Israel, O herwydd i ti weddio
ataf fi yn erbyn Senacherib brenin
Assyria:
22 Dyma y gair a lefarodd yr Ar-
glwydd yn ei erbyn ef, Y forwyn
merch Seion a'th ddirmygodd, *ac*
a'th watwarodd: merch Jerusalem
a ysgydwodd ben ar dy ol.
23 Pwy a ddifenwaist ac a gebl-
aist? ac yn erbyn pwy y dyrchef-
aist *dy* lef, ac y cyfodaist yn uchel
dy lygaid? yn erbyn Sant Israel.
24 Trwy law dy weision y cebl-
aist yr Arglwydd, ac y dywedaist,
A lluaws fy ngherbydau y daethym
i fyny i uchelder y mynyddoedd, *i*
ystlysau Libanus; a mi a doraf
uchelder ei gedrwydd, *a*'i ddewis
ffynidwydd; âf hefyd i'w gŵr uch-
af, *ac i* goed ei ddoldir.
25 Myfi a gloddiais, ac a yfais
ddwfr; â gwadnau fy nhraed hefyd
y sychais holl afonydd y gwarch-
äedig.
26 Oni chlywaist wneuthur o hon-
of hyn er ys talm, a'i lunio er y
dyddiau gynt? yn awr y dygais
hyny i ben, fel y byddit i ddystryw-
io dinasoedd caerog *yn* garneddau
dinystriol.
27 Am hyny eu trigolion yn gwt-
oglaw a ddychrynwyd ac a gywil-
yddiwyd: oeddynt *megys* gwellt y
maes, fel gwyrddlysiau, a glas-
wellt ar benau *tai*, neu *ŷd* wedi
deifio cyn addfedu.
28 Dy eisteddiad hefyd, a'th fyn-
ediad allan, a'th ddyfodiad i mewn,
a adnabum, a'th gynddeiriogrwydd
i'm herbyn.
29 Am i ti ymgynddeiriogi i'm
herbyn, ac i'th ddadwrdd ddyfod
fyny i'm clustiau; am hyny y rhodd-

PEN. XXXVII. Adn. 1—38. *A phan glybu y brenin Hezeciah hyny, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xix. 1—37, lle y ceir y bennod hon yn llawn, ac wedi ei hegluro yn fanwl.

af fy mach yn dy ffroen di, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac a'th ddychwelaf di ar hyd yr un ffordd ag y daethost.

30 A hyn *fydd* yn arwydd i ti, *Hezeciah:* Y flwyddyn *hon* y bwytêi a dyfo o hono ei hun; ac yn yr ail flwyddyn yr attwf; ac yn y drydedd flwyddyn heuwch a medwch, plenwch winllanoedd hefyd, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.

31 A'r gweddill o dŷ Juda, *yr hwn* a adewir, a wreiddia eilwaith i waered, ac a ddwg ffrwyth i fyny.

32 Canys gweddill a â allan o Jerusalem, a'r rhai diangol o fynydd Seion: sel Arglwydd y lluoedd a wna hyn.

33 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd am frenin Assyria, Ni ddaw efe i'r ddinas hon, ac ni ergydia efe saeth yno; hefyd ni ddaw o'i blaen â tharian, ac ni fwrw glawdd i'w herbyn.

34 Ar hyd yr un ffordd ag y daeth y dychwel, ac ni ddaw i mewn i'r ddinas hon, medd yr Arglwydd.

35 Canys mi a ddiffynaf y ddinas hon, i'w chadw hi er fy mwyn fy hun, ac er mwyn Dafydd fy ngwas.

36 ¶ Yna yr aeth angel yr Arglwydd, ac a darawodd yn ngwersyll yr Assyriaid gant a phedwar ugain a phump o filoedd: a phan gyfodasant yn fore dranoeth, wele hwynt oll yn gelaneddau meirwon.

37 ¶ Felly Senacherib brenin Assyria a ymadawodd, ac a aeth, ac a ddychwelodd, ac a drigodd yn Ninefe.

38 ¶ A bu, fel yr ydoedd efe yn addoli yn nhŷ Nisroch ei dduw, i Adrammelech a Sarezer ei feibion, ei daraw ef â'r cleddyf; a hwy a ddiangasant i wlad Armenia. Ac Esarhadon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef.

## PENNOD XXXVIII.

YN y dyddiau hyny y clafychodd Hezeciah hyd farw. Ac Esay y proffwyd mab Amoz a ddaeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Trefna dy dŷ; canys marw fyddi, ac ni byddi byw.

2 Yna Hezeciah a droes ei wyneb at y pared, ac a weddiodd at yr Arglwydd.

3 A dywedodd, Atolwg, Arglwydd, cofia yr awr hon i mi rodio ger dy fron di mewn gwirionedd ac â chalon berffaith, a gwneuthur o honof yr hyn *oedd* dda yn dy olwg. A Hezeciah a ŵylodd âg ŵylofain mawr.

4 ¶ Yna y bu gair yr Arglwydd wrth Esay, gan ddywedyd,

5 Dos a dywed wrth Hezeciah, Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Dafydd dy dad, Clywais dy weddi di, gwelais dy ddagrau; wele, mi a chwanegaf at dy ddyddiau di bymtheng mlynedd.

6 Ac o law brenin Assyria y'th waredaf di a'r ddinas: a mi a ddiffynaf y ddinas hon.

7 A hyn *fydd* i ti yn arwydd oddiwrth yr Arglwydd, y gwna yr Arglwydd y gair hwn a lefarodd;

8 Wele fi yn dychwelyd cysgod y graddau, yr hwn a ddisgynodd yn neial Ahaz gyda'r haul, ddeg o raddau yn ei ol. Felly yr haul a ddychwelodd ddeg o raddau, ar hyd y graddau y disgynasai *ar hyddynt.*

9 ¶ Ysgrifen Hezeciah brenin Juda, pan glafychasai, a byw o hono o'i glefyd.

10 Myfi a ddywedais yn nhoriad fy nyddiau, Af i byrth y bedd; difuddiwyd fi o weddill fy mlynyddoedd.

---

PEN. XXXVIII. Adn. 1—6. *Yn y dyddiau hyny y clafychodd Hezeciah hyd farw, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xx. 1—6.

Adn. 7, 8. *A hyn fydd i ti yn arwydd oddiwrth yr Arglwydd, &c.*] Y mae yr hanes a geir yn yr adnodau hyn ychydig yn helaethach yn 2 Bren. xx. 8—11: gwel y sylwadau yno.

Adn. 9. *Ysgrifen Hezeciah brenin Juda, pan glafychasai, a byw o hono o'i glefyd*] Nid yw y gân hon, oddiyma hyd ddiwedd adn. 20, i'w chael yn llyfr y Brenhinoedd. Tybia *Grotius* mai y proffwyd Esay a roddodd y gân hon yn ngenau y brenin; ond y mae yn debycach mai cyfansoddiad Hezeciah ei hun ydyw, yr hwn a ysgrifenodd efe mewn ffordd o ddiolchgarwch i Dduw am iddo ei adferu o'i gystudd. Gan ei fod yn ŵr da a doeth, efe a ysbrydolwyd gan Ysbryd Duw i gyfansoddi y gân hon er addysg i'r oesau dyfodol.

Adn. 10. *Myfi a ddywedais yn nhoriad fy nyddiau*] Yn ei gystudd, pryd yr oedd ei

11 Dywedais, Ni chaf weled yr
Arglwydd Ior yn nhir y rhai byw:
ni welaf ddyn mwyach yn mysg
trigolion y byd.
12 Fy nhrigfa a aeth, ac a symud-
wyd oddiwrthyf fel lluest bugail:
torais ymaith fy hoedl megys gwe-
hydd; â nychdod y'm tyr ymaith:
o ddydd hyd nos y gwnei ben am
danaf.
13 Cyfrifais hyd y bore, *mai*
megys llew y dryllia efe fy holl es-
gyrn: o ddydd hyd nos y gwnei
ddyben arnaf.
14 Megys garan *neu* wenol, felly
trydar a wnaethym; griddfenais
megys colomen; fy llygaid a
ddyrchafwyd i fyny: O Arglwydd,
gorthrymwyd fi; esmwythâ arnaf.
15 Beth a ddywedaf? canys dy-
wedodd wrthyf, ac efe a'i gwna: mi
a gerddaf yn araf fy holl flynydd-
oedd yn chwerwedd fy enaid.
16 Arglwydd, trwy y *pethau* hyn
yr ydys yn byw, ac yn yr holl *beth-
au* hyn *y mae* bywyd fy ysbryd i;
felly yr iachêi, ac y bywhêi fi.
17 Wele yn lle heddwch i mi

---

ddyddiau ar gael eu tori ymaith yn ol gair yr Arglwydd, adn. 1. *Af i byrth y bedd*—sef i'r bedd ei hun, trwy borth marwolaeth. *Difuddiwyd fi o weddill fy mlynyddoedd*—sef o'r blynyddoedd ag y gallasai efe eu dysgwyl yn ol trefn natur. Gan fod Hezeciah yn 25 mlwydd oed pan ddechreuodd efe deyrnasu, 2 Bren. xviii. 2, a'i fod yn awr wedi teyrnasu 14 mlynedd, pen. xxxvi. 1, nid oedd efe ond oddeutu 39 neu 40 mlwydd oed y pryd hyn.

Adn. 11. *Dywedais*] Yn fy nghystudd, *Ni chaf weled yr Arglwydd Ior yn nhir y rhai byw*—ni chaf fwynhau ei ffafr ef mwyach ar y ddaear, na chanfod ei brydferthwch a'i ogoniant ef yn y cysegr: *ni welaf ddyn mwyach yn mysg trigolion y byd*—gan y rhaid i mi yn awr farw, a myned i'r bedd.

Adn. 12. *Fy nhrigfa a aeth*] Saes., 'fy *oes* a aeth;' *ac a symudwyd oddiwrthyf fel lluest bugail*—mor ddisymwth ag y tynir lluest neu babell bugail i lawr, i'w symud i le arall. Ymddengys oddiyma ei fod ef yn dysgwyl oesi neu drigiannu mewn byd arall, yr un modd ag y dysgwyliai bugail fyned i borfa arall wrth symud ei babell. *Torais ymaith fy hoedl*—neu annogais Dduw i wneyd hyny trwy fy mhechodau; *megys gwehydd*—yr un modd ag y tora gwehydd ei wê oddiwrth y garfan: *â nychdod y'm tyr ymaith*—y torai Duw ef ymaith, sef â'r cornwyd blin ag oedd wedi ymaflyd ynddo, adn. 21, fel y dywed rhai. Ond dywed *Barnes* nad yw y gair gwreiddiol byth yn arwyddo nychdod neu afiechyd; ac am hyny y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Tyr fi ymaith oddiwrth yr *eddi;*' neu, 'tyr fi o'r *gwydd.*' *O ddydd hyd nos y gwnei ben am danaf*—ar hyd y dydd, neu rhwng y bore a'r nos. *Lowth* a'i cyfieitha, 'Yn nghorff y dydd y gorpheni fy ngwê.'

Adn. 13. *Cyfrifais hyd y bore*] 'Y byddwn farw cyn y bore, gan mor fawr oedd fy mhoenau;' neu, fel y mae *Lowth* yn cyfieithu y darn hwn a'r nesaf, '*Rhuais* hyd y bore megys llew; felly y drylliai efe fy holl esgyrn.' *O ddydd hyd nos y gwnei ddyben arnaf*—y mae y geiriau hyn yn eisiau yma yn y Syriaeg, ac mewn un ysgrifLyfr Hebreig: gwel ar adn. 12.

Adn. 14. *Megys garan neu wenol, felly trydar a wnaethym*] Weithiau yn *uchel*, fel garan neu grëyr, sef pan fyddai ei boen yn fawr; ac weithiau yn *isel*, fel y wenol, pan fyddai ei nerth yn ychydig, neu pan fyddai ei loesion heb fod mor angherddol. *Griddfenais megys colomen*—yr hon sydd yn hynod am ei chwynfaniad galarus, yn enwedig pan fyddo wedi colli ei chymhar. *Fy llygaid a ddyrchafwyd i fyny*—Saes., 'fy llygaid a *ballasant* wrth edrych i fyny;' sef wrth edrych i fyny at Dduw am ymwared, a hyny yn ofer. *O Arglwydd, gorthrymwyd fi*—gan fy nolur, yr hwn fel ceisbwl sydd yn fy llusgo i garchar y bedd: *esmwythâ arnaf*—gwared fi o'i ddwylaw ef. Hon oedd ei iaith ef yn ei gystudd; eithr yr hyn a ganlyn oedd ei iaith ef ar ol ei adferu.

Adn. 15. *Beth a ddywedaf?*] Yr wyf yn fyr o eiriau i draethu fy niolchgarwch i Dduw am fy ngwaredu. *Canys dywedodd wrthyf* — addawodd trwy y proffwyd y gwnai fy ngwaredu; *ac efe a'i gwna*—Saes., 'ac efe ei hun a'i *gwnaeth:*' darfu iddo fy ngwaredu yn ol ei addewid. *Mi a gerddaf yn araf fy holl flynyddoedd*—mi a rodiaf yn ddifrifol, gostyngedig, a diolchgar i Dduw, yn ystod y pymtheg mlynedd ag yr addawodd efe eu chwanegu at fy nyddiau; *yn chwerwedd fy enaid*—sef '*ar ol* chwerwedd ei enaid;' neu, fel y mae yr alleirydd Caldeaidd yn ei ddarllen, 'O herwydd fy ngwaredigaeth oddiwrth chwerwedd fy enaid.' 'Dros weddill fy mlynyddoedd mi a fyfyriaf ar y chwerwedd hwn o eiddo fy enaid.'—*Lowth.*

Adn. 16. *Arglwydd, trwy y pethau hyn yr ydys yn byw*] Trwy dy addewid, dy allu, a'th gyfryngiad trugarog di, y mae pob dyn yn byw, neu yn cael estyn ei einioes o ddydd i ddydd yn y bywyd hwn; *ac yn yr holl bethau hyn y mae bywyd fy ysbryd i*—nid yn unig bywyd fy nghorff, ond bywyd fy enaid hefyd, neu fy mywyd tragwyddol. *Felly yr iachêi, ac y bywhêi fi*—yn hytrach, 'felly y bywheaist ac yr iacheaist fi;' neu, 'felly yr adferaist fy iechyd, ac yr estynaist fy mywyd:' gwel *Lowth.*

Adn. 17. *Wele yn lle heddwch*] Yn lle yr iechyd a'r cysur a fwynhawn o'r blaen; *i mi chwerwder chwerw*—daliwyd fi gan y dolur chwerw hwn. Ond gellir cyfieithu y wreiddiol, 'Wele fy ing chwerw a newidiwyd yn esmwythyd;' neu, 'fy chwerwder chwerw yd-

chwerwder chwerw: ond o gariad
ar fy enaid y gwaredaist *ef* o bwll
llygredigaeth: canys ti a deflaist
fy holl bechodau o'r tu ol i'th gefn.
18 Canys y bedd ni'th fawl di,
angau *ni*'th glodfora: y rhai sydd
yn disgyn i'r pwll ni obeithiant am
dy wirionedd.
19 Y byw, y byw, efe a'th fawl
di, fel *yr wyf* fi heddyw: y tad a
hysbysa i'r plant dy wirionedd.
20 Yr Arglwydd *sydd* i'm cadw:
am hyny y canwn fy nghaniadau,
holl ddyddiau ein heinioes, yn nhŷ
yr Arglwydd.
21 Canys Esay a ddywedasai,
Cymerant swp o ffigys, a rhwymant
yn blastr ar y cornwyd, ac efe a
fydd byw.
22 A dywedasai Hezeciah, Pa
arwydd fydd y caf fyned i fyny i dŷ
yr Arglwydd?

## PENNOD XXXIX.

YN yr amser hwnw Merodach-
Baladan, mab Baladan, brenin
Babilon, a anfonodd lythyrau ac
anrheg at Hezeciah: canys efe a
glywsai ei fod ef yn glaf, a'i fyned
yn iach.
2 A Hezeciah a lawenychodd o'u
herwydd hwynt, ac a ddanghosodd
iddynt dŷ ei drysorau, yr arian, a'r
aur, a'r llysieuau, a'r olew gwerth-
fawr, a holl dŷ ei arfau, a'r hyn oll
a gafwyd yn ei drysorau ef: nid
oedd dim yn ei dŷ ef, nac yn ei holl
gyfoeth ef, a'r nas danghosodd He-
zeciah iddynt.
3 ¶ Yna y daeth Esay y proffwyd
at y brenin Hezeciah, ac a ddywed-
odd wrtho, Beth a ddywedodd y
gwŷr hyn? ac o ba le y daethant
atat? A dywedodd Hezeciah, O
wlad bell y daethant ataf fi, *sef* o
Babilon.
4 Yntau a ddywedodd, Beth a
welsant hwy yn dy dŷ di? A dy-
wedodd Hezeciah, Yr hyn oll *oedd*
yn fy nhŷ i a welsant: nid oes dim
yn fy nhrysorau a'r nas danghosais
iddynt.
5 Yna Esay a ddywedodd wrth
Hezeciah, Gwrando air Arglwydd
y lluoedd.
6 Wele y dyddiau yn dyfod, pan
ddygir i Babilon yr hyn oll *sydd* yn

---

oedd i beddwch;' hyny yw, a droes yn achlysur o ddiogelwch a chysur i mi; canys gyrodd fi i weddio; a llwyddodd fy ngweddi gyda Duw i gael estyniad i'm bywyd. *Ond o gariad ar fy enaid y gwaredaist ef o bwll llygredigaeth*— y gwaredaist fi rhag myned i'r bedd; neu, yn fwy llythyrenol, 'yn garuaidd cofleidiaist' neu cusenaist 'fy enaid allan o bwll llygredigaeth.' *Canys ti a deflaist fy holl bechodau o'r tu ol i'th gefn*—hyny yw, ti a'u bwriaist o'th olwg, neu a'u maddeuaist, fel ag i beidio fy nghospi am danynt mwyach. Gan fod *wyneb* yr Arglwydd ar y duwiol, a bod ei bechodau ef o'r tu ol i'w *gefn*, rhaid fod trwch y Duwdod, neu dragwyddol bellder, rhyngddo ef a'i bechodau!

Adn. 18. *Canys y bedd ni'th fawl di*] Sef y meirw yn y bedd; *angau ni'th glodfora*—sef y rhai sydd dan lywodraeth angau: *y rhai sydd yn disgyn i'r pwll*—neu i'r bedd, *ni obeithiant am dy wirionedd*—am gyflawniad o'th addewidion, y rhai a wnaethost i'r byw. Cyfeirir yma at y corff yn unig; canys nid yw yr ysbryd yn disgyn i'r bedd: gwel ar Salm vi. 5, Preg. xii. 12.

Adn. 19. *Y byw, y byw*] Fe'i hailadroddir, i ddangos pwysfawrogrwydd a sicrwydd y gwirionedd a draethir yma; *efe a'th fawl di*—efe yn unig sydd yn alluog i'th foliannu a'th glodfori; *fel yr wyf fi heddyw*—yn fyw o ran fy nghorff, ac yn meddu bywyd ysbrydol yn fy enaid hefyd. *Y tad*—wrth ei fod yn fyw, *a hysbysa i'r plant dy wirionedd*—a draetha am dy natur, dy gariad, a'th weithredoedd, o genhedlaeth i genhedlaeth.

Adn. 20. *Yr Arglwydd sydd i'm cadw*] A'm cadwodd yn fyw rhag disgyn i'r pwll, ac a'm ceidw gorff ac enaid i fywyd tragwyddol. *Am hyny y canwn fy nghaniadau*—y mae y Saesonaeg yn chwanegu yma, 'i'r offer tannau,' neu ar offer cerdd; *holl ddyddiau ein heinioes*—tra y byddaf fi a'm pobl byw; *yn nhŷ yr Arglwydd*—sef yn y deml. Ymddengys mai yr ystyr yw, ei fod am i'r gân hon gael ei dodi mewn tôn-nodau, i'w chanu yn barhaus yn ngwasanaeth y cysegr gydag offer cerdd.

Adn. 21. *Canys Esay a ddywedasai*] Cyn i'r brenin gael ei iachâu; *Cymerant swp o ffigys, &c.*—gwel ar 2 Bren. xx. 7, 8.

Adn. 22. *A dywedasai Hezeciah*] Ar ol clywed y byddai i'r ffigys hyny, dan fendith Duw, gadw ei fywyd, a chyn iddo gael ei iachâu; *Pa arwydd fydd y caf fyned i fyny i dŷ yr Arglwydd*—i'w addoli ef, ac i ddiolch iddo am ty iachâu? gwel ar 2 Bren. xx. 5, 8. Yr oedd cael myned i'r deml fel addolwr yn llawer mwy yn ei olwg ef, na chael myned i fyny i'w orsedd fel brenin.

PEN. XXXIX. Adn. 1—8. *Yn yr amser hwnw*] Yn fuan ar ol i Hezeciah gael ei adfer i iechyd; *Merodach-Baladan, mab Baladan, brenin Babilon*—am hanes y gŵr hwn gwel Ddarlithiau Dr. Wiseman, dal. 369—371; *a anfonodd lythyrau ac anrheg at Hezeciah, &c.*—gwel y bennod hon wedi ei hegluro yn llawn yn y sylwadau ar 2 Bren. xx. 12—19.

dy dŷ di, a'r hyn a gynilodd dy
dadau di hyd y dydd hwn : ni adew-
ir dim, medd yr Arglwydd.
7 Cymerant hefyd o'th feibion di,
y rhai a ddaw o honot, *sef* y rhai a
genhedli, fel y byddont ystafellydd-
ion yn llys brenin Babilon.
8 Yna y dywedodd Hezeciah
wrth Esay, Da *yw* gair yr Ar-
glwydd, yr hwn a lefaraist. Dy-
wedodd hefyd, Canys bydd hedd-
wch a gwirionedd yn fy nyddiau i.

## PENNOD XL.

CYSURWCH, cysurwch fy mhobl,
medd eich Duw.
2 Dywedwch wrth fodd calon Je-
rusalem, llefwch wrthi hi, gyflawni
ei milwriaeth, ddileu ei hanwiredd :
o herwydd derbyniodd o law yr
Arglwydd yn ddau-ddyblyg am ei
holl bechodau.
3 ¶ Llef un yn llefain yn yr an-
ialwch, Parotowch ffordd yr Ar-
glwydd, unionwch lwybr i'n Duw
ni yn y diffaethwch.
4 Pob pant a gyfodir, a phob
mynydd a bryn a ostyngir : y gŵyr
a wneir yn union, a'r anwastad yn
wastadedd.
5 A gogoniant yr Arglwydd a
ddatguddir, a phob cnawd yn nghyd
a'i gwel ; canys genau yr Arglwydd
a lefarodd *hyn.*
6 Y llef a ddywedodd, Gwaedda :

---

PEN. XL. Adn. 1. *Cysurwch, cysurwch fy mhobl, medd eich Duw*] Wrth y bobl hyn y meddylir ond odid yr Iuddewon yn Babilon, y rhai y gorchymynir i'r offeiriaid a'u hathrawon eu cysuro âg addewid o waredigaeth ebrwydd o'u caethiwed yno. Yr oedd y waredigaeth o Babilon yn gysgod o'r waredigaeth foesol oddiwrth bechod a Satan trwy Grist; ac nid yw y gyntaf braidd byth yn cael ei chrybwyll gan y proffwydi, heb fod ganddynt hefyd olwg ar yr olaf. Yn wir dywed *Kimchi*, 'fod yr oll o'r broffwydoliaeth hon yn perthyn i ddyddiau y Messia.'

Adn. 2. *Dywedwch wrth fodd calon Jerusalem*] Sef pobl Jerusalem, y rhai a gaethgludesid oddiyno i Babilon. *Llefwch wrthi hi, gyflawni ei milwriaeth*—fod amser eu caethiwed, eu darostyngiad, a'u trueni, yn awr ar ben; *ddileu ei hanwiredd*—fod y pechod hwnw a barodd iddynt gael eu cospi, wedi ei faddeu. *O herwydd derbyniodd o law yr Arglwydd yn ddau-ddyblyg am ei holl bechodau*—nid y ddau cymaint ag a haeddodd eu pechodau, canys y maent hwy eu hunain yn addef i'r gwrthwyneb, Ezra ix. 13, Galar. iii. 22; eithr y meddwl yw, iddynt dderbyn digon i ateb dybenion Duw yn y cerydd hwn, sef eu darostwng a'u diwygio hwy, a rhybyddio ereill ar eu cost hwy ; neu ddarfod iddynt dderbyn cymaint arall o gosp ag a weinyddid yn gyffredin gan Dduw wrth gospi pechaduriaid, Jer. xvi. 18, a xvii. 18, Dat. xviii. 6. Yr ystyr a ddyry *Lowth* ac ereill i'r geiriau yw, 'y debynia hi o law Jehofa *fendithion* gymaint arall a chosp ei holl bechodau.' Ond tybia *Kimchi* fod yr ymadrodd hwn yn cyfeirio at y *ddau gaethiwed* a ddyoddefodd yr Iuddewon ; sef caethiwed Babilon, a'r un a ddyoddefant yn awr.

Adn. 3. *Llef un yn llefain yn yr anialwch, &c.*] Tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at waith Cyrus yn cyhoeddi trwy ei holl amherodraeth, am barotoi y ffordd i'r Iuddewon fyned adref i'w gwlad, y rhai a arweinid yno gan Dduw ei hun. Ond er y gall mai hyny yw yr ystyr llythyrenol, eto y mae genym awdurdod yr holl Efengylwŷr i ddeall y geiriau hyn fel yn cyfeirio at bregethiad Ioan Fedyddiwr yn niffaethwch Judea, yr hwn oedd ragredegwr i'r MESSIA, i barotoi y ffordd o'i flaen : gwel ar Mat. iii. 3, Marc i. 3, Luc iii. 4, Ioan i. 23.

Adn. 4. *Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir*] Amcan yr adnod hon yw egluro pa beth a feddylir wrth 'barotoi ffordd yr Arglwydd' yn adn. 3. Pan fyddai brenhinoedd y dwyrain yn arwain eu byddinoedd i wledydd ereill, arferent anfon gwŷr o'u blaen i wastatâu y ffordd. Pan yr oedd *Semiramis*, brenhines Babilon, yn myned i Ecbatana, dywed *Diodorus* iddi anfon gwŷr i fynydd Zarcean i dynu i lawr y creigiau, a'u cario i lenwi y pantiau, fel y gallai hi gael ffordd unionach a byrach i fyned yno, yr hon hyd heddyw a elwir 'Ffordd Semiramis.' Teifl hyn oleuni ar yr hyn a ddywedir yma. Wrth gymhwyso yr adnod hon at ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, yr ystyr yw, fod i'r ffordd gael ei gwneyd yn wastad ac uniawn, fel y byddai yn hawdd iddynt ei theithio wrth fyned adref. Ond wrth ei chymhwyso at weinidogaeth Ioan Fedyddiwr, rhagredegwr Crist, ei meddwl yw, fod y genedl Iuddewig yn cael eu galw i ymbarotoi, trwy edifeirwch a diwygiad buchedd, i dderbyn Crist fel eu Gwaredwr. *Y gŵyr a wneir yn union, &c.*—trwy unioni y ffyrdd ceimion, a gwastatâu y ffyrdd anwastad a geirwon. Felly y meddwl yw, y byddai i bob rhwystr gael ei symud oddiar y ffordd, pa un bynag ai ffordd yr Iuddewon o Babilon, ynte ffordd Crist, a olygir yma.

Adn. 5. *A gogoniant yr Arglwydd a ddatguddir*] Fel Gwaredwr hollalluog ei bobl ; *a phob cnawd yn nghyd a'i gwel*—sef pob dyn, Iuddewon a Chenhedloedd. Y LXX a'i darllenant, 'A phob cnawd a gydwelant iachawdwriaeth ein Duw ni :' gwel ar pen. lii. 10, Luc iii. 6. *Canys genau yr Arglwydd a lefarodd hyn*—yr hwn ni fetha ei gyflawni.

Adn. 6. *Y llef a ddywedodd, Gwaedda*] Nid llef y cyhoeddwr yn adn. 3, eithr llef Duw ei hun, yr hwn a lefara yn adn. 1. *Yntau*

Yntau a ddywedodd, Beth a waedd-
af? Pob cnawd sydd wellt, a'i holl
odidogrwydd fel blodeuyn y maes.
7 Gwywa y gwelltyn, syrth y
blodeuyn; canys ysbryd yr Ar-
glwydd a chwythodd arno: gwellt
yn ddiau *yw* y bobl.
8 Gwywa y gwelltyn, syrth y
blodeuyn; ond gair ein Duw ni a
saif byth.
9 ¶ Dring rhagot, yr efengyles
Seion, i fynydd uchel; dyrchafa dy
lef trwy nerth, O efengyles Jeru-
salem: dyrchafa, nac ofna; dywed
wrth ddinasoedd Juda, Wele eich
Duw chwi.
10 Wele yr Arglwydd Dduw a
ddaw yn erbyn y cadarn, a'i fraich
a lywodraetha drosto: wele ei wobr
gydag ef, a'i waith o'i flaen.
11 Fel bugail y portha efe ei
braidd; â'i fraich y casgl ei ŵyn,
ac a'u dwg yn ei fynwes, *ac* a gol-
edda y mamogiaid.
12 ¶ Pwy a fesurodd y dyfroedd
yn ei ddwrn, ac a fesurodd y nef-
oedd â'i rychwant, ac a gymhwys-
odd bridd y ddaear mewn mesur,
ac a bwysodd y mynyddoedd mewn
pwysau, a'r bryniau mewn clorian-
au?
13 Pwy a gyfarwyddodd Ysbryd

---

*a ddywedodd*—sef y proffwyd, yr hwn y gorchymynai Duw iddo waeddi; neu, fel y mae yr hen gyfieithiadau yn ei ddarllen, '*minau* a ddywedais;' *Beth a waeddaf?*—canys yr oedd yn rhaid iddo gael ei genadwri gan Dduw, ac nid gwaeddi rhywbeth o'i ben ei hun. *Pob cnawd sydd wellt*—sydd mor ddarfodedig, neu sydd mor hawdd ei ddifa a gwellt: *a'i holl odidogrwydd*—ei nerth, ei iechyd, ei brydferthwch, a'i ddoethineb; *fel blodeuyn y maes*—yr hwn sydd yn fwy brau na'r gwelltyn ei hun: gwel ar 1 Pedr i. 24, 25. Amcan y genadwri yw dangos gwaeledd a breuolder gelynion cryfaf yr eglwys, o'u cyferbynu â Duw a'i air.

Adn. 7. *Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn*] Yn fuan iawn, er mor iraidd a phrydferth ydynt; ac felly y gwna y dynion cryfaf: *canys ysbryd yr Arglwydd a chwythodd arno*—neu, 'pan chwytho *gwynt* yr Arglwydd arno.' *Gwellt yn ddiau yw y bobl*—yw pob dyn, adn. 6. Y mae yr adnod hon yn eisiau mewn naw o ysgriflyfrau Hebreig, ac yn yr Arabaeg a'r LXX.

Adn. 8. *Gwywa y gwelltyn, syrth y blodeuyn*] Gwel ar adn. 7; *ond gair ein Duw ni a saif byth*—sef ei addewidion ef i'w bobl, yn gystal a holl athrawiaethau yr efengyl.

Adn. 9. *Dring rhagot, yr efengyles Seion*] Yr hon a efengyli i Seion,' neu a ddygi newyddion da iddi; *i fynydd uchel*—i efengylu i ereill hefyd. *Dyrchafa dy lef trwy nerth*—gwaedda yn uchel, fel y gallo pawb dy glywed, *O efengyles Jerusalem*—'O dydi, yr hon a gyhoeddi newyddion da i Jerusalem.' Nid ar Seion a Jerusalem y gelwir yma, ond ar y rhai a efengylent iddynt hwy, fel yr arwydda y wreiddiol, ac fel y darllenir ef ar ymyl y ddalen, ac mewn amrai o'r hen gyfieithiadau. Hyn a orchymynir i'r proffwydi, neu athrawon ereill, y rhai a gyferchir yma yn y rhyw fenywaidd, am mai merched yn gyffredin a ddatganent fuddugoliaethau a newyddion da yn yr hen amseroedd, fel y sylwa *Lowth*, *Noyes*, *Gesenius*, *Grotius*, ac ereill. *Dyrchafa, nac ofna*—hyny yw, nac ofna ddyrchafu dy lef. *Dywed wrth ddinasoedd Juda*—wrthynt oll, yn gystal ag wrth Jerusalem; *Wele eich Duw chwi*—yr hwn a ddisgynodd i waredu yr Iuddewon o Babilon, ac i ymddangos yn y cnawd!

Adn. 10. *Wele yr Arglwydd Dduw a ddaw yn erbyn y cadarn*] Yn erbyn gelynion cedyrn ei bobl; neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'a ddaw â *llaw* gadarn:' *a'i fraich a lywodraetha drosto*—bydd ei allu ef ei hun yn ddigonol, heb unrhyw gynorthwy, i gario allan ei holl amcanion. *Wele ei wobr gydag ef*—o ras a thrugaredd i'w ganlynwyr, ac o gosp i'w elynion; *a'i waith o'i flaen*—efe a wyddai beth fyddai ei waith cyn dechreu arno. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, fod ei wobr o ogoniant iddo ei hun am ei waith, o'i flaen: gwel ar pen. xlix. 4.

Adn. 11. *Fel bugail y portha efe ei braidd*] Gyda'r gofal a'r tynerwch mwyaf; *â'i fraich y casgl ei ŵyn*—ato ei hun, *ac a'u dwg yn ei fynwes*—pan fyddont yn rhy weiniaid i allu dylyn y praidd o'r naill borfa i'r llall; *ac a goledda y mamogiaid*—y defaid cyfebron, neu rai yn rhoi sugn. Arwydda hyn ofal tyner Crist am holl aelodau ei eglwys, yn ieuanc a hen.

Adn. 12. *Pwy a fesurodd y dyfroedd yn ei ddwrn?*] Pwy ond Duw a allai wneyd hyny? *Ac a fesurodd y nefoedd â'i rychwant*—y mesur o ben y fawd i flaen yr hirfys, ar ol eu lledu neu eu hestyn; *ac a gymhwysodd bridd y ddaear mewn mesur*—fel ag i wybod pa faint sydd o hono, fel pe byddai wedi ei fesur; *ac a bwysodd y mynyddoedd mewn pwysau*—neu â phwysau; *a'r bryniau mewn clorianau*—fel ag i wybod eu pwysi mor gywir a phe byddent wedi eu pwyso? Nid ydym i feddwl i Dduw wneyd y pethau hyn yn llythyrenol; eithr y meddwl yw, y *gallai* efe wneyd hyny, ac *nad* allai neb arall. Amcan yr adnodau hyn yw dangos fod Duw yn anfeidrol ragori mewn mawredd, gallu, a doethineb, ar ei holl greaduriaid, ac yn enwedig ar yr holl gerf-ddelwau a'r eilunod, fel ag i argyhoeddi pawb nad oedd gwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon, ac achubiaeth y credinwyr o afaelion pechod a Satan, ddim yn ormod gwaith i'r Duw a fedrai fesur y dyfroedd yn ei ddwrn, a phwyso y mynyddoedd a'r bryniau mewn clorianau!

yr Arglwydd, ac yn ŵr o'i gynghor
a'i cyfarwyddodd ef?
14 A phwy yr ymgynghorodd efe,
ïe, *pwy* a'i cyfarwyddodd, ac a'i
dysgodd yn llwybr barn, ac a ddysg-
odd iddo wybodaeth, ac a ddanghos-
odd iddo ffordd dealldwriaeth?
15 Wele, y cenhedloedd a gyfrif-
wyd fel defnyn o gelwrn, ac fel mân-
lwch y clorianau; wele, fel brych-
euyn y cymer efe yr ynysoedd i
fyny.
16 Ac nid digon Libanus i gyneu
*tân*; nid digon ei fwystfilod chwaith
yn boeth-offrwm.
17 Yr holl genhedloedd *ydynt*
megys diddym ger ei fron ef; yn llai
na dim, ac *na* gwagedd, y cyfrifwyd
hwynt ganddo.
18 ¶ I bwy gan hyny y cyffelyb-
wch Dduw? a pha ddelw a osodwch
iddo?
19 Y crefftwr a dawdd gerf-ddelw,
a'r eurych a'i goreura, ac a dawdd
gadwyni arian.
20 Yr hwn *sydd* dylawd ei offrwm
a ddewis bren ni phydra; efe a gais
ato saer cywraint, i barotoi cerf-
ddelw *yr hon* ni syfl.
21 Oni wybuoch? oni chlywsoch?
oni fynegwyd i chwi o'r dechread?
oni ddeallasoch er seiliad y ddaear?
22 Efe sydd yn eistedd ar am-
gylchoedd y ddaear, a'i thrigolion

---

Adn. 13. *Pwy a gyfarwyddodd Ysbryd yr Arglwydd*] Yn y gwaith o greu neu lywodraethu nefoedd a daear? *ac yn ŵr o'i gynghor a'i cyfarwyddodd ef?*—yr un modd ag y mae brenhinoedd y ddaear yn cael eu cyfarwyddo gan eu cynghorwyr: gwel ar Rhuf. xi. 34.

Adn. 14. *A phwy yr ymgynghorodd efe*] Cyn iddo ddechreu creu? canys y pryd hyny nid oedd dyn nac angel yn bodoli. *Ie, pwy a'i cyfarwyddodd*—pa fodd i wneyd; *ac a'i dysgodd yn llwybr barn*—sef yn y ffordd o farnu yn iawn, neu wneyd pethau mewn cymhwysder a chywirdeb? *Ac a ddysgodd iddo wybodaeth*—neu 'wyddiannaeth,' fel y mae *Lowth* yn ei gyfieithu; *ac a ddanghosodd iddo ffordd dealldwriaeth?*—yr ateb yw, NEB. Nid oedd arno ef angen am addysg na chyfarwyddyd gan neb, gan ei fod yn hollalluog a hollwybodol.

Adn. 15. *Wele, y cenhedloedd a gyfrifwyd fel defnyn o gelwrn*] Yr hwn nad yw ond y nesaf peth i ddim mewn cymhariaeth i'r holl ddwfr yn y celwrn; *ac fel mân-lwch y clorianau*—yr hwn y gellir yn hawdd ei chwythu ymaith, ac nad effeithia ddim tuag at anwastatâu y clorianau. Tebyg i hyny yw holl genhedloedd y ddaear o'u cymharu â Duw. *Wele, fel brycheuyn y cymer efe yr ynysoedd i fyny*—hyny yw, efe a allai eu cymeryd i fyny, neu eu symud o'u lleoedd, yr un mor hawdd ag y chwythir brycheuyn ymaith gan gorwynt.

Adn. 16. *Ac nid digon Libanus i gyneu tân*] Sef holl goed Libanus; *nid digon ei fwystfilod chwaith yn boeth-offrwm*—y meddwl yw, pe gwneid tân â holl goed Libanus, i losgi yr holl anifeiliaid ar y mynyddoedd hyny yn boeth-offrymau, y byddai y cwbl yn rhy fach i wneyd iawn digonol dros bechodau dynolryw, neu i ateb i ofynion dwyfol gyfiawnder. Y fath yw drwg pechod, fel nas gall dim llai nag aberthiad Mab Duw wneyd iawn drosto!

Adn. 17. *Yr holl genhedloedd ydynt megys diddym ger ei fron ef*] Pe codent oll gyda'u gilydd mewn gwrthryfel yn ei erbyn: *yn llai na dim, ac na gwagedd, y cyfrifwyd hwynt ganddo*—o ran eu cynorthwy iddo, neu eu gwrthwynebiad i'w erbyn. Ond mewn ystyr arall efe a'u cyfrifodd hwynt mor werthfawr, ac o'r fath bwys yn ei lywodraeth, fel ag i roddi ei uniganedig Fab i'w prynu â'i waed! Neu gall mai yr ystyr yw, nad yw yr holl genhedloedd ond megys dim o'u cymharu âg anfeidrol fawredd Duw.

Adn. 18. *I bwy gan hyny y cyffelybwch Dduw*] Gan ei fod ef mor fawr, a phawb ereill mor fach? *a pha ddelw a osodwch iddo*—gan na welodd neb Dduw erioed?

Adn. 19. *Y crefftwr a dawdd gerf-ddelw*] A dawdd ddelw o fettel, neu a'i cerfia o bren neu faen; *a'r eurych*—neu y gof aur, *a'i goreura*—a'i gwisga â dalenau neu lafnau aur, nes yr edrycha fel pe byddai oll yn aur; *ac a dawdd gadwyni arian*—yn addurn am ei breichiau neu ei gwddf, neu i'w sicrhau wrth y mur rhag iddi syrthio.

Adn. 20. *Yr hwn sydd dylawd ei offrwm*] Yn rhy dylawd i allu cael delw o aur, arian, neu bres; *a ddewis bren ni phydra*—i'w gerfio yn ddelw iddo; *yr hon ni syfl*—ond a barha trwy yr oesoedd yn wrthddrych addoliad iddo ef, ac i'w blant ar ei ol. Eithr tybia rhai mai mewn gwawd y dywedir hyn, am nad allai y ddelw syflyd i'w gynorthwyo ef.

Adn. 21. *Oni wybuoch*] Nad yw eilun ddim yn y byd; neu nad all fod ond *un* gwir Dduw, yr hwn a wnaeth nef a daear? *Oni chlywsoch*—gan eich henafiaid? *Oni fynegwyd i chwi o'r dechread*—o ddechread y byd, neu o ddechread yr oruchwyliaeth Iuddewig? *Oni ddeallasoch er seiliad y ddaear*—y rhaid mai Duw arall a greodd y nefoedd a'r ddaear, ac nid yr hwn a wnaed genych chwi? Hyn a ddywedir wrth yr Iuddewon eilunaddolgar.

Adn. 22. *Efe sydd yn eistedd*] Oni ddeallasoch mai *Duw* sydd yn eistedd; *ar amgylchoedd y ddaear*—yn y nefoedd uchod, yn mhell uwchlaw y ddaear gron. *A'i thrigolion sydd fel locustiaid*—yn ei olwg ef; yn fychan o ran maint neu nerth, er yn lluosog o ran rhif. *Yr hwn a daena y nefoedd*—sef y ffurfafen, neu y nef serenog; *fel llen*—uwchben y ddaear, ac o'i hamgylch hi: *ac a'i lleda fel*

*sydd* fel locustiaid; yr hwn a daena
y nefoedd fel llen, ac a'i lleda fel
pabell i drigo *ynddi:*
23 Yr hwn a wna lywodraethwyr
yn ddiddym; fel gwagedd y gwna
efe farnwyr y ddaear.
24 Ie, ni phlenir hwynt, nis heuir
chwaith; ei foncyff hefyd ni wreidd-
ia yn y ddaear: ac efe a chwyth
arnynt, a hwy a wywant, a chorwynt
a'u dwg hwynt ymaith fel sofl.
25 I bwy gan hyny y'm cyffelyb-
wch, ac y'm cystedlir, medd y
Sant?
26 Dyrchefwch eich llygaid i
fyny, ac edrychwch pwy a greodd *y*
*rhai* hyn, a ddwg eu llu hwynt
allan mewn rhifedi: efe a'u geilw
hwynt oll wrth eu henwau; gan
amlder *ei* rym *ef*, a'i gadarn allu,
ni phalla un.
27 Paham y dywedi, Jacob, ac y
llefari, Israel, Cuddiwyd fy ffordd
oddiwrth yr Arglwydd, a'm barn a
aeth heibio i'm Duw?
28 ¶ Oni wyddost, oni chlywaist,
na ddiffygia ac na flina Duw tra-
gwyddoldeb, yr Arglwydd, Creawd-
wr cyrau y ddaear? ni ellir chwilio
allan ei synwyr ef.
29 Yr hwn a rydd nerth i'r di-
ffygiol, ac a amlha gryfder i'r
dirym.
30 Canys yr ieuenctid a ddiffygia
ac a flina, a'r gwŷr ieuainc gan
syrthio a syrthiant:

---

*pabell i drigo ynddi*—sef i drigo ynddi ei hunan, fel y mae y Galdeaeg yn ei ddeall. Y meddwl yw, fod Duw yn llenwi y nefoedd a'r ddaear ar yr un pryd.

Adn. 23. *Yr hwn a wna lywodraethwyr yn ddiddym*] Pan yr ymgodont yn ei erbyn ef; *fel gwagedd y gwna efe farnwyr y ddaear*—er cryfed a doethed fyddont. Pan godo brenhinoedd a mawrion y ddaear yn ei erbyn ef a'i bobl, efe a ddyrysa eu cynlluniau, ac a deifl eu personau i warth a dirmyg.

Adn. 24. *Ie, ni phlenir hwynt, nis heuir chwaith*] Y meddwl yw, na *wreiddia* y llywodraethwyr a'r barnwyr annuwiol uchod mewn cadernid a sefydlogrwydd: *eu boncyff hefyd ni wreiddia yn y ddaear*—ni pharha eu hiliogaeth hwy o oes i oes i lywodraethu a barnu. *Ac efe*—sef Duw, *a chwyth arnynt*—mewn barnau dialeddol; *a hwy a wywant*—wreiddyn a changen: *a chorwynt a'u dwg hwynt ymaith fel sofl*—yn anadferol, a chyda'r hawsder mwyaf. Tybia *Vitringa* fod yma gyfeiriad at lywodraethwyr annuwiol, y rhai a erlidient bobl Dduw, a'r rhai y daeth eu teuluoedd yn fuan i'r dim; megys Pharao, Antiochus Epiphanes, Nero, Domitian, Decius, Gallus, Galerius, Maxenes, Maximus, ac ereill.

Adn. 25. *I bwy gan hyny y'm cyffelybwch?*] Y mae efe yn ail ofyn yr hyn a ofynwyd o'r blaen, adn. 18, fel y byddai iddynt hwy ystyried yn ddwysach oferedd a ffolineb eilunaddoliaeth; *ac y'm cystedlir*—neu pwy a ellid ei gystadlu âg ef; *medd y Sant*—sef y Duw santaidd, anfeidrol, a hollalluog.

Adn. 26. *Dyrchefwch eich llygaid i fyny*] Tua'r nef serenog; *ac edrychwch pwy a greodd y rhai hyn*—sef yr haul, y lloer, a'r ser; *a ddwg eu llu hwynt allan mewn rhifedi*—yn y fath rifedi dirfawr i ymddangos bob nos, neu yn eu tymhorau priodol. *Efe a'u geilw hwynt oll wrth eu henwau*—fel y geilw y swyddog milwraidd enwau ei fyddin, neu y tad enwau ei blant. *Gan amlder ei rym ef, a'i gadarn allu, ni phalla un*—hwy a ymddanghosant oll pan eilw efe arnynt, ac a wnant yr hyn a orchymyna efe iddynt: gwel ar Salm cxlvii. 4.

Adn. 27. *Paham y dywedi, Jacob, ac y llefari, Israel*] Mor anobeithiol am Dduw, neu mor annghrediniol ynddo? Fel pe dywedasai y proffwyd, Gan fod Duw mor fawr, ac yn gallu llywodraethu holl lu y nef mor hawdd, pa sail sydd genych chwi, ei bobl gyfammodol ef, i amau ei allu, ei ddaioni, a'i ffyddlondeb? Meddylir fod y geiriau hyn yn cael eu llefaru wrth yr Iuddewon yn Babilon, y rhai a ddywedent mewn annghrediniaeth, *Cuddiwyd fy ffordd oddiwrth yr Arglwydd*—nid yw efe yn gweled ein cyflwr, nac yn sylwi ar ein dyoddefiadau, nac yn ystyried ein gweddiau, ein hocheneidiau, na'n dagrau; *a'm barn a aeth heibio i'm Duw*—efe a esgeulusa ddadlu ein hachos, neu roddi barn o'n plaid yn erbyn ein gelynion.

Adn. 28. *Oni wyddost*] Trwy brofiad; *oni chlywaist*—lawer gwaith gan dy athrawon; *na ddiffygia ac na flina Duw tragwyddoldeb*—yn ei ofal am ei bobl, neu yn ei allu a'i ffyddlondeb i'w hamddiffyn a'u llesâu? *Yr Arglwydd*—Hebr., JEHOFA, y Bôd annibynol a hunan-fodol; *Creawdwr cyrau y ddaear*—hyny yw, Creawdwr yr holl ddaear, a'r cwbl sydd ynddi ac arni. Fel hyn yr oedd fod Duw yn dragwyddol, yn hunan-ymddibynol, ac yn Greawdwr pob peth, yn ddigon o reswm na ddiffygiai ac na flinai efe yn ei ofal am lesâd ei bobl, fel y gwna dynion egwan, brau, a marwol. *Ni ellir chwilio allan ei synwyr ef*—neu ddeall ei synwyr a'i ddoethineb er ei chwilio. Y meddwl yw, fod gan Dduw ryw ddybenion doeth a da mewn golwg yn ei holl ymddygiadau tuag atynt, y rhai nas gallent hwy eto eu deall yn llawn.

Adn. 29. *Yr hwn a rydd nerth i'r diffygiol*] Nid yn unig y mae ganddo nerth anfeidrol ynddo ei hun, ond efe a rydd nerth hefyd i'r rhai oll a obeithiant ynddo, adn. 31; *ac a amlha gryfder i'r dirym*—yn ei amser da ei hun; sef nerth a chryfder ysbrydol yn eu henaid: gwel ar 2 Cor. xii. 9.

Adn. 30. *Canys yr ieuenctid a ddiffygia ac a flina*] Hyd yn nod y rhai cryfaf a dewraf o honynt; ond ni ddiffygia ac ni flina Duw,

31 Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd a adnewyddant *eu* nerth; ehedant fel eryrod; rhedant ac ni flinant; rhodiant ac ni ddiffygiant.

## PENNOD XLI.

DYSTEWCH, ynysoedd, ger fy mron; adnewydded y cenhedloedd *eu* nerth: deuant yn nes, yna llefarant; cydnesäwn i farn.
2 Pwy a gyfododd y cyfiawn o'r dwyrain, a'i galwodd at ei droed, a roddodd y cenhedloedd o'i flaen ef, ac a wnaeth *iddo* lywodraethu ar frenhinoedd? efe a'u rhoddodd *hwynt* fel llwch i'w gleddyf, *ac* fel sofl gwasgaredig i'w fwa ef.
3 Y mae efe yn eu herlid hwynt, *ac* yn myned yn ddiogel; *ar hyd* llwybr ni cherddasai efe â'i draed.
4 Pwy a weithredodd ac a wnaeth *hyn*, gan alw y cenedlaethau o'r dechread? Myfi yr Arglwydd y cyntaf, myfi hefyd *fydd* gyda'r diweddaf.
5 Yr ynysoedd a welsant, ac a

---

adn. 28: *a'r gwŷr ieuainc gan syrthio a syrthiant*—nid yn unig i wendid a gwaeledd, ond hefyd i'r bedd, a hyny yn fynych yn mlodau eu dyddiau; ond nid felly y Duw tragwyddol a hunan-ymddibynol. Tybia rhai mai gwŷr ieuainc Babilon, y rhai a wawdient ac a ddirmygent bobl Dduw, a feddylir yma.

Adn. 31. *Eithr y rhai a obeithiant yn yr Arglwydd*] Hyd yn nod yn eu cyflwr caethiwus yn Babilon; *a adnewyddant eu nerth*—cryfheir eu ffydd, eu cariad, a'u holl rasusau ereill, fel ag i fod yn fwy na choncwerwyr ar eu holl elynion. *Ehedant fel eryrod*—y rhai a ehedant yn uwch ac yn gyflymach na'r holl adar. *Lowth* a'i cyfieitha, 'Ymwisgant â phlyf newyddion, fel eryr wedi bwrw ei blyf:' gwel ar Salm ciii. 5. *Rhedant*—eu gyrfa ysbrydol; *ac ni flinant*—er meithed y ffordd: *rhodiant*—gydag hyfrydwch yn ffordd gorchymynion Duw; *ac ni ddiffygiant*—er mor wan ydynt ynddynt eu hunain. Perffeithir nerth Duw yn eu gwendid hwy, a gwneir hwynt yn gryfion ac yn wrol i gyraedd pen eu taith mewn llawenydd.

PEN. XLI. Adn. 1. *Dystewch, ynysoedd, ger fy mron*] Yma geilw yr Arglwydd ar holl wledydd y cenhedloedd eilunaddolgar i ddystewi mewn arswyd a pharch ger ei fron ef, tra y byddai efe yn profi ei Dduwdod ei hun, ac yn dangos nad oedd yr eilunod yn dduwiau, ac yn eu ceryddu hwythau am eu heilunaddoliaeth. *Adnewydded y cenhedloedd eu nerth*—sef eu nerth meddyliol, i ddadlu â Duw. *Deuant yn nes, yna llefarant*—dros eu duwiau, os gallant. *Cydnesäwn i farn*—i benderfynu y ddadl, pa un ai Duw y nefoedd, ynte eilunod y ddaear, sydd deilwng o addoliad.

Adn. 2. *Pwy a gyfododd y cyfiawn o'r dwyrain?*] Tybia yr alleirydd Caldeaidd, yn nghyda *Jarchi*, *Kimchi*, *Abarbanel*, a'r ysgrifenwyr Iuddewig yn gyffredin, mai ABRAHAM a olygir wrth y 'cyfiawn' hwn. Barna llawer o'r tadau, megys *Jerome*, *Cyril*, *Eusebius*, *Theodoret*, a *Procopius*, mai y MESSIA a olygir wrtho. Eithr y dyb fwyaf cyffredin, a'r debycaf o fod yn gywir yn ol fy marn i, yw, mai CYRUS a feddylir: a hyny yw barn *Vitringa*, *Rosenmuller*, *Smith*, *Benson*, *Boothroyd*, a llawer o'r esbonwyr galluocaf. Yr unig wrthddadl o bwys yn erbyn y golygiad hwn yw, nad yw y cymeriad *cyfiawn* yn briodol i Cyrus. Ond i hyn gellir ateb, nad yw y gair yn arwyddo yma un *duwiol*, neu addolwr y gwir Dduw; eithr, yn unig, un ag ydoedd yn tueddu i wneyd yr hyn oedd gyfiawn yn achos yr Iuddewon; ac addefir gan *Xenophon*, a chan yr hen ysgrifenwyr yn gyffredinol, mai cyfiawnder oedd nodweddiad cyffredin Cyrus. *A'i galwodd at ei droed*—i wneuthur ei orchymyn ef; *a roddodd y cenhedloedd o'i flaen ef*—a'u darostyngodd hwynt o'i flaen; *ac a wnaeth iddo lywodraethu ar frenhinoedd*—sef brenhinoedd Babilon, Lydia, a Chappadocia, y rhai a ddarostyngwyd dano ef, ac a gydnabyddasant eu hymddibyniaeth arno. *Efe a'u rhoddodd hwynt fel llwch i'w gleddyf*—o ran amledd ei laddedigion; *ac fel sofl gwasgaredig i'w fwa ef*—hyny yw, efe a'u gwasgarodd hwynt â'i fwa, fel y gwasgerir sofl neu lwch o flaen gwynt.

Adn. 3. *Y mae efe yn eu herlid hwynt*] Ar ol iddynt gael eu gwasgaru; *ac yn myned yn ddiogel*—heb gael dim niwed ei hunan oddiwrthynt; *ar hyd llwybr na cherddasai efe â'i draed*—ar hyd gwlad ddyeithr, lle ni buasai efe o'r blaen, sef tuhwnt i'r afon Halys, yn eithafion gorllewinol Asia, ac yn ngwlad yr Aifft.

Adn. 4. *Pwy a weithredodd ac a wnaeth hyn*] Sef yr hyn a grybwyllwyd uchod? Amcan y gofyniad hwn yw dangos mai Duw a gododd Cyrus, ac a wnaeth yr holl bethau uchod trwyddo ef. *Gan alw y cenedlaethau o'r dechread*—yn olynol o ddechread y byd. Yma cyfeirir at lywodraeth gyffredinol Duw, nid yn unig ar Cyrus a'r genhedlaeth hono, ond hefyd ar holl ddynolryw o ddechread y byd. *Myfi yr Arglwydd y cyntaf*—yr hwn wyf o flaen pawb a phob peth; *myfi hefyd fydd gyda'r diweddaf*—ni bydd neb ar fy ol i: gwel ar Dat. i. 17, a xxii. 13. Amcan y geiriau hyn yw dangos y gallent hwy gan hyny ymddiried eu hachos yn hyderus i ofal y Duw tragwyddol a digyfnewid hwn, yr hwn a gododd Cyrus, ac a'i galwodd at ei droed, a'r hwn a feddai lywodraeth drwyadl ar holl genhedloedd y ddaear o ddechread y byd; yr hyn ni allai yr eilunod ymffrostio ynddo.

Adn. 5. *Yr ynysoedd*] Sef y cenhedloedd eilunaddolgar pellenig; *a welsant*—weithredoedd grymus y gŵr a godwyd gan Dduw i waredu ei bobl a darostwng ei elynion; *ac a ofnasant*—rhag iddynt hwythau gael eu suddo

ofnasant; eithafoedd y ddaear a
ddychrynasant, a nesasant, ac a
ddaethant.
6 Pob un a gynorthwyodd ei gy-
mydog, ac a ddywedodd wrth ei
frawd, Ymgryfha.
7 Felly y saer a gysurodd yr eur-
ych, *a*'r morthwyliwr yr hwn oedd
yn taro ar yr eingion, gan ddywed-
yd, *Y mae* yn barod i'w asio; ac efe
a'i sicrhaodd â hoelion, *fel* nad ys-
gogir.
8 Eithr ti, Israel, fy ngwas *yd-
wyt* ti, Jacob yr hwn a etholais, had
Abraham fy anwylyd.
9 *Ti* yr hwn a gymerais o eithaf-
oedd y ddaear, ac y'th elwais oddi-
wrth ei phendefigion, ac y dywed-
ais wrthyt, Fy ngwas *wyt* ti; dewis-
ais di, ac ni'th wrthodais.
10 ¶ Nac ofna; canys *yr ydwyf*
fi gyda thi: na lwfrha; canys myfi
*yw* dy Dduw: cadarnhaf di, cy-
northwyaf di hefyd, a chynaliaf di
â deheulaw fy nghyfiawnder.
11 Wele, cywilyddir a gwarad-
wyddir *y rhai* oll a lidiasent wrth-
yt: dy wrthwynebwyr a fyddant
megys diddym, ac a ddyfethir.
12 Ti a'u ceisi, ac nis ceir hwynt,
*sef* y dynion a ymgynhenasant â
thi: y gwŷr a ryfelant â thi fyddant
megys diddym, a megys peth heb
ddim.
13 Canys myfi yr Arglwydd dy
Dduw a ymaflaf yn dy ddeheulaw, a

---

yn yr un trueni: *eithafoedd y ddaear a ddychrynasant, a nesasant, ac a ddaethant*—yn nghyd i ymgynghori â'u gilydd pa beth oedd oraf ei wneuthur mewn amddiffyniad iddynt hwy eu hunain a'u duwiau.

Adn. 6. *Pob un a gynorthwyodd ei gymydog*] I wrthwynebu y gŵr a godwyd gan Dduw; *ac a ddywedodd wrth ei frawd, Ymgryfha*—ymwrola, ac na ddychryna rhag ymosodiad Cyrus.

Adn. 7. *Felly y saer*] Yr hwn a wnai y ddelw bren, *a gysurodd yr eurych*—yr hwn a wisgai y ddelw hòno âg aur; *a'r morthwyliwr*—yr hwn a lyfnhäai y dawdd-ddelw, a gysurodd *yr hwn oedd yn taro ar yr eingion*—i wneuthur hoelion neu gadwyni i'w dal; *gan ddywedyd, Y mae yn barod i'w asio*—y mae gwahanol ranau yr eilun yn barod i'w dodi wrth eu gilydd: *ac efe a'i sicrhaodd â hoelion*—fel nad ysgogid yr eilun o'i safle. Fel hyn yr oedd y naill weithiwr yn cysuro y llall, gan annog eu gilydd i orphen yr eilun cyn gynted ag y gellid, i'r dyben i ennill ffafr y duwiau, a throi ymaith y perygl bygythiol!

Adn. 8. *Eithr ti, Israel, fy ngwas ydwyt ti*] Fy ngwas i, neu fy mhobl neillduol fy hun, y rhai yr ymrwymais i'ch gwaredu trwy Cyrus; *Jacob yr hwn a etholais*—i fod yn eglwys weledig i mi ar y ddaear; *had Abraham fy anwylyd*—yr hwn oedd yn anwyl gan Dduw, a'r hwn yr oedd Duw yn anwyl ganddo yntau.

Adn. 9. *Ti yr hwn a gymerais*] Gan nad yw y rhagenw *ti* yn y wreiddiol, gellir deall hyn am *Abraham*, yr hwn a enwyd ddiweddaf; ond os am *Israel* y dywedir, y meddwl yw, iddo eu cymeryd hwynt pan yr oeddynt yn lwynau eu tad; *o eithafoedd y ddaear*—sef o Ur y Caldeaid; *ac y'th elwais oddiwrth ei phendefigion*—penaethiaid y Caldeaid; neu 'o'i *hystlysau* hi,' fel yr arwydda y wreiddiol; *ac y dywedais wrthyt, Fy ngwas wyt ti*—a'th had ar dy ol: *dewisais di, ac ni'th wrthodais*—neu, 'ni'th wrthodaf.' Tybia rhai mai at ddygiad Israel o'r Aifft, neu yr Iuddewon o Babilon, y cyfeirir yn nechre yr adnod; ond y mae yn debycach mai galwad Abraham o Ur y Caldeaid a feddylir.

Adn. 10. *Nac ofna*] Hyn ond odid a ddywedid wrth hiliogaeth Abraham yn ystod eu caethiwed yn Babilon, ac a ddywedir eto wrth bob credadyn ar y ddaear; *canys yr ydwyf fi gyda thi*—i'th amddiffyn a'th gadw: ac 'os yw Duw trosom, pwy a all fod i'n herbyn?' Rhuf. viii. 31. *Na lwfrha*—yn yr olwg ar amledd a chryfder dy elynion, neu dy wendid dy hun; *canys myfi yw dy Dduw*—dy Dduw cyfammodol, yr hwn wyf gryfach na phawb, yn Dduw hollalluog. *Cadarnhaf di*—lle yr wyt yn wan; *cynorthwyaf di hefyd*—lle y mae dy elynion yn gryfach na thi; *a chynaliaf di*—pan fyddot yn barod i syrthio, *â deheulaw fy nghyfiawnder*—â'r hon yr wyf yn achub fy mhobl, ac yn cospi fy ngelynion, mewn cyfiawnder: gwel ar Salm xlviii. 10.

Adn. 11. *Wele, cywilyddir a gwaradwyddir y rhai oll a lidiasent wrthyt*] Trwy beri iddynt fethu llwyddo yn eu hamcan, neu trwy wneyd i'r drwg a fwriadent i ti syrthio ar eu penau eu hunain. *Dy wrthwynebwyr a fyddant megys diddym*—a ddeuant i'r dim, neu a ddyfethir. Meddylir mai at y Babiloniaid y cyfeirir yma yn benaf.

Adn. 12. *Ti a'u ceisi, ac nis cei hwynt*] Hyny yw, pe ceisit dy elynion, ni byddent i'w cael, am ddarfod eu dyfetha. *Gwŷr a ryfelant â thi fyddant megys diddym*—yr oedd hyn yn wir am holl elynion yr eglwys Iuddewig gynt; ac y mae yn wir eto, a bydd felly byth, am holl elynion yr eglwys Gristionogol. Dyfethwyd miloedd o honynt hwy er dyddiau Nero a Domitian; ond y mae yr eglwys yn aros: gwel ar Mat. xvi. 18.

Adn. 13. *Canys myfi yr Arglwydd dy Dduw a ymaflaf yn dy ddeheulaw*] Fel tad yn ymaflyd yn neheulaw ei blentyn i'w arwain; neu i wneuthur cyfammod â thi: neu, fel y gellir ei gyfieithu, '*cadarnhaf* dy ddeheulaw,' i orchfygu dy elynion. *A ddywed wrthyt, &c.*—gwel ar adn. 10.

Adn. 14. *Nac ofna, di bryf Jacob*] Yr hwn wyt egwan ynot dy hun, ac yn cael dy ddiys-

ddywed wrthyt, Nac ofna, myfi a'th
gynorthwyaf.
14 Nac ofna, di bryf Jacob, gwŷr
Israel; myfi a'th gynorthwyaf, medd
yr Arglwydd, a'th waredydd, Sant
Israel.
15 Wele, gosodaf di yn fèn ddyrnu
newydd ddanneddog; y mynydd-
oedd a ddyrni ac a feli, gosodi hefyd
y bryniau fel mwlwg.
16 Nithi hwynt, a'r gwynt a'u
dwg ymaith, a'r corwynt a'u gwas-
gar hwynt: a thi a lawenychi yn yr
Arglwydd, yn Sant Israel y gor-
foleddi.
17 *Pan* geisio y trueiniaid a'r ty-
lodion ddwfr, ac nis *cânt; pan* ballo
eu tafod o syched, myfi yr Arglwydd
a'u gwrandawaf hwynt, *myfi* Duw
Israel nis gadawaf hwynt.
18 Agoraf afonydd ar leoedd
uchel, a ffynnonau yn nghanol y
dyffrynoedd: gwnaf y diffaethwch
yn llyn dwfr, a'r crasdir yn ffrydiau
dyfroedd.
19 Gosodaf yn yr anialwch y cedr-
wŷdd, sittah, myrtwydd, ac olew-
wydd; gosodaf yn y diffaethwch
ffynidwydd, ffawydd, a'r pren box
yn nghyd;
20 Fel y gwelont, ac y gwybydd-
ont, ac yr ystyriont, ac y deallont
yn nghyd mai llaw yr Arglwydd a
wnaeth hyn, a Sant Israel a'i cre-
odd.
21 Deuwch yn nes â'ch cwyn,
medd yr Arglwydd; dygwch eich
*rhesymau* cadarnaf medd brenin
Jacob.
22 Dygant *hwynt* allan, a myneg-

---

tyru gan dy elynion, y rhai a fynent dy sathru fel pryf: *gwŷr Israel*—neu 'chwi farwolion Israel,' fel y mae *Lowth* yn ei ddarllen. *Myfi a'th gynorthwyaf, medd yr Arglwydd*—gan hyny yr oedd ganddynt ddigon o reswm i beidio ofni, er nad oeddynt ond pryfaid marwol. *A'th waredydd*—o gaethiwed Babilon. *Sant Israel*—sef y Bôd santaidd a addolid gan Israel.

Adn. 15. *Wele, gosodaf di yn fèn ddyrnu newydd ddanneddog*] Neu yn gyffelyb i fèn ddyrnu, yr hon oedd un offeryn dyrnu a ddefnyddid yn y wlad hòno, pen. xxviii. 27, 28: *y mynyddoedd a ddyrni ac a feli*—sef y teyrnasoedd mawrion hyny a ymgodant i'th erbyn; *gosodi hefyd y bryniau fel mwlwg*—neu fân ûs, sef y gwahanol daleithiau ymddibynol ar y teyrnasoedd hyny.

Adn. 16. *Nithi hwynt*] Yr hyn a ganlynai yn naturiol ar ol dyrnu; *a'r gwynt a'u dwg ymaith*—gwasgerir hwynt fel peiswyn o flaen corwynt. *A thi a lawenychi yn yr Arglwydd*—yn yr ystyriaeth o'r cynorthwy a roddodd efe i ti i faeddu dy elynion, fel yr addawyd uchod; *yn Sant Israel y gorfoleddi*—fel awdwr dy fuddugoliaethau.

Adn. 17. *Pan geisio y trueiniaid a'r tylodion ddwfr, ac nis cânt*] Enwir 'dwfr' yma am bob bendith angenrheidiol i gynal natur; *pan ballo eu tafod o syched*—yr un modd ag Israel gynt yn yr anialwch; *myfi yr Arglwydd a'u gwrandawaf hwynt*—a roddaf ddwfr iddynt ar eu taith o Babilon trwy anialwch Arabia, os bydd raid, yr un modd ag y rhoddais ddwfr i'w tadau o'r graig yn Horeb, Exod. xvii. 6.

Adn. 18. *Agoraf afonydd ar leoedd uchel, a ffynnonau yn yr anialwch*] Ar leoedd uchel yn gyffredin y ceir ffynnonau, ac afonydd yn y dyffrynoedd; ond yma addawa yr Arglwydd weithredu yn groes i drefn naturiaeth, os byddai raid, er diwallu angenrheidiau ei bobl. *Gwnaf y diffaethwch yn llyn dwfr, &c.*—gellir deall hyn yn naturiol a llythyrenol; neu ynte yn ysbrydol am yr Iuddewon, y rhai oeddynt mewn cyflwr diffaeth, a'r rhai a ddyfrhäai yr Arglwydd â'i fendithion a'i ras; neu ynte am ddychweliad y Cenhedloedd at freintiau eglwysig dan yr efengyl: gwel ar pen. xxx. 25, a xxxv. 6, 7.

Adn. 19. *Gosodaf yn yr anialwch y cedrwŷdd, &c.*] Prenau defnyddiol, peraroglaidd, a thêg yr olwg, y rhai a fyddent yn gysgod i'r Iuddewon ar eu taith i Ganaan. Cawn yn yr Apocrypha hanes gyffelyb am ddychweliad yr Iuddewon o Babilon: gwel *Baruch* v. 6—8. Ond tybia rhai mai *duwiolion* a feddylir wrth y prenau hyn, wedi eu planu mewn gwledydd ag oeddynt o'r blaen yn anialwch a diffaethwch moesol.

Adn. 20. *Fel y gwelont, &c.*] Fel y gwelai ac y deallai pawb, *mai llaw yr Arglwydd a wnaeth hyn*—sef rhoi pryf i ddyrnu mynyddoedd, agor afonydd ar leoedd uchel, a gosod coed yn yr anialwch, adn. 14—19; *a Sant Israel a'i creodd*—canys nid llai peth na *chreu* oedd y gwaith uchod, yn enwedig yn yr ystyr ysbrydol o hono.

Adn. 21. *Deuwch yn nes â'ch cwyn*] Y mae Jehofa yma yn adnewyddu ei hèr i'r eilunaddolwyr, gan eu gwahodd yn mlaen i ddadlu achos eu heilunod; *dygwch eich rhesymau cadarnaf*—i brofi eu dwyfoldeb hwy. Yn y rhan gyntaf o'r bennod danghosai Jehofa ei hawliau i ddynion ymddiried ynddo ef, oddiwrth y ffaith ei fod wedi cyfodi Cyrus, neu yn myned i'w gyfodi; fod yr eilunod yn waith dwylaw dynion; ac y byddai iddo ef waredu ac amddiffyn ei bobl ei hun: ac yn yr adnodau hyn efe a arddelwa ei hawliau oddiwrth y ffaith mai efe yn unig a allai *ragfynegu* pethau i ddyfod. Ond trwy nad yw y gair *rhesymau* yn y wreiddiol, y mae rhai yn darllen y frawddeg ddiweddaf, 'Dygwch eich *duwiau* cadarnaf,' i ddadlu drostynt eu hunain, ac i ymgystadlu â Duw.

ant i ni y pethau a ddygwyddant:
mynegwch y pethau gynt beth *yd-*
*ynt,* fel yr ystyriom, ac y gwypom
eu diwedd hwynt; neu traethwch i
ni y pethau a ddaw.
23 Mynegwch y pethau a ddaw
ar ol *hyn,* fel y gwypom mai duwiau
*ydych* chwi; gwnewch hefyd dda
neu ddrwg, fel y syno arnom, ac y
gwelom yn nghyd.
24 Wele, peth heb ddim *ydych*
chwi, a'ch gwaith sydd ddiddym:
ffiaidd *yw y gŵr* a'ch dewiso chwi.
25 Cyfodais *un* o'r gogledd, ac
efe a ddaw: o gyfodiad haul y geilw
efe ar fy enw; ac efe a ddaw ar dy-
wysogion fel *ar* glai, ac fel y sathr
crochenydd bridd.
26 Pwy a fynegodd o'r dechread,
fel y gwybyddom? ac yn mlaenllaw,
fel y dywedom, Cyfiawn *yw?* nid
*oes* a fynega, nid *oes* a draetha
chwaith, ac nid *oes* a glyw eich ym-
adroddion.
27 Y cyntaf *a ddywed* wrth Seion,
Wele, wele hwynt; rhoddaf hefyd
efengylwr i Jerusalem.
28 Canys edrychais, ac nid *oedd*
neb, ïe, yn eu plith, ac nid *oedd*
gynghorwr, pan ofynais iddynt, a
fedrai ateb gair.
29 Wele, hwynt oll *ydynt* wag-
edd; a'u gweithredoedd yn ddi-
ddym: gwynt a gwagedd *yw* eu
tawdd-ddelwau.

---

Adn. 22. *Dygant hwynt allan*] Dyged yr eilunaddolwyr eu duwiau allan, neu dyged y duwiau eu rhesymau yn mlaen; *a mynegant i ni y pethau a ddygwyddant*—yn yr amser dyfodol. *Mynegwch y pethau gynt beth ydynt*—adroddwch ryw hen bethau a ragfynegasoch gynt, y rhai a ddaethant i ben yn ol eich rhagfynegiad; *fel yr ystyriom ac y gwypom eu diwedd hwynt*—sef y cyflawniad o honynt: *neu traethwch i ni y pethau a ddaw*—ar ol hyn.

Adn. 23. *Fel y gwypom mai duwiau ydych chwi*] Eich bod yn haeddu cael eich cydnabod a'ch addoli fel duwiau. *Gwnewch hefyd dda neu ddrwg*—gwnewch rywbeth, mewn ffordd o amddiffyniad i'ch cyfeillion, neu ddial ar eich gelynion; *fel y syno arnom*—wrth ystyried yr hyn a all eilunod ei wneuthur; *ac y gwelom yn nghyd*—myfi a'm pobl, fod genych nerth yn gystal a gwybodaeth.

Adn. 24. *Wele, peth heb ddim ydych chwi*] Neu 'waeth na dim,' fel y mae ar ymyl y ddalen; *a'ch gwaith sydd ddiddym*—ni feddwch ddeall na nerth i weithredu: *ffiaidd yw y gŵr a'ch dewiso chwi*—i roddi ei ymddiried ynoch. Hyn a ddywedir ar ol i'r duwiau fethu ateb na gweithredu yn ol yr alwad a roddwyd iddynt yn yr adnodau uchod.

Adn. 25. *Cyfodais un o'r gogledd*] Sef Cyrus, yr hwn oedd wedi ei gyfodi eisioes yn mwriad Duw, ac a gyfodid yn weithredol yn yr amser priodol; *ac efe a ddaw*—yn wirioneddol yn ol fy rhagfynegiad i am dano. Gan fod y ddadl hon yn sylfaenedig ar allu i *ragfynegu* pethau i ddyfod, adn. 21, y mae Jehofa yma yn hòni ei Dduwdod ei hun trwy ragfynegu yr hyn a ddygwyddai yn ol llaw. Yn adn. 2, dywedir i Cyrus gael ei godi o'r *dwyrain;* ac yma, o'r *gogledd.* Y mae y ddau ddywediad yn wirionedd. Ganed Cyrus yn *Persia*, yr hon a elwir yn yr ysgrythyr 'y dwyrain;' ond efe a ymadawodd oddiyno yn fore, ac a ddaeth i *Media*, o du y 'gogledd' i Babilon, at ei ewythr Cyaxeres, dan gyfarwyddid yr hwn yr aeth efe i ddarostwng Babilon. *O gyfodiad haul y geilw efe ar fy enw*—neu 'y *cyhoedda* efe fy enw,' fel y gellir ei gyfieithu, yr hyn a wnaeth Cyrus yn y modd amlycaf; canys efe a ddywed, Ezra i. 2, 'Arglwydd Dduw y nefoedd a roddes i mi holl deyrnasoedd y ddaear:' gwel y sylwadau yno. *Ac efe a ddaw ar dywysogion fel ar glai*—gan eu sathru dan ei draed mor hawdd ag y sathr crochenydd bridd neu glai.

Adn. 26. *Pwy a fynegodd o'r dechread*] Pa un o'ch eilunod chwi, er dechread y byd, a fedrodd ragfynegu pethau fel hyn; *fel y gwybyddom*—ei fod yn dduw? *Ac yn mlaenllaw*—hyny yw, pa un o honynt a allodd fynegu unrhyw beth yn mlaenllaw; *fel y dywedom, Cyfiawn yw*—yn ei honiadau, neu y mae ganddo hawl gyfiawn i gael ei ystyried yn dduw? *Nid oes a fynega*—nid oes un o'ch eilunod chwi a all draethu pethau fel hyn yn mlaenllaw; *ac nid oes a glyw eich ymadroddion*—pe gwaeddech arnynt, neu pe ceisiech ganddynt ragfynegu rhywbeth.

Adn. 27. *Y cyntaf a ddywed wrth Seion*] Sef Jehofa, yr hwn a'i geilw ei hun Y CYNTAF, adn. 4; neu gall mai y meddwl yw, mai Jehofa oedd y cyntaf, neu yr unig un o'r pleidiau yn y ddadl hon, a allodd ragfynegu pethau i ddyfod. *Wele, wele hwynt*—ar ddyfod, sef y pethau a ragfynegwyd gan Jehofa, megys cyfodiad Cyrus, a gwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon trwyddo ef. *Rhoddaf hefyd efengylwr i Jerusalem*—i gyhoeddi yn mlaenllaw y newyddion da am ei hadferiad hi: gwel ar pen. xl. 9.

Adn. 28. *Canys edrychais*] Edrychodd Duw a oedd neb o eilunod y cenhedloedd, neu o'r proffwydi a'r offeiriaid yn eu plith hwy, a allai ragfynegu pethau i ddyfod, fel y medrai efe; *ac nid oedd neb*—a allai wneyd hyny, nac a ddeuai yn mlaen i geisio ei wneuthur: *ac nid oedd gynghorwr*—a fedrai ateb gair dros yr eilunod, na thros y priodoldeb o'u haddoli hwynt.

Adn. 29. *Wele, hwynt oll ydynt wagedd*] Sef yr holl eilunod uchod a'u haddolwyr; *a'u gweithredoedd yn ddiddym*—ni allant weithredu dim o blaid eu cyfeillion, nac yn erbyn

## PENNOD XLII.

WELE fy ngwas, yr hwn yr yd-
wyf yn ei gynal; fy etholedig,
*i'r hwn* y mae fy enaid yn foddlon:
rhoddais fy Ysbryd arno; efe a
ddwg allan farn i'r cenhedloedd.
2 Ni waedda, ac ni ddyrchafa, ac
ni phair glywed ei lef yn yr heol.
3 Ni ddryllia gorsen ysig, ac ni
ddiffydd lin yn mygu: efe a ddwg
allan farn at wirionedd.
4 Ni phalla efe, ac ni ddigalona,
hyd oni osodo farn ar y ddaear; yr
ynysoedd hefyd a ddysgwyliant am
ei gyfraith ef.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, creawdydd y nefoedd a'i
hestynydd; lledydd y ddaear a'i
chnwd; rhoddydd anadl i'r bobl
arni, ac ysbryd i'r rhai a rodiant
ynddi:
6 Myfi yr Arglwydd a'th elwais
mewn cyfiawnder, ac ymaflaf yn dy
law, cadwaf di hefyd, a rhoddaf di
yn gyfammod pobl, ac yn oleuni
Cenhedloedd.

---

eu gelynion, na rhagfynegu pa beth a ddeuai ar ol: *gwynt a gwagedd yw eu tawdd-ddelwau*—hyd yn nod y rhai a wnaed o'r defnyddiau gwerthfawrocaf, megys arian neu aur. Dyma y casgliad naturiol a dynid oddiwrth y prawf uchod; ac yr oedd yn sicrhau ar unwaith oferedd yr eilunod oll, a theilyngdod Jehofa o gael ei addoli, ac ymddiried ynddo gan bawb.

PEN. XLII. Adn. 1. *Wele fy ngwas*] Cafodd hwn ei ddeall gan rai am Esay, a chan ereill am Cyrus, y corff o broffwydi, neu yr Iuddewon fel cenedl. Ond y mae yn amlwg oddiwrth rediad y bennod, ac oddiwrth dystiolaeth yr Efengylwr Matthew, mai y MESSIA, yn ei weddnod cyfryngol, a olygir yma; ac nis gellir gydag unrhyw gyfiawnder na phriodoldeb, fel y sylwa *Lowth*, ei gymhwyso at neb arall. Felly, ar ol darlunio yn y bennod flaenorol y waredigaeth a gai yr Iuddewon o Babilon trwy Cyrus, darlunir yma y waredigaeth a gai yr Iuddewon a'r Cenhedloedd oddiwrth bechod trwy Grist. Y mae yr alleirydd Caldeaidd yn ei ddarllen, 'Wele fy ngwas *Messia;*' ac y mae amrai o'r Iuddewon dysgedicaf yn ei ddeall yr un modd; gan dystio am eu brodyr, y rhai a roddant ystyr arall iddo, eu bod wedi eu taro â dallineb yn yr achos hwn. *Yr hwn yr ydwyf yn ei gynal*—neu yn ei alluogi i wneyd a dyoddef yr holl bethau a berthynant iddo yn ei swydd gyfryngol. *Fy etholedig*—yr hwn a etholais i fod yn Waredwr i bechaduriaid; *i'r hwn y mae fy enaid yn foddlon*—felly y tystiodd y Tad am ei 'anwyl Fab' hwn amrai weithiau: gwel ar Mat. iii. 17, xii. 18, a xvii. 5, 2 Pedr i. 17. *Rhoddais fy Ysbryd arno*—nid 'wrth fesur,' ond yn ddifesur, neu yn yr helaethrwydd mwyaf: gwel ar Ioan iii. 34, Heb. i. 9. *Efe a ddwg allan farn i'r cenhedloedd*—efe a ddatguddia fwriad a threfn Duw i'w hachub, neu a ddwg allan gorff o athrawiaethau pur yr efengyl i holl ddynolryw.

Adn. 2. *Ni waedda, ac ni ddyrchafa*] Ei lais, fel y gwna dynion cwerylus, hunanol, neu ymffrostgar; *ac ni phair glywed ei lef yn yr heol*—nac mewn un man arall lle y byddo yn gwneuthur ei wyrthiau rhyfeddol. Y mae yr Efengylwr yn cymhwyso hyn oll at Grist: gwel ar Mat. xii. 17—21.

Adn. 3. *Ni ddryllia gorsen ysig, ac ni ddiffydd lin yn mygu*] Nid ymddyga efe yn llym neu erwin at y rhai gweiniaid a briwedig o ysbryd a ddeuant ato am iachawdwriaeth: gwel ar Mat. xii. 20. *Efe a ddwg allan farn at wirionedd*—efe a sefydla ei *grefydd* yn ol gwirionedd. Y mae Matthew yn ei ddarllen, 'Hyd oni ddygo efe allan farn i *fuddugoliaeth;*' gan osod allan synwyr y wreiddiol, ond nid ei geiriau. Y meddwl yw, 'hyd oni wnelo efe achos cyfiawnder a gwirionedd yn fuddugoliaethus ar bob gwrthwynebiad.'

Adn. 4. *Ni phalla efe, ac ni ddigalona*] Er amled ei elynion, neu er mor fawrion ei ddyoddefiadau; *hyd oni osodo farn ar y ddaear*—hyd oni sicrhao efe lwyddiant crefydd bur yr efengyl yn y byd. *Yr ynysoedd hefyd*—sef parthau paganaidd y ddaear, *a ddysgwyliant am ei gyfraith ef*—am 'berffaith gyfraith rhyddid,' sef athrawiaeth bur yr efengyl, neu yr iachawdwriaeth ag sydd trwy Grist. Pregethwyd hon i lawer o honynt gan yr apostolion, a gwneir hyny cyn hir i bawb gan genadon hedd.

Adn. 5. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Ar ol i Dduw fod yn llefaru *am* Grist yn yr adnodau blaenorol, y mae efe yn troi i lefaru *wrtho* ef, fel y gwelwn yn y ddwy adnod nesaf. *Creawdydd y nefoedd a'i hestynydd*—estynydd y nef wybrenol fel pabell o amgylch y ddaear. *Lledydd y ddaear a'i chnwd*—yr hwn a wnaeth y ddaear eang, a phob peth a dyf arni. *Rhoddydd anadl i'r bobl arni*—sef bywyd naturiol; *ac ysbryd i'r rhai a rodiant ynddi*—sef enaid rhesymol, yn gystal a bywyd corfforol. Y mae y darluniad hwn o allu a mawredd Jehofa yn cael ei ddwyn yn mlaen yn briodol yma, i roddi sicrwydd i ddynion o'r hyn a addewir gyda golwg ar Grist.

Adn. 6. *Myfi yr Arglwydd a'th elwais mewn cyfiawnder*] 'I ddyben cyfiawn.'—*Lowth.* Yr oedd Crist yn gyfiawn, yr hwn a alwyd; ac yr oedd Jehofa yn gyfiawn, yr hwn a'i galwodd; ac nis gallai ef ei ddangos ei hun yn gyfiawn wrth faddeu pechod, heb anfon ei Fab i fod yn iawn drosto. *Ac ymaflaf yn dy law*—i'th arwain ac i'th gynorthwyo yn dy waith pwysig. *Cadwaf di hefyd*—heb gael dy faeddu gan dy elynion hyd nes y delo yr awr i ti ddyoddef a marw. *A rhoddaf di yn*

7 I agoryd llygaid y deillion, i
ddwyn allan y carcharor o'r carchar,
*a*'r rhai a eisteddant *mewn* tywyll-
wch o'r carchardy.
8 Myfi *yw* yr Arglwydd; dyma
fy enw: a'm gogoniant ni roddaf i
arall, na'm mawl i ddelwau cerf-
iedig.
9 Wele y pethau o'r blaen a
ddaethant i ben, a mynegu yr yd-
wyf fi bethau newydd; traethaf *hwy*
i chwi cyn eu tarddu allan.
10 Cenwch i'r Arglwydd gân
newydd, *a*'i fawl ef o eithaf y ddae-
ar; y rhai a ddisgynwch i'r môr,
ac sydd ynddo; yr ynysoedd a'u
trigolion.
11 Y diffaethwch a'i ddinasoedd,
dyrchafant *eu llef*, y maes-drefi a
breswylia Cedar; caned preswyl-
wyr y graig, bloeddiant o ben y
mynyddoedd.
12 Rhoddant ogoniant i'r Ar-
glwydd, a mynegant ei fawl yn yr
ynysoedd.
13 Yr Arglwydd a â allan fel
cawr, fel rhyfelwr y cyffry eiddig-
edd; efe a waedda, ïe, efe a rua; *ac*
a fydd trech na'i elynion.
14 Tewais er ys talm, dystewais,

---

*gyfammod pobl*—neu yn gyfryngwr y cyfammod newydd rhyngof fi a dynolryw. Ond tybia rhai mai pobl Israel a feddylir yma. *Ac yn oleuni Cenhedloedd*—nid yn unig i oleuo pobl Israel, fel dan yr oruchwyliaeth Foesenaidd, ond i oleuo y Cenhedloedd hefyd â goleuni ysbrydol yr efengyl.

Adn. 7. *I agoryd llygaid y deillion*] Cyfeirir yma at ddeillion ysbrydol yn unig, er iddo wneyd hyny â deillion naturiol hefyd: gwel ar pen. xxxv. 5. *I ddwyn allan y carcharor o'r carchar*—sef carcharorion pechod a Satan, y rhai a ddelir yn gaeth gan eu nwydau llygredig eu hunain, ac yn magl diafol, a than ddedfryd colledigaeth. *A'r rhai a eisteddant mewn tywyllwch*—yn dawel a digyffro, *o'r carchardy*—cyfeirir yma at garcharau tywyllion dan y ddaear, i osod allan y cyflwr dychrynllyd o'r hwn y rhyddheir dynion mewn ystyr ysbrydol gan Grist.

Adn. 8. *Myfi yw yr Arglwydd*] Hebr., 'JEHOFA,' yr enw o bedair llythyren, Y H U H, yr hwn nid yw yr Iuddewon byth yn ei enwi, a'r hwn y mae yr iawn gynaniad o hono yn hollol anadnabyddus: gwel ar Exod. xxxiv. 6. *Dyma fy enw*—yr hwn a ddewisais i'm gwahaniaethu oddiwrth bob eilun, ac i osod allan fy modaeth a'm perffeithderau, Salm lxxxiii. 18. *A'm gogoniant ni roddaf i arall*—i neb a'r nad yw yn Fôd tragwyddol, annibynol, hollalluog, ac annghyfnewidiol. Ond gan fod pawb i 'anrhydeddu y Mab, fel y maent yn anrhydeddu y Tad,' Ioan v. 23, rhaid fod y Mab yn JEHOFA fel y Tad, ac yn un â'r Tad mewn bodaeth a dwyfoldeb. *Na'm mawl i ddelwau cerfiedig*—sef y moliant, yr anrhydedd, a'r addoliad ag sydd ddyledus i JEHOFA yn unig oddiwrth ei holl greaduriaid, a'r hwn y methodd yr eilunod ei arddelwi yn y prawf a wnaed arnynt yn y bennod flaenorol: gwel yno ar adn. 1, 21, 29.

Adn. 9. *Wele y pethau o'r blaen a ddaethant i ben*] Sef y pethau a ragfynegasai Duw am Abraham a'i had, neu a addawsai efe iddynt yn mlaenllaw. Efe a apelia at y cyflawniad o hyn i brofi ei Dduwdod. *A mynegu yr ydwyf fi bethau newydd*—ag sydd i gymeryd lle ar ol hyn yn nyddiau yr efengyl. *Traethaf hwy i chwi cyn eu tarddu allan*—fel, pan ddelont i ben, y gwybyddoch mai myfi yn unig wyf Dduw. Neu, efe a'u traethai pryd nad oedd dim argoel o'u tarddiad, mwy nag sydd o darddiad had cyn ei egino yn y ddaear, fel y credent hwy ei eiriau ef, ac y dysgwylient mewn ffydd ac amynedd am gyflawniad o honynt.

Adn. 10. *Cenwch i'r Arglwydd gân newydd*] Am y pethau newydd ag y cyfeiriwyd atynt yn yr adnod flaenorol, sef iachawdwriaeth y byd trwy Grist; *a'i fawl ef o eithaf y ddaear*—ymuned holl drigolion y ddaear i'w foliannu ef a chanu iddo, am fod bendithion yr efengyl yn perthyn i bawb. *Y rhai a ddisgynwch i'r môr*—neu a fwriedwch ddisgyn; *ac sydd ynddo*—eisioes, sef morwyr, ymfudwyr, a marsiandwyr: *yr ynysoedd a'u trigolion*—sef trigolion yr holl ynysoedd, yn gystal a glanau y môr.

Adn. 11. *Y diffaethwch a'i ddinasoedd*] Sef dinasyddion barbaraidd Anialwch Arabia; *dyrchafant eu llef*—mewn moliant i Dduw. *Y maes-drefi a breswylia Cedar*—Cedar oedd fab Ismael, Gen. xxv. 13, tad y Kedareniaid (neu Cedrei) a grybwyllir gan *Pliny*, y rhai a breswylient yn nghymydogaeth y Nabatheaid yn Anialwch Arabia; ac y mae yr enw *Cedar* yn cael ei roddi yn fynych i Anialwch Arabia, ac weithiau i Arabia oll. *Caned preswylwyr y graig*—sef preswylwyr Arabia Garegog: *bloeddiant o ben y mynyddoedd*—mewn caniadau o foliant i Dduw am freintiau mawrion yr efengyl.

Adn. 12. *Rhoddant ogoniant i'r Arglwydd*] Trwy holl wlad Arabia; *a mynegant ei fawl yn yr ynysoedd*—yn nghanol y môr, yn gystal ag yn holl barthau ereill y byd.

Adn. 13. *Yr Arglwydd a â allan fel cawr*] Yn gryf a gwrol. Byddai llawer yn barod i wrthwynebu tröedigaeth y Cenhedloedd i dderbyn yr efengyl yn yr holl leoedd uchod; ond âi yr Arglwydd allan yn eu herbyn hwy fel cawr. *Fel rhyfelwr y cyffry eiddigedd*—sef ei eiddigedd a'i lidiogrwydd ei hun yn erbyn ei elynion. *Efe a waedda*—fel milwyr wrth ruthro i'r frwydr; *ïe, efe a rua*—fel llew uwchben ei ysglyfaeth; *ac a fydd trech na'i elynion*—er mor aml a chadarn fyddont.

Adn. 14. *Tewais er ys talm, &c.*] Gan

ymatteliais; llefaf fel gwraig yn
esgor, difwynaf, a dyfethaf ar un-
waith.
15 Mi a wnaf y mynyddoedd a'r
bryniau yn ddiffaethwch, a'u holl
wellt a wywaf; ac a wnaf yr afon-
ydd yn ynysoedd, a'r llynoedd a
sychaf.
16 Arweiniaf y deilliaid ar hyd
ffordd nid adnabuant; a gwnaf idd-
ynt gerdded ar hyd llwybrau nid
adnabuant; gwnaf dywyllwch yn
oleuni o'u blaen hwynt, a'r pethau
ceimion yn uniawn. Dyma y peth-
au a wnaf iddynt, ac nis gadawaf
hwynt.
17 ¶ Troir yn eu hol, *a* llwyr
waradwyddir y rhai a ymddiriedant
mewn delwau cerfiedig, y rhai a
ddywedant wrth y delwau tawdd,
Chwi *yw* ein duwiau ni.
18 O fyddariaid, gwrandewch;
a'r deillion, edrychwch i weled.
19 Pwy *sydd* ddall ond fy ngwas
i? neu fyddar fel fy nghenad a an-
fonais? pwy mor ddall a'r perffaith,
a dall fel gwas yr Arglwydd?
20 *Er* gweled llawer, eto nid ys-
tyri; *er* agoryd clustiau, eto ni
wrendy.
21 Yr Arglwydd sydd foddlon er
mwyn ei gyfiawnder, efe a fawrha
y gyfraith, ac a'*i* gwna yn anrhyd-
eddus.

---

oddef i'r holl genhedloedd fyned yn mlaen yn eu ffyrdd eu hunain. Ond yn awr, *llefaf fel gwraig yn esgor*—yn rymus ac angherddol; *difwynaf a dyfethaf ar unwaith*—fy holl elynion cyndyn ac anmhlygadwy. Cyflawnwyd hyn eisioes yn ninystr Rhufain Baganaidd, a chyflawnir ef eto yn ninystr Rhufain Babaidd, a holl wrthwynebwyr yr efengyl bur.

Adn. 15. *Mi a wnaf y mynyddoedd a'r bryniau yn ddiffaethwch*] Arferid yn y wlad hòno blanu gerddi a gwinllanoedd ar lethrau y mynyddoedd a'r bryniau, lle y byddai ffynnonau neu ffrydiau; *a'u holl wellt a wywaf*—sef eu hŷd, eu porfeydd, a'u ffrwythau, ar y rhai yr ymddibynent am gynaliaeth iddynt hwy a'u hanifeiliaid: *ac a wnaf yr afonydd yn ynysoedd*—neu dir sych; *a'r llynoedd a sychaf*—fel na byddo dwfr iddynt hwy na'u hanifeiliaid. Ond y mae rhai yn deall y geiriau hyn yn gyffelybiaethol, am deyrnasoedd a thaleithiau gelyniaethol i'w achos a'i bobl ef.

Adn. 16. *Arweiniaf y deilliaid*] Sef rhai mewn angen am gael eu harwain, fel pe byddent ddeillion. Ar ol dangos pa beth a wnai efe i'w elynion, y mae Duw yma yn dangos pa beth a wnai efe i'w bobl ei hun. *Ar hyd ffordd nid adnabuant*—sef ffordd gwirionedd a chrefydd bur, yr hon oedd hyd yma yn ddyeithr iddynt. Y mae rhai yn deall hyn am arweiniad y gaethglud o Babilon, ar hyd ffordd ddyeithr; ac ereill, am arweiniad y Cenhedloedd anwybodus a dall ysbrydol i eglwys Crist; ac ereill, am arweiniad y saint ar eu taith grefyddol trwy y byd. *A gwnaf iddynt gerdded ar hyd llwybrau nid adnabuant*—ond odid llwybrau rhinwedd, cyfiawnder, a santeiddrwydd, y rhai na phenodwyd ganddynt iddynt eu hunain. *Gwnaf dywyllwch yn oleuni o'u blaen hwynt*—trwy roddi fy ngair a'm Hysbryd i'w goleuo; *a'r pethau ceimion yn uniawn*—sef eu ffyrdd ceimion, y rhai a wnaf yn wastadedd: gwel ar pen. xl. 4. *Dyma y pethau a wnaf iddynt*—yn fy nhrugaredd a'm gras; *ac nis gadawaf hwynt*—nes eu dwyn i ben.

Adn. 17. *Troir yn eu hol, a llwyr waradwyddir*] Fel milwyr yn gorfod troi yn ol mewn siomedigaeth a gwarth o flaen eu gelynion; *y rhai a ymddiriedant mewn delwau cerfiedig*—sef y rhai a barhant i gyndyn ymddiried ynddynt er holl alwadau yr efengyl ar eu hol: *y rhai a ddywedant wrth y delwau tawdd*—hyd yn nod tra y byddo eu cymydogion yn cefnu arnynt, *Chwi yw ein duwiau ni*—yn y rhai y parhawn i ymddiried.

Adn. 18. *O fyddariaid, gwrandewch*] Ar wahoddiadau yr efengyl; *a'r deillion*—yn mhlith yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, *edrychwch i weled*—edrychwch ar wyrthiau Crist, fel profion mai efe yw y Messia.

Adn. 19. *Pwy sydd ddall ond fy ngwas i?*] Neu, pwy sydd mor ddall ag Israel fy ngwas i, er eu holl fanteision? *neu fyddar fel fy nghenad a anfonais*—fel Israel, y rhai a anfonwyd gan Dduw i gynal a lledaenu y wir grefydd yn y byd? Ond tybia rhai mai yr offeiriaid a'r athrawon Iuddewig a feddylir, y rhai a anfonwyd gan Dduw fel ei genadon ef at yr Iuddewon. Y mae *Lowth*, yn nghyda'r *Vulgate*, yn ei ddarllen, 'A byddar, fel yr hwn yr anfonais fy nghenadau ato?' *Pwy mor ddall a'r perffaith*—sef y rhai a broffesant eu bod yn berffaith, neu a feddant bob mantais i fod yn berffaith, neu y rhai a 'berffaith addysgwyd?' *a dall fel gwas yr Arglwydd*—sef Israel yn gyffredinol, neu ynte eu hathrawon hwynt fel y nodwyd, y rhai a alwyd i fod yn weision neu genadon iddo ef?

Adn. 20. *Er gweled llawer*] O weithredoedd rhyfeddol Duw ar eu rhan o dro i dro; *eto nid ystyri*—hwynt yn briodol: *er agoryd clustiau*—er rhoddi iddynt gyfleusderau i wrando ar weinidogaeth y ddeddf a'r efengyl; *eto ni wrendy*—fel ag i ymlesâu trwy y weinidogaeth hòno. 'Y gair a glybuwyd ni bu fuddiol iddynt hwy, am nad oedd wedi ei gyddymheru â ffydd yn y rhai a'i clywsant,' Heb. iv. 2.

Adn. 21. *Yr Arglwydd sydd foddlon*] I'w bobl Israel, neu i wneyd y daioni a fwriadodd ac a addawodd iddynt, er mor ddall a byddar ydynt; *er mwyn ei gyfiawnder*—nid eu cyfiawnder *hwy*, ond ei gyfiawnder *ei hun;* sef er mwyn ei addewid, ei wirionedd, a'i ffydd-

22 Eto dyma bobl a yspeiliwyd
ac a anrheithiwyd: hwy a faglwyd
oll mewn tyllau, mewn carchardai
hefyd y cuddiwyd hwynt: y maent
yn yspail, ac heb waredydd; yn
anrhaith, ac heb a ddywedai, Dyro
yn ei ol.
23 Pwy o honoch a wrendy hyn?
*pwy* a ystyr, ac a glyw erbyn yr
amser a ddaw?
24 Pwy a roddes Jacob yn an-
rhaith, ac Israel i'r yspeilwyr? onid
yr Arglwydd, yr hwn y pechasom
i'w erbyn? canys ni fynent rodio yn
ei ffyrdd, ac nid ufyddhäent i'w
gyfraith.
25 Am hyny y tywalltodd efe arno
lidiogrwydd ei ddigter, a chryfder
rhyfel: efe a'i henynodd oddiam-
gylch, ond ni wybu efe; llosgodd
ef hefyd, ond nid ystyriodd.

## PENNOD XLIII.

OND yr awr hon fel hyn y dywed
yr Arglwydd dy Greawdwr di
Jacob, a'th Luniwr di Israel, Nac
ofna; canys gwaredais di: gelwais
*di* erbyn dy enw; eiddof fi *ydwyt.*

---

londeb: hyny yw, y mae efe yn foddlon i roddi iddynt yr hyn oll a addawsai efe i'w tadau. *Efe a fawrha y gyfraith*—efe a ymddyga tuag atynt hwy yn y fath fodd ag a ddanghosa i bawb ei fod yn parchu ei gyfraith, a'r rhwymedigaeth a osodwyd arno ef trwy y gyfraith neu y cyfammod hwnw; *ac a'i gwna yn anrhydeddus*—trwy gyflawni yr hyn oll a addawsai efe i'w tadau. Y mae *Vitringa*, *Waterland*, ac amrai ereill, yn cyfieithu yr adnod fel hyn: 'Yr Arglwydd a ymhyfrydodd ynddo ef er mwyn ei gyfiawnder: efe a'i mawrhaodd ef trwy ei gyfraith, ac a'i gwnaeth yn anrhydeddus.' Darparodd Duw yn helaeth i'w bobl bob peth ag ydoedd yn angenrheidiol neu yn fuddiol er eu diogelwch, eu hiachawdwriaeth, a'u hanrhydedd yn mhlith eu cymydogion: gwel *Dodd*, *Benson*, *&c.* Ond yn lle *torah*, 'y gyfraith,' y mae y LXX yn darllen *todah*, 'moliant;' a *Lowth* a'i cyfieitha, 'Efe a fawrhaodd ei *foliant* ei hun, ac a'i gwnaeth yn ogoneddus.' Ymddengys nad oes gan y geiriau hyn, fel y sylwa *Barnes*, ddim cyfeiriad neillduol at y Messia. Modd bynag, gellir eu defnyddio yn briodol i osod allan waith y CYFRYNGWR; canys un o amcanion mawrion ei weinidogaeth ef, a'r iawn a dalodd, oedd 'mawrhau y gyfraith, a'i gwneyd yn anrhydeddus,' trwy osod allan ei huniondeb a'i santeiddrwydd, amddiffyn ei hawliau, a dangos cyfiawnder ei bygythion a'i chosp.

Adn. 22. *Eto dyma y bobl a yspeiliwyd ac a anrheithiwyd*] Gan eu gelynion. Fel pe dywedasai, Er maint y parch ag ydoedd gan Dduw i'r bobl hyn, eto y mae yn amlwg iddo ef eu fflangellu hwy yn dost am eu pechodau. Ymddengys fod y geiriau hyn yn rhagolygu caethgludiad yr Iuddewon i Babilon, neu fel yn cael eu llefaru tra yr oeddynt hwy yn eu halltudiaeth yno. *Hwy a faglwyd oll mewn tyllau, &c.*—cyfeirir yma naill ai at y manau lle yr oedd rhai o honynt yn ymguddio cyn eu cymeryd yn garcharorion, neu ynte at y pydewau a'r carcharau lle y dodwyd hwynt yn Babilon. *Y maent yn yspail*—i'w gelynion; *ac heb waredydd*—heb un cyfaill a geisia eu gwaredu hwynt o'u dwylaw hwy: *yn anrhaith*—i'r Caldeaid; *ac heb a ddywedai*—wrth yr anrheithwyr hyny, *Dyro yn ei ol*—y meddwl yw, nad oedd neb yn tosturio wrthynt, nac yn ceisio eu rhyddhau.

Adn. 23. *Pwy o honoch a wrendy hyn*] A wrendy yn ddigyffro ar y rhagfynegiad dychrynllyd hwn o'r hyn a'ch cyferfydd? *Pwy a ystyr, ac a glyw erbyn yr amser a ddaw*—fel ag i ymostwng gerbron Duw mewn gwir edifeirwch cyn i'r drygfyd hwn eich goddiweddyd?

Adn. 24. *Pwy a roddes Jacob yn anrhaith, ac Israel i'r yspeilwyr?*] Hyny yw, pwy a'u rhoddasai hwynt lawer gwaith o'r blaen? neu pwy a'u rhoddai hwynt ar ol hyn, pan gyflawnent fesur eu hanwiredd? *Onid yr Arglwydd, yr hwn y pechasom i'w erbyn?*—fel pe dywedasai, Na thybiwch, trwy eich bod yn bobl a freintiwyd mor uchel gan Dduw, y bydd i chwi ddianc rhag cosp am eich pechodau; canys gan iddo eich cospi yn fynych yn yr amser a aeth heibio, gallwch fod yn sicr, os bydd i chwi barhau i bechu yn ei erbyn ef, y cospa efe chwi eto yn yr amser a ddaw. *Canys ni fynent rodio yn ei ffyrdd*—fel y dengys eu holl hanes; *ac nid ufyddhäent i'w gyfraith*—ac am hyny efe a'u rhoddodd hwynt yn fynych yn llaw eu gelynion, fel y gwelwn yn llyfr y Barnwyr.

Adn. 25. *Am hyny y tywalltodd efe arno*] Y tywalltodd Duw ar ei bobl ei hun; *lidiogrwydd ei ddigter, a chryfder rhyfel*—fel y cawn hanes yn amser Nebuchodonosor gynt, ac wedi hyny yn amser y Rhufeiniaid. *Efe a'i henynodd oddiamgylch*—Duw oedd yn enyn tân ei lidiogrwydd y pryd hyny; *ond ni wybu efe*—ni wyddai yr Iuddewon mai barn gyfiawn Duw oedd hyny: *llosgodd ef hefyd*—llosgodd Duw, trwy offerynoliaeth eu gelynion, eu dinas a'u teml, a llawer o honynt hwythau hefyd; *ond nid ystyriodd*—y rhan fwyaf o'r Iuddewon mai barn Duw am eu pechodau hwy oedd hyny. Ac nid ydynt chwaith yn ystyried hyd heddyw, mai am wrthod Crist a'i efengyl y maent yn aros yn eu cyflwr gresynus presenol.

PEN. XLIII. Adn. 1. *Ond yr awr hon fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Fel pe dywedasai, Er maint dy anystyriaeth dan dy gerydd{d}on blaenorol, am yr hyn y gallwn yn gyfiawn dy ddyfetha, neu er trymed y dialedd ag y soniwyd am dano yn y bennod flaenorol, er hyny mi a ymddygaf yn drugarog a thosturiol tuag atat. *Dy Greawdwr di Jacob,*

2 Pan elych trwy y dyfroedd, myfi *a fyddaf* gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot: pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir; ac ni enyn y fflam arnat.
3 Canys myfi *yw* yr Arglwydd dy Dduw, Sant Israel dy Waredydd: myfi a roddais yr Aifft yn iawn trosot, Ethiopia a Seba am danat.
4 Er pan aethost yn werthfawr yn fy ngolwg, y'th ogoneddwyd, a mi a'th hoffais; am hyny y rhoddaf ddynion am danat ti, a phobloedd dros dy einioes di.
5 Nac ofna; canys yr *ydwyf* fi gyda thi: o'r dwyrain y dygaf dy had, ac o'r gorllewin y'th gasglaf.
6 Dywedaf wrth y gogledd, Dod; ac wrth y deau, Nac attal: dwg fy meibion o bell, a'm merched o eithaf y ddaear:
7 *Sef* pob un a elwir ar fy enw: canys i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwnaethym ef.
8 ¶ Dwg allan y bobl ddall sydd â llygaid iddynt, a'r byddariaid sydd â chlustiau iddynt.
9 Casgler yr holl genhedloedd yn

---

*a'th Luniwr di Israel*—yr hwn a'th wnaeth yn bobl iddo ei hun, a hyny mewn modd mor wyrthiol a phe buasai yn dy *greu* eilwaith o ddim. *Nac ofna*—hyn a ddywedir wrth had Jacob gyda golwg ar eu caethiwed yn Babilon; *canys gwaredais di*—gynt o law yr Aifftiaid, ac o ddwylaw amrai elynion ereill; ac am hyny gwaredaf di eto o law y Caldeaid. Y mae y gair a gyfieithir yma 'gwaredu,' yn arwyddo *prynu* trwy bris. *Gelwais di erbyn dy enw*—yr hyn a arwydda gyfeillgarwch mawr; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'Gelwais di *ar fy* enw.' *Eiddof fi ydwyt*—fel fy mhobl, y rhai a greais ac a brynais. Y mae hyn yn wir eto am 'eglwys Dduw, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed,' Act. xx. 28.

Adn. 2. *Pan elych trwy y dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi*] I'th gynal a'th gysuro yn dy gyfyngderau mwyaf. 'Myned trwy ddwfr a thân,' sydd ymadrodd diarebol yn arwyddo bod yn ddarostyngedig i bob math o beryglon. *A thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot*—i'th foddi, na'th ysgubo ymaith gan eu llifddyfroedd. *Pan rodiech trwy y tân*—o brofedigaethau a pheryglon; *ni'th losgir*—ni'th lwyr ddyfethir; *ac ni enyn y fflam arnat*—i'th niweidio, mwy na'r tri llanc yn y ffwrn dân. Y meddwl yw, er y byddai raid i'r Iuddewon fyned trwy lawer o ddyoddefiadau a phrofedigaethau mawrion yn Babilon, eto na oddefid i'w gelynion eu llwyr ddyfetha hwynt fel cenedl; ac yr oedd hyny yn gysgod o ddiogelwch eglwys Dduw yn mhob oes.

Adn. 3. *Canys myfi yw yr Arglwydd dy Dduw*] Sef dy Dduw cyfammodol; *Sant Israel dy Waredydd*—yr hwn a arferais dy waredu er pan wyt yn genedl neu eglwys. *Myfi a roddais yr Aifft yn iawn trosot*—dyma y pris ag y cyfeiriwyd ato yn adn. 1; *Ethiopia a Seba am danat*—hyny yw, rhoddais y gwledydd hyny i ddinystr, er mwyn dy arbed di. (1) Tybia rhai i hyn gael ei gyflawni pan laddwyd cyntafanedigion yr Aifft, ac y boddwyd Pharao a'i lu yn y môr coch, er diogelu Israel. (2) Tybia ereill mai rhoddi yr Aifft, Ethiopia, a Seba yn llaw Salmaneser neu Senacherib a feddylir, a hyny er mwyn arbed yr Iuddewon a'u gwlad. (3) Tra y tybia ereill mai rhoddi y gwledydd hyny yn llaw Cyrus a olygir, fel iawn iddo ef am ollwng yr Iuddewon o gaethiwed Babilon.

Adn. 4. *Er pan aethost yn werthfawr yn fy ngolwg*] Er pan ddewisais di i fod yn eglwys i mi ar y ddaear, i gadw i fyny fy addoliad, a choffadwriaeth o'm henw yn mysg dynion; *y'th ogoneddwyd*—â'r anrhydedd uwchaf a'r breintiau mwyaf; *a mi a'th hoffais*—i wneuthur i ti ddaioni: gwel ar Deut. vii. 7, 8. *Am hyny rhoddaf ddynion am danat ti*—os bydd raid; *a phobloedd dros dy einioes di*—rhoddaf hwynt i'r cleddyf yn dy le di, fel yn achos yr Aifft, &c., adn. 3.

Adn. 5. *Nac ofna, canys yr ydwyf fi gyda thi*] Gwel ar adn. 1, 2. *O'r dwyrain y dygaf dy had*—sef o holl leoedd eu gwasgariad; *ac o'r gorllewin y'th gasglaf*—ataf fy hun, neu i'r wlad a roddais i'th dadau. Y mae *Vitringa* yn deall hyn am had ysbrydol Abraham, neu am y credinwyr yn mhlith y Cenhedloedd, y rhai a wneid yn bobl i Dduw. Ond y deongliad mwyaf naturiol, ebai *Barnes*, yw ei gyfeirio at yr Iuddewon gwasgaredig yn ystod caethiwed Babilon, y rhai yr addewir yma eu hadgynull drachefn i'w gwlad eu hunain: ond gwel ar adn. 7. Y mae yn dra hysbys i lawer o'r Iuddewon ffoi yma a thraw, pryd yr oedd y lleill yn cael eu cymeryd yn gaethion i Babilon.

Adn. 6. *Dywedaf wrth y gogledd, Dod*] Hyny yw, dod fy mhobl i yn ol, fel yr elont i'w gwlad; *ac wrth y deau, Nac attal*—nac attal hwynt rhag dychwelyd adref. *Dwg fy meibion o bell, a'm merched o eithaf y ddaear*—o ba le bynag y maent ar wasgar. Nid yn unig *nac attal* hwynt, ond *dwg* hwynt, neu cynorthwya hwy i ddychwelyd.

Adn. 7. *Sef pob un a elwir ar fy enw*] Fel meibion a merched Duw. *Canys i'm gogoniant y creais ef, y lluniais ef, ac y gwnaethym ef*—sef i fynegu fy ngogoniant, neu i ddangos mawredd fy ngallu a'm gras; ac am hyny mi a ogoneddaf fy ngallu, fy naioni, a'm ffyddlondeb yn eu gwaredigaeth hwy. Er y gellir deall hyn yn llythyrenol am gasglu gwasgaredigion Israel, fel y nodwyd uchod; eto gellir ei ddeall yn ysbrydol am gasglu yr Iuddewon a'r Cenhedloedd i eglwys Crist.

Adn. 8. *Dwg allan y bobl ddall sydd â llygaid iddynt, &c.*] Sef yr eilunaddolwyr paganaidd, y rhai, fel y delwau a addolant, 'sydd â llygaid iddynt, ond ni welant; a

nghyd, a chynuller y bobloedd;
pwy yn eu mysg a fynega hyn, ac
a draetha i ni y pethau o'r blaen?
dygant eu tystion, fel y cyfiawn-
häer hwynt; neu wrandawant, a
dywedant, Gwir *yw*.
10 Fy nhystion i *ydych* chwi,
medd yr Arglwydd, a'm gwas yr
hwn a ddewisais; fel yr adnabydd-
och, ac y credoch fi, ac y dealloch
mai myfi *yw:* o'm blaen nid *oedd*
Duw wedi ei ffurfio, ac ni bydd ar
fy ol.
11 Myfi, myfi *yw* yr Arglwydd;
ac nid *oes* Geidwad ond myfi.
12 Myfi a fynegais, ac a achub-
ais, ac a ddanghosais, pryd nad *oedd*
*duw* dyeithr yn eich mysg: am
hyny chwi *ydych* fy nhystion (medd
yr Arglwydd) mai myfi *sydd* Dduw.
13 Ie, cyn *bod* dydd *yr ydwyf* fi;
ac nid *oes* a wared o'm llaw: gwnaf,
a phwy a'i lluddia?
14 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, eich gwaredydd chwi, Sant
Israel, Er eich mwyn chwi yr an-
fonais i Babilon, ac y tynais i lawr
eu holl benaduriaid, a'r Caldeaid,
*sydd* â'u bloedd mewn llongau.
15 Myfi yr Arglwydd *yw* eich
Sant chwi, Creawdydd Israel, eich
Brenin chwi.
16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
yr hwn a wna ffordd yn y môr,

---

chlustiau iddynt, ond ni chlywant,' Salm cxv. 5—8.

Adn. 9. *Casgler yr holl genhedloedd yn nghyd, a chynull y bobloedd*] I ddadlu achos eu heilunod gyda mi, pen. xli. 1, &c. *Pwy yn eu mysg a fynega hyn*—sef gwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon, yr hyn a ragfynegasai yr Arglwydd trwy ei broffwyd yn hir cyn eu myned hwy i gaethiwed; *ac a draetha i ni y pethau o'r blaen*—unrhyw beth cyn ei ddyfod i ben, a phryd nad oes dim argoel am dano? gwel ar pen. xli. 22, a xlii. 9. *Dygant eu tystion, fel y cyfiawnhäer hwynt*—yn eu nòniadau, neu y profer eu bod yn dduwiau: gwel ar pen. xli. 26. *Neu wrandawant*—ar dystion Jehofa, neu ar ei ddadl ef drosto ei hun; *a dywedant, Gwir yw*—boed iddynt gyfaddef mai gwir yw ei dystiolaeth ef, ac mai yr Arglwydd sydd Dduw.

Adn. 10. *Fy nhystion i ydych chwi*] Fy mhobl Israel, y rhai a'm clywsoch yn rhagfynegu pethau a ddaethant i ben, neu y rhai a brofasoch lawer gwaith gyflawniad o'r pethau a ragaddewais i chwi; *a'm gwas yr hwn a ddewisais*—sef y *proffwyd*, yr hwn a ddewisasai Duw i ragfynegu y pethau hyn trwyddo; neu y *Messia*, fel y mae yr alleirydd Caldeaidd yn ei ddeall. *Fel yr adnabyddoch ac y credoch fi*—yn fy nhystiolaeth am danaf fy hun; *ac y dealloch mai myfi yw*—yr unig wir Dduw. *O'm blaen nid oedd duw wedi ei ffurfio*—gan neb; *ac ni bydd ar fy ol*—unrhyw un ag y gellir yn briodol ei alw yn DDUW; canys JEHOFA yn unig sydd 'Dduw, o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb,' Salm xc. 2. Tybiai y Groegiaid nad oedd yr un duwiau bob amser yn llywodraethu, ond fod y rhai cyntaf yn cael eu diswyddo gan y rhai a ddeuent ar eu hol; a dichon fod yr un dyb yn ffynu yn mhlith y dwyreinwyr, y rhai y mynai Jehofa iddynt ddeall nad oedd ef wedi dylyn unrhyw Dduw yn ei deyrnas ef, ond fod ei lywodraeth ef yn ddiddechre ac yn ddiddiwedd.

Adn. 11. *Myfi, myfi yw yr Arglwydd*] Fel pe dywedasai, Nid yw yr enw JEHOFA, 'Bôd hunan-fodol, annghyfnewidiol, a thragwyddol,' yn briodol i neb ond myfi; *ac nid oes Geidwad ond myfi*—neb a all gadw ei addolwyr, gorff ac enaid, ond fy hunan.

Adn. 12. *Myfi a fynegais, ac a achubais*] Myfi yn gyntaf a ragfynegais eich achubiaeth, ac yna a'i cyflawnais; *ac a ddanghosais*—trwy hyny fy mod yn Dduw; *pryd nad oedd duw dyeithr yn eich mysg*—a allai ragfynegu na chyflawni hyny; ïe, cyn i Israel ddechreu ymollwng i gofleidio eilunod. *Am hyny chwi ydych fy nhystion*—yn y ddadl hon rhyngof fi a'r eilunod, *mai myfi sydd Dduw*—a myfi yn unig. Fel hyn y mae Duw yn parhau i ddwyn yn mlaen ei *ragwybodaeth* o bethau dyfodol, fel rheswm dros ei Dduwdod anfeidrol ei hun: gwel ar pen. xli. 1, &c.

Adn. 13. *Ie, cyn bod dydd*] Cyn y dydd cyntaf, neu cyn i amser ddechreu, sef o dragwyddoldeb; *yr ydwyf fi*—yn bodoli fel Duw cadarn, hollalluog, a hollwybodol. *Ac nid oes a wared o'm llaw*—pe bawn yn myned i gospi yr eilunaddolwyr, nid allai un o'u duwiau eu gwaredu hwynt o'm llaw i. *Gwnaf*—beth bynag a fynwyf; *a phwy a'i lluddia*—neu a rwystra i mi ei wneyd?

Adn. 14. *Er eich mwyn chwi*] Sef er mwyn eich gwaredu chwi; *yr anfonais i Babilon*—yr anfonais fyddinoedd y Mediaid a'r Persiaid i ryfela yn ei herbyn hi dan Cyrus; *ac y tynais i lawr ei holl benaduriaid*—o'u mawredd, eu hawdurdod, a'u gogoniant; *a'r Caldeaid*—hyny yw, y tynais i lawr eu milwyr dewr a gwrol, yn nghyda'r bobl gyffredin; *sydd â'u bloedd mewn llongau*—sydd yn ymffrostio yn amledd eu llongau, neu yn bloeddio mewn ofn a dychryn wrth ffoi yn eu llongau. Dywedir fod yn perthyn i Babilon, yn amser Semiramis, dair mil o longau yn masnachu rhyngddi hi a'r Forgainc Bersiaidd.

Adn. 15. *Myfi yr Arglwydd yw eich Sant chwi*] Yw eich Duw Santaidd; *Creawdydd Israel*—yr hwn a'ch gwnaethym yn bobl ac yn eglwys i mi fy hun; *eich Brenin chwi*—i'ch llywodraethu a'ch gwaredu.

Adn. 16. *Yr hwn a wna ffordd yn y môr*] Pan fyddo hyny yn angenrheidiol er gwaredu ei bobl; *a llwybr yn y dyfroedd cryfion*—fel

a llwybr yn y dyfroedd cryfion
17 Yr hwn a ddwg allan y cerbyd
a'r march, y llu a'r cryfder; cyd-
orweddant, ni chodant: darfuant,
fel llin y diffoddasant.
18 ¶ Na chofiwch y pethau o'r
blaen, ac nac ystyriwch y pethau
gynt.
19 Wele fi yn gwneuthur peth
newydd: yr awr hon y dechreu;
oni chewch ei wybod? Gwnaf ffordd
yn yr anialwch, *ac* afonydd yn y di-
ffaethwch.
20 Bwystfil y maes, y dreigiau, a
chywion yr estrys, a'm gogonedd-
ant; am roddi o honof ddwfr yn yr
anialwch, *a*'r afonydd yn y diffaeth-
wch, i roddi diod i'm pobl, fy newis-
edig.
21 Y bobl hyn a luniais im' fy
hun; fy moliant a fynegant.
22 ¶ Eithr ni elwaist arnaf, Jacob;
ond blinaist arnaf, Israel.
23 Ni ddygaist im' filod dy off-
rymau poeth, ac ni'm hanrhydedd-
aist â'th ebyrth: ni pherais it' fy
ngwasanaethu âg offrwm, ac ni'th
flinais âg arogl-darth.
24 Ni phrynaist im' galamus âg
arian, ac ni'm llenwaist â brasder

---

y gwnaeth efe i Israel trwy y môr coch a'r Iorddonen.

Adn. 17. *Yr hwn a ddwg allan y cerbyd a'r march*] Cyfeirir yma at feirch a cherbydau Pharao; *y llu a'r cryfder*—sef byddin gref yr Aifftiaid. *Cydorweddant*—neu 'cydorweddasant' yn ngwaelodion y môr, o ba le ni chodant mwyach i aflonyddu pobl yr Arglwydd. *Darfuant*—oll gyda'u gilydd; *fel llin y diffoddasant*—fel y diffoddir wic canwyll pan ei doder mewn dwfr.

Adn. 18. *Na chofiwch y pethau o'r blaen, &c.*] Sef eich gwaredigaeth o'r Aifft, ac o ddwylaw eich gelynion lawer gwaith wedi hyny. Nid oedd yr Arglwydd yn meddwl iddynt lwyr annghofio y pethau hyny; eithr y meddwl yw, nad oedd y pethau hyny ond bychan iawn mewn cymhariaeth i'r hyn a wnai efe iddynt ar ol hyn. Ond gan fod y waredigaeth o'r Aifft yn fwy hynod ar lawer o gyfrifon na'r waredigaeth o Babilon, rhaid ei fod yn cyfeirio yn benaf at waredigaeth y byd trwy Grist.

Adn. 19. *Wele fi yn gwneuthur peth newydd*] Na wnaed ei gyffelyb erioed o'r blaen. *Yr awr hon y dechreu*—sef yn y waredigaeth bresenol o Babilon, yr hon a fydd yn arwydd o hono. Neu gall ei fod yn llefaru fel hyn am ddyfodiad Crist yn y cnawd, yr hyn ni chymerai le 700 o flynyddau wedi hyn, i ddangos mor fychan yw pob yspaid yn nghyfrif Duw, yr hwn nid yw 'mil o flynyddoedd' gydag ef ond 'megys un dydd,' 2 Pedr iii. 8. *Oni chewch ei wybod*—yn brofiadol? neu oni chaent ei wybod trwy dystiolaeth gair a phroffwydi Duw? *Gwnaf ffordd yn yr anialwch*—i chwi fyned adref o Babilon; *ac afonydd yn y diffaethwch*—i'ch disychedu ar eich taith. Ac yr oedd hyn oll yn gysgod o fendithion ysbrydol yr efengyl trwy Grist: gwel ar pen. xli. 17—19.

Adn. 20. *Bwystfil y maes, y dreigiau, a chywion yr estrys*] O'r rhai yr oedd llawer yn yr anialwch hwnw; *a'm gogoneddant*—yn eu ffordd hwy; *am roddi o honof ddwfr yn yr anialwch*—trwy yr hyn y cânt hwythau dori eu syched; *i roddi diod i'm pobl*—felly diodi Israel, ei bobl ddewisedig, oedd dyben yr Arglwydd wrth roddi y dwfr hwn; ond cai bwystfilod y maes hefyd yfed o hono, a bod yn llawen trwy hyny. Ond wrth y creaduriaid hyn y dealla rhai y Cenhedloedd creulon ac anwybodus, y rhai, ar ol profi o fendithion yr efengyl, a ogoneddent Dduw am hyny.

Adn. 21. *Y bobl hyn a luniais im' fy hun*] I gadw coffadwriaeth o'm henw ar y ddaear; *fy moliant a fynegant*—felly o leiaf y dysgwyliai Duw iddynt wneyd: gwel ar adn. 1, 7.

Adn. 22. *Eithr ni elwaist arnaf, Jacob*] Fel yr oeddwn yn dysgwyl i ti wneyd; *blinaist arnaf, Israel*—ar fy ngwasanaeth a'm haddoliad, yr hyn oedd yr achos i mi dy anfon i Babilon.

Adn. 23. *Ni ddygaist im' filod*] Hebr., 'ŵyn' neu 'fŷnod' dy offrymau poeth; *ac ni'm anrhydeddaist â'th ebyrth*—yn y modd diragrith ag y dylesit wneuthur. Yr oedd yr Iuddewon yn ddyfal yn y cyflawniad o bethau allanol crefydd, megys gweddio, offrymu, ac arogl-darthu; ond nid oedd eu gweddiau yn cael eu hoffrymu mewn ffydd, ac yr oeddynt yn aberthu yn amlach i eilunod nag i Dduw eu tadau. *Ni pherais it' fy ngwasanaethu âg offrwm*—y mae yn wir i Dduw beri iddynt ei wasanaethu ef âg offrwm, ac arogl-darthu hefyd iddo: eithr y meddwl yma yw, nad oedd efe wedi gorchymyn iddynt wneuthur hyny yn y dull rhagrithiol ag yr oeddynt hwy yn ei ddylyn; neu, ni wnaethai efe *gaethweision* o honynt yn hyn, trwy orchymyn iddynt yr hyn oedd orthrymus, neu anhawdd ei gyflawni. *Ac ni'th flinais âg arogl-darth*—hyny yw, ni osodais arnat faich anmhosibl ei ddwyn.

Adn. 24. *Ni phrynaist im' galamus âg arian*] Yr hwn a ddefnyddid i wneyd olew yr eneiniad sanctaidd, ac wrth arogl-darthu: gwel ar Exod. xxx. 7, 23, &c., Jer. vi. 20: *ac ni'm llenwaist â brasder dy ebyrth*—y meddwl yw, eu bod yn grintachlyd yn ngwasanaeth Duw, tra nad oeddynt yn arbed dim traul yn ngwasanaeth eu heilunod. *Eithr ti a wnaethost i mi wasanaethu â'th bechodau*—yr oedd Duw yn eu gwasanaethu hwy â thrugareddau tymhorol yn ddibaid, a hwythau yn eu treulio i gyflawni eu pechodau; neu, 'ti a wnaethost i mi ddwyn baich dy bechodau.' *Blinaist fi â'th anwireddau*—fel gwas yn blino dan faich trwm.

dy ebyrth: eithr ti a wnaethost i mi
wasanaethu â'th bechodau, blinaist
fi â'th anwireddau.
25 Myfi, myfi *yw* yr hwn a ddilea
dy gamweddau, er fy mwyn fy hun,
ac ni chofiaf dy bechodau.
26 Dwg ar gof im', cyd-ymddadl-
euwn: adrodd di, fel y'th gyfiawn-
häer.
27 Dy dad cyntaf a bechodd, a'th
athrawon a wnaethant gamwedd i'm
herbyn.
28 Am hyny yr halogais dywys-
ogion y cysegr, ac y rhoddais Jacob
yn ddiofryd-beth, ac Israel yn
waradwydd.

## PENNOD XLIV.

AC yn awr gwrandaw, Jacob fy
ngwas, ac Israel yr hwn a dde-
wisais.
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
yr hwn a'th wnaeth, ac a'th luniodd
o'r groth, efe a'th gynorthwya: Nac
ofna, fy ngwas Jacob; a thi Jesurun,
yr hwn a ddewisais.

---

Adn. 25. *Myfi, myfi*] Yr hwn a ddiystyraist, a flinaist, ac a annogaist fel hyn i'th ddyfetha; *yw yr hwn a ddilea dy gamweddau er fy mwyn fy hun*—er mawl a gogoniant i'm henw fy hun; *ac ni chofiaf dy bechodau*—i'w cospi, neu i'th ddyfetha di o'u herwydd yn ol dy haeddiant.

Adn. 26. *Dwg ar gof im'*] Fel pe dywedasai, Os gelli di wadu y cyhuddiadau uchod, a phrofi ddarfod i ti ymddwyn yn well nag y dywedwyd am danat yn adn. 22—24, traetha hyny mewn amddiffyniad i ti dy hun: *cyd-ymddadleuwn*—fel y gwna y cyhuddwr a'r cyhuddedig mewn llys barn. *Adrodd di*—bob peth ag a elli ei ddwyn o'th blaid dy hun; *fel y'th gyfiawnhäer*—yn ngwyneb y cyhuddiadau uchod.

Adn. 27. *Dy dad cyntaf a bechodd*] Dyma ddadl Duw. Y mae pump o leiaf o wahanol farnau am y 'tad cyntaf' hwn. (1) Tybia *Piscator*, *Calovius*, a *Kimchi*, mai ADDA a feddylir yma, yr hwn oedd dad cyntaf pawb, a'r hwn a bechodd ei hun, ac a wnaeth ei holl had yn bechaduriaid, Rhuf. v. 19. (2) Tybia *Jerome*, ac amrai o'r esbonwyr diweddar, mai ABRAHAM a olygir, ac mai ei 'bechod' ef oedd ei amheuad o wirionedd addewid Duw, Gen. xv. 8; neu ei wadiad o'i wraig, Gen. xii. 19, a xx. 2; neu ei eilunaddoliaeth yn ei ieuenctid. (3) Tybia ereill, megys *Grotius*, *Aben Ezra*, *&c.*, fod y 'tad cyntaf' hwn yn cyfeirio at eu BRENHINOEDD hwy yn olynol, y rhai oeddynt gyntaf nid o ran *amser*, ond o ran *gradd*. (4) Tybia *Vitringa* ac ereill ei fod yn cyfeirio at URIAH yr archoffeiriad, yr hwn a bechasai trwy wneuthur allor i Ahaz fel yr un a welsai efe yn Damascus, 2 Bren. xvi. 10—16. (5) A thybia *Gesenius* ac ereill fod y gair i'w ddeall yma am y corff o ARCHOFFEIRIAID olynol, gan ei fod yn beth cyffredin galw y prif ddyn o ryw bobl, yn enwedig y prif un mewn awdurdod crefyddol, yn 'dad.' Gall y darllenydd ddewis y dyb a fyno; ond tueddir fi i gofleidio y gyntaf neu yr ail. *A'th athrawon a wnaethant gamwedd i'm herbyn*—sef eu proffwydi, eu hoffeiriaid, a'u dysgawdwyr, trwy eu dysgu hwy i bechu. Dyma y rheswm o du Dduw i brofi eu bod hwy yn euog, ac yn haeddu cael eu cospi. Nid oedd Abraham ond dyn pechadurus wrth natur, ac yn llithro i bechodau yn fynych, er ei fod yn ddyn da iawn; a bu raid ei gyfiawnhau 'trwy ffydd:' a pha fodd y gallai ei had ef feddwl eu bod hwy yn ddigon da i gael eu cyfiawnhau gerbron Duw trwy eu gweithredoedd eu hunain? Ac yr oedd eu hathrawon hwy hefyd, y rhai a ddylasent eu harwain at Dduw, wedi eu harwain hwynt yn hytrach i gyfeiliornad a phechod; ac am hyny nid oedd ganddynt un sail i feddwl eu bod yn ddiniwed, ac y gallent gyd-ddadlu â Duw.

Adn. 28. *Am hyny yr halogais dywysogion y cysegr*] Mewn ystyr barnol, gan eu rhoddi yn llaw y Caldeaid eilunaddolgar i'w cospi; neu, gan iddynt hwy eu gwneyd eu hunain yn halogedig trwy eu pechodau, am hyny yr ymddygais tuag atynt fel rhai halogedig, heb ddangos dim parch iddynt ar gyfrif urddas a santeiddrwydd eu swydd. *Ac y rhoddais Jacob yn ddiofryd-beth*—i'w ddiofrydu i felldith a dinystr; *ac Israel yn waradwydd*—yn mysg yr holl genhedloedd. Cyflawnwyd hyn mewn rhan trwy gaethgludiad yr Iuddewon i Assyria a Babilon, ond yn llawer mwy trwy eu dinystr a'u gwasgariad olaf gan y Rhufeiniaid.

PEN. XLIV. Adn. 1. *Ac yn awr gwrandaw, Jacob fy ngwas, &c.*] Fel pe dywedasai, Er i mi dy geryddu am dy bechodau, a chael achos cyfiawn i'th lwyr ddyfetha; eto yn nghanol barn mi a gofiaf drugaredd, ac a'th arddelaf fyth fel fy 'ngwas,' a'm pobl 'ddewisedig:' gwel ar pen. xli. 8, 9.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, yr hwn a'th wnaeth*] Gwel ar pen. xliii. 1; *ac a'th luniodd o'r groth*—o ddechread dy fodaeth fel pobl wahanedig, neu fel eglwys; *efe a'th gynorthwya*—yn mhob cyfyngder a'th gyferfydd. Ond y mae *Jerome*, *Luther*, ac ereill, yn darllen y ddwy frawddeg ddiweddaf mewn cysylltiad â'u gilydd, fel hyn: 'O'r groth efe a'th gynorthwya.' *Nac ofna, fy ngwas Jacob*—er i chwi bechu fel corff o bobl, ac er i'r barnau uchod ddisgyn arnoch am hyny, pen. xliii. 23, 24, 28; eto nac ofnwch y bydd i Dduw eich llwyr-adael a'ch dyfetha. *A thi Jesurun, yr hwn a ddewisais*—y gair 'Jesurun' sydd enw arall am Jacob neu Israel, yn arwyddo *anwyldeb* neu *uniondeb:* gwel ar Deut. xxxii. 15.

Adn. 3. *Canys tywalltaf ddyfroedd*] Sef yr Ysbryd Glân yn ei ddylanwadau ireiddiol ac achubol, fel ei heglurir yn niwedd yr adnod;

3 Canys tywalltaf ddyfroedd ar y sychedig, a ffrydiau ar y sychdir: tywalltaf fy Ysbryd ar dy had, a'm bendith ar dy hiliogaeth:
4 A hwy a dyfant *megys* yn mysg glaswellt, fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd.
5 Hwn a ddywed, Eiddo yr Arglwydd *ydwyf* fi; a'r llall a'*i* geilw *ei hun* ar enw Jacob; ac arall a ysgrifena *â*'i law, Eiddo yr Arglwydd *ydwyf*, ac a *ym*-gyfenwa ar enw Israel.
6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Brenin Israel a'i Waredydd, Arglwydd y lluoedd, Myfi *yw* y cyntaf, diweddaf *ydwyf* fi hefyd; ac nid *oes* Duw ond myfi.
7 Pwy hefyd fel fi, a eilw, a fynega, ac a esyd hyn yn drefnus i mi, er pan osodais yr hen bobl? neu mynegant iddynt y pethau sydd ar ddyfod, a'r pethau a ddaw.
8 Nac ofnwch, ac nac arswydwch; onid er hyny o amser y traethais it', ac y mynegais? *a*'m tystion *ydych* chwi. A oes Duw ond myfi? ïe, nid *oes* Duw: nid adwaen i *yr un.*
9 ¶ Oferedd *ydynt* hwy oll y rhai a luniant ddelw gerfiedig, ni wna eu pethau dymunol lesâd: tystion *ydynt* iddynt eu hun, na welant, ac na

---

*ar y sychedig*—ar y bobl a sychedant am dano; *a ffrydiau ar y sychdir*—yr hyn a arwydda helaethrwydd o hono. *Tywalltaf fy Ysbryd ar dy had*—yr hyn a gyflawnwyd mewn rhan ar ddydd y pentecost, Act. ii. 4, ac a gyflawnir eto yn helaethach yn nechre y milflwyddiant; *a'm bendith ar dy hiliogaeth*—sef holl fendithion y cyfammod gras.

Adn. 4. *A hwy a dyfant megys yn mysg glaswellt*] Neu, yn ol y LXX, 'megys glaswellt yn mysg dyfroedd;' *fel helyg wrth ffrydiau dyfroedd*—yn hardd, cryf, a chyflym.

Adn. 5. *Hwn a ddywed, Eiddo yr Arglwydd ydwyf fi*] Gan fod yr Iuddewon bob amser yn proffesu eu bod yn eiddo yr Arglwydd, tybia rhai mai am y Cenhedloedd y dywedir hyn, y rhai a ddychwelid dan yr efengyl i fod yn eiddo i'r Arglwydd. *A'r llall a'i geilw ei hun ar enw Jacob*—yn eiddo i'r Arglwydd, neu yn addolwr Jehofa, fel yr oedd Jacob a'i had. *Ac arall a ysgrifena â'i law, Eiddo yr Arglwydd ydwyf*—efe a gydsynia yn wirfoddol a pharod i fod yn eiddo i'r Arglwydd. Ond y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Ac arall a ysgrifena *ar ei* law,' &c. Dywed *Procobius* fod llawer o'r Cristionogion cyntaf yn ysgrifenu enw Crist, neu yn tynu llun y groes, ar eu dwylaw a'u breichiau; ond nid yw yn debyg mai hyny a feddylir yma: gwel ar Lef. xix. 28. *Ac a ymgyfenwa ar enw Israel*—a broffesa yn gyhoeddus ei fod yn addolwr Duw Israel, neu yn un o Israel ysbrydol Duw. Y mae y geiriau hyn oll yn arwyddo, nid y byddai gwahanol bleidiau yn yr eglwys, ond, y byddai pawb yn rhedeg megys am y cyntaf i wneuthur proffes o'r wir grefydd yn y dyddiau diweddaf, neu i ymrestru yn mhlith pobl yr Arglwydd.

Adn. 6. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Brenin Israel a'i Waredydd, &c.*] Nid oedd brenhinoedd daearol yr Iuddewon ddim ond rhaglawiaid dan Arglwydd y lluoedd: efe oedd eu gwir Frenin, a'u Gwaredydd ar bob pryd. *Myfi yw y cyntaf*—o bawb; *diweddaf ydwyf fi hefyd*—'yr Alpha a'r Omega:' gwel ar pen. xli. 4: *ac nid oes Duw ond myfi*—yn y nefoedd nac ar y ddaear: gwel ar pen. xliii. 10—12. Amcan y geiriau hyn yw dangos fod JEHOFA, yr hwn a addawsai y pethau mawrion uchod iddynt, yn alluog i'w cyflawni, ac nad allai neb arall.

Adn. 7. *Pwy hefyd fel fi*] Yn mhlith holl dduwiau y Cenhedloedd; *a eilw*—unrhyw ddygwyddiad i gymeryd lle; *a fynega*—pa bryd y cymer le; *ac a esyd hyn yn drefnus i mi*—a'i hadrodda yn fanwl o ran yr amser, y fan, a'r drefn y cymer le; *er pan osodais yr hen bobl*—neu y 'bobl henafol' hyn; hyny yw, er pan benodasai efe Israel yn bobl iddo ei hun: neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Er pan wnaeth efe gyntaf ddyn ar y ddaear?' *Neu mynegant iddynt y pethau sydd ar ddyfod*—sef y pethau sydd yn ymyl; *a'r pethau a ddaw*—yn mhell ar ol hyn. Fel pe dywedasai, Os na all y duwiau hyn ddangos i ddynion rywbeth a ddaethai i ben yn ol eu rhagfynegiad hwy, o ddyddiau yr henafiaid hyd yma, boed iddynt ragfynegu rhywbeth a ddaw i ben ar ol hyn, yn fuan neu yn hwyr, fel y profont eu bod yn dduwiau.

Adn. 8. *Nac ofnwch, ac nac arswydwch*] Rhagddynt hwy. Hyn a ddywedir wrth Israel ar ol i'r duwiau uchod fethu ateb. *Onid er hyny o amser*—o ddechread eich bodoliaeth fel pobl henafol, neu o ddechread y byd, adn. 7; *y traethais it'*—pa beth a fyddai; *ac y mynegais*—pa bryd y cymerai le, yr hyn ni allodd y duwiau ei draethu? *A'm tystion ydych chwi*—fy mod yn dywedyd y gwir: gwel ar pen. xliii. 12. *A oes Duw ond myfi?*—enwch ef, os yw mewn bod. *Ie, nid oes Duw*—arall, yn y nefoedd nac ar y ddaear. *Nid adwaen i yr un*—ac am hyny nid oes yr un, gan fy mod i yn adnabod pawb a phobpeth ag sydd yn bodoli.

Adn. 9. *Oferedd ydynt hwy oll*] Y mae y rhai a wnant ryw fath ar ddelw i'w haddoli, yn dangos eu bod yn ddynion gweigion a ffol: *ni wna eu pethau dymunol lesâd*—sef eu heilunod, y rhai sydd mor ddymunol yn eu golwg, ac a garant mor fawr. *Tystion ydynt iddynt eu hun*—yn eu herbyn eu hunain, ac yn erbyn eu heilunod hefyd; *na welant, ac na wyddant*—nad oes gan y delwau hyny synwyr na deall; *fel y byddo cywilydd arnynt*—am wneyd ac addoli y fath bethau gwael a dirmygus.

wyddant; fel y byddo cywilydd arnynt.

10 Pwy a luniai dduw, neu a fwriai ddelw gerfiedig, heb wneuthur dim lles?

11 Wele, ei holl gyfeillion a gywilyddir, y seiri hefyd o ddynion *y maent:* casgler hwynt oll, safant i fyny; *eto* hwy a ofnant, *ac* a gydgywilyddiant.

12 Y gôf â'r efail a weithia yn y glo, ac a'i llunia â morthwylion, ac â nerth ei fraich y gweithia efe hi: newynog *yw* hefyd, a'i nerth a balla; nid ŷf ddwfr, ac y mae yn diffygio.

13 Y saer pren a estyn *ei* linyn; efe a'i llunia hi wrth linyn *coch;* efe a'i cymhwysa hi â bwyill, ac a'i gweithia wrth gwmpas, ac a'i gwna ar ol delw dyn, fel prydferthwch dyn, i aros *mewn* tŷ.

14 Efe a dyr iddo gedrwŷdd, ac a gymer y cypreswydden a'r dderwen, ac a ymegnïa yn mysg prenau y coed; efe a blana onen, a'r gwlaw a'i maetha.

15 Yna y bydd i ddyn i gyneu *tân:* canys efe a gymer o honi, ac a ymdwymna; ïe, efe a'i llysg, ac a boba fara; gwna hefyd dduw, ac *a'i* haddola *ef;* gwna ef yn ddelw gerfiedig, ac a ymgryma iddo.

16 Rhan o hono a lysg efe yn tân; wrth ran o hono y bwyty gig, y rhostia rost, fel y diwaller ef: efe a ymdwymna hefyd, ac a ddywed, Aha, ymdwymnais, gwelais dân.

17 A'r rhan arall yn dduw y gwna, yn ddelw gerfiedig iddo; efe a ymgryma iddo, ac *a'i* haddola, ac a weddia arno, ac a ddywed, Gwared fi; canys fy nuw *ydwyt.*

18 Ni wyddant, ac ni ddeallant; canys Duw a gauodd eu llygaid hwynt rhag gweled, *a'u* calonau rhag deall.

---

Adn. 10. *Pwy a luniai dduw*] O unrhyw fath; *neu a fwriai ddelw gerfiedig*—gan ei thoddi yn gyntaf, ac yna ei cherfio neu ei chaboli yn berffeithiach; *heb wneuthur dim lles?*—y meddwl yw, pwy yn ei synwyr a wnai hyny?

Adn. 11. *Wele, ei holl gyfeillion a gywilyddir*] Sef addolwyr y ddelw hòno; *y seiri hefyd*—y rhai a'i gwnaeth, *o ddynion y maent*—ac am hyny ofer yw iddynt feddwl y gallant wneyd *duw* i'w hachub hwy. *Casgler hwynt oll*—yn nghyd, i amddiffyn eu duwiau; *safant i fyny*—i brofi dwyfoldeb eu duwiau, a'u teilyngdod i gael eu haddoli. *Eto hwy a ofnant*—pan godo Jehofa i ddadlu ei achos yn eu herbyn hwy; *ac a gydgywilyddiant*—sef y seiri a'r addolwyr.

Adn. 12. *Y gôf â'r efail a weithia yn y glo*] Nid i wneyd *duw* fe allai, ond i wneyd *bwyell* i'w lunio ef; canys am ddelw *bren* y sonir yn yr adnod o flaen hon, ac yn yr adnodau ar ei hol. *Noyes* a *Gesenius* a'i cyfieithant, 'Y gôf a barotoa *fwyell.*' Y LXX a'r *Syriaeg* a'i darllenant, 'Y saer a awchlymant *haiarn,*' sef y fwyell. *Ac a'i llunia â morthwylion*—hyny yw, a'i llunia yn fwyell. *Ac â nerth ei fraich y gweithia efe hi*—neu y defnyddia efe y fwyell hòno i dori coed i wneuthur ei dduw. *Newynog yw hefyd, a'i nerth a balla, &c.*—ni chymer hamdden i fwyta nac i yfed i gynal natur, gan faint ei awydd i lunio ei dduw. Dywed y Parch. J. Williams, y diweddar genadwr enwog yn ynysoedd Môr-y-deau, nad yw trigolion yr ynysoedd hyny yn bwyta nac yn yfed nes y gorphenont wneuthur eu duw, er eu bod weithiau dridiau yn ei wneyd ef.

Adn. 13. *Y saer pren*] Wedi iddo gael ei fwyell yn barod, ac ar ol iddo dori darn o bren pwrpasol yn y goedwig; *a estyn ei linyn*—ar y pren hwnw, i fesur hyd a lled ei ddelw. *Efe a'i llunia hi wrth linyn coch*—neu 'â lliw coch,' fel y mae rhai yn ei ddarllen. *Efe a'i cymhwysa hi â bwyill*—neu 'â chŷnion,' ac arfau angenrheidiol ereill; *ac a'i gweithia wrth gwmpas*—i nodi ei gwahanol ranau gyda chywirdeb; *ac a'i gwna ar ol delw dyn*—sef ar lun dyn neu ddynes; *fel prydferthwch dyn*—yn hardd a pherffaith o ran pryd a gwedd; *i aros mewn tŷ*—i'w chodi i fyny yn ei dŷ ei hun, neu yn nheml yr eilunod.

Adn. 14. *Efe a dyr iddo gedrwŷdd, &c.*] Sef y coed goraf a mwyaf pwrpasol i wneyd delwau; *ac a ymegnïa yn mysg prenau y coed*—i'w tori i lawr, a'u naddu: *efe a blana onen, a'r gwlaw a'i maetha*—nes y tyfa i faintioli digonol i wneyd duw o honi. Fel hyn nis gallai ef gael defnyddiau i wneyd ei dduw, heb i ragluniaeth Duw y nefoedd ei gynorthwyo.

Adn. 15, 16. *Yna y bydd i ddyn i gyneu tân, &c.*] Yr oedd hyn yn ddefnyddiad digon priodol o'r brigau a'r ysglodion. Eithr amcan yr adnodau hyn yw dangos yr ynfydrwydd o wneyd duw i'w addoli, ac i waredu ei addolwyr, o'r un pren ag a ddefnyddiai efe i wneyd tân i ymdwymno wrtho, ac i grasu ei fara, a rhostio ei gig!

Adn. 17. *Ac a ddywed*] Wrth y ddelw gerfiedig hòno; *Gwared fi*—o'm cyfyngder presenol; *canys fy nuw ydwyt*—yn yr hwn yr wyf yn ymddiried am waredigaeth, bendith, a bywyd!

Adn. 18. *Ni wyddant, ac ni ddeallant*] Fod gwneuthur ac addoli y fath dduwiau yn beth ffol a diles; *canys Duw a gauodd eu llygaid hwynt, &c.*—neu a oddefodd i'w llygaid gael eu cau, ac i'w calonau fod yn ddideimlad a diddeall, yn gosp gyfiawn am eu dallineb gwirfoddol eu hunain, ac i ateb ei ddybenion daionus ei hun: gwel ar pen. vi. 9, 10. Ond

19 Ie, ni feddwl *neb* yn ei galon,
ïe, nid *oes* wybodaeth na deall i
ddywedyd, Llosgais ran o hono yn
tân, ac ar ei farwor y pobais fara, y
rhostiais gig, ac y bwyteais; ac a
wnaf fi y rhan arall yn ffieiddbeth?
a ymgrymaf i foncyff o bren?
20 Ymborth ar ludw y mae; calon
siomedig a'i gŵyrdrôdd ef, fel na
waredo ei enaid, ac na ddywedo,
Onid *oes* celwydd yn fy neheulaw?
21 ¶ Meddwl hyn, Jacob ac Is-
rael; canys fy ngwas *ydwyt* ti; llun-
iais di, gwas i mi *ydwyt*; Israel,
ni'th annghofir genyf.
22 Dileais dy gamweddau fel
cwmwl, a'th bechodau fel niwl:
dychwel ataf fi; canys myfi a'th
waredais di.
23 Cenwch, nefoedd: canys yr
Arglwydd a wnaeth *hyn*: bloedd-
iwch, gwaelodion y ddaear; bloedd-
iwch ganu, fynyddoedd, y coed a
phob pren ynddo; canys gwaredodd
yr Arglwydd Jacob, ac yn Israel yr
ymogonedda efe.
24 Fel hyn y dywedodd yr Ar-
glwydd dy waredydd, a'r hwn a'th
luniodd o'r groth, Myfi *yw* yr Ar-
glwydd sydd yn gwneuthur pob
*peth*, yn estyn y nefoedd fy hunan,
yn lledu y ddaear o honof fy hun.
25 Yn diddymu arwyddion y rhai
celwyddog, ac yn ynfydu dewiniaid;
yn troi y doethion yn eu hol, ac yn
gwneuthur eu gwybodaeth yn ynfyd:
26 Yr hwn y gyflawna air ei was,
ac a gwblha gynghor ei genadon;
yr hwn a ddywed wrth Jerusalem,
Ti a breswylir: ac wrth ddinasoedd

---

trwy nad yw y gair *Duw* yn y wreiddiol, tybia rhai mai Satan, 'duw y byd hwn,' a olygir yma, yr hwn a 'ddallodd feddyliau y rhai digred, fel na thywynai iddynt lewyrch efengyl gogoniant Crist,' 2 Cor. iv. 4.

Adn. 19. *Ie, ni feddwl neb yn ei galon, &c.*] Mai peth ynfyd i'r eithaf yw cymeryd pren i wneyd *duw* i'w addoli o un rhan o hono, ac i wneyd tân o'r rhan arall o hono! Trwy y geiriau hyn dengys y proffwyd mai diffyg ystyriaeth ddyladwy o'r peth, yw y prif achos o eilunaddoliaeth.

Adn. 20. *Ymborth ar ludw y mae*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo gwneyd yr hyn sydd ddiles ac ofer. *Calon siomedig*—neu wedi ei thwyllo gan Satan; *a'i gŵyrdrôdd ef*—oddiwrth y gwir Dduw, ac i dywyllwch eilunaddoliaeth; *fel na waredo ei enaid*—fel na allo ei waredu o'r cyfeiliornad hwn, na rhag y dialedd ag sydd yn sicr o'i ganlyn; *ac na ddywedo*—na allo ddywedyd, *Onid oes celwydd yn fy neheulaw?*—onid twyll a drygioni yw yr eilunaddoliad hwn? Enwir y 'deheulaw' yma, am mai hi yn gyffredin yw offeryn gweithrediad.

Adn. 21. *Meddwl hyn, Jacob ac Israel*] Sef yr hyn a ddywedwyd uchod am ffolineb a drygedd eilunaddoliaeth, fel y byddo i chwi ymgadw rhag y cyfryw ffolineb, ac ymlynu yn ffyddlonach wrth addoliad y gwir Dduw. *Fy ngwas ydwyt ti, &c.*—gwel ar adn. 1, 2. *Israel, ni'th annghofir genyf*—tra y byddot yn ffyddlon yn fy ngwasanaeth i; ac felly ni fydd raid i ti wrth un duw arall i'th amddiffyn.

Adn. 22. *Dileais dy gamweddau fel cwmwl*] Ac fel niwl a chwelir ac a yfir i fyny gan wres neu wynt. *Dychwel ataf fi*—i'm gwasanaethu i yn unig, ac â'th holl galon; *canys myfi a'th waredais di*—neu 'a'th waredaf,' sef o Babilon; ac am hyny myfi, ac nid yr eilunod, a ddylit ei wasanaethu.

Adn. 23. *Cenwch, nefoedd, &c.*] Yma, mewn dull barddonol prydferth, priodolir bywyd, deall, a theimlad, i naturiaeth yn gyffredinol; a gelwir ar y nefoedd a'r ddaear, y mynyddoedd a'r coed, fel i gydfoliannu yr Arglwydd am yr hyn a wnaethai, neu a wnai efe i'w bobl: gwel ar Salm xcvi. 11, 12.

Adn. 24. *Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd dy waredydd*] Sef yr hwn a'th wared di o Babilon; *a'r hwn a'th luniodd o'r groth*—o ddechread dy fodaeth genedlaethol neu eglwysig, adn. 2; *Myfi yw yr Arglwydd sydd yn gwneuthur pob peth*—mewn creadigaeth, rhagluniaeth, a gras; *yn estyn y nefoedd fy hunan*—gwel ar pen. xl. 22, a xlii. 5; *yn lledu y ddaear o honof fy hun*—o'r naill begwn i'r llall; ac am hyny nid wyf mewn angen am gymhorth neb arall i'th waredu di.

Adn. 25. *Yn diddymu arwyddion y rhai celwyddog*] Sef seryddwyr a dewiniaid Caldea, y rhai a gymerent arnynt ragfynegu, trwy blanedau neu ryw arwyddion dychymygol ereill, barhad a llwyddiant yr amherodraeth Fabilonaidd; *yn troi y doethion yn eu hol*—mewn cywilydd a gwarth; *ac yn gwneuthur eu gwybodaeth yn ynfyd*—yn ngolwg pawb, pan welont na ddaethai eu rhagfynegiad i ben, neu na allent hwy ddeongi pethau dyrys: gwel ar Dan. ii. 10, 11, a v. 8.

Adn. 26. *Yr hwn a gyflawna air ei was*] Sef rhagfynegiad Esay ei broffwyd; *ac a gwblha gynghor ei genadon*—sef ei holl broffwydi ereill, y rhai a anfonodd Duw i ragfynegu dinystr Babilon, gwaredigaeth yr Iuddewon o'u caethiwed, ac adgyweiriad dinasoedd Juda: *Yr hwn a ddywed wrth Jerusalem*—yr hon a ragolygir yma fel yn gorwedd yn adfeilion, a'i thrigolion wedi eu caethgludo eisioes i Babilon; *Ti a breswylir*—eto gan yr Iuddewon, y rhai a ddychwelir o Babilon: *ac wrth ddinasoedd Juda*—y rhai a ragdybir yma fel wedi eu dinystrio eisioes gan y Caldeaid; *Chwi a adeiladir*—eilwaith; *a chyfodaf ei hadwyau*—y rhai a wnaed gan y gelyn trwy yr holl wlad.

Adn. 27. *Yr hwn wyf yn dywedyd wrth y*

Juda, Chwi a adeiladir, a chyfod-
af ei hadwyau :
27 Yr hwn wyf yn dywedyd wrth
y dyfnder, Bydd sych ; a mi a
sychaf dy afonydd.
28 Yr hwn wyf yn dywedyd wrth
Cyrus, Fy mugail *yw*, ac efe a
gyflawna fy holl ewyllys : gan ddy-
wedyd wrth Jerusalem, Ti a adeil-
adir ; ac wrth y deml, Ti a syl-
faenir.

## PENNOD XLV.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd
wrth ei eneiniog, wrth Cyrus,
yr hwn yr ymaflais i yn ei ddeheu-
law, i ddarostwng cenhedloedd o'i
flaen ef : a mi a ddattodaf lwynau
brenhinoedd ; i agoryd y dorau o'i
flaen ef, a'r pyrth ni chauir ;
2 Mi a âf o'th flaen di, ac a unionaf
y gŵyrgeimion ; y dorau pres a
doraf, a'r barau heiyrn a ddrylliaf :
3 Ac a roddaf i ti drysorau cudd-
iedig, a chuddfeydd dirgel, fel y
gwypech mai myfi yr Arglwydd, yr
hwn a'*th* alwodd erbyn dy enw, *yw*
Duw Israel.
4 Er mwyn Jacob fy ngwas, ac

---

*dyfnder*] Wrth unrhyw ddyfnder, pan fyddo hyny yn angenrheidiol ; *Bydd sych*—ac efe a fydd sych, fel y dygwyddodd i'r môr coch a'r Iorddonen, pryd yr oedd Israel i fyned trwyodd. *A mi a sychaf dy afonydd*—fe allai ei fod yn cyfeirio yma at waith Cyrus, fel offeryn yn ei law ef, yn troi dyfroedd yr Euphrates, a'r afonydd ereill a redent iddi, i redeg ffordd arall, fel y gallai ef fyned i Babilon ar hyd ei gwely hi.

Adn. 28. *Yr hwn wyf yn dywedyd wrth Cyrus*] Yr hwn a grybwyllir yma wrth ei enw 200 o flynyddau cyn ei eni, fel y byddai hyny yn brawf eglur o fanylrwydd rhagwybodaeth Duw, ac yn rheswm anwadadwy i benderfynu y ddadl hon rhwng Duw a'r eilunod : gwel ar adn. 7, pen. xli. 21, a xliii. 12. *Fy mugail yw*—i achub fy mhraidd gwasgaredig o grafangau bleiddiaid Babilon, a'u danfon i'w gwlad eu hunain. Dywed *Xenophon* i Cyrus fod yn fugail yn ei ieuenctid, ac iddo roddi yr enw hwn iddo ei hun ar ol myned yn frenin, pryd na wyddai efe ddim am y broffwydoliaeth hon yn ei alw ef felly. *Ac efe a gyflawna fy holl ewyllys*—yr oll a orchymynaf iddo ei wneyd gyda golwg ar adferiad yr Iuddewon o Babilon, adeiladiad Jerusalem, a sylfaeniad y deml : gwel ar Ezra i. 1, 2.

PEN. XLV. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth ei eneiniog*] Sef wrth Cyrus, yr hwn a eneiniwyd neu a 'benodwyd' yn frenin trwy osodiad Duw, i ddwyn oddiamgylch waredigaeth ei bobl. *Yr hwn yr ymaflais i yn ei ddeheulaw*—i'w ddwyn at ei waith, i'w gyfarwyddo yn ei waith, ac i'w nerthu i wneyd ei waith. *I ddarostwng cenhedloedd o'i flaen ef*—gwel restr o honynt yn y sylw ar Ezra i. 2. *A mi a ddattodaf lwynau brenhinoedd*—gwanhaf hwynt, gan eu hanalluogi i wrthsefyll Cyrus. *I agoryd y dorau o'i flaen ef, a'r pyrth ni chauir*—ar noson gwledd Belsassar, pryd y cymerwyd Babilon, dywedir fod y swyddogion yn eu meddwdod wedi esgeuluso cau y dorau pres ag oeddynt yn arwain o'r heolydd i'r afon Euphrates, trwy y rhai yr aeth byddinoedd Cyrus i mewn i'r ddinas ; ac wrth glywed terfysg a chynhwrf mawr oddifaes, gorchymynodd y brenin agor pyrth y palas, i holi pa beth oedd yr achos o'r cynhwrf hwnw ; pryd y rhuthrodd dwy blaid o'r Mediaid a'r Persiaid i'r palas, ac y lladdasant y brenin : gwel ar Dan. v. 30.

Adn. 2. *Mi a âf o'th flaen di*] I rwyddhau a gwastatâu dy ffordd. Fel hyn arddanghosir Duw megys yn llefaru wrth Cyrus yn bersonol, a hyny oddeutu 200 o flynyddau cyn ei eni ef, pen. xliv. 28. *Ac a unionaf y gŵyrgeimion*—sef y ffyrdd ceimion ac anhawdd eu teithio : gwel ar pen. xl. 4. *Y dorau pres a doraf*—o'r rhai yr oedd cant yn y mur o amgylch Babilon, sef 25 bob ochr i'r ddinas ; ac yr oedd gorsinau a bachau y dorau hyny oll o'r un defnydd : *a'r barau heiyrn a ddrylliaf*—â'r rhai y sicrheid ac y diogelid y dorau hyny.

Adn. 3. *Ac a roddaf i ti drysorau cuddiedig, a chuddfeydd dirgel*] Sef trysorau cuddiedig brenin Babilon, ac eiddo y brenhinoedd ereill a orchfygid ganddo, y rhai a guddid ganddynt rhag lladron. Yr oedd Sardes a Babilon, pan eu cymerwyd gan Cyrus, y dinasoedd cyfoethocaf yn yr holl fyd. Dywedir i un o frenhinoedd Babilon guddio llawer o aur ac arian, a thrysorau ereill, mewn cistiau pres yn ngwaelod yr Euphrates, ac i Cyrus eu cael hwynt yno wrth sychu yr afon. Dywed *Xenophon* iddo hefyd gael delw Nebuchodonosor yno. Rhoddodd *Crœsus* hefyd, yr hwn oedd y cyfoethocaf o holl frenhinoedd y ddaear y pryd hyny, ei holl drysorau i fyny iddo ef, gyda chofrestr ysgrifenedig o bob peth ag ydoedd yn mhob mèn a anfonasai efe yn llwythog i Cyrus yn Babilon. Dywed *Pliny* fod yr holl aur a'r arian a gafodd Cyrus y pryd hyn gan bawb, yn cyraedd i £126,224,000 o'n harian ni ! *Fel y gwypech mai myfi yr Arglwydd*—yr hwn a roddais i ti yr holl drysorau hyn ; *yr hwn a'th alwodd erbyn dy enw*—i fod yn offeryn neillduol yn llaw fy rhagluniaeth i, adn. 1 ; *yw Duw Israel*—gwaredydd Israel, a gwrthddrych eu haddoliad hwy : neu yn hytrach, 'fel y gwypech mai Duw Israel yw JEHOFA ;' canys gellir meddwl mai y prif amcan mewn golwg oedd dangos, nid ei fod ef yn Dduw i Israel, ond mai Duw Israel oedd JEHOFA, yr unig wir Dduw. Ac ni a welwn oddiwrth Ezra i. 2, i Cyrus ddysgu y wers hon yn rhagorol ; canys efe a ddywed yno, 'Arglwydd Dduw y nefoedd a roddes i mi holl deyrnasoedd y ddaear.'

Adn. 4. *Er mwyn Jacob fy ngwas, ac*

Israel fy etholedig, y'th elwais er-
byn dy enw: mi a'th gyfenwais, er
na'm hadwaenit.
5 ¶ Myfi *ydwyf* yr Arglwydd,
ac nid arall, nid *oes* Duw ond myfi;
gwregysais di, er na'm hadwaenit:
6 Fel y gwypont o godiad haul,
ac o'r gorllewin, nad neb ond myfi:
myfi *yw* yr Arglwydd, ac nid arall:
7 Yn llunio goleuni, ac yn creu
tywyllwch; yn gwneuthur llwydd-
iant, ac yn creu drygfyd: myfi yr
Arglwydd sydd yn gwneuthur hyn
oll.
8 Defnynwch, nefoedd, oddiuch-
od, a thywallted yr ŵybrenau
gyfiawnder; ymagored y ddaear,
ffrwythed iachawdwriaeth a chyf-
iawnder, cyd-darddant: myfi yr Ar-
glwydd a'u creais.
9 Gwae a ymrysono â'i Luniwr.
*Ymrysoned* priddell â phriddellau y

*Israel fy etholedig*] Gwel ar pen. xli. 8; *y'th elwais erbyn dy enw*—i roddi sicrwydd iddynt hwy o'u gwaredigaeth o Babilon, trwy *enwi* eu gwaredydd fel hyn cyn ei eni, a chyn eu myned hwythau i gaethiwed. *Mi a'th gyfenwais*—nid yn unig enwais di 'Cyrus,' ond cyfenwais di fel 'fy mugail a'm heneiniog;' *er na'm hadwaenit*—cyn i ti fy nghydnabod i fel JEHOFA, ïe cyn dy eni.

Adn. 5. *Myfi ydwyf yr Arglwydd, ac nid arall*] Nid oes un JEHOFA ond myfi yn y nefoedd nac ar y ddaear; *nid oes Duw ond myfi*—nid oes un *gwir* Dduw, na neb arall yn deilwng o'i alw yn DDUW. *Gwregysais di, er na'm hadwaenit*—neillduais, cymhwysais, a nerthais di i'r gwaith hwn, pryd na wyddit ti mai myfi oedd yn gwneuthur hyny.

Adn. 6. *Fel y gwypont o godiad haul, ac o'r gorllewin*] Hyny yw, fel y gwypo yr holl fyd, trwy fy ngwaith yn dy alw di fel hyn, ac yn dy nerthu mor hynod i wneyd y fath orhestwaith; *nad neb ond myfi*—fy mod i yn Dduw hollwybodol a hollalluog, ac nad oes neb felly ond fy hunan. *Myfi yw yr Arglwydd, ac nid arall*—gwel ar adn. 5.

Adn. 7. *Yn llunio goleuni, ac yn creu tywyllwch*] Mewn ystyr llythyrenol a chyffelybiaethol; *yn gwneuthur llwyddiant, ac yn creu drygfyd*—neu aflwyddiant tymhorol a naturiol. Nid ydym i gasglu oddiyma mai Duw yw awdwr drwg moesol, neu bechod; canys y mae hyny yn groes i natur Duw, ac i rediad cyffredin yr holl ysgrythyrau. *Myfi yr Arglwydd sydd yn gwneuthur hyn oll*—yn weithredol neu oddefol; hyny yw, y mae pob peth mewn rhagluniaeth a gras dan lywodraeth ddoeth, gyfiawn, a da Duw. Yr oedd yn dyb gyffredin yn Persia yn amser Cyrus, ac ond odid yn cael ei chredu ganddo yntau, fod dau brif achos annibynol a chyd-dragwyddol, y rhai a weithredent bob amser yn groes i'w gilydd; a bod un yn awdwr pob da, a'r llall yn awdwr pob drwg: y bôd da a alwent Goleuni; a'r bôd drwg, Tywyllwch: a phan fyddai Goleuni yn drechaf, yna fod daioni a dedwyddwch yn ffynu yn mhlith dynion; a phan mai Tywyllwch fyddai drechaf, yna drygfyd a thrueni a ffynent. Ond y mae y gyfryw dyb yn groes i dystiolaeth egluraf ein rheswm, yr hon a'n harweinia i gydnabod un Bôd Goruchaf yn unig, yr hwn sydd yn anfeidrol dda, yn gystal ag yn hollalluog; ac ymddengys mai i wrthwynebu y fath syniad ffol a'r un uchod y llefarwyd yr adnod hon.

Adn. 8. *Defnynwch, nefoedd, oddiuchod*] Fel canlyniad i waredigaeth fy mhobl o Babilon; *a thywallted yr ŵybrenau gyfiawnder*—yn gawodydd helaeth arnynt hwy a'u gwlad. *Ymagored y ddaear*—i dderbyn y cawodydd maethlon hyn: *ffrwythed iachawdwriaeth a chyfiawnder*—mewn canlyniad i hyny: *cyd-darddant*—hyny yw, cyd-dardded neu ymddanghosed ffrwythau iachawdwriaeth a chyfiawnder yn gyfatebol i'r cawodydd bendithiol uchod. *Myfi yr Arglwydd a'i creais*—myfi fy hun yw yr achos o'r cawodydd grasol hyn, ac o'r ffrwythau iachusol a gynyrchir trwyddynt. Y mae y geiriau hyn i'w deall yn gyntaf am yr adfywiad a fu ar rinwedd a chrefydd yn ganlynol i adferiad yr Iuddewon o Babilon; ond cyfeiriant mewn ail ystyr, os nid yn benaf, at dywalltiad yr Ysbryd Glân dan yr efengyl, ac at ei ddoniau ysbrydol ac achubol ef yn nyddiau y Messia.

Adn. 9. *Gwae a ymrysono â'i Luniwr*] Yr hwn sydd yn anfeidrol gryfach nag ef. *Ymrysoned priddell â phriddellau y ddaear*—â dynion gweiniaid, brau, a marwol fel ef ei hunan, os yw am ymryson, yn hytrach nag â'i Greawdwr hollalluog. Ond y mae *Lowth* yn cyfieithu y geiriau uchod fel hyn: 'Gwae a ymrysono â'r gallu a'i lluniodd; y briddell, â thylinydd y clai!' hyny yw, gwae y briddell a ymrysono â thylinydd y clai. *A ddywed y clai wrth ei luniwr*—sef wrth yr hwn a'i lluniodd yn llestr; *Pa beth a wnei?*—neu paham y'm gwnaethost yn llestr o'r fath yma? *Neu*—a ddywed efe wrtho, *Y mae dy waith heb ddwylaw iddo?*—ni wnaethost fi o'r llun ag y dylaswn fod. Ond y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'Nid gwaith dy ddwylaw di wyf fi;' a *Lowth* a'i cyfieitha, 'Ac wrth y gweithiwr, Nid oes i ti ddwylaw?' (1) Tybia *Lowth* ac ereill fod y proffwyd yma yn cyfeirio at yr Iuddewon grwgnachlyd, y rhai a feient ar ddoethineb a chyfiawnder Duw wrth oddef iddynt gael eu gorthrymu gan eu gelynion, ac wrth addaw gwaredigaeth iddynt, yn lle eu hattal rhag cael eu caethiwo. (2) Tybia *Rosenmuller* mai cyfeirio y mae efe at eu hanfoddlonrwydd hwy am i Dduw ddewis eu gwaredu trwy law Cyrus, tywysog estronol, a dyeithriol i'r wir grefydd, yn hytrach na thrwy un o'u cenedl hwy eu hunain. (3) A thybia *Kimchi* ac ereill mai darostwng balchder y Babiloniaid yw amcan y proffwyd, y rhai a benderfynent gadw yr Iuddewon fyth yn eu caethiwed, ac a fynent felly ymryson â Duw.

ddaear. A ddywed y clai wrth ei
luniwr, Beth a wnei? neu, Y mae
dy waith heb ddwylaw iddo?
10 Gwae a ddywedo wrth *ei* dad,
Beth a genhedli? neu wrth y wraig,
Beth a esgoraist?
11 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Sant Israel, a'i Luniwr, Gofynwch
i mi y pethau a ddaw am fy meib-
ion, a gorchymynwch fi am waith fy
nwylaw.
12 Myfi a wnaethym y ddaear, ac
a greais ddyn arni: myfi, *ïe* fy
nwylaw i, a estynasant y nefoedd, ac
a orchymynais eu holl luoedd.
13 Myfi a'i cyfodais ef mewn cyf-
iawnder, a'i holl ffyrdd a gyfar-
wyddaf; efe a adeilada fy ninas, efe
a ollwng fy ngharcharorion, heb na
gwerth na gwobrwy, medd Ar-
glwydd y lluoedd.
14 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Llafur yr Aifft, a marsiandïaeth
Ethiopia, a'r Sabeaid hirion, a ddeu-
ant atat ti, ac eiddot ti fyddant; ar
dy ol y deuant; mewn cadwyni y
deuant trosodd: ac ymgrymant i ti;
atat y gweddiant, *gan ddywedyd*,
Yn ddiau ynot ti *y mae* Duw, ac nid
*oes* arall, nac *oes* Duw.

---

(4) Ond y mae yr apostol yn gwneyd cymhwysiad eangach a mwy cyffredinol o'r geiriau: gwel ar Rhuf. ix. 20, 21.

Adn. 10. *Gwae a ddywedo wrth ei dad, Beth a genhedli? &c.*] Gan feio ar ei rieni am na buasai efe yn fwy hardd a lluniaidd o ran ei gorff, neu yn feddiannol ar ragorach cyneddfau eneidiol. Felly hefyd y mae yn llawn mor afresymol a phechadurus beio ar ragluniaeth Duw, am na buasem ni wedi ein geni o waedoliaeth uwch, neu o rieni cyfoethocach. Ni ddylid dwyn y geiriau hyn i brofi mai Duw sydd yn llunio cymeriad moesol dyn, gan ei orfodi ef i bechu, ac yna ei ddamnio am hyny! Nid yw Duw yn gwneyd neb yn bechadur trwy rym anianyddol, fel y mae y crochenydd yn llunio y clai, ac yna yn ei ddedfrydu ef i ddinystr. Rhaid i ni ystyried Duw yn gyfiawn, doeth, a da yn ei holl weithredoedd, yn gystal ag yn benarglwyddiaethol; a bod ei 'drugaredd ef ar ei holl weithredoedd;' ac nad yw efe 'yn ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch:' gwel ar 2 Pedr iii. 9.

Adn. 11. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Sant Israel, a'i Luniwr*] Sef Lluniwr Israel yn feibion iddo ei hun; *Gofynwch i mi y pethau a ddaw am fy meibion*—sef y pethau a ddeuent ar ol hyn i blant Israel; *a gorchymynwch fi am waith fy nwylaw*—fel pe dywedasai, Er nad yw y crochenydd yn rhoddi cyfrif i'r clai, na'r rhieni i'r plant; eto myfi a ymostyngaf i roddi cyfrif i chwi o'm gweithredoedd mawrion, am y rhai yr ydych yn cweryla â mi. Ond y mae amrai, modd bynag, yn darllen y geiriau hyn yn holiadol: 'A ydych chwi yn gofyn i mi am y pethau a ddaw i fy meibion? ac yn gorchymyn i mi am waith fy nwylaw?' Fel pe dywedasai, Ai ni fydd i chwi ganiatâu i mi y rhyddid a gymerwch i chwi eich hunain, o drefnu fy mhlant a'm gweithredoedd fel y gwelwyf yn dda? A raid i mi roddi cyfrif i chwi am y pethau hyn? A hyny a wna efe yn y geiriau nesaf.

Adn. 12. *Myfi a wnaethym y ddaear*] O ddim; *ac a greais ddyn arni*—o bridd y ddaear: *myfi, ïe fy nwylaw i, a estynasant y nefoedd*—wybrenol, fel llen uwchben ac o amgylch y ddaear; *ac a orchymynais eu holl luoedd*—i fodoliaeth, sef yr haul, y lloer, a'r ser.

Adn. 13. *Myfi a'i cyfodais ef*] Sef Cyrus, am yr hwn y soniwyd adn. 1; *mewn cyfiawnder*—i wneyd fy mwriadau cyfiawn fy hun, pen. xli. 2: *a'i holl ffyrdd a gyfarwyddaf*—gan ei arwain, ei nerthu, a'i lwyddo yn ei holl ryfeloedd. *Efe a adeilada fy ninas*—sef Jerusalem a'r deml, Ezra i. 2; *efe a ollwng fy ngharcharorion*—o Babilon; *heb na gwerth na gwobrwy*—heb *ofyn* dim iawn am danynt, na'u gwerthu am bris.

Adn. 14. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth Jerusalem, neu wrth ei eglwys ei hun ynddi; *Llafur yr Aifft*—neu y cyfoeth a gaed trwy ei llafur hi; *a marsiandïaeth Ethiopia*—sef elw ei marsiandïaeth; *a'r Sabeaid hirion*—dywedir fod rhai o honynt yn ddeuddeg troedfedd o uchder; *a ddeuant atat ti, ac eiddot ti fyddant*—nid yn unig byddai i Jerusalem gael ei hailadeiladu, ond byddai i gyfoeth a gogoniant gwledydd ereill gael eu dwyn iddi eilwaith megys gynt. Dywedir i Cyrus orchymyn i deyrnged gael ei dwyn o'r Aifft, Ethiopia, a Seba, tuag at adeiladu y deml yn Jerusalem. Modd bynag, y mae yn debyg mai at ddychweliad y Cenhedloedd i eglwys Crist y cyfeirir yma yn benaf. *Ar dy ol y deuant*—o'r holl wledydd hyny; *mewn cadwyni y deuant trosodd*—nid mewn cadwyni heiyrn, ond mewn cadwyni moesol, a hyny o'u bodd, ar ol cael eu gorchfygu gan nerth y gwirionedd, neu allu yr efengyl: gwel ar Salm cx. 2. Hwn sydd ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth fuddugoliaethau rhyfelwyr, pryd y rhwyment y rhai a orchfygid ganddynt mewn cadwynau: gwel ar 2 Cor. ii. 14. *Ac ymgrymant i ti*—gan gydnabod dy uwchafiaeth di ar gyfrif dy freintiau lluosog. *Atat y gweddiant*—am dderbyniad genyt, neu 'cyfarchant di;' *gan ddywedyd, Yn ddiau ynot ti y mae Duw*—yr unig Dduw a fedr achub; *ac nid oes arall, nac oes Duw*—fel pe dywedasent, Yr ydym ni wedi ein llwyr argyhoeddi mai JEHOFA, dy Dduw di, yw yr unig wir Dduw, ac nad yw ein heilunod ni ddim ond gwegi.

Adn. 15. *Ti yn ddiau wyt Dduw yn ymguddio*] O olwg y Cenhedloedd yn awr, sef yn

15 Ti yn ddiau *wyt* Dduw yn
ymguddio, O Dduw Israel yr Ach-
ubwr!
16 Cywilyddir a gwaradwyddir
hwynt oll; seiri delwau a ânt yn
nghyd i waradwydd.
17 Israel a achubir yn yr
Arglwydd *â* iachawdwriaeth dra-
gwyddol: ni'ch cywilyddir ac ni'ch
gwaradwyddir byth bythoedd.
18 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, creawdydd y nefoedd, y
Duw ei hun a luniodd y ddaear, ac
a'i gwnaeth; efe a'i sicrhaodd hi,
ni chreodd hi yn ofer, i'w phreswyl-
io y lluniodd hi: Myfi *yw* yr Ar-
glwydd, ac nid neb amgen.
19 Ni leferais mewn dirgelwch,
mewn man tywyll o'r ddaear; ni
ddywedais wrth had Jacob, Ceis-
iwch fi yn ofer. Myfi yr Arglwydd
wyf yn llefaru cyfiawnder, *ac* yn
mynegu pethau union.
20 ¶ Ymgesglwch, a deuwch;
cydnesewch, rai diangol y cenhedl-
oedd; nid oes gwybodaeth gan y
rhai a ddyrchafant goed eu cerf-
ddelw, ac a weddiant dduw nid all
achub.
21 Mynegwch, a nesewch *hwynt;*
cydymgynghorant hefyd; pwy a
draethodd hyn er cynt? *pwy* a'i
mynegodd er y pryd hyny? onid
myfi yr Arglwydd? ac nid *oes* Duw
arall ond myfi; yn Dduw cyfiawn,
ac yn Achubydd; nid *oes* ond myfi.

---

flaenorol i'r amser ag y cyfeiriwyd ato yn adn. 14; *O Dduw Israel yr Achubwr*—hyny yw, yr wyt yn ymguddio o olwg y *Cenhedloedd*, tra yr ydwyt yn dy ddatguddio dy hun i *Israel* fel eu Hachubwr. Ond tybia rhai mai y meddwl yw, er fod Duw yn cuddio dyben neu amcan ei orchwyliaethau oddiwrth Israel ei bobl yn awr; eto ei fod ef ar yr un pryd yn dwyn yn mlaen eu hachubiaeth hwy, a dinystr eu gelynion, yn ei ffordd ddirgelaidd ei hun.

Adn. 16. *Cywilyddir a gwaradwyddir hwynt oll*] Sef yr holl Genhedloedd eilunaddolgar uchod: *seiri delwau a ânt yn nghyd i waradwydd*—pan ddychweler y Cenhedloedd i addoli yr unig wir Dduw, adn. 14.

Adn. 17. *Israel a achubir yn yr Arglwydd*] Neu *gan* yr Arglwydd; *âg iachawdwriaeth dragwyddol*—nid yn unig â gwaredigaeth o Babilon, ond âg iachawdwriaeth ysbrydol a thragwyddol trwy Grist: *ni'ch cywilyddir ac ni'ch gwaradwyddir byth bythoedd*—am ymddiried ynddo ef.

Adn. 18. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Fel rheswm na chywilyddir byth y rhai a ymddiriedant ynddo ef. *Creawdydd y nefoedd*—ac fel y cyfryw y mae efe yn anfeidrol ragori ar eilunod y ddaear. *Y Duw ei hun a luniodd y ddaear, ac a'i gwnaeth*—a wnaeth y tryblith materiol cyntefig o ddim, ac yna a luniodd y ddaear o'r crynswdd cymysglyd hwnw, Gen. i. 1, 2. *Efe a'i sicrhaodd hi*—yn ei lle priodol yn nghanol yr eangder mawr. *Ni chreodd hi yn ofer*—i fod yn belen ddidrigolion: *i'w phreswylio y lluniodd hi*—gan ddynion a chreaduriaid ereill. Casgla yr Iuddewon oddiwrth yr adnod hon y bydd i'r ddaear gael ei phreswylio ar ol yr adgyfodiad; 'meddylddrych ag sydd iddo bob tebygolrwydd,' ebai *Barnes*, 'gan na bydd dim llai o resymau dros i'r ddaear gael ei phreswylio y *pryd hyny* nag sydd yn awr; ac nis gall fod un rheswm i'r ddaear fodoli yn *ofer* y pryd hyny mwy nag yn awr.' Ond gwel y sylw ar 2 Pedr iii. 10, 13. *Myfi yw yr Arglwydd*—yw JEHOFA, yr unig wir Dduw, yr hwn a allaf eich achub; *ac nid neb amgen*—gwel ar adn. 5, 6. Yn awr, y mae y dystiolaeth a roddir yma i Dduw fel Creawdydd y nefoedd a'r ddaear, yn dangos ar unwaith ei hollalluogrwydd, ei ddoethineb, a'i ddaioni ef, ac yn brawf o'i allu a'i ffyddlondeb i achub ei Israel ysbrydol âg iachawdwriaeth dragwyddol, fel y dywedir yn adn. 17.

Adn. 19. *Ni leferais mewn dirgelwch, mewn man tywyll o'r ddaear*] Fel y llefara yr oraclau paganaidd eu ffug-broffwydoliaethau o dyllau yn y ddaear, ac mewn geiriau amwys ac aneglur; eithr lleferais yn eglur a chyhoeddus trwy fy mhroffwydi: gwel ar Ioan xviii. 20. *Ni ddywedais wrth had Jacob, Ceisiwch fi yn ofer*—mewn gweddi ddirgel neu addoliad cyhoeddus, neu mewn amser o drallod neu berygl. *Myfi yr Arglwydd wyf yn llefaru cyfiawnder, ac yn mynegu pethau union*—y mae fy addewidion i oll yn wir, a'm gorchymynion oll yn gyfiawn ac yn dda. Efe a ddywed hyn mewn cyfeiriad at yr oraclau paganaidd, y rhai yn fynych a orchymynent i'w haddolwyr wneyd llawer o bethau pechadurus a chywilyddus, ac a roddent yn aml atebion gau, twyllodrus, ac annghyfiawn.

Adn. 20. *Ymgesglwch, a deuwch*] I wrandaw ar yr hyn ag yr wyf yn myned i'w draethu am oferedd eich eilunod: *cydnesewch, rai diangol y cenhedloedd*—y rhai a ddiangasoch rhag y dinystr a ddisgynodd ar eich gwlad o herwydd eich eilunaddoliaeth a'ch pechodau ereill. Boed i'r barnedigaethau hyny ar ereill, a thrugaredd fawr Duw yn eich arbed chwi, eich dihuno i ystyriaeth ddifrifol o'r mater hwn, a'ch tueddu i ymwrthod â'r eilunod hyny y rhai na fedrant achub y sawl a ymddiriedant ynddynt. *Nid oes gwybodaeth gan y rhai a ddyrchafant goed eu cerf-ddelw*—neu a ddyrchafant gerf-ddelw o goed i'w haddoli; *ac a weddiant dduw nid all achub*—ei achub ei hun, na'r rhai a weddiant arno.

Adn. 21. *Mynegwch, a nesewch hwynt*] Dygwch yn mlaen eich rhesymau cadarnaf, neu eich dadleuwyr mwyaf ffraeth a gwybodus: *cydymgynghorant hefyd*—â'u gilydd, neu â'u duwiau. *Pwy a draethodd hyn er*

22 Trowch eich wynebau ataf fi,
holl gyrau y ddaear, fel y'ch achuber : canys myfi *wyf* Dduw, ac nid
neb arall.
23 Im' fy hun y tyngais, aeth y
gair o'm genau *mewn* cyfiawnder,
ac ni ddychwel, Mai i mi y plyga
pob glin, y twng pob tafod.
24 Yn ddiau yn yr Arglwydd
(medd *un) y mae* i mi gyfiawnder a
nerth ; ato ef y deuir ; a chywilyddir pawb a ddigiant wrtho.
25 Yn yr Arglwydd y cyfiawnheir, ac yr ymogonedda holl had
Israel.

## PENNOD XLVI.

CRYMODD Bel, plygodd Nebo ; eu delwau oedd ar fwystfilod, ac
ar anifeiliaid : eich clud a lwythwyd
yn drwm ; llwyth *ydynt* i'r diffygiol.
2 Gostyngant, cydgrymant : ni
allent achub y llwyth, ond aethant
mewn caethiwed eu hunain.
3 ¶ Tŷ Jacob, gwrandewch arnaf

---

*cynt*—sef y pethau am Cyrus, goresgyniad Babilon, a rhyddhad fy mhobl oddiyno? *Pwy a'i mynegodd er y pryd hyny*—neu a'i rhagfynegodd ddau gant o flynyddoedd cyn iddo gymeryd lle? *Onid myfi yr Arglwydd*—ac nid eich eilunod chwi ? ac onid yw hyny yn brawf nad oes Duw arall ond myfi? *Yn Dduw cyfiawn, ac yn Achubydd*—hyny yw, yn gyfiawn tra yn achub, neu wrth achub : gwel ar Rhuf. iii. 25, 26. *Nid oes ond myfi*—nid oes neb yn Dduw ond myfi, neu neb arall a all achub. Ar yr ystyriaethau hyn geilw Jehofa, yn yr adnod nesaf, ar bawb i gefnu ar eilunod, a throi ato ef yn unig am achubiaeth.

Adn. 22. *Trowch eich wynebau ataf fi*] Yn ffyddiog a hyderus : *holl gyrau y ddaear*—Iuddewon a Chenhedloedd, barbariaid a Scythiaid, caeth a rhydd, sef pob dyn a dynes colledig yn mhob cwr o'r ddaear ; *fel eich achuber*—âg iachawdwriaeth dragwyddol, adn. 17. *Canys myfi wyf Dduw*—myfi yw yr unig un a all eich achub ; *ac nid neb arall*—trwy'r ddaear na'r nef.

Adn. 23. *Im' fy hun y tyngais*] Yr hwn yw y llw uwchaf a mwyaf difrifol yn bosibl, Heb. vi. 13, 16, ac yn arwyddo fod y peth o dragwyddol bwys a sicrwydd. *Aeth y gair o'm genau mewn cyfiawnder*—'yn wirioneddol,' neu i gael ei gyflawni yn sicr ; *ac ni ddychwel*—ni thynir ef yn ol, neu 'ni ddychwel ataf yn wâg,' pen. lv. 11 ; *Mai i mi y plyga pob glin*—mewn ffordd o ymostyngiad ac addoliad ; *y twng pob tafod*—lw o ffyddlondeb i mi fel Brenin fy eglwys. Dywedir hyn am IESU, Phil. ii. 10, 11 ; a diamau mai efe a olygir yma. Cyflawnir hyn yn nyddiau y milflwyddiant, pan y bydd holl gyrau y ddaear wedi troi eu wynebau ato ef am achubiaeth.

Adn. 24. *Yn ddiau yn yr Arglwydd, medd un*] Medd *pob un* o'r rhai uchod a blygent eu gliniau iddo ef; *y mae i mi gyfiawnder a nerth*—y meddwl yw, mai trwy JEHOFA yn unig y gallent oll gael *cyfiawnhad*, neu faddeuant o'u pechodau ; a *nerth* i orchfygu eu gelynion, i wrthsefyll pechod, i gyflawni eu dyledswyddau, i ddyoddef cystuddiau, ac i'w cynal yn angau. Wrth JEHOFA yma y meddylir yn ddiamau y MESSIA, yr hwn a elwir 'Yr Arglwydd ein cyfiawnder,' Jer. xxiii. 6. *Ato ef y deuir*—am gyfiawnhad, nerth, ac achubiaeth : *a chywilyddir pawb a ddigiant wrtho*—dygir ei holl elynion i gywilydd a chosp, am wrthwynebu o honynt y fath Achubydd da, doeth, a galluog ; neu, fel ei deonglir gan *Jarchi*, 'Bydd i bawb a wrthwynebasant Dduw ddyfod ato ef mewn edifeirwch a chywilydd.'

Adn. 25. *Yn yr Arglwydd y cyfiawnheir*] Yr holl gredinwyr, i'r rhai y gwnaethpwyd Crist gan Dduw 'yn gyfiawnder,' 1 Cor. i. 30; *ac yr ymogonedda holl had Israel*—sef ei holl had ysbrydol ef ; hyny yw, hwy a lawenychant ac a orfoleddant yn ei iachawdwriaeth ef, ac a ganant am dani dros holl dragwyddoldeb : gwel ar Rhuf. v. 1, 2.

PEN. XLVI. Adn. 1. *Crymodd Bel*] Prif eilun y Babiloniaid, yr hwn a elwid 'Jupiter Belus ;' *plygodd Nebo*—un arall o'u prif eilunod hwy. Fel yr oedd y Babiloniaid yn crymu ac yn plygu o'u blaen hwy wrth eu haddoli, felly y maent hwythau yn awr yn crymu ac yn plygu o flaen byddinoedd buddugol y Mediaid a'r Persiaid. Yr oedd enwau yr eilunod hyn wedi eu dodi yn enwau amrai o'u tywysogion hwy, megys *Bel* yn Belsassar, a *Nebo* yn Nebuchodonosor, Nebuzaradan, &c. *Eu delwau oedd ar fwystfilod ac ar anifeiliaid*—sef eu delwau aur ac arian, y rhai a ddygid i Persia gan anifeiliaid. *Eich clud*—neu eich mèni, O Bersiaid, *a lwythwyd yn drwm*—â'r delwau hyny, y rhai ni allent eu gwaredu eu hunain, na symud heb gael eu cario. *Llwyth ydynt i'r diffygiol*—i'r anifeiliaid diffygiol y rhai a'u cludent ; ac nid rhyfedd hyny, gan eu bod yn llawer, a bod delw fawr Nebuchodonosor ond odid yn eu plith.

Adn. 2. *Gostyngant, cydgrymant*] Sef Bel a Nebo, o flaen byddin Cyrus ; *ni cllent achub y llwyth*—o fân-ddelwau, y rhai a wnaed i'w cynrychioli hwynt ; *ond aethant mewn caethiwed eu hunain*—gyda'u haddolwyr. Ond tybia rhai mai am y Babiloniaid y dywedir yma, iddynt ostwng a chydgrymu, ac na allent achub y llwyth o ddelwau, na'u gwaredu eu hunain rhag myned i gaethiwed gyda hwynt.

Adn. 3. *Tŷ Jacob, gwrandewch arnaf fi*] Yn eich cynghori i roddi eich ymddiried ynof fi ; *a holl weddill tŷ Israel*—y rhai a adawyd heb eich lladd gan y Caldeaid, ac a gaethgludwyd i Babilon ; *y rhai a ddygpwyd genyf o'r groth, ac a arweddwyd o'r bru*—y rhai a garwyd ac a arweiniwyd genyf fi o ddechread

fi, a holl weddill tŷ Israel, *y rhai* a
ddygpwyd *genyf* o'r groth, *ac* a ar-
weddwyd o'r bru:
4 Hyd henaint hefyd myfi *yw;* ïe,
myfi a'*ch* dygaf hyd oni ben-wŷn-
och: gwnaethym, arweddaf hefyd;
ïe, dygaf a gwaredaf *chwi.*
5 ¶ I bwy y'm gwnewch yn deb-
yg, ac y'*m* cystedlwch, ac y'm cy-
ffelybwch, fel y byddom debyg?
6 Hwy a wastraffant aur o'r pwrs,
ac a bwysant arian mewn clorian, a
gyflogant eurych, ac efe a'i gweith-
ia yn dduw: gostyngant, ac ym-
grymant.
7 Dygant ef ar ysgwyddau, dyg-
ant ef, ac a'i gosodant yn ei le, ac
efe a saif; ni syfl o'i le: os llefa *un*
arno, nid etyb, ac nis gwared ef o'i
gystudd.
8 Cofiwch hyn, a byddwch wŷr:
adgofiwch, droseddwyr.
9 Cofiwch y pethau gynt erioed;
canys myfi *ydwyf* Dduw, ac nid neb
arall; Duw *ydwyf,* ac heb fy math;
10 Yn mynegu y diwedd o'r de-
chread, ac er cynt yr hyn ni wnaed
*eto,* yn dywedyd, Fy nghynghor a
saif, a'm holl ewyllys a wnaf:
11 Yn galw aderyn o'r dwyrain,
y gŵr a wna fy nghynghor o wlad
bell: dywedais, a mi a'i dygaf i
ben; mi a'*i* lluniais, a mi a'i gwnaf.
12 ¶ Gwrandewch arnaf fi, y rhai

---

eich bodaeth fel cenedl neu eglwys. Dywedir hyn mewn gwrthgyferbyniad i dduwiau y Babiloniaid, y rhai ni fedrent achub eu pobl, na'u cadw eu hunain rhag cael eu caethiwo. Ond yr oedd JEHOFA wedi ymddwyn tuag at Israel bob amser fel tad tyner a gofalus: yr oedd ef wedi eu cario hwynt megys yn ei fynwes, a'u harwain o fabandod eu bodaeth yn yr Aifft, Deut. i. 31; ac am hyny dylasent hwy ymddiried o hyd yn ei allu a'i ffyddlondeb ef.

Adn. 4. *Hyd henaint hefyd myfi yw*] Eich cynalydd a'ch arweinydd chwi; *ïe, myfi a'ch dygaf hyd oni ben-wŷnoch*—bydd i mi ddangos yr un tiriondeb tadol tuag atoch hyd ddiwedd eich bodaeth genedlaethol, ag a ddanghosais o'r dechre hyd yma. *Gwnaethym*—chwi yn bobl i mi yn y dechre; *arweddaf hefyd*—cynaliaf ac arweiniaf chwi hefyd hyd y diwedd: *ïe, dygaf a gwaredaf chwi*—dygaf chwi o'ch caethiwed yn Babilon, a chaethiwaf y Babiloniaid a'u duwiau yn eich lle.

Adn. 5. *I bwy y'm gwnewch yn debyg, &c.*] Neu pwy a wnewch yn debyg i mi? Fel pe dywedasai, Pe tueddid chwi ar ol hyn i wneyd rhyw dduw arall yn fy lle i, pwy a gaech mor alluog ac ewyllysgar a myfi i wneyd i chwi ddaioni? gwel ar pen. xl. 25.

Adn. 6. *Hwy*] Sef yr holl eilunaddolwyr, *a wastraffant aur o'r pwrs*—heb edrych dim ar ei werth; *ac a bwysant arian mewn clorian*—heb gymeryd amser i'w rhifo, gan faint eu hawydd i gael duw; *a gyflogant eurych*—i'w weithio yn dduw iddynt; ac wedi hyny, *gostyngant ac ymgrymant*—o'i flaen mewn ffordd o addoliad iddo. Amcan y geiriau hyn yw dangos oferedd hyd yn nod y duwiau a wnaed o'r metteloedd gwerthfawrocaf, a'r ffolineb o'u haddoli ac ymddiried ynddynt!

Adn. 7. *Dygant ef ar ysgwyddau*] Trwy nas gall gerdded ei hun; *dygant ef, ac a'i gosodant yn ei le*—yn y deml; *ac efe a saif*—yno ar ei ystôl heb syflyd. *Os llefa un arno*—mewn gweddi daer ac uchel; *nid etyb*—ïe, ni chlyw; *ac nis gwared ef o'i gystudd*—hyny yw, nis gall ei wared.

Adn. 8. *Cofiwch hyn*] Ystyriwch, fy mhobl, y pethau ag yr wyf yn eu dywedyd wrthych; *a byddwch wŷr*—ymddygwch yn ddoeth a rhesymol fel dynion, ac nid yn anystyriol a ffol fel anifeiliaid: *adgofiwch*—meddyliwch am hyn drachefn a thrachefn, *droseddwyr*—chwi Iuddewon, y rhai a droseddasoch fy nghyfraith i trwy addoli eilunod, yn amser Hezeciah a'r brenhinoedd ereill.

Adn. 9. *Cofiwch y pethau gynt erioed*] Sef y profion parhaus o'm Duwdod a roddais i chwi o'r dechre, trwy gyfryngu yn rhagluniaethol i'ch gwaredu chwi o'r Aifft, ac yn yr anialwch, a rhag eich gelynion o oes i oes. *Canys myfi ydwyf Dduw, ac nid neb arall*—gwel ar pen. xlv. 5, 22. *Duw ydwyf, ac heb fy math*—yn y nefoedd nac ar y ddaear.

Adn. 10. *Yn mynegu y diwedd o'r dechread*] Yn rhagfynegu o ddechread y byd, neu o ddechread eich bodaeth genedlaethol, y pethau a ddygwyddent trwy yr holl oesoedd dylynol; *ac er cynt yr hyn ni wnaed eto*—a rhai pethau na wneir mohonynt hyd ddiwedd y byd. *Fy nghynghor a saif*—a gyflawnir yn ddifêth; *a'm holl ewyllys a wnaf*—er gwaethaf dynion a chythreuliaid. Efe a sonia yma am ei weithredoedd *ei hun* yn unig, ac felly nid oes dim annghysondeb rhwng yr hyn a ddywedir yma, a'r hyn a ddywedir mewn manau ereill, lle y mae efe yn 'ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig:' gwel ar 1 Tim. ii. 4.

Adn. 11. *Yn galw aderyn o'r dwyrain*] Sef Cyrus o Persia: gwel ar pen. xli. 2. Cyffelybir tywysogion rhyfelgar yn aml i *eryr,* ar gyfrif eu cyflymdra, eu nerth, a'u gwancusrwydd: gwel ar Jer. xlix. 22, Ezec. xvii. 3. Dywed *Xenophon* mai llun eryr mawr o aur, yn sefyll ar waewffon, oedd baner Cyrus. *Y gŵr a wna fy nghynghor*—sef darostwng y Babiloniaid, rhyddhau yr Iuddewon, a rhwyddhau y ffordd i adeiladu Jerusalem a'r deml; *o wlad bell*—sef o'r dwyrain. *Dywedais*—am hyn yn mlaenllaw trwy fy mhroffwydi; *a mi a'i dygaf i ben*—yn sicr a difêth yn ei amser: *mi a'i lluniais*—yn fy meddwl; *a mi a'i gwnaf*—trwy Cyrus fel fy offeryn.

Adn. 12. *Gwrandewch arnaf fi, y rhai cedyrn galon*] Y rhai ystyfnig, cyndyn, ac annghrediniol; *y rhai pell oddiwrth gyfiawn-*

cedyrn galon, y rhai pell oddiwrth gyfiawnder.
13 Neseais fy nghyfiawnder; ni bydd bell, a'm hiachawdwriaeth nid erys: rhoddaf hefyd iachawdwriaeth yn Seion i'm gogoniant Israel.

## PENNOD XLVII.

DISGYN ac eistedd yn y llwch, *ti* forwyn-ferch Babilon, eistedd ar lawr: nid *oes* orseddfainc, *ti* ferch y Caldeaid; canys ni'th alwant mwy yn dyner ac yn foethus.
2 Cymer y meini melin, a mala flawd; datguddia dy lywethau, noetha dy sodlau, dynoetha dy forddwydydd, dos trwy yr afonydd.
3 Dy noethni a ddatguddir, dy warth hefyd a welir: dialaf, ac nid *fel* dyn *y'th* gyfarfyddaf.
4 Ein Gwaredydd ni, ei enw *yw* Arglwydd y lluoedd, Sant Israel.
5 Eistedd yn ddystaw, a dos i dywyllwch, *ti* ferch y Caldeaid: canys ni'th alwant mwy yn arglwyddes y teyrnasoedd.
6 ¶ Digiais wrth fy mhobl, halogais fy etifeddiaeth, a rhoddais hwynt yn dy law di: ni chymeraist drugaredd arnynt; rhoddaist dy iau yn drom iawn ar yr henuriaid.
7 ¶ A dywedaist, Byth y byddaf arglwyddes: felly nid ystyriaist hyn, ac ni chofiaist ei diwedd hi.
8 Am hyny yn awr gwrandaw hyn, y foethus, yr hon a drigi yn

---

*der*—y rhai annghyfiawn, gwrthryfelgar, a drwg. Tybia rhai mai y Babiloniaid a gyferchir yma; ond y mae yn debycach mai y rhai caled ac annuwiol o'r Iuddewon a feddylir.

Adn. 13. *Neseais fy nghyfiawnder*] Sef gweinyddiadau dialeddol fy nghyfiawnder ar y Babiloniaid; *ni bydd bell*—neu yn hir heb gymeryd lle: *a'm hiachawdwriaeth nid erys*—nid oedaf fy ngwaredigaeth i chwithau o'ch caethiwed blin. *Rhoddaf hefyd iachawdwriaeth*—sef iachawdwriaeth ysbrydol, yn ehwanegol at eich gwaredigaeth dymhorol; *yn Seion*—yn Jerusalem, yr hon a ailadeiledir, neu yn fy eglwys yno; *i'm gogoniant Israel*—i'm pobl y rhai a ddewisais i ymogoneddu ynddynt, ac i fod yn ogoniant i mi, neu i fynegu fy ngogoniant.

PEN. XLVII. Adn. 1. *Disgyn*] Oddiar dy orsedd; *ac eistedd yn y llwch*—fel un yn galaru am dy drallodau nesaol; *ti forwyn-ferch Babilon*—yr hon wyt dyner a moethus, fel boneddiges ieuanc heb erioed weled caledi. Tybia *Kimchi* fod Babilon yn cael ei galw yma yn 'forwyn-ferch,' neu wyryf, am na chawsai erioed o'r blaen ei darostwng gan unrhyw allu estronol. *Eistedd ar lawr*—yn y cyflwr mwyaf isel a diraddiol. *Nid oes orseddfainc, ti ferch y Caldeaid*—nid oes un i ti mwyach, oblegid trosglwyddir yr amherodraeth oddiwrthyt ti i'r Persiaid. *Canys ni'th alwant mwy yn dyner ac yn foethus*—eithr ti a ddarostyngir i'r caledi a'r trueni mwyaf.

Adn. 2. *Cymer y meini melin, a mala flawd*] Yr hyn a wneid yn gyffredin gan gaethforwynion, ac a ystyrid y diraddiad mwyaf: gwel ar Exod. xi. 5. *Datguddia dy lywethau*—meddylir fod hyn yn arwyddo tynu ymaith ei phen-orchudd, neu ddattod plethiadau ei gwallt; *noetha dy sodlau*—Saes., 'noetha y goes;' *dynoetha dy forddwydydd*—trwy godi godre dy wisg; *dos trwy yr afonydd*—ar dy ffordd i gaethiwed. Hyn oll sydd ragfynegiad o'r hyn y byddai raid i rai o'r Babiloniaid ei wneuthur wrth gael eu cludo i gaethiwed.

Adn. 3. *Dy noethni a ddatguddir*] Gan dy elynion mewn ffordd o ddirmyg; *dy warth hefyd a welir*—o ddiffyg gwisg i'th guddio. *Dialaf*—arnat am dy falchder, dy draha, a'th greulondeb tuag at fy mhobl i; *ac nid fel dyn y'th gyfarfyddaf*—ond fel Duw hollalluog; neu fel llew, yr hwn nis gelli wrthsefyll ei nerth: gwel ar Hos. v. 14, a xiii. 7, 8. *Lowth* a'i cyfieitha, 'Ac ni oddefaf i ddyn eiriol gyda mi.'

Adn. 4. *Ein Gwaredydd ni*] Yma y mae y proffwyd, yn nghanol bygythion yn erbyn Babilon, yn tori allan i ymorfoleddu yn Ngwaredydd Israel; neu gellir ystyried yr adnod hon fel cydgân orfoleddus o eiddo holl Israel. *Ei enw yw Arglwydd y lluoedd*—yr hwn a all ein gwaredu; *Sant Israel*—yr hwn a addawodd ein gwaredu, ac a wna.

Adn. 5. *Eistedd yn ddystaw*] Mewn gofid a chywilydd, fel yr arferai galarwyr wneuthur, Job ii. 13; *a dos i dywyllwch*—cyfeirir yma at arferiad galarwyr o orchuddio eu ffenestri i attal y goleuni i mewn, fel yn arwyddocaol o'u trallod dû; *ti ferch y Caldeaid*—sef Babilon a'i thrigolion, adn. 1: *canys ni'th alwant mwy yn arglwyddes y teyrnasoedd*—yn ben ar holl deyrnasoedd y byd.

Adn. 6. *Digiais wrth fy mhobl*] Sef wrth Israel am eu heilunaddoliaeth; *halogais fy etifeddiaeth*—bwriais hwynt ymaith fel peth aflan, ac i wlad halogedig, pen. xliii. 28; *a rhoddais hwynt yn dy law di*—i'w cospi am eu drygioni. *Ni chymeraist drugaredd arnynt*—ymddygaist yn greulonach at rai o honynt nag yr oeddwn yn bwriadu; *rhoddaist dy iau yn drom iawn ar yr henuriaid*—ar y rhai hen a llesg o honynt, y rhai y dylesit dosturio wrth eu pen-wŷni: gwel ar Jer. li. 34, Galar. iv. 16, a v. 11—14.

Adn. 7. *A dywedaist*] Yn malchder dy galon, *Byth y byddaf arglwyddes*—yn ben ar bawb, heb i neb allu fy narostwng. *Felly nid ystyriaist hyn*—y drwg o drin fy mhobl i mor greulon; *ac ni chofiaist ei diwedd hi*—y canlyniad o ymddwyn felly tuag atynt.

Adn. 8. *Am hyny yn awr gwrandaw hyn, y foethus*] Saes., 'yr hon wyt yn ymroddi i

ddiofal, yr hon a ddywedi yn dy
galon, Myfi *sydd*, ac nid neb ond
myfi: nid eisteddaf yn weddw, ac
ni chaf wybod beth yw diepiledd.
9 Ond y ddau *beth* hyn a ddaw it'
yn ddisymwth yr un dydd, diepil-
edd a gweddwdod: yn gwbl y deu-
ant arnat, am amlder dy hudoliaeth-
au, *a* mawr nerth dy swynion.
10 ¶ Canys ymddiriedaist yn dy
ddrygioni: dywedaist, Ni'm gwel
*neb*. Dy ddoethineb a'th wybodaeth
a'th hurtiant; a dywedaist yn dy
galon, Myfi *sydd*, ac nid neb arall
ond myfi.
11 Am hyny y daw arnat ddryg-
fyd, yr hwn ni chei wybod ei gyfod-
iad; a syrth arnat ddinystr nis gelli
ei ochelyd: ïe, daw arnat ddystryw
yn ddisymwth, heb wybod it'.
12 Saf yn awr gyda'th swynion,
a chydag amlder dy hudoliaethau,
yn y rhai yr ymflinaist o'th ieuenc-
tid; *i edrych* a elli wneuthur lles, *i
edrych* a fyddi grymus.
13 Ymflinaist yn amlder dy gyng-
horion dy hun. Safed yn awr astro-
nomyddion y nefoedd, y rhai a
dremiant ar y ser, y rhai a hysbys-
ant am y misoedd, ac achubant
di oddiwrth *y pethau* a ddeuant
arnat.
14 Wele, hwy a fyddant fel sofl;
y tân a'u llusg hwynt; ni waredant
eu heinioes o feddiant y fflam: ni
*bydd* marworyn i ymdwymno, *na*
thân i eistedd ar ei gyfer.
15 Felly y byddant hwy it' gyda'r
rhai yr ymflinaist, *sef* dy farsiand-
wyr o'th ieuenctid; crwydrasant
bob un ar ei duedd; nid oes *un* yn
dy achub di.

---

bleserau;' *yr hon a drigi yn ddiofal*—gan feddwl nad oes berygl; *yr hon a ddywedi yn dy galon, Myfi sydd*—yn arglwyddes ar bawb; *ac nid neb ond myfi*—y mae holl deyrnasoedd ereill y ddaear naill ai yn ddarostyngedig i mi, neu islaw i mi mewn gallu a gogoniant. *Nid eisteddaf yn weddw*—mewn unigedd a gofid, neu heb frenin i'm hamddiffyn; *ac ni chaf wybod beth yw diepiledd*—beth yw bod heb filwyr dewr a lluosog i'm diogelu. Ni fyddaf byth fel gwraig wedi colli ei gŵr, neu fam wedi ei hamddifadu o'i phlant.

Adn. 9. *Ond y ddau beth hyn a ddaw it' yn ddisymwth yr un dydd*] Y rhai yr oedd Babilon yn meddwl na ddeuent byth i'w chyfarfod, sef diepiledd a gweddwdod. *Yn gwbl y deuant arnat*—yn eu llawn ystyr a'u perffeithrwydd; *am amlder dy hudoliaethau*—neu dy swyn-gyfareddau; *a mawr nerth dy swynion*—neu er cymaint yw nerth dy swynion.

Adn. 10. *Canys ymddiriedaist yn dy ddrygioni*] Y byddai iddo dy ddiogelu, neu dy alluogi i ddal dy uwchafiaeth. *Dywedaist, Ni'm gwel neb*—na Duw na dynion, fel ag i allu dy rwystro yn dy fwriadau, na'th ddrygu. *Dy ddoethineb a'th wybodaeth*—dybiedig, neu dy wybodaeth swynyddol; *a'th hurtiant*—a ddyrysant dy synwyrau, neu a'th arweiniant ar gyfeiliorn yn mhob peth. *A dywedaist yn dy galon, Myfi sydd, &c.*—gwel ar adn. 8.

Adn. 11. *Am hyny daw arnat ddrygfyd*] Trwy law y Mediaid a'r Persiaid; *yr hwn ni chei wybod ei gyfodiad*—er amled dy ddoethion a'th swynwyr, hyd nes y byddo wedi disgyn arnat. *A syrth arnat ddinystr nis gelli ei ochelyd*—trwy ddoethineb dy swynwyr, na thrwy nerth dy filwyr. *Ie, daw arnat ddystryw yn ddisymwth*—fel lleidr yn y nos; *heb wybod it'*—pryd na byddi yn ei ddysgwyl.

Adn. 12. *Saf yn awr gyda'th swynion, &c.*] Glŷn yn yr arferion hyn; *yn y rhai yr ymflinaist o'th ieuenctid*—y rhai y buost yn eu harferyd er pan wyt yn ddinas a theyrnas; *i edrych a elli wneuthur lles*—i ti dy hun trwy bethau fel hyn; *i edrych a fyddi grymus*—i wrthsefyll ymosodiad dy elynion.

Adn. 13. *Ymflinaist yn amlder dy gynghorion dy hun*] Gan redeg oddiwrth y naill, i wneuthur prawf o'r llall. *Safed yn awr astronomyddion y nefoedd*—galw arnynt at eu gwaith; *y rhai a dremiant ar y ser*—gan feddwl fod symudiad y rhai hyny yn llywodraethu y pethau a ddygwyddant ar y ddaear; *y rhai a hysbysant am y misoedd*—pa beth a ddygwydda yn mhob mis; *ac achubant di oddiwrth y pethau a ddeuant arnat*—os gallant. Hyn oll a ddywedir mewn gwawdiaeth lem.

Adn. 14. *Wele, hwy a fyddant fel sofl*] O flaen tân; *y tân a'u llusg hwynt*—neu ddigofaint Duw megys tân. *Ni waredant eu heinioes o feddiant y fflam*—a llawer llai y gallant waredu y ddinas. *Ni bydd marworyn i ymdwymno, &c.*—y meddwl yw, y llosgid hwy a'u dinas yn gwbl ar unwaith, fel na fyddai cymaint a marworyn neu bentewyn yn aros heb ei droi yn lludw. Iaith gyffelybiaethol yw hon, am ddinystr trwy unrhyw foddion, pa un bynag ai trwy dân ai cleddyf.

Adn. 15. *Felly y byddant hwy it'*] Sef yr astronomyddion a'r swynwyr uchod; *gyda'r rhai yr ymflinaist*—neu yr ymboenaist yn ofer; *sef dy farsiandwyr o'th ieuenctid*—gyda'r rhai y buost yn ymdrafod er pan sylfaenwyd Babilon. Tybia rhai mai yr astronomyddion a elwir yma yn farsiandwyr, y rhai a wnaent farsiandïaeth ennillfawr o hygoeledd y bobl; tra y tybia ereill mai y masnachwyr cyffredin a olygir, y rhai a gyfarfyddent â'r un dinystr a'r swynyddion. *Crwydrasant bob un ar ei duedd*—neu crwydrent i unrhyw fan lle y gallent ffoi rhag y dialedd bygythiedig: *nid*

## PENNOD XLVIII.

GWRANDEWCH hyn, tŷ Jacob,
y rhai a elwir ar enw Israel, ac
a ddaethant allan o ddyfroedd Juda;
y rhai a dyngant i enw yr Arglwydd,
ac a goffânt am Dduw Israel, nid
mewn gwirionedd, nac mewn cyf-
iawnder.
2 Canys hwy a'u galwant eu hun-
ain o'r ddinas santaidd, ac a bwys-
ant ar Dduw Israel; enw yr hwn
*yw* Arglwydd y lluoedd.
3 Y pethau gynt a fynegais er y
pryd hyny, a daethant o'm genau,
a mi a'u traethais; mi a'*u* gwnaeth-
ym yn ddisymwth, daethant i ben.
4 O herwydd im' wybod dy *fod*
di yn galed, a'th war *fel* gieuyn
haiarn, a'th dalcen yn bres;
5 Mi a'*i* mynegais i ti er y pryd
hyny; adroddais i ti cyn *ei* ddyfod;
rhag dywedyd o honot, Fy nelw
a'u gwnaeth, fy ngherf-ddelw a'm
tawdd-ddelw a'u gorchymynodd.
6 Ti a glywaist, gwel hyn oll; ac
oni fynegwch chwithau *ef?* adrodd-
ais it' bethau newyddion o'r pryd
hyn, a phethau cuddiedig, y rhai
ni wyddit oddiwrthynt.
7 Yn awr y crewyd hwynt, ac nid
er y dechread, cyn y dydd ni chlyw-
aist son am danynt: rhag dywedyd
o honot, Wele gwyddwn hwynt.
8 Ie, nis clywsit, ac nis gwyddit
chwaith, nid agoresid dy glust y
pryd hyny: canys gwyddwn y

---

*oes un yn dy achub di*—neu yn aros ynot i geisio dy achub.

PEN. XLVIII. Adn. 1. *Gwrandewch hyn, tŷ Jacob*] Sef y pethau pwysig ag yr wyf fi yn awr yn myned i'w hysbysu i chwi; *y rhai a elwir ar enw Israel*—y rhai ydych Israeliaid mewn enw, ond nid mewn gwirionedd; *ac a ddaethant allan o ddyfroedd Juda*—o lwyth Juda, fel planhigion yn tarddu allan o dir dyfradwy: *y rhai a dyngant i enw yr Arglwydd*—neu a broffesant eu bod yn bobl iddo ef; *ac a goffânt am Dduw Israel*—yn eu gweddiau a'u mawl; *nid mewn gwirionedd, nac mewn cyfiawnder*—nid yn bur a diragrith, gan fod â'u buchedd yn cyfateb i'w proffes.

Adn. 2. *Canys hwy a'u galwant eu hunain o'r ddinas santaidd*] Yn ddinasyddion Jerusalem, lle yr oedd cysegr ac addoliad Duw; *ac a bwysant ar Dduw Israel*—mewn proffes allanol, neu mewn hyder rhyfygus, gan ddysgwyl y cadwai Duw hwynt am eu bod yn Israeliaid yn ol y cnawd; *enw yr hwn yw Arglwydd y lluoedd*—ac o ganlyniad a ddichon waredu y rhai oll a ymbwysant arno mewn gwirionedd.

Adn. 3. *Y pethau gynt a fynegais er y pryd hyny*] Sef y pethau a ragfynegasai efe yn nechre y llyfr hwn am ymosodiadau brenhinoedd Syria ac Israel, pen. vii, ac am Senacherib, pen. x, a'r cyffelyb bethau: *mi a'u gwnaethym yn ddisymwth*—pryd nad oeddych chwi yn eu dysgwyl; *daethant i ben*—yn gywir yn ol fy rhagfynegiad i am danynt. Y meddwl yw, fod hyny yn profi ei Dduwdod ef, yn nghyda'i hollwybodaeth a'i hollalluogrwydd; ac, o ganlyniad, y dylasent hwythau ymddiried ynddo ef, a'i wasanaethu yn fwy diragrith.

Adn. 4. *O herwydd im' wybod dy fod di yn galed*] Yn gyndyn ac annghrediniol; *a'th war fel gieuyn haiarn*—yn anhyblyg neu anufydd; *a'th dalcen yn bres*—dy fod yn hyf, digywilydd, ac ystyfnig:—

Adn. 5. *Mi a'i mynegais i ti er y pryd hyny, &c*] Sef cyn eu dyfod i ben, fel y byddai yn amlwg i ti mai effaith fy nghynghor i oeddynt, ac nid gwaith dy eilunod a'th ddelwau dy hun.

Adn. 6. *Ti a glywaist*] Fy rhagfynegiadau i o'r pethau hyny; *gwel hyn oll*—wedi eu cyflawni yn ol y rhagfynegiadau hyny. *Ac oni fynegwch chwithau ef?*—onid ydych chwi eich hunain yn rhwym o gydnabod gwirionedd yr hyn yr wyf yn ei ddywedyd? *Adroddais it' bethau newyddion o'r pryd hyn*—y rhai a wrthgyferbynir yma â'r 'pethau gynt' yn adn. 3; sef 'pethau newyddion' am gyfodiad Cyrus, dinystr Babilon, a'u gwaredigaeth hwythau o'u caethiwed yno; *a phethau cuddiedig, y rhai ni wyddit oddiwrthynt*—y rhai nis gellit eu gwybod heb i mi fy hun eu traethu.

Adn. 7. *Yn awr y crewyd hwynt*] Neu y *datguddiwyd* hwynt, fel y datguddir pethau trwy eu creu; *ac nid er y dechread*—pryd y datguddiwyd y pethau ereill i ti: *cyn y dydd*—sef 'cyn y dydd *hwn*,' fel y mae rhai yn ei ddeall; *ni chlywaist son am danynt*—sef am y 'pethau newyddion' uchod, adn. 6; *rhag dywedyd o honot*—yn malchder dy galon, *Wele gwyddwn hwynt*—trwy fy synwyr fy hun, neu trwy gymhorth fy eilunod.

Adn. 8. *Ie, nis clywsit, ac nis gwyddit chwaith*] Am dy gaethgludiad i Babilon, a'th waredigaeth yn mhen 70 mlynedd oddiyno; *nid agoresid dy glust y pryd hyny*—i glywed am danynt. *Canys gwyddwn y byddit lwyr anffyddlon*—ac felly nad oedd wiw eu mynegu i ti y pryd hyny; *a'th alw o'r groth yn droseddwr*—sef o ddechread dy fodaeth genedlaethol. Gan y gwyddai Duw am duedd fore y genedl i fod yn anffyddlon i'w gyfammod, ac i droseddu ei gyfraith, ni thybiodd ef yn addas fynegu iddynt am eu caethgludiad i Babilon, a'u gwaredigaeth ddylynol oddiyno, hyd yn awr trwy y proffwyd Esay; er iddo ragfynegu pethau ereill iddynt trwy broffwydi ereill, yn gystal a thrwy Esay, y rhai oeddynt

byddit lwyr anffyddlon, a'th alw
o'r groth yn droseddwr.
9 ¶ Er mwyn fy enw yr oedaf fy
llid, ac *er* fy mawl yr ymattaliaf
oddiwrthyt, rhag dy ddyfetha.
10 Wele, myfi a'th burais, ond
nid fel arian; dewisais di mewn
pair cystudd.
11 Er fy mwyn fy hun, er fy
mwyn fy hun, y gwnaf *hyn;* canys
pa fodd yr halogid *fy enw?* ac ni
roddaf fy ngogoniant i arall.
12 ¶ Gwrandaw arnaf fi, Jacob
ac Israel, yr hwn a elwais: myfi
*yw;* myfi *yw* y cyntaf, a mi *yw* y
diweddaf.
13 Fy llaw i hefyd a seiliodd y
ddaear, a'm deheulaw i a rychwant-
odd y nefoedd: *pan* alwyf fi arnynt,
hwy a gydsafant.
14 Ymgesglwch oll, a gwrand-
ewch; pwy o honynt hwy a fyneg-
odd hyn? Yr Arglwydd a'i hoffodd:
efe a wna ei ewyllys ar Babilon, a'i
fraich *a fydd ar* y Caldeaid.
15 Myfi, myfi a leferais, ac a'i
gelwais ef: dysgais ef, ac efe a
lwydda ei ffordd ef.
16 ¶ Nesewch ataf, gwrandewch
hyn; ni leferais o'r cyntaf yn ddir-
gel; er y pryd y mae hyny yr *ydwyf*
finau yno: ac yn awr yr Arglwydd

---

yn awr wedi cael eu cyflawni iddynt. Yr oedd yn ddigon buan i son am y pethau hyn *yn awr*, gan fod eto gant neu ddau o flynyddoedd cyn y cyflawnid hwy.

Adn. 9. *Er mwyn fy enw yr oedaf fy llid*] Rhag eich gyru yn awr i gaethiwed; *ac er fy mawl yr ymattaliaf oddiwrthyt rhag dy ddyfetha*—ar ol i chwi gael eich caethiwo. Gellir ystyried y geiriau hyn fel atebiad i wrthddadl. 'Os yw pechodau yr Iuddewon mor fawr fel ag i alw am y farn drom hon, paham na oddefer iddynt barhau dani nes eu dyfetha?' Yr ateb yw, 'Nid er eu mwyn hwy yr wyf yn ymddwyn fel hyn, ond er mwyn fy enw a'm mawl fy hun;' hyny yw, i amddiffyn fy hawliau fy hun, adn. 11; neu i ddangos fy ffyddlondeb i'm cyfammod fy hun, ac i'r addewidion a wnaethym i'w tadau hwynt; ac i ddadlenu fy naioni, fy nhrugaredd, a'm parodrwydd i faddeu, fel y moliennid fy enw gan fy holl greaduriaid.

Adn. 10. *Wele, myfi a'th burais*] A'th roddais yn y ffwrn, nid i'th ddyfetha, eithr i'th buro. *Ond nid fel arian*—nid wyt mor bur ag arian; neu, nid gyda'r fath wres angherddol ag a ofynir i buro arian, yr hwn a fuasai yn dy lwyr ysu di. Dywedir fod arian yn dra anhawdd i'w doddi a'i buro, a'i fod yn gofyn llawer mwy o dân nag aur a metteloedd ereill. *Dewisais di*—neu, fel y mae *Lowth* ac ereill, ac un ysgriflyfr *Hebreig*, yn nghyda'r *Syriaeg* a'r *Galdeaeg*, yn ei ddarllen, '*profais* di;' *mewn pair cystudd*—sef yn nghaethiwed blin Babilon.

Adn. 11. *Er fy mwyn fy hun*] Er mwyn fy ngogoniant fy hun; *y gwnaf hyn*—y'th anfonaf di i Babilon, ac y cadwaf di yno rhag dy ddyfetha. *Canys pa fodd yr halogid fy enw*—trwy eich eilunaddoliaeth chwi, pe na byddai i mi eich cospi fel hyn? neu pa fodd yr halogid ef trwy gabledd fy ngelynion, pe na waredwn chwi eilwaith oddiyno? *Ac ni roddaf fy ngogoniant i arall*—sef i'r duwiau gau, y rhai yr ydych chwi mor dueddol i'w haddoli. Fel hyn bu caethiwed yr Iuddewon yn Babilon yn foddion effeithiol i'w gwaredu hwy am byth, fel cenedl, rhag y pechod ffiaidd o eilunaddoliaeth; a bu eu gwaredigaeth hwy oddiyno yn brawf eglur i'r cenhedloedd o allu Duw, ac o'i ffyddlondeb ef i gyflawni ei holl addewidion.

Adn. 12. *Gwrandaw arnaf fi, Jacob ac Israel, yr hwn a elwais*] I fod yn bobl neillduol i mi fy hun; ac am hyny dylech chwi yn anad neb wrandaw arnaf fi, a bod yn ffyddlon yn fy ngwasanaeth. *Myfi yw*—yr unig wir Dduw; *myfi yw y cyntaf, &c.*—yr 'Alpha a'r Omega:' gwel ar pen. xli. 4, a xliv. 6.

Adn. 13. *Fy llaw i hefyd a seiliodd y ddaear*] A greodd y ddaear yn y dechre, ac sydd yn ei chynal hi o hyd yn nghanol yr eangder mawr; *a'm deheulaw i a rychwantodd y nefoedd*—a'i mesurodd â rhychwant, pen. xl. 12. *Pan alwyf fi arnynt*—ar y ddaear a'r nefoedd, neu ar yr haul a'r lloer a'r ser; *hwy a gydsafant*—a ufyddhant yn y fan i'm gorchymyn. Amcan y geiriau hyn yw dangos mawredd Duw, a'i allu i waredu ei bobl, yn nghyda'r teilyngdod sydd ynddo i gael ei wasanaethu ac ymddiried ynddo gan bawb.

Adn. 14. *Ymgesglwch oll, a gwrandewch*] Hyn a ddywedir wrth yr Iuddewon yn Babilon. *Pwy o honynt hwy a fynegodd hyn*—am Cyrus a'i fuddugoliaethau? Pwy o'r duwiau a addolech chwi gynt, neu o'r astronomyddion a'r swynwyr ag sydd o'ch amgylch yn Babilon? gwel ar pen. xlvii. 13. *Yr Arglwydd a'i hoffodd*—a hoffodd Cyrus: *efe a wna ei ewyllys ar Babilon*—sef ewyllys Duw yn ei dinystr hi, ac yn eich gwaredigaeth chwithau allan o honi; *a'i fraich a fydd ar y Caldeaid*—i'w darostwng a'u dryllio hwy.

Adn. 15. *Myfi, myfi a leferais*] Y pethau hyn am Cyrus yn mlaenllaw; *ac a'i gelwais ef*—i'w cyflawni: *dysgais ef*—i'r byd, neu i Babilon at y gwaith hwn; *ac efe a lwydda ei ffordd ef*—efe a lefara yma am dano ei hun yn y trydydd person, fel y gwna yn fynych. Yr ystyr yw, *myfi* yr Arglwydd a'i llwyddaf ef yn ei holl weithredoedd.

Adn. 16. *Nesewch ataf*] Fel y galloch wrandaw yn well ar yr hyn a draethwyf. Ymddengys mai y proffwyd sydd yn llefaru yma yn ei enw ei hun. *Ni leferais o'r cyntaf yn*

Dduw a'i Ysbryd a'm hanfonodd.
17 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
dy Waredydd, Sant Israel; Myfi
*yw* yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn
wyf yn dy ddysgu di i wellâu, gan
dy arwain yn y ffordd y dylit rodio.
18 O na wrandewsit ar fy ngor-
chymynion! yna y buasai dy hedd-
wch fel afon, a'th gyfiawnder fel
tònau y môr:
19 A buasai dy had fel y tywod,
ac epil dy gorff fel ei raian ef: ni
thoresid, ac ni ddinystriesid ei enw
oddi ger fy mron.
20 ¶ Ewch allan o Babilon, ffowch
oddiwrth y Caldeaid, â llef gorfol-
edd mynegwch *ac* adroddwch hyn,
traethwch ef hyd eithafoedd y
ddaear; dywedwch, Gwaredodd yr
Arglwydd ei was Jacob.
21 Ac ni sychedasant *pan* ar-
weiniodd hwynt yn yr anialwch:
gwnaeth i ddwfr bistyllio iddynt o'r
graig: holltodd y graig hefyd, a'r
dwfr a ddylifodd.
22 Nid *oes* heddwch, medd yr
Arglwydd, i'r rhai annuwiol.

---

*ddirgel*—yn dywyll neu aneglur am Cyrus a'i weithredoedd. *Er y pryd y mae hyny*—ar droed, *yr ydwyf finau yno*—yn barod i'w ragfynegu yn eglur. *Ac yn awr yr Arglwydd Dduw a'i Ysbryd a'm hanfonodd*—i'w gyhoeddi i chwi. Nid wyf yn llefaru y pethau hyn o honof fy hun, ond anfonwyd fi gan yr Arglwydd i'w traethu i chwi, a hyny trwy ysbrydoliaeth ei Ysbryd ef. Tybiodd rhai mai y Messia sydd yn llefaru yma, a bod yr adnod hon yn brawf o athrawiaeth y Drindod; ond nid ymddengys i mi fod sail ddigonol i feddwl hyny.

Adn. 17. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd dy Waredydd, Sant Israel*] Gwel ar pen. xli. 14; *Myfi yw yr Arglwydd dy Dduw*—sef dy Dduw cyfammodol; *yr hwn wyf yn dy ddysgu di i wellâu*—mewn calon a buchedd, a hyny trwy fy Ysbryd, fy ngair, a'm rhagluniaeth; *gan dy arwain yn y ffordd y dylit rodio*—fel ag i gael gorphwysdra i'th enaid, Jer. vi. 16.

Adn. 18. *O na wrandewsit ar fy ngorchymynion*] Gan ufyddhau iddynt, yn lle eu hesgeuluso a'u diystyru fel y gwnaethost! *Yna y buasai dy heddwch fel afon*—yn dylifo yn hyfryd, llawn, a pharhaus; *a'th gyfiawnder fel tònau y môr*—yn helaeth a diderfyn. Y meddwl yw, y cawsent hwy felly bob llawnder o fendithion tymhorol ac ysbrydol. 'Ond os oedd Duw am iddynt wrandaw ar ei orchymynion ef mewn gwirionedd, paham na wnaethai efe iddynt wneyd hyny?' Gwel atebiad i'r gofyniad hwn yn y sylw ar Deut. v. 29.

Adn. 19. *A buasai dy had fel y tywod*] Megys yr addewais i Abraham, Gen. xxii. 17; *ac epil dy gorff fel ei raian ef*—yn aneirif, yn lle bod fel hyn yn ochain mewn caethiwed, ar ol dy leihau trwy ryfel a barnau difaol ereill. Ond yn lle 'fel ei *raian* ef,' y wreiddiol yw, 'fel ei *ymysgaroedd* ef;' hyny yw, fel y pysg a'r creaduriaid ereill a heigir yn y môr. *Ni thoresid ac ni ddinystriesid ei enw oddi ger fy mron*—o wlad Judea a Jerusalem, lle yr oedd trigfa fy mhresenoldeb gogoneddus.

Adn. 20. *Ewch allan o Babilon*] Er nad aeth yr Iuddewon i Babilon hyd oddeutu 150 o flynyddoedd wedi hyn, eto geilw yr Arglwydd arnynt i fyned allan oddiyno, fel pe buasent yno eisioes, ac fel pe buasai amser eu gwaredigaeth wedi gwawrio; canys nid yw mil o flynyddoedd ond megys un dydd gydag ef, 2 Pedr iii. 8. Ond fe allai y dylid edrych ar y geiriau hyn yn fwy fel addewid nag fel gorchymyn; neu yn hytrach fel awgrymiad mai eu dyledswydd hwy oll oedd myned allan, yn gystal ag addewid y dygid hwynt allan. *Ffowch oddiwrth y Caldeaid*—gyda'r prysurdeb mwyaf. *A llef gorfoledd mynegwch ac adroddwch hyn*—sef â gorfoledd santaidd, ac â diolchgarwch i Dduw. *Traethwch ef hyd eithafoedd y ddaear*—fel y clywo pawb am weithredoedd rhyfedd Duw ar eich rhan. *Dywedwch*—wrth bawb a weloch, *Gwaredodd yr Arglwydd ei was Jacob*—o gaethiwed blin Babilon, megys ag yr addawsai efe.

Adn. 21. *Ac ni sychedasant pan arweiniodd hwynt yn yr anialwch*] Gynt, pan ar eu ffordd o'r Aifft i Ganaan: *gwnaeth i ddwfr bistyllio iddynt o'r graig, &c.*—fel yr adroddir yn Exod. xvii. 6, a Num. xx. 11. Ac fel y gofalodd Duw am Israel y pryd hyny, y gofala efe eto am eu had hwynt y pryd hyn, os byddai raid, ar eu taith o Babilon i Jerusalem. Nid ydym yn sicr i ddwfr bistyllio iddynt yn llythyrenol o unrhyw graig y pryd hyn; eithr y meddwl yw, y caent bob cynaliaeth angenrheidiol ar eu taith o Babilon i Jerusalem, fel y cawsai eu tadau ar eu taith o'r Aifft i Ganaan: gwel ar pen. xli. 17, 18.

Adn. 22. *Nid oes heddwch, medd yr Arglwydd*] Dim heddwch cydwybod, neu heddwch â Duw; dim tawelwch gwirioneddol a pharhaus, na gobaith am iachawdwriaeth dragwyddol; *i'r rhai annuwiol*—am nad ydynt yn ei geisio *pan* y mae i'w gael, sef yn nydd gras; na *lle* y mae i'w gael, sef yn ffyrdd crefydd; nac yn y *modd* y mae i'w gael, sef trwy ffydd. Ni chânt heddwch mewn bywyd, yn angau, na thudraw i'r bedd; ond, i'r gwrthwyneb, cânt ing a dychryn, melldith a gwae! Tybia rhai mai y Caldeaid a feddylir yma wrth y 'rhai annuwiol;' ond y mae yn debycach mai yr Iuddewon annuwiol a olygir, y rhai a arhosent yn Babilon yn groes i ewyllys Duw, ar ol iddo ef orchymyn iddynt fyned allan; neu ynte y rhai a barhäent yn annuwiol ar ol dychwelyd oddiyno. Ac y mae hyn yn wir eto am bob dyn annuwiol ac anghrediniol.

## PENNOD XLIX.

GWRANDEWCH arnaf, ynys-
oedd; ac ystyriwch, bobl o bell;
Yr Arglwydd a'm galwodd o'r
groth; o ymysgaroedd fy mam y
gwnaeth goffa am fy enw.
2 Gosododd hefyd fy ngenau fel
cleddyf llym, yn nghysgod ei law
y'm cuddiodd; a gwnaeth fi yn
saeth loyw, cuddiodd fi yn ei gawell
saethau;
3 Ac a ddywedodd wrthyf, Fy
ngwas i *ydwyt* ti, Israel, yr hwn yr
ymogoneddaf ynot.
4 Minau a ddywedais, Yn ofer y
llafuriais, yn ofer ac am ddim y
treuliais fy nerth; er hyny *y mae*
fy marn gyda'r Arglwydd, a'm
gwaith gyda'm Duw.
5 ¶ Ac yn awr, medd yr Ar-
glwydd, yr hwn a'm lluniodd o'r
groth yn was iddo, i ddychwelyd
Jacob ato ef, Er nad ymgasglodd
Israel, eto gogoneddus fyddaf fi yn
ngolwg yr Arglwydd, a'm Duw
fydd fy nerth.
6 Ac efe a ddywedodd, Gwael
yw dy fod yn was i mi, i gyfodi
llwythau Jacob, ac i adferu rhai
cadwedig Israel: mi a'th roddaf
hefyd yn oleuni i'r Cenhedloedd,
fel y byddych yn iachawdwriaeth i
mi hyd eithaf y ddaear.

---

PEN. XLIX. Adn. 1. *Gwrandewch arnaf, ynysoedd; ac ystyriwch, bobl o bell*] Wrth yr 'ynysoedd' hyn, a'r 'bobl o bell,' y meddylir y *Cenhedloedd*, y rhai oeddynt yn byw yn bell o Judea, unig le addoliad Duw, a'i bresenoldeb neillduol ef yn ei gysegr. Y person a'u cyfarcha hwynt yma yw y MESSIA, fel yr ymddengys yn eglur oddiwrth adn. 6, a rhanau ereill o'r bennod hon. Os gellir cymhwyso y gweddnod a ddanghosir yma mewn un modd at y proffwyd Esay, fel y myn rhai; 'eto, mewn rhai rhanau,' fel y sylwa yr *Esgob Lowth* yn briodol, 'rhaid ei fod yn perthyn yn neillduol i Grist, ac iddo ef yn mhob rhan mewn ystyr llawer llawnach a mwy priodol.' Ar ol i Dduw awgrymu trwy ei broffwyd yn niwedd y bennod flaenorol, y byddai i lawer o'r Iuddewon barhau yn annuwiol, a chael eu gwrthod am eu hannghrediniaeth, y mae y Messia yma yn cyfarch y Cenhedloedd, ac yn eu gwahodd hwy i wrandaw ar ei athrawiaethau, y rhai y gwelai efe y byddai i'r Iuddewon eu gwrthod. *Yr Arglwydd a'm galwodd o'r groth*—ïe, er tragwyddoldeb, i'm swydd gyfryngol. Y mae y pwys i'w osod yma ar y *ffaith* ei fod wedi ei alw, ac nid ar yr *amser* penodol pryd y gwnaed hyny. Y meddwl yw, nad oedd ef wedi cymeryd y swydd hon iddo ei hun, nac wedi dechreu arni heb gael ei benodi iddi, ond ei fod wedi cael ei neillduo iddi cyn ei eni. *O ymysgaroedd fy mam y gwnaeth goffa am fy enw*—meddylir fod hyn yn cyfeirio at roddiad yr enw IESU iddo cyn ei eni, Mat. i. 21, Luc i. 31. Y mae y Gwaredwr yma yn llefaru am dano ei hun fel wedi ei eni eisioes, ac wedi cael ei wrthod gan yr Iuddewon; ac yna yn troi at y Cenhedloedd, i gynyg iachawdwriaeth iddynt hwy trwy ei apostolion.

Adn. 2. *Gosododd hefyd fy ngenau fel cleddyf llym*] Efe a gyfeiria yma at nerth ei eiriau neu ei athrawiaethau, y rhai oeddynt 'lymach nag un cleddyf dau-finiog:' gwel ar Heb. iv. 12. *Yn nghysgod ei law y'm cuddiodd*—rhag llid fy ngelynion, nes i mi orphen fy ngwaith. *A gwnaeth fi yn saeth loyw*—i dreiddio yn ddyfnach i feddyliau a chalonau dynion trwy fy ngweinidogaeth; *cuddiodd fi yn ei gawell saethau*—i'm defnyddio mewn amser cyfaddas i chwilfriwio teyrnas Satan.

Adn. 3. *Ac a ddywedodd wrthyf, Fy ngwas i*] Nid yn unig fy *Mab* o ran natur, ond fy *ngwas* hefyd o ran swydd; *ydwyt ti, Israel*—fel y mae yr enw *Crist*, y pen, yn cael ei roddi weithiau i'w gorff ef yr eglwys, 1 Cor. xii. 12; felly y mae yr enw *Israel*, y corff, yr hwn a berthyn yn briodol i'r eglwys, yn cael ei roddi yma i'w phen mawr hi: *yr hwn yr ymogoneddaf ynot*—yn dy berson a'th waith. Ond gellir cyfieithu y geiriau, 'Fy ngwas i ydwyt ti *at* Israel,' i'w dwyn yn ol ataf fi, oddiwrth yr hwn yr enciliasant; neu, 'Israel yw yr hwn yr ymogoneddaf ynddo trwyot ti.'

Adn. 4. *Minau a ddywedais*] Mewn atebiad i'r geiriau uchod o eiddo y Tad; *Yn ofer y llafuriais*—fel dy was di yn mhlith y bobl hyn; *yn ofer ac am ddim y treuliais fy nerth*—heb weled ond ychydig o ffrwyth fy llafur. *Er hyny y mae fy marn gyda'r Arglwydd*—efe a'm barna i yn ffyddlon yn fy ngwaith; *a'm gwaith gyda'm Duw*—sef gwobr fy ngwaith, yr hwn a wobrwya fy ymdrech a'm ffyddlondeb i, yn gystal a'm llwyddiant.

Adn. 5. *Ac yn awr, medd yr Arglwydd*] Mewn atebiad i'r hyn a ddywedwyd uchod, yr hwn atebiad a geir yn adn. 6. *Yr hwn a'm lluniodd o'r groth yn was iddo*—gwel ar adn. 1; *i ddychwelyd Jacob ato ef*—i gyflwr o iachawdwriaeth ysbrydol trwy yr efengyl. *Er nad ymgasglodd Israel*—er na ddychwelwyd hwynt fel cenedl trwy fy ngweinidogaeth i, yr hyn oedd bwriad y Tad wrth fy ngosod yn fy swydd. Y rhai hyn ydynt eiriau Crist, ac nid geiriau ei Dad. *Eto gogoneddus fyddaf fi yn ngolwg yr Arglwydd*—fel un a wnaeth ei oraf i'w casglu hwynt; *a'm Duw fydd fy nerth*—i'm cynal yn ngwyneb y digalondid hwn, a'r aflwyddiant yma gydag Israel.

Adn. 6. *Ac efe a ddywedodd*] Sef y Tad, mewn atebiad i eiriau Crist yn adn. 4; *Gwael yw dy fod yn was i mi i gyfodi llwythau Jacob*—nid yw hyny ond peth bychan mewn cymhariaeth i'r oll o'th waith; *ac i adferu*

7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Gwaredydd Israel, *a'i* Sant, wrth
y dirmygedig o enaid, wrth yr hwn
sydd ffiaidd gan y genedl, wrth was
llywodraethwyr; Brenhinoedd a
welant, ac a gyfodant; tywysogion
hefyd a ymgrymant, er mwyn yr
Arglwydd, yr hwn sydd ffyddlon,
Sant Israel, ac efe a'th ddewisodd di.
8 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Mewn amser boddlongar y'th wran-
dewais, ac yn nydd iachawdwriaeth
y'th gynorthwyais; a mi a'th gadw-
af, ac a'th roddaf yn gyfammod y
bobl, i sicrhau y ddaear, i beri eti-
feddu yr etifeddiaethau annghyf-
aneddol;
9 Fel y dywedych wrth y carch-
arorion, Ewch allan; wrth y rhai
*sydd* mewn tywyllwch, Ymddang-
hoswch. Ar y ffyrdd y porant, ac
yn yr holl uchel-fanau *y bydd* eu
porfa hwynt.
10 Ni newynant, ac ni sychedant;
ac nis tery gwres na haul hwynt: o
herwydd yr hwn a dosturia wrthynt
a'u tywys, ac a'u harwain wrth y
ffynnonau dyfroedd.

---

*rhai cadwedig Israel*—sef y gweddill diangol o honynt, y rhai a gadwyd heb eu dyfetha yn amser eu gwasgfeuon oddiwrth yr Assyriaid, y Caldeaid, a'r Rhufeiniaid. *Mi a'th osodaf hefyd yn oleuni i'r Cenhedloedd*—yn gystal ag i'r Iuddewon, Luc ii. 32; *fel y byddych yn iachawdwriaeth i mi*—yn gyfrwng fy iachawdwriaeth i, neu yn achos haeddiannol o honi; *hyd eithaf y ddaear*—yn mhlith Iuddewon a Chenhedloedd, barbariaid a Scythiaid, caeth a rhydd, trwy yr holl fyd. Fel hyn, 'efe a wnaethpwyd yn Awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a *ufyddhant* iddo,' Heb. v. 9. Nis gellir cymhwyso y geiriau hyn mewn un modd at *Esay* nac at *Cyrus;* ond yn NGHRIST hwy a gyflawnwyd yn llythyrenol a pherffaith.

Adn. 7. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Gwaredydd Israel, a'i Sant*] Gwel ar pen. xli. 14; *wrth y dirmygedig o enaid*—sef wrth Grist, yr hwn a ddirmygid ac a ffieiddid gan yr Iuddewon fel cenedl, pen. liii. 3; *wrth was llywodraethwyr*—felly y gelwir Crist, am ei fod yn arferol o ufyddhau i'r llywodraethwyr gwladol, ac yn talu teyrnged iddynt, heb osod i fyny frenhiniaeth ddaearol o'i eiddo ei hun yn wrthwyneb iddynt; neu ynte am iddynt ei drin ef fel *caethwas*, gan ei anmharchu a'i groeshoelio. *Brenhinoedd a welant, ac a gyfodant*—fel pe dywedasai, Er y byddi ar y cyntaf yn ddirmygedig, eto dyrchefir di yn y man i'r fath anrhydedd, fel y gwel hyd yn nod brenhinoedd dy ogoniant, ac y cyfodant oddiar eu gorseddau i'th barchu a'th anrhydeddu: *tywysogion hefyd a ymgrymant*—ger dy fron, *er mwyn yr Arglwydd*—yr hwn a fu yn ffyddlon yn ei gyflawniad o'i addewidion i ti; *Sant Israel*—sef y Bôd santaidd a addolid gan Israel; *ac efe a'th ddewisodd di*—i'r gwaith goruchel a nodwyd yn adn. 6. Fel hyn, yn lle bod yn ddirmygedig gan wehilion y bobl, daw yr amser pryd yr anrhydeddir Crist gan holl frenhinoedd a thywysogion y ddaear, y rhai a ymgrymant iddo eu hunain, ac a roddant eu holl ddylanwad o blaid ei achos gogoneddus ef yn y byd: gwel ar adn. 23.

Adn. 8. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yn mhellach wrth Grist; *Mewn amser boddlongar y'th wrandewais*—meddylir fod yma gyfeiriad at arferiad brenhinoedd o neillduo amserau penodol i dderbyn anerchion a deisebau gan eu deiliaid, ac i wrandaw ar eu cais; *ac yn nydd iachawdwriaeth*—sef yn nyddiau ei gnawd, yn cynwys hefyd ddyddiau gras yr efengyl; *y'th gynorthwyais*—i fyned trwy waith pwysig yr iachawdwriaeth: gwel ar 2 Cor. vi. 2. *A mi a'th gadwaf*—a'th gynorthwyaf yn barhaus, nes y byddi wedi gosod i lawr sail berffaith i iachawdwriaeth y byd; *ac a'th roddaf yn gyfammod y bobl*—yn Gyfryngwr y cyfammod newydd rhyngof fi a dynion; *i sicrhau y ddaear*—mewn cyfiawnder a gwir santeiddrwydd; neu i sicrhau eglwys i mi ar y ddaear, yr hyn a fydd yn sicrhad a diogelwch i'r ddaear hefyd er ei mwyn hi; *i beri etifeddu yr etifeddiaethau annghyfaneddol*—y rhai a wnaed felly trwy wrthryfel ysbrydol trigolion y ddaear. Y meddwl yw, y byddai effeithiau moesol yr efengyl yn y byd yn debyg i adferiad dinasoedd, maesydd, a gwinllanoedd, ar ol iddynt gael eu dryllio a'u sathru mewn rhyfel, ac i'w perchenogion gael eu lladd.

Adn. 9. *Fel y dywedych wrth y carcharorion*] Y rhai sydd yn gaeth gan bechod a Satan, yn gystal a chan eu nwydau a'u llygredd eu hunain; *Ewch allan*—i ryddid gogoneddus plant Duw. *Wrth y rhai sydd mewn tywyllwch*—yn ngharcharau tywyll pechod, neu yn nhywyllwch anwybodaeth a thrueni; *Ymddanghoswch*—deuwch allan i'r goleuni, i rodio yn llewyrch dysglaer Haul cyfiawnder. *Ar y ffyrdd y porant*—yma arddanghosir y Messia fel bugail yn arwain ei braidd i borfeydd gwelltog, ac at ffynnonau dyfroedd, adn. 10; *ac yn yr holl uchel-fanau y bydd eu porfa hwynt*—y meddwl yw, y caent arlwyaeth helaeth yn mhob man, hyd yn nod yn y lleoedd a ystyrid yn ddiffrwyth, megys ffyrdd cyffredin a mynyddau uchel.

Adn. 10. *Ni newynant ac ni sychedant*] Ond cânt bob arlwyaeth angenrheidiol i ddiwallu eu heisiau; *ac nis tery gwres na haul hwynt*—fel ag i'w niweidio: gwel ar Salm cxxi. 6, Dat. vii. 16, 17. *O herwydd yr hwn a dosturia wrthynt a'u tywys*—sef y 'Bugail da,' yr hwn a'u carodd mor fawr fel ag i roddi ei einioes drostynt; *ac a'u harwain wrth ffynnonau dyfroedd*—sef dyfroedd yr iachawdwriaeth, neu foddion gras ac ordinhadau yr efengyl.

11 A mi a wnaf fy holl fynydd yn
ffordd, a'm prif-ffyrdd a gyfodir.
12 Wele, y rhai hyn a ddeuant o
bell: ac wele, y rhai acw o'r gog-
ledd ac o'r gorllewin; a'r rhai yma
o dir Sinim.
13 ¶ Cenwch, nefoedd; a gorfol-
edda, ddaear; bloeddiwch ganu, y
mynyddoedd: canys yr Arglwydd
a gysurodd ei bobl, ac a drugarha
wrth ei drueiniaid.
14 Eto dywedodd Seion, Yr Ar-
glwydd a'm gwrthododd, a'm Har-
glwydd a'm hannghofiodd.
15 A annghofia gwraig ei phlent-
yn sugno, fel na thosturio wrth fab
ei chroth? ïe, hwy a allant annghof-
io, eto myfi nid annghofiaf di.
16 Wele, ar gledr *fy* nwylaw y'th
argreffais, dy furiau *sydd* ger fy
mron bob amser.
17 Dy blant a frysiant; y rhai
a'th ddinystriant ac a'th ddystryw-
iant a ânt allan o honot.
18 ¶ Dyrcha dy lygaid oddiam-
gylch, ac edrych: y rhai hyn oll a
ymgasglant, *ac* a ddeuant atat. *Fel
mai* byw fi, medd yr Arglwydd,

---

Adn. 11. *A mi a wnaf fy holl fynydd yn ffordd, &c.*] Mi a wnaf ffordd wastad a rhwydd iddynt, trwy ostwng y bryniau a chyfodi y pantiau: gwel ar pen. xl. 4. Neu, yn ol y LXX, 'Mi a wnaf bob mynydd yn ffordd, a phob llwybr yn borfa iddynt.'

Adn. 12. *Wele, y rhai hyn a ddeuant o bell*] Sef un ran o'r dychweledigion uchod i eglwys Crist; *ac wele, y rhai acw*—sef rhanau ereill o honynt, *o'r gogledd ac o'r gorllewin*—sef o eithafoedd y ddaear yn y cyfeiriadau hyny; *a'r rhai yma*—sef rhan arall o honynt, *o dir Sinim*—y mae yr holl leoedd hyn yn arwyddo yma bedwar cwr y ddaear, o'r rhai y dylifai Iuddewon a Chenhedloedd i'r eglwys Gristionogol, yn ol yr addewid a wnaed yn adn. 6, 7. Tybia *Barnes*, yn ei ail argraffiad o'i nodiadau campus ar y llyfr hwn, mai *China* a olygir yma wrth 'dir Sinim;' ac y gallai y wlad eang hòno fod yn adnabyddus i'r marsiandwyr Iuddewig yn amser y proffwyd Esay.

Adn. 13. *Cenwch, nefoedd; a gorfoledda, ddaear*] Yn yr ystyriaeth o'r gwirioneddau gogoneddus a adroddwyd uchod, sef y byddai i frenhinoedd a thywysogion ymgrymu i'r Messia, y byddai iddo ef fod yn oleuni i'r Cenhedloedd, ac y byddai i grefydd Crist ffynu yn mhedwar ban byd. *Bloeddiwch ganu, y mynyddoedd*—gwel ar pen. xliv. 23. *Canys yr Arglwydd a gysurodd ei bobl*—neu 'a'u cysura,' trwy anfon iddynt 'ddyddanwch yr Israel;' *ac a drugarha wrth ei drueiniaid*—trwy eu dwyn yn lluoedd i'w eglwys.

Adn. 14. *Eto dywedodd Seion*] Yn yr olwg ar ei chyflwr adfydus presenol; *Yr Arglwydd* (Yehovah) *a'm gwrthododd*—o fod yn bobl iddo; *a'm Harglwydd* (Adonai) *a'm hannghofiodd*—fel pe na bawn mewn bod. Ond *Yehovah* yw y gair yn y ddwy frawddeg uchod mewn amrai ysgrifllyfrau ac argraffiadau Hebreig. Wrth *Seion* yma y dealla rhai yr *eglwys Iuddewig* yn amser ei chaethiwed yn Babilon; ac ereill, yr *eglwys Gristionogol* yn ystod yr erledigaeth arni dan yr amherawdwyr Rhufeinig. Ond pa un bynag o'r ddwy a olygir, y mae Duw yn tystio y bydd iddo ei hachub hi, a dyfetha ei gorthrymwyr, adn. 25, 26.

Adn. 15. *A annghofia gwraig ei phlentyn sugno*] Yn ei wendid a'i fabandod, tra yn analluog i ofalu am dano ei hun; *fel na thosturio wrth fab ei chroth*—eithr gadael iddo lefain yn ofer am y fron, neu gael ei rwygo gan waew neu fwystfil? *Ie, hwy a allant annghofio*—o ddiffyg serch naturiol, neu mewn clefyd trwm yn dyrysu eu synwyrau, neu pan fyddo eu bywyd eu hunain mewn mwy o berygl. *Eto myfi nid annghofiaf di*—am fod fy nghariad i at fy eglwys yn gryfach na chariad mamau at eu plant.

Adn. 16. *Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais*] Tybia *Lowth* fod yma gyfeiriad at ryw arferiad cyffredin yn mhlith yr Iuddewon y pryd hyny, o wneuthur llun y ddinas neu y deml ar eu dwylaw neu eu breichiau, trwy dyllu a lliwio y croen, i ddangos eu serch a'u sel tuag ati: gwel ar pen. xliv. 5. Y mae yn dra hysbys fod y pererinion a ymwelent â'r bedd santaidd yn eu nodi eu hunain fel yma â'r hyn a alwent 'arwydd Jerusalem;' a bod yr Iuddewon crwydraidd hyd heddyw yn arferyd hyn dros yr holl fyd. Tybia *Vitringa* mai yr ystyr yw, fod Duw wedi tynu llun Jerusalem ar ei ddwylaw yn hir cyn iddo ei sylfaenu, yr un modd ag y mae yr adeiladydd yn tynu cynllun o'i adeilad cyn iddo ddechreu ei chodi; a bod y llun hwnw yn wastadol fel o flaen ei lygad ef. *Dy furiau sydd ger fy mron bob amser*—o ran eu llun, eu trwch, a'u huchder. Neu, yr oedd adfeilion ac adwyau muriau Seion, ar ol ei dinystrio, bob amser o flaen ei lygad; ac ni fyddai iddo annghofio nac esgeuluso eu hadgyweirio mewn amser cyfaddas.

Adn. 17. *Dy blant*] Y rhai sydd yn awr yn gaethion yn Babilon; *a frysiant*—adref, i adgyweirio dy furiau drachefn; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'dy *adeiladwyr* a frysiant;' yr hyn a all fod yn cyfeirio at weinidogion yr efengyl yn prysuro i adeiladu yr eglwys. *Y rhai a'th ddinystriant ac a'th ddystrywiant a ânt allan o honot*—heb allu dy aflonyddu mwy. *Lowth* a'i cyfieitha, 'A'r rhai a'th ddinystriasant a ddeuant yn *blant* i ti.' Yn ol hyn gall fod yma gyfeiriad at ddychweliad y Cenhedloedd i'r eglwys; canys y Cenhedloedd Caldeaidd a ddinystriasant y ddinas a'r deml.

Adn. 18. *Dyrcha dy lygaid oddiamgylch*] I edrych ar y tyrfaoedd sydd yn dylifo atat o bedair congl y ddaear, adn. 12. *Y rhai hyn*

diau y gwisgi hwynt oll fel hardd-
wisg, ac y rhwymi hwynt *am danat*
fel priodferch.
19 Canys dy ddiffaethwch, a'th
anialwch, a'th dir dinystriol, yn
ddiau fydd yn awr yn rhy gyfyng
gan breswylwyr; a'r rhai a'th lync-
ant a ymbellhant.
20 Plant dy ddiepiledd a ddy-
wedant eto lle y clywech, Cyfyng
yw y lle hwn i mi; dod le i mi, fel
y preswyliwyf.
21 Yna y dywedi yn dy galon,
Pwy a genhedlodd y rhai hyn i mi,
a mi yn ddiepil, ac yn unig, yn
gaeth, ac ar grwydr? a phwy a fag-
odd y rhai hyn? Wele, myfi a ad-
awyd fy hunan; o ba le *y daeth* y
rhai hyn?
22 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, Wele, cyfodaf fy llaw at y
Cenhedloedd, a dyrchafaf fy maner
at y bobloedd; a dygant dy feibion
yn *eu* mynwes, a dygir dy ferched
ar ysgwyddau.
23 Brenhinoedd hefyd fydd dy
dadmaethod, a'u brenhinesau dy
fammaethod; ymgrymant it' â'*u*
hwynebau tua'r llawr, a llyfant lwch
dy draed; a chei wybod mai myfi

---

*oll a ymgasglant, ac a ddeuant atat*—o blith y Cenhedloedd, i gydymgorffori â thi. *Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd*—gwel ar pen. xlv. 23; *diau y gwisgi hwynt oll fel hardd-wisg*—yn lle bod yn warth neu yn fagl i ti megys gynt, byddant yn anrhydedd ac yn harddwch i ti; *ac y rhwymi hwynt am danat fel priodferch*—byddant yn addurn i ti, fel tlysau neu berlau a rwymir gan briodferch am dani ei hun ar ddydd ei phriodas.

Adn. 19. *Canys dy ddiffaethwch, a'th anialwch, a'th dir dinystriol*] Cyfeirir yma at dir Judea, yr hwn a wnaed yn anialwch, ac a ddinystriwyd gan eu gelynion, yr hyn oedd yn arlun bywiog o gyflwr anrheithiedig eu heglwys; *yn ddiau fydd yn awr yn rhy gyfyng gan breswylwyr*—fydd yn rhy fychan i gynwys y dychweledigion at y gwir Dduw; neu bydd i aelodau y wir eglwys ymestyn dros holl wledydd y Cenhedloedd yn gystal a thros dir Judea, pen. liv. 1. *A'r rhai a'th lyncant*—neu a fynent dy lyncu a'th ddyfetha; *a ymbellhant*—a ânt ymaith mewn siomedigaeth a chywilydd.

Adn. 20. *Plant dy ddiepiledd*] Y rhai a enid yn Seion ar ol iddi fod yn hir yn ddiepil; neu, fel yr arwydda y Saesonaeg, 'y plant a gai ar ol iddi golli y lleill,' sef ar ol iddi eu colli trwy eu gwrthgiliad, neu trwy erledigaeth a merthyrdod; *a ddywedant eto lle y clywech*—Saes., 'yn dy glustiau;' *Cyfyng yw y lle hwn i mi*—nid oes yma ddigon o le i ni oll, gan mor lluosog ydym: *dod le i mi, fel y preswyliwyf*—hyny yw, eanger ein terfynau. Cyflawnwyd hyn mewn rhan pan bregethwyd yr efengyl gan yr apostolion i'r Cenhedloedd, ac fe'i cyflawnir yn fwy eto pan ddychwelir yr holl fyd at Grist.

Adn. 21. *Yna y dywedi yn dy galon*] Gyda syndod ac hyfrydwch; *Pwy a genhedlodd y rhai hyn i mi, a mi yn ddiepil*—a minau yn ddiweddar wedi colli fy mhlant; *ac yn unig*—wedi colli fy ngŵr, pen. liv. 1; *yn gaeth*—yn Babilon; *ac ar grwydr*—mewn gwlad ddyeithr a phellenig? *A phwy a fagodd y rhai hyn?*—ail ofynir yr un peth, i ddangos mawredd y wyrth rasol, a syndod a llawenydd Seion o'r herwydd. *Wele, myfi a adawyd fy hunan*—fel pe buaswn heb briod na phlant: *o ba le y daeth y rhai hyn?*—y mae y gyffelybiaeth yma yn dra phrydferth. Arddengys fam wedi cael ei hamddifadu ar unwaith o'i phriod a'i phlant, a'i chymeryd ymaith yn gaethes o'i gwlad ei hun: ond yn ddisymwth y mae yn ei chael ei hun wedi ei hadferu i'w gwlad, a'i hamgylchu â theulu dedwydd, a'r rhai hyny yn llawer lluosocach na'r lleill; a gofyna mewn syndod, o ba le y daethent oll! Y mae yn amlwg mai at ddychweliad y Cenhedloedd i eglwys Crist y cyfeirir yma yn benaf.

Adn. 22. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Mewn ffordd o gadarnhad i'r hyn a ddywedwyd uchod; *Wele, cyfodaf fy llaw at y Cenhedloedd*—i'w gwahodd i fwynhau breintiau ysbrydol y wir eglwys; *a dyrchafaf fy maner at y bobloedd*—fel y gwna cadfridogion milwraidd i gynull eu byddinoedd yn nghyd, pen. xi. 12. *A dygant dy feibion yn eu mynwes*—hyn a ddywedir am y Cenhedloedd yn dwyn eu plant i eglwys Crist; *a dygir dy ferched ar ysgwyddau*—tybia rhai fod y ddwy frawddeg uchod yn cyfeirio at weinidogion yr efengyl yn dwyn y dychweledigion i'r eglwys gyda'r tynerwch mwyaf. Ond y mae yn debycach mai cyfeiriad sydd yma at y modd yr arferai y cenhedloedd gario eu plant ieuangaf i'w gŵyliau paganaidd wrth y miloedd; ac addewid y byddai iddynt, yn yr amser ag y cyfeirir ato yma, gario eu plant i'w cyflwyno i eglwys Crist, ac nid i wasanaethu eu heilunod fel o'r blaen.

Adn. 23. *Brenhinoedd hefyd fydd dy dadmaethod, a'u brenhinesau dy fammaethod*] I fagu a maethu yr eglwys Gristionogol, i'w hamddiffyn trwy eu cyfreithiau, ac i'w lledaenu trwy eu dylanwad, eu cyfoeth, a'u sel. Nid yn unig byddant yn *aelodau* ynddi eu hunain, ond byddant yn *dadmaethod* ynddi, yn ymdrechu â'u holl egni i wylio drosti, i eangu ei therfynau, i amddiffyn ei hawliau, ac i'w meithrin a'i haddysgu, fel y gwna mam neu fammaeth â phlant ei gofal. Y mae yn sicr fod cymaint a hyn yn cael ei gynwys yn yr addewid uchod. 'Nid oes angen dywedyd,' fel y sylwa *Barnes*, 'fod hyn wedi cael ei gyflawni eisioes i fesur helaeth, a bod amrai dywysogion a brenhinoedd wedi bod yn noddwyr i'r eglwys, er ei fod yn ddiamau wedi ei arfaethu i gyflawniad helaethach fyth yn

*yw* yr Arglwydd : canys ni chywilyddir y rhai a ddysgwyliant wrthyf fi.

24 ¶ A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn? neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?

25 Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ie, carcharorion y cadarn a ddygir, ac anrhaith y creulon a ddianc: canys myfi a ymrysonaf â'th ymrysonydd, a myfi a achubaf dy feibion.

26 Gwnaf hefyd i'th orthrymwyr fwyta eu cig eu hunain, ac ar eu gwaed eu hun y meddwant fel ar win melys; a gwybydd pob cnawd mai myfi yr Arglwydd *yw* dy Achubydd, a'th gadarn Waredydd di, Jacob.

## PENNOD L.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd, Pa le *y mae* llythyr ysgar eich mam, *trwy* yr hwn y gollyngais hi ymaith? neu pwy o'm dyledwyr y gwerthais chwi iddo? Wele, am eich anwireddau yr ymwerthasoch, ac am eich camweddau y gollyngwyd ymaith eich mam.

---

nyddiau goleuach hanesiaeth y byd hwn, pan yr ymledaena yr efengyl i bob lle.' Ac efe a chwanega, 'Y mae yn hynod fod y grefydd Gristionogol, yn Ynysoedd Sandwich a Môr-y-deau, wedi cael ei chymeryd bron yn gyffredinol dan nawdd y brenhinoedd a'r penaethiaid er pan y dygwyd hi yno gyntaf, a'i bod wedi cael ei dwyn yn mlaen a'i lledaenu dan eu hawdurdod uniongyrchiol hwy.' *Ymgrymant it' â'u hwynebau tua'r llawr*—hwy a'th barchant ac a'th anrhydeddant yn y modd mwyaf gostyngedig; *a llyfant lwch dy draed*—ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth arferiad y dwyreinwyr pan yn nesâu i wyddfod eu huwchraddolion, y rhai a ymgrymant mor isel fel ag i gyffwrdd â'r llawr a'i gusanu. *A chei wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—yn llaw yr hwn y mae calonau brenhinoedd a phendefigion y ddaear, i'w darostwng a'u gwneyd yn wasanaethgar i'm heglwys ar y ddaear. *Canys ni chywilyddir y rhai a ddysgwyliant wrthyf fi*—ni siomir hwynt yn eu dysgwyliadau, eithr cyflawnir iddynt yr hyn oll a addewais, trwy yr hyn y cânt wybodaeth sicr mai myfi yw JEHOFA.

Adn. 24. *A ddygir y caffaeliad oddiar y cadarn?*] Saes., 'a ddygir yr ysglyfaeth,' &c., gan feddwl ond odid yr Iuddewon yn nghrafangau y Babiloniaid creulon: gwel ar pen. xlvii. 6. *Neu a waredir y rhai a garcherir yn gyfiawn?*—yr oedd yr Iuddewon wedi eu carcharu yn gyfiawn gan y Babiloniaid, trwy fod eu pechodau wedi haeddu hyny, a bod Duw wedi eu rhoddi hwynt i fyny i'w dwylaw hwy. Felly yr oedd yma dri rhwystr ar ffordd eu rhyddhad: (1) Cadernid eu gelynion; (2) Cyfiawnder eu carchariad; ac, (3) Rheol arferol cenhedloedd y ddaear, fod i'r rhai a gymerwyd yn garcharorion rhyfel gael eu cadw mewn caethiwed hyd nes y prynid hwynt yn rhydd, neu y rhoddid ereill yn gyfnewid am danynt. Gwelsom eisioes fod cyflwr yr Iuddewon yn Babilon yn gysgod o gyflwr moesol caethion pechod a Satan.

Adn. 25. *Ond fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Mewn atebiad i'r holiadau uchod; *Ie, carcharorion y cadarn a ddygir*—o'i afaelion ef, er cryfed ydyw; *ac anrhaith y creulon a ddianc*—a ryddheir yn gyson â chyfiawnder, er ddarfod eu carcharu yn gyfiawn. *Canys myfi*—yr hwn wyf Dduw hollalluog, a Phenarglwydd cyfiawn, maddeugar, a thrugarog, *a ymrysonaf â'th ymrysonydd*—sef â brenin Babilon, a holl elynion ereill fy mhobl; *a myfi a achubaf dy feibion*—â'r fath achubiaeth ag a fydd yn gysgod a gwystl o ryddhad ysbrydol y credinwyr o gaethiwed pechod a marwolaeth.

Adn. 26. *Gwnaf hefyd i'th orthrymwyr fwyta eu cig eu hunain*] Neu ddyfetha eu gilydd, yn lle dy ddyfetha di; *ac ar eu gwaed eu hun y meddwant fel ar win melys*—hwy a dywalltant waed eu gilydd mewn helaethrwydd, a chydag awydd a hyfrydwch. Y rhai hyn ydynt ymadroddion cyffelybiaethol, yn arwyddo annghydfod, ymrysonau, a dinystr mewnol a chartrefol. *A gwybydd pob cnawd mai myfi yr Arglwydd yw dy Achubydd, &c.*—hyny yw, bydd dy achubiaeth mor hynod, ac yn cael ei dwyn oddiamgylch yn y fath fodd grymus ac effeithiol, fel y casgla pawb a glywant am dani nad allasai neb ond myfi ei dwyn oddiamgylch. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at waith llawer o'r Babiloniaid yn troi gyda byddin Cyrus yn erbyn eu brodyr eu hunain: a thybia *Vitringa* ac ereill i hyn oll gael ei gyflawni yn amser yr amherawdwr Diocletian, pryd yr oedd amrai yn ymgeisio am yr orsedd ar yr un pryd. Ond gellir cymhwyso yr hyn a ddywedir yma at wahanol amserau ereill, pryd y darfu i Dduw ddyrysu amcanion gelynion ei bobl, a pheri iddynt droi yn erbyn eu gilydd, gan oruwchlywodraethu yr amgylchiadau hyny i ddwyn oddiamgylch lesâd ei eglwys.

PEN. L. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Ar ol i Dduw fod yn cysuro ei bobl âg addewid o waredigaeth o'u caethiwed yn y bennod flaenorol, y mae efe yma yn amddiffyn ei gyfiawnder ei hun wrth oddef iddynt gael eu rhoddi yn y caethiwed hwnw. *Pa le y mae llythyr ysgar eich mam*—sef yr eglwys Iuddewig, mam ysbrydol yr Iuddewon, â'r hon yr oedd yr Arglwydd fel wedi ymbriodi trwy y cyfammod a wnaethai efe â hi yn Horeb; *trwy yr hwn y gollyngais hi ymaith?*—yr oedd Moses yn goddef i ŵr ollwng

2 Paham, pan ddaethym, nad
*oedd* neb *i'm derbyn?* pan elwais,
nad atebodd *neb?* Gan gwtogi a
gwtogodd fy llaw, fel na allai ym-
wared? neu onid *oes* ynof nerth i
achub? wele, â'm cerydd y sychaf
y môr, gwnaethym yr afonydd yn
ddiffaethwch: eu pysgod a ddrew-
ant o eisiau dwfr, ac a fyddant
feirw o syched.
3 Gwisgaf y nefoedd â thywyll-
wch, a gosodaf sach-lian yn dô
iddynt.

4 Yr Arglwydd Dduw a roddes
im' dafod y dysgedig, i fedru mewn
pryd lefaru gair wrth y diffygiol:
deffry fi bob bore, deffry im' glust i
glywed fel y dysgedig.
5 ¶ Yr Arglwydd Dduw a agor-
odd fy nghlust, a minau ni wrth-
wynebais, *ac* ni chiliais yn *fy* ol.
6 Fy nghorff a roddais i'r curwyr,
a'm cernau i'r rhai a dynai y blew:
ni chuddiais fy wyneb oddiwrth
waradwydd a phoeredd.
7 ¶ O herwydd yr Arglwydd

---

ymaith ei wraig trwy roddi llythyr ysgar iddi, a hyny am lai peth na *godineb;* ond nid oedd Duw wedi rhoddi llythyr ysgar *felly* i'r eglwys ei briod ef, onidê danghosent ef, ac yna ceid gweled nad heb achos *digonol* y gollyngasai efe eu mam hwynt ymaith: gwel ar Deut. xxiv. 1—3, Mat. v. 31, a xix. 8. *Neu pwy o'm dyledwyr*—yn hytrach, 'pwy o'm gofynwyr,' fel y mae yn y Saesonaeg, *y gwerthais chwi iddo?*—yr oedd rhieni a fyddent mewn dyled yn gwerthu eu plant yn fynych, yr hyn, yn ol cyfraith Moses, a allent ei wneuthur hyd flwyddyn y jubili, Exod. xxi. 7, Neh. v. 5, 2 Bren. iv. 1, Mat. xviii. 25. Ond nid oedd Duw wedi bod yn y fath gyflwr fel ag i orfod ymddwyn felly tuag at ei blant ef; os amgen, profent hyny. *Wele, am eich anwireddau yr ymwerthasoch*—y darfu i chwi eich gwerthu eich hunain; hyny yw, y mae eich caethiwed i'w briodoli i chwi eich hunain, ac nid i fy nyled neu fy mympwy i: *ac am eich camweddau*—eich eilunaddoliaeth, yr hwn sydd odineb ysbrydol, *y gollyngwyd ymaith eich mam*—y rhoddwyd llythyr ysgar i'r eglwys Iuddewig, ac nid o herwydd fy anffyddlondeb neu fy mympwy i.

Adn. 2. *Paham, pan ddaethym*] Atoch trwy fy ngweision y proffwydi, *nad oedd neb i'm derbyn*—neb yn barod i dderbyn fy nghynygion o ras ac iachawdwriaeth? *Pan elwais*—arnoch i ymostwng mewn edifeirwch a diwygiad buchedd, *nad atebodd neb*—i'm galwadau hyny? Gwelsom yn adn. 1, mai am anwireddau a chamweddau yr Iuddewon y danfonwyd hwy i gaethiwed; ac yma enwir rhai o'r anwireddau hyny. *Gan gwtogi a gwtogodd fy llaw, fel na allai ymwared*—fel na allai eich gwaredu chwi? *neu onid oes ynof nerth i achub*—yn awr, yn gystal ag yn yr amser gynt? Yma efe a enwa rai o'r pethau a wnaethai efe gynt, gan adael iddynt hwy dynu y casgliad gyda golwg ar ei allu presenol. *Wele, â'm cerydd y sychaf y môr*—y sychais ef gynt, i Israel fyned trwyodd, Exod. xiv. 21; *gwnaethym yr afonydd yn ddiffaethwch*—trwy droi eu dyfroedd yn waed; *eu pysgod a ddrewant o eisiau dwfr*—neu a fuant feirw, ac a ddrewasant, fel yr adroddir Exod. vii. 19—21. Ac oni fedr yr hwn a wnaeth y fath wyrthiau mawrion yn yr Aifft gynt, waredu ei bobl yn awr?

Adn. 3. *Gwisgaf y nefoedd â thywyllwch*] Pan fyddo achos am hyny; *a gosodaf sach-lian yn dô iddynt*—neu gwmwl tew fel sachlian, nes y byddo y nefoedd ŵybrenol yn 'dywyllwch a aller ei deimlo,' fel hwnw gynt yn yr Aifft, Exod. x. 21. Ar ol adrodd uchod yr hyn a allai efe ei wneyd ar y ddaear, efe a grybwylla yma yr hyn a allai ei wneyd yn yr awyr, i ddangos fod ganddo hefyd allu i waredu ei bobl.

Adn. 4. *Yr Arglwydd Dduw a roddes im' dafod y dysgedig*] Neu allu i lefaru yn ddoeth, eglur, ac argyhoeddiadol. Yn yr adnodau blaenorol cawn Grist, priod yr eglwys, yn llefaru fel JEHOFA; ac yma cawn ef yn llefaru fel DYN, neu yn ei weddnod *cyfryngol;* canys nid oes yma ddim i ddangos mai person gwahanol sydd yn llefaru yn yr adnod hon. *I fedru mewn pryd lefaru gair wrth y diffygiol*—yr hwn sydd wedi ei orlwytho â theimlad o'i bechod a'i drueni. Yr oedd holl weinidogaeth yr Arglwydd Iesu yn tueddu i roddi cysur a gorphwysdra i'r blinderog a'r llwythog: gwel ar Mat. xi. 28—30. *Deffry fi bob bore*—fel athraw yn deffro ei ysgolorion yn fore i wrando ar ei addysgiadau: *deffry im' glust i glywed fel y dysgedig*—i wrandaw fel 'dysgybl,' neu fel un a chwennychai fod yn ddysgedig. Y meddwl yw, y byddai efe yn barhaus dan ddylanwad Ysbryd Duw, ac yn awyddus i wrandaw ar yr hyn a orchymynai y Tad iddo gyda golwg ar waith ei weinidogaeth.

Adn. 5. *Yr Arglwydd Dduw a agorodd fy nghlust*] I wrandaw ar ei holl orchymynion ef gyda golwg ar fy nyoddefiadau; *a minau ni wrthwynebais*—fyned dan y driniaeth chwerw a benodai efe i mi: *ac ni chiliais yn ol*—oddiwrth fy ngwaith na'm dyoddefiadau.

Adn. 6. *Fy nghorff a roddais i'r curwyr*] I'w fflangellu; *a'm cernau i'r rhai a dynai y blew*—yr hon oedd ar unwaith yn weithred ddirmygus a phoenus iawn, Neh. xiii. 25; neu, yn ol y LXX, 'a'm gwyneb i'r cernodwyr:' *ni chuddiais fy wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd*—y mae yn amlwg oddiwrth yr Efengylwyr mai Crist sydd yma yn llefaru am dano ei hun: canys ni ddywedir mewn un man i Esay ddyoddef y fath driniaeth. Yr oedd poeri yn ngwyneb un yn cael ei ystyried gan y dwyreinwyr, ac yn wir gan bawb ereill, y sarhad a'r dirmyg mwyaf a ellid ei ddangos i ddyn; ond dyoddefwyd hyn oll

Dduw a'm cymhorth; am hyny ni'm cywilyddir: am hyny gosodais fy wyneb fel callestr, a gwn na'm cywilyddir.

8 Agos *yw* yr hwn a'm cyfiawnha; pwy a ymryson â mi? safwn yn nghyd: pwy *yw* fy ngwrthwynebwr? nesäed ataf.

9 Wele, yr Arglwydd Dduw a'm cynorthwya; pwy *yw* yr hwn a'm bwrw yn euog? wele, hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn; y gwyfyn a'u hysa hwynt.

10 ¶ Pwy yn eich mysg sydd yn ofni yr Arglwydd, yn gwrandaw ar lais ei was ef, yn rhodio *mewn* tywyllwch, ac heb lewyrch iddo? gobeithied yn enw yr Arglwydd, ac ymddirieded yn ei Dduw.

11 Wele, chwi oll y rhai ydych yn cyneu tân, *ac* yn eich amgylchu eich hunain â gwreichion; rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gyneuasoch. O'm llaw i y bydd hyn i chwi; mewn gofid y gorweddwch.

PENNOD LI.

GWRANDEWCH arnaf fi, ddylynwyr cyfiawnder, y rhai a geisiwch yr Arglwydd: edrychwch ar y graig y'ch naddwyd, ac ar geudod y ffos y'ch cloddiwyd *o honynt.*

---

yn amyneddgar gan ein Ceidwad bendigedig! gwel ar Mat. xxvi. 67, a xxvii. 26, 30, &c.

Adn. 7. *O herwydd yr Arglwydd Dduw a'm cymhorth*] Er fy mod yn wan fel dyn, eto bydd i Dduw fy nerthu i fyned trwy fy ngwaith a'm dyoddefiadau: *am hyny ni'm cywilyddir*—fel un yn methu myned trwy ei orchwyl. *Am hyny gosodais fy wyneb fel callestr*—yn galed, ansigledig, a phenderfynol yn erbyn pob gwrthwynebiad: gwel ar Ezec. iii. 8, 9: *a gwn na'm cywilyddir*—eithr, yn hytrach, y caf fy nghynorthwyo yn ddigonol i wneyd a dyoddef yr hyn oll sydd o fy mlaen.

Adn. 8. *Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha*] Sef Duw, yr hwn a amddiffyna fy nghymeriad yn ngwyneb holl enllib a gogan fy ngwrthwynebwyr, trwy fy nghyfodi yn fyw ar fore y trydydd dydd. *Pwy a ymryson â mi?*—ymadrodd yn arwyddo ei hyder cryf ef yn Nuw, ac ymwybodolrwydd o'i ddiniweidrwydd ei hun. *Safwn yn nghyd*—fel pleidiau mewn llys barn. *Pwy yw fy ngwrthwynebwr*—yn mhlith dynion neu gythreuliaid? *Nesäed ataf*—i'm profi yn euog, os gall.

Adn. 9. *Wele, yr Arglwydd Dduw a'm cynorthwya*] Hebr., 'yr Arglwydd JEHOFA;' ac felly hefyd y mae yn adn. 7. *Pwy yw yr hwn a'm bwrw yn euog*—a all fy mwrw yn euog, neu a feiddia wneuthur hyny, pan y mae JEHOFA ei hun yn fy nghyfiawnhau? *Wele, hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn*—bydd i'm holl wrthwynebwyr ddiflanu ymaith fel dilledyn a dreulier wrth ei wisgo; *y gwyfyn a'u hysa hwynt*—fel yr ysa efe ddilledyn mewn cist. Fe allai fod yma gyfeiriad at ddinystr yr Iuddewon y rhai a wrthodasant Grist, yn nghyda dinystr yr amherodraeth Rhufeinig, swyddogion yr hon a gondemniasant Grist i'w groeshoelio ar gais yr Iuddewon: gwel ar Luc xxiii. 25.

Adn. 10. *Pwy yn eich mysg sydd yn ofni yr Arglwydd*] Yn addoli Duw mewn ysbryd a gwirionedd; *yn gwrandaw ar lais ei was ef*—ar lais Crist trwy ei broffwydi a'i apostolion; *yn rhodio mewn tywyllwch, ac heb lewyrch iddo?*—nid yw hyn yn golygu rhodio mewn *pechod*, canys dywedir yma ei fod yn 'ofni yr Arglwydd,' ac 'yn gwrandaw ar lais ei was ef;' gan hyny y meddwl yw, rhodio mewn trallod, gofid, a blinder. *Gobeithied yn enw yr Arglwydd*—am gymhorth a goleuni, fel y gwnaethai y Cyfryngwr ei hun, adn. 7—9; *ac ymddirieded yn ei Dduw*—am waredigaeth o'i drallod a'i drueni. Hon yw iaith ein Gwaredwr tirion a bendigedig yn apelio at ei siampl ei hun, ac yn erfyn ar bawb a fyddo mewn cyffelyb amgylchiadau i ymddiried yn Nuw fel y gwnaethai efe.

Adn. 11. *Wele, chwi oll*] Ar ol cyfarch y rhai duwiol o'r Iuddewon yn adn. 10, y mae efe yma yn cyfarch y rhai annuwiol o honynt; *y rhai ydych yn cyneu tân*—i'ch goleuo a'ch gwresogi eich hunain; *ac yn eich amgylchu eich hunain â gwreichion*—o'ch cyneuad eich hunain; neu 'â ffiamau,' fel y mae y *Vulgate* a'r LXX yn ei ddarllen. Y meddwl yw, Chwi oll y rhai ydych yn gwrthod y goleuni a osodwyd gan Dduw, ac a geisiwch gysur a diogelwch yn eich ffyrdd a'ch dyfais eich hunain. *Rhodiwch wrth lewyrch eich tân, ac wrth y gwreichion a gyneuasoch*—ewch yn mlaen yn ol eich mympwy eich hunain, gan mai hyny a fynwch. *O'm llaw i y bydd hyn i chwi*—fel eich barnydd a'ch cospydd cyfiawn; *mewn gofid y gorweddwch*—fel canlyniad anocheladwy eich ymddygiadau. Tybia *Vitringa* ac ereill fod y 'tân a'r gwreichion' hyn yn cyfeirio at derfysgoedd a bradfwriadau yr Iuddewon yn ystod y deugain mlynedd ar ol croeshoeliad Crist, y rhai a gyffroisant y rhyfel â'r Rhufeiniaid, ac a gyneuasant dân a lwyr ddinystriodd eu dinas a'u cenedl.

PEN. LI. Adn. 1. *Gwrandewch arnaf fi, ddylynwyr cyfiawnder*] Sef y cyfiawnder hwnw ag sydd o ffydd; *y rhai a geisiwch yr Arglwydd*—yn rhan ac yn waredwr i'ch eneidiau. Yr un rhai a feddylir yma ag yn pen. l. 10. Ystyrir hwynt fel mewn alltudiaeth a chaethiwed, ac yn anobeithio am waredigaeth. Tra yn y cyflwr hwn y mae Duw, neu yn hytrach y Messia, yn eu dyddanu hwy âg addewid o ryddhad. *Edrychwch ar y graig y'ch naddwyd*—sef ar Abraham, tad y genedl;

2 Edrychwch ar Abraham eich
tad, ac ar Sarah a'ch esgorodd:
canys ei hunan y gelwais ef, ac y
bendithiais, ac yr amlheais ef.
3 O herwydd yr Arglwydd a gy-
sura Seion: efe a gysura ei holl
annghyfanedd-leoedd hi; gwna hef-
yd ei hanialwch hi fel Eden, a'i di-
ffaethwch fel gardd yr Arglwydd:
ceir ynddi lawenydd a hyfrydwch,
diolch, a llais cân.
4 ¶ Gwrandewch arnaf, fy mhobl;
clust-ymwrandewch â mi, fy nghen-
edl: canys cyfraith a â allan oddi-
wrthyf, a gosodaf fy marn yn oleuni
pobloedd.
5 Agos yw fy nghyfiawnder; fy
iachawdwriaeth a aeth allan, fy
mreichiau hefyd a farnant y bobl-
oedd: yr ynysoedd a ddysgwyliant
wrthyf, ac a ymddiriedant *yn* fy
mraich.
6 Dyrchefwch eich llygaid tua'r
nefoedd, ac edrychwch ar y ddaear
isod: canys y nefoedd a ddarfydd-
ant fel mwg, a'r ddaear a heneiddia
fel dilledyn, a'i phreswylwyr yr un
modd a fyddant meirw; ond fy

---

*ac ar geudod y ffos*—sef ar Sarah eich mam; *y'ch cloddiwyd o honynt*—y mae y gyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth dori meini o'r graig, neu eu codi o'r ddaear, i'r dyben i adeiladu. Yr ystyr yw, nid fod Abraham a Sarah yn wael a dianrhydeddus, neu fod y genedl felly yn ei dechread; nid amcan y geiriau yw dangos y dylai fod arnynt gywilydd o sylfaenydd eu cenedl; ond, yn hytrach, eu bod wedi dyfod yn genedl luosog oddiwrth ddechread bychan; fod moldiad y genedl yn gwbl yn llaw Duw; ac y gallai yr hwn a wnaeth gymaint iddynt eisioes, eu dwyn hwy eto o'u caethiwed, a'u gwneuthur hwynt eilwaith yn bobl luosog a dedwydd.

Adn. 2. *Edrychwch ar Abraham eich tad, &c.*] Yma y mae yr hyn a ddywedwyd yn gyffelybiaethol yn adn. 1, yn cael ei adrodd yn llythyrenol. *Canys ei hunan y gelwais ef*—allan o'i wlad, pan nad oedd efe ond person unigol, heb na phlentyn na theulu iddo; *ac y bendithiais ac yr amlheais ef*—fel ag i'w wneuthur yn genedl fawr. Y meddwl yw, fod Duw gan hyny yr un mor alluog i fendithio ac amlhau yr ychydig weddill ag oeddynt yn cael eu hystyried yn awr fel yn Babilon, fel ag i'w gwneuthur eto yn bobl fawr a lluosog.

Adn. 3. *O herwydd yr Arglwydd a gysura Seion*] Neu Jerusalem, trwy adfer yr Iuddewon yn ol i'w gwlad; *efe a gysura ei holl annghyfanedd-leoedd hi* — oddiamgylch yn ngwlad Judea, y rhai a fuont yn annghyfanedd yn ystod y caethiwed Babilonaidd. *Gwna hefyd ei hanialwch hi fel Eden*—yn ffrwythlon, hyfryd, a pharadwysaidd fel Eden, yr hon oedd gardd yr Arglwydd, Gen. ii. 8. *Ceir ynddi lawenydd a hyfrydwch*—yn tarddu oddiar ei llwyddiant tymhorol; *diolch, a llais cân*—sef clodforedd ysbrydol, fel ar yr uchelwyliau crefyddol gynt. Ond gellir deall hyn oll mewn ail ystyr, am fendithion ysbrydol yr eglwys yn nyddiau y Messia.

Adn. 4. *Gwrandewch arnaf, fy mhobl*] Sef yr Iuddewon; *clust-ymwrandewch â mi, fy nghenedl*—o'r rhai yr hànodd y Messia yn ol y cnawd. Ond yn lle 'fy mhobl,' a 'fy nghenedl,' y mae rhai ysgriflyfrau *Hebreig*, yn nghyda'r *Syriaeg*, yn darllen, 'Gwrandewch arnaf, *bobloedd;* rhoddwch glust i mi, *genhedloedd;*' a thybia *Lowth*, *Noyes*, *Gesenius*, ac ereill, mai y Cenhedloedd a gyferchir yma. *Canys cyfraith a â allan oddiwrthyf*—sef yr efengyl, 'perffaith gyfraith rhyddid;' *a gosodaf fy marn*—sefydlaf y 'gyfraith' uchod, *yn oleuni pobloedd*—i oleuo Iuddewon a Chenhedloedd am drefn fawr yr iachawdwriaeth.

Adn. 5. *Agos yw fy nghyfiawnder*] Arferir y gair 'cyfiawnder' mewn llawer o wahanol ystyron; ond meddylir ei fod yma yn arwyddo y cyflawniad ffyddlon o addewidion Duw i'w bobl. *Fy iachawdwriaeth a aeth allan*—sef ei addewid o iachawdwriaeth. *Fy mreichiau hefyd a farnant y bobloedd*—hyny yw, byddai i'w allu mawr ef gael ei amlygu naill ai yn narostyngiad y Cenhedloedd dan ei awdurdod grasol, neu ynte yn ninystr y rhai a wrthwynebent y gwaith hwnw. *Yr ynysoedd a ddysgwyliant wrthyf* — bydd i wledydd pellaf y Cenhedloedd droi eu wynebau ataf fi am iachawdwriaeth; *ac a ymddiriedant yn fy mraich*—yn fy ngallu grasol ac achubol i yn unig.

Adn. 6. *Dyrchefwch eich llygaid tua'r nefoedd*] I weled mor gadarn a diysgog yr ymddengys yr haul, y lloer, a'r ser, er y dydd y crewyd hwynt; *ac edrychwch ar y ddaear isod*—yr hon y gellid meddwl y byddai iddi barhau byth. *Canys*—eto, neu er hyny, *y nefoedd a ddarfyddant fel mwg*—yr hwn a ddiflana cyn gynted ag yr esgyna i'r awyr; *a'r ddaear a heneiddia fel dilledyn*—yr hwn a dreulir ymaith wrth ei hir wisgo neu ei gadw; *a'i phreswylwyr yr un modd*—yr un modd a'r ddaear ei hun, *a fyddant meirw*—y naill genhedlaeth ar ol y llall: gwel ar Salm cii. 26. *Ond fy iachawdwriaeth i a fydd byth*—a gyrhaedda trwy bob cenhedlaeth hyd ddiwedd y byd; *a'm cyfiawnder ni dderfydd*—hyd yn nod pan fyddo amser ei hun yn darfod, eithr efe a barha dros holl dragwyddoldeb. Yr un peth a feddylir yma wrth y ddau air, 'iachawdwriaeth' a 'chyfiawnder;' ac arwyddir yma y bydd i'r enaid barhau byth i fwynhau yr iachawdwriaeth hòno. Amcan y geiriau yw dangos fod addewidion Duw i'w bobl yn gadarnach na'r pethau cryfaf mewn natur, neu y pethau tebycaf i barhau byth, sef y nefoedd a'r ddaear; ac y maent yn gyfystyr â geiriau ein Hiachawdwr, 'Nef a daear a ânt heibio,

iachawdwriaeth i a fydd byth, a'm
cyfiawnder ni dderfydd.
7 ¶ Gwrandewch arnaf, y rhai a
adwaenoch gyfiawnder, y bobl sydd
â'm cyfraith yn eu calon: nac ofn-
wch waradwydd dynion, ac nac ar-
swydwch rhag eu difenwad.
8 Canys y pryf a'u bwyty fel dill-
edyn, a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlân:
eithr fy nghyfiawnder a fydd yn
dragywydd, a'm hiachawdwriaeth o
genhedlaeth i genhedlaeth.
9 ¶ Deffro, deffro, gwisg nerth,
O fraich yr Arglwydd; deffro fel
yn y dyddiau gynt, yn yr oesoedd
gynt. Onid ti *yw* yr hwn a doraist
Rahab, *ac* a archollaist y ddraig?
10 Onid ti *yw* yr hwn a sychaist
y môr, dyfroedd y dyfnder mawr?
yr hwn a wnaethost ddyfnderoedd
y môr yn ffordd i'r gwaredigion i
fyned drwyodd?
11 Am hyny y dychwel gwared-
igion yr Arglwydd, a hwy a ddeu-
ant i Seion â chanu, ac â llawenydd
tragwyddol ar eu penau: goddi-
weddant lawenydd a hyfrydwch;
gofid a griddfan a ffy ymaith.
12 Myfi, myfi, *yw* yr hwn a'ch
dyddana chwi: pwy *wyt* ti, fel yr
ofnit ddyn *yr hwn* fydd marw, a mab
dyn *yr hwn* a wneir *fel* glaswelltyn?
13 Ac a annghofi yr Arglwydd dy
Wneuthurwr, yr hwn a estynodd y
nefoedd, ac a seiliodd y ddaear? ac
a ofnaist bob dydd yn wastad rhag
llid y gorthrymydd, fel pe darparai
i ddinystrio? a pha le *y mae* llid y
gorthrymydd?
14 Y carcharor sydd yn brysio i

---

eithr fy ngeiriau i nid ânt heibio ddim,' Mat. xxiv. 35.

Adn. 7. *Gwrandewch arnaf, y rhai a adwaenoch gyfiawnder*] Sef yr Iuddewon duwiol, y rhai a garent ac a arferent gyfiawnder; *y bobl sydd â'm cyfraith yn eu calon*—yn gystal ag yn ysgrifenedig yn eu mysg ar lechau cerig, 2 Cor. iii. 3, Heb. viii. 10. *Nac ofnwch waradwydd dynion*—y rhai a'ch cablant ac a'ch gwaradwyddant o herwydd eich crefydd; *ac nac arswydwch rhag eu difenwad*—am y rheswm a enwir isod.

Adn. 8. *Canys y pryf a'u bwyty fel dilledyn*] Fel y bwytâ efe ddilledyn; *a'r gwyfyn a'u hysa fel gwlân*—fel yr ysa efe ddilledyn wedi ei wneuthur o wlan: gwel ar Job iv. 19. *Eithr fy nghyfiawnder a fydd yn dragywydd, &c.*—gwel ar adn. 6. Y meddwl yw, y cai y duwiolion barhau i fwynhau iachawdwriaeth Duw yn dragywydd, tra y byddai i'w gelynion hwy gael eu dyfetha yn hawdd ac yn ebrwydd.

Adn. 9. *Deffro, deffro, gwisg nerth, O fraich yr Arglwydd*] Yma y mae yr eglwys, ar ol cael ei chalonogi â'r addewidion grasol uchod, yn galw ar ei Phriod i ddeffro, a defnyddio ei allu dwyfol o'i phlaid: *deffro fel yn y dyddiau gynt*—yn amser caethiwed ein tadau yn yr Aifft. *Onid ti yw yr hwn a doraist Rahab?*—felly y gelwir yr *Aifft* o herwydd ei chryfder a'i balchder, neu ynte ar gyfrif yr *anghenfilod* ag oeddynt yn ei dyfroedd, megys y crocodil, yr afon-farch, neu yr hippopotamus: *ac a archollaist y ddraig?*—felly y gelwir Pharao brenin yr Aifft: gwel ar Salm lxxiv. 13, 14, a lxxxvii. 4, a lxxxix. 10.

Adn. 10. *Onid ti yw yr hwn a sychaist y môr*] Fel ag i wneyd ffordd i Israel fyned trwyodd ar dir sych? gwel ar Exod. xiv. 21, &c. Y meddwl yw, y gallai Duw gan hyny waredu ei bobl yn awr o Babilon, yn gystal a chynt o'r Aifft.

Adn. 11. *Am hyny y dychwel gwaredigion yr Arglwydd*] Hyn a ddywedir gan yr eglwys mewn ffordd o hyder yn ngallu a ffyddlondeb Duw; neu ynte gan Dduw wrth yr eglwys, mewn atebiad i'w gweddi hi yn adn. 9, 10. *A hwy a ddeuant i Seion â chanu, &c.*—gwel ar pen. xxxv. 10.

Adn. 12. *Myfi, myfi, yw yr hwn a'ch dyddana chwi*] A gwaredigaeth dymhorol, ac âg iachawdwriaeth ysbrydol hefyd. Yn pen. xl. 1, efe a orchymynasai i'w weinidogion eu dyddanu; ond trwy nas gallent hwy wneyd hyny yn effeithiol, efe a gymer y gwaith i'w law ei hun. *Pwy wyt ti, fel yr ofnit ddyn a fydd marw*—sef dyn gwan, brau, a darfodedig, yr hwn a all farw cyn cael cyfle i'th niweidio; *a mab dyn yr hwn a wneir fel glaswelltyn*—yr hwn a dorir i lawr fel glaswelltyn, ac a wywa yn y fan? gwel ar pen. xl. 6, 7. Fel pe dywedasai, Ystyria pwy wyt, a'r berthynas gyfammodol ag sydd rhyngof fi a thi fel ty eglwys a'm dyweddi; a meddwl yn ddifrifol am fy ngallu, fy serchogrwydd, a'm ffyddlondeb tuag atat; ac yna gwel leied o achos sydd genyt i ofni dyn marwol.

Adn. 13. *Ac a annghofi yr Arglwydd dy Wneuthurwr*] Yr hwn wyf dy Greawdwr di yn gystal a'th Brynwr; *yr hwn a estynodd y nefoedd, ac a seiliodd y ddaear*—hyny yw, yr hwn wyf Greawdwr hollalluog nefoedd a daear, ac yn meddu awdurdod hollol ar eu holl luoedd hwynt. *Ac a ofnaist bob dydd yn wastad*—er pan wyt yn Babilon; *rhag llid y gorthrymydd*—gwel ar pen. xlix. 26; *fel pe darparai i ddinystrio*—fel pe byddai ef bob moment yn barod ac yn alluog i'th ddinystrio di, heb i neb allu ei rwystro. *A pha le y mae llid y gorthrymydd*—ar ol dy holl ofnau di? Onid yw y Babiloniaid oll wedi eu dyfetha, a thithau wedi dy waredu o'u llaw hwynt? Efe a lefara am hyn oll fel wedi ei wneuthur eisioes, i ddangos iddynt y cai efe ei wneuthur yn sicr, ebrwydd, a disymwth.

Adn. 14. *Y carcharor sydd yn brysio i gael ei ollwng yn rhydd*] O'i gaethiwed yn

gael ei ollwng yn rhydd, fel na byddo farw yn y pwll, ac na phallo ei fara ef.

15 Eithr myfi *yw* yr Arglwydd dy Dduw, yr hwn a barthodd y môr, pan ruodd ei dònau: ei enw *yw* Arglwydd y lluoedd.

16 Gosodais hefyd fy ngeiriau yn dy enau, ac yn nghysgod fy llaw y'th doais, fel y planwn y nefoedd, ac y seiliwn y ddaear, ac y dywedwn wrth Seion, Fy mhobl *ydwyt*.

17 ¶ Deffro, deffro, cyfod, Jerusalem, yr hon a yfaist o law yr Arglwydd gwpan ei lidiogrwydd ef; yfaist waddod y cwpan erchyll, *ïe*, sugnaist *ef*.

18 Nid *oes* arweinydd iddi o'r holl feibion a esgorodd; ac nid *oes* a ymaflo yn ei llaw o'r holl feibion a fagodd.

19 Y ddau *beth* hyn a ddygwyddasant it'; pwy a ofidia trosot? dinystr a dystryw; a newyn a chleddyf: *trwy* bwy y'th gysuraf?

20 Dy feibion a lewygasant, gorweddant yn mhen pob heol fel tarw gwyllt *mewn* magl: llawn ydynt o lidiogrwydd yr Arglwydd, *a* cherydd dy Dduw.

21 ¶ Am hyny gwrandaw fi yn awr, y druan a'r feddw, ac nid *trwy* win.

---

Babilon; *fel na byddo farw yn y pwll*—yn ei garchar yno; *ac na phallo ei fara ef*—ymddengys fod rhai o'r gaethglud yn ofni y byddent farw o newyn yn Babilon cyn y deuai gwaredigaeth iddynt; ond yma sicrheir na byddent farw felly, ac y caent eu rhyddhau oddiyno ar frys.

Adn. 15. *Eithr myfi yw yr Arglwydd dy Dduw*] Sef dy Dduw cyfammodol; *yr hwn a barthodd y môr*—sef y môr coch; *pan ruodd ei dònau*—hyny yw, pan yr oedd ei dònau yn eu nerth a'u cynddeiriogrwydd mwyaf. Soniasai yr eglwys yn ei gweddi ddarfod i Dduw sychu dyfnderoedd y môr coch, adn. 10; ac yma y mae yntau yn cydnabod hyny, i adgofio iddynt fod ei allu yn awr gymaint ag erioed. *Ei enw yw Arglwydd y lluoedd*—yr hwn y mae ei lywodraeth, ei awdurdod, a'i allu, yn ddiderfyn.

Adn. 16. *Gosodais hefyd fy ngeiriau yn dy enau*] Sef yr addewidion mawrion a wnaethai Duw iddynt, y rhai yr oeddynt hwythau ond onid yn eu hadrodd yn fynych wrth eu gilydd; *ac yn nghysgod fy llaw y'th doais*—y'th amddiffynais, fel pe buasit dan gysgod tô; *fel y planwn y nefoedd ac y seiliwn y ddaear*—y mae rhai yn deall hyn am blanu eglwysi Cristionogol yn nyddiau y Messia, yr hyn a elwir yn 'greu nefoedd newydd a daear newydd,' pen. lxv. 17, a lxvi. 22. Y LXX a'i darllenant, 'Yn fy llaw y'th *ddodais*, â'r hon y plenais y nefoedd,' &c. *Ac y dywedwn wrth Seion, Fy mhobl ydwyt*—hyny yw, amddiffynais, llwyddais, a bendithiais di, fel y gallwn wneyd arddeliad amlycach o honot fel fy eiddo yn yr amseroedd diweddaf.

Adn. 17. *Deffro, deffro*] Yma y mae Duw, ar ol iddo ef ddeffro a chodi i ddyddanu ei bobl ar gais yr eglwys, adn. 9—12, yn galw arnynt hwythau i ddeffro o'u cyflwr gresynol ac anobeithiol. *Cyfod, Jerusalem*—sef yr Iuddewon, cyn-breswylwyr Jerusalem. Cyffelybir hwynt yma, yn eu trallod a'u gofid, i ddynion wedi syfrdanu neu bendroni, ac wedi syrthio ar y ddaear yn eu meddwdod. *Yr hon a yfaist o law yr Arglwydd*—fel cosp gyfiawn am dy bechodau, *gwpan ei lidiogrwydd ef*—gwel ar Salm lxxv. 8. Y mae digofaint Duw yn cael ei gymharu yn fynych i gwpan neu phiol lawn o win, o ba un yr yfa pechaduriaid hyd feddwdod neu syfrdandod, Dat. xiv. 10, a xviii. 6. *Yfaist waddod y cwpan erchyll*—sef y cwpan ag sydd yn peri erchylldod, syfrdandod, neu ddychryn; hyny yw, yfaist ef yn llwyr i'r gwaelod: *ïe, sugnaist ef*—gan lwyr yfed pob dyferyn o hono. Yr oedd yr Iuddewon wedi bod yn yfed o hwn yn amser dinystr Jerusalem, ac yn ystod eu caethiwed yn Babilon; ac yfasant yn ddyfnach o hono wedi hyny yn eu gwasgariad diweddaf gan y Rhufeiniaid.

Adn. 18. *Nid oes arweinydd iddi o'r holl feibion a esgorodd*] Neb yn mhlith ei holl drigolion a all roddi cynghor na chynorthwy iddi: *ac nid oes a ymaflo yn ei llaw*—i'w chadw rhag cwympo, nac i'w chodi ar ol iddi gwympo; *o'r holl feibion a fagodd*—hyny yw, nid oes neb o'i thywysogion, ei phroffwydi, na'i hoffeiriaid, a all wneuthur lles iddi.

Adn. 19. *Y ddau beth hyn a ddygwyddasant it'*] Y rhai, er yn cael eu gosod allan trwy bedwar gair, a ellir eu hystyried yn briodol fel dau beth, sef *newyn* yn peri dinystr, a *chleddyf* yn peri dystryw; neu *ddinystr a dystryw*, fel un peth, yn effeithio ar yr adeiladau; a *newyn a chleddyf*, fel peth arall, yn effeithio ar fywydau y trigolion. *Pwy a ofidia trosot?*—pwy sydd i ofidio, gan fod dy holl feibion mewn cyflwr mor druenus a'r eiddot tithau? adn. 18, 20. *Trwy bwy y'th gysuraf?*—arwydda hyn fod dymuniad yn Nuw i'w cysuro, pe buasai yno rywun a allai wneuthur hyny.

Adn. 20. *Dy feibion a lewygasant*] Y maent hwy mor analluog i'th gysuro, nes y maent eu hunain yn llewygu gan newyn: *gorweddant yn mhen pob heol fel tarw gwyllt mewn magl*—y rhai na buant feirw eisioes a wingant am eu bywyd a'u rhyddhad; a pha fwyaf y gwingant i geisio ymryddhau o'r rhwyd, mwyaf oll yr ymddyrysant ynddi. *Llawn ydynt o lidiogrwydd yr Arglwydd*—gwel ar adn 17; *a cherydd dy Dduw*—yr hwn a haeddasant yn gyfiawn am eu pechodau.

Adn. 21. *Am hyny gwrandaw fi yn awr*]

22 Fel hyn y dywed dy Arglwydd,
yr Arglwydd, a'th Dduw di, *yr hwn*
a ddadleu *dros* ei bobl, Wele, cy-
merais o'th law y cwpan erchyll,
*sef* gwaddod cwpan fy llidiogrwydd:
ni chwanegi ei yfed mwy.
23 Eithr rhoddaf ef yn llaw dy
gystuddwyr; y rhai a ddywedasant
wrth dy enaid, Gostwng, fel yr elom
trosot: a thi a osodaist dy gorff fel
y llawr, ac fel heol i'r rhai a elent
drosto.

## PENNOD LII.

DEFFRO, deffro, gwisg dy nerth,
Seion; gwisg wisgoedd dy og-
oniant, santaidd ddinas Jerusalem:
canys ni ddaw o'th fewn mwy ddi-
enwaededig nac aflan.
2 Ymysgwyd o'r llwch, cyfod, eist-
edd, Jerusalem: ymddattod oddi-
wrth rwymau dy wddf, *ti* gaeth-
ferch Seion.
3 Canys fel hyn y dywedodd yr
Arglwydd, Yn rhad yr ymwerthas-
och; ac nid âg arian y'ch gwaredir.
4 Canys fel hyn y dywedodd yr
Arglwydd Dduw, Fy mhobl a aeth
i waered i'r Aifft yn y dechread, i
ymdaith yno; a'r Assyriaid a'u gor-
thrymodd yn ddiachos.
5 Ac yn awr beth *sydd* yma i mi,
medd yr Arglwydd, pan ddygid fy
mhobl ymaith yn rhad? eu llyw-
odraethwyr a wna *iddynt* udo, medd

---

Sef ar yr hyn a ddywedir yn adn. 22, 23; *y druan a'r feddw*—yr hon y mae dy gyflwr yn hollol anobeithiol o ran dim cymhorth a all dy feibion ei roddi i ti; *ac nid trwy win*—eithr trwy gwpan llidiogrwydd yr Arglwydd, adn. 17.

Adn. 22. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yr hwn y mae hawl ganddo ynot; *yr Arglwydd*—Hebr., ' JEHOFA,' yr hwn sydd alluog i'th waredu; *a'th Dduw di*—sef dy Dduw cyfammodol; *yr hwn a ddadleu dros ei bobl*—i'r dyben i'w gwaredu. *Wele, cymerais o'th law y cwpan erchyll, &c.*—gwel ar adn. 17; *ni chwanegi ei yfed mwy*—yn yr oes hon. Nid yw hyn yn meddwl na ddystrywid Jerusalem byth mwyach; canys gwnaed hyny drachefn gan y Rhufeiniaid yn mhen oddeutu 600 o flynyddau wedi hyn. Ond tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at ddiogelwch yr Iuddewon ar ol iddynt fel cenedl wneyd derbyniad o Grist yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 23. *Eithr rhoddaf ef yn llaw dy gystuddwyr*] Y rhai a orfodir i'w yfed yn dy le di, pen. xlix. 26; *y rhai a ddywedasant wrth dy enaid*—yn eu balchder a'u creulondeb yn amser dy gystudd; *Gostwng, fel yr elom trosot*—meddylir fod yma gyfeiriad at arferiad yr hen orchfygwyr, o sathru ar yddfau y rhai a orchfygid ganddynt, Jos. x. 24. Dywed *Lactantius*, yr arferai Sapor brenin Persia, ar ol iddo gymeryd yr amherawdwr Valerianus yn garcharor, orchymyn i'r olaf ostwng ar ei liniau a'i freichiau ar y ddaear, fel y gallai efe roddi ei droed ar ei gefn ef wrth esgyn i'w gerbyd neu ar ei farch. *A thi a osodaist dy gorff fel y llawr, &c.*—i'th elynion roddi eu troed arnat; hyny yw, yr oeddit ti yn gorfod gwneuthur hyny er mwyn arbed dy fywyd.

PEN. LII. Adn. 1. *Deffro, deffro, gwisg dy nerth, Seion*] Sef y nerth a'r cymhorth a roddid iddi gan ei Phriod nefol. Yr oedd yr eglwys wedi bod yn cymhell yr Arglwydd i ddeffro a gwisgo ei nerth, pen. li. 9; ac yma y mae yntau, neu y proffwyd drosto ef, yn galw arni hithau i wneyd yr un peth. *Gwisg wisgoedd dy ogoniant*—yn lle gwisgoedd galar a chaethiwed; *santaidd ddinas Jerusalem*—sef eglwys Dduw, yr hon yn fynych a elwir 'Seion' neu ' Jerusalem.' *Canys ni ddaw o'th fewn mwy ddienwaededig nac aflan*—nid yw hyn yn wir am ddinas Jerusalem yn llythyrenol, i'r hon yr aeth Antiochus Epiphanes a'i luoedd, a Titus a'i fyddin, ac amrai wŷr dienwaededig ereill i'w haflonyddu. Gan hyny rhaid i ni ddeall y geiriau hyn yn cyfeirio yn benaf at burdeb eglwys Dduw, yn enwedig yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 2. *Ymysgwyd o'r llwch*] Yn yr hwn y gorweddi fel caethforwyn alarus; *cyfod, eistedd, Jerusalem*—Hebr., ' eistedd i fyny,' sef ar dy orseddfa, yn rhydd ac anrhydeddus: *ymddattod oddiwrth rwymau dy wddf*—y rhai sydd arwyddion o'th gaethiwed a'th ddarostyngiad; *ti gaethferch Seion*—sef eglwys Dduw yn Babilon.

Adn. 3. *Yn rhad yr ymwerthasoch*] Heb gael dim elw oddiwrth hyny i chwi na'ch perchenog; *ac nid âg arian y'ch gwaredir*—nid trwy roddi iawn neu bridwerth am danoch i'r Caldeaid, ond trwy fy nerth a'm trugaredd i.

Adn. 4. *Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw*] I'w hargyhoeddi y gallai efe eu gwaredu hwy yn awr heb bridwerth, yn gystal ag yn y dyddiau gynt: *Fy mhobl*—sef Jacob a'i feibion, *a aeth i waered i'r Aifft yn y dechread*—i ymdaith yno nes y byddai y newyn drosodd; ond gwaredwyd hwynt oddiyno heb roddi iawn am danynt. *A'r Assyriaid a'u gorthrymodd yn ddiachos*—lawer gwaith ar ol eu gwaredu o'r Aifft, fel y gwelwn yn hanes Senacherib ac ereill; ond gwaredwyd hwynt o'u dwylaw hwythau heb iawn. Eithr tybia rhai mai *Pharao* a feddylir yma wrth yr *Assyriad*, canys am *un* y sonir yn y Saesonaeg; ac ereill, brenin Babilon.

Adn. 5. *Ac yn awr, beth sydd yma i mi, medd yr Arglwydd*] Fel pe dywedasai, Y mae cyflwr presenol fy mhobl yn Babilon yn galw am fy nghyfryngiad nerthol i, yn gystal a phan yr oeddynt yn cael eu gorthrymu yn yr Aifft, a chan yr Assyriaid. *Pan ddygid fy*

yr Arglwydd; a phob dydd yn
wastad y ceblir fy enw.
6 Am hyny y caiff fy mhobl ad-
nabod fy enw: am hyny *y cânt*
*wybod* y dydd hwnw, mai myfi *yw*
yr hwn sydd yn dywedyd: wele,
myfi *ydyw*.
7 ¶ Mor weddaidd ar y mynydd-
oedd *yw* traed yr hwn sydd yn ef-
engylu, yn cyhoeddi heddwch; a'r
hwn sydd yn mynegu daioni, yn
cyhoeddi iachawdwriaeth; yn dy-
wedyd wrth Seion, Dy Dduw di
sydd yn teyrnasu!
8 Dy wylwyr a ddyrchafant lef;
gyda'r llef y cydganant: canys
gwelant lygad yn llygad, pan ddy-
chwelo yr Arglwydd Seion.
9 ¶ Bloeddiwch, cydgenwch, an-
ialwch Jerusalem: canys yr Ar-
glwydd a gysurodd ei bobl, *efe* a
waredodd Jerusalem.
10 Dyosgodd yr Arglwydd fraich
ei santeiddrwydd yn ngolwg yr holl
genhedloedd; a holl gyrau y ddae-
ar a welant iachawdwriaeth ein
Duw ni.
11 ¶ Ciliwch, ciliwch, ewch allan
oddiyno, na chyffyrddwch â dim
halogedig; ewch allan o'i chanol;
ymlanhewch, y rhai a ddygwch
lestri yr Arglwydd.

---

*mhobl ymaith yn rhad*—yn gaethion i Babilon, heb gael eu prynu ganddynt. Dyma un rheswm dros gyfryngiad grasol Duw ar eu rhan. *Eu llywodraethwyr a wna iddynt udo*—trwy eu triniaeth greulon o honynt, yr hyn oedd reswm arall. *A phob dydd yn wastad y ceblir fy enw*—gan y Babiloniaid, fel pe bawn yn ddiffygiol o allu, serchogrwydd, neu ffyddlondeb i waredu fy mhobl o'u dwylaw hwynt. Ar y cyfrifon hyn efe a deimlai fod ganddo reswm digonol i gyfryngu yn awr o blaid ei eglwys yn Babilon.

Adn. 6. *Am hyny y caiff fy mhobl adnabod fy enw*] Fy ngallu, fy ffyddiondeb, a'm serch tuag atynt, adn. 5: *am hyny y cânt wybod y dydd hwnw*—sef y dydd y gwaredwyf hwynt; *mai myfi yw yr hwn sydd yn dywedyd*—neu yn addaw gwaredigaeth iddynt: *wele, myfi ydyw*—yr hwn wyf Dduw hollalluog, digyfnewid, a ffyddlon i'm haddewidion.

Adn. 7. *Mor weddaidd ar y mynyddoedd*] Sef ar fynyddoedd Judea, lle y cyhoeddid y newyddion da hyn; *yw traed yr hwn sydd yn efengylu*—yw 'troediad neu gerddediad' yr hwn sydd yn efengylu, neu yn cyhoeddi heddwch. Meddylir fod yma gyfeiriad at y rhai a ledaenent trwy yr holl wlad gyhoeddiad Cyrus o ollyngdod i'r Iuddewon; yr hyn oedd yn gysgod o bregethiad yr efengyl, neu gyhoeddiad gwaredigaeth ysbrydol i ddynion trwy Grist: gwel ar Rhuf. x. 15. *A'r hwn sydd yn mynegu daioni*—neu, fel ei heglurir yn y geiriau nesaf, 'yn cyhoeddi iachawdwriaeth,' sef gwaredigaeth yr Iuddewon o Babilon, yr hyn oedd yn gysgod o iachawdwriaeth ysbrydol oddiwrth bechod a marwolaeth. *Yn dywedyd wrth Seion*—hyny yw, mor weddaidd yw dyfodiad yr hwn sydd yn dywedyd wrth Seion, *Dy Dduw di sydd yn teyrnasu*—i ddarostwng dy elynion, a'th waredu dithau!

Adn. 8. *Dy wylwyr a ddyrchafant lef*] O orfoledd, pan welant y gaethglud yn dychwelyd adref; *gyda'r llef y cydganant*—cymysgant fawl a diolchgarwch gyda'u gorfoledd, am y fath waredigaeth hynod: *canys gwelant lygad yn llygad*—neu gwelant gyfatebiad cywir rhwng yr addewid a'r cyflawniad, neu rhwng y broffwydoliaeth a'r waredigaeth; *pan ddychwelo yr Arglwydd Seion*—o Babilon i'w gwlad ei hun; neu 'pan ddychwelo yr Arglwydd *i* Seion,' fel y gellir ei gyfieithu. Y mae *Boothroyd* yn ei ddarllen, 'Canys gwelant â'u llygaid eu hunain fod yr Arglwydd yn adfer Seion.' Gwylwyr Seion yw gweinidogion yr efengyl, y rhai a lawenychant ac a gydganant am iachawdwriaeth dynion. 'Ni feddylir yma,' ebai *Barnes*, 'y byddant o'r un golygiadau yn gywir, neu yn dal yr un athrawiaethau, pa mor wir bynag y gall hyny fod, neu pa mor ddymunol bynag ynddo ei hun;' eithr y meddwl yw, 'y cânt amlygiad goleu, eglur, a llawn, o bresenoldeb Duw, ac y bydd iddynt gyd-ddyrchafu eu llef mewn gorfoledd a mawl.' Gallwn feddwl, modd bynag, y bydd pawb yn gweled lygad yn llygad yn mhynciau sylfaenol crefydd yn ystod y milflwyddiant: gwel fy NARLITH i ar y *Milflwyddiant*.

Adn. 9. *Bloeddiwch, cydgenwch, anialwch Jerusalem*] Yr hon a wnaed yn anialwch a charneddau gan y Caldeaid; *canys yr Arglwydd a gysurodd ei bobl*—trwy eu hadfer o'u caethiwed; *efe a waredodd Jerusalem*—o'i chyflwr anial ac adfeiliedig. Yr oedd y peth mor sicr a phe buasai wedi ei gyflawni eisioes; neu dangosid ef o flaen llygad y proffwyd fel pe buasai wedi cymeryd lle.

Adn. 10. *Dyosgodd yr Arglwydd fraich ei santeiddrwydd*] Sef ei allu a'i drugaredd; *yn ngolwg yr holl genhedloedd*—y rhai a glywant am y waredigaeth hynod hon: *a holl gyrau y ddaear a welant iachawdwriaeth ein Duw ni*—yn gyntaf, yn nygiad ei bobl o Babilon; ac wedi hyny yn mhrynedigaeth y byd trwy Grist. Pan gyrhaeddo yr efengyl dros bob cwr o'r ddaear, bydd yr hyn a wnaeth Duw i'w bobl yn Babilon, a'r hyn a wnaeth Crist i'r byd, yn hysbys i'r holl genhedloedd.

Adn. 11. *Ciliwch, ciliwch*] Hyn a ddywedir wrth y caethion yn Babilon; *ewch allan oddiyno*—yr oedd y gorchymyn hwn yn fwy angenrheidiol, trwy fod y proffwyd yn rhagweled tuedd llawer o honynt i aros yno, yn enwedig y rhai a anesid yno, ac a ddyrchafwyd i gyfoeth neu swyddau anrhydeddus. *Na chyffyrddwch â dim halogedig*—na ddygwch gyda chwi oddiyno ddim o'u harferion aflan ac

12 Canys nid ar frys yr ewch
allan, ac nid ar ffo y cerddwch:
canys yr Arglwydd a â o'ch blaen
chwi, a Duw Israel a'ch casgl chwi.
13 ¶ Wele, fy ngwas a lwydda;
efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd
uchel iawn.
14 Megys y rhyfeddodd llawer
wrthyt, (mor llygredig *oedd* ei wedd
yn anad neb, a'i bryd yn anad
meibion dynion!)
15 Felly y taenella efe genhedl-
oedd lawer; brenhinoedd a gauant
eu genau wrtho ef: canys gwelant
yr hyn ni fynegasid iddynt, a deall-
ant yr hyn ni chlywsent.

---

eilunaddolgar. *Ewch allan o'i chanol*—y mae yr apostol yn cymhwyso y geiriau hyn at y Cristionogion, i'w cymhell i ddyfod allan o ganol y byd annuwiol a'i arferion halogedig, o'r hyn yr oedd Babilon yn gysgod, 2 Cor. vi. 17, 18; a defnyddia Ioan hwynt i osod allan ddyledswydd pob gwir Gristion i ymneillduo oddiwrth y Fabilon gyfriniol, neu yr Eglwys Babaidd, rhag iddynt fod yn gyfranog o'i phechodau hi. *Ymlanhewch*—oddiwrth bob halogrwydd seremonïol a moesol, *y rhai a ddygwch lestri yr Arglwydd*—sef yr offeiriaid a'r Lefiaid, y rhai a weinyddent mewn pethau santaidd, ac a garient lestri y deml yn ol i Jerusalem, Ezra i. 7—11.

Adn. 12. *Canys nid ar frys yr ewch allan*] O Babilon: *ac nid ar ffo y cerddwch*—hyny yw, nid ar ffrwst gwyllt, fel pe baech yn gorfod ffoi o flaen eich gelynion; eithr yn araf, pwyllog, a rheolaidd: *canys yr Arglwydd a â allan o'ch blaen chwi*—fel tywysog i'ch arwain a'ch amddiffyn; *a Duw Israel a'ch casgl chwi*—Saes, 'a fydd o'r tu ol i chwi,' i'ch diogelu rhag i neb syrthio arnoch o'r tu ol, ac i gasglu yn nghyd y rhai llesgaf o honoch. Addefir yn gyffredin y dylasai y bennod hon ddiweddu yma, gyda diwedd hanes dychweliad yr Iuddewon i'w gwlad. Ar ol i'r proffwyd ddarlunio y gaethglud yn myned tuag adref, a'r Arglwydd yn myned o'u blaen ac o'u hol hwynt, y mae ei feddwl yn cael ei gario mor rymus at y waredigaeth ysbrydol, o'r hon yr oedd y waredigaeth o Babilon yn gysgod, nes y mae efe yma, dan gymhelliad dwyfol ysbrydoliaeth, yn tori allan i son am Grist a'i ddyoddefiadau, trwy yr hyn y dygir y waredigaeth ysbrydol hòno oddiamgylch.

Adn. 13. *Wele, fy ngwas*] Gwelsom o'r blaen, pen. xlii. 1, fod yr enw hwn yn cael ei roddi i'r Messia yn ei weddnod cyfryngol. Y mae llawer o'r Iuddewon hen a diweddar yn ei ddeall ef yma am Grist yn unig; ac y mae y cyfeiriad ato ef mor amlwg yma, nes y cafodd amrai o'r Iuddewon eu dychwelyd i'r ffydd Gristionogol trwy dystiolaeth y broffwydoliaeth hon. *A lwydda*—yn ei waith a'i deyrnas gyfryngol ar y ddaear; neu, fel y mae yn y Saesonaeg, ac ar ymyl y ddalen, 'a wna yn *gall*;' hyny yw, efe a drinia achosion ei deyrnas gyda doethineb rhyfeddol. *Efe a godir, a ddyrchefir, ac a fydd uchel iawn*—cynwysa hyn ei fod unwaith mewn cyflwr o *ddarostyngiad*, fel yr adroddir yn y bennod nesaf; ac yna ei *ddyrchafiad* i'r graddau uwchaf o anrhydedd, fel y gwelwn yn Phil. ii. 7—11. Y mae ef wedi ei godi eisioes ar ddeheulaw y Mawredd yn y goruwchleoedd, Heb. i. 3; ac fe'i dyrchefir ef yn barhaus yn meddyliau ei holl bobl ar y ddaear; ac efe a ymddengys yn uchel iawn pan y daw ar gymylau y nef, yn ei ogoniant ei hun a gogoniant ei Dad, yn y dydd diweddaf.

Adn. 14. *Megys y rhyfeddodd llawer wrthyt*] Neu '*wrtho*,' fel y mae *Lowth* ac ereill yn ei ddarllen, ac fel y mae mewn dau hen ysgriflyfr *Hebreig*, ac yn y *Syriaeg*, y *Galdeaeg*, a rhai ailunau o'r *Vulgate*. Y meddwl yw, eu bod yn rhyfeddu wrth ei ddwfn gystudd a'i ddarostyngiad ef, megys y rhyfedda ereill wrth ei ddyrchafiad, adn. 13, 15. *Mor llygredig oedd ei wedd yn anad neb, &c.*—hyny yw, mor salw, anffurfiol, neu anafus ydyw ei bryd a'i wedd ef ragor pob dyn arall! Dyma y geiriau yn y rhai y mynegai ei elynion eu rhyfeddiad. Dichon ei fod yn edrych yn salw ar hyd heolydd Jerusalem, pan y 'rhoddodd efe ei gorff i'r curwyr, a'i gernau i'r rhai a dynent y blew, heb guddio ei wyneb oddiwrth waradwydd a phoeredd,' pen. l. 6; ond hyd yn nod y pryd hyny yr oedd ef yn ngolwg ei gyfeillion yn 'decach na meibion dynion,' Salm xlv. 2.

Adn. 15. *Felly*] Y mae y gair hwn yn cyfateb i'r gair *megys* yn yr adnod flaenorol; a'r meddwl yw, *megys* y rhyfeddodd llawer wrth ei *ddarostyngiad* ef, *felly* y rhyfedda llawer wrth ei *ddyrchafiad*. *Y taenella efe genhedloedd lawer*—nid yr Iuddewon yn unig, eithr yr holl Genhedloedd hefyd, i'w puro a'u glanhau oddiwrth eu haflendid a'u llygredd. Gall hyn fod yn cyfeirio at eu taenellu, (1) A'i waed, yr hwn a elwir yn 'waed y taenelliad,' Heb. xii. 24; hyny yw, efe a'u cyfiawnha hwynt trwy ei waed. Neu, (2) A'i air neu ei athrawiaeth rasol, yr hon a ddyfera ac a ddefnyna arnynt fel gwlaw, Deut. xxxii. 2. Neu ynte, (3) A'i Ysbryd, yr hwn a osodir allan yn fynych dan y gyffelybiaeth o ddwfr, ac o daenellu arnynt ddwfr glân, Ezec. xxxvi. 25. Modd bynag, nid oes yma un cyfeiriad at y dull o weinyddu y bedydd Cristionogol, fel y tybiodd rhai. Tybia *Martini*, *Rosenmuller*, a *Gesenius*, fod y gair a gyfieithir yma *taenellu*, yn deilliaw oddiwrth air Arabig yn arwyddo neidio, gorfoleddu, a llamu o lawenydd; ac mai yr ystyr yw, y parai efe i lawer o genhedloedd lawenychu, neu neidio mewn gorfoledd. Y LXX a'i cyfieithant, 'Felly y *rhyfedda* cenhedloedd lawer wrtho.' *Brenhinoedd a gauant eu genau wrtho ef*—mewn parch a syndod, gan ryfeddu wrth ei fawredd a'i ddoethineb, a chan ewyllysio clywed a derbyn ei eiriau grasol ef. *Canys gwelant yr hyn ni fynegasid iddynt*—erioed o'r blaen; *a deallant yr hyn ni chlywsent*—gan neb o'u hathrawon blaenorol. Bydd ei athrawiaethau

PENNOD LIII.

PWY a gredodd i'n hymadrodd?
ac i bwy y datguddiwyd braich
yr Arglwydd?
2 Canys efe a dyf o'i flaen ef fel
blaguryn, ac fel gwreiddyn o dir
sych: nid oes na phryd na thegwch
iddo: pan edrychom arno, ni bydd
pryd fel y dymunem ef.
3 Dirmygedig yw, a diystyraf o'r
gwŷr; gŵr gofidus, a chynefin â
dolur: ac *yr oeddym* megys yn
cuddio *ein* hwynebau oddiwrtho:
dirmygedig oedd, ac ni wnaethom
gyfrif o hono.
4 ¶ Diau efe a gymerth ein
gwendid ni, ac a ddyg ein doluriau:
eto ni a'i cyfrifasom ef wedi ei
faeddu, ei daro gan Dduw, a'i gys-
tuddio.
5 Ond efe a archollwyd am ein
camweddau ni, efe a ddrylliwyd am
ein hanwireddau ni: cospedigaeth
ein heddwch ni *oedd* arno ef: a
thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni.

---

yn newydd iddynt, trwy na chlywsant o'r blaen am ei gnawdoliaeth, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i ddyrchafiad ar ddeheulaw ei Dad.

PEN. LIII. Adn. 1. *Pwy a gredodd i'n hymadrodd?*] Ar ol i'r proffwyd yn y tair adnod ddiweddaf o'r bennod flaenorol fod yn traethu ar ddarostyngiad a dyrchafiad rhyfeddol y MESSIA, ar yr hyn y bwriadai efe draethu yn helaethach eto yn y bennod hon, efe a farnai yn angenrheidiol wneuthur y rhagymadrodd a gynwysir yma. Fel pe dywedasai, Pwy nid yn unig o'r Cenhedloedd, ond hefyd o'r Iuddewon, a greda wirionedd yr hyn a ddywedais eisioes, ac a ddywedir genyf yn mhellach ar y pen hwn? Rhaid fod yn amlwg i bob dyn diragfarn a glywodd am ddyoddefiadau a marwolaeth ein Gwaredwr, mai am dano ef yn unig y llefarir yma. Y mae rhai o'r Iuddewon yn ceisio cymhwyso yr hyn a ddywedir yma at eu dyoddefiadau hwy yn ystod eu caethiwed; ond y mae yr annghyfatebiad mwyaf rhwng hyny a'r hyn a ddarlunir yma, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen. *Ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd*—sef ei nerth hollalluog ef, yr hwn a deimlid yn ngweinidogaeth Crist, a than bregethiad yr efengyl? Y mae hyn yn cyfeirio yn fwy at allu achubol Crist, nag at ei allu gwyrthiol ef; canys yr efengyl yw 'gallu Duw er iachawdwriaeth, i bob un a'r sydd yn credu,' Rhuf. i. 16. Y mae y proffwyd yn llefaru yma yn enw yr apostolion a gweinidogion yr efengyl, yn gystal ag yn ei enw ei hun a'i gydbroffwydi; oblegid cawn yr un geiriau wedi eu dyfynu gan St. Ioan, pen. xii. 38, a chan St. Paul, Rhuf. x. 16.

Adn. 2. *Canys efe*] Sef y MESSIA, am yr hwn y soniwyd yn niwedd y bennod flaenorol; *a dyf o'i flaen ef*—'o flaen JEHOFA,' ebai *Barnes*. 'Efe a welid ac a ganfyddid ganddo ef, er ei fod yn anadnabyddus i'r byd. Ni fyddai i ddynion ei ystyried ef fel y MESSIA pan yn tyfu i fyny; ond gwnai JEHOFA, a byddai ei lygad arno ef yn barhaus.' Ond fe allai mai y *byd* annuwiol ac annghrediniol a olygir yma, yn ngolwg neu yn marn yr hwn y tyfai y Messia *fel blaguryn*—gwan a diwerth; *ac fel gwreiddyn o dir sych*—neu *mewn* tir sych a diffrwyth, lle na byddo dim i'w ireiddio na'i faethu. *Nid oes na phryd a thegwch iddo*—nid oes dim ynddo i dynu ein sylw: nid yw wedi ei eni mewn palas, nac yn dwyn delw o fawredd, nac yn gwisgo urddas brenhinol. *Pan edrychom arno*—yr hyn a wnaent bob amser gyda'r rhagfarn fwyaf; *ni bydd pryd fel y dymunem ef*—nid oedd wedi dyfod atynt fel meistr, eithr fel gwas; ni ddaethai atynt mewn rhwysg daearol, ond fel dyn tylawd, 'heb le i roddi ei ben i lawr,' Mat. viii. 20. Y mae yn wir fod llawer o 'brydferthwch' ynddo ef y pryd hyny, sef prydferthwch santeiddrwydd, daioni, a thrugaredd, yr hyn oedd yn ddigon i'w wneuthur ef yn 'ddymuniant yr holl genhedloedd,' Hag. ii. 7; ond nid oedd y byd yn gweled dim o'i brydferthwch, canys yn ysbrydol y bernid ef.

Adn. 3. *Dirmygedig yw, a diystyraf o'r gwŷr*] Yn ngolwg yr Iuddewon annghrediniol; *gŵr gofidus, a chynefin â dolur*—yr hyn ynddo ei hun a ddylasai eu cynhyrfu hwy i dosturio wrtho; ond, yn lle cydymdeimlo âg ef, yr oeddynt yn ei ddirmygu ac yn ei ddiystyru yn fwy o herwydd ei ddyoddefiadau. *Ac yr oeddym megys yn cuddio ein hwynebau oddiwrtho*—gan ei ystyried fel yn rhy ddirmygus i edrych arno; neu, yn ol y darlleniad ar ymyl y ddalen, 'yr oedd megys yn cuddio ei wyneb oddiwrthym,' fel y gwna un a fyddo mewn galar neu gywilydd. Yma llefara y proffwyd yn enw gelynion Crist. *Dirmygedig oedd*—yn ein golwg ni, fel pe buasai y gwahanglwyf arno; *ac ni wnaethom gyfrif o hono*—nid edrychem arno fel y MESSIA, nac fel un yn haeddu tosturio wrtho.

Adn. 4. *Diau efe a gymerth ein gwendid ni, ac a ddyg ein doluriau*] Fel pe dywedasai y proffwyd, Dyna yr achos ei fod ef yn ŵr gofidus a chynefin â dolur, am mai dyoddef yr ydoedd o'n hachos *ni*, ac nid o'i achos ei *hun*. Gellir cymhwyso hyn gyda'r un priodoldeb at bechod, neu at ei ganlyniadau: gwel ar Mat. viii. 17. *Eto ni a'i cyfrifasom ef wedi ei faeddu, ei daro gan Dduw, a'i gystuddio*—am ei bechodau *ei hun*. Ni ddarfu i ni gymaint ag unwaith feddwl mai am ein pechodau *ni* yr oedd efe yn cael ei daro a'i gystuddio, ond yn unig am ei bechodau *ei hun*.

Adn. 5. *Ond efe a archollwyd am ein camweddau ni*] Holl ddynolryw; *efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni*—ac nid am ei anwireddau *ei hun*; canys 'ni wnaeth bechod, ac ni chaed twyll yn ei enau:' gwel ar 1 Pedr

6 Nyni oll a grwydrasom fel def-
aid; troisom bawb i'w ffordd ei
hun: a'r Arglwydd a roddes arno
ef ein hanwiredd ni i gyd.
7 Efe a orthrymwyd, ac efe a
gystuddiwyd, ac nid agorai ei enau:
fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa,
ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i
cneifiai, felly nid agorai yntau ei
enau.
8 O garchar ac o farn y cymer-
wyd ef: a phwy a draetha ei oes ef?
canys efe a dorwyd o dir y rhai
byw; *rhoddwyd* pla arno ef am
gamwedd fy mhobl.
9 Ac efe a wnaeth ei fedd gyda'r
rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yn
ei farwolaeth; am na wnaethai gam,
ac nad *oedd* twyll yn ei enau.
10 ¶ Eithr yr Arglwydd a fynai
ei ddryllio ef; efe a'i clwyfodd:
pan osodo efe ei enaid yn aberth

---

ii. 22—24. Gellir sylwi yma, fod yr *archolli* a'r *dryllio* uchod yn cynwys yr oll o'i ddyoddefiadau a'i farwolaeth, trwy yr hyn y gwnaed iawn am ein pechodau ni. *Cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef*—sef y gosp hòno trwy ba un y caed heddwch i ni; *a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni*—neu y caed trefn i'n hiachâu, ac iachawdwriaeth dragwyddol i'n meddiant.

Adn. 6. *Nyni oll a grwydrasom fel defaid*] Oddiwrth Dduw, neu o ffyrdd crefydd, dyledswydd, a dedwyddwch; *troisom bawb i'w ffordd ei hun*—sef i ffordd pechod, yr hon y gellir ei galw 'ein ffordd ein hun,' am fod pechod yn beth naturiol i ni, ac wedi dyfod i'r byd gyda ni, ac wedi ei gymysgu â'n natur; neu ynte, trôdd pawb i'r gwahanol lwybrau pechadurus hyny ag y mae gwahanol ddynion yn eu dewis, yn ol eu gwahanol dymherau a'u tueddiadau. *A'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd*—sef cospedigaeth anwiredd holl ddynolryw. Nis gall hyn arwyddo ddarfod ei wneuthur ef yn *bechadur*, neu ei fod yn *euog* yn ngolwg Duw; canys yr oedd Duw yn edrych arno ef yn barhaus fel un diniwed, cyfiawn, a santaidd: gwel ar 2 Cor. v. 21.

Adn. 7. *Efe a orthrymwyd*] Trwy ddirfawr bwys ei ddyoddefiadau; *ac efe a gystuddiwyd*—â'r poenau a'r loesau chwerwaf; neu, fel y mae *Lowth* yn ei gyfieithu, 'Gofynwyd, a gwnaed ef yn atebol.' Yr oedd dwyfol gyfiawnder yn gofyn iawn am ein pechodau ni, yr hyn ni allem ni ei roddi; neu ynte, yr oedd ef yn gofyn i ni fel pechaduriaid gael ein cospi; ac atebodd yntau i'r gofyniad, trwy ddyoddef y gosp yn ein lle ni. *Ac nid agorai ei enau*—mewn ffordd o rwgnach yn erbyn dwyfol gyfiawnder am ei gospi ef yn ein lle ni, neu mewn ffordd o feio dynion am fod yn achos o'i ddyoddefaint, neu i ymesgusodi rhag dyoddef, neu i ddadlu dros ei fywyd ei hun. *Fel oen yr arweinid ef i'r lladdfa*—'fel oen a arweinier i'r lladdfa.'—*Lowth.* Nid yw hyn yn golygu iddo ef gael ei arwain i'r lladdfa fel yr arweinir oen; ond, ei fod yn amyneddgar, llonydd, a mud fel oen. *Ac fel y tau dafad o flaen y rhai a'i cneifiai*—neu, fel y mae y ddafad yn *fud* pan yn cael ei chneifio. *Felly nid agorai yntau ei enau*—mewn ffordd o achwyn neu rwgnach dan ei driniaeth chwerw, mwy na'r oen neu y ddafad.

Adn. 8. *O garchar ac o farn y cymerwyd ef*] Trwy na feddwn hanes i Grist gael ei *garcharu*, y mae rhai yn dewis y darlleniad ar ymyl y ddalen yma, 'Efe a gymerwyd ymaith trwy *gyfyngder* a barn;' hyny yw, efe a gymerwyd o'r byd hwn trwy ormes, trais, a rhith-gyfiawnder, neu dan yr esgus o gyfiawnder. *Lowth* a'i cyfieitha, 'Trwy farn orthrymus y cymerwyd ef ymaith;' a'r LXX, 'Yn ei ddarostyngiad, ei farn ef a dynwyd ymaith;' hyny yw, ni ddanghoswyd iddo gyfiawnder. *A phwy a draetha ei oes ef?*—gwel ar Act. viii. 33, lle y ceir y gwahanol ystyron a roddir i'r geiriau hyn. 'Yr wyf fi yn meddwl gyda Dr. Hammond,' ebai *Doddridge*, 'mai yr ystyr yw, Pwy a fedr ddarlunio anffyddiaeth gyndyn ac annghyfiawnder barbaraidd y *genhedlaeth* hòno o ddynion ag yr ymddanghosodd efe yn eu mysg, ac oddiwrth ba rai y dyoddefodd efe y fath bethau? *Canys efe a dorwyd o dir y rhai byw*—trwy ddwylaw anwir a chreulon ei elynion, Act. ii. 23. *Rhoddwyd pla arno ef*—Saes., 'tarawyd ef,' *am gamwedd fy mhobl*—neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'tarawyd ef *trwy* gamwedd fy mhobl;' hyny yw, dyoddefodd a bu farw trwy greulondeb a malais yr Iuddewon, cenedl Esay. Tybia ereill mai JEHOFA sydd yn llefaru yma, gan ddangos mai *am* gamwedd ei *bobl* y tarawyd Crist, ac nid am ei gamwedd *ei hun.*

Adn. 9. *Ac efe a wnaeth ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth*] Neu, fel y mae *Lowth* yn ei gyfieithu, 'Ei fedd a *benodwyd* gyda'r rhai anwir; ond gyda'r cyfoethog y bu ei feddrod.' Gan i'n Hiachawdwr gael ei groeshoelio rhwng dau leidr, diamau mai gyda'r rhai anwir hyny y bwriedid ei gladdu ef; ond gan i Joseph o Arimathea ofyn ei gorff ef gan Pilat, efe a'i claddodd ef yn ei fedd newydd ei hun. Ond tybia rhai y dylid trawsosod rhanau y frawddeg uchod, gan ei darllen fel hyn: 'Ie, ei farwolaeth a benodwyd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog ei fedd.' *Am na wnaethai gam, ac nad oedd twyll yn ei enau*—canys pe buasai ef yn gamweddwr a thwyllwr, prin y gofynasai Joseph am ei gorff ef, ac ni chaniatasai Pilat iddo ei gael.

Adn. 10. *Eithr yr Arglwydd a fynai ei ddryllio ef*] Er na wnaethai gam, ac nad oedd twyll yn ei enau; *efe a'i clwyfodd*—a'i traddododd ef i gael ei glwyfo a'i ladd, nid am ei fod yn bechadur yn haeddu marw, ond fel y gallai trwy ei farwolaeth ef gadw pawb a gredent ynddo. *Mynai* yr Arglwydd ei ddryllio, neu *boddlonodd* i'w Fab farw, nid am fod ganddo *hyfrydwch* yn nyoddefiadau y diniwed,

dros bechod, efe a wel *ei* had, efe a
estyn *ei* ddyddiau; ac ewyllys yr
Arglwydd a lwydda yn ei law ef.
11 O lafur ei enaid y gwel, *ac* y
diwellir: fy ngwas cyfiawn a gyf-
iawnha lawer trwy ei wybodaeth;
canys efe a ddwg eu hanwireddau
hwynt.
12 Am hyny y rhanaf iddo *ran*
gyda llawer, ac efe a rana yr yspail
gyda'r cedyrn: am iddo dywallt ei
enaid i farwolaeth: ac efe a gyfrif-
wyd gyda'r troseddwyr; ac efe a
ddyg bechodau llaweroedd, ac a
eiriolodd dros y troseddwyr.

---

nid am fod y dyoddefydd yn haeddu marw, nac am ei fod wedi anfoddloni ei Dad mewn gair na gweithred; ond, yn hytrach, am mai dyma yr unig drefn i ddadlenu yr holl berffeithderau dwyfol, i ddangos drygedd pechod, ac i gadw pechadur: gwel ar Rhuf. iii. 26. Ond gofynir i ni weithiau, 'Yn mha le y mae *cyfiawnder* y weithred o gospi y cyfiawn ac arbed y troseddwr?' Yr wyf yn ateb, Yn hyn: iddo ef y cyfiawn fyned yn *wirfoddol* i le yr annghyfiawn. Yr wyf yn addef, pe byddai ar A bunt o ddyled i B, ac i C gael ei *orfodi* i dalu dyled A i B, y byddai hyny yn annghyfiawnder: ond pe deuai C yn mlaen yn *wirfoddol*, o dosturi tuag at A, i dalu drosto ef i'w gymydog, yn mha le y byddai *annghyfiawnder* y weithred? Felly yn gywir y bu yn achos Crist: 'Oblegid Crist hefyd unwaith a ddyoddefodd dros bechodau, y Cyfiawn dros yr annghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw,' 1 Pedr iii. 18. 'Nid oes neb yn *dwyn fy einioes* oddiarnaf fi; ond myfi sydd yn ei dodi hi i lawr o honof fy hun. Y mae genyf feddiant i'w dodi hi i lawr, ac y mae genyf feddiant i'w chymeryd hi drachefn,' Ioan x. 18. *Pan osodo efe ei enaid*—sef ei einioes, neu ei hunan, gorff ac enaid; *yn aberth dros bechod*—i wneuthur iawn drosto; *efe a wel ei had*—efe a wel hiliogaeth luosog o wir blant ysbrydol, neu gredinwyr; *efe a estyn ei ddyddiau*—y mae yr ymadroddion hyn wedi eu cymeryd oddiwrth yr hyn a ystyrid y ddwy fendith fwyaf yn mhlith yr Iuddewon, a'r prawf amlycaf o'r ffafr ddwyfol, sef estyniad dyddiau, a hiliogaeth luosog. Un o'r bendithion uwchaf a ellid eu haddaw i Abraham oedd, y byddai iddo gael ei wneuthur yn 'dad llawer o genhedloedd:' gwel ar Gen. xii. 2, a xvii. 5, 6, 1 Bren. iii. 14, Salm cxxvii. 5, a cxxviii. 6 Y meddwl yma yw, y cai y Messia weled lluoedd mawrion o blant ysbrydol iddo; ac er iddo gael ei ladd, eto y codid ef yn fyw drachefn, ac yr estynid ei ddyddiau. Cyflawnwyd hyn yn adgyfodiad y Gwaredwr oddiwrth y meirw, a'i deyrnasiad ysbrydol ef ar y ddaear, a'i dragwyddol fodaeth a'i ogoniant ef yn y nefoedd! *Ac ewyllys yr Arglwydd*—y gwaith ag sydd wrth fodd Jehofa, ac yn hyfrydwch mor fawr iddo, sef lledaeniad yr efengyl, sefydliad eglwysi Cristionogol, ac achubiaeth eneidiau; *a lwydda yn ei law ef*—dan weinyddiaeth a llywodraeth y Cyfryngwr fel Brenin Seion.

Adn. 11. *O lafur ei enaid y gwel*] Hyn a ddywedir gan Jehofa, yr hwn a gymer y fath ddyddordeb a hyfrydwch yn ngwaith a llwyddiant y Cyfryngwr; *ac y diwellir*—efe a wel gymaint o ddaioni yn deilliaw oddiwrth ei ddyoddefiadau a'i farwolaeth; a bod y fath anrhydedd wedi cael ei roddi trwy hyny i ddeddf ei Dad, a'r fath ogoniant mynegol i'r priodoliaethau dwyfol; efe a genfydd fod y fath ffordd o waredigaeth wedi ei hagor, a bod cynifer o eneidiau wedi eu hachub trwy y fath drefn rasol, nes y bydd yn ystyried hyny yn daliad digonol iddo am yr oll a ddyoddefodd. Nid ydym i gasglu oddiyma nad oedd efe yn ewyllysio cadw mwy o'r hil ddynol; canys byddai y gyfryw dyb yn groes i holl rediad yr ysgrythyrau, i alwad yr efengyl, i ewyllys ddatguddiedig Duw, i hynawsedd a thosturi y Ceidwad, i ddybenion ei aberth a'i iawn, ac i ymrysoniadau yr Ysbryd Glân yn nghydwybodau y rhai a'i tristânt ac a'i diffoddant: eithr y meddwl yw, y bydd cynifer wedi gwneyd derbyniad o'i iachawdwriaeth, ac wedi eu dyrchafu trwy hyny i'r fath anrhydedd, dedwyddwch, a gogoniant tragwyddol, nes y bydd y Cyfryngwr wrth ei fodd am byth yn yr olwg ar y fath dyrfa waredigol, fel na theimla efe un math o ofid nac edifeirwch am ddyfod o hono o fynwes ei Dad i ddyoddef a marw yn ein byd ni fel y gwnaeth. Diamau y bydd nifer y cadwedigion yn y diwedd yn llawer mwy na nifer y colledigion: gwel fy Narlith i ar y *Milflwyddiant*. *Fy ngwas cyfiawn a gyfiawnha lawer*—sef pawb a gredant ynddo, ac a ufyddhant iddo. Efe a'u rhyddha hwynt oddiwrth euogrwydd a chosp pechod trwy faddeuant, ac a ymddyga tuag atynt megys pe na buasent erioed yn bechaduriaid: gwel ar Rhuf. iii. 25, 26, a iv. 3—8. *Trwy ei wybodaeth*—sef y wybodaeth neu yr adnabyddiaeth o hono ef ei hun, ac o drefn rasol yr iachawdwriaeth trwyddo, yn cynyrchu edifeirwch a ffydd, yn nghyda chariad ato ac ufyddhod iddo. *Canys efe a ddwg eu hanwireddau hwynt* — sef cospedigaeth eu hanwireddau, 1 Pedr ii. 24; neu efe a ddwg ymaith eu hanwireddau trwy eu cyfiawnhau hwy oddiwrthynt.

Adn. 12. *Am hyny y rhanaf iddo ran gyda llawer*] Saes., 'gyda'r mawrion;' *ac efe a rana yr yspail gyda'r cedyrn*—yr un modd ag y rhana buddugoliaethwyr mawrion a chedyrn y ddaear yr yspail ar ol gorchfygu eu gelynion. Neu gall mai yr ystyr yw, y byddai ei fuddugoliaethau ef yn cynwys y mawrion a'r cedyrn, y rhai a ddarostyngid ganddo. *Lowth* a'i cyfieitha, 'Am hyny y rhanaf iddo *y llawer* fel ei ran; a'r *bobl gedyrn* a gyfranoga efe fel ei yspail:' gwel isod. *Am iddo dywallt ei enaid i farwolaeth*—hyn a ddywedir mewn cyfeiriad at waed yr aberth yn cael ei dywallt wrth yr allor, Deut. xii. 27. Fel pe dywedasai, Am iddo ef yn wirfoddol ddodi ei einioes i lawr yn aberth

## PENNOD LIV.

CAN *di* anmhlantadwy nid esgor-
odd: bloeddia ganu, a gorfol-
edda, *yr hon* nid esgorodd: o her-
wydd amlach meibion yr hon a
adawyd, na'r hon y mae gŵr iddi,
medd yr Arglwydd.
2 Helaetha le dy babell, ac estyn-
ant gortynau dy breswylfeydd: nac
attal, estyn dy raffau, a sicrha dy
hoelion.
3 Canys ti a dori allan ar y llaw
ddeau, ac ar y llaw aswy: a'th had
a etifedda y Cenhedloedd, a dinas-
oedd anrheithiedig a wnant yn gyf-
aneddol.
4 Nac ofna; canys ni'th gywil-

---

dros bechod y byd, mewn ufydd-dod i ewyllys Duw, adn. 10; am hyny yr estyna efe ei fuddugoliaethau dros yr holl ddaear, gan ddarostwng hyd yn nod y rhai mwyaf a chadarnaf iddo ei hun. *Ac efe a gyfrifwyd gyda'r troseddwyr*—hyny yw, efe a fuddugoliaetha felly, *am* iddo oddef iddo ei hun gael ei gyfrif gyda'r rhai anwir, sef gyda'r lladron ar y groes, Marc xv. 27, 28. *Ac efe a ddyg bechodau llaweroedd*—sef holl ddynolryw, o ddechre i ddiwedd y byd, y rhai sydd yn *llawer* yn wir. 'Y mae *rabbim* y proffwyd,' ebai *Clarke*, 'yn cyfateb i *oi polloi* yr apostol, ac yn meddwl holl ddynolryw:' gwel ar Mat. xx. 28, Rhuf. v. 15—18, 2 Cor. v. 14, 15. *Ac a eiriolodd dros y troseddwyr*—cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn amser croeshoeliad ein Hiachawdwr, pryd y dywedodd efe, 'O Dad, maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur,' Luc xxiii. 34; ac y mae yn cael ei gyflawni yn barhaus yn ei eiriolaeth drosom ni yn y nef, Heb. vii. 25, 1 Ioan ii. 1. Er i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraddodi oddeutu 712 o flynyddau cyn geni Crist, eto y mae yn berffaith gyson â'r hanes a ddyry yr Efengylwyr am ddyoddefiadau a marwolaeth ein Gwaredwr; ac nis gall fod yn cyfeirio at neb ond efe, er holl ddyfais yr Iuddewon i'w chamddeongli. Y mae y rabbiniaid Iuddewig yn gwahardd i'w pobl ddarllen y bennod hon, a hyny yn ddiamau rhag iddynt gael eu hargyhoeddi o wirionedd Cristionogaeth, fel y cafodd yr eunuch gynt, Act viii. 30—35.

PEN. LIV. Adn. 1. *Cân di anmhlantadwy nid esgorodd*] Wrth yr 'anmhlantadwy' hon y golygir eglwys Dduw dan yr Hen Destament, wedi ei chyfyngu o fewn terfynau cul y genedl Iuddewig, ac yn fwy fyth felly gyda golwg ar y nifer tra bychan o wir gredinwyr ynddi, a'r hon a ymddanghosai weithiau fel wedi ei gadael gan Dduw ei phriod: gwel *Lowth.* Arddanghosir hi yma dan y gyffelybiaeth o fenyw amddifad o blant, yr hon y gelwir arni i *ganu* a *gorfoleddu* yn y rhagolwg o'r hyn oedd yn ei haros. Tybia *Barnes* fod yma gyfeiriad at yr eglwys yn Babilon, pryd yr oedd yn cael ei gorthrymu, ac ond odid yn lleihau yn barhaus mewn rhifedi. Hi a welsai ei meibion yn cael eu dyfetha yn ngwarchaead a dinystr Jerusalem, ac nad oedd yn cynyddu tra yn Babilon; ond hi a gai achos mawr i orfoleddu ar ei dychweliad i Judea, ac yn ei chynydd dyfodol dan y Messia, trwy ddylifiad y Cenhedloedd iddi. *O herwydd amlach meibion yr hon a adawyd*—sef eglwys Dduw, yr hon oedd fel wedi ei gadael 'dros enyd fechan' gan ei phriod, adn. 7, 8; *na'r hon y mae gŵr iddi*—na'r eglwys Iuddewig pan yr oedd yn ei chyflwr mwyaf blodeuog. Tybia *Rosenmuller* mai wrth 'yr hon y mae gŵr iddi' y golyga y proffwyd *genhedloedd* ereill, y rhai a ffrwythlonent ac a gynyddent fel gwraig briod. Tybia *Grotius* fod y proffwyd yn meddwl *dinasoedd* ereill, y rhai a breswylid; ac y byddai i Jerusalem ragori yn mhell arnynt mewn llwyddiant a rhifedi. Ond yr wyf fi yn meddwl mai at *yr un eglwys* mewn gwahanol *gyfnodau* y cyfeirir yma. Dan yr oruchwyliaeth Iuddewig, ar y cyntaf, yr oedd hi fel gwraig mewn cyfammod priodasol, a'i phlant yn lluosog; wedi hyny aeth i gyflwr o weddwdod ac unigedd, yn enwedig yn ystod ei chaethiwed yn Babilon: ond dan oruchwyliaeth yr efengyl, byddai i'w theulu gynyddu eilwaith i rifedi mawr trwy ddychweliad y Cenhedloedd iddi; ïe, byddai yn llawer lluosocach nag y bu erioed o'r blaen yn ei hamser goraf. Yr un yw eglwys Dduw, mewn gwirionedd, dan bob goruchwyliaeth; canys pan ddychwelir yr Iuddewon at Grist yn y dyddiau diweddaf, 'impir hwynt i mewn yn eu holewwydden eu hun,' Rhuf. xi. 24. Y mae dychweliad y Cenhedloedd yn cael ei ystyried o hyd gan y proffwyd fel chwanegiad newydd o blant mabwysiadol i eglwys wreiddiol Duw: gwel ar pen. xlix. 20—22.

Adn. 2. *Helaetha le dy babell*] Fel y gallo gynwys y Cenhedloedd yn gystal a'r Iuddewon; *ac estynant gortynau dy breswylfeydd*—boed iddynt hwy, y rhai y perthyna y gwaith hwn iddynt, estyn 'lleni' dy babell uwchben ac oddiamgylch. *Nac attal*—trwy ofn y bydd i ti wneyd y lle yn rhy eang, canys y mae torfaoedd mawrion i ddyfod i mewn atat. *Estyn dy raffau*—i eangu dy babell; *a sicrha dy hoelion*—yn y ddaear, i rwymo y rhaffau hyny wrthynt: gwel ar pen. xxxiii. 20.

Adn. 3. *Canys ti a dori allan ar y llaw ddeau ac ar y llaw aswy*] Yn ganghenau lluosog yn mhob cwr o'r ddaear; *a'th had*—dy blant ysbrydol, sef aelodau yr eglwys Gristionogol, yn enwedig apostolion a gweinidogion Crist; *a etifedda y Cenhedloedd*—a'u dygant hwy drosodd i ufydd-dod ffydd; *a dinasoedd anrheithiedig*—y rhai oeddynt felly mewn ystyr moesol, *a wnant yn gyfaneddol*—a lenwir gan gredinwyr yn Nghrist, a gwir addolwyr y Tad: gwel ar pen. xlix. 19, 20.

Adn. 4. *Nac ofna, canys ni'th gywilyddir*]

yddir: ac na'th waradwydder, am
na'th warthruddir; canys ti a an-
nghofi waradwydd dy ieuenctid, a
gwarthrudd dy weddwdod ni chofi
mwyach.
5 Canys dy Briod *yw* yr hwn a'th
wnaeth, (Arglwydd y lluoedd *yw* ei
enw,) dy Waredydd hefyd, Sant
Israel, Duw yr holl ddaear y gelwir
ef.
6 Canys fel gwraig wrthodedig,
a chystuddiedig o ysbryd, y'th alw-
odd yr Arglwydd, a gwraig ieuenc-
tid, pan oeddit wrthodedig, medd
dy Dduw.
7 Dros enyd fechan y'th adew-
ais; ond â mawr drugareddau y'th
gasglaf.
8 Mewn ychydig soriant y cudd-
iais fy wyneb oddiwrthyt enyd *awr;*
ond â thrugaredd dragwyddol y
trugarhaf wrthyt, medd yr Ar-
glwydd dy waredydd.
9 Canys *fel* dyfroedd Noa *y mae*
hyn i mi: canys *megys* y tyngais
nad elai dyfroedd Noa mwy dros y
ddaear; felly y tyngais na ddigiwn
wrthyt, ac na'th geryddwn.
10 Canys y mynyddoedd a gil-
iant, a'r bryniau a symudant: eithr
fy nhrugaredd ni chilia oddiwrth-
yt, a chyfammod fy hedd ni syfl,
medd yr Arglwydd sydd yn trugar-
hau wrthyt.
11 ¶ Y druan, helbulus gan dy-
mhestl, y ddigysur, wele, mi a os-
odaf dy gerig di â charbwncl, ac
a'th sylfaenaf â *meini* saphir.

---

O herwydd prinder dy blant; *ac na'th waradwydder*—fel cynt, *am na'th warthruddir*—hyny yw, *oblegid* ni'th warthruddir mwyach. *Canys ti a annghofi waradwydd dy ieuenctid*—sef eu hadfyd yn yr Aifft, a'u trallodion a'u diepiledd yn eu cyfnod boreol; *a gwarthrudd dy weddwdod ni chofi mwyach*—sef eu cyflwr unig ac adfydus yn Babilon ond odid: gwel ar pen. xlix. 21.

Adn. 5. *Canys dy Briod yw yr hwn a'th wnaeth*] Neu, yr hwn a'th wnaeth, sef dy Greawdwr hollalluog, sydd hefyd yn Briod i ti, i'th amddiffyn a'th luosogi. *Arglwydd y lluoedd yw ei enw*—yr hwn sydd yn meddu pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear. *Dy Waredydd hefyd*—yw efe, yn gystal a'th Briod a'th Greawdwr. *Sant Israel*—yr hwn a santeiddir ynddynt a chanddynt; neu y Bôd santaidd a wareda Israel, ac a addolir ganddynt hwy. *Duw yr holl ddaear y gelwir ef*—ni fydd iddo gael ei alw mwyach yn Dduw Israel yn unig, eithr gelwir ef hefyd yn Dduw yr holl Genhedloedd: gwel ar Rhuf. iii. 29.

Adn. 6. *Canys fel gwraig wrthodedig*] Gan ei phriod; *a chystuddiedig o ysbryd*—o herwydd ddarfod ei gwrthod felly; *y'th alwodd yr Arglwydd*—di ato ei hun; hyny yw, dyna oedd dy gyflwr pan oeddit wrthodedig, a phan yn cael dy alw: *a gwraig ieuenctid*—wedi ei phriodi pan yn ieuanc; sef gwraig ag y teimlid serch tyner a gwresog tuag ati ar y cyntaf, er iddi wedi hyny gael ei gwrthod am ei hanffyddlondeb i'w phriod.

Adn. 7. *Dros enyd fechan y'th adewais*] Dros ystod y 70 mlynedd o'th gaethiwed yn Babilon; *ond â mawr drugareddau y'th gasglaf*—oddiyno ataf fy hun.

Adn. 8. *Mewn ychydig soriant y cuddiais fy wyneb oddiwrthyt enyd awr*] Sef soriant ysgafn yn ei raddau, a byr yn ei barhad; *ond â thrugaredd dragwyddol y trugarhaf wrthyt*—sef trugaredd wedi ei harfaethu yn nhragwyddoldeb, ac yn parhau dros amser, ac i dragwyddoldeb diddiwedd. Hyn a addewir i'r eglwys fel *eglwys;* ac ni phalla yr addewid hon, er i lawer o'i haelodau dynu yn ol.

Adn. 9. *Canys fel dyfroedd Noa y mae hyn i mi*] Bydd i'r cyfammod hwn o ras a heddwch a wnaethym â thi fel fy eglwys, fod mor sicr a pharhaus a'r un a wnaethym â Noa, na chai un dylif arall ddyfod byth i foddi y byd oll, er y gallai cannoedd o'i drigolion ef gael eu boddi o bryd i bryd. *Canys megys y tyngais nad elai dyfroedd Noa mwy dros y ddaear*—gwel ar Gen. ix. 15—17; *felly y tyngais na ddigiwn wrthyt, ac na'th geryddwn*—fel ag i'th lwyr ddyfetha fel eglwys oddiar wyneb y ddaear.

Adn. 10. *Canys y mynyddoedd a giliant, a'r bryniau a symudant*] Caiff y mynyddoedd a'r bryniau gilio o'u lle, cyn y ciliaf fi oddiwrth fy nghyfammod hwn; neu, hwy a giliant yn niwedd amser: *eithr fy nhrugaredd ni chilia oddiwrthyt*—mewn amser nac yn nhragwyddoldeb; *a chyfammod fy hedd*—trwy yr hwn yr wyf yn addaw heddwch a diogelwch i ti fel eglwys; *ni syfl*—eithr efe a barha yn ddisigl i bob tragwyddoldeb; *medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthyt*—sydd yn addaw yr amddiffyniad hwn i ti, nid ar gyfrif dy haeddiant di, eithr yn ol ei ras a'i drugaredd ei hun.

Adn. 11. *Y druan, helbulus gan dymhestl, y ddigysur*] Yma cymhara JEHOFA ei eglwys i wraig druenus a helbulus mewn annghysur mawr; fel un mewn tymhestl ar y môr, ac yn ofni llongddrylliad; neu mewn pabell ar y tir, ac yn ofni cael ei chwythu ymaith gan gorwynt. *Wele, mi a osodaf dy gerig di â charbwncl*—peth cyffredin yn yr ysgrythyrau, ac mewn llyfrau ereill, yw cymharu yr eglwys i ddinas, teml, neu balas hardd: gwel *Tobit* xiii. 16, 17. Fel pe dywedasai, Nid yn unig mi a'th amddiffynaf di, ond mi a'th addurnaf hefyd â phrydferthwch a gogoniant. *Ac a'th sylfaenaf â meini saphir*—y rhai sydd yn gedyrn, prydferth, a gwerthfawr. Cyfeiria hyn at gadernid a harddwch moesol yr eglwys yn nyddiau yr efengyl.

Adn. 12. *Gwnaf hefyd dy ffenestri o risial*]

12 Gwnaf hefyd dy ffenestri o
risial, a'th byrth o feini dysglaer,
a'th holl derfynau o gerig dymun-
ol.
13 Dy holl feibion hefyd *fyddant*
wedi eu dysgu gan yr Arglwydd;
a mawr *fydd* heddwch dy feib-
ion.
14 Mewn cyfiawnder y'th sicr-
heir: byddi bell oddiwrth orthrym-
der, canys nid ofni; ac oddiwrth
ddychryn, canys ni nesâ atat.
15 Wele, gan ymgasglu hwy a
ymgasglant, *ond* nid o honof fi:
pwy bynag o honot ti a ymgasglo
i'th erbyn, efe a syrth.
16 Wele, myfi a greais y gôf, yr
hwn a chwyth y marwor yn tân, ac
a ddefnyddia arf i'w waith; myfi
hefyd a greais y dinystrydd i ddys-
trywio.
17 ¶ Ni lwydda un offeryn a lun-
ier i'th erbyn; a thi a wnei yn euog
bob tafod a gyfodo i'th erbyn mewn
barn. Dyma etifeddiaeth gweision
yr Arglwydd, a'u cyfiawnder hwy
*sydd* oddiwrthyf fi, medd yr Ar-
glwydd.

---

Tryloew a gwerthfawr; *a'th byth o feini dysglaer*—Saes., '*carbuncles.*' Y mae gwahanol farnau am yr holl feini hyn; a'r gwirionedd yw, nad yw yr Iuddewon eu hunain yn deall yn gywir pa feini a olygir yma yn y wreiddiol: gwel ar Exod. xxviii. 17—21. *A'th holl derfynau o gerig dymunol*—sef muriau y ddinas oddiamgylch: gwel ddarluniad o'r Jerusalem newydd, Dat. xxi. 10, &c. Fe allai na ddylid ceisio ysbrydoli y meini, y ffenestri, a'r pyrth hyn, neu benu ystyr neillduol iddynt, am mai darluniad barddonol o eglwys Dduw yw yr ymadroddion hyn oll.

Adn. 13. *Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dysgu gan yr Arglwydd*] Trwy ei efengyl yn allanol, a thrwy ei Ysbryd yn fewnol, Ioan vi. 45; *a mawr fydd heddwch dy feibion*—sef heddwch mewnol, yn deilliaw oddiwrth adnabyddiaeth o ffafr a chymeradwyaeth Duw; a heddwch allanol, yn gynwysedig o ddiogelwch, llwyddiant, a dedwyddwch cyffredinol.

Adn. 14. *Mewn cyfiawnder y'th sicrheir*] Ac nid trwy annghyfiawnder, twyll, a gormes, fel llawer o deyrnasoedd y byd hwn. *Byddi bell oddiwrth orthrymder*—gan dy lywodraethwyr dy hun, na chan alluoedd estronol, fel na fydd achos i ti ofni; *ac oddiwrth ddychryn, canys ni nesâ atat*—ni chei achos cyfiawn i ofni na dychrynu, ac ni phoenir di gan ddychryn diachos.

Adn. 15. *Wele, gan ymgasglu hwy a ymgasglant*] Sef gelynion yr eglwys i'w herbyn, fel ei deallir yn gyffredin; *ond nid o honof fi*—nid trwy fy annogaeth i, nac yn ol fy ewyllys. *Pwy bynag o honot ti a ymgasglo i'th erbyn*—Saes., 'pwy bynag a ymgasglo i'th erbyn,' heb y geiriau 'o honot ti;' hyny yw, pwy bynag o'th elynion a ymgasglo i ymladd yn dy erbyn, neu i'th erlid; *efe a syrth*—Saes., 'efe a syrth *er dy fwyn di*,' neu o herwydd y parch a'r cariad ag sydd genyf fi tuag atat ti; neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'efe a syrth *atat ti*;' neu, 'a ddaw drosodd i'th blaid di.'—*Lowth.* Yn ol hyn yr ystyr yw, y byddai i elynion yr eglwys roddi heibio eu gelyniaeth ati, a dyfod yn aelodau o honi. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol ar ol deg erledigaeth yr amherodraeth Rufeinig, pryd yr ennillwyd yr amherawdwr a'i wŷr drosodd i'r ffydd Gristionogol. Yn unol â hyn y mae y LXX yn cyfieithu yr holl adnod fel hyn: 'Wele, proselytiaid a ymgasglant atat trwyof fi; a hwy a drigant gyda thi, ac a ffoant atat.'

Adn. 16. *Wele, myfi a greais y gôf, yr hwn a chwyth y marwor yn tân*] I wneuthur arfau angeuol; *ac a ddefnyddia arf i'w waith*—i wneuthur ei waith; neu, efe a gynyrcha arf trwy ei waith: *myfi hefyd a greais y dinystrydd i ddystrywio*—y neb a fynwyf yn unig, a phan y mynwyf. Y meddwl yw, fod y gôf yr hwn a wna arfau rhyfel, a'r milwr yr hwn a'u defnyddia hwynt, yn greaduriaid i Dduw, ac yn hollol dan ei awdurdod ef, ac am hyny nas gallant ddrygu yr eglwys heb ei ganiatâd ef.

Adn. 17. *Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn*] Megys nas gallant hwy wneyd dim yn dy erbyn heb fy nghaniatâd i, felly yr wyf yn sicrhau i ti na oddefaf iddynt wneuthur i ti un gwir niwed. *A thi a wnei yn euog bob tafod a gyfodo i'th erbyn mewn barn*—mewn dadl gyhoeddus, neu mewn llys gwladol. Fel pe dywedasai, Mi a'th waredaf di nid yn unig rhag cynddaredd rhyfel, ond hefyd rhag cynhen tafodau. Pan fyddo i'th elynion dy gyhuddo o dwyll a chyfeiliornad, galluogir di i'w hargyhoeddi hwy o gyfeiliornad, a thrwy amlygiad o'r gwirionedd i'w gwneuthur hwy yn euog. Cyflawnwyd hyn yn hynod yn ngwyneb yr holl ymosodiadau a wnaed o bryd i bryd gan anffyddwyr ac ereill yn erbyn y Beibl, yr Eglwys, a Christionogaeth. Arferwyd pob math o hoced, twyll-ddadleuaeth, a gwawd, i geisio dymchwelyd gwirionedd y grefydd Gristionogol; apeliwyd at ddaeareg, seryddiaeth, a hanesiaeth, i geisio gwneuthur hyny; defnyddiwyd beirdd, athronwyr, a duwinyddion, i'r dyben hwn; gwŷr o ddysg, athrylith, a thalent; ïe, benthycwyd y carchar, y fwyell, a'r ffagod: ond a lwyddasant hwy? Atebed sel yr Eglwys yn y dyddiau hyn, lledaeniad yr Ysgrythyrau, a chynydd Cristionogaeth! Gofalodd Duw yn mhob oes i godi cewri amddiffynol o blaid ei achos ei hun, y rhai a wnaent yn euog bob tafod a gyfodai i'w herbyn mewn barn, er maint eu dysg, eu talent, a'u hyfdra. *Dyma etifeddiaeth gweision yr Arglwydd*—sef buddugoliaeth dêg ar eu holl wrthwynebwyr; *a'u cyfiawnder hwy sydd oddiwrthyf fi*—sef eu cyfiawnhad neu eu hamddiffyniad yn ngwyneb camgyhuddiadau a gwrthddadleuon eu gelynion.

## PENNOD LV.

O DEUWCH i'r dyfroedd, bob un y mae syched arno, ïe, yr hwn nid *oes* arian ganddo; deuwch, prynwch, a bwytewch; ïe, deuwch, prynwch win a llaeth, heb arian ac heb werth.

2 Paham y gweriwch arian am *yr hyn* nid *ydyw* fara? a'ch llafur am *yr hyn* nid yw yn digoni? gan wrandaw gwrandewch arnaf fi, a bwytewch *yr hyn sydd* dda; ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder.

3 Gogwyddwch eich clust, a deuwch ataf; gwrandewch, a bydd byw eich enaid: a mi a wnaf gyfammod tragwyddol â chwi, *sef* sicr drugareddau Dafydd.

4 Wele, rhoddais ef yn dyst i'r bobl, yn flaenor ac yn athraw i'r bobloedd.

5 Wele, cenedl nid adwaeni a elwi, a chenhedloedd ni'th adwaenai di a red atat, er mwyn yr Arglwydd dy Dduw, ac o herwydd Sant Israel: canys efe a'th ogoneddodd.

---

PEN. LV. Adn. 1. *O deuwch i'r dyfroedd*] Lle y gellwch yfed, a chael eich adfywio: hyny yw, deuwch i ymgyfranogi o fendithion yr iachawdwriaeth, ac o gysuron yr Ysbryd Glân, y rhai yn fynych a gyffelybir i *ddyfroedd* yn yr ysgrythyrau. *Bob un y mae syched arno*—am ras Duw a bendithion ysbrydol yr efengyl; neu bob un ag sydd yn teimlo ei syched, ac yn hiraethu am gael ei dori ef, yn mhlith Iuddewon a Chenhedloedd. *Ie, yr hwn nid oes arian ganddo*— sef y tylawd a'r anghenus, yr hwn a fyddai yn analluog i brynu iachawdwriaeth pe byddai ar werth; neu yr hwn sydd heb ddim haeddiant ganddo o'i eiddo ei hun. *Deuwch, prynwch, a bwytewch*—canys y mae yn yr efengyl ymborth i'w fwyta, yn gystal a dyfroedd i ddisychedu. Fel pe dywedasai, Deuwch i dderbyn yr hyn a gynygir i chwi am ddim, a'r hyn y cewch ei fwynhau mor sicr a phe byddech wedi ei brynu. *Ie, deuwch, prynwch win a llaeth*—y rhai a enwir yma am bob math o fendithion gwerthfawr yr iachawdwriaeth. Y mae yma nid yn unig *ddyfroedd* i dori eich syched, ac *ymborth* i gynal eich natur, ond hefyd *win* i'ch lloni, a *llaeth* i'ch maethu. *Heb arian ac heb werth*—canys teimlad o newyn a syched yw y cwbl ag sydd yn angenrheidiol i'r farchnad ysbrydol hon. Gan hyny nid oes neb yn rhy dylawd i brynu, na neb yn ddigon cyfoethog i allu prynu âg arian. 'Y mae y gwahoddiad yma,' ebai *Barnes*, 'yn cael ei wneuthur i *bawb:* cymhellir *pob un* i ddyfod. Nid yw [y bendithion hyn] yn cael eu cynyg i'r etholedigion yn unig, nac i'r cyfoethogion, y mawrion, y pendefigion; ond i bawb. Y mae yn anmhosibl meddwl am iaith fwy cyffredinol yn ei natur na hon; a thra y byddo hon yn aros yn ngair Duw, *gellir* gwneuthur y gwahoddiad i bawb, a *dylai* gael ei wneuthur i bawb, a *rhaid* ei wneuthur i bawb. Y mae yn *brawf* fod darpariaeth wedi ei gwneuthur ar gyfer pawb. A all Duw wahodd i iachawdwriaeth na ddarparwyd? A fedr efe ofyn i ddyn gyfranogi o wledd nad yw mewn bod? A all efe ofyn i ddyn yfed o ddyfroedd pan nad oes dim [ar ei gyfer?] A ddichon efe watwar gobeithion a wawdio trueni dynion trwy eu gwahodd hwynt i ddyfod i nefoedd lle na byddai iddynt groesaw, neu i breswylio mewn trigfanau na chawsant erioed eu parotoi? gwel Mat. xi. 28, Marc xvi. 15, Ioan vii. 37, Dat. xxii. 17.'

Adn. 2. *Paham y gweriwch arian*] Eich holl amser, eich llafur, a'ch nerth; *am yr hyn nid ydyw fara?*—gan mai bara yw prif gynaliaeth bywyd, enwir ef yma am ba beth bynag a duedda i gynal a chysuro y meddwl, neu lesâu yr enaid. *A'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni?*—sef am bethau nad allant byth eich diwallu, megys pleserau neu elw bydol. Nis gall pleser, gwagedd, ac anrhydedd y byd hwn, byth ddigoni angen ysbryd anfarwol. *Gan wrandaw gwrandewch arnaf fi*—ar fy addysg a'm cynghor i; *a bwytewch yr hyn sydd dda*—yr hyn a lesâ ac a faetha eich eneidiau, ac nid yr hyn a wna niwed i'ch cyrff a'ch eneidiau: *ac ymhyfryded eich enaid mewn brasder*—yn ngwleddoedd Seion, a danteithion breision yr efengyl.

Adn. 3. *Gogwyddwch eich clust, a deuwch ataf*] Yma arddanghosir pechaduriaid beilchion fel â'u penau yn uwch na Duw, a gelwir arnynt i'w gogwyddo, i'r dyben i glywed ei leferydd ef. *Gwrandewch*—ar fy addysgiadau, *a bydd byw eich enaid*—hyny yw, cewch eich bywhau yn ysbrydol yn eich eneidiau, ac ernes a blaenbrawf o fywyd tragwyddol. *A mi a wnaf gyfammod tragwyddol â chwi*—nid yw hyn yn arwyddo ei fod ef *wedi* gwneyd cyfammod â hwy er tragwyddoldeb; ond, yn hytrach, y *gwnai* efe yn awr gyfammod â hwy a fyddai yn dragwyddol yn ei ganlyniadau, ar yr ammod iddynt ogwyddo eu clust, dyfod ato, a gwrandaw arno; neu, y derbyniai efe hwynt, ar y telerau hyn, i fwynhau y bendithion a geir trwy aberth Crist. *Sef sicr drugareddau Dafydd*—y mae *Dafydd* yn cael ei enwi yma am *Grist*, mab ac olynydd Dafydd, yr hwn a elwir yn fynych yn yr ysgrythyrau ar yr enw 'Dafydd:' gwel Jer. xxx. 9, Ezec. xxxiv. 23, 24, a xxxvii. 24, 25, Hos. iii. 5.

Adn. 4. *Wele, rhoddais ef*] Sef Crist, *yn dyst i'r bobl*—i ddwyn tystiolaeth iddynt o blaid Duw, ei gyfraith, a'i hawliau ef; *yn flaenor ac yn athraw i'r bobloedd*—i arwain a dysgu Iuddewon a Chenhedloedd yn ffyrdd cyfiawnder, santeiddrwydd, ac iachawdwriaeth.

Adn. 5. *Wele, cenedl nid adwaeni*] Yn mysg dy bobl hyd yn hyn, neu nad wyt eto yn ei chydnabod ac yn ei chymeradwyo; *a elwi*—yn rasol atat dy hun, neu i wybodaeth

6 ¶ Ceisiwch yr Arglwydd, tra y
galler ei gael ef; gelwch arno, tra
fyddo yn agos.
7 Gadawed y drygionus ei ffordd,
a'r gŵr anwir ei feddyliau; a dy-
chweled at yr Arglwydd, ac efe a
gymer drugaredd arno; ac at ein
Duw ni, o herwydd efe a arbed yn
helaeth.
8 ¶ Canys nid fy meddyliau i *yw*
eich meddyliau chwi; ac nid eich
ffyrdd chwi *yw* fy ffyrdd i, medd yr
Arglwydd.
9 Canys *fel* y mae y nefoedd yn
uwch na'r ddaear, felly uwch yw fy
ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, a'm medd-
yliau i na'ch meddyliau chwi.
10 Canys fel y disgyn y gwlaw
a'r eira o'r nefoedd, ac ni ddychwel
yno, eithr dyfrha y ddaear, ac a wna
iddi darddu a thyfu, fel y rhoddo
had i'r hauwr, a bara i'r bwytawr:
11 Felly y bydd fy ngair, yr hwn
a ddaw o'm genau: ni ddychwel
ataf yn wâg; eithr efe a wna yr hyn
a fynwyf, ac a lwydda *yn y peth* yr
anfonais ef o'i blegid.
12 Canys mewn llawenydd yr

---

o'r gwirionedd: *a chenhedloedd ni'th adwaenai di*—na feddent fawr o wybodaeth am Dduw, na dim am Grist; *a red atat*—a red yn ewyllysgar ar dy alwad, i gael eu dysgu yn ffyrdd crefydd ac iachawdwriaeth; *er mwyn yr Arglwydd dy Dduw*—neu o herwydd yr arwyddion diamheuol o'i berthynas ef â thi fel dy Dad, a'i foddlonrwydd ynot ti; *ac o herwydd Sant Israel*—yr hwn a'u tuedda hwynt trwy ei Ysbryd santaidd i redeg felly atat, Ioan vi. 37, 44; *canys efe a'th ogoneddodd*—trwy roddi pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear yn dy law di fel Cyfryngwr, Iachawdwr, a Barnwr y byd.

Adn. 6. *Ceisiwch yr Arglwydd, tra y galler ei gael ef*] Sef yn nydd gras, tra y mae efe yn cynyg ei drugaredd i chwi; *gelwch arno, tra fyddo yn agos*—o ran ei bresenoldeb grasol; hyny yw, tra y byddo efe yn eich galw trwy ei air, ei weision, a'i Ysbryd Santaidd, ac yn cynyg eich derbyn ar yr ammodau a enwir yn yr adnod nesaf. Arwydda hyn, (1) Fod yn rhaid i'r rhai a fynant gael yr Arglwydd yn waredwr iddynt, ei geisio ef cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar; (2) Y bydd i'r rhai a'i ceisiant ef â'u holl galon yn nydd gras, ei gael ef; (3) A bod yr amser yn dyfod pryd nas gellir ei gael ef er ei geisio: gwel ar Diar. i. 24, &c., Luc xix. 44, 2 Cor. vi. 2.

Adn. 7. *Gadawed y drygionus ei ffordd*] Sef ei ffordd ddrygionus, neu ei arferion pechadurus; *a'r gŵr anwir ei feddyliau*—sef ei fwriadau a'i amcanion drygionus oddifewn, yn gystal a'i ymddygiadau pechadurus oddiallan: *a dychweled at yr Arglwydd*—â'i holl galon, mewn gwir edifeirwch a ffydd; *ac efe a gymer drugaredd arno*—pwy bynag ydyw, a pha mor aml bynag yw ei ddrygioni a'i anwiredd: *ac at ein Duw ni*—ein Duw cyfammodol ni, yr hwn a'n hachubodd ni pan ddychwelasom felly ato; *o herwydd efe a arbed yn helaeth*—Saes., 'efe a *faddeua* yn helaeth;' hyny yw, efe a faddeua yr holl anwiredd, y camwedd, a'r pechod, pa mor annheilwng bynag y byddo y pechadur, a pha mor agos bynag i uffern y gallo efe fod.

Adn. 8. *Canys nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi, &c.*] Yr ystyr yw, fod meddyliau a ffyrdd Duw gyda golwg ar faddeu i'r edifeiriol gymaint *uwchlaw* meddyliau a ffyrdd dynion, ag yw y nefoedd uwchlaw y ddaear. (1) Nid yw dynion yn foddlon i faddeu; ond y mae Duw. (2) Ni faddeua dynion bechodau mawrion a lluosog; ond gwna Duw. (3) Ni faddeuant hwy lawer gwaith drosodd i'r un dynion; ond maddeua Duw mor fynych ag y dychwela pechadur ato yn edifeiriol. (4) Nid yw dynion ond yn maddeu yn unig, os gwnant hyny; eithr y mae Duw yn maddeu ac yn arbed yn helaeth, gan ddyrchafu y troseddwr i'w ffafr, a'i fabwysiadu i'w deulu, a'i ddwyn yn y diwedd ato ei hun i ogoniant: mewn gair, y mae Duw yn ymddwyn tuag at y pechadur fel pe buasai heb erioed ei ddigio ef.

Adn. 9. *Canys fel y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear*] Uwchder nas gall neb ei amgyffred ond Duw ei hun; *felly uwch yw fy ffyrdd i na'ch ffyrdd chwi, &c.*—yr wyf fi yn anfeidrol fwy parod i faddeu na'r dynion mwyaf graslawn a thrugarog ar y ddaear.

Adn. 10. *Canys fel y disgyn y gwlaw a'r eira o'r nefoedd*] Yn gawodydd cyffredinol i adfywio a ffrwythloni y ddaear; *ac ni ddychwel yno*—heb ateb y dyben mewn golwg; neu ni ddychwel yno *fel* gwlaw neu eira, er y codir ef eilwaith i'r awyr yn darth neu ager; *eithr dyfrha y ddaear*—i beri iddi fwrw allan egin a llysiau; *fel y rhoddo had i'r hauwr*—erbyn y tymhor nesaf; *a bara i'r bwytawr*—i'w gynal ef hyd oni chaffo gnwd arall y flwyddyn ddyfodol:—

Adn. 11. *Felly y bydd fy ngair, yr hwn a ddaw o'm genau*] Sef y pregethiad o'r efengyl, yn cynwys addewidion Duw o faddeuant a derbyniad i'r rhai a ddychwelant ato ef mewn gwir edifeirwch: *ni ddychwel ataf yn wâg*—yn ddieffaith ac aflwyddianus; *eithr efe a wna yr hyn a fynwyf*—efe a edy effaith neu argraff sicr ac annileadwy ar yr holl wrandawyr; *ac a lwydda yn y peth yr anfonais ef o'i oblegid*—hyny yw, os na lwydda efe i fod 'yn arogl bywyd i fywyd' i bechaduriaid, efe a lwydda i fod 'yn arogl marwolaeth i farwolaeth' iddynt: gwel ar 2 Cor. ii. 15, 16. Y mae yn sicr mai hyn yw yr ystyr, onidê ni fyddai sail i gwyno am aflwyddiant yr efengyl yn mhlith pechaduriaid, fel y gwna Duw ei hun yn fynych, a phob gwir weinidog i Iesu Grist: gwel ar Deut. v. 29, Esay xlv. 22, a liii. 1, Mat. xxiii. 37, Act. xvii. 30, 2 Cor. v.

ewch allan, ac mewn hedd y'ch ar-
weinir; y mynyddoedd a'r bryniau
a floeddiant ganu o'ch blaen, a holl
goed y maes a gurant ddwylaw.
13 Yn lle drain y cyfyd ffynid-
wŷdd, yn lle mieri y cyfyd myrt-
wŷdd: a *hyn* fydd i'r Arglwydd yn
enw, ac yn arwydd tragwyddol, *yr*
*hwn* ni thorir ymaith.

## PENNOD LVI.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd,
Cedwch farn, a gwnewch gyf-
iawnder; canys fy iachawdwriaeth
*sydd* ar ddyfod, a'm cyfiawnder ar
ymddangos.
2 Gwŷn ei fyd y dyn a wnelo hyn,
a mab y dyn a ymaflo ynddo; gan
gadw y sabboth heb ei halogi, a
chadw ei law rhag gwneuthur dim
drwg.
3 ¶ Ac na lefared y dyeithr-fab,
yr hwn a lynodd wrth yr Arglwydd,
gan ddywedyd, Yr Arglwydd gan
ddidoli a'm didolodd oddiwrth ei
bobl; ac na ddyweded y dyspadded-
ig, Wele fi yn bren crin.
4 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd wrth y rhai dyspaddedig, y

---

20. Fel pe dywedasai, Os na fydd fy ngair i yn foddion i achub y rhai a'i clywant, bydd yn foddion i'w damnio; ac os na fydd i bechaduriaid ddyfod i dderbyn maddeuant pan ei cynygir iddynt ar y fath ammodau hawdd ac esmwyth, hwy a haeddant farw; a bydd i'r nefoedd a'r ddaear gyfiawnhau y trosglwyddiad o'r fath bechaduriaid cyndyn ac anufydd i dragwyddol gospedigaeth.

Adn. 12. *Canys mewn llawenydd yr ewch allan*] Meddylir fod yma gyfeiriad at yr Iuddewon yn dychwelyd o Babilon â chaniadau, Ezra ii. 65. Ond diamau fod yma gyfeiriad pellach at fynediad carcharorion pechod a Satan mewn llawenydd o'u caethiwed ysbrydol, o'r hyn yr oedd y waredigaeth o Babilon yn gysgod: gwel ar pen. xxxv. 10. *Ac mewn hedd y'ch arweinir*—sef mewn heddwch cydwybod, yn tarddu oddiar heddwch â Duw, ac mewn heddwch a diogelwch cyffredinol. *Y mynyddoedd a'r bryniau a floeddiant ganu o'ch blaen, &c.*—iaith farddonol brydferth, yr hon a ddefnyddir yn fynych gan y proffwyd Esay i osod allan y llawenydd cyffredinol a ddylyna ledaeniad a llwyddiant teyrnas Crist ar y ddaear: gwel ar pen. xiv. 8, a xxxv. 1, 2, a xlii. 10, 11, a xliv. 23.

Adn. 13. *Yn lle drain y cyfyd ffynidwŷdd, yn lle mieri y cyfyd myrtwŷdd*] Bydd cyfnewidiad mor fawr ar bethau yn nyddiau yr efengyl, a phe byddai i faes llawn o ddrain a mieri gael ei droi ar unwaith yn llawn o ffynidwŷdd a myrtwŷdd hardd a defnyddiol: neu, fel y mae y Galdeaeg yn ei alleirio, 'Yn lle y drygionus y cyfyd y cyfiawnion; ac yn lle pechaduriaid y cyfyd y rhai a ofnant bechu.' Bydd i'r eglwys y pryd hyny gael ei gwaredu oddiwrth ddynion niweidiol, a'i llenwi â chredinwyr didwyll a defnyddiol, ac â phob math o rasau a bendithion dwyfol. *A hyn fydd i'r Arglwydd yn enw*—yn glod, anrhydedd, a gogoniant, fel awdwr y fath gyfnewidiad rhyfedd; *ac yn arwydd tragwyddol*—yn gofgolofn fythol o'i ddaioni a'i drugaredd ef; *yr hwn ni thorir ymaith*—tra byddo dynion i'w cael ar y ddaear, neu saint yn y nef.

PEN. LVI. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth y rhai a ddychwelent ato ef, fel y nodwyd yn y bennod flaenorol; *Cedwch farn, a gwnewch gyfiawnder*—y mae hyn weithiau yn arwyddo dyledswyddau y naill ddyn tuag at y llall; ond yma arwydda ddyledswyddau dyn tuag at Dduw, fel y mae yn amlwg oddiwrth yr adnodau nesaf. *Canys fy iachawdwriaeth sydd ar ddyfod*—tybia rhai ei fod ef yn cyfeirio yma, yn yr ystyr blaenaf, at waredigaeth yr Iuddewon o Babilon; *a'm cyfiawnder ar ymddangos*—hyny yw, yn ol rhai, ei gyfiawnder dialeddol ef ar y Babiloniaid: gwel ar pen. xlvi. 13. Modd bynag, gan fod y waredigaeth o Babilon yn gysgod o'r iachawdwriaeth ysbrydol trwy Grist, rhaid mai hòno a olygir yma yn benaf; canys ymddengys mai at gyflwr pethau dan yr efengyl y cyfeirir yn yr adnodau dylynol.

Adn. 2. *Gwŷn ei fyd y dyn a wnelo hyn*] A gadwo farn, ac a wnelo gyfiawnder; *a mab y dyn a ymaflo ynddo*—Hebr., 'a'i rhwymo ei hun yn sicr wrtho,' neu a lyno wrtho yn gyson a diysgog. *Gan gadw y sabboth heb ei halogi*—naill ai trwy wneyd yr hyn a waherddid ar y dydd hwnw, neu ynte trwy esgeuluso gwneyd yr hyn a orchymynid: gwel ar Exod. xx. 8—11. *A chadw ei law rhag gwneuthur dim drwg*—rhag troseddu unrhyw orchymyn arall yn y ddeddf foesol.

Adn. 3. *Ac na lefared y dyeithr-fab*] Sef y Cenedl-ddyn, yr hwn sydd wrth naturiaeth wedi ei ddyeithrio oddiwrth Dduw, ac oddiwrth wladwriaeth Israel; *yr hwn a lynodd wrth yr Arglwydd*—neu a drôdd oddiwrth eilunod meirwon i wasanaethu y gwir a'r bywiol Dduw; *Yr Arglwydd gan ddidoli a'm didolodd oddiwrth ei bobl*—fel nad oes genyf hawl i'r un breintiau crefyddol a'r Iuddewon. *Ac na ddyweded y dyspaddedig*—neu yr eunuch, yr hwn hefyd, er ei fod yn Iuddew, a waherddid i fyned i gynulleidfa yr Arglwydd, Deut. xxiii. 1; *Wele fi yn bren crin*—yn ddiffrwyth fel pren crin, ac yn analluog i gael hiliogaeth i drosglwyddo fy enw i'r oes nesaf, yr hyn a ystyrid yn ofid mawr yn mhlith yr Iuddewon.

Adn. 4. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth y rhai dyspaddedig*] Nid wrth bob un dyspaddedig, eithr yn unig wrth y rhai a gyflawnant yr ammodau canlynol; *y rhai a gadwant fy sabbothau*—gwel ar adn. 2; *ac a ddewisant yr hyn a ewyllysiwyf*—nid oddiar

rhai a gadwant fy sabbothau, ac a ddewisant yr hyn a ewyllysiwyf, ac a ymaflant yn fy nghyfammod i;

5 Ie, rhoddaf iddynt yn fy nhŷ, ac o fewn fy magwyrydd, le ac enw gwell na meibion ac na merched: rhoddaf iddynt enw tragwyddol, yr hwn ni thorir ymaith.

6 A'r meibion dyeithr, y rhai a lynant wrth yr Arglwydd, gan ei wasanaethu ef, a chan garu enw yr Arglwydd, i fod yn weision iddo ef, pob un a gadwo y Sabboth heb ei halogi, ac a ymaflo yn fy nghyfammod;

7 Dygaf hwythau hefyd i fynydd fy santeiddrwydd, a llawenychaf hwynt yn nhŷ fy ngweddi: eu poeth-offrymau hefyd a'u hebyrth *fyddant* gymeradwy ar fy allor: canys fy nhŷ i a elwir yn dŷ gweddi i'r holl bobloedd.

8 Medd yr Arglwydd Dduw, yr hwn a gasgl wasgaredigion Israel, Eto mi a gasglaf *ereill* ato ef, gyda'r rhai sydd wedi eu casglu ato.

9 ¶ Pob bwystfil y maes, deuwch i ddifa, *a* phob bwystfil yn y coed.

---

ofn neu orfod, ond yn wirfoddol ac ewyllysgar, gan garu fy ngorchymynion, ac ymhyfrydu yn y cyflawniad o honynt; *ac a ymaflant yn fy nghyfammod i*—sef yn aberth Crist, Cyfryngwr y cyfammod newydd; neu yn ammodau y cyfammod hwnw, i'w cyflawni.

Adn. 5. *Ie, rhoddaf iddynt yn fy nhŷ*] Sef yn yr eglwys Gristionogol; *ac o fewn fy magwyrydd*—neu 'fy *muriau*,' mewn cyfeiriad at furiau Seion gynt; *le*—i breswylio fel aelodau cyfreithlon; *ac enw gwell na meibion ac na merched*—gwell na'r enw o gael hiliogaeth i gadw coffadwriaeth o'u henw i'r oes a ddel: *rhoddaf iddynt enw tragwyddol*—cânt eu henwau 'wedi eu hysgrifenu yn llyfr y bywyd' fel plant Duw, a bydd eu coffadwriaeth yn fendigedig byth; *yr hwn ni thorir ymaith*—trwy farwolaeth, fel y dygwydda i bob enw daearol. Pe buasai ganddynt feibion a merched i barhau eu henwau, ni buasai hyny fawr o beth, nac yn parhau ond am ychydig oesau y fan bellaf; a gallasai eu plant fod o fwy o ofid iddynt nag o anrhydedd: ond yma addewir iddynt enw mwy anrhydeddus, ac o dragwyddol barhad.

Adn. 6. *A'r meibion dyeithr, y rhai a lynant wrth yr Arglwydd*] Gwel ar adn. 3; *gan ei wasanaethu ef*—o lwyrfryd calon; *a chan garu enw yr Arglwydd*—sef yr Arglwydd ei hun, yn wresog a diragrith yn eu calonau; *i fod yn weision iddo ef*—dros byth; *pob un a gadwo y sabboth heb ei halogi*—gwel ar adn. 2; *ac a ymaflo yn fy nghyfammod*—gwel ar adn. 4.

Adn. 7. *Dygaf hwythau hefyd i fynydd fy santeiddrwydd*] Sef i Seion, neu eglwys y gwir Dduw, pen. ii. 2; *a llawenychaf hwynt yn nhŷ fy ngweddi*—er mai Cenhedloedd ydynt: *eu poeth offrymau hefyd a'u hebyrth*—sef eu gweddiau, eu diolch, a'u mawl; *fyddant gymeradwy ar fy allor*—y mae yr iaith yma wedi ei chymeryd oddiwrth yr addoliad Iuddewig, yr hyn sydd beth cyffredin iawn mewn proffwydoliaethau yn cyfeirio at amserau yr efengyl; canys heb i'r proffwydi ddefnyddio iaith felly, ni fuasai yr addolwyr dan yr hen oruchwyliaeth yn gallu deall eu meddwl. *Canys fy nhŷ i a elwir yn dŷ gweddi i'r holl bobloedd*—yn ddiwahaniaeth, Iuddewon a Chenhedloedd, Mat. xxi. 13. Yr oedd y deml hefyd ar y cyntaf wedi ei bwriadu i'r dyeithriaid yn gystal ag i'r Iuddewon, fel lle i offrymu eu gweddiau at Dduw y nefoedd, fel y mae yn amlwg oddiwrth weddi Solomon ar ei chysegriad hi, 1 Bren. viii. 41—43, er nad oedd nifer y proselytiaid ond ychydig hyd amser yr ail deml.

Adn. 8. *Medd yr Arglwydd Dduw, yr hwn a gasgl wasgaredigion Israel*] O bob man i Seion; *Eto mi a gasglaf ereill ato ef*—sef ereill o blith y Cenhedloedd, at Israel i'r eglwys; *gyda'r rhai sydd wedi eu casglu ato*—gyda'r proselytiaid a ennillesid eisioes at y wir grefydd. Y mae yma gyfeiriad amlwg at ddygiad yr holl Genhedloedd, mewn undeb â'r Iuddewon, i eglwys Crist dan oruchwyliaeth yr efengyl, fel y byddo 'un gorlan ac un Bugail,' Ioan x. 16. Y mae Duw yn awr, ar ol i ganolfur y gwahaniaeth gael ei ddattod, yn edrych ar Iuddewon a Chenhedloedd ar yr un tir â'u gilydd yn gymhwys. Y mae 'pawb wedi pechu, a myned yn ol am ogoniant Duw,' Rhuf. iii. 23; y mae iawn wedi cael ei roddi 'dros bechodau yr holl fyd,' 1 Ioan ii. 2; ac y mae Duw 'yn ewyllysio bod pob dyn yn gadwedig, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd,' 1 Tim. ii. 4; canys 'nid yw Duw dderbyniwr wyneb,' Act. x. 34. Nid oes un pechadur trwy yr holl ddaear mor isel a dirywiedig fel nad all gael ei ddyrchafu i'r un nefoedd ag Abraham, Moses, a'r proffwydi; nac un yr hwn ni byddai ei edifeirwch, ei weddiau, a'i fawl, mor gymeradwy gan Dduw, trwy Grist, ag eiddo y teyrn mwyaf mawreddog a wisgodd goron erioed.

Adn. 9. *Pob bwystfil y maes, deuwch i ddifa*] Yma y dechreua dosran newydd. Ar ol i'r proffwyd fod yn cysuro yr eglwys âg addewidion o ffafr Duw yn y pennodau blaenorol, y mae efe yma yn myned i sylwi ar bechodau ei hathrawon, ac ar y gosp a ddeuai mewn canlyniad ar y wlad oddiwrth y Caldeaid, ac fe allai hefyd oddiwrth y Rhufeiniaid. Tybia *Grotius* mai wrth y 'bwystfilod' hyn y meddylir yr Aifftiaid, a minteioedd o yspeilwyr o blith y Caldeaid, y Syriaid, y Moabiaid, a'r Ammoniaid. Ond tybia *Vitringa* mai gelynion yr eglwys Gristionogol a olygir yma, megys y Gothiaid, y Vandaliaid, y Tyrciaid, ac ereill: gwel ar Jer. xii. 7—9. *A phob*

10 Deillion *yw* ei wyliedyddion: ni wyddant hwy oll *ddim*, cŵn mudion *ydynt* hwy oll, heb fedru cyfarth; yn cysgu, yn gorwedd, *ac* yn caru hepian.

11 Ie, cŵn gwancus *ydynt*, ni chydnabyddant â'u digon, a bugeiliaid *ydynt* ni fedrant ddeall; wynebant oll at eu ffordd eu hun, pob un at ei elw ei hun o'i gŵr.

12 Deuwch, *meddant*, cyrchaf win, ac ymlanwn o ddiod gref; a bydd y fory megys heddyw, *a* mwy o lawer iawn.

## PENNOD LVII.

DARFU am y cyfiawn, ac ni esyd neb at *ei* galon; a'r gwŷr trugarog a gymerir ymaith, heb neb yn deall mai o flaen drygfyd y cymerir y cyfiawn ymaith.

2 *Efe* a â i dangnefedd, hwy a orphwysant yn eu hystafelloedd, *sef pob un* a rodia *yn* ei uniondeb.

3 ¶ Nesewch yma, meibion yr hudoles, had y godinebus, a'r butan.

4 Yn erbyn pwy yr ymddigrifwch? yn erbyn pwy y lledwch safn,

---

*bwystfil yn y coed*—sef dynion ffyrnig ac ysglyfaethus fel bwystfilod. Yr oedd y bobl hyn yn dra llygredig yn yr amser ag y cyfeirir ato yma, ac yn haeddu cael eu difa; a'r hyn a ddywedir yma sydd *ragfynegiad* y caent eu difa am eu drygioni.

Adn. 10. *Deillion yw ei wyliedyddion*] Sef gwyliedyddion Israel, megys eu hoffeiriaid, eu proffwydi, a'u hathrawon ereill: *ni wyddant hwy oll ddim*—fel y dylent wybod, am ewyllys Duw, eu dyledswyddau eu hunain a'u pobl, nac am y perygl y maent ynddo: *cŵn mudion ydynt hwy oll*—heb allu cyfarth i ddychrynu y bleiddiaid ysglyfaethus, neu heb allu rhybyddio y genedl o'u heuogrwydd a'u perygl: *yn cysgu, yn gorwedd, ac yn caru hepian*—yn gofalu mwy am eu hesmwythyd eu hunain, nag am ddiogelwch a llesâd eu pobl:

Adn. 11. *Ie, cŵn gwancus ydynt*] Yn difa y bobl eu hunain, yn lle eu diogelu rhag y bleiddiaid; *ni chydnabyddant â'u digon*—ni foddlonir hwynt er cael digon, a mwy na digon: *a bugeiliaid ydynt ni fedrant ddeall*—pa fodd i fugeilio eu pobl yn iawn, na'u porthi hwynt â gwybodaeth ac â deall: *wynebant oll at eu ffordd eu hun*—heb geisio gogoniant Duw, nac iachawdwriaeth dynion; *pob un at ei elw ei hun o'i gŵr*—sef y naill fel y llall, heb ofalu dim am eneidiau eu pobl, ond am eu harian yn unig.

Adn. 12. *Deuwch, meddant*] Y naill wrth y llall; *cyrchaf win*—neu 'cyrchwn win,' fel y mae mewn un ysgriflyfr Hebreig, ac mewn rhai o'r hen gyfieithiadau; *ac ymlanwn o ddiod gref*—gan yfed nid hyd at ddigon, ond hyd at ormodedd: gwel ar pen. v. 11, a xxii. 13. *A bydd y fory megys heddyw*—cawn ymlenwi o win a diod gref y fory yn gystal a heddyw; *a mwy o lawer iawn*—hyny yw, mynent fwy o honi dranoeth. Felly nid dynion wedi llithro i feddwdod trwy anwyliadwriaeth oedd y rhai hyn, eithr rhai yn penderfynu glynu yn y pechod ffiaidd hwnw yn barhaus; yr hyn a ddengys eu diofalwch nid yn unig am eneidiau eu pobl, ond am eu heneidiau eu hunain hefyd.

PEN. LVII. Adn. 1. *Darfu am y cyfiawn*] Tybia *Wells* fod hyn yn cyfeirio at farwolaeth Hezeciah dduwiol; *Grotius*, at farwolaeth Josiah; a *Vitringa*, at farwolaeth y merthyron yn gyffredinol, ond odid dan deyrnasiad Manasseh, 'yr hwn a lanwodd Jerusalem o waed gwirion,' 2 Bren. xxi. 16. *Ac ni esyd neb at ei galon*—ni alara neb am y golled o honynt, ac nid ystyria neb yr achos o'u symudiad, yn yr amseroedd llygredig ag y cyfeiriwyd atynt yn niwedd y bennod flaenorol. *A'r gwŷr trugarog*—y rhai oeddynt nid yn unig yn dduwiol a chyfiawn, ond hefyd yn drugarog a thosturiol; *a gymerir ymaith*—at eu tadau, neu a roddir i farwolaeth: *heb neb yn deall mai o flaen drygfyd y cymerir y cyfiawn ymaith*—sef cyn i drallodau chwerwon ddisgyn ar y wlad a'r eglwys. Ond tybia rhai fod y 'cyfiawn' uchod yn golygu Iesu Grist y Cyfiawn; a bod y 'gwŷr trugarog' yn meddwl yr apostolion ac ereill, y rhai a ferthyrid cyn y dinystr a ddeuai ar yr Iuddewon trwy law y Rhufeiniaid.

Adn. 2. *Efe a â i dangnefedd*] O ran ei enaid, sef y 'cyfiawn' uchod; neu fel y gellir ei gyfieithu, 'efe a â *mewn* tangnefedd:' *hwy a orphwysant yn eu hystafelloedd*—sef y 'gwŷr trugarog' uchod, yn ystafelloedd y bedd hyd fore yr adgyfodiad; *sef pob un a rodia yn ei uniondeb*—neu a wnelo yr hyn fyddo uniawn a chyfiawn yn ngolwg Duw. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y bydd i bob un o'r rhai uchod rodio mewn uniondeb a dedwyddwch ar ol myned ymaith i fyd yr ysbrydoedd.

Adn. 3. *Nesewch yma, meibion yr hudoles*] At frawdle Duw i dderbyn eich dedfryd; *had y godinebus*—o ran eich tad, *a'r butan*—o du eich mam. Y meddwl fe allai yw, nad oeddynt hwy yn wir blant i Abraham, fel yr ymffrostient eu bod. Ond tybia *Vitringa* fod y proffwyd yn cyfeirio yma at gyflwr yr eglwys yn oesoedd tywyllion Pabyddiaeth; tra y barna ereill mai darluniad sydd yma o gyflwr llygredig yr eglwys Iuddewig cyn dinystr Jerusalem gan Nebuchodonosor.

Adn. 4. *Yn erbyn pwy yr ymddigrifwch, &c.*] Wrth wawdio a gwatwar Duw a'i broffwydi? gwel ar pen. xxviii. 14, 22. *Onid meibion camwedd a had ffalsedd ydych chwi*—heb ddim ond camwedd, twyll, a ffalsedd yn eich geiriau, eich calonau, a'ch ymddygiadau tuag at Dduw a dynion?

Adn. 5. *Y rhai a ymwresogwch âg eilunod*] Mewn ymlosgach cnawdol yn nefodau eich eilunod, yn gystal ag mewn sel benboeth dros

*ac* yr estynwch dafod? onid meibion
camwedd *a* had ffalsedd *ydych* chwi?
5 Y rhai a ymwresogwch âg ei-
lunod dan bob pren deiliog, gan
ladd y plant yn y glynoedd dan
gromlechydd y creigiau.
6 Yn nghabol-feini yr afon *y mae*
dy ran; hwynt-hwy *yw* dy gwt-
ws: iddynt hwy hefyd y tywellt-
aist ddiod-offrwm, *ac* yr offrymaist
fwyd-offrwm. Ai yn y rhai hyn yr
ymgysurwn?
7 Ar fynydd uchel a dyrchafed-
ig y gosodaist dy wely: dringaist
hefyd yno i aberthu aberth.
8 Yn nghil y drysau hefyd a'r
pyst y gosodaist dy goffadwriaeth:
canys *ym*-ddynoethaist *i arall* heb
fy llaw i, a dringaist; helaethaist
dy wely, ac a wnaethost *ammod*
rhyngot a hwynt; ti a hoffaist eu
gorweddle hwynt pa le bynag y
gwelaist.
9 Cyfeiriaist hefyd at y brenin âg
enaint, ac amlheaist dy berarogl-
au: anfonaist hefyd dy genadau i
bell, ac ymostyngaist hyd uffern.
10 Yn maint dy ffordd yr ym-
flinaist; *ac* ni ddywedaist, Nid oes
obaith: cefaist fywyd dy law; am
hyny ni chlafychaist.
11 Pwy hefyd a arswydaist ac a
ofnaist, fel y dywedaist gelwydd,
ac na chofiaist fi, ac nad ystyriaist
yn dy galon? oni thewais i â son er
ys talm, a thithau heb fy ofni?
12 Myfi a fynegaf dy gyfiawnder,
a'th weithredoedd; canys ni wnant
it' les.
13 ¶ Pan waeddech, gwareded

---

eu haddoliad hwy; *gan ladd y plant yn y glynoedd*—yn aberthau i'ch duwiau gwaedlyd, 2 Cron. xxviii. 3, 4; *dan gromlechydd y creigiau*—sef mewn manau neu ogofau tywyllion.

Adn. 6. *Yn nghabol-feini yr afon y mae dy ran*] Dywed *Arnobius*, *Kimchi*, ac ereill, yr arferid tywallt olew ar gerig llyfn a chaboledig, i'r dyben i'w haddoli: *hwynt-hwy yw dy gwtws*—Saes., '*lot*,' dy ran. Fel pe dywedasai, Gadewaist fi, a dewisaist feini felly yn rhan i ti, i'w haddoli yn fy lle i. *Iddynt hwy hefyd y tywelltaist ddiod-offrwm, ac yr offrymaist fwyd-offrwm*—gan arferyd yr un defodau yn eu heilunaddoliaeth ag a benodasai Duw yn ei addoliad ef. *Ai yn y rhai hyn yr ymgysurwn?*—a fyddai i mi ymhyfrydu yn y fath bobl, ac yn y fath weithredoedd?

Adn. 7. *Ar fynydd uchel a dyrchafedig y gosodaist dy wely*] Sef eu hallor, fel yr ymddengys oddiwrth y geiriau nesaf, lle y cyflawnent odineb ysbrydol â'u heilunod: *dringaist hefyd yno i aberthu aberth*—yn y modd mwyaf cyhoeddus a digywilydd.

Adn. 8. *Yn nghil y drysau hefyd a'r pyst*] Sef pyst drysau eu tai eu hunain; *y gosodaist dy goffadwriaeth*—sef eu delwau i goffâu eu duwiau aflan, a hyny yn groes i ddeddf Duw, yr hon a orchymynai iddynt ysgrifenu geiriau y gyfraith ar byst eu tai a'u pyrth, Deut. vi. 9. *Canys ymddynoethaist i arall heb fy llaw i*—fel gwraig anffyddlon i'w phriod; *a dringaist*—i'th wely 'ar fynydd uchel,' adn. 7: *helaethaist dy wely*—ond odid eu teml, i roddi mwy o eilunod ynddi; *ac a wnaethost ammod rhyngot a hwynt*—sef â'r eilunod hyny, i'w haddoli, a derbyn cymhorth ganddynt; *a hoffaist eu gorweddle hwynt pa le bynag y gwelaist*—fel benyw anniwair yn syrthio mewn cariad â phob dyn a'r a welo.

Adn. 9. *Cyfeiriaist hefyd at y brenin âg enaint*] Fel putan a fyddo wedi ei heneinio a'i pherarogli ei hun; neu 'addurnaist dy hun âg olew brenhinol,' fel y mae *Jerome* yn ei ddarllen. Ond tybia *Lowth* mai cyfeiriad sydd yma at yr Iuddewon yn ceisio ymgyngbreirio â brenin yr Aifft neu Assyria, ac i'r dyben hyny yn dwyn anrheg o enaint gwerthfawr iddo. *Ac amlheaist dy beraroglau*—cymeraist gyda thi lawer o honynt, i geisio ei ennill o'th blaid. *Anfonaist hefyd dy genadau i bell*—i Assyria, yr Aifft, a gwledydd ereill; *ac ymostyngaist hyd uffern*—i'r iselder mwyaf, wrth geisio cymhorth gan frenhinoedd eilunaddolgar, a gwrthod help Jehofa.

Adn. 10. *Yn maint dy ffordd yr ymflinaist*] Sef yn meithder dy deithiau i geisio cymhorth gan estroniaid; *ac ni ddywedaist, Nid oes obaith*—hyny yw, ni anobeithiaist, ac ni lwfrheaist. *Cefaist fywyd dy law*—llwyddaist weithiau yn yr hyn a geisit; *am hyny ni chlafychaist*—ni ddigalonwyd di, neu nid edifarheaist am dy deithiau.

Adn. 11. *Pwy hefyd a arswydaist ac a ofnaist*] Yn dy deithiau hyny; *fel y dywedoist gelwydd*—mewn ymddygiad anffyddlon a thwyllodrus tuag at Dduw; *ac na chofiaist fi*—dy Dduw cyfammodol; *ac nad ystyriaist yn dy galon*—dy rwymedigaethau i mi? *Oni thewais i â son er ys talm, a thithau heb fy ofni?*—neu, fel y mae Beibl yr Esgobion yn ei ddarllen, 'Ai nid am fy mod i yn tewi, a hyny er's hir amser, yr wyt ti heb fy ofni?' Fel hyn y mae pechaduriaid yn parhau i ymhyfhau mewn pechod, trwy hir-amynedd a dyoddefgarwch Duw!

Adn. 12. *Myfi a fynegaf dy gyfiawnder*] Fe allai fod hyn yn cael ei ddywedyd mewn gwawd am eu hanghyfiawnder hwy; neu, fel y mae y LXX, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg* yn ei ddarllen, 'Myfi a fynegaf *fy* nghyfiawnder,' sef cyfiawnder Duw yn eu cospedigaeth hwy; *a'th weithredoedd*—yn eu lliwiau priodol eu hun; *canys ni wnant it' les*—eithr niwed mawr, fel y cawn weled eto.

Adn. 13. *Pan waeddech*] Am gynorthwy yn dy gyfyngder; *gwareded dy gynulleidfaoedd di*—dy aml dduwiau, neu y bobloedd ag

dy gynulleidfaoedd di: eithr y gwynt a'u dwg hwynt ymaith oll; oferedd a'u cymer *hwynt:* ond yr hwn a obeithia ynof fi a etifedda y tir, ac a feddianna fynydd fy santeiddrwydd.
14 Ac efe a ddywed, Palmentwch, palmentwch, parotowch y ffordd, cyfodwch y rhwystr o ffordd fy mhobl.
15 Canys fel hyn y dywed y Goruchel a'r Dyrchafedig, yr hwn a breswylia dragwyddoldeb, ac *y mae* ei enw yn Santaidd, Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf; a chyda'r cystuddiedig a'r isel o ysbryd, i fywhau y rhai isel o ysbryd, ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig.
16 Canys nid byth yr ymrysonaf, ac nid yn dragywydd y digiaf: o herwydd yr ysbryd a ballai o'm blaen i, a'r eneidiau a wnaethym i.
17 Am anwiredd ei gybydd-dod ef y digiais, ac y tarewais ef: ymguddiais, a digiais, ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon.
18 Ei ffyrdd a welais, a mi a'i iachâf ef: tywysaf ef hefyd, ac adferaf gysur iddo, ac i'w alarwyr.
19 Myfi sydd yn creu ffrwyth y gwefusau; Heddwch, heddwch, i bell ac i agos, medd yr Arglwydd; a mi a'i iachâf ef.
20 Ond y rhai anwir *sydd* fel y môr yn dygyfor, pan na allo fod yn

---

yr anfonaist atynt am help. *Eithr y gwynt a'u dwg hwynt ymaith oll*—fel na byddant yn alluog i'w gwaredu eu hunain, chwaithach dy waredu di: *oferedd a'u cymer hwynt*—eu hymdrech i'th waredu a fydd *ofer;* neu, '*anadl* a'u cymer hwynt;' hyny yw, cymerir hwynt ymaith gyda'r hawsder mwyaf. *Ond yr hwn a obeithia ynof fi a etifedda y tir*—a barheir yn ei wlad, neu a adferir iddi; *ac a feddianna fynydd fy santeiddrwydd*—efe a ddyrchefir i fwynhad o freintiau fy eglwys i ar y ddaear, a'm gogoniant yn y nef.

Adn. 14. *Ac efe a ddywed*] Sef Duw ei hun, gyda golwg ar yr hwn a obeithia ynddo ef; *Palmentwch, palmentwch*—Saes., 'teflwch i fyny, teflwch i fyny;' *parotowch y ffordd*—gwastatewch ac unionwch y ffordd, pen. xl. 4; *cyfodwch y rhwystr o ffordd fy mhobl*—fel y gallont ddyfod adref. Fe allai fod yma gyfeiriad at ddychweliad yr Iuddewon o Babilon. Yn y dwyrain gwaeddir fel hyn yn fynych o flaen dyfodiad tywysog neu fuddugoliaethwr enwog

Adn. 15. *Canys fel hyn y dywed y Goruchel a'r Dyrchafedig*] Llywodraethwr hollalluog y bydysawd; *yr hwn a breswylia dragwyddoldeb*—yr hwn sydd yn llenwi tragwyddoldeb erioed, yn ddiddechre ac yn ddiddiwedd, Salm xc. 2; *ac y mae ei enw yn Santaidd*—yr hwn sydd yn berffaith santaidd yn ei natur, ei eiriau, a'i weithredoedd, ac am hyny a gyflawna ei holl addewidion. *Y goruchelder a'r cysegr a breswyliaf*—sef nef y nefoedd, er y tybia rhai fod y 'cysegr' yma yn golygu yr eglwys ar y ddaear; a *chyda'r cystuddiedig a'r isel o ysbryd*—yr hwn a fyddo wedi ei ddryllio gan deimlad o'i bechod a'i annheilyngdod; *i fywhau y rhai isel o ysbryd*—i'w cynal a'u cysuro dan eu gofid; *ac i fywhau calon y rhai cystuddiedig*—i roddi iddynt galondid a bywyd ysbrydol.

Adn. 16. *Canys nid byth yr ymrysonaf*] A dynion a fyddont dan deimlad o'u pla ysbrydol; *ac nid yn dragywydd y digiaf*—wrth y cyfryw rai: *o herwydd yr ysbryd a ballai o'm blaen i*—a suddai i anobaith a dinystr; *a'r eneidiau a wnaethym i*—hyny yw, dinystrid hwythau hefyd, ac ni fyddai genyf felly ddim i'w wneyd ond dinystrio gwaith fy nwylaw fy hun: gwel ar Salm lxxviii. 38, 39, a ciii. 9, 13, 14.

Adn. 17. *Am anwiredd ei gybydd-dod ef*] Sef am fawredd cybydd-dod yr Iuddewon, y rhai y sonir am danynt yma fel un gŵr; *y digiais*—fel ag i'w hanfon i Babilon; *ac y tarewais ef*—y dygais drallodion trymion arnynt hwy a'u gwlad: gwel ar Jer. vi. 13. *Ymguddiais, a digiais*—tynais fy mhresenoldeb grasol oddiwrthynt, yn arwydd fy mod wedi digio wrthynt. *Ac efe a aeth rhagddo yn gildynus ar hyd ffordd ei galon*—heb ddiwygio wrth gael ei geryddu felly.

Adn. 18. *Ei ffyrdd a welais*] Sef cildynrwydd ei ffyrdd, neu ei edifeirwch o'u herwydd; *a mi a'i hiachâf ef*—trwy estyn gwaredigaeth iddo. *Tywysaf ef hefyd*—i'w wlad ei hun; *ac adferaf gysur iddo*—i'r genedl yn gyffredinol trwy hyny; *ac i'w alarwyr*—i'r rhai edifeiriol yn eu plith, y rhai sydd yn galaru am iddynt fy nigio i.

Adn. 19. *Myfi sydd yn creu ffrwyth y gwefusau*] Sef mawl a diolchgarwch, yr hyn a elwir 'ffrwyth y gwefusau,' Hos. xiv. 2, Heb. xiii. 15; a dywedir fod Duw yn ei *greu*, wrth roddi iddynt achos newydd i foli a diolch. *Heddwch, heddwch, i bell ac i agos*—i Iuddewon a Chenhedloedd: gwel ar Act. ii. 39, Eph. ii. 13, 17. Hyn yw testyn y mawl a'r diolchgarwch uchod, sef heddwch â Duw, neu gynygiad o gymod a maddeuant trwy yr efengyl. *A mi a'i hiachâf ef*—oddiwrth bla ei galon, sef pob un a dderbynio y cynygiad grasol hwn.

Adn. 20. *Ond y rhai anwir*] Y rhai a lynant yn eu hanwiredd, gan wrthod y cymod a gynygir yn yr efengyl; *sydd fel y môr yn dygyfor*—yn ymchwyddo ac yn ymgynhyrfu yn barhaus, heb allu byth fod yn llonydd; *yr hwn y mae ei ddyfroedd yn bwrw allan dom a llaid*—gwymon, tywod, cregin, neu ba beth bynag arall a allo fod ynddo. Felly y mae nwydau pechaduriaid mewn cynhyrfiad par-

llonydd, yr hwn y mae ei ddyfroedd
yn bwrw allan dom a llaid.
21 Ni *bydd* heddwch, medd fy
Nuw, i'r rhai annuwiol.

## PENNOD LVIII.

LLEFA â'th geg, nac arbed; dyrch-
afa dy lais fel udgorn, a mynega
i'm pobl eu camwedd, a'u pechodau
i dŷ Jacob.
2 Eto beunydd y'm ceisiant, ac a
ewyllysiant wybod fy ffyrdd, fel
cenedl a wnelai gyfiawnder, ac ni
wrthodai farnedigaeth ei Duw: go-
fynant i mi farnedigaethau cyfiawn-
der, ewyllysiant nesâu *at* Dduw.
3 ¶ Paham, *meddant*, yr ympryd-
iasom, ac nis gwelaist? y cystudd-
iasom ein henaid, ac nis gwybuost?
Wele, yn y dydd yr ymprydioch yr
ydych yn cael gwỳnfyd, ac yn
mynu eich holl ddyledion.
4 Wele, i ymryson a chynhen yr
ymprydiwch, ac i daro â dwrn an-
wiredd: nac ymprydiwch fel y dydd
*hwn*, i beri clywed eich llais yn yr
uchelder.
5 Ai dyma yr ympryd a ddewis-
ais? dydd i ddyn i gystuddio ei
enaid? ai crymu ei ben fel brwyn-
en *ydyw*, a thaenu sach-lian a
lludw dano? ai hyn a elwi yn ym-
pryd, ac yn ddiwrnod cymeradwy
gan yr Arglwydd?

---

haus; a bwriant allan, mewn geiriau a gweithredoedd aflan, bethau ffieiddiach na dom a llaid. Y mae eu cydwybodau hefyd yn llawn cyffro ac ofnau, gan arswydo wrth feddwl am angau, barn, a thragwyddoldeb.

Adn. 21. *Ni bydd heddwch, medd fy Nuw, i'r rhai annuwiol*] Sef i'r rhai a fyddant byw a marw yn annuwiol. Nid oes heddwch iddynt yn y byd hwn, ac ni bydd heddwch iddynt yn y byd a ddaw: gwel ar pen. xlviii. 22.

PEN. LVIII. Adn. 1. *Llefa â'th geg*] Rhybyddia, cerydda, ac argyhoedda fy mhobl hyn gyda difrifwch a ffyddlondeb; *nac arbed*—dy hun na hwythau: *dyrchafa dy lais fel udgorn*—fel y gallo pawb dy glywed; *a mynega i'm pobl eu camwedd*—eu rhagrith a'u twyll; *a'u pechodau i dŷ Jacob*—tybia *Rosenmuller* mai yr Iuddewon yn Babilon a feddylir yma; a *Vitringa*, mai yr eglwys Babaidd: ond y mae yn debycach mai yr Iuddewon yn amser y proffwyd a olygir, yn enwedig tua diwedd ei oes, dan deyrnasiad Manasseh.

Adn. 2. *Eto beunydd y'm ceisiant*] Trwy ymgynull bob dydd yn y deml; *ac a ewyllysiant wybod fy ffordd*—hyny yw, proffesant hyny; *fel cenedl a wnelai gyfiawnder*—neu a fyddent am wneyd yr hyn a fyddai uniawn yn ngolwg Duw, a chyson â'i air a'i gyfraith ef. *Gofynant i mi farnedigaethau cyfiawnder*—trwy eu hoffeiriaid a'u proffwydi; *ewyllysiant nesâu at Dduw*—Saes., 'ymhyfrydant' yn hyny. Felly ni a welwn y gall *rhagrithwyr* gyfateb i'r dysgrifiad hwn; ac nad yw sel dros dŷ Dduw, a thros ei air, ei ordinhadau, a'i wasanaeth, yn brawf bob amser o wir dduwioldeb.

Adn. 3. *Paham, meddant, yr ymprydiasom*] Yn ol dy orchymyn di; *ac nis gwelaist*—ac ni chymeraist sylw o'n hympryd fel ag i'n gwaredu? *Y cystuddiasom ein henaid*—trwy ymattal oddiwrth fwydydd a diodydd; *ac nis gwybuost?*—yr oeddynt yn meddwl fod ympryd a gweddi yn gosod Duw dan *rwymau* iddynt. Y mae yn wir fod ympryd a gweddi, pan yn deilliaw oddiar wir edifeirwch, yn gymeradwy gan Dduw; ond pan edrychir arnynt fel moddion i *brynu* y ffafr ddwyfol, neu i osod Duw dan *rwymau* i roddi i ni yr hyn a geisiwn, neu pan yn cael eu cyflawni mewn dull anaddas, neu oddiar au-ddybenion, y maent yn ffiaidd yn ei olwg ef. *Wele, yn y dydd yr ymprydioch*—yma dangosa Duw iddynt paham yr oedd eu hympryd hwy yn ddieffaith; *yr ydych yn cael gwỳnfyd*—yn boddhau eich blysiau a'th chwantau llygredig mewn pethau ereill, yn lle mewn bwydydd a diodydd; *ac yn mynu eich holl ddyledion*—sef y llawn fesur o galedwaith gan eich caethweision, neu lôg i'r eithaf am yr arian a fenthycasoch i'r tylodion, yn nghyda phob gofyniad arall ag y mae genych rith hawl iddo. Y meddwl yw, nad oeddynt ar y pryd yn dangos dim maddeuant, tosturi, na thrugaredd tuag at ereill.

Adn. 4. *Wele, i ymryson a chynhen yr ymprydiwch*] I gweryla â'ch gweision am esgeuluso eu gwaith, ac â'ch dyledwyr tylodion am fethu talu i chwi; *ac i daro â dwrn anwiredd*—sef eu cospi hwy am hyny. *Nac ymprydiwch fel y dydd hwn*—fel yr ydych yn gwneyd heddyw; *i beri clywed eich llais yn yr uchelder*—mewn cynhen, ymryson, a thrwst: gwel *Barnes*, *Benson*, &c. Ond tybia *Vitringa*, *Rosenmuller*, ac ereill, mai yr ystyr yw, nad allai ympryd felly beri i'w gweddiau gael eu gwrando yn y nefoedd: nad allai Duw ei dderbyn fel gweithred o addoliad, na'i fendithio fel moddion gras.

Adn. 5. *Ai dyma yr ympryd a ddewisais*] A benodais i, neu a gymeradwyir genyf? *Dydd i ddyn i gystuddio ei enaid*—trwy ymattal oddiwrth fwydydd, ac ar yr un pryd borthi ei flys? adn. 3. *Ai crymu ei ben fel brwynen ydyw*—sef mewn ymddanghosiad allanol yn unig? *a thaenu sach-lian a lludw dano*—heb un o'r gweithredoedd da a enwir yn yr adnodau nesaf yn ei ddylyn? *Ai hyn a elwi yn ympryd, ac yn ddiwrnod cymeradwy gan yr Arglwydd?*—y meddwl yw, nas gallai unrhyw arwyddion allanol o edifeirwch fod yn gymeradwy gan Dduw, oddieithr i weithredoedd o gyfiawnder, trugaredd, a chariad, fod yn cydfyned â hwy.

6 Onid dyma yr ympryd a ddewis-
ais? dattod rhwymau anwiredd,
tynu ymaith feichiau trymion, a
gollwng y rhai gorthrymedig yn
rhyddion, a thori o honoch bob iau?
7 Onid tori dy fara i'r newynog,
a dwyn o honot y crwydriaid i dŷ?
a phan welych y noeth, ei ddilladu;
ac nad ymguddiech oddiwrth dy
gnawd dy hun?
8 ¶ Yna y tyr dy oleuni allan fel
y wawr, a'th iechyd a dardda yn
fuan: a'th gyfiawnder a â o'th flaen;
gogoniant yr Arglwydd a'th ddylyn.
9 Yna y gelwi, a'r Arglwydd a
etyb; y gwaeddi, ac efe a ddywed,
Wele fi. Os bwri o'th fysg yr iau,
estyn bys, a dywedyd oferedd.
10 Os tyni allan dy enaid i'r
newynog, a diwallu yr enaid cys-
tuddiedig: yna dy oleuni a gyfyd
mewn tywyllwch, a'th dywyllwch
*fydd* fel hanner dydd:
11 A'r Arglwydd a'th arwain yn
wastad, ac a ddiwalla dy enaid ar
sychder, ac a wna dy esgyrn yn
freision: a thi a fyddi fel gardd
wedi ei dyfrhau, ac megys ffynnon
ddwfr, yr hon ni phalla ei dyfroedd.
12 A'*r rhai a fyddant* o honot ti
a adeiladant yr hen ddiffaeth-le-
oedd; ti a gyfodi sylfaeni llawer
cenhedlaeth: a thi a elwir yn gau-
wr yr adwy, yn gyweiriwr llwybr-
au i gyfaneddu ynddynt.
13 ¶ O throi dy droed oddiwrth
y sabboth, *heb* wneuthur dy ewyllys
ar fy nydd santaidd; a galw y sab-

---

Adn. 6. *Onid dyma yr ympryd a ddewisais*] Neu a orchymynais oddiwrthych chwi a phawb ereill? *Dattod rhwymau anwiredd*—sef y rhwymau annghyfiawn a roddasoch chwi ar ereill. *Tynu ymaith feichiau trymion*—y rhai a osodasoch ar ysgwyddau dynion gweiniaid. *A gollwng y rhai gorthrymedig yn rhyddion*—y rhai a ddelir yn gaethion genych trwy drais a gormes. *A thori o honoch bob iau*—ag sydd yn peri blinder a phoen i ereill.

Adn. 7. *Onid tori dy fara i'r newynog*] Trwy ei borthi ef? *A dwyn o honot y crwydriaid i dŷ*—i roddi llety ac amgeledd iddynt. *A phan welych noeth*—unrhyw ddyn noeth, o ba genedl bynag; *ei ddilladu*—i guddio ei noethni, ac i roddi cynhesrwydd iddo. *Ac nad ymguddiech oddiwrth dy gnawd dy hun*—oddiwrth unrhyw fôd dynol, yr hwn sydd *frawd* i ti yn nghyfrif Duw, o ba iaith bynag y byddo, neu o ba liw bynag.

Adn. 8. *Yna y tyr dy oleuni allan*] Dy lwyddiant, dy gysur, a'th lawenydd; *fel y wawr*—yn sicr a helaeth, fel tywyniad yr haul yn y bore: gwel ar Job xi. 17: *a'th iechyd a dardda yn fuan*—adferir i ti dy hawddfyd blaenorol: *a'th gyfiawnder a â o'th flaen*—sef dy weithredoedd cyfiawnder, i barotoi y ffordd i'th lwyddiant: *gogoniant yr Arglwydd a'th ddylyn*—i'th amddiffyn o'r tu ol; neu bydd i'r Arglwydd beri i gyflwr gogoneddus ddylyn dy adfyd presenol.

Adn. 9. *Yna y gelwi*] Mewn gweddi neu ympryd; *a'r Arglwydd a etyb*—yn lle bod fel heb dy wrando na'th weled, adn. 3: *y gwaeddi*—am ymwared; *ac efe a ddywed, Wele fi*—yn dy ymyl i'th waredu. *Os bwri o'th fysg yr iau*—y trais a'r gorthrwm, adn. 6; *estyn bys*—mewn ffordd o wawd, dirmyg, neu ddial; *a dywedyd oferedd*—hyny yw, os bwri o'th fysg bob math o ymddyddanion drwg, geiriau segur, a chelwyddau.

Adn. 10. *Os tyni allan dy enaid i'r newynog*] Mewn tosturi at yr hwn a fyddo mewn eisiau; neu, fel y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen, yn nghydag unarddeg o ysgrifiyfrau *Hebreig*, 'os tyni allan fy *fara* i'r newynog:' *a diwallu yr enaid cystuddiedig*—â'r pethau ag y byddo ef mewn gwir angen am danynt: *yna dy oleuni a gyfyd mewn tywyllwch*—gwel ar adn. 8; *a'th dywyllwch fydd fel hanner dydd*—fydd fel pe codai siriol oleuni yr haul arnat ganol nos; hyny yw, byddai i'w hadfyd a'u trallod droi yn ddiatreg yn siriol oleuni llwyddiant a dedwyddwch iddynt.

Adn. 11. *A'r Arglwydd a'th arwain yn wastad*] Trwy anialwch dyrys y bywyd hwn; *ac a ddiwalla dy enaid ar sychder*—fel y diwallodd efe Israel yn yr anialwch â dwfr o'r graig: hyny yw, cai di ddigon, pan y bydd ereill mewn prinder; *ac a wna dy esgyrn yn freision*—neu 'yn iraidd gan fêr,' yn lle bod yn sychu i fyny gan wendid neu newyu, Job xxi. 24. *A thi a fyddi fel gardd wedi ei dyfrhau*—yn llawn tyfiant a ffrwythau dymunol; *ac megys ffynnon ddwfr, yr hon ni phalla ei dyfroedd*—yr hon ni sycha i fyny. Gellir deall yr addewidion hyn mewn ystyr tymhorol ac ysbrydol.

Adn. 12. *A'r rhai a fyddant o honot ti*] Sef dy hiliogaeth; *a adeiladant yr hen ddiffaeth-leoedd*—sef dinasoedd a threfi maluriedig Judea ond odid. *Ti a gyfodi sylfaeni llawer cenhedlaeth*—naill ai y sylfaeni a osodwyd i lawr lawer o genedlaethau yn ol, neu ynte a barhäent dros lawer o genedlaethau i ddyfod. *A thi a elwir yn gauwr yr adwy*—sef yr adwyau a wnaed gan y Caldeaid yn muriau ac adeiladau eu dinasoedd hwy; *yn gyweiriwr llwybrau*—rhwng y naill ddinas a'r llall; *i gyfaneddu ynddynt*—neu fel y gallo dynion fyned i gyfaneddu yn y dinasoedd hyny. Ond mewn ystyr ysbrydol gall fod yma gyfeiriad at ddiwygio ac adgyweirio adwyau yr eglwys Gristionogol: gwel *Vitringa*.

Adn. 13. *O droi dy droed oddiwrth y sabboth*] Oddiwrth rodiana ar y sabboth, neu wneuthur teithiau afreidiol ar y dydd santaidd hwnw; *heb wneuthur dy ewyllys ar fy nydd santaidd*—hyny yw, dy ewyllys dy hun, yn groes i ewyllys Duw; *a galw y sabboth yn*

both yn hyfrydwch; sant yr Arglwydd yn ogoneddus; a'i anrhydeddu ef, heb wneuthur dy ffyrdd dy hun, heb geisio dy ewyllys dy hun, na dywedyd *dy* eiriau *dy hun:*

14 Yna yr ymhyfrydi yn yr Arglwydd, ac mi a wnaf it' farchogaeth ar uchelfeydd y ddaear, ac a'th borthaf âg etifeddiaeth Jacob dy dad: canys genau yr Arglwydd a'*i* llefarodd.

## PENNOD LIX.

WELE, ni fyrhawyd llaw yr Arglwydd, fel na allo achub; ac ni thrymhaodd ei glust ef, fel na allo glywed:

2 Eithr eich anwireddau chwi a ysgarodd rhyngoch chwi a'ch Duw, a'ch pechodau a guddiasant *ei* wyneb oddiwrthych, fel na chlywo.

3 Canys eich dwylaw a halogwyd â gwaed, a'ch bysedd â chamwedd: eich gwefusau a draethasant gelwydd, eich tafod a fyfyriodd anwiredd.

4 Nid *oes* a alwo am gyfiawnder, nac a ddadleu dros y gwirionedd: *y maent* yn gobeithio mewn gwagedd, ac yn dywedyd celwydd; yn beichiogi ar flinder, ac yn esgor ar anwiredd.

5 Wyau asp a ddodwasant, a gweoedd y pryfcopyn a weant: yr hwn a fwyty o'u hwyau a fydd marw, a'r hwn a sathrer a dyr allan yn wiber.

---

*hyfrydwch* — os bydd i ti ymhyfrydu yn ngwaith santaidd y sabboth, gan ei ystyried yn fraint a phleser gael cyrchu i gysegr Duw i'w addoli a'i wasanaethu ef; *sant yr Arglwydd* —sef ei ddydd santaidd ef, *yn ogoneddus*—yn ddydd i ogoneddu Duw ynddo, a gogoneddus ynddo ei hun fel y penaf o'r saith; *a'i anrhydeddu ef*—sef y sabboth, neu ynte yr Arglwydd, yr hwn y mae y sabboth yn ddydd neillduol i'w anrhydeddu a'i wasanaethu ef; *heb wneuthur dy ffyrdd dy hun*—sef dy alwedigaethau bydol; *heb geisio dy ewyllys dy hun*—ond gwneuthur ewyllys Duw yn unig; *na dywedyd dy eiriau dy hun*—y rhai a darddant oddiar lygredigaeth dy natur, neu a berthynant i achosion y byd a'i bethau; ond, yn hytrach, fod i'th eiriau, dy ewyllysiau, a'th weithredoedd fod yn hollol yn ol ewyllys Duw, ac yn tueddu i'w foliannu, ei ogoneddu, a'i wasanaethu ef yn unig. Yn y darluniad hwn nid oes dim seremonïol, neu yn perthyn i'r gadwraeth Iuddewig o'r sabboth, yn cael ei enwi; ac y mae mor briodol cadw y sabboth yn y ffordd hon dan yr efengyl, ag ydoedd dan oruchwyliaeth Moses; a diamau fod Duw yn bwriadu i'w ddydd santaidd ef gael ei gadw fel hyn hyd ddiwedd y byd: gwel ar Exod. xx. 8—11.

Adn. 14. *Yna yr ymhyfrydi yn yr Arglwydd*] Fel pe dywedasai, Os ymhyfrydi di yn y sabboth, fel y nodwyd uchod, yna ti a ymhyfrydi yn Arglwydd y sabboth hefyd, sef yn ei natur, ei ddaioni, a'i waith ef. *Ac mi a wnaf it' farchogaeth ar uchelfeydd y ddaear* —mewn llwyddiant, anrhydedd, a diogelwch, ac allan o gyraedd pob perygl; neu, ti a gai feddiant tawel o wlad fynyddig a ffrwythlon Canaan: gwel ar Deut. xxxii. 13. *Ac a'th borthaf âg etifeddiaeth Jacob dy dad*—sef â bendithion ysbrydol yn gystal a thymhorol. *Canys genau yr Arglwydd a'i llefarodd*—yr hwn ni fetha gyflawni yr hyn a addawodd.

PEN. LIX. Adn. 1. *Wele, ni fyrhawyd llaw yr Arglwydd, fel na allo achub*] Eithr y mae ei hollalluogrwydd ef gymaint ag erioed; *ac ni thrymhaodd ei glust ef, fel na allo glywed*—ond y mae yr un mor alluog a pharod heddyw ag erioed i wrandaw gweddi. Hyny yw, nid am fod Duw yn *methu* achub, neu yn *analluog* i glywed, y mae efe yn eich gadael chwi yn eich cyfyngderau presenol, neu heb sylwi ar eich ymprydiau a'ch gweddiau, y rhai yr ydych yn eu gwneuthur, pen. lviii. 2, &c.

Adn. 2. *Eithr eich anwireddau chwi*] Y rhai y cyfeiriwyd atynt yn y bennod flaenorol, ac a nodir yn mhellach yn y bennod hon; *a ysgarodd rhyngoch chwi a'ch Duw*—a'i pellhaodd ef oddiwrthych, Diar. xv. 29, neu a osododd fur tew rhyngddo a chwi, fel yr arwydda y gair; *a'ch pechodau a guddiasant ei wyneb oddiwrthych*—fel cwmwl tywyll yn cuddio gwyneb yr haul; *fel na chlywo*—fel na fyno wrandaw ar eich gweddiau.

Adn. 3. *Canys eich dwylaw a halogwyd â gwaed*] A llofruddiaeth, creulondeb, a thrais; *a'ch bysedd â chamwedd*—lladrad a phob anghyfiawnder: *eich gwefusau a draethasant gelwydd* — camdystiolaeth, anudoniaeth, ac enllib; *eich tafod a fyfyriodd anwiredd*— Saes., 'a fwngialodd anwiredd,' neu gildynrwydd; Fel hyn yr oedd gwahanol aelodau eu cyrff yn cael eu defnyddio ganddynt i gwneuthur drwg: gwel ar adn. 7, a Rhuf. iii. 13, &c.

Adn. 4. *Nid oes a alwo am gyfiawnder*] Mewn llys gwladol; *nac a ddadleu dros y gwirionedd*—ond y mae pawb yn llawn o gelwydd, annghyfiawnder, a thrais: *y maent yn gobeithio mewn gwagedd*—mewn geiriau gwâg a thwyllodrus, neu mewn ystrywiau a dichellion; *ac yn dywedyd celwydd*—er mwyn cyraedd eu hamcanion drygionus: *yn beichiogi ar flinder*—sef ar yr hyn a bair flinder i ereill; *ac yn esgor ar anwiredd*—ar yr hyn sydd anwiredd niweidiol i ereill.

Adn. 5. *Wyau asp*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo unrhyw amcanion neu fesurau niweidiol; *a ddodwasant* — a roddasant mewn gweithrediad: *a gweoedd y pryfcopyn a weant*—er mwyn rhwydo yr annichellgar. *Yr*

6 Eu gweoedd hwy ni byddant yn
wisgoedd, ac nid ymddilladant â'u
gweithredoedd: eu gweithredoedd
*ydynt* weithredoedd anwiredd, a
gwaith trawsder *sydd* yn eu dwy-
law.
7 Eu traed a redant i ddrygioni,
a hwy a frysiant i dywallt gwaed
gwirion: eu meddyliau *sydd* fedd-
yliau anwir; dystryw a dinystr
*sydd* ar eu ffyrdd hwynt.
8 Ffordd heddwch nid adwaen-
ant; ac nid *oes* gyfiawnder yn eu
llwybrau: gwnaethant iddynt lwybr-
au ceimion: pwy bynag a rodio yno,
nid edwyn heddwch.
9 ¶ Am hyny y ciliodd barned-
igaeth oddiwrthym, ac ni'n goddi-
weddodd cyfiawnder: dysgwylias-
om am oleuni, ac wele dywyllwch;
am ddysgleirdeb, *ac* yn y fagddu yr
ydym yn rhodio.
10 Palfalasom fel deillion â'r
pared, ïe, fel *rhai* heb lygaid y palf-
alasom: tramgwyddasom ar han-
ner dydd fel y cyfnos; *oeddem*
mewn lleoedd annghyfanedd fel rhai
meirw.
11 Nyni oll a ruasom fel eirth, a
chan riddfan y griddfanasom fel
colomenod: dysgwyliasom am farn,
ac nid *oes dim;* am iachawdwriaeth,
*ac* ymbellhaodd oddiwrthym.
12 Canys amlhaodd ein camwedd-
au ger dy fron, a thystiolaethodd
ein pechodau i'n herbyn: o her-
wydd ein camweddau *sydd* gyda ni;
a'n hanwireddau, ni a'u hadwaen-
om:
13 Camweddu, a dywedyd cel-

---

*hwn a fwyty o'u hwyau*—neu a gyduna â hwynt yn eu hamcanion niweidiol; *a fydd marw*—o herwydd iddo gydsynio â hwynt yn eu drygau angeuol: *a'r hwn a sathrer a dyr allan yn wiber*—y meddwl yw, pan fyddo i'w cynlluniau ddyfod i'r amlwg, neu dori allan mewn gweithrediad, y gwelir eu bod yn wenwynig a niweidiol, yr un modd a gwiber yn dyfod o ŵy toredig. Enwir *asp* a *gwiber* yma am unrhyw fath o sarff.

Adn. 6. *Eu gweoedd hwynt ni byddant yn wisgoedd*] Ni byddant o les iddynt fel gwisgoedd; *ac nid ymddilladant â'u gweithredoedd*—ni throant allan yn y diwedd yn harddwch ac anrhydedd iddynt. *Eu gweithredoedd ydynt weithredoedd anwiredd*—trwy y rhai y blinant ereill, ac y niweidiant eu hunain; *a gwaith trawsder sydd yn eu dwylaw*—sef gweithredoedd o drais, gormes, a gwaed.

Adn. 7. *Eu traed a redant i ddrygioni*] Wedi unwaith yr elont i lwybr drygioni; *a hwy a frysiant i dywallt gwaed gwirion*—yr hyn yw eithafion drygioni: *eu meddyliau sydd feddyliau anwir*—yn llunio ac yn bwriadu pob math ar ddrygioni; *dystryw a dinystr sydd ar eu ffyrdd hwynt*—sef dinystr i ereill mewn bwriad, ac iddynt eu hunain mewn canlyniad: gwel ar Rhuf. iii. 15—17.

Adn. 8. *Ffordd heddwch nid adwaenant*] Y maent yn gwbl ddyeithr i heddwch cydwybod, heddwch â Duw, a heddwch â dynion; *ac nid oes gyfiawnder yn eu llwybrau*—yn eu hymddygiad na'u gweithredoedd. *Gwnaethant iddynt lwybrau ceimion*—yr hyn a arwydda eu twyll a'u hanonestrwydd cyffredinol. *Pwy bynag a rodio yno*—yn eu llwybrau hwy; *nid edwyn heddwch*—ni chaiff fwynhau heddwch byth, tra yn aros yno.

Adn. 9. *Am hyny y ciliodd barnedigaeth oddiwrthym*] Neu y peidiodd Duw âg ymddangos i amddiffyn ein hachos, neu i'n gwaredu. Y geiriau hyn ydynt gyfaddefiad y bobl eu bod yn dyoddef yn gyfiawn oddiwrth Dduw am eu drygioni. *Ac ni'n goddiweddodd cyfiawnder*—ni chawsom arbediad oddiwrth ein gorthrymwyr annghyfiawn, er i ni ddysgwyl am dano trwy ympryd a gweddi, pen. lviii. 3, &c. *Dysgwyliasom am oleuni*—am gysur, llwyddiant, a llawenydd; *ac wele dywyllwch*—gofid, trallod, a braw: *am ddysgleirdeb*—yr un peth a'r 'goleuni' uchod; *ac yn y fagddu yr ydym yn rhodio*—am i Dduw yn gyfiawn dynu ei lewyrch oddiwrthym.

Adn. 10. *Palfalasom fel deillion â'r pared*] Y rhai ni fedrant weled eu ffordd; *ïe, fel rhai heb lygaid y palfalasom*—gan deimlo ein ffordd â'n dwylaw, fel pe buasem wedi ein geni yn ddall. *Tramgwyddasom ar hanner dydd fel y cyfnos*—canys un ffunud oedd goleuni a thywyllwch iddynt hwy dan eu dallineb barnol. *Oeddem mewn lleoedd annghyfanedd*—neu 'yn nghanol maesydd ffrwythlon,' fel y mae *Gesenius* ac ereill yn ei gyfieithu; *fel rhai meirw*—heb allu mwynhau dim.

Adn. 11. *Nyni oll a ruasom fel eirth*] Yn uchel a chwerw, gan fawredd ein trallod; *a chan riddfan y griddfanasom fel colomenod*—wedi colli eu cymheiriaid: gwel ar pen. xxxviii. 14. *Dysgwyliasom am farn*—am i Dduw wneyd barn o'n hachos ni ar ein gorthrymwyr; *ac nid oes dim*—yn cael ei wneyd: *am iachawdwriaeth*—neu waredigaeth o'n cyflwr adfydus; *ac ymbellhaodd oddiwrthym*—yn mhellach nag erioed.

Adn. 12. *Canys amlhaodd ein camweddau ger dy fron*] Yn dy olwg, ac o flaen dy wyneb; *a thystiolaethodd ein pechodau i'n herbyn*—gan brofi ein heuogrwydd yn y modd egluraf: *o herwydd ein camweddau sydd gyda ni*—sydd tyth heb eu maddeu; *a'n hanwireddau, ni a'u hadwaenom*—yr ydym yn eu haddef, ac yn eu cydnabod fel yr eiddom ein hunain yn hollol. Yn yr adnodau nesaf cawn hwynt yn enwi rhai o'r pechodau ag yr addefent eu bod yn euog o honynt.

Adn. 13. *Camweddu*] Yn mhob rhyw fodd;

wydd yn erbyn yr Arglwydd, a chilio oddiar ol ein Duw, dywedyd trawsder, ac anufydd-dod, myfyrio a thraethu o'r galon eiriau gau.

14 Barn hefyd a dröed yn ei hol, a chyfiawnder a safodd o hirbell: canys gwirionedd a gwympodd yn yr heol, ac uniondeb ni all ddyfod i mewn.

15 Ie, gwirionedd sydd yn pallu, a'r hwn sydd yn cilio oddiwrth ddrygioni a'i gwna ei hun yn yspail; a gwelodd yr Arglwydd *hyn*, a drwg oedd yn ei olwg nad *oedd* barn.

16 ¶ Gwelodd hefyd nad *oedd* gŵr, a rhyfeddodd nad *oedd* eiriolwr: am hyny ei fraich a'i hachubodd, a'i gyfiawnder ei hun a'i cynaliodd.

17 Canys efe a wisgodd gyfiawnder fel llurig, a helm iachawdwriaeth am ei ben; ac a wisgodd wisgoedd dial yn ddillad; ïe, gwisgodd sel fel cochl.

18 Yn ol y gweithredoedd, ïe, yn *eu* hol *hwynt* y tâl efe, llid i'w wrthwynebwyr, taledigaeth i'w elynion; taledigaeth i'r ynysoedd a dâl efe.

19 Felly yr ofnant enw yr Arglwydd o'r gorllewin, a'i ogoniant ef o godiad haul: pan ddelo y gelyn i mewn fel afon, ysbryd yr Arglwydd a'i hymlid ef ymaith.

---

*a dywedyd celŵydd yn erbyn yr Arglwydd*—trwy roddi anair iddo ef fel meistr, neu trwy dori ein cyfammod âg ef; *a chilio oddiar ol ein Duw*—i fyned ar ol eilunod; *dywedyd trawsder*—yn erbyn Duw a dynion; *ac anufydd-dod*—i orchymynion y ddwy lech; *myfyrio a thraethu o'r galon eiriau gau*—sef cynlluniau twyllodrus a niweidiol yn erbyn llywodraeth y nef, y rhai a ddychymygent yn gyntaf yn eu calonau, ac wedi hyny a draethent â'u geneuau.

Adn. 14. *Barn hefyd a dröed yn ei hol*] O'n llysoedd gwladol; *a chyfiawnder a safodd o hirbell*—fel pe buasai yn ofni dyfod i blith y fath farnwyr annghyfiawn: *canys gwirionedd a gwympodd yn yr heol*—heb neb yn gofalu am ei godi, a'i ddwyn i mewn i'r llys; *ac uniondeb ni all ddyfod i mewn*—lle y mae y fath dwyll, annghyfiawnder, ac anudoniaeth, yn cael eu goddef.

Adn. 15. *Ie, gwirionedd sydd yn pallu*] Nid yn unig yn cwympo yn yr heol, ond yn methu byw: *a'r hwn sydd yn cilio oddiwrth ddrygioni*—gan fyw yn rhinweddol a chyfiawn, *a'i gwna ei hun yn yspail*—neu yn ysglyfaeth, i'r fath farnwyr annghyfiawn a gormesol; neu, 'a gyfrifir yn ynfyd,' fel y mae ar ymyl y ddalen. *A gwelodd yr Arglwydd hyn*—y cyflwr gresynol yma ar bethau yn eich llysoedd barnol; *a drwg oedd yn ei olwg nad oedd barn*—neu gyfiawnder, yn cael ei weinyddu yno, ond pob math o dwyll, anonestrwydd, a gormes! Ymddengys mai y proffwyd sydd yn llefaru yma, gan gymeryd i fyny y cyfaddefiad a wnaethai y bobl, adn. 9, ac ymhelaethu arno.

Adn. 16. *Gwelodd hefyd nad oedd gŵr*] Nad oedd neb doeth, galluog, a chyfiawn, i lywodraethu achosion y bobl: *a rhyfeddodd nad oedd eiriolwr*—i ddadlu dros gyfiawnder a gwirionedd yn eu llysoedd. *Am hyny ei fraich a'i hachubodd*—yn ngwyneb y fath gyflwr adfydus, tosturiodd yr Arglwydd wrth ei bobl, ac estynodd allan ei fraich ei hun i'w gwaredu; *a'i gyfiawnder ei hun a'i cynaliodd*—sef yr ymwybodolrwydd ei fod yn gwneuthur yr hyn oedd gyfiawn ac angenrheidiol. Y rheswm paham y rhoddodd Duw ei Fab yn Iachawdwr i'r byd yw, am nad oedd neb arall a allai waredu pechaduriaid.

Adn. 17. *Canys efe a wisgodd gyfiawnder fel llurig*] Yma y mae y proffwyd yn darlunio JEHOFA fel rhyfelwr yn ymddangos yn ei lawn arfogaeth o blaid ei bobl, ac yn erbyn eu gorthrymwyr hwy. *A helm iachawdwriaeth am ei ben*—am y llurig a'r helm, gwel ar 1 Sam. xvii. 5. Fel yr oedd y *llurig* yn wisg o fettel am y corff, i amddiffyn y galon; felly yr oedd yr *helm* yn wisg o fettel i amddiffyn y pen. *Ac a wisgodd wisgoedd dial yn ddillad*—fe allai fod y rhai hyn yn cyfeirio at yr arfau ymosodol, fel y mae y rhai blaenaf at yr arfogaeth amddiffynol: gwel ar Eph. vi. 13—17. *Ie, gwisgodd sel fel cochl*—neu fantell dros y cwbl; sef sel dros ei ogoniant ei hun, a lles a chysur ei bobl. Ond dylid cofio mai arfogaeth *foesol* a olygir yma, sef cyfiawnder, iachawdwriaeth, a sel; a dylasai yr ystyriaeth o hyn gadw yr Iuddewon rhag dysgwyl Gwaredwr tymhorol, neu Fessia i'w hachub trwy nerth y cleddyf.

Adn. 18. *Yn ol y gweithredoedd, &c.*] Y meddwl yw, y byddai i Dduw weinyddu cosp *gyfiawn* ar ei wrthwynebwyr bob amser, ac na wna efe ddim *cam* â neb, hyd yn nod er eu bod yn elynion iddo. *Taledigaeth i'r ynysoedd a dâl efe*—gwelsom yn fynych fod y proffwyd hwn yn defnyddio y gair *ynysoedd* nid yn unig am leoedd yn nghanol y môr, ond hefyd am lanau y môr, neu unrhyw wledydd pellenig.

Adn. 19. *Felly yr ofnant enw yr Arglwydd o'r gorllewin*] Sef yn y gwledydd gorllewinol. Fel canlyniad i gyfryngiad Duw o blaid gwirionedd a chyfiawnder, daw dynion yn mhob man i arswydo rhag ei farnedigaethau ef, neu ynte i'w ofni ef mewn ffordd o grefydd ac addoliad. *A'i ogoniant ef o godiad haul*—bydd i holl wledydd y dwyrain hefyd, ïe yr holl fyd, ddyfod i gydnabod gogoniant Duw, ac i'w addoli a'i wasanaethu ef yn unig. *Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon*—unrhyw elynion, fel ffrwd lifeiriol, i aflonyddu pobl neu eglwys Dduw; *ysbryd yr Arglwydd*—neu [illegible] yr

20 ¶ Ac i Seion y daw y Gwar-
edydd, ac i'r rhai a droant *oddiwrth*
anwiredd yn Jacob, medd yr Ar-
glwydd.
21 A minau, dyma fy nghyfam-
mod â hwynt, medd yr Arglwydd;
Fy Ysbryd, yr hwn *sydd* arnat, a'm
geiriau y rhai a osodais yn dy enau,
ni chiliant o'th enau, nac o enau dy
had, nac o enau had dy had, medd
yr Arglwydd, o hyn allan byth.

## PENNOD LX.

CYFOD, llewyrcha; canys daeth
dy oleuni, a chyfododd gogon-
iant yr Arglwydd arnat.
2 Canys wele, tywyllwch a or-
chuddia y ddaear, a'r fagddu y
bobloedd: ond arnat ti y cyfyd yr
Arglwydd, a'i ogoniant a welir
arnat.
3 Cenhedloedd hefyd a rodiant at
dy oleuni, a brenhinoedd at ddys-
gleirdeb dy gyfodiad.
4 Cyfod dy lygaid oddiamgylch,
ac edrych; ymgasglasant oll, daeth-
ant atat: dy feibion a ddeuant o
bell, a'th ferched a fegir wrth *dy*
ystlys.
5 Yna y cei weled, ac yr ym-
ddysgleiri; dy galon hefyd a ofna,
ac a helaethir; am droi atat luos-

Arglwydd, fel y gellir ei ddeall; *a'i hymlid ef ymaith*—bydd i ddialedd cyfiawn gael ei dywallt ar *elynion* yr Arglwydd, i'r dyben i waredu ei *gyfeillion* ef. Meddylia rhai fod hyn yn cyfeirio at ymlidiad Anghrist ymaith gan Ysbryd yr Arglwydd, fel y dywedir yn 2 Thes. ii. 8.

Adn. 20. *Ac i Seion y daw y Gwaredydd*] Sef i Jerusalem, neu i'w deml neu ei eglwys yno; hyny yw, y daw efe o'r nef, neu y daw mewn cnawd. Y mae yr apostol Paul, Rhuf. xi. 26, ac *Aben Ezra* a *Kimchi* yn mhlith yr Iuddewon, a'r Cristionogion yn gyffredin, yn cymhwyso y geiriau hyn at y MESSIA. St. Paul a ddywed, 'Y Gwaredwr a ddaw allan *o* Seion,' i arwyddo nad *estron* fyddai, ond un o'u plith hwy eu hunain. *Ac i'r rhai a droant oddiwrth anwiredd yn Jacob*—Saes., '*at* y rhai;' hyny yw, efe a ddaw at y cyfiawnion a fyddant yn dysgwyl am ddyddanwch yr Israel. Y mae yr apostol yn dyfynu y geiriau hyn ychydig yn wahanol, fel y maent gan y LXX: 'Ac a dry ymaith annuwioldeb oddiwrth Jacob:' hyny yw, dyna fydd dyben ac effaith ei ddyfodiad ef.

Adn. 21. *A minau, dyma fy nghyfammod â hwynt*] Sef â'r rhai a droant oddiwrth anwiredd yn Jacob; *medd yr Arglwydd*—wrth y Messia y Gwaredydd. *Fy Ysbryd yr hwn sydd arnat*—sef ar Grist y Gwaredydd, pen. xi. 1—3; *a'm geiriau y rhai a osodais yn dy enau*—y rhai a draethi di trwy fy Ysbryd i yn y byd; *ni chiliant o'th enau*—eithr ti a barhei fel Athraw mawr y bobloedd, trwy weinidogaeth yr efengyl, hyd ddiwedd amser; *nac o enau dy had*—sef ei had ysbrydol ef; *nac o enau had dy had*—sef eu plant hwythau; *o hyn allan byth*—holl ddyddiau y ddaear. Y meddwl yw, y byddai i Dduw barhau gweinidogaeth ei air a'i Ysbryd yn yr eglwys trwy yr holl genedlaethau. Eithr tybia *Jerome* mai wrth y *proffwyd* y llefara yr Arglwydd yn yr adnod hon; ac ereill, mai wrth yr *eglwys;* ond y mae yn debycach mai llefaru y mae efe wrth ei FAB, am gyflwr yr eglwys hyd ddiwedd y byd.

PEN. LX. Adn. 1. *Cyfod, llewyrcha*] Yn pen. lix. 9, 10, cwynai yr eglwys o herwydd y tywyllwch yr oedd ynddo; ac yma pair yr Arglwydd iddi gyfodi o'i thywyllwch a'i galar, a dyfod allan i gyflwr o oleuni a dedwyddwch. *Canys daeth dy oleuni*—dy gyflwr llwyddiannus a dedwydd; *a chyfododd gogoniant yr Arglwydd arnat*—fel haul y bore, ar ol nos dywell. Tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at adferiad yr Iuddewon i'w gogoniant ar ol caethiwed Babilon; ond y mae yn debycach mai at gyflwr yr eglwys yn nyddiau yr efengyl y cyfeirir yn benaf, yr hwn a ymddanghosai i'r proffwyd, yn ei weledigaethau, fel wedi gwawrio eisioes.

Adn. 2. *Canys wele, tywyllwch a orchuddia y ddaear*] Sef anwybodaeth, eilunaddoliaeth, a phob math ar ddrygioni; *a'r fagddu y bobloedd*—sef holl bobloedd y byd: *ond arnat ti*—yr eglwys dan yr efengyl, *y cyfyd yr Arglwydd*—fel Haul Cyfiawnder; *a'i ogoniant a welir arnat*—a fydd yn amlwg iawn.

Adn. 3. *Cenhedloedd hefyd a rodiant at dy oleuni*] A gyfranogant o fendithion yr efengyl; *a brenhinoedd at ddysgleirdeb dy gyfodiad*—y meddwl yw, y bydd mawredd a gogoniant yr eglwys yn tynu sylw brenhinoedd y ddaear, nes yr ystyriant yn anrhydedd iddynt gael bod yn aelodau o honi, yn gystal ag yn dadmaethod iddi: gwel ar pen. xlix. 23, a lii. 15.

Adn. 4. *Cyfod dy lygaid oddiamgylch*] I edrych ar y torfeydd sydd yn dylifo atat o bob cwr o'r ddaear. *Ymgasglasant oll, daethant atat*—i ymofyn am fendithion gwerthfawr yr iachawdwriaeth. *Dy feibion a ddeuant o bell*—gwel ar pen. xlix. 18, 22; *a'th ferched a fegir wrth dy ystlys*—â llaeth y gair o'u babandod. Ond y mae un ysgriflyfr *Hebreig*, yn nghyda'r LXX a'r *Galdeaeg*, yn ei ddarllen megys y mae yn pen. xlix. 22, 'Dygir dy ferched ar ysgwyddau:' gwel y sylw yno.

Adn. 5. *Yna y cei weled*] Lluoedd aneirif yn dylifo atat; *ac yr ymddysgleiri*—mewn sirioldeb a llawenydd wrth eu gweled: *dy galon hefyd a ofna*—a ofna yn dduwiol, neu a 'syna' gyda diolchgarwch wrth weled y fath rifedi yn troi at Grist; *ac a helaethir*—neu a 'ymchwydda' gan lawenydd a hyfrydwch yn yr olwg arnynt. *Am droi atat luosogrwydd*

ogrwydd y môr, golud y Cenhedloedd a ddaw i ti.

6 Lluaws y camelod a'th orchuddiant, *sef* cyflym gamelod Midian ac Ephah; hwynt oll o Seba a ddeuant; aur a thus a ddygant; a moliant yr Arglwydd a fynegant.

7 Holl ddefaid Cedar a ymgasglant atat ti, hyrddod Nebaioth a'th wasanaethant: hwy a ddeuant i fyny yn gymeradwy ar fy allor, a mi a anrhydeddaf dŷ fy ngogoniant.

8 Pwy *yw* y rhai hyn a ehedant fel cwmwl, ac fel colomenod i'w ffenestri?

9 Yn ddiau yr ynysoedd a'm dysgwyliant, a llongau Tarsis yn benaf, i ddwyn dy feibion o bell, eu harian *hefyd* a'u haur gyda hwynt, i enw yr Arglwydd dy Dduw, ac i Sant Israel, am iddo dy ogoneddu di.

10 A meibion dyeithr a adeiladant dy furiau, a'u brenhinoedd a'th wasanaethant; canys yn fy nig y'th darewais, ac o'm hewyllys da fy hun y tosturiais wrthyt.

11 Am hyny dy byrth a fyddant yn agored yn wastad, ni chauir hwynt na dydd na nos, i ddwyn atat olud

---

*y môr*—sef trigolion ynysoedd lluosog y môr fe allai; *golud y Cenhedloedd a ddaw i ti*—Saes., *forces*, sef galluoedd neu fyddinoedd y Cenhedloedd; eu milwyr hwynt, yn gystal a'u morwyr. Ond y mae y LXX yn darllen diwedd yr adnod fel hyn: 'Cyfoeth y môr, a'r cenhedloedd, a'r bobloedd, a daw drosodd atat ti.' 'Yr ystyr yw,' ebai *Barnes*, 'y bydd i *olud* y byd paganaidd gael ei gysegru at wasanaeth yr eglwys. Y mae wedi bod fel hyn eisioes, i ryw fesur. Nid rhan fechan o gyfoeth mawr yr amherodraeth Rufeinig a roddwyd at wasanaeth yr eglwys Gristionogol; a chafodd cyfoeth yr hyn oedd y pryd hyny yn Ewrop baganaidd, a'r hyn oedd y pryd hyny yn America baganaidd ac anadnabyddus, ei gyflwyno i fesur helaeth i'r Gwaredwr. A daw yr amser pryd y bydd i gyfoeth yr India, China, Affrica, a'r holl fyd, gael ei gyflwyno at wasanaeth Duw, mewn modd llawer mwy penderfynol nag a ddygwyddodd eto yn y gwledydd Cristionogol mwyaf breintiedig.'

Adn. 6. *Lluaws y camelod a'th orchuddiant*] Hyny yw, bydd i amledd mawr o gamelod gael eu defnyddio i gludo trysorau i ti. Trwy yr ymadroddion cyffelybiaethol hyn yr arwyddir, y bydd i laweroedd o blith pob cenedl ddyfod at Grist; ac am hyny darlunir hwynt fel yn dwyn gyda hwynt brif nwyddau ac anifeiliaid eu priodol wledydd. *Sef cyflym gamelod*—Saes., *dromedaries*, y math lleiaf a chyflymaf o gamelod, y rhai a ddefnyddir amlaf i farchogaeth arnynt. *Midian ac Ephah*—Midian oedd fab i Abraham o Cetura, ac Ephah oedd fab i Midian, Gen. xxv. 1—4; ond eu hiliogaeth hwynt a feddylir yma, y rhai a breswylient o du y deau i Arabia, ac o du y dwyrain i'r Moabiaid, ar gyfer y môr marw. *Hwynt oll o Seba a ddeuant*—meddylir mai o'r wlad hon y daethai brenhines y deau at Solomon; gwel ar 1 Bren. x. 1, &c. *Aur a thus a ddygant*—sef y nwyddau a geid yn y wlad hòno; *a moliant yr Arglwydd a fynegant*—trwy ymuno yn ei addoliad ef.

Adn. 7. *Holl ddefaid Cedar a ymgasglant atat ti, hyrddod Nebaioth a'th wasanaethant*] Dau o feibion Ismael oedd Cedar a Nebaioth, Gen. xxv. 13; ac yr oedd eu hiliogaeth hwy yn perchenogi llawer iawn o ddefaid a hyrddod yn Arabia, y rhai a ddygent at wasanaeth yr eglwys. *Hwy a ddeuant i fyny yn gymeradwy ar fy allor*—iaith berthynol i'r addoliad Iuddewig, yn cael ei defnyddio am roddion i'r eglwys Gristionogol: gwel ar pen. lvi. 7. *A mi a anrhydeddaf dŷ fy ngogoniant*—sef yr eglwys Gristionogol, trwy beri i'r holl Genhedloedd gyrchu iddi, a chyfranu tuag ati. Ond tybia rhai mai *pobl* y gwledydd uchod a osodir allan yn yr adnodau hyn trwy yr *anifeiliaid* ag oeddynt fwyaf cyffredin ynddynt.

Adn. 8. *Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmwl*] Yn dyrfaoedd lluosog; *ac fel colomenod i'w ffenestri*—gyda brys a chyflymdra mawr? Cyfeirir yma at y dychweledigion lluosog i'r eglwys o blith y Cenhedloedd.

Adn. 9. *Yn ddiau yr ynysoedd a'm dysgwyliant*] Sef holl wledydd y Cenhedloedd; *a llongau Tarsis yn benaf*—neu yn mhlith y rhai blaenaf i'w trosglwyddo hwynt; *i ddwyn dy feibion o bell*—o'r gwledydd pellaf; *eu harian hefyd a'u haur gyda hwynt*—i'w hoffrymu yn rhoddion; *i enw yr Arglwydd dy Dduw*—o barch i'w enw, neu i ledaenu y wybodaeth o'i enw ef yn mhlith paganiaid ereill y ddaear; *ac i Sant Israel*—sef y Bôd santaidd a addolir gan Israel ysbrydol Duw; *am iddo dy ogoneddu di*—fel ei eglwys, yn ngolwg yr holl fyd, trwy osod i fyny weinidogaeth yr efengyl ynot ti.

Adn. 10. *A meibion dyeithr*] O blith y Cenhedloedd, *a adeiladant dy furiau*—a gymerant ran yn ngwaith y weinidogaeth; *a'u brenhinoedd a'th wasanaethant*—fel y gwnaeth Cystenyn Fawr, ac ereill ar ei ol ef: gwel ar pen. xlix. 23. *Canys yn fy nig y'th darewais*—gwel ar pen. lvii. 17; *ac o'm hewyllys da fy hun y tosturiais wrthyt*—fel ag i wneuthur y pethau hyn i ti: gwel ar pen. liv. 7, &c.

Adn. 11. *Am hyny dy byrth a fyddant yn agored yn wastad*] I dderbyn y fath gynulliad lluosog i mewn; *ni chauir hwynt na dydd na nos*—am y bydd i rywrai ddylifo atat yn barhaus; *i ddwyn atat olud y Cenhedloedd*—Saes., *forces:* gwel ar adn. 5: *fel y dyger eu brenhinoedd hwynt hefyd*—i fod yn aelodau defnyddiol o honot, adn. 3.

Adn. 12. *Canys y genedl a'r deyrnas ni'th*

y Cenhedloedd, fel y dyger eu bren-
hinoedd hwynt hefyd.
12 Canys y genedl a'r deyrnas
ni'th wasanaetho di a ddyfethir;
a'r cenhedloedd hyny a lwyr ddi-
nystrir.
13 Gogoniant Libanus a ddaw
atat, y ffynidwŷdd, ffawydd, a box
yn nghyd, i harddu lle fy nghysegr;
harddaf hefyd le fy nhraed.
14 A meibion dy gystuddwyr a
ddeuant atat yn ostyngedig: a'r
rhai oll a'th ddiystyrasant a ymost-
yngant wrth wadnau dy draed, ac
a'th alwant yn Ddinas yr Arglwydd,
yn Seion Sant Israel.
15 Lle y buost yn wrthodedig ac
yn gâs, ac heb gyniweirydd *trwyot,*
gwnaf di yn ardderchogrwydd tra-
gwyddol, *ac* yn llawenydd i'r holl
genedlaethau.
16 Sugni hefyd laeth y Cenhedl-
oedd, ïe, bronau brenhinoedd a
sugni; a chai wybod mai myfi yr
Arglwydd *yw* dy Achubydd, a'th
Waredydd *yw* cadarn *Dduw* Jacob.
17 Yn lle pres y dygaf aur, ac yn
lle haiarn y dygaf arian, ac yn lle
coed, bres, ac yn lle cerig, haiarn;
a gwnaf dy swyddogion yn hedd-
ychol, a'th drethwyr yn gyfiawn.
18 Ni chlywir mwy *son am* drais
yn dy wlad, *na* dystryw na dinystr
yn dy derfynau: eithr ti a elwi dy

---

*wasanaetho di*] Hyny yw, na chofleidiant wir grefydd, ac nad amddiffynant eglwys Crist, ac na ffurfiant eu cyfreithiau yn ol rheol gair Duw; *a ddyfethir*—naill ai trwy ryfel, neu gan ryw farnau ereill o eiddo Duw: *a'r cenhedloedd hyny a lwyr-ddinystrir*—o ran eu bodaeth genedlaethol, oddiar wyneb y ddaear. Fel hyn y dygwyddodd i'r Iuddewon am wrthod Crist; ac i Rufain baganaidd am erlid ei saint ef; a dinystrir Anghrist eto am yr un peth. 'Hyn,' medd *Lowth,* 'a raid fod yn cyfeirio at y dyddiau diweddaf, pryd yr â yr eglwys yn fynydd mawr, ac y maluria hi holl frenhiniaethau y ddaear, yn ol proffwydoliaeth Daniel, pen. ii. 35, 44.

Adn. 13. *Gogoniant Libanus a ddaw atat, &c.*] Fel yr oedd Libanus yn cynyrchu cedrwŷdd a phrenau gwerthfawr ereill i adeiladu a harddu teml Solomon, felly y bydd i wahanol genhedloedd gyfranu y pethau mwyaf rhagorol a defnyddiol yn eu meddiant tuag at gynal, helaethu, ac addurno eglwys Crist; yr hon a elwir yma yn '*lle cysegr Duw,*' mewn cyfeiriad at y deml, yr hon oedd yn gysgod o honi: gwel ar Salm xlvi. 4, 5. *Harddaf hefyd le fy nhraed*—felly y gelwir yr arch neu y drugareddfa, 1 Cron. xxviii. 2, Salm xcix. 5; ac y mae yr ymadrodd yn arwyddo yma, y byddai i bob peth perthynol i eglwys Dduw gael ei lenwi â gogoniant mawreddog; nid yn unig ei orsedd, ond ei droedfainc hefyd; y lleoedd a'r swyddau isaf ynddi, yn gystal a'r rhai uwchaf.

Adn. 14. *A meibion dy gystuddwyr*] Sef hiliogaeth gelynion Seion gynt; *a ddeuant atat yn ostyngedig*—i ymofyn am le ynot: *a'r rhai oll a'th ddiystyrasant*—gynt, pan yn dy waeledd a'th dylodi; *a ymostyngant wrth wadnau dy draed*—yn y llwch, mewn gwir edifeirwch am iddynt dy ddiystyru, ac mewn ymbiliadau am faddeuant a ffafr Duw: *ac a'th alwant yn Ddinas yr Arglwydd*—wedi ei harddu ganddo yn drigfa iddo ei hun; *yn Seion Sant Israel*—lle yr ymgynulla Israel ysbrydol i addoli a gwasanaethu eu Brenin Santaidd a'u Duw.

Adn. 15. *Lle y buost yn wrthodedig*] Mewn ystyr gan Dduw; *ac yn gâs*—neu yn cael dy gasâu gan ddynion hefyd; *ac heb gyniweirydd trwyot*—tybia rhai fod yma gyfeiriad at yspaid caethiwed yr eglwys yn Babilon; ond y mae yn debycach mai at oesoedd tywyllion Pabyddiaeth y cyfeirir, neu ynte at yr amser o flaen diwygiad mawr y milflwyddiant, gan mai at y cyfnod ar ol hyny yn unig y gellir cymhwyso diwedd yr adnod hon. *Gwnaf di yn ardderchogrwydd tragwyddol*—trwy dy lwyr buro oddiwrth bob eilunaddoliaeth, cyfeiliornad, ac ofergoelion; *ac yn llawenydd i'r holl genedlaethau*—yn olynol hyd ddiwedd y byd.

Adn. 16. *Sugni hefyd laeth y Cenhedloedd*] Y rhai a roddant eu golud yn ewyllysgar at dy wasanaeth, adn. 5; *ïe, bronau brenhinoedd a sugni*—y rhai a roddant eu holl ddylanwad a'u heiddo i'th gynal a'th faethu: gwel ar pen. xlix. 23. *A chai wybod*—trwy brofiad dedwydd, *mai myfi yr Arglwydd yw dy Achubydd*—rhag pob gelyn, ac oddiwrth bob llygredd; *a'th Waredydd yw cadarn Dduw Jacob*—yr hwn sydd yn hollalluog, ac felly a all dy waredu.

Adn. 17. *Yn lle pres y dygaf aur, &c.*] Y meddwl yw, y bydd pob peth perthynol i'r eglwys Gristionogol wedi ei gyfnewid er gwell, fel y mae aur yn rhagori ar bres, ac arian yn rhagori ar haiarn, coed, a cherig. Pa un bynag ai at olud yn llythyrenol, ynte at fendithion ysbrydol yn gyffelybiaethol, y cymhwysir y geiriau hyn, y mae y meddylddrych o *welliant* a *rhagoroldeb* i'w ganfod yn eglur; hyny yw, bydd cyflwr yr eglwys yn yr amser a ddaw yn rhagori yn fawr nid yn unig ar gyflwr goraf yr eglwys Iuddewig, ond ar ei chyflwr blaenorol hi ei hunan hefyd. *A gwnaf dy swyddogion yn heddychol*—sef ei swyddogion eglwysig; *a'th drethwyr yn gyfiawn*—sef ei swyddogion gwladol.

Adn. 18. *Ni chlywir mwy son am drais yn dy wlad*] Trwy y bydd y treiswyr gormesol oll wedi marw, neu wedi cael eu gwneyd yn wŷr cyfiawn; *na dystryw na dinystr yn dy derfynau*—ar fywydau nac ar eiddo: *eithr ti a elwi dy fagwyrydd yn Iachawdwriaeth*—bydd muriau dy ddinas yn ddigonol i'th

fagwyrydd yn Iachawdwriaeth, a'th
byrth yn Foliant.
19 Ni bydd yr haul it' mwyach
yn oleuni y dydd, a'r lleuad ni
oleua yn llewyrch i ti: eithr yr Ar-
glwydd fydd i ti yn oleuni tragwydd-
ol, a'th Dduw yn ogoniant i ti.
20 Ni fachluda dy haul mwyach,
a'th leuad ni phalla; o herwydd yr
Arglwydd fydd it' yn oleuni tra-
gwyddol, a dyddiau dy alar a ddar-
fyddant.
21 Dy bobl hefyd *fyddant* gyf-
iawn oll: etifeddant y tir byth, *sef*
blaguryn fy mhlanhigion, gwaith
fy nwylaw, fel y'm gogonedder.
22 Y bychan a fydd yn fil, a'r
gwael yn genedl gref. Myfi yr Ar-
glwydd a brysuraf hyny yn ei
amser.

## PENNOD LXI.

YSBRYD yr Arglwydd Dduw *sydd* arnaf; o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efengylu i'r rhai llariaidd; efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r *rhai sydd yn* rhwym;

---

ddiogelu, heb filwyr a gwyliedyddion; *a'th byrth yn Foliant*—hyny yw, yn lle bod i'th wŷr gyfarfod yn y pyrth i ymladd â'u gelynion, cyfarfyddant yno i foliannu Duw.

Adn. 19. *Ni bydd yr haul it' mwyach yn oleuni y dydd, &c.*] Y mae yn sicr nad ydym i ddeall hyn mewn ystyr naturiol, canys bydd i'r haul a'r lleuad barhau i oleuo yn y ffurfafen hyd ddiwedd y byd; eithr y meddwl yw, y bydd goleuni ysbrydol yr eglwys y pryd hyny yn tra-rhagori ar oleuni naturiol yr haul a'r lleuad; neu y bydd y perffeithderau dwyfol yn dysgleirio mor danbaid y pryd hyny, nes tynu sylw pawb oddiwrth ddysgleirdeb naturiol goleuadau y ffurfafen, at ogoniant mwy rhagorol y goleuni hwnw: mewn geiriau ereill, bydd i ryfeddodau a phrydferthwch y byd naturiol ymddangos fel wedi eu llyncu gan orddysgleirdeb a gogoniant y byd moesol. Cawn ymadroddion cyffelyb gan Ioan, wedi eu benthyca ond odid oddiwrth y proffwyd Esay: gwel Dat. xxi. 23, a xxii. 5. *A'r lleuad ni oleua yn llewyrch i ti*—'y nos,' fel y mae y LXX a'r *Galdeaeg* yn ei ddarllen. *Eithr yr Arglwydd fydd i ti yn oleuni tragwyddol*—yn gwasgaru ymaith dy holl dywyllwch a'th anwybodaeth, ac yn dy oleuo a'th gysuro â goleuni yr efengyl, ac â grasau a dylanwadau ei Ysbryd ei hun; *a'th Dduw yn ogoniant i ti*—yn rhoddi i ti achos i ymogoneddu ac ymffrostio yn ei ras, ei drugaredd, ei ffyddlondeb, a'i iachawdwriaeth ef.

Adn. 20. *Ni fachluda dy haul mwyach*] Fel y gwna yr haul naturiol bob nos; hyny yw, ni suddir di mewn trallodau, cyfeiliornadau, na phechodau rhyfygus; *a'th leuad ni phalla*—ni phaid âg ymddangos, fel y gwna y lleuad naturiol dros ran o bob mis. Y meddwl yw, na fydd hi byth mwyach mor dywyll ar yr eglwys mewn ystyr moesol, ag y mae hi arnom ni weithiau mewn ystyr naturiol, sef ar noson niwliog a dû, pryd na byddo y lleuad na'r ser yn rhoddi eu llewyrch. *O herwydd yr Arglwydd fydd it' yn oleuni tragwyddol*—gwel ar adn. 19; *a dyddiau dy alar a ddarfyddant* — Hebr., 'a ad-delir,' neu a wobrwyir âg achos i ganu yn lle ŵylo: gwel ar pen. xxv. 8.

Adn. 21. *Dy bobl hefyd*] Yn gystal a'th drethwyr, adn. 17, *fyddant gyfiawn oll*—wedi eu cyfiawnhau trwy ffydd, ac yn gweithredu cyfiawnder, yr hyn a olygir yma yn benaf. *Etifeddant y tir byth*—sef bendithion tymhorol ac ysbrydol; neu cânt barhau yn eglwys i mi byth: *sef blaguryn fy mhlanhigion*—Saes., 'cangen o fy mhlaniad i;' sef wedi ei chymeryd o'r olewwydden wyllt, a'i himpio gan Dduw yn y wir olewwydden: *gwaith fy nwylaw*—wedi eu 'creu yn Nghrist Iesu i weithredoedd da,' Eph. ii. 10: *fel y'm gogonedder* — ynddynt a chanddynt, 'trwy ddwyn o honynt ffrwyth lawer,' Ioan xv. 8. Neu gall mai yr ystyr yw, y byddai i'r bobl gyfiawn hyn gael etifeddu y tir, a'r oll a dyfai arno trwy ddiwylliad Duw; ac y byddai iddynt ei ogoneddu ef am wneyd y fath arlwyaeth helaeth iddynt.

Adn. 22. *Y bychan a fydd yn fil*] Rhif penodol am un anmhenodol. Y meddwl yw, y byddai i'r eglwys, yr hon oedd yn fychan iawn yn ei dechread, gynyddu yn fawr trwy ddychweliad yr Iuddewon a'r Cenhedloedd iddi. *A'r gwael yn genedl gref*—yn cynwys ynddi holl genhedloedd y ddaear. *Myfi yr Arglwydd a brysuraf hyny yn ei amser*—sef yn yr amser priodol i'w brysuro. Pan fyddo yr eglwys wedi dihuno at ei gwaith, a'r byd yn addfed i dderbyn Crist a'i efengyl, dyna yr amser i'r Arglwydd brysuro y cyflawniad o'r hyn oll a addawyd uchod, trwy roddi ei fendith ar y cwbl. Nid yw hyn yn cynwys fod rhyw amser penodol wedi ei benderfynu i hyn oll, yr hwn nis gellir ei gyraedd yn gynt, na'i oedi yn hwy; eithr y mae genym ni lawer i'w wneyd i'r dyben i'w brysuro. Rhaid i'r eglwys gyfieithu yr ysgrythyrau, a'u lledaenu; anfon cenadau i bob rhan o'r byd; a gweddio yn barhaus, 'Deued dy deyrnas.' Gwel fy NARLITH i ar y *Milflwyddiant.*

PEN. LXI. Adn. 1. *Ysbryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf*] I'm galluogi i wneyd yr hyn a ragfynegwyd ac a addawyd yn y bennod flaenorol. Gan i Grist gymhwyso y geiriau hyn ato ei hun, a sicrhau iddynt gael eu cyflawni ynddo ef, Luc iv. 16—21, gallwn yn rhesymol gasglu mai am dano *ef* y llefara y proffwyd yma yn ei berson ei hun, ac nid am

2 I gyhoeddi blwyddyn gymer-
adwy yr Arglwydd a dydd dial ein
Duw ni; i gysuro pob galarus;
3 I osod i alarwyr Seion, *ac* i
roddi iddynt ogoniant yn lle lludw,
olew llawenydd yn lle galar, gwisg
moliant yn lle ysbryd cystuddied-
ig; fel y gelwid hwynt yn Brenau
cyfiawnder, yn Blanhigyn yr Ar-
glwydd, fel y gogonedder ef.
4 ¶ Adeiladant hefyd yr hen ddi-
ffeithfa, cyfodant yr annghyfanedd-
fa gynt, ac adnewyddant ddinas-
oedd diffaeth, ac annghyfanedd-dra
llawer oes.
5 A dyeithriaid a safant ac a
borthant eich praidd, a meibion dy-
eithr *fydd* arddwyr a gwinllanwyr
i chwi.
6 Chwithau a elwir yn Offeiriaid
i'r Arglwydd: Gweinidogion ein
Duw ni, meddir wrthych; golud y
Cenhedloedd a fwynhewch, ac yn
eu gogoniant hwy yr ymddyrchef-
wch.
7 ¶ Yn lle eich cywilydd *y cewch*
ddau-ddyblyg; ac *yn lle* gwarad-
wydd hwy a lawenychant yn eu
rhan: am hyny yn y tir y meddian-
nant *ran* ddwbl; llawenydd tra-
gwyddol fydd iddynt.
8 Canys myfi yr Arglwydd a hoff-

---

dano ei hunan. *O herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd*—a'm neillduodd, a'm cymhwysodd â doniau ei Ysbryd Santaidd, ac a'm cynysgaeddodd âg awdurdod dwyfol i'r gwaith; *i efengylu i'r rhai llariaidd*—i gyhoeddi y newyddion da o iachawdwriaeth i'r tylodion yn yr ysbryd, Luc iv. 18. *Efe a'm hanfonodd i rwymo y rhai ysig eu calon*—y rhai y mae eu calon wedi ei dryllio gan deimlad o euogrwydd ac edifeirwch; *i gyhoeddi rhyddid i'r caethion*—sef caethion pechod a Satan; *ac agoriad carchar i'r rhai sydd yn rhwym*—y mae y LXX yn ei ddarllen, 'A chaffaeliad golwg i'r deillion,' y rhai a ddyfynir gan ein Harglwydd yn Luc iv. 18. Cyfeirir yma yn gyffelybiaethol at garcharau tywyllion dan y ddaear; ac y mae dwyn dynion o'r fath leoedd yr un peth a 'chaffaeliad golwg i'r deillion.'

Adn. 2. *I gyhoeddi blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd*] Meddylir fod yma gyfeiriad at flwyddyn y jubili, pryd y cyhoeddid rhyddid trwy yr holl wlad: gwel ar Lef. xxv. 9, 10. Yr un modd byddai i'r Messia gyhoeddi rhyddid cyffredinol i'r holl fyd oddiwrth wasanaeth gaethiwus pechod, a gollwng pob un a gredai i ryddid gogoniant plant Duw. *A dydd dial ein Duw ni*—ar bob un na wna dderbyniad o'r cynygiad grasol hwn, neu 'nad ydynt yn ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist,' 2 Thes. i. 8, 9: gwel hefyd Marc xvi. 16, Heb. x. 27—30. *I gysuro pob galarus*—a fyddo yn ŵylo o herwydd ei bechod a'i drueni moesol.

Adn. 3. *I osod i alarwyr Seion*] Tybia rhai fod yma gyfeiriad at drigolion Jerusalem, y rhai a gaethgludesid i Babilon; ond cyfeirir yn benaf, modd bynag, at bobl gystuddiedig yr Arglwydd, sef ei wir eglwys ef dan yr efengyl; *i roddi iddynt ogoniant yn lle lludw*—neu '*goron* ogoneddus yn lle lludw,' fel y mae *Lowth* yn ei ddarllen, sef ar eu penau; *olew llawenydd yn lle galar*—cyfeirir yma at yr olew â pha un yr ymirai y dwyreinwyr ar amseroedd o lawenydd, 2 Sam. xiv. 2; *gwisg moliant yn lle ysbryd cystuddiedig*—sef y gwisgoedd goraf, yn y rhai yr arferent ymddangos yn y deml i foliannu yr Arglwydd am iddo symud eu cystudd. *Fel y gelwid hwy yn Brenau cyfiawnder*—neu yn 'ddynion cyfiawn,' y rhai a gyffelybir yn fynych i brenau, Salm i. 3, Ioan xv. 5; *yn Blanhigyn yr Arglwydd*—wedi ei blanu ganddo ef ei hun; *fel y gogonedder ef*—gwel ar pen. lx. 21.

Adn. 4. *Adeiladant hefyd yr hen ddiffeithfa, &c.*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at adeiladu ac adnewyddu dinasoedd Judea, pen. lviii. 12; ond gan mai at amseroedd yr efengyl y cyfeirir yma, y mae yn debycach mai adnewyddu cyflwr ysbrydol y wir eglwys a feddylir, pa un oedd wedi adfeilio yn fawr er's llawer o oesoedd, sef yn flaenorol i ddyddiau Ioan Fedyddiwr, a Christ a'i apostolion.

Adn. 5. *A dyeithriaid*] O blith y Cenhedloedd, *a safant ac a borthant eich praidd*—fel gweinidogion a goruchwylwyr yr efengyl, fel y meddylir yn gyffredin: gwel ar 1 Cor. iii. 6—9. *A meibion dyeithr fydd arddwyr a gwinllanwyr i chwi*—yn edrych ar ol achosion yr eglwysi. Ond tybia *Barnes* fod hyn oll yn cyfeirio at ddyeithriaid yn edrych ar ol eu deadellau a'u maesydd yn llythyrenol.

Adn. 6. *Chwithau a elwir yn Offeiriaid i'r Arglwydd, &c.*] Bydd i'r holl gorff o honoch berthyn mor agos i Dduw ag y gwnai yr offeiriaid gynt; hyny yw, byddwch oll yn 'frenhinol offeiriadaeth,' 1 Pedr ii. 9, Dat. i. 6. *Golud y Cenhedloedd a fwynhewch*—gwel ar pen. lx. 5, &c.; *ac yn eu gogoniant hwy yr ymddyrchefwch*—sef yn eu golud, eu dysg, eu talent, a'u gallu.

Adn. 7. *Yn lle eich cywilydd*] Yn lle y gwawd a'r dirmyg a dderbyniech gynt oddiwrth y Cenhedloedd; *y cewch ddau-ddyblyg*—y cewch anrhydedd deu-blyg oddiwrthynt, pen. xl. 2: *ac yn lle gwaradwydd, hwy a lawenychant yn eu rhan*—neu, '*chwi* a lawenychwch yn eich rhan,' fel y mae yn y *Syriaeg*, a chan rai o'r berniaid goraf. *Am hyny yn y tir y meddiannant*—'y *meddiannwch* ran ddwbl.' *Llawenydd tragwyddol fydd iddynt*—'fydd i *chwi*,' yr hwn a bery tra y pery eich bywyd ar y ddaear, ac wedi hyny byth yn y nef. Fel hyn, 'pan ddaeth Cystenyn i'r orsedd,' ebai *Benson*, 'cafodd Cristionogaeth ei llwytho â gogoniant, cyfoeth, ac anrhydedd.'

Adn. 8. *Canys myfi yr Arglwydd a hoffaf gyfiawnder*] A ymhyfrydaf mewn rhoddi i'm pobl yr hyn sydd gyfiawn. *Yr wyf yn casâu trais yn boeth-offrwm*—neu, fel y mae rhai

af gyfiawnder; yr wyf yn casâu
trais yn boeth-offrwm, ac a gyfar-
wyddaf eu gwaith mewn gwirion-
edd, ac a wnaf â hwynt gyfammod
tragwyddol.
9 Eu had hwynt hefyd a adweinir
yn mysg y Cenhedloedd, a'u hiliog-
aeth hwynt yn nghanol y bobl: y
rhai a'u gwelant a'u hadwaenant,
mai hwynt-hwy *yw* yr had a fendith-
iodd yr Arglwydd.
10 Gan lawenychu y llawenychaf
yn yr Arglwydd, fy enaid a orfol-
edda yn fy Nuw: canys gwisgodd
fi â gwisgoedd iachawdwriaeth,
gwisgodd fi â mantell cyfiawnder;
megys y mae priodfab yn *ym*-wisgo
â hardd wisg, ac fel yr *ym*-drwsia
priodferch â'i thlysau.
11 Canys megys y gwna y ddaear
i'w gwellt dyfu, ac fel y gwna gardd
i'w hadau egino, felly y gwna yr
Arglwydd Ior i gyfiawnder a mol-
iant darddu gerbron yr holl gen-
hedloedd.

## PENNOD LXII.

ER mwyn Seion ni thawaf, ac er
mwyn Jerusalem ni ostegaf, hyd
onid elo ei chyfiawnder hi allan fel
dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth
hi fel lamp yn llosgi.
2 A'r Cenhedloedd a welant dy
gyfiawnder, a'r holl frenhinoedd dy
ogoniant: yna y gelwir arnat enw
newydd, yr hwn a enwa genau yr
Arglwydd.
3 Byddi hefyd yn goron gogoniant
yn llaw yr Arglwydd, ac yn dalaith
frenhinol yn llaw dy Dduw.

---

yn ei ddarllen, 'Yr wyf yn casâu trais ac *anwiredd*,' neu 'ddrygioni:' gwel *Lowth*, *Noyes*, *Boothroyd*, &c. Neu gall mai yr ystyr yw, fod Duw yn casâu pob peth a geir trwy drais ac annghyfiawnder, hyd yn nod er iddo gael ei roddi yn aberth neu offrwm iddo ef. *Ac a gyfarwyddaf eu gwaith mewn gwirionedd*—fel y byddo iddynt wneyd yr hyn fyddo da, a hyny gyda bwriad da, ac i ddybenion daionus. *Ac a wnaf â hwynt gyfammod tragwyddol*—wedi ei gadarnhau â gwaed fy Mab: gwel ar pen. lv. 3.

Adn. 9. *Eu had hwynt hefyd a adwaenir yn mysg y Cenhedloedd, &c.*] Gan mor lluosog y byddant. Fe allai mai y meddwl yw, y byddai i'r Iuddewon a ddychwelid i'r eglwys Gristionogol gael eu parchu a'u hanrhydeddu yn mhlith yr holl bobloedd lle y byddent, a'u cydnabod fel pobl gyntefig yr Arglwydd, y rhai a fendithiwyd mor hynod ganddo ef yn yr oesoedd a aethant heibio: gwel ar Act. iii. 25. Ond tybia rhai fod yr 'had' yma yn cyfeirio at y credinwyr yn gyffredinol.

Adn. 10. *Gan lawenychu y llawenychaf yn yr Arglwydd*] Hon yw iaith y proffwyd yn llefaru yn enw yr eglwys, gan gydnabod gyda diolchgarwch diriondeb Duw iddi yn yr addewidion blaenorol. *Canys gwisgodd fi â gwisgoedd iachawdwriaeth*—neu 'âg iachawdwriaeth fel â gwisg;' *gwisgodd fi â mantell cyfiawnder*—sef 'â chyfiawnder fel â mantell.' Y meddwl yw, y byddai iachawdwriaeth a chyfiawnder, fel perlau a thlysau gwerthfawr, yn addurn ac yn anrhydedd cyhoeddus i'r eglwys yn ngolwg yr holl fyd. *Megys y mae y priodfab yn ymwisgo â harddwisg*—Hebr., 'â choron offeiriadol.' Cyfeirir yma at wisg ysplenydd yr archoffeiriad pan yn gweinyddu, yn enwedig at ei gap a'i goron, y rhai oeddynt 'er gogoniant a harddwch,' Exod. xxviii. 40, a xxix. 6. *Ac fel yr ymdrwsia priodferch â'i thlysau*—gwel ar pen. xlix. 18.

Adn. 11. *Canys megys y gwna y ddaear i'w gwellt dyfu*] Ar ol bod fel yn farw yn nhymhor y gauaf: *ac fel y gwna gardd i'w hadau egino*—ar ol derbyn cawodydd tyner a maethlon; *felly y gwna yr Arglwydd Ior i gyfiawnder a moliant*—sef ffrwythau gwerthfawr yr iachawdwriaeth, adn. 10, *darddu gerbron yr holl genhedloedd*—yn helaeth ac amlwg yn ngolwg yr holl fyd.

PEN. LXII. Adn. 1. *Er mwyn Seion ni thawaf, ac er mwyn Jerusalem ni ostegaf*] Y mae 'Seion' a 'Jerusalem' yma yn arwyddo yr eglwys Gristionogol. Tybia rhai mai Jehofa sydd yn llefaru yma, gan draethu ei fwriad gyda golwg ar yr hyn a addawyd yn y bennod flaenorol; a thybia ereill mai y proffwyd sydd yma yn llefaru yn ei enw ei hun a'i gydbroffwydi, ac yn enw gweinidogion yr efengyl yn mhob oes o hyny allan, gan fynegu na thawent hwy â llefaru wrth yr eglwys, a gweddio drosti; a thybia ereill mai Crist sydd yn llefaru yma, gan gyfeirio at ei eiriolaeth ei hun. *Hyd onid elo ei chyfiawnder hi allan fel dysgleirdeb*—hyd oni byddo i ogoniant teyrnas Crist gael ei ddatguddio yn eglur a llawn; *a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi*—gan oleuo i'r holl fyd yn y modd mwyaf eglur a goleu.

Adn. 2. *A'r Cenhedloedd a welant dy gyfiawnder*] Dy ddiniweidrwydd yn y pethau a ddygwyd i'th erbyn, neu ddefnyddioldeb a santeiddrwydd dy aelodau; *a'r holl frenhinoedd dy ogoniant*—fel eglwys Dduw, a phriodasferch gwraig yr Oen. *Yna y gelwir arnat enw newydd*—gwel ar adn. 4, 12; *yr hwn a enwa genau yr Arglwydd*—neu a roddir i ti gan Dduw ei hun.

Adn. 3. *Byddi hefyd yn goron gogoniant*] Neu fel coron ogoneddus a phrydferth; *yn llaw yr Arglwydd*—sef dan amddiffyniad ei law ef: *ac yn dalaith frenhinol*—y fath ag a wisga brenhinoedd yn addurn ar eu talcenau;

4 Ni ddywedir am danat mwy, Gwrthodedig; am dy dir hefyd ni ddywedir mwy, Annghyfanedd: eithr ti a elwir Hephsibah; a'th dir Beulah: canys y mae yr Arglwydd yn dy hoffi, a'th dir a briodir.

5 Canys *fel* y prioda gŵr ieuanc forwyn, y prioda dy feibion dydi; ac â llawenydd priodfab am briodferch, y llawenycha dy Dduw o'th blegid di.

6 Ar dy furiau di, Jerusalem, y gosodais geidwaid, *y rhai* ni thawant ddydd na nos yn wastad: y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd, na ddystewch;

7 Ac na adewch ddystawrwydd iddo, hyd oni sicrhao, ac hyd oni osodo Jerusalem yn foliant ar y ddaear.

8 Tyngodd yr Arglwydd i'w ddeheulaw, ac i'w fraich nerthol, Yn ddiau ni roddaf dy ŷd mwyach yn ymborth i'th elynion; a meibion dyeithr nid yfant dy win, yr hwn y llafuriaist am dano:

9 Eithr y rhai a'i casglant a'i bwytânt, ac a foliannant yr Arglwydd; a'r rhai a'i cynullasant a'i hyfant o fewn cynteddoedd fy santeiddrwydd.

10 ¶ Cyniweiriwch, cyniweiriwch trwy y pyrth: parotowch ffordd y bobl; palmentwch, palmentwch brif-

---

*yn llaw dy Dduw*—i edrych arni gyda hoffder, neu i'w dangos i ereill i ddenu eu sylw a'u parch.

Adn. 4. *Ni ddywedir am danat mwy, Gwrthodedig*] Dy fod fel gwraig wedi ei gwrthod gan ei phriod; *am dy dir hefyd ni ddywedir mwy, Annghyfanedd*—fod dy leoedd addoliad yn weigion: *eithr ti a elwir Hephsibah*—cai 'enw newydd' yn arwyddo 'Fy hoffder sydd ynddi;' *a'th dir Beulah*—enw yn arwyddo, 'priodasol,' yn arddanghosiad y byddi yn fam i blant lawer: *canys y mae yr Arglwydd yn dy hoffi*—fel yr hoffa priodfab ei ddyweddi; *a'th dir a briodir*—hyny yw, ti a gai weled cynydd dy blant o fewn dy dir; neu, 'dy dir a *feddiennir*,' fel y gellir ei gyfieithu. Yma gosodir allan gyflwr blodeuog, ffrwythlon, a llwyddiannus yr eglwys Gristionogol, a hyny mewn iaith ag ydoedd yn cyfateb i gyflwr yr eglwys Iuddewig yn ystod ei chaethiwed yn Babilon, ac ar ol ei hadferiad i'w gwlad.

Adn. 5. *Canys fel y prioda gŵr ieuanc forwyn*] Yr hon y byddo efe yn ei hoffi uwchlaw pawb ereill. Tybia *Syr John Chardin* fod y proffwyd yma yn llefaru yn ol arferiad y dwyrain, lle nad yw y gwŷr ieuainc byth yn priodi neb ond morwynion; na gwŷr a fuasent yn briod, pa mor ieuanc bynag, byth yn priodi neb ond gwragedd gweddwon. *Y prioda dy feibion dydi*—neu, fel y mae *Lowth* yn ei ddarllen, 'y prioda dy *adferwr* neu dy *adeiladwr* dydi;' ac ereill, 'y prioda dy *Greawdwr* dydi; a'r LXX, a'r *Galdeaeg*, 'y *triga* dy feibion gyda thi.' Er y sonir am yr eglwys weithiau fel morwyn, gwraig, a gwraig weddw neu ysgaredig, eto cyfeirir ati yma megys *mam*, fel y tybia rhai, a'i *meibion* yn glynu wrthi mewn hoffder a ffyddlondeb santaidd. *Ac â llawenydd priodfab am briodferch*—yr hwn sydd gryf, diysgog, a gwirioneddol; *y llawenycha dy Dduw o'th blegid di*—sef yn ei feddiant o honot.

Adn. 6. *Ar dy furiau di, Jerusalem, y gosodais geidwaid*] Hyn a ddywedir am weinidogion yr eglwys Gristionogol, mewn cyfeiriad at y gwylwyr ar furiau Jerusalem gynt; *y rhai ni thawant ddydd na nos yn wastad*—eithr pregethant y gair mewn amser ac allan o amser, gan weddio hefyd yn ddibaid dros y Jerusalem ysbrydol hon. *Y rhai ydych yn cofio yr Arglwydd*—neu yn peri cofio ei enw ef yn mhlith y bobl; *na ddystewch*—eithr dywedwch am dano yn barhaus, gan alw arno hefyd mewn gweddi, a'i foliannu ar gân: gwel ar Salm xlv. 17, a cii. 12.

Adn. 7. *Ac na adewch ddystawrwydd iddo*] Na fyddwch ddystaw eich hunain wrtho, ac na adewch iddo yntau orphwys yn ddystaw; *hyd oni sicrhao*—ei eglwys yn y byd; *ac hyd oni osodo Jerusalem*—sef y Jerusalem ysbrydol, *yn foliant ar y ddaear*—yn wrthddrych hoffder a pharch pawb, yn lle bod yn cael ei dirmygu a'i gwawdio.

Adn. 8. *Tyngodd yr Arglwydd i'w ddeheulaw*] Yr hon a godid tua'r nefoedd wrth dyngu, Deut. xxxii. 40; *ac i'w fraich nerthol*—sef i'w hollalluogrwydd ei hun: *Yn ddiau ni roddaf dy ŷd mwyach yn ymborth i'th elynion*—eithr cai ei fwyta ef dy hun; *a meibion dyeithr nid yfant dy win, yr hwn y llafuriaist am dano*—y meddwl yw, y byddai i gynyrch neu ffrwyth eu llafur gael ei gadw yn ddiogel iddynt, ac y caent ei fwynhau ef eu hunain, a hyny heb eu haflonyddu gan unrhyw elynion estronol. Neu os deallwn y geiriau yn gyffelybiaethol, yr ystyr yw, y caent fwynhau bendithion ysbrydol yr eglwys Gristionogol mewn llonyddwch yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 9. *Eithr y rhai a'i casglant*] Sef y rhai a lafurient i hau, medi, a chasglu yr ŷd i'w hysguboriau; *a'i bwytânt*—a gânt ei fwynhau ef eu hunain; *ac a foliannant yr Arglwydd*—am roddi y fath gnwd ar eu maesydd at eu gwasanaeth hwy a'u teuluoedd: *a'r rhai a'i cynullasant*—a gynullasant y gwinrawn i wneuthur gwin; *a'i hyfant o fewn cynteddoedd fy santeiddrwydd*—sef gerbron yr Arglwydd, yn ol ei orchymyn ef: gwel ar Lef. vi. 16, Deut. xii. 11—18, a xiv. 23—26.

Adn. 10. *Cyniweiriwch, cyniweiriwch trwy y pyrth*] Sef pyrth Babilon, y rhai a daflwyd yn agored, fel y gallai y rhai a gaethiwyd yn

ffordd; digaregwch *hi:* cyfodwch faner i'r bobloedd.

11 Wele, yr Arglwydd a gyhoeddodd hyd eithaf y ddaear, Dywedwch wrth ferch Seion, Wele dy iachawdwriaeth yn dyfod, wele ei gyflog gydag ef, a'i waith o'i flaen.

12 Galwant hwynt hefyd yn Bobl santaidd, yn Waredigion yr Arglwydd: tithau a elwir, Yr hon a geisiwyd, Dinas nis gwrthodwyd.

## PENNOD LXIII.

PWY *yw* hwn yn dyfod o Edom, yn goch ei ddillad o Bozrah? hwn *sydd* hardd yn ei wisg, yn ymdaith yn amlder ei rym? Myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder, *ac wyf* gadarn i iachâu.

2 Paham *yr ydwyt* yn goch dy ddillad, a'th wisgoedd fel yr hwn a sathrai mewn gwinwrŷf?

3 Sethrais y gwinwrŷf fy hunan,

---

y ddinas eilunaddolgar hòno ddychwelyd mewn rhyddid i wlad Judea. Mewn geiriau ereill, canys y mae yr ymadroddion yn gyffelybiaethol, boed i'r holl rwystrau gael eu symud o ffordd y Cenhedloedd, fel y gallont daflu ymaith eu heilunaddoliaeth a'u drygioni, a dyfod i'r eglwys Gristionogol. Neu gellir ystyried y geiriau fel gorchymyn i weinidogion a chyfeillion yr eglwys gyniwair trwy byrth Seion, i wahodd trigolion y ddaear i droi at Dduw, ac ymuno â'i bobl ef; ac, i'r dyben hyny, fod iddynt 'barotoi y ffordd' o'u blaen hwy, fel y dywedir isod: neu geisio eu hennill hwynt drosodd trwy burdeb eu hathrawiaeth, eu buchedd santaidd, a'u hymddygiadau da. Y mae y gair yn cael ei ailadrodd, i roddi mwy o bwys arno. *Parotowch ffordd y bobl*—i ddyfod i eglwys Crist; *palmentwch, palmentwch brif-ffordd*—gwel ar pen. xl. 3, 4, a lvii, 14; *digaregwch hi*—trwy godi y meini oddiarni, rhag iddynt faglu y fforddolion; *cyfodwch faner i'r bobloedd*—i'w cynull hwynt yn nghyd: gwel ar pen. xi. 12, a xlix. 22.

Adn. 11. *Wele, yr Arglwydd a gyhoeddodd hyd eithaf y ddaear*] Wrth ei genadon yn mhob cwr o'r byd; *Dywedwch wrth ferch Seion*—wrth Jerusalem, sef wrth yr eglwys; *Wele dy iachawdwriaeth yn dyfod*—neu dy Iachawdwr, yr hwn 'a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a ufyddhant iddo,' Heb. v. 9. *Wele ei gyflog gydag ef*—ei wobr ei hun, pen. xlix. 4, neu y gwobr ag sydd ganddo i'w roddi i'w weision; *a'i waith o'i flaen*—sef ei waith cyfryngol ei hun: gwel ar pen. xl. 10.

Adn. 12. *Galwant hwynt hefyd*] Hyny yw, gelwir holl aelodau neillduol yr eglwys, pa le bynag y byddont; *yn Bobl santaidd*—wedi eu neillduo oddiwrth y byd a'i halogrwydd; *yn Waredigion yr Arglwydd*—wedi eu gwaredu o feddiant Satan a phechod, a'u gwneuthur yn blant i Dduw. *Tithau a elwir*—sef yr eglwys fawr gyffredinol fel un corff; *Yr hon a geisiwyd*—gan Dduw ei hun, a chan ddychweledigion lluosog o bob parth o'r ddaear; *Dinas nis gwrthodwyd*—gan Dduw na dynion mwyach, neu na roddir i fyny i ddwylaw ei gelynion o hyn allan. Yr enwau hyn a'r cyffelyb a roddid iddi, yn lle yr enwau cas 'Gwrthodedig,' 'Annghyfanedd,' adn. 4. Tybia *Vitringa* fod y cyflawniad cyntaf o'r broffwydoliaeth hon i'w gael yn amser yr amherawdwr Cystenyn; ond diamau fod ganddi gyfeiriad pellach at ryw ddiwygiad ac adferiad mawr dyfodol yn yr eglwys Gristionogol.

PEN. LXIII. Adn. 1. *Pwy yw hwn yn dyfod o Edom*] Sef o Idumea, gwlad yr Edomiaid, hiliogaeth Esau; *yn goch ei ddillad o Bozrah?*—un o brif ddinasoedd yr Edomiaid. Wrth 'Edom' a 'Bozrah' yma y golygir rhyw elynion greddfol i'r eglwys Gristionogol, fel yr oedd yr *Edomiaid* i'r eglwys Iuddewig, pen. xxxiv. 5, &c. Tybia rhai mai yr un gelynion a feddylir yma ag a elwir 'Gog a Magog' mewn lleoedd ereill: gwel Ezec. xxxix. 1, &c., Dat. xx. 8. Tybia rhai mai at fuddugoliaethau Judas Maccabeus yn nhir Edom, pryd y lladdodd efe 20,000 o'r Edomiaid mewn un frwydr, y cyfeirir yma; barna ereill mai at waith JEHOFA yn gorchfygu ei elynion, ac yn adfer diogelwch i'w bobl, y cyfeirir yn y chwech adnod flaenaf; tra y tybia y rhan fwyaf mai darluniad sydd yma o fuddugoliaethau y MESSIA. Eithr yn mhlith y rhai olaf hyn, ceir rhai yn cymhwyso y cwbl at yr hyn a wnaeth Crist yn Gethsemane ac ar Galfaria; tra y barna ereill, ac yn debygol gyda gwell sail, mai at yr hyn a wnaeth efe ar ol marw, neu yn hytrach yr hyn a wna efe eto yn y dyddiau diweddaf, y cyfeirir yma yn benaf, fel y cawn weled wrth fyned yn mlaen. *Hwn sydd hardd yn ei wisg*—o ymddanghosiad mawreddog, er fod ei wisg wedi ei llychwino gan waed ei elynion; *yn ymdaith yn amlder ei rym*—fel cadfridog buddugol yn ymdaith tuag adref yn ei lawn arfogaeth, heb golli dim o'i nerth. Hyny yw, *pwy yw* yr hwn sydd hardd yn ei wisg, ac yn ymdaith tuag adref mor rymus? *Myfi, yr hwn a lefaraf mewn cyfiawnder*—yr hwn wyf yn cyhoeddi cyfiawnder, neu yn cyflawni fy mygythion cyfiawn yn erbyn fy ngelynion; *ac wyf gadarn i iachâu*—i ddwyn iachawdwriaeth neu waredigaeth i'm pobl fy hun. Hyn sydd atebiad i'r gofyniadau uchod o eiddo yr eglwys.

Adn. 2. *Paham yr ydwyt yn goch dy ddillad?*] Hyn a ofynir gan yr eglwys i'r buddugoliaethwr mawreddog a chadarn hwn drachefn; *a'th wisgoedd fel yr hwn a sathrai mewn gwinwrŷf*—wedi eu lliwio gan sudd y grawn?

Adn. 3. *Sethrais y gwinwrŷf fy hunan*] Dyfethais elynion fy mhobl, gan eu sathru hwynt dan fy nhraed, fel y sethrir y grawn yn y cafnau i wasgu y gwin o honynt; *ac o'r bobl nid oedd un gyda mi*—hyny yw, achub-

ac o'r bobl nid *oedd* un gyda mi;
canys mi a'u sathraf hwynt yn fy nig,
ac a'u mathraf hwynt yn fy llidiog-
rwydd; a'u gwaed hwynt a daenellir
ar fy nillad, a'm holl wisgoedd a
lychwinaf.
4 Canys dydd dial *sydd* yn fy
nghalon, a blwyddyn fy ngwaredig-
ion a ddaeth.
5 Edrychais hefyd, ac nid *oedd*
gynorthwywr; rhyfeddais hefyd am
nad *oedd* gynaliwr: yna fy mraich
fy hun a'm hachubodd, a'm llidiog-
rwydd a'm cynaliodd.
6 A mi a sathraf y bobl yn fy nig,
ac a'u meddwaf hwynt yn fy llidiog-
rwydd; a'u cadernid a ddisgynaf
i'r llawr.
7 ¶ Cofiaf drugareddau yr Ar-
glwydd, *a* moliant Duw, yn ol yr
hyn oll a roddodd Duw i ni, ac aml-
der *ei* ddaioni i dŷ Israel, yr hyn a
roddodd efe iddynt yn ol ei dostur-
iaethau, ac yn ol amlder ei drugar-
eddau.
8 Canys efe a ddywedodd, Diau
fy mhobl *ydynt* hwy, meibion ni
ddywedant gelwydd; felly efe a
aeth yn Iachawdwr iddynt.
9 Yn eu holl gystudd hwynt efe
a gystuddiwyd, ac Angel ei gyd-
rycholdeb a'u hachubodd hwynt;

---

ais fy mhobl a dyfethais fy ngelynion trwy fy nerth fy hun yn unig. Fel hyn y gwnaethai efe â'r Assyriaid, pen. xxxvii. 36; ac fel hyn yr holltodd efe y môr a'r Iorddonen o flaen Israel, ac y dymchwelodd efe gaerau Jericho, a brenhinoedd a chenhedloedd Canaan. Y mae yn wir ei fod ef weithiau yn defnyddio ereill fel offerynau; ond nid oes arno eu heisiau: a phan y maent yn gweithredu, oddiwrtho ef yn unig y maent yn cael eu hawdurdod, ac yn derbyn eu holl nerth. *Canys mi a'u sathraf hwynt yn fy nig, &c.*—neu, yn hytrach, 'mi a'u *sethrais* hwynt yn fy nig, ac a'u *methrais* hwynt yn fy llidiogrwydd;' canys cyfeirir yma at yr hyn a wnaed eisioes. *A'u gwaed hwynt a daenellir, &c.*—neu 'a *daenellwyd* ar fy nillad, a'm holl wisgoedd a *lychwinwyd*.' Hyn sydd atebiad i'r gofyniad yn adn. 2.

Adn. 4. *Canys dydd dial sydd yn fy nghalon*] Neu a '*oedd* yn fy nghalon,' fel nas gallwn annghofio nac esgeuluso dial ar elynion fy eglwys, pen. xxxiv. 8; *a blwyddyn fy ngwaredigion a ddaeth*—sef yr amser cyfaddas i waredu fy mhobl o'u dwylaw hwynt.

Adn. 5. *Edrychais hefyd, ac nid oedd gynorthwywr*] Nid oedd neb a'i cynorthwyai ef i amddiffyn ei bobl orthrymedig; *rhyfeddais hefyd am nad oedd gynaliwr*—am nad oedd neb a wnai neu a allai sefyll dros Dduw yn blaid iddynt: gwel ar pen. lix. 16. *Yna fy mraich fy hun a'm hachubodd*—yma efe a ystyria achubiaeth ei bobl yr un peth a'i achubiaeth ef ei hunan: gwel ar Mat. xxv. 35, &c. *A'm llidiogrwydd a'm cynaliodd*—sef ei sel neu ei frwdfrydedd dros ei anrhydedd ei hun, ac yn erbyn ei elynion ef a'i bobl. Yn pen. lix. 16, dywedir, 'Ei *gyfiawnder* ei hun a'i cynaliodd,' am mai ei brif amcan yno oedd gwaredu ei *bobl*; ond dywedir yma mai 'ei *lidiogrwydd* a'i cynaliodd,' am mai y prif amcan yw dyfetha ei *elynion*. Yr oedd yr ystyriaeth o gyflwr pethau y pryd hyn, neu wir angenrheidrwydd yr achos, fel yn ei wroli ef i ymgymeryd â'r gwaith, ac fel yn cryfhau ei fraich i daro ei elynion.

Adn. 6. *A mi a sathraf y bobl yn fy nig*] Neu 'a'u *sethrais*,' fel y mae y LXX a'r *Vulgate* yn ei ddarllen. Neu gall ei fod yn cyfeirio yma at yr hyn a wnai efe rhagllaw i'w holl elynion. *Ac a'u meddwaf hwynt yn fy llidiogrwydd*—cyffelybir barnedigaethau Duw yn fynych i gwpan yn llawn o ddiod feddwol, am eu bod yn syfrdanu dynion, neu yn eu hamddifadu hwynt o'u rheswm: gwel ar pen. li. 17. *A'u cadernid a ddisgynaf i'r llawr*—sef eu nerth milwraidd; neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'a'u *gwaed* a dywalltaf i'r llawr.'

Adn. 7. *Cofiaf drugareddau yr Arglwydd, a moliant Duw*] Neu y mawl ag sydd ddyledus i Dduw am ei aml drugareddau. Hyn a ddywedir gan yr eglwys Iuddewig mewn ffordd o ddiolchgarwch am ddaioni Duw iddynt gynt, ac mewn cyffesiad o'u pechodau, ac erfyniad am ddychweliad Duw atynt eilwaith. Tybia *Vitringa*, *Lowth*, ac ereill, fod hyn yn cyfeirio at gyflwr gwasgaredig presenol yr Iuddewon; a'i fod yn arddanghosiad o rai o honynt, fel blaenffrwyth y dychweledigion at Gristionogaeth, yn gweddio am ddychweliad yr holl genedl. Tybia ereill mai darluniad sydd yma, ac hyd ddiwedd y bennod nesaf, o gyflwr yr Iuddewon edifeiriol tua diwedd eu caethiwed yn Babilon. *Yn ol yr hyn oll a roddodd Duw i ni*—o drugareddau er pan y'n dewisodd yn bobl iddo ei hun; *ac amlder ei ddaioni i dŷ Israel*—yn dymhorol ac ysbrydol; *yr hyn a roddodd efe iddynt yn ol ei dosturiaethau*—y rhai a ddanghosodd efe tuag atynt yn eu cyflwr truenus; *ac yn ol amlder ei drugareddau*—iddynt hwy y rhai ni haeddasant ddim oddiar ei law ef.

Adn. 8. *Canys efe a ddywedodd*] Gynt, yn ei feddwl ei hun; *Diau fy mhobl ydynt hwy*—wedi eu derbyn genyf i gyfammod â mi; *meibion ni ddywedant gelwydd*—eithr a fyddant ffyddlon i ammodau fy nghyfammod. Hyn a ddywedir yn ol dull dynion, y rhai sydd yn dueddol yn wastad i obeithio y goraf am eu plant eu hunain. *Felly efe a aeth yn Iachawdwr iddynt*—a ymrwymodd i'w hachub ar yr ystyriaeth o'u ffyddlondeb hwy i'w gyfammod ef.

Adn. 9. *Yn eu holl gystudd hwynt efe a gystuddiwyd*] Hyny yw, efe a gydymdeimlai â hwynt, fel pe buasai efe ei hun yn cael ei

yn ei gariad, ac yn ei drugaredd y
gwaredodd efe hwynt; efe a'u dyg-
odd hwynt, ac a'u harweiniodd yr
holl ddyddiau gynt.
10 ¶ Hwythau oeddynt wrthryfel-
gar, ac a ofidiasant ei Ysbryd sant-
aidd ef: am hyny y trôdd efe yn
elyn iddynt, *ac* yr ymladdodd yn eu
herbyn.
11 Yna y cofiodd *efe* y dyddiau
gynt, Moses *a*'i bobl, *gan ddywedyd,*
*Mae* yr hwn a'u dygodd hwynt i
fyny o'r môr, gyda bugail ei braidd?
*mae* yr hwn a osododd ei Ysbryd
santaidd o'i fewn ef?
12 Yr hwn a'*u* tywysodd *hwynt* â
deheulaw Moses, ac â'i ogoneddus
fraich, gan hollti y dyfroedd o'u
blaen hwynt, i wneuthur iddo ei hun
enw tragwyddol?
13 Yr hwn a'u harweiniodd hwynt
trwy y dyfnderau, fel march yn yr
anialwch, *fel* na thramgwyddynt?
14 Fel y disgyn anifel i'r dyffryn,
y gwna Ysbryd yr Arglwydd iddo
orphwys: felly y tywysaist dy bobl,
i wneuthur it' enw gogoneddus.
15 ¶ Edrych o'r nefoedd, a gwel
o anedd dy santeiddrwydd a'th ogon-
iant: *mae* dy sel a'th gadernid,
lluosogrwydd dy dosturiaethau a'th
drugareddau tuag ataf fi? a ymat-
taliasant?
16 Canys ti *yw* ein Tad ni, er nad
edwyn Abraham ni, ac na'n cydneb-
ydd Israel: ti, Arglwydd, *yw* ein

---

gystuddio. *Ac Angel ei gydrycholdeb*—Hebr., 'Angel ei wyneb,' neu ei 'bresenoldeb,' sef yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a elwir hefyd yn 'Angel y cyfammod,' Mal. iii. 1; *a'u hachubodd hwynt*—o dŷ y caethiwed, a thrwy y môr coch, yn yr anialwch, ac o'u holl gystuddiau: gwel ar Exod. iii. 2—6, a xxiii. 20, 21, Jos. v. 13—15. *Yn ei gariad ac yn ei drugaredd y gwaredodd efe hwynt*—laweroedd o weithiau, fel y dengys eu holl hanes. *Efe a'u dygodd hwynt*—megys 'yn ei fynwes,' neu 'ar ei adenydd,' pen. xl. 11, Deut. xxxii. 11, 12; *ac a'u harweiniodd yr holl ddyddiau gynt*—ar eu ffordd trwy yr anialwch nes cyraedd i Ganaan.

Adn. 10. *Hwythau oeddynt wrthryfelgar*] Er addaw o honynt ffyddlondeb i'w gyfammod ef; *ac a ofidiasant ei Ysbryd santaidd ef*—trwy eu hanufydd-dod, eu grwgnachrwydd, a'u heilunaddoliaeth. *Am hyny y trôdd efe yn elyn iddynt*—gan dynu oddiwrthynt yr arwyddion o'i ffafr a'i gariad; *ac yr ymladdodd yn eu herbyn*—trwy dywallt arnynt y naill farn ar ol y llall, neu trwy eu rhoddi i fyny i ddwylaw eu gelynion.

Adn. 11. *Yna y cofiodd efe y dyddiau gynt*] Yn y rhai yr arferai efe dosturio wrth ei bobl, fel annogaeth iddo dosturio wrthynt eto; *Moses a'i bobl*—neu y pethau mawrion a wnaethai efe i'w bobl trwy Moses; *gan ddywedyd*—yn ei feddwl ei hun, *Mae yr hwn a'u dygodd hwynt i fyny o'r môr?*—tybia rhai mai y bobl oedd yn gofyn hyn; ond y mae yn debycach mai Duw sydd yn ei ofyn, i'r dyben i'w gynhyrfu ei hun i dosturio wrthynt eto: *gyda bugail ei braidd*—sef Moses, yr hwn oedd fel bugail i Israel. *Mae yr hwn a osododd ei Ysbryd santaidd o'i fewn ef*—sef yn Moses, i'w ysbrydoli a'i gymhwyso at ei waith?

Adn. 12. *Yr hwn a'u tywysodd hwynt â deheulaw Moses*] Sef â'r gallu a roddasai efe i Moses ei was; *ac â'i ogoneddus fraich*—ei hun, Deut. iv. 34; *gan hollti y dyfroedd o'u blaen hwynt*—sef dyfroedd y môr coch, Exod. xiv. 21, 22, a'r Iorddonen, Jos. iv. 7; *i wneuthur iddo ei hun enw tragwyddol*—fel Duw ffyddlon, trugarog, a hollalluog.

Adn. 13. *Yr hwn a'u harweiniodd hwynt trwy y dyfnderau*] Sef rhwng y ddau fur o ddyfroedd ag oeddynt ar y ddeau a'r aswy iddynt; *fel march yn yr anialwch*—hyny yw, fel yr arweinir march gyda ffrwyn; *fel na thramgwyddynt*—fel na chaent rwystrau ar eu ffordd i dramgwyddo wrthynt. Y mae y ddwy adnod hyn i'w deall fel holiadau: *Pa le y mae* yr hwn a'u tywysodd hwynt trwy y môr, a'r Iorddonen, a'r anialwch? ac awgrymir ynddynt, y gallai yr hwn a wnaethai gymaint erddynt gynt, wneyd y cyffelyb bethau eto.

Adn. 14. *Fel y disgyn anifel i'r dyffryn*] I orphwys a phori yno ar ol diwrnod o waith caled; *y gwna Ysbryd yr Arglwydd iddo orphwys*—Saes., 'y *gwnaeth* Ysbryd yr Arglwydd iddo orphwys,' sef i *Israel* orphwys yn Nghanaan, ar ol deugain mlynedd o grwydriad yn yr anialwch. *Felly y tywysaist dy bobl*—sef fel y darluniwyd yn yr adnodau uchod; *i wneuthur it' enw gogoneddus*—gwel ar adn. 12. Dadl y geiriau yw, fod i Dduw eto wneuthur enw iddo ei hun yn y cyffelyb fodd.

Adn. 15. *Edrych o'r nefoedd*] Ar adfyd dy bobl; *a gwel o anedd dy santeiddrwydd a'th ogoniant*—oddiar dy orsedd ogoneddus yn y nef. Ar ol coffâu am drugareddau Duw iddynt gynt, y mae yr eglwys yn troi yma i weddio am drugareddau cyffelyb eto. *Mae dy sel a'th gadernid?*—sef ei frwdfrydedd gynt o blaid ei bobl, a'r nerth a ddanghosid ganddo i'w gwaredu. *Lluosogrwydd dy dosturiaethau a'th drugareddau tuag ataf fi*—y rhai a ddanghoswyd tuag at yr eglwys yn yr amseroedd gynt? *A ymattaliasant*—fel nad ydynt i gael eu harferyd byth mwyach?

Adn. 16. *Canys ti yw ein Tad ni*] A ninau ydym dy blant dithau; *er nad edwyn Abraham ni*—am ei fod bellach wedi marw er's oesoedd lawer; *ac na'n cydnebydd Israel*—neu Jacob, am yr un rheswm: neu, er na fyddai iddynt hwy ein cydnabod ni fel eu plant, o herwydd ein dirywiad cywilyddus,

Tad ni, ein Gwaredydd; dy enw
*sydd* erioed.
17 ¶ Paham, Arglwydd, y
gwnaethost i ni gyfeiliorni allan
o'th ffyrdd? *ac* y caledaist ein cal-
onau oddiwrth dy ofn? Dychwel er
mwyn dy weision, llwythau dy
etifeddiaeth.
18 Dros ychydig enyd y meddian-
nodd dy bobl santaidd: ein gwrth-
wynebwyr a fathrasant dy gysegr
di.
19 Nyni ydym *eiddot ti:* erioed
ni buost yn arglwyddiaethu arnynt
hwy; *ac* ni elwid dy enw arnynt.

## PENNOD LXIV.

O NA rwygit y nefoedd, a disgyn,
*fel* y toddai y mynyddoedd o'th
flaen di,
2 Fel *pan* losgo y tân greision, y
pair y tân i'r dwfr ferwi; i hysbysu
dy enw i'th wrthwynebwyr, *fel* yr
ofno y cenhedloedd rhagot!
3 Pan wnaethost bethau ofnadwy
ni ddysgwyliasom *am danynt*, y dis-
gynaist, *a'r* mynyddoedd a doddas-
ant o'th flaen.
4 Ac erioed ni chlywsant, ni
dderbyniasant â chlustiau, ac ni

---

hyd yn nod pe codent oddiwrth y meirw. *Ti, Arglwydd, yw ein Tad ni*—mewn ystyr grasol ac ysbrydol, yr hwn wyt yn *fyw* o hyd; *a'n Gwaredydd*—yn mhob oes; *dy enw sydd erioed*—y mae dy natur a'th briodoliaethau grasol a thrugarog yn ddigyfnewid a thragwyddol; neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, ac yn y *Vulgate*, 'Ein Gwaredydd erioed yw dy enw.' Dywed yr Iuddewon mai y rheswm paham y mae Abraham a Jacob yn cael eu crybwyll yma, ac Isaac yn cael ei adael allan, yw, am mai Abraham oedd y cyntaf o'r patrieirch, a bod holl hiliogaeth Jacob wedi cael eu derbyn i freintiau y cyfammod, pan nad oedd holl hiliogaeth Isaac felly.

Adn. 17. *Paham, Arglwydd, y gwnaethost i ni gyfeiliorni allan o'th ffordd?*] Hyny yw, paham y goddefaist i ni droi oddiwrth dy orchymynion? *Ac y caledaist ein calonau oddiwrth dy ofn?*—paham y rhoddaist ni i fyny i galedwch ein calonau, neu y gadewaist i ni beidio dy ofni? gwel ar pen. vi. 10. *Dychwel er mwyn dy weision*—hyny yw, dychwel atom i'n gwaredu a'n cysuro; *llwythau dy etifeddiaeth*—yr hwn y mae genyt gyfiawn hawl ynom fel dy eiddo; neu lwythau gwlad Canaan, yr hon yw dy etifeddiaeth di.

Adn. 18. *Dros ychydig enyd y meddiannodd dy bobl santaidd*] Wlad Canaan, dy etifeddiaeth di, yr hon a addewaist i ni dros byth. *Ein gwrthwynebwyr a fathrasant dy gysegr di*—cyfeirir yma at yr hyn a wnai y Caldeaid yn gyntaf, ac wedi hyny y Rhufeiniaid, i'r deml yn Jerusalem: gwel ar pen. lxiv. 10, 11.

Adn. 19. *Nyni ydym eiddot ti*] Fel dy bobl gyfammodol, yr hyn a grybwyllir yma fel rheswm dros i Dduw ddychwelyd atynt eilwaith yn ei drugaredd a'i ras. *Erioed ni buost yn arglwyddiaethu arnynt hwy*—sef ar y Caldeaid a'r Rhufeiniaid, fel y mae rhai yn ei ddeall; *ac ni elwid dy enw arnynt*—Saes., 'ni alwyd hwynt ar dy enw:' ni buont erioed yn dy arddel di fel eu Duw, nac yn cael eu harddel genyt tithau fel dy bobl. Etifer *Noyes* a'i cyfieitha, 'Yr ydym ni fel pe na buasit erioed yn arglwyddiaethu arnom, fel pe na alwesid ni ar dy enw:' hyny yw, yr ydym fel pe buasem yn aros fyth yn ein cyflwr paganaidd cyntefig.

PEN. LXIV. Adn. 1. *O na rwygit y nefoedd, a disgyn*] Hyny yw, O na fyddai i ti ddisgyn yn ddisymwth yn mawredd dy nerth, gan dori trwy bob rhwystr ar dy ffordd, fel gŵr a fyddai yn rhwygo ac yn dryllio mur neu ddorau ei ystafell, i'r dyben i ddyfod allan gyda'r brys mwyaf! *fel y toddai y mynyddoedd o'th flaen di*—megys ar dy ddisgyniad ar Sinai gynt, Barn. v. 5. Cynwysa y bennod hon barhad o'r weddi a ddechreuwyd yn y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Fel pan losgo y tân greision*] Sef unrhyw ddefnyddiau cras a sych, neu hawdd eu cyneu yn fflam; *y pair y tân*—hwnw, *i'r dwfr ferwi*—yr fuan yn y crochan, trwy fod fflamiau cryfion oddiwrth y creision hyny odditano. Neu, O na fyddai i ti ddisgyn, fel y toddai y mynyddoedd o'th flaen gyda'r un cyflymdra ag y llosga tân greision, neu y pair efe i ddwfr ferwi! *I hysbysu dy enw i'th wrthwynebwyr*—sef i ddangos i'th elynion fawredd dy nerth; *fel yr ofno y cenhedloedd rhagot*—rhag dy ddigofaint, neu rhag dy ddigio.

Adn. 3. *Pan wnaethost bethau ofnadwy*] Yn gyntaf yn yr Aifft, ac wedi hyny wrth y môr coch, ac yn yr anialwch: *ni ddysgwyliasom am danynt*—y rhai nad allem eu dysgwyl, gan na welsom eu bath, ac na ddychymygodd ein calon erioed eu cyffelyb; *y disgynaist*—yn mawredd dy nerth a'th ogoniant; *a'r mynyddoedd a doddasant o'th flaen*—darluniad mawreddog o bresenoldeb Duw, lled gyffredin yn yr ysgrythyrau, fel pe byddai tân angherddol yn dylyn ei ddyfodiad ef: gwel ar Exod. xix. 18, Salm xcvii. 5, a cxliv. 5, 6, Mica i. 3, 4.

Adn. 4. *Ac erioed ni chlywsant, &c.*] Hyny yw, ni chlywodd ac ni welodd neb erioed; *O Dduw, ond tydi*—neu ni ddaeth i feddwl neb ond Duw yn unig; *yr hyn a ddarparodd efe i'r neb a ddysgwyl wrtho*—mewn amynedd, gweddi, a ffydd. Y mae rhai o'r doctoriaid Iuddewig eu hunain yn deall hyn am fendithion yn perthyn i ddyddiau y Messia; ac at y rhai hyny y cymhwysa yr apostol hwynt, 1 Cor. ii. 9. Ond os yw yn wir na welodd llygad, na chlywodd clust, ac na ddaeth i galon dyn y pethau a ddarparodd Duw i ddynion ar y ddaear dan yr efengyl, pa

welodd llygad, O Dduw, ond tydi, *yr hyn* a ddarparodd efe i'r neb a ddysgwyl wrtho.

5 Cyfarfyddi â'r hwn sydd lawen, ac a wna gyfiawnder; *y rhai* yn dy ffyrdd a'th gofiant di: wele, ti a ddigiaist, pan bechasom: ynddynt hwy y mae para, a ni a fyddwn cadwedig.

6 Eithr yr ydym ni oll megys *peth* aflan, ac megys bratiau budron *yw* ein holl gyfiawnderau; a megys deilen y syrthiasom ni oll; a'n hanwireddau, megys gwynt, a'n dyg ni ymaith.

7 Ac nid *oes* a alwo ar dy enw, nac a ymgyfyd i ymaflyd ynot: canys cuddiaist dy wyneb oddiwrthym; difeaist ni, o herwydd ein hanwireddau.

8 Ond yn awr, O Arglwydd, ein Tad ni *ydwyt* ti: nyni *ydym* glai, a thithau *yw* ein lluniwr ni; ïe, gwaith dy law *ydym* ni oll.

9 ¶ Na ddigia, Arglwydd, yn ddirfawr, ac na chofia anwiredd yn dragywydd; wele, edrych, atolwg, dy bobl di *ydym* ni oll.

10 Dy santaidd ddinasoedd sydd anialwch; Seion *sydd* yn ddiffaethwch, a Jerusalem yn annghyfanedd.

11 Tŷ ein santeiddrwydd a'n harddwch ni, lle y moliannai ein tadau dydi, a losgwyd â thân; a'n holl bethau dymunol sydd yn anrhaith.

---

faint mwy felly yw y pethau a ddarparwyd ganddo yn y nef i'r rhai a i carant ef! Eithr y mae rhai yn cyfieithu yr adnod hon yn fwy cyson â'r Hebraeg a'r LXX, fel hyn: 'Erioed ni chlywodd ac ni wrandawodd dynion â'r glust, ac ni welodd llygad, dduw ond tydi, yr hwn a wna y fath bethau i'r rhai a ymddiriedant ynddo.'

Adn. 5. *Cyfarfyddi*] Mewn hedd a chariad, *â'r hwn sydd lawen*—neu yn ymhyfrydu ynot; *ac a wna gyfiawnder*—yn ei holl weithredoedd: *y rhai yn dy ffyrdd a'th gofiant di*—sef yn ffyrdd crefydd a duwioldeb, y rhai a ddarperaist i ddynion rodio ynddynt. *Wele, ti a ddigiaist pan bechasom*—neu pan ymadawsom â ffyrdd dy orchymynion. *Ynddynt hwy y mae para*—mewn rhodio yn dy ffyrdd di y mae parhau yn dy heddwch; *a ni a fyddwn gadwedig*—wrth wneuthur hyny. Y mae yr ystyr hwn i'r geiriau yn eithaf cyson â rhanau ereill o'r ysgrythyr, er fod amheuaeth mawr ai hyn yw meddwl yr adnod dywell hon. Dywed *Lowth* fod yr adnod hon, fel y mae yn sefyll yn y testyn Hebreig presenol, yn hollol annealladwy; ac efe a gasgla y rhaid fod y testyn wedi ei lygru trwy gamgymeriad rhyw adysgrifenwyr, a hyny yn fore iawn.

Adn. 6. *Eithr yr ydym ni oll megys peth aflan*] Yn halogedig a ffiaidd yn ngolwg y Duw glân a santaidd; *ac megys bratiau budron yw ein holl gyfiawnderau*—yw nid yn unig ein gweithredoedd *drwg*, ond ein gweithredoedd *da* hefyd. Nid oedd modd gosod allan eu haflendid yn gryfach na thrwy gyfeirio fel hyn at y *vestis menstruis polluta*. *A megys deilen y syrthiasom ni oll*—sef pawb, i'r un dyfnder trueni, heb neb yn îs neu yn uwch na'u gilydd. *A'n hanwireddau, megys gwynt*—yr hwn fyddo yn deifio ac yn crino y dail, ac yna yn eu chwythu hwynt ymaith oddiar y pren; *a'n dyg ni ymaith*—o'n gwlad, ac oddiwrth ein breintiau crefyddol. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at gaethgludiad yr Iuddewon i Assyria a Babilon; ac ereill, at eu gwasgariad presenol dros wyneb yr holl ddaear: gwel ar pen. lxiii. 7.

Adn. 7. *Ac nid oes a alwo ar dy enw*] Yn ddiragrith a gwirioneddol; *nac a ymgyfyd i ymaflyd ynot*—i ymaflyd yn ffyddiog yn dy addewidion grasol a thrugarog, neu yn dy nerth achubol: *canys cuddiaist dy wyneb oddiwrthym*—mewn soriant cyfiawn; *difeaist ni o herwydd ein hanwireddau*—ein heilunaddoliaeth, ein cybydd-dra, a'n hannghrediniaeth.

Adn. 8. *Ond yn awr, O Arglwydd*] Er maint ein trueni, ein hanwireddau, a'n haflendid; *ein Tad ni ydwyt ti*—gwel ar pen. lxiii. 16. *Nyni ydym glai, a thithau yw ein lluniwr ni*—fel pe dywedasent, Yr ydym ni yn dy law di fel clai yn llaw y crochenydd, a gelli wneyd â ni fel y gwelych yn dda. *Ie, gwaith dy law ydym ni oll*—am hyny nac annghofia ni, eithr tosturia wrthym, ac achub ni.

Adn. 9. *Na ddigia, Arglwydd, yn ddirfawr*] Eithr bydded i'th ddigofaint gael ei dyneru gan dy dosturi tadol; *ac na chofia anwiredd yn dragywydd*—fel ag i'n cospi byth am ein pechodau. *Wele, edrych, atolwg*—arnom ni yn drugarog a maddeugar, neu ystyria pwy ydym; *dy bobl di ydym ni oll*—wedi ein llunio genyt i fynegu dy ogoniant a'th ras yn neu trwy ein hachubiaeth, pen. xliii. 7.

Adn. 10. *Dy santaidd ddinasoedd sydd anialwch*] Trwy yr holl wlad; a gelwir hwynt yn 'santaidd,' am fod gwlad Canaan oll felly, neu am fod synagogau Duw ynddynt, Salm lxxiv. 8. *Seion sydd yn ddiffaethwch, a Jerusalem yn annghyfanedd*—sef dy ddinas a'th deml di dy hun, y rhai a ddinystriwyd ac a losgwyd gan dy elynion. Fel hyn y gwnaed gan y Caldeaid a'r Rhufeiniaid. Yn ol yr arferiad gwastadol yn y llyfr hwn, y mae Esay yn darlunio y pethau a fyddent fel pe buasent wedi cymeryd lle eisioes, gan arferyd y fath iaith ag a arferid gan y rhai y perthynai iddynt yn yr amser dyfodol hwnw.

Adn. 11. *Tŷ ein santeiddrwydd a'n harddwch ni*] Sef y deml, yr hon a elwid yn 'dŷ eu santeiddrwydd,' am ei bod wedi ei chysegru i wasanaeth Duw; ac yn 'harddwch,' am ei

12 A ymatteli di, Arglwydd, wrth
*y pethau* hyn? a dewi di, ac a gys-
tuddi di ni yn ddirfawr?

## PENNOD LXV.

CEISIWYD fi gan *y rhai* ni ymof-
ynasant *am danaf;* cafwyd fi gan
*y rhai* ni'm ceisiasant: dywedais,
Wele fi, wele fi, wrth genhedlaeth ni
alwyd ar fy enw i.
2 Estynais fy llaw ar hyd y dydd
at bobl wrthryfelgar, y rhai a rod-
ient y ffordd nid *oedd* dda, yn ol eu
meddyliau eu hun;
3 Pobl y rhai a'm llidient i yn
wastad yn fy wyneb; yn aberthu
mewn gerddi, ac yn arogldarthu ar
allorau priddfeini;
4 Y rhai a arhöent yn mysg y
beddau, ac a letŷent yn y mynwent-
au; y rhai a fwytäent gig moch, ac
isgell ffiaidd *bethau yn* eu llestri;
5 Y rhai a ddywedent, Saf ar dy
ben dy hun; na nesâ ataf fi: canys
santeiddiach ydwyf na thydi. Y

---

bod yn adeilad fawreddog a gogoneddus. *Lle y moliannai ein tadau dydi*—nid ydynt yma yn eu henwi eu hunain, am eu bod wedi myned mor halogedig a ffiaidd; eithr enwant eu tadau, llawer o ba rai oeddynt weision ffyddlon i'r Arglwydd. *A losgwyd â thân*—gwel ar 2 Bren. xxv. 8. *A'n holl bethau dymunol sydd yn anrhaith*—megys llestri dymunol y deml a'r palasau, yn nghyda phob peth arall ag ydoedd ddymunol a gwerthfawr yn eu golwg: gwel ar 2 Cron. xxxvi. 8, 9.

Adn. 12. *A ymatteli di, Arglwydd*] Heb ddyfod allan i'n gwaredu ni, a dial ar ein gelynion; *wrth y pethau hyn*—wrth ystyried y pethau hyn? *A dewi di*—yn ngwyneb hyn oll, fel pe byddit yn ddifater am dy ogoniant dy hun, ac iachawdwriaeth dy bobl? *Ac a gystuddi di ni yn ddirfawr*—yn drymach fyth, neu yn dragywydd? Y mae yr ymadroddion yn y bennod hon yn llawn bywyd, teimlad, a thaerineb; ac y mae yr holl weddi yn gynllun têg o'r modd y dylai gwlad ac eglwys, a phob teulu neu berson unigol, nesâu at Dduw mewn edifeirwch pan yn dyoddef am eu hanwireddau.

PEN. LXV. Adn. 1. *Ceisiwyd fi gan y rhai ni ymofynasant am danaf*] Trwy yr holl oesoedd blaenorol; *cafwyd fi gan y rhai ni'm ceisiasant*—sef gan y Cenhedloedd, y rhai nid oeddynt wedi bod yn ei geisio ef erioed o'r blaen: gwel ar Rhuf. x. 20. *Dywedais*—trwy bregethiad yr efengyl, *Wele fi, wele fi*—yn barod i drugarhau wrthych, a'ch achub; *wrth genhedlaeth ni alwyd ar fy enw i*—neu wrth *genedl* nad oedd mewn cyfammod â mi, nac yn proffesu ymlyniad wrthyf: gwel ar pen. lxiii. 19.

Adn. 2. *Estynais fy llaw ar hyd y dydd*] I'w gwahodd hwynt i ddyfod dan fy nawdd a'm hamddiffyniad, ac i dderbyn fy ngras a'm hiachawdwriaeth; *at bobl wrthryfelgar*—anufydd a chyndyn, sef pobl *Israel*, fel y mae yr apostol yn ei egluro, Rhuf. x. 21; *y rhai a rodient y ffordd nid oedd dda*—ac o ganlyniad a raid fod yn ffordd *ddrwg*, fel y gwelwn yn yr adnodau nesaf; *yn ol eu meddyliau eu hun*—y rhai oeddynt yn groes i air a meddwl Duw.

Adn. 3. *Pobl y rhai a'm llidient i yn wastad yn fy wyneb*] Yn y modd mwyaf cyhoeddus a hyf, heb ystyried fy hollbresenoldeb, nac ofni fy hollalluogrwydd. *Yn aberthu mewn gerddi*—gwel ar pen. i. 29; *ac yn arogldarthu ar allorau priddfeini*—a hyny ond odid i eilunod. Ond pe gwnaethent felly hyd yn nod i'r Arglwydd, buasai yn annghyfreithlon; canys yn y *deml* y dylesid aberthu, ac ar yr *allor aur* yno y dylesid arogldarthu. Ymddengys fod yr Arglwydd yma yn son am bechodau Israel mewn gwahanol oesoedd, ac nid am bechodau rhyw un oes neillduol.

Adn. 4. *Y rhai a arhöent yn mysg y beddau*] I ymofyn â'r meirw trwy ddewiniaeth neu swyn-gyfaredd; *ac a letŷent yn y mynwentau*—neu a dreulient y nos yno, neu mewn 'ogofau tywyllion,' i'r dyben i gyraedd datguddiadau trwy freuddwydion, neu gan ellyllon neu ysbrydion ymadawedig: gwel ar pen. viii. 19, 1 Sam. xxviii. 7, &c. *Y rhai a fwytäent gig moch*—yr hwn a waherddid yn bendant gan y gyfraith, Lef. xi. 7, ond a ydoedd mewn bri mawr gan y cenhedloedd paganaidd yn eu gwleddoedd. Gorfodai Antiochus Epiphanes yr Iuddewon i fwyta cig moch, fel prawf o'u hymwrthodiad â'u crefydd, dan y benyd o farwolaeth: gwel ar 2 Mac. vi. 18, &c.. a vii. 1, &c. *Ac isgell ffiaidd bethau yn eu llestri*—i'w yfed eu hunain, neu i'w dywallt yn ddiod-offrwm i'w heilunod. Nid bwyta cig moch, ac yfed y cawl yn yr hwn y berwesid ef, a gondemnir yma yn unig, er fod hyny ynddo ei hun yn annghyfreithlon; eithr gwneuthur hyny i ddybenion eilunaddolgar, neu mewn arferiadau dewiniol fel y gwnai y Cenhedloedd.

Adn. 5. *Y rhai a ddywedent*] Wrth bawb ereill, *Saf ar dy ben dy hun, na nesâ ataf fi*—yr hwn sydd ddarluniad cywir o ysbryd balch y Phariseaid yn nyddiau Crist, fel y gwelwn yn yr Efengylau; *canys santeiddiach ydwyf na thydi*—ac am hyny yn haeddu mwy o barch. Fel hyn, er eu bod yn dra euog ac aflan, cymerent arnynt eu bod yn santeiddiach na phawb; ac ni adawent i ereill gyffwrdd â hwynt, na nesâu atynt. Y dynion gwaelaf o bawb, yw yn gyffredin y rhai balchaf o bawb; a'r rhai a grwydrasant bellaf oddiwrth Dduw, sydd, y rhan fynychaf, yn eu tybied eu hunain agosaf ato! *Y rhai hyn sydd fwg yn fy ffroenau*—yn atgas genyf, fel y mae mwg yn atgas yn ffroenau dyn; *tân yn llosgi ar hyd y dydd*—i beri mwg ffiaidd yn barhaus. Neu gall mai yr ystyr yw, fel y tybia *Lowth*, fod

rhai hyn *sydd* fwg yn fy ffroenau,
tân yn llosgi ar hyd y dydd.
6 Wele, ysgrifenwyd ger fy mron:
ni thawaf; eithr talaf, ie talaf i'w
mynwes.
7 Eich anwireddau chwi, ac an-
wireddau eich tadau yn nghyd,
(medd yr Arglwydd,) y rhai a arogl-
darthasant ar y mynyddoedd, ac a'm
cablasant ar y bryniau: am hyny
y mesuraf eu hen weithredoedd
hwynt i'w mynwes.
8 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd; Megys y ceir gwin new-
ydd mewn swp o rawn, ac y dywed-
ir, Na ddifwyna ef; canys *y mae*
bendith ynddo: felly y gwnaf er
mwyn fy ngweision, na ddystryw-
iwyf hwynt oll.
9 Eithr dygaf had allan o Jacob,
ac o Juda *un* a etifeddo fy mynydd-
oedd: a'm hetholedigion a'i heti-
feddant, a'm gweision a drigant
yno.
10 Saron hefyd fydd yn gorlan
defaid, a glŷn Acor yn orweddfa
gwartheg, i'm pobl y rhai a'm ceis-
iasant.
11 ¶ Ond chwi *yw* y rhai a wrth-
odwch yr Arglwydd, a annghofiwch
fy mynydd santaidd, a arlwywch
fwrdd i'r llu acw, ac a lenwch ddiod-
offrwm i'r niferi acw.
12 Rhifaf chwithau i'r cleddyf, a

eu hymddygiad fel yn creu tân a mwg yn ffroenau Duw, megys arwyddion amlwg o'i ddigofaint ef yn eu herbyn hwy.

Adn. 6. *Wele, ysgrifenwyd ger fy mron*] Fel pe dywedasai, Er eu bod hwy yn meddwl nad wyf fi yn sylwi ar eu gweithredoedd, eto y maent oll yn ysgrifenedig yn llyfr fy nghoffadwriaeth, i'w dwyn ryw ddydd yn eu herbyn. Y mae yma gyfeiriad at lyfrau y tywysogion, yn y rhai y croniclid pob achos pwysig: gwel ar Esther ii. 23, a vi. 1, 2. *Ni thawaf*—byth, neu ni pheidiaf â chyhoeddi barn arnynt; *eithr talaf, ie talaf i'w mynwesau*—hyny yw, talaf iddynt yn sicr, a hyd adref, yn ol eu haeddiant. Fe allai fod yma gyfeiriad at arferiad dynion o gario arian a phethau ereill mewn pyrsau yn eu mynwesau.

Adn. 7. *Eich anwireddau chwi*] Y rhai a gyflawnasoch yn bersonol; *ac anwireddau eich tadau yn nghyd*—y rhai a gyfrifir i'w plant hwy mewn ystyr tymhorol, Exod. xx. 5, a xxxiv. 7; *y rhai a arogldarthasant ar y mynyddoedd*—yn lle yn y deml, adn. 3; ac i eilunod, yn lle i'r gwir Dduw; *ac a'm cablasant ar y bryniau*—trwy dalu anrhydedd i eilunod yn lle i mi, ac felly a'm dirmygasant i yn gableddus a chyhoeddus. *Am hyny y mesuraf eu hen weithredoedd hwynt*—y rhai a gyflawnwyd gan eu tadau, *i'w mynwes*—hyny yw, cospir eu plant am danynt hyd yr eithaf: gwel ar Mat. xxiii. 35, 36.

Adn. 8. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] I'r dyben i'w cadw hwynt rhag llwyr anobeithio yn ngwyneb y bygythiad uchod, ac i sicrhau iddynt na ddystrywid hwynt yn hollol. *Megys y ceir gwin newydd mewn swp o rawn*—er y gallai fod rhai o'r grawn hyny wedi sychu i fyny neu lygru; *ac y dywedir*—gan y meistr wrth ei was, *Na ddifwyna ef*—na thafl ef ymaith oll, neu na ddyfetha ef i gyd; *canys y mae bendith ynddo*—neu rywfaint o ddefnydd gwin da. *Felly y gwnaf er mwyn fy ngweision, &c.*—hyny yw, ni ddystrywiaf yr Iuddewon oll, er mwyn yr ychydig o rai da sydd yn eu plith; neu, yn ol rhai, 'er mwyn Abraham, Isaac, a Jacob.' Ond y mae y LXX, a thri o'r ysgriflyfrau *Hebreig*, yn ei ddarllen yn y rhif unigol, 'er mwyn fy *ngwas*,' wrth yr hwn y dealla llawer y Messia.

Adn. 9. *Eithr dygaf had allan o Jacob*] Rhoddaf hiliogaeth iddo, neu hiliogaeth ysbrydol fe allai; *ac o Juda un a etifeddo fy mynyddoedd*—sef gwlad fynyddig Canaan, yr hon a arddelwid gan Dduw fyth fel ei eiddo ei hun, neu le ei addoliad: *a'm hetholedigion a'i hetifeddant*—sef y rhai a etholwyd gan Dduw i gynal ei grefydd ef yn y byd; *a'm gweision a drigant yno*—meddylir mai cyfeiriad sydd yma at ddychweliad yr Iuddewon adref o Babilon; er y tybia rhai fod yma gyfeiriad at ddychweliad yr Iuddewon crediniol i Ganaan yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 10. *Saron hefyd*] Yr hon oedd wlad ffrwythlon yr ochr orllewinol i Ganaan, ar lan Môr-y-canoldir, yn cyraedd o Cesarea i Joppa; *fydd yn gorlan defaid*—er iddi fod unwaith 'megys anialwch,' pen. xxxiii. 9: *a glŷn Acor*—lle y llabyddiwyd ac y llosgwyd Acan, yr hwn a safai yn y parth dwyreiniol o wlad Canaan, yn agos i Jericho a'r Iorddonen, Jos. vii. 24, 26; *yn orweddfa gwartheg*—yn borfa fras a ffrwythlon; *i'm pobl y rhai a'm ceisiasant*—mewn gwir edifeirwch a ffydd, ac nid i'r rhai drygionus o'r Iuddewon, fel y gwelwn isod.

Adn. 11. *Ond chwi yw y rhai a wrthodwch yr Arglwydd*] Yma y mae efe yn troi i gyfarch yr Iuddewon annuwiol ac eilunaddolgar hyny, at y rhai y cyfeiriwyd yn adn. 2, 3, y rhai oeddynt yn parhau i wrthod yr Arglwydd, yn lle ei geisio ef; *a annghofiwch fy mynydd santaidd*—sef cysegr ac addoliad Duw; *a arlwywch fwrdd i'r llu acw*—sef i'r llu o eilunod a addolid gan y cenhedloedd paganaidd; *ac a lenwch ddiod-offrwm i'r niferi acw*—at y rhai y cyfeiria efe megys â'i fys. Arferid gosod bwyd a diod o flaen yr eilunod, am y tybid fod y duwiau yn disgyn i fwyta ac yfed yr hyn a osodid felly o'u blaen. Tybia rhai fod y geiriau *gad* a *meni*, y rhai a gyfieithir yma yn *llu* a *niferi*, yn enwau ar eu duwiau hwynt; a thybia *Waterland* ac ereill fod y blaenaf yn arwyddo yr 'haul,' a'r olaf y 'lleuad.'

chwi oll a ymostyngwch i'r lladd-
edigaeth: o herwydd pan elwais
chwi, nid atebasoch; pan lefarais,
ni wrandawsoch; ond gwnaethoch
ddrygioni yn fy ngolwg, a dewisas-
och yr hyn nid oedd dda genyf.
13 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele, fy ngweis-
ion a fwytânt, a chwithau a newyn-
wch: wele, fy ngweision a yfant, a
chwithau a sychedwch: wele, fy
ngweision a lawenychant, a chwith-
au a fydd cywilydd arnoch:
14 Wele, fy ngweision a ganant
o hyfrydwch calon, a chwithau a
waeddwch rhag gofid calon, ac
a udwch rhag cystudd ysbryd.
15 A'ch enw a adewch yn felldith
gan fy etholedigion: canys yr Ar-
glwydd Dduw a'th ladd di, ac a
eilw ei weision *ar* enw arall:
16 Fel y bo i'r hwn a ymfendigo
ar y ddaear, ymfendigo yn Nuw y
gwirionedd; ac i'r hwn a dyngo ar
y ddaear, dyngu i Dduw y gwirion-
edd: am annghofio y trallodau gynt,
ac am eu cuddio hwynt o'm golwg.
17 ¶ Canys wele fi yn creu nef-
oedd newydd, a daear newydd: a'r
rhai cyntaf ni chofir, ac ni feddylir
am danynt.
18 Eithr llawenychwch a gorfol-

---

Adn. 12. *Rhifaf chwithau i'r cleddyf*] I gael eich lladd â chleddyf eich gelynion. Efe a ddywed y *rhifai* efe hwynt i'r cleddyf, mewn cyfeiriad at y gair *meni* uchod, yr hwn a arwydda *rhif* neu *nifer*. *A chwi oll a ymostyngwch i'r lladdedigaeth*—fel yr ydych yn *ymostwng* mewn addoliad i'r eilunod hyny. *O herwydd pan elwais chwi*—trwy fy mhroffwydi a'm ceradon, *nid atebasoch*—nid ufyddhasoch i mi trwy droi ataf; *pan lefarais*—drachefn a thrachefn yn mhob rhyw fodd, *ni wrandawsoch*—ar fy addewidion na'm bygythion: *ond gwnaethoch ddrygioni yn fy ngolwg*—neu 'o flaen fy llygaid;' gwel ar adn. 3; *a dewisasoch yr hyn nid oedd dda genyf*—sef eilunaddoliaeth a phob drygioni.

Adn. 13. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Mewn perthynas i'r ddau fath o bobl uchod: *Wele, fy ngweision a fwytânt, a chwithau a newynwch, &c.*—cyflawnwyd hyn yn neillduol cyn dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, pryd y ffôdd y Cristionogion i *Pella* a manau ereill, lle y porthwyd ac y diogelwyd hwynt; tra yr arhosodd yr Iuddewon annghrediniol yn Jerusalem, lle y buont feirw o newyn a syched, a thrwy y cleddyf: gwel ar Mat. xxiv. 23, 26. Ond tybia rhai mai at ddinystr Jerusalem gan y Caldeaid y cyfeirir yma.

Adn. 14. *Wele, fy ngweision a ganant o hyfrydwch calon*] Mewn mwynhad o waredigaeth dymhorol, ac mewn gobaith am waredigaeth dragwyddol; *a chwithau a waeddwch rhag gofid calon, &c.*—neu '*mewn* gofid calon, ac *mewn* cystudd ysbryd,' gan faint eich adfyd a'ch perygl.

Adn. 15. *A'ch enw*] Sef yr enw IUDDEW, fel y mae rhai yn ei ddeall; *a adewch yn felldith gan fy etholedigion*—sef gan y Cristionogion yn mhob gwlad; neu, byddai eu cosp hwy mor drwm, fel y dywedai pobl yr Arglwydd bob amser wrth dyngu llw o ffyddlondeb, 'Os na fydd i ni gyflawni ein hammodau, neu ddyfod i fyny â'n hymrwymiad, disgyned yr un felldith arnom ni ag a ddisgynodd ar yr Iuddewon drygionus hyny:' gwel ar Jer. xxix. 22. *Canys yr Arglwydd Dduw a'th ladd di*—a'th ddifoda di fel eglwys a gwladwriaeth; *ac a eilw ei weision ar enw arall*—sef ar yr enw CRISTIONOGION, ac nid *Iuddewon*.

Adn. 16. *Fel y bo i'r hwn a ymfendigo ar y ddaear*] Neu a geisio fendith mewn unrhyw le ar y ddaear; *ymfendigo yn Nuw y gwirionedd*—ei cheisio gan y gwir Dduw, ac nid gan yr eilunod mwyach: *ac i'r hwn a dyngo ar y ddaear*—yn mhlith unrhyw genedl; *dyngu i Dduw y gwirionedd*—yn enw y gwir Dduw, ac nid yn enwau yr eilunod mwyach; neu ymgyfammodi i'w wasanaethu ef fel ei Dduw a'i Frenin. *Am annghofio y trallodau gynt*—gan faint yr hawddfyd presenol; *ac am eu cuddio hwynt o'm golwg*—sef am guddio y pechodau, y rhai oeddynt yr achos o'r trallodau hyny. Ond ni chyflawnir hyn yn gwbl hyd wawriad y milflwyddiant.

Adn. 17. *Canys wele fi yn creu nefoedd newydd a daear newydd*] Fel pe dywedasai, Wele fi yn myned i wneuthur cyfnewidiad mor fawr yn nghyflwr fy mhobl a'm heglwys, a phe byddai i'r nwyfre gymylog a thymhestlog gael ei chreu o'r newydd, fel ag i fod bob amser yn oleu a siriol: neu mor fawr a phe byddai i'r ddaear, yr hon sydd yn sych a diffrwyth mewn rhai manau, gael ei gwneyd yn ffrwythlon a phrydferth yn gyffredinol. Neu, mewn geiriau ereill, efe a anfonai ei Fab i'r byd i sefydlu eglwys arall, neu drefn arall o addoliad yn ei eglwys, ac a roddai y fath dywalltiad helaeth o'i Ysbryd ar bob cnawd, nes y byddai gwyneb y ddaear fel gwyneb y nefoedd, lle na byddai dim ond cyfiawnder, santeiddrwydd, a dedwyddwch yn cartrefu. Y mae Pedr ac Ioan yn defnyddio y geiriau hyn i osod allan gyflwr yr eglwys mewn gogoniant ar ol dydd y farn, 2 Pedr iii. 13, Dat. xxi. 1, &c.; ond yma rhaid i ni ddeall y geiriau am gyflwr yr eglwys ar y ddaear, fel y mae yn eglur oddiwrth yr adnodau canlynol. *A'r rhai cyntaf ni chofir, ac ni feddylir am danynt*—bydd i hapusrwydd blaenorol fy mhobl gael ei lwyr annghofio, gan mor ogoneddus a dedwydd fydd cyflwr fy eglwys ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf; neu ni chofir am ofidiau yr eglwys gynt, yn nghanol ei gwynfyd presenol.

Adn. 18. *Eithr llawenychwch a gorfoledd-*

eddwch yn dragywydd *yn y pethau*
a grëwyf fi: canys wele fi yn creu
Jerusalem yn orfoledd, a'i phobl yn
llawenydd.
19 Gorfoleddaf hefyd yn Jerusa-
lem, a llawenychaf yn fy mhobl: ac
ni chlywir ynddi mwyach lais ŵyl-
ofain, na llef gwaedd.
20 Ni bydd o hyny allan blentyn
o oed, na henafgwr, yr hwn ni chyf-
lawnodd ei ddyddiau: canys y bach-
gen fydd marw yn fab canmlwydd;
ond y pechadur yn fab canmlwydd
a felldithir.
21 A hwy a adeiladant dai, ac a'*u*
cyfaneddant; planant hefyd winllan-
oedd, a bwytânt eu ffrwyth.
22 Nid adeiladant hwy, fel y cyf-
aneddo arall; ac ni phlanant, fel y
bwytao arall: eithr megys dyddiau

---

*wch yn dragywydd*] Hyd ddiwedd eich oes, a bydded i'r holl genedlaethau olynol wneyd yr un peth hyd ddiwedd y byd; *yn y pethau a grëwyf fi*—sef yn y greadigaeth newydd uchod. *Canys wele fi yn creu Jerusalem*—sef yr eglwys dan yr efengyl, *yn orfoledd*—yn ffynonell gorfoledd; *a'i phobl yn llawenydd*—bydd yr holl Gristionogion ynddi yn llawen eu hunain, ac yn achos o wir lawenydd i'r byd; nid llawenydd cnawdol a ffol, ond llawenydd ysbrydol, neu lawenydd yn yr Ysbryd Glân.

Adn. 19. *Gorfoleddaf hefyd yn Jerusalem*] Bydd llawenydd a dedwyddwch yr eglwys yn achos o orfoledd i Dduw ei hun; *a llawenychaf yn fy mhobl*—mewn gwneuthur daioni iddynt; neu yn ngwaith fy ngras ynddynt, ac yn y gweithredoedd cyfiawnder a wneir ganddynt hwythau. *Ac ni chlywir ynddi mwyach lais ŵylofain*—trwy y bydd ei hŵylofain wedi troi yn gân; *na llef gwaedd*—yn cael ei hachosi gan unrhyw elyn na gorthrymydd: gwel ar pen. xxv. 8, a xxxv. 10, a li. 3.

Adn. 20. *Ni bydd o hyny allan blentyn o oed*] Neu un yn marw dan oed, neu cyn dyfod i addfedrwydd oedran; *na henafgwr, yr hwn ni chyflawnodd ei ddyddiau*—yr hwn ni chyrhaeddodd y nifer hwnw o ddyddiau a fwriadodd Duw iddo: gwel ar Job xiv. 6. Y pryd hyny 'bydd i ddynion fyw hyd *dri* neu *bum cant* o flynyddau o oed, fel yn nyddiau y patrieirch.'—*Kimchi.* Ond gwel isod. *Canys y bachgen fydd marw yn fab canmlwydd*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'canys y neb fyddo marw yn fab canmlwydd a gyfrifir yn fachgen,' neu ddim ond megys bachgen o'i gymharu âg ereill. *Ond y pechadur yn fab canmlwydd*—yr hwn a fyddo marw yn ganmlwydd oed, *a felldithir*—a ystyrir fel wedi cael ei dori i lawr dan felldith, trwy iddo farw megys yn hanner ei ddyddiau. Yr wyf fi yn meddwl nad ydym i ddeall hyn yn hollol lythyrenol, mwy na'r hyn a ddywedir am y blaidd a'r llew yn adn. 25. Diamau y bydd rhai plant yn marw yn eu babandod yn ystod y milflwyddiant, a rhai ond odid yn y bru, fel yn y dyddiau presenol; ac y bydd ereill, heb fod yn bechaduriaid ysgeler, yn marw yn nghanol eu dyddiau. Eithr y meddwl yma yw, na fydd marwolaethau felly yn bethau mor gyffredin ag yn ein dyddiau ni; ac yr estynir oes dynion yn gyffredin lawer yn hwy nag yn y dyddiau hyn, er fe allai nad cyhyd ag y dywed *Kimchi* uchod. Y fath fydd dylanwad yr efengyl y pryd hyny, nes y bydd rhyfeloedd, llofruddiaethau, pechodau yn galw am gospau gwladol, ac annghymedroldeb, wedi darfod o'r tir; yr hyn, yn nghyda thawelwch y meddwl, llywodraeth dros y nwydau, cynydd y wybodaeth feddygol, a bendith *Duw* ar y cwbl, a raid beri gwellâd mawr yn nghyfansoddiad y corff dynol, ac a duedda yn fawr i estyn bywyd ragor yr hyn ydyw yn awr.

Adn. 21. *A hwy a adeiladant dai, ac a'u cyfaneddant*] A gânt fyw yn hir i drigiannu ynddynt eu hunain; *planant hefyd winllanoedd, a bwytânt eu ffrwyth*—hyny yw, cânt fyw yn ddigon hir i'w gweled yn tyfu ac yn ffrwytho, ac i fwynhau eu ffrwyth.

Adn. 22. *Nid adeiladant hwy, fel y cyfaneddo arall*] Yn y tŷ a adeiladasant, a hwythau wedi marw cyn eu hamser; *ac ni phlanant*—bren yn eu gwinllan, *fel y bwytao arall*—ffrwyth y pren hwnw, a hwythau yn y bedd er cyn iddo ddechreu ffrwytho. Y mae yn wir fod hyny yn cael ei fygwth i'r rhai anufydd, Deut. xxviii. 30; ond ni bydd felly i bobl ac etholedigion ufydd Duw yn ystod y milflwyddiant. *Eithr megys dyddiau pren y bydd dyddiau fy mhobl*—cyffelybir einioes dyn yn fynych i *ddail* yn gwywo ac yn syrthio mewn un flwyddyn, ïe mewn un diwrnod, Salm xxxvii. 2, a xc. 5, 6, Esay xl. 7, Iago i. 10, 1 Pedr i. 24; ond yma cyffelybir hi i'r *pren* ei hun, yr hwn sydd yn aros trwy yr holl flynyddau, er fod ei *ddail* yn syrthio yn ebrwydd. Y rheswm paham y cyffelybir eu hoes hwy yma i oes *pren* yw, am ei fod ef newydd fod yn son am blanu prenau, y rhai sydd gryfion a pharhaol ynddynt eu hunain, er fod eu dail yn frau a darfodedig. Nid oes yma un sail i dyb gyffredin yr esbonwyr, y bydd i bobl Dduw gael byw am *fil* o flynyddoedd fel y dderwen; neu am *ddwy fil* fel y cedrwŷdd, y cypreswŷdd, y terebinth, a'r banian; llai o lawer am *bum mil*, fel y pren *baobab** yn

---

* Dywed *Adanson*, iddo ef ganfod un o'r prenau hyn yn 30 troedfedd o dryfesur, ac yn 5150 mlwydd oed Y modd y daeth efe i wybod yr oedran hwn oedd trwy wneuthur egoriad yn y pren i ddyfnder penodol, yn yr hwn y cyfrifodd efe 300 o gylchau o dyfiad blynyddol, gan sylwi pa faint o drwch a ennillodd y goeden yn yr yspaid hwnw, a barnu yn ol hyny am yr hyn oedd ar ol. Yna efe a sicrhaodd gyfartaledd tyfiant coedydd ieuangach o'r un rhywogaeth, trwy yr hyn y gallodd efe wneyd y cyfrifiad uchod, os gallwn ei gredu ef. Dywed *De Condolle* am y pren enwog a elwir *Taxodium*, yn Chapultepec yn Mexico, yr hwn a fesura 117 troedfedd o amgylchedd, y gallai hwnw fod yn llawer hynach na'r un uchod. Eithr sonia diweddar amher-

pren *y bydd* dyddiau fy mhobl, a'm
hetholedigion a hir fwynhant waith
eu dwylaw.
23 Ni lafuriant yn ofer, ac ni
chenhedlant i drallod: canys had
rhai bendigedig yr Arglwydd *ydynt*
hwy, a'u hepil gyda hwynt.
24 A bydd cyn galw o honynt, i
mi ateb: ac a hwy eto yn llefaru,
mi a wrandawaf.
25 Y blaidd a'r oen a borant yn
nghyd; y llew fel ŷch a bawr wellt;
a'r sarff, llwch *fydd* ei bwyd hi: ni
ddrygant ac ni ddystrywiant yn fy
holl fynydd santaidd, medd yr Arglwydd.

## PENNOD LXVI.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd;
Y nef *yw* fy ngorseddfainc, a'r
ddaear *yw* lleithig fy nhraed: mae
y tŷ a adeiledwch i mi? ac mae y
fan y gorphwysaf?

---

Senegal: eithr y meddwl yw, y cânt fyw yn *hir:* hyny yw, bydd yn fwy priodol cymharu eu dyddiau hwynt i ddyddiau y *pren* ei hun, nag i ddyddiau ei *ddail* ef. Y mae genym rai siamplau o hir-hoedledd yn ein dyddiau ni; (gwel yr adfeddyliadau ar Salm xc.;) ond bydd felly yn gyffredin yn ystod y milflwyddiant. *A'm hetholedigion*—felly y gelwir holl aelodau yr eglwys yn mhob oes; gwel ar Eph. i. 4; *a hir fwynhant waith eu dwylaw*—cânt fyw yn hir i'w fwynhau, ac ni ddygir eu tai a'u gwinllanoedd oddiarnynt gan ormeswyr: gwel fy NARLITH i ar y *Milflwyddiant.*

Adn. 23. *Ni lafuriant yn ofer*] Fel y gwna y rhai hyny na chânt fwynhau gwaith eu dwylaw; *ac ni chenhedlant i drallod*—ni ydd i'w plant farw dan felldith, neu farw yn ieuainc, fel ag i beri trallod i'w rhieni: gwel ar adn. 20. *Canys had rhai bendigedig yr Arglwydd ydynt hwy*—yw y plant hyny, y rhai a fendithir er mwyn eu rhieni duwiol; *a'u hepil gyda hwynt*—sef eu plant hwythau, hyd filoedd o genedlaethau: gwel ar Exod. xx. 6. Bydd y rhieni trwy yr holl oesoedd yn fendith i'w plant, a'r plant yr un modd yn gysur i'w rhieni.

Adn. 24. *A bydd cyn galw o honynt*] Arnaf fi mewn gweddi; *i mi ateb*—trwy roddi iddynt yr hyn y bydd arnynt ei angen, er eu bod eto heb ofyn am dano: *ac a hwy eto yn llefaru*—wrthyf yn eu gweddiau eglwysig cyhoeddus, neu yn eu gweddiau teuluaidd, neu yn y weddi ddirgel; *mi a wrandawaf*—ac a roddaf iddynt y fendith ag y byddant yn ei gofyn, a hyny cyn i'r gynulleidfa ymwasgaru, neu cyn iddynt godi oddiar eu gliniau. Y mae hyn yn cael ei wireddu i raddau yn ein dyddiau ni, pan y mae y weddi yn cael ei gwneuthur mewn ffydd. Fel hyn y bu gyda Daniel, pen. ix. 20, 21; gyda'r apostolion ar ddydd y pentecost, Act. ii. 1, 2; a chyda Paul a Silas yn y carchar, Act. xvi. 25, 26; ac fel hyn y bydd yn gyffredinol yn ystod y milflwyddiant.

Adn. 25. *Y blaidd a'r oen a borant yn nghyd, &c.*] Hyny yw, bydd i ddynion ag oeddynt unwaith mor ysglyfaethus a bleiddiaid neu lewod, ddyfod i wledda ar fendithion yr iachawdwriaeth gyda'r rhai ag sydd mor ddiniwed a'r oen: gwel yr ymadroddion cyffelybiaethol hyn wedi eu hegluro yn fanwl yn y sylwadau ar pen. xi. 6—9. *A'r sarff, llwch fydd ei bwyd hi*—yr un modd a phan ei melldithiwyd gyntaf, Gen. iii. 14. Meddylir yn gyffredin mai yr ystyr yw, na fydd i ddiafol, 'yr hen sarff,' allu niweidio y saint mwyach, trwy ei fod yn cael ei sathru yn y llwch dan eu traed hwy; neu, y bydd y fath gyfnewidiad wedi cymeryd lle yn nghyflwr y dynion gwaethaf, a phe byddai i sarff wenwynig gael ei gwneuthur mor ddiniwed a'r pryf ag sydd yn ymborthi ar bridd y ddaear. Ond yr wyf fi yn meddwl mai amcan y geiriau yw dangos, er fod cyfnewidiad mawr er gwell wedi cymeryd lle yn nghyflwr y dynion gwaethaf, eto y bydd cyflwr yr hen sarff, yr hon yw diafol a Satan, yn aros yn ddigyfnewid yr un fath ag ar y dechre, sef dan effeithiau y ddedfryd wreiddiol. Nid i waredu yr angylion syrthiedig y bu farw Crist, ond i waredu dynion; 'canys ni chymerodd efe naturiaeth angylion, eithr had Abraham a gymerodd efe:' gwel ar Heb. ii. 16. *Ni ddrygant ac ni ddystrywiant*—hyny yw, ni fydd i'r dynion hyny ag oeddynt unwaith yn drygu ac yn dystrywio fel bleiddiaid a llewod, wneuthur hyny mwyach; *yn fy holl fynydd santaidd*—sef yn yr eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf: gwel ar pen. xi. 9.

PEN. LXVI. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Brenin mawr yr holl fydysawd; *Y nef yw fy ngorseddfainc*—neu eisteddle fy llywodraeth a'm gogoniant; *a'r ddaear yw lleithig fy nhraed*—neu '*le* fy nhraed;' Saes., 'a'r ddaear yw fy *nhroedfainc.*' Y meddwl yw, fod JEHOFA mor fawr, goruchel, a gogoneddus, fel nas gallai un tŷ a adeiledid ar y ddaear fod yn ddigon helaeth a mawreddog iddo ef gynal ei lys ynddo; ïe, nad oedd y ddaear oll ddim ond mainc i'w draed ef. *Mae y tŷ a adeiledwch i mi*—pan nas gall 'y nefoedd, a nefoedd y nefoedd, fy nghynwys?' gwel ar 1 Bren. viii. 27. *Ac mae y fan y gorphwysaf?*—tybia *Lowth* fod y geiriau hyn yn cyfeirio at amser adgyweiriad y deml gan Herod, pryd yr oedd yr Iuddewon beilchion

---

awdwr China, yn ei bryddest glodfawr a elwir *Eloge de Moukden*, am bren yn China, a elwir y 'pren anfarwol,' ag sydd wedi cyraedd yr oedran mawr o 10,000 o flynyddoedd, yr hwn y dywedir ei fod eto yn ei gyflawn nerth! Ond diamau fod cryn ormodiaith yn y cyfrifiad hwn o eiddo y Chineaid, yr un modd ag yn eu cyfrifiad gwyllt hwy o oed y byd; canys byddai i'r cyfrifiad hwn wneyd y pren uchod 4,000 o flynyddoedd yn hynach nag Adda, pe buasai efe yn fyw hyd heddyw!

2 Canys *y pethau* hyn oll a wnaeth fy llaw, a *thrwyof fi* y mae hyn oll, medd yr Arglwydd: ond ar hwn yr edrychaf, *sef* ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, ac sydd yn crynu wrth fy ngair.

3 Yr hwn a laddo ŷch, *sydd fel* yr hwn a laddo ŵr; yr hwn a abertho oen, *sydd fel* yr hwn a dorfynyglo gi; yr hwn a offrymo offrwm, *sydd fel ped offrymai* waed moch; yr hwn a arogl-dartho thus, *sydd fel pe* bendigai eilun: ïe, hwy a ddewisasant eu ffyrdd eu hun, a'u henaid a ymhyfrydodd yn eu ffieidd-dra.

4 Minau a ddewisaf eu dychymygion hwynt, ac a ddygaf arnynt yr hyn a ofnant: am alw o honof, ac nid *oedd* a atebai; llefarais, ac ni wrandawsant: eithr gwnaethant yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg, a'r hyn nid oedd dda genyf a ddewisasant.

5 ¶ Gwrandewch air yr Arglwydd, y rhai a grynwch wrth ei air ef; Eich brodyr y rhai a'ch casasant, *ac* a'ch gyrasant ar encil er mwyn fy enw i, a ddywedasant, Gogonedder yr Arglwydd: eto, i'ch llawenydd chwi y gwelir ef, a hwy a waradwyddir.

6 Llef soniarus o'r ddinas, llef

---

yn meddwl eu bod yn codi tŷ ag ydoedd drigfa *addas* i JEHOFA: gwel ar Ioan ii. 20.

Adn. 2. *Canys y pethau hyn oll a wnaeth fy llaw*] Sef y nefoedd a'r ddaear, a phob peth ynddynt; *a thrwyof fi y mae hyn oll*—'ac eiddof fi yw hyn oll.'—LXX. *Ond ar hwn yr edrychaf*—yn fwy nag ar eich teml chwi; neu, ar hwn yr edrychaf o hyn allan, ar ol i'r hen oruchwyliaeth roddi lle i'r newydd; *sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd*—yr hwn y mae ei ysbryd wedi ei ddryllio gan wir edifeirwch am iddo bechu yn fy erbyn i; *ac sydd yn crynu wrth fy ngair*—wrth glywed fy mygythion yn fy ngair; neu sydd yn derbyn pob datguddiad o'm hewyllys yn ostyngedig, parchus, a chydag ofn santaidd.

Adn. 3. *Yr hwn a laddo ŷch*] Yn aberth, ar ol i Grist gael ei ladd yn aberth dros bechod; *sydd fel yr hwn a laddo ŵr*—yn aberth, neu sydd mor ffiaidd a llofrudd yn ngolwg Duw. *Yr hwn a abertho oen*—ar ol i Grist, Oen Duw, gael ei aberthu; *sydd fel yr hwn a dorfynyglo gi*—yn aberth, yr hwn a aberthid felly yn fynych gan y cenhedloedd, ac a ffieiddid yn fawr gan yr Iuddewon. *Yr hwn a offrymo offrwm*—sef diod-offrwm neu fwyd-offrwm perthynol i'r wasanaeth Iuddewig; *sydd fel ped offrymai waed moch*—sydd yr un mor ffiaidd a hyny yn ngolwg Duw, pen. lxv. 4. *Yr hwn a arogl-dartho thus*—i'r un dyben ag y gwneid hyny dan yr hen oruchwyliaeth; *sydd fel pe bendigai eilun*—sydd fel ped addolai eilun, neu fel ped anrhydeddai eilun âg offrymau ac anrhegion. Er mai Duw ei hun a sefydlodd yr aberthau a'r offrymau hyn yn mhlith yr Iuddewon, fel cysgodau o bethau gwell i ddyfod, ac i barhau hyd offrymiad corff Crist; eto, gan y mynai yr Iuddewon *barhau* y cysgodau hyny ar ol i Grist ei aberthu ei hun, a hyny mewn gwrthodiad o Grist a'i aberth, yr oeddynt yn ffiaidd ac atgas yn ngolwg Duw, fel y dywedir uchod. Ond y mae *Lowth*, *Noyes*, ac ereill, yn cyfieithu y wreiddiol yn fwy llythyrenol, fel hyn: 'Yr hwn a laddo ŷch, a ladd ŵr; yr hwn a abertho oen, a dorfynygla gi,' &c., neu a dora ymaith ei ben ef i'w aberthu. Yma gwelwn eu bod yn gadael allan yr holl eiriau llanw o'r adnod hon, y rhai a ddodwyd i mewn yn ein cyfieithiad ni mewn llythyrenau *Italaidd*. Yr ystyr felly yw, fod yr Iuddewon hyn yn rhagrithiol iawn, ac yn addoli *eilunod* ar yr un pryd ag yr addolent *Dduw*: hyny yw, tra yr oeddynt yn rhoddi y sabboth, neu un ran o'r dydd, i aberthu, offrymu, ac arogl-darthu i Dduw y nefoedd; eu bod yn rhoddi y rhan arall i aberthu cŵn a moch, ïe i aberthu eu *meibion*, i'w heilunod: gwel ar Ezec. xxiii. 39. Modd bynag, y mae y LXX, y *Vulgate*, y *Galdeaeg*, a'r rhan fwyaf o'r berniaid, yn pleidio yr ystyr blaenaf. *Ie, hwy a ddewisasant eu ffyrdd eu hun*—o fucheddu ac addoli; *a'u henaid a ymhyfrydodd yn eu ffieidd-dra*—yr oeddynt wrth eu bodd yn y cyflawniad o'r pechodau uchod, er eu bod trwy hyny yn fy nigio ac yn fy nirmygu i!

Adn. 4. *Minau a ddewisaf eu dychymygion hwynt*] I fod yn foddion neu reol eu cosp; neu, gan iddynt hwy ddewis fy ngwawdio a'm dirmygu i trwy eu dychymygion, minau a ddewisaf eu rhoddi hwythau i fyny i'w dychymygion hyny, neu i gael eu cospi am eu dychymygion. *Ac a ddygaf arnynt yr hyn a ofnant*—sef y gosp a ofnant. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn ninystr eu dinas, eu teml, a'u gwladwriaeth. Gan iddynt hwy groeshoelio Crist rhag *ofn* y Rhufeiniaid, Ioan xi. 48, cospwyd y pechod hwnw trwy eu dinystrio hwy gan y Rhufeiniaid. *Am alw o honof*—arnynt, trwy fy ngweision, i gredu yn fy Mab; *ac nid oedd a atebai*—neb ond rhyw ychydig yn unig: *llefarais*—trwy weinidogaeth y Bedyddiwr, Crist, a'i apostolion; *ac ni wrandawsant*—oll fel cenedl: *eithr gwnaethant yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg*—sef ymlynu wrth y seremonïau, hyd yn nod ar ol iddynt gael eu dirymu, adn. 3, Eph. ii. 15; *a'r hyn nid oedd dda genyf a ddewisasant*—yr un modd a'u tadau, pen. lxv. 3, 12.

Adn. 5. *Gwrandewch air yr Arglwydd*] Er eich cysur a'ch calondid, *y rhai a grynwch wrth ei air ef*—gwel ar adn. 2. Tybia *Grotius* fod hyn yn cael ei ddywedyd wrth yr Iuddewon duwiol, y rhai a bleidient Onïas yn amser Antiochus Epiphanes; ond y mae yn debycach, fel y sylwa *Vitringa* ac ereill, ei fod yn cael ei gyfeirio at apostolion a chanlynwyr yr Arglwydd Iesu yn amser eu herledigaeth gan

o'r deml, llef yr Arglwydd yn talu
y pwyth i'w elynion.
7 Cyn ei chlafychu yr esgorodd;
cyn dyfod gwewyr arni y rhyddha-
wyd hi ar fab.
8 Pwy a glybu y fath beth a hyn?
pwy a welodd y fath bethau a hyn?
A wneir i'r ddaear dyfu mewn un
dydd? a enir cenedl *ar* unwaith?
Pan glafychodd Seion, yr esgorodd
hefyd ar ei meibion.
9 A ddygaf fi i'r enedigaeth, ac
oni pharaf esgor? medd yr Ar-
glwydd: a baraf fi esgor, ac a ludd-
iaf? medd dy Dduw.
10 Llawenhewch gyda Jerusalem,
a byddwch hyfryd gyda hi, y rhai
oll a'i cerwch hi: llawenhewch
gyda hi yn llawen, y rhai oll a aler-
wch o'i phlegid hi.
11 Fel y sugnoch, ac y'ch diwall-
er â bronau ei dyddanwch hi; fel y
godroch, ac y byddoch hyfryd gan
helaethrwydd ei gogoniant hi.
12 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd; Wele, mi a estynaf iddi

---

yr Iuddewon annghrediniol. *Eich brodyr*—dynion o'r un genedl a chwi eich hunain; *y rhai a'ch casasant, ac a'ch gyrasant ar encil*—allan o'u synagogau, eu dinasoedd, a'u gwlad; *er mwyn fy enw i*—o herwydd eich ymlyniad wrthyf fi a'm hachos; *a ddywedasant, Gogonedder yr Arglwydd*—hyny yw, proffesent eich casâu a'ch diarddel chwi er gogoniant i Dduw, gan dybied eu bod trwy hyny yn 'gwneuthur gwasanaeth i Dduw,' Ioan xvi. 2. *Eto, i'ch llawenydd chwi y gwelir ef*—bydd i hyn oll droi yn y diwedd er lles a llawenydd i chwi; *a hwy a waradwyddir*—cyflawnwyd hyn yn hollol yn amser dinystr Jerusalem: gwel ar Mat. xxiv. 7, &c., Luc xxi. 26—28.

Adn. 6. *Llef soniarus o'r ddinas*] Neu 'lef swniog.' Cyfeiria hyn yn ddiamau at y trwst a'r terfysg a gymerai le yn Jerusalem ar ruthriad y fyddin Rufeinig i'w dinystrio hi. *Llef o'r deml*—oddiwrth y rhai a leddid yno: gwel ar Mat. xxiv. 26. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at y llef a glywsai yr offeiriaid yn y deml ar noson gŵyl y pentecost, megys llef tyrfa yn gwaeddi, 'Ymadawn oddiyma!' gwel ar Mat. xxiv. 7. *Llef yr Arglwydd*—felly y gelwir y ddwy lef flaenorol, sef llef ei farnedigaethau ef; *yn talu y pwyth i'w elynion*—sef i'r Iuddewon annghrediniol, am iddynt groeshoelio ei Fab ef, ac erlid ei ganlynwyr, adn. 5.

Adn. 7. *Cyn ei chlafychu yr esgorodd*] Yr esgorodd Seion, neu yr eglwys Gristionogol, yr hon a gyffelybir yn fynych i fam teulu lluosog. *Cyn dyfod gwewyr arni*—hyny yw, yn ebrwydd, sydyn, ac annysgwyliadwy; *y rhyddhawyd hi ar fab*—enwir *mab*, am ei fod yn achos o fwy o lawenydd yn mhlith y dwyreinwyr i wraig esgor ar *fab*, nag esgor ar *ferch*. Y mae *Vitringa* yn cymhwyso hyn at Cystenyn, ac at yr athronwyr, yr areithwyr, a'r seneddwyr enwog a ddygwyd yn fore i eglwys Crist. Y mae y gair gwreiddiol yn arwyddo *gwryw*, a'i yn rhagddangos y byddai meibion Seion yn rhai *gwrol a chryfion* o blaid crefydd, ac yn enwog mewn ffydd a duwioldeb. Ar ol bod yn son am ddinystr yr eglwys Iuddewig, yr oedd yn angenrheidiol crybwyll yma am gynydd a llwyddiant ebrwydd yr eglwys Gristionogol, i'r dyben i gysuro y credinwyr hyny a grynent wrth ei air ef, adn. 5.

Adn. 8. *Pwy a glybu y fath beth a hyn*] Eni y fath nifer o blant ysbrydol yn yr eglwys mor sydyn, a hyny fel pe byddai cyn iddi glafychu? *Pwy a welodd y fath bethau a hyn*—mewn unrhyw oes, neu dan unrhyw oruchwyliaeth? *A wneir i'r ddaear dyfu mewn un dydd*—neu gynyrchu ei blagur, ei blodau, a'i ffrwyth ar unwaith? *A enir cenedl ar unwaith?*—fel pe dywedasai, Y mae yr amgylchiad hwn mor hynod a phe byddai i'r ddaear gynyrchu cnwd o ffrwythau addfed yn yr un dydd ag yr ymddanghosa yr egin gyntaf; neu mor ddyeithr a phe byddai i genedl gael ei geni ar unwaith, ac ymddangos gerbron y byd yn mherffeithrwydd ei hoedran, ei chyfreithiau, ei sefydliadau, a'i mawredd, a hyny o fewn corff diwrnod! *Pan glafychodd Seion*—yn yr adnod o'r blaen dywedir, '*cyn ei chlafychu*,' yr hyn a all fod yn cyfeirio at ddychweliad y CENHEDLOEDD i eglwys Dduw cyn iddi hi wneyd ymdrech i'w cael hwynt i mewn; ond dywedir yma, '*pan glafychodd*,' i arwyddo ei hiraeth a'i gweddi hi am ddychweliad yr IUDDEWON fel corff. *Yr esgorodd hefyd ar ei meibion*—ei phlant neu ei 'changhenau naturiol,' Rhuf. xi. 21—24. Cyfeirir yma at ddygiad Israel fel cenedl i eglwys Crist.

Adn. 9. *A ddygaf fi i'r enedigaeth, ac oni pharaf esgor?*] A fydd i mi, yr hwn a genhedlais, attal yr esgoriad? *A baraf fi esgor, ac a luddiaf?*—a fydd i mi ddechreu y gwaith o ddychweliad yr Iuddewon i eglwys y Testament Newydd, ac yna ei rwystro?

Adn. 10. *Llawenhewch gyda Jerusalem*] Sef gyda'r eglwys, wrth weled fod dyddiau ei galar o herwydd ei hanffrwythlonder wedi darfod; *y rhai oll a'i cerwch hi*—ei holl gyfeillion trwy yr holl ddaear: *llawenhewch gyda hi yn llawen*—mewn llawenydd mawr, *y rhai oll a alerwch o'i phlegid hi*—sef y rhai a alarent gynt oblegid ei diepiledd.

Adn. 11. *Fel y sugnoch, ac y'ch diwaller â bronau ei dyddanwch hi*] Sef â didwyll laeth y gair, addewidion ac athrawiaethau yr efengyl, ac ordinhadau y cysegr, â'r rhai y dyddana Seion ei phlant. *Fel y godroch*—neu y sugnoch yn helaeth; *ac y byddoch hyfryd gan helaethrwydd ei gogoniant hi*—neu gan amlder ei bendithion gogoneddus, a'i chysuron ysbrydol.

Adn. 12. *Wele, mi a estynaf iddi heddwch fel afon*] Sef llwyddiant a daioni o bob math,

heddwch fel afon, a gogoniant y
Cenhedloedd fel ffrwd lifeiriol: yna
y sugnwch, ar ei hystlys *hi* y'ch
dygir, ac ar ei gliniau y'ch dyddenir.
13 Fel un yr hwn y dyddana ei
fam ef, felly y dyddanaf fi chwi, ac
yn Jerusalem y'ch dyddenir.
14 A phan weloch *hyn*, y llawen-
ycha eich calon; eich esgyrn hefyd
a flodeuant fel llysieuyn: ac fe ad-
waenir llaw yr Arglwydd tuag at ei
weision, a'*i* lidiogrwydd wrth ei
elynion.
15 Canys wele yr Arglwydd a
ddaw â thân, ac â'i gerbydau fel tro-
wynt, i dalu ei ddigter â llidiog-
rwydd, a'i gerydd â fflamau tân.
16 Canys yr Arglwydd a ym-
ddadleu â thân ac â'i gleddyf yn er-
byn pob cnawd; a lladdedigion yr
Arglwydd fyddant aml.
17 Y rhai a ymsanteiddiant, ac a
ymlanhant yn y gerddi, yn ol eu
gilydd, yn y canol, gan fwyta cig
moch, a ffieidd-dra, a llygod, a gyd-
ddiweddir, medd yr Arglwydd.
18 Canys mi *a adwaen* eu gweith-
redoedd hwynt a'u meddyliau: y
mae yr *amser* yn dyfod, i gasglu yr
holl genhedloedd a'r ieithoedd; a
hwy a ddeuant, ac a welant fy ngo-
goniant.

---

y rhai a ddylifant iddi yn helaeth a pharhaus; *a gogoniant y Cenhedloedd fel ffrwd lifeiriol*—bydd i ddychweledigion o blith y Cenhedloedd ddylifo i'r eglwys yn barhaus, gan ddwyn eu cyfoeth a'u dylanwad i'w chynorthwyo hi: gwel ar pen. lx. 5. *Yna y sugnwch*—eich gwala o fronau dyddanwch Seion. *Ar ei hystlys hi y'ch dygir*—fel plant yn cael eu cario ar ystlys eu mamau; *ac ar ei gliniau y'ch dyddenir*—gyda thynerwch a serch mawr, pen. lx. 4.

Adn. 13. *Fel un yr hwn y dyddana ei fam ef*] Fel baban egwan a hoff, yr hwn y byddo ei fam yn ei amgeleddu gyda'r tynerwch mwyaf; *felly y dyddanaf fi chwi*—â bronau eich mam. Neu, bydd i mi nid yn unig arfer rhesymau i'ch dyddanu, fel y gwna tad tyner â'i blentyn trallodus; ond hefyd amlygu y tosturi a'r anwyldeb mwyaf, fel y gwna mam garuaidd tuag at ei baban egwan. *Ac yn Jerusalem y'ch dyddenir*—sef yn yr eglwys, neu gyda'i breintiau a'i hordinhadau hi.

Adn. 14. *A phan weloch hyn*] Sef cyflwr dedwydd yr eglwys, a'ch dedwyddwch eich hunain ynddi hi; *y llawenycha eich calon*—gwel ar adn. 10: *eich esgyrn hefyd a flodeuant fel llysieuyn*—neu a wneir yn iraidd a chryfion, fel llysieuyn a fyddo yn blodeuo gan ireidd-dra a chryfder. Y mae yr Iuddewon yn awr fel esgyrn sychion ar wyneb y dyffryn; ond y pryd hyny gwisgir hwynt â gïau, cig, a chroen, a rhoddir anadl ynddynt fel y byddont byw: gwel ar Ezec. xxxvii. 1—6. *Ac fe adwaenir llaw yr Arglwydd tuag at ei weision, &c.*—gwelir y pryd hyny ei fod ef yn gadarn i amddiffyn ei bobl, ac i ddial ar ei elynion; a gwybyddir yn eglur mai ei law ef fydd yn y drugaredd a'r gosp.

Adn. 15. *Canys wele yr Arglwydd a ddaw â thân*] Neu â digofaint megys tân; *ac â'i gerbydau fel trowynt*—hyny yw, bydd offerynau ei ddialedd ef yn rhai cyflym a nerthol, fel cerbydau rhyfel neu gorwynt; *i dalu ei ddigter â llidiogrwydd*—i gospi ei elynion â barnedigaethau angherddol; *a'i gerydd â fflamau tân*—neu i'w ceryddu hwynt â chosp mor anoddefadwy a thân: gwel ar 2 Thes. i. 8, 9.

Adn. 16. *Canys yr Arglwydd a ymddadleu â thân ac â'i gleddyf*] Neu trwy farnedigaethau dinystriol a fyddant mor angeuol a thân neu gleddyf; *yn erbyn pob cnawd*—neu bob un o'i elynion cnawdol a llygredig: *a lladdedigion yr Arglwydd fyddant aml*—ac felly y byddant, os yw hyn yn cyfeirio at ddydd y farn ddiweddaf, fel y tybia *Barnes* ac ereill. Ond tybia ereill mai at ddinystr yr Iuddewon annghrediniol gan y Rhufeiniaid y cyfeirir yma, pryd yr oedd y lladdedigion yn aml yn wir: gwel ar Deut. xxviii. 62—68.

Adn. 17. *Y rhai a ymsanteiddiant ac a ymlanhant*] Yn ol defodau eilunaddolgar y cenhedloedd; *yn y gerddi*—lle yr arferent aberthu, pen. lxv. 3, a lle yr oedd ganddynt lynoedd neu ffynnonau at y ddefod o buredigaeth; *yn ol eu gilydd, yn y canol*—sef yn olynol, neu bob yn ail, fe allai; neu y naill mewn efelychiad o'r llall; Saes, 'tu ol i un pren yn y canol,' sef yn nghanol yr ardd. Y wreiddiol yw *achar achad*, yr hyn a all arwyddo, 'yn ol dull Achad,' yr hwn a all fod yn enw ar eu duw hwynt, ac a dybir gan rai i fod yr un a Jupiter neu yr haul. Amcan yr adnod hon yw darlunio y pechodau hyny am ba rai y cospid y rhai y cyfeirir atynt yn adn. 16. *Gan fwyta cig moch*—gwel ar pen. lxv. 4; *a ffieidd-dra*—unrhyw fwydydd ereill a waherddid yn nghyfraith Moses; *a llygod*—ond odid 'llygod y maes,' y rhai oeddynt yn dra niweidiol i'r cnydiau, Lef. xi. 29, 1 Sam. vi. 4, &c.; er y tybia rhai mai math ar *sarff* a feddylir. Diamau eu bod yn bwyta y rhai hyn ar ol eu hoffrymu yn gyntaf i'w duwiau. *A gyd-ddiweddir*—trwy y barnedigaethau ag y cyfeiriwyd atynt uchod, adn. 15, 16.

Adn. 18. *Canys mi a adwaen eu gweithredoedd hwynt a'u meddyliau*] Ofergoelus, eilunaddolgar, a drygionus. *Y mae yr amser yn dyfod i gasglu yr holl genhedloedd a'r ieithoedd*—naill ai i gael eu cospi am eu drygioni, neu i fod yn dystion o gosp ereill, neu i eglwys Dduw yn lle yr Iuddewon. Tybia rhai fod y cenhedloedd hyn yn golygu y gwahanol bobloedd a wnaent i fyny fyddin y Rhufeiniaid, neu y gwahanol ddyeithriaid ag oeddynt yn Jerusalem ar y pryd. *A hwy a ddeuant, ac*

19 A gosodaf yn eu mysg ar-
wydd, ac anfonaf y rhai diangol o
honynt at y Cenhedloedd, *i* Tarsis,
Affrica, a Lydia, y rhai a dynant
mewn bwa, *i* Italia, a Groeg, *i'r* yn-
ysoedd pell, y rhai ni chlywsant
son am danaf, ac ni welsant fy ngo-
goniant; a mynegant fy ngogoniant
yn mysg y Cenhedloedd.
20 A hwy a ddygant eich holl frodyr
o blith yr holl genhedloedd, yn off-
rwm i'r Arglwydd, ar feirch, ac ar
gerbydau, ac ar elorau meirch, ac
ar fulod, ac ar anifeiliaid buain, i'm
mynydd santaidd Jerusalem, medd
yr Arglwydd, megys y dwg meib-
ion Israel offrwm mewn llestr glân
*i* dŷ yr Arglwydd.
21 Ac o honynt hwy y cymeraf
*rai* yn offeiriaid ac yn Lefiaid, medd
yr Arglwydd.
22 Canys megys y saif ger fy
mron y nefoedd newydd a'r ddaear
newydd, y rhai a wnaf fi, medd yr
Arglwydd, felly y saif eich had
chwi, a'ch enw chwi.
23 Bydd hefyd o newydd-loer i
newydd-loer, ac o sabboth i sabboth,

---

*a welant fy ngogoniant*—naill ai yn ei gospedigaethau ef ar yr annuwiol, neu yn ei ras a'i drugaredd i'r duwiol.

Adn. 19. *A gosodaf yn eu mysg arwydd*] Y mae yn dra thebyg fod yr adnod flaenorol yn cyfeirio at ddinystr Jerusalem; a gall fod yr *arwydd* hwn yn meddwl yr un peth ag 'arwydd Mab y dyn,' Mat. xxiv. 30, neu ryw arwydd i'r Cristionogion ffoi o'r ddinas; er y tybia rhai ei fod yn meddwl pregethiad yr efengyl gan yr apostolion, yn nghyda'r gwyrthiau a ddylynent hyny. *Ac anfonaf y rhai diangol o honynt at y Cenhedloedd*—i bregethu yr efengyl iddynt hwythau, ac i'w cymhell i eglwys Crist. *I Tarsis*—lle ond odid yn yr India Ddwyreiniol, 1 Bren. x. 22, neu *Tartessus* yn yr Hispaen, pen. xxiii. 1. *Affrica*—neu '*Pul*,' fel y mae yn y Saesonaeg: ond tybia y rhan fwyaf mai *Affrica* a feddylir; ac ereill mai *Philæ*, ynys fawr yn y Nilus, rhwng yr Aifft ac Ethiopia. *A Lydia*—yn Asia Leiaf, fe allai; er y tybia Bochart mai Abyssinia a feddylir, a Calmet mai lle arall yn yr Aifft. *Y rhai a dynant mewn bwa*—arwydda y geiriau hyn fod y cenhedloedd uchod yn rhai medrus i saethu á bwa. *I Italia a Groeg*—dwy wlad dra adnabyddus, y rhai a dderbyniasant yr efengyl yn fore iawn. Y Saesonaeg yw, '*Tubal* a *Javan*;' ond addefir yn gyffredin mai yr Eidal a gwlad y Groegiaid a feddylir. *I'r ynysoedd pell, y rhai ni chlywsant am danaf*—diamau fod Brydain Fawr a'r Iwerddon yn cael eu cynwys yma; *ac ni welsant fy ngogoniant*—fel yr amlygwyd ef i'r Iuddewon trwy y gyfraith a'r proffwydi. *A mynegant fy ngogoniant*—sef golud ei ogoniant yn Nghrist Iesu, neu fawredd ei allu, ei gariad, a'i ras; *yn mysg y Cenhedloedd*—trwy 'bregethu yr efengyl i bob creadur,' Marc xvi. 15.

Adn. 20. *A hwy a ddygant eich holl frodyr o blith yr holl genhedloedd*] Sef eich brodyr yn Nghrist, Gal. iii. 28, neu had ysbrydol Abraham; *yn offrwm i'r Arglwydd*—nid yn offrwm neu aberth gwaedlyd, ond yn 'aberth byw, santaidd, cymeradwy gan Dduw,' Rhuf. xii. 1, a xv. 16. *Ar feirch*—cyfeirir yma at y gwahanol foddau o ymdaith ag oeddynt arferedig y pryd hyny. Er nad oedd meirch yn cael eu defnyddio yn gyffredin gan yr Iuddewon, eto yr oeddynt mewn bri mawr gan y Cenhedloedd, am y rhai y sonir yma. *Ac ar gerbydau*—nid cerbydau âg olwynion iddynt, fel cerbydau rhyfel, canys ni ddefnyddid rhai felly wrth deithio; eithr math ar gludai, neu *sedan*, yn cael ei gario rhwng dau anifel, un yn mlaen a'r llall yn ol. *Ac ar elorau meirch*—meddylir mai dau gawell oedd y rhai hyn, un o bob ochr i'r anifel. *Ac ar fulod*—creaduriaid cymysgryw digon adnabyddus: gwel ar Gen. xxvi. 24. *Ac ar anifeiliaid buain*—sef y math lleiaf a chyflymaf o gamelod, a elwid *dromedaries*, pen. lx. 6. *I'm mynydd santaidd Jerusalem*—sef i'r eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd Jerusalem yn gysgod. *Megys y dwg meibion Israel offrwm mewn llestr glân i dŷ yr Arglwydd*—y meddwl yw, y byddai y dychweledigion uchod o blith y Cenhedloedd yn bobl bur a santaidd, fel yr oedd llestri y deml gynt.

Adn. 21. *Ac o honynt hwy*] Y Cenhedloedd uchod; *y cymeraf rai yn offeiriaid ac yn Lefiaid*—i weinidogaethu yn yr eglwys Gristionogol, fel y gwnai yr offeiriaid a'r Lefiaid gynt yn yr eglwys Iuddewig. Er y byddant oll mewn un ystyr yn 'frenhinoedd ac yn offeiriaid i Dduw,' Dat. i. 6; eto *rhai* yn unig a gânt yr anrhydedd o fod yn offeiriaid yn yr ystyr ag y cyfeirir ato yma. Duw sydd yn dewis ac yn galw dynion i waith santaidd y weinidogaeth, ac yn eu cymhwyso ac yn eu donio hwy at eu gwaith.

Adn. 22. *Canys megys y saif ger fy mron*] Yn ddigoll a digyfnewid hyd ddiwedd y byd; *y nefoedd newydd a'r ddaear newydd*—sef yr eglwys Gristionogol, yr hon a ddaeth i mewn yn lle yr eglwys Iuddewig, neu y cyflwr newydd hwnw o eiddo yr eglwys dan oruchwyliaeth yr efengyl; gwel ar pen. lxv. 17, 18: *felly y saif eich had chwi*—fel olyniad parhaus a didor o gredinwyr yn yr eglwys newydd hono; *a'ch enw chwi*—sef yr enw newydd o 'Gristionogion:' gwel ar pen. lxv. 15.

Adn. 23. *Bydd hefyd o newydd-loer i newydd-loer*] Hwn sydd ymadrodd perthynol i'r oruchwyliaeth Iuddewig, yn cael ei arfer am bethau dan yr oruchwyliaeth Gristionogol: gwel ar pen. lvi. 7. Y meddwl ond odid yw, y byddai gŵyliau penodol i addoli Duw yn cael eu cynal dan yr efengyl, yn debyg i'r hyn ydoedd dan y gyfraith. Ac oni wneir hyn, er fe allai nad mor berffaith ag y dylid, yn holl

i bob cnawd ddyfod i addoli ger fy
mron i, medd yr Arglwydd.
24 A hwy a ânt allan, ac a edrych-
ant ar gelanedd y rhai a wnaethant
gamwedd i'm herbyn: canys eu
pryf ni bydd marw, a'u tân ni ddi-
ffydd; a byddant yn ffieidd-dra gan
bob cnawd.

---

eglwysi a chapeli ein gwlad? *Ac o sabboth i sabboth*—sef bob sabboth. Y mae yr ŵyl hon o rwymedigaeth dragwyddol: gwel ar pen. lviii. 13; ac yn rhagori ar y gyntaf yn hyn, ei bod wedi ei chorffori yn y ddeddf *foesol*, Exod. xx. 8—11, tra mai y gyfraith *seremonïol* a orchymynai y llall, Num. x. 10, a xxviii. 11. *I bob cnawd ddyfod i addoli ger fy mron i*—yn y gwahanol leoedd o addoliad trwy yr holl fyd. Dan yr hen oruchwyliaeth, nid oedd neb ond yr Iuddewon i fyned i'r gwyliau arbenig yn Jerusalem; ac o honynt hwythau nid oedd neb ond y gwrywod yn rhwym o fyned: eithr dan yr efengyl y mae 'pob cnawd' i ymddangos gerbron Duw; y Cenhedloedd yn gystal a'r Iuddewon, y gwragedd yn gystal a'r gwŷr.

Adn. 24. *A hwy a ânt allan*] Sef yr addolwyr duwiol uchod; *ac a edrychant ar gelanedd y rhai a wnaethant gamwedd i'm herbyn*—sef 'lladdedigion yr Arglwydd,' adn. 16. *Canys eu pryf ni bydd marw, a'u tân ni ddiffydd*—meddylir fod y gyffelybiaeth yma wedi ei chymeryd oddiwrth y *tân* yn 'nyffryn meibion Hinnom,' pen. xxx. 33, Mat. v. 22; neu ynte oddiwrth gyrff dynion yn gorwedd yn bentyrau ar faes y frwydr, lle y mae *pryfed* neu *gynrhon* yn magu yn eu celaneddau braenedig, a *thân* yn cael ei gyneu wedi hyny i ddifa y cyfryw gelaneddau llygredig. Defnyddia ein Harglwydd y geiriau hyn i osod allan gosp dragwyddol yr annuwiolion yn uffern, Marc ix. 44; ond gyda hyn o wahaniaeth, fod pryf y wlad anobeithiol hòno yn *anfarwol*, a'i thân yn *anniffoddadwy*; tra nad yw pryf a thân maes y frwydr ond o *fyr barhad*. Ond gan y dywedir yma hefyd na fydd i'r pryf farw, nac i'r tân ddiffodd, tybia rhai mai at gosp dragwyddol y colledigion y cyfeirir yn benaf yn yr adnod hon. *A byddant yn ffieidd-dra gan bob cnawd*—hyny yw, bydd i'r ystyriaeth o'u diwedd hwynt beri i bawb a'u gwelo ffieiddio eu ffyrdd annuwiol hwy yn eu bywyd, rhag syrthio o honynt hwythau i'r un trueni a hwy yn eu marwolaeth, neu ar ol marw.

---

# LLYFR Y PROFFWYD JEREMI.

---

Ystyr yr enw *Jeremi, Jeremiah*, neu *Jeremias*, yw '*cyfodedig* neu *benodedig gan Dduw*.' Yr oedd y proffwyd hwn o'r llin offeiriadol, ac yn fab i Hilciah, un o'r offeiriaid a gyfaneddent yn Anathoth, dinas offeiriadol yn llwyth Benjamin, oddeutu tair milldir yn ogleddol o Jerusalem, Jos. xxi. 18. Efe a ddechreuodd broffwydo yn ieuanc iawn, pan yn 14 mlwydd oed yn ol rhai, ac yn mhen oddeutu 75 mlynedd ar ol marwolaeth Esay. Galwyd ef i'r gwaith hwn yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah, o.b. 3375, a 629 o flynyddau cyn Crist; a pharhaodd i broffwydo dan deyrnasiad drygionus Joachaz, Joacim, Joacin, a Zedeciah; ac yr oedd efe yn cydoesi âg Ezeciel, Daniel, Habaccuc, a Sephaniah. Bu am fwy na 40 mlynedd yn cyhoeddi barnedigaethau Duw yn erbyn ei gydwladwyr eilunaddolgar, a hyny gyda dwysder a ffyddlondeb mawr, fel y cawn weled yn nghorff ei lyfr; sef hyd ddinystr Jerusalem gan y Caldeaid, o.b. 3416. Ar ol i Jerusalem gael ei dinystrio, ac i'r rhan fwyaf o'r Iuddewon gael eu caethgludo i Babilon, aeth Jeremi at Gedaliah i Mispah, pen. xl. 6, &c., 2 Bren. xxv. 22—26; ac ar ol i Gedaliah gael ei ladd, efe a aeth gyda'r gweddill o'r Iuddewon i waered i'r Aifft; ac yno, yn Tapanhes, y llabyddiwyd ef i farwolaeth, yn mhen oddeutu dwy flynedd, gan ei frodyr yr Iuddewon, am iddo eu ceryddu hwy oblegid eu heilunaddoliaeth. Ond nid hir y bu y creulondeb hwn heb ei gospi; canys yn mhen ychydig flynyddau wedi hyny dyfethwyd hwynt yn y modd creulonaf gan fyddin y Caldeaid, y rhai a ymosodasant ar yr Aifft yn ol rhagfynegiad Jeremi ei hun, pen. xliv. 27, 28.—Efe a broffwydodd nid yn unig yn erbyn ei genedl ei hun, ond hefyd yn erbyn yr Aifftiaid, y Philistiaid, y Moabiaid, yr Ammoniaid, yr Edomiaid, y Syriaid, a chenhedloedd ereill, ac yn enwedig yn erbyn y Babiloniaid. Y mae y rhai olaf hyn wedi eu gosod wrthynt eu hunain, gan ddechreu yn pen. xlvi.—Y mae y llyfr hwn yn cynwys cyfeiriad amlwg at waredigaeth yr Iuddewon o Babilon yn mhen 70 mlynedd, pen. xxv. 11, 12; ac hefyd at ddyfodiad Crist, galwad y Cenhedloedd i'r eglwys, a'r cyfammod newydd a wnai Duw âg Israel.—Ymddengys i Jeremi draethu ei broffwydoliaethau ar wahanol amserau yn ystod y 40 neu y 43 mlynedd ag y bu yn proffwydo; ac i'w ysgrifeniadau ef gael eu casglu yn nghyd wedi hyny gan rywun nad oedd yn talu nemawr o sylw i'r *drefn amseryddol*. Y mae yn wir fod y proffwyd ei hun yn ysgrifenu dan gyfarwyddyd Ysbryd yr Arglwydd; ond nid ydym i feddwl ei fod ef yn cyfarwyddo llaw pob casglydd neu adysgrifenydd dylynol, i ofal pa un y gallai y gwahanol broffwydoliaethau hyn syrthio. Cafodd y llyfr hwn ei gydmharu yn briodol i leni llyfr argraffedig yn cael eu rhwymo yn gyfrol, heb i'r rhwymydd sylwi pa leni a ddodai efe yn mlaenaf, yn olaf, nac yn nghanol y llyfr. Y mae proffwydoliaethau a draddodwyd yn amser un brenin, yn cael eu rhoddi i mewn yn fynych yma yn nghanol proffwydoliaethau a draddodwyd yn amser brenin arall. Y mae yn wir fod amseriad rhai yn amlwg, ac y gellir casglu yn lled sicr am ereill; ond y mae amseriad rhai o honynt yn dra ansicr: gwel daflenau *Blayney* a *Dahler*.—Yr oedd Jeremi yn ŵr duwiol a theimladwy iawn, ac yn caru ei genedl yn fawr; ac y mae ei lyfr, yr hwn a ysgrifenwyd mewn iaith brydferth, yn teilyngu sylw a darlleniad manwl, er nad yw ei arddull mor goeth ac arddunawl ag eiddo Esay. Y mae llawer o'r rhanau blaenaf ac olaf o'r llyfr hwn wedi eu hysgrifenu yn farddonol, a'r rhan ganol mewn rhyddiaith.

## PENNOD I.

GEIRIAU Jeremi fab Hilciah, o'r offeiriaid y rhai *oedd* yn Anathoth, o fewn tir Benjamin:
2 Yr hwn y daeth gair yr Arglwydd ato, yn nyddiau Josiah mab Amon brenin Juda, yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o'i deyrnasiad ef.
3 Ac fe ddaeth yn nyddiau Jehoiacim mab Josiah brenin Juda, nes darfod un mlynedd ar ddeg i Zedeciah mab Josiah brenin Juda, hyd ddygiad Jerusalem i gaethiwed yn y pummed mis.
4 Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,
5 Cyn i mi dy lunio di yn y groth, mi a'th adnabûm; a chyn dy ddyfod o'r groth, y santeiddiais di; *a* mi a'th roddais yn broffwyd i'r Cenhedloedd.
6 Yna y dywedais, O Arglwydd Dduw, wele, ni fedraf ymadrodd; canys bachgen *ydwyf* fi.
7 ¶ Ond yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Na ddywed, Bachgen *ydwyf:* canys ti a âi at y rhai oll y'th anfonwyf, a'r hyn oll a orchymynwyf it' a ddywedi.
8 Nac ofna rhag eu hwynebau hwynt: canys *yr ydwyf* fi gyda thi i'th waredu, medd yr Arglwydd.
9 Yna yr estynodd yr Arglwydd

---

PEN. I. Adn. 1. *Geiriau Jeremi*] Neu y proffwydoliaethau a'r pregethau a draddodwyd ganddo ef dan ddwyfol ysbrydoliaeth: *fab Hilciah*—gwel y rhagarweiniad uchod; *o'r offeiriaid y rhai oedd yn Anathoth*—nid Hilciah yr archoffeiriad a feddylir yma, yr hwn oedd yn cyfaneddu yn wastadol yn Jerusalem, 2 Bren. xxii. 4, &c.; eithr offeiriad cyffredin, yr hwn oedd yn trigo yn Anathoth. Yr oedd 'Hilciah' yn enw tra chyffredin yn mhlith yr Iuddewon. Y tair adnod flaenaf ydynt *deitl* y llyfr; a meddylir mai Ezra a'u hysgrifenodd, pryd yr oedd efe yn casglu ac yn trefnu llyfrau yr Hen Desament.

Adn. 2. *Yr hwn y daeth gair yr Arglwydd ato*] Nid yn unig gorchymyn i broffwydo, ond hefyd datguddiad o'r pethau ag yr oedd efe i'w mynegu: gwel ar adn. 4. *Yn nyddiau Josiah*—sef y brenin ieuanc daionus hwnw, yr hwn a wnaeth ddiwygiad mor fawr yn Jerusalem a holl Juda, 2 Bren. xxii. 2, &c. *Yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o'i deyrnasiad ef*—pryd yr oedd Josiah yn 21 mlwydd oed. Felly codwyd y proffwyd ieuanc hwn i gynorthwyo y brenin ieuanc hwnw yn ei waith clodwiw.

Adn. 3. *Ac fe ddaeth yn nyddiau Jehoiacim*] Neu 'Joacim,' fel y gelwir ef weithiau; hyny yw, 'fe ddaeth gair yr Arglwydd ato,' fel y dywedwyd yn adn. 2; *nes darfod un mlynedd ar ddeg i Zedeciah*—hyny yw, efe a barhaodd i broffwydo hyd ddiwedd teyrnasiad Zedeciah, yr hwn y tynwyd ei lygaid ef oddeutu mis cyn caethgludiad trigolion Jerusalem i Babilon, a llosgiad y ddinas: gwel ar 2 Bren. xxv. 3—11. Fel y bu Moses ddeugain mlynedd yn addysgu Israel yn yr anialwch, cyn eu myned i Ganaan; felly y bu Jeremi ddeugain mlynedd yn eu haddysgu hwynt yn Nghanaan, cyn eu myned i anialwch Caldea.

Adn. 4. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] Sef yn nechre ei yrfa ef fel proffwyd. Tybia rhai mai Mab Duw, y tragwyddol AIR, a ddaethai ato ef y pryd hyn mewn agwedd weledig: gwel ar Gen. iii. 8, a xviii. 2, Jos. v. 14, Ioan i. 1.

Adn. 5. *Cyn i mi dy lunio di yn y groth*] Ie, er tragwyddoldeb; *mi a'th adnabûm*—hyny yw, yr oeddwn â'm llygad arnat, neu yn dy gymeradwyo fel un addas i'r gwaith hwn. *A chyn dy ddyfod o'r groth*—pan yr oeddit yn cael dy ffurfio yn y bru; *y santeiddiais di*—nid trwy buro ei natur lygredig yn ddiamau, neu ei ryddhau oddiwrth effeithiau y pechod gwreiddiol; canys 'pwy a ddwry beth glân allan o beth aflan? neb:' gwel ar Job xiv. 4. Eithr y meddwl yw, ddarfod i Dduw ei gynysgaethu ef âg elfenau neu dalentau cyfaddas i'r gwaith ag ydoedd o'i flaen, a hyny pan yr oedd yn cael ei ffurfio yn y bru: gwel ar Gal. i. 15. *A mi a'th roddais yn broffwyd i'r Cenhedloedd*—i broffwydo am danynt hwythau hefyd, yn gystal ag am yr Iuddewon: gwel y rhagarweiniad.

Adn. 6. *Yna y dywedais*] Mewn ffordd o ymesgusodiad; *O Arglwydd Dduw, wele, ni fedraf ymadrodd*—ni fedraf ymadroddi yn ffraeth ac awdurdodol wrth frenhinoedd a gwŷr mawrion, fel y dylai proffwyd wneuthur, neu fel y dylai cenadwri oddiwrth Dduw gael ei thraethu; *canys bachgen ydwyf fi*—heb fod dros 14 mlwydd oed, fel y dywed rhai. Ond gallai Jeremi ei alw ei hun felly mewn ffordd o fychanu ei alluoedd; yr un modd ag y galwai Solomon ei hun yn 'fachgen bychan,' pryd yr oedd efe yn 18 mlwydd oed o leiaf, 1 Bren. iii. 7.

Adn. 7. *Ond yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf*] I geryddu fy ymesgusodiad: *Na ddywed, Bachgen ydwyf*—gan feddwl fod hyny yn ddigon o reswm i ti esgeuluso dy waith: *canys ti a âi at y rhai oll y'th anfonwyf*—hyny yw, ti a aliuogir i fyned; *a'r hyn oll a orchymynwyf it' a ddywedi*—rhoddaf 'ymadrodd' yn dy enau di, ac awdurdod a gwroldeb i ti i'w draethu.

Adn. 8. *Nac ofna rhag eu hwynebau hwynt*] Yr Iuddewon eilunaddolgar hyn; *canys yr ydwyf fi gyda thi i'th waredu*—nes i ti orphen dy waith.

Adn. 9. *Yna yr estynodd yr Arglwydd ei law*] Mewn ffordd arwyddocaol; *ac a gyffyrddodd â'm genau*—yn weledig a theimladwy ond odid, adn. 4. *Wele, rhoddais fy ngeiriau yn dy enau di*—hyny yw, rhoddodd Duw sicrwydd iddo, trwy yr arwydd hwn, ei fod wedi ei gymhwyso ef i lefaru yn ei enw.

ei law, ac a gyffyrddodd â'm genau.
A'r Arglwydd a ddywedodd wrth-
yf, Wele, rhoddais fy ngeiriau yn
dy enau di.
10 Gwel, heddyw y'th osodais ar
y cenhedloedd, ac ar y teyrnasoedd,
i ddiwreiddio, ac i dynu i lawr, i
ddyfetha, ac i ddystrywio, i adeil-
adu, ac i blanu.
11 ¶ Yna y daeth gair yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd, Jere-
mi, beth a weli di? Minau a ddy-
wedais, Gwialen almon a welaf fi.
12 A dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Da y gwelaist; canys mi a
brysuraf fy ngair i'w gyflawni.
13 A gair yr Arglwydd a ddaeth
ataf yr ail waith, gan ddywedyd,
Beth a weli di? A mi a ddywed-
ais, Mi a welaf grochan berwedig,
a'i wyneb tua'r gogledd.
14 Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, O'r gogledd y tyr drwg
allan ar holl drigolion y tir.
15 Canys wele, myfi a alwaf holl
deuluoedd teyrnasoedd y gogledd,
medd yr Arglwydd, a hwy a ddeu-
ant, ac a osodant bob *un* ei orsedd-
fainc wrth ddrws porth Jerusalem,
ac yn erbyn ei muriau oll o am-
gylch, ac yn erbyn holl ddinasoedd
Juda.
16 A mi a draethaf fy marnedig-
aethau yn eu herbyn, am holl an-
wiredd y rhai a'm gadawsant, ac a
arogldarthasant i dduwiau ereill, ac
a addolasant weithredoedd eu dwy-
law eu hunain.
17 ¶ Am hyny gwregysa dy
lwynau, a chyfod, a dywed wrthynt
yr hyn oll yr ydwyf yn ei orchymyn
i ti: nac arswyda eu hwynebau,
rhag i mi dy ddystrywio di ger eu
bron hwynt.
18 Canys wele, heddyw yr ydwyf
yn dy roddi di yn ddinas gaerog, ac
yn golofn haiarn, ac yn fur pres, yn
erbyn yr holl dir, yn erbyn brenhin-

---

Adn. 10. *Gwel, heddyw y'th osodais ar y cenhedloedd ac ar y teyrnasoedd*] Mewn awdurdod i lefaru wrthynt neu am danynt; *i ddiwreiddio, ac i dynu i lawr, &c.*—hyny yw, i broffwydo neu ragfynegu y byddai i rai o honynt gael eu diwreiddio a'u dyfetha, ac y byddai i ereill gael eu hadeiladu a'u planu.

Adn. 11. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] Yn y fan ar ol i mi gael fy ngosod yn fy swydd; *Jeremi, beth a weli di?*—yr oedd y drefn hon o addysgu y proffwydi trwy arddanghosiad arwyddocaol yn un dra chyffredin, ac yn briodol iawn i adael argraff parhaus ar eu meddyliau hwynt. *Minau a ddywedais, Gwialen almon a welaf fi*—a hòno ond odid â'i ffrwyth arni, trwy yr hyn y gallai efe ei hadnabod. Y gair Hebreig am y pren almon yw *shaked*, yr hwn a arwydda *prysuro;* a gelwid ef felly am ei fod yn blodeuo ac yn ffrwytho yn gynarach nag un pren arall. Dywed *Pliny* ei fod yn blodeuo yn Ionawr, a bod ei ffrwyth yn addfed yn Mawrth, pan fyddo y prenau ereill yn dechreu blaguro. Gan hyny yr oedd y wialen almon yn arwydd priodol iawn i osod allan *brysuriad* cyflawniad rhagfynegiadau Jeremi, yr hwn a fu byw i weled y rhan fwyaf o honynt yn cael eu cyflawni.

Adn. 12. *Da y gwelaist*] Neu ti a welaist ac a fernaist yn iawn; *canys mi a brysuraf fy ngair*—neu, yn fwy llythyrenol, 'mi a fyddaf fel y pren almon gyda golwg ar fy ngair;' *i'w gyflawni*—sef i gyflawni ei fygythion yn brysur yn erbyn Juda a Jerusalem.

Adn. 13. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf yr ail waith*] Sef yn union ar ol y waith gyntaf, gan ofyn yr un peth: gwel ar adn. 11. *Mi a welaf grochan berwedig, a'i wyneb tua'r gogledd*—yr oedd gweled y crochan yn *berwi,* yn arwyddo prysurdeb a phoethder y farn fygythiedig; ac yr oedd ei weled â'i wyneb tua'r *gogledd*, yn dangos mai o'r gogledd y deuai y farn hòno, fel y dywedir yn yr adnod nesaf.

Adn. 14. *O'r gogledd*] Sef o'r amherodraeth Galdeaidd, yr hon oedd yn gorwedd o du y gogledd i Judea; *y tyr drwg allan ar holl drigolion y tir*—sef ar yr Iuddewon, trigolion Judea.

Adn. 15. *Canys wele, myfi a alwaf holl deuluoedd teyrnasoedd y gogledd*] Y rhai oeddynt mewn cynghrair â Nebuchodonosor, neu dan deyrnged iddo; *a hwy a ddeuant, ac a osodant bob un ei orseddfainc*—ei eisteddfa, ei fainc, neu ei babell; *wrth ddrws porth Jerusalem*—i arwyddo eu bod wedi ennill yr holl ddinas oddiamgylch, yr hyn a gyflawnwyd, pen. xxxix. 3; *ac yn erbyn holl ddinasoedd Juda*—y rhai hefyd a gymerwyd ac a ddinystriwyd ganddynt.

Adn. 16. *A mi a draethaf fy marnedigaethau yn eu herbyn*] Sef yn erbyn Jerusalem a dinasoedd Juda; *am holl anwiredd y rhai a'm gadawsant, &c.*—sef yr Iuddewon eilunaddolgar.

Adn. 17. *Am hyny gwregysa dy lwynau*] Ymbarotoa at y gwaith ag y gelwais di iddo; *a dywed wrthynt yr hyn oll yr ydwyf yn ei orchymyn i ti*—pa mor anfoddlon bynag y byddont i'w dderbyn. *Nac arswyda eu hwynebau*—na chela oddiwrthynt fy nghenadwri i rhag eu hofn hwynt; *rhag i mi dy ddystrywio di ger eu bron hwynt*—am dy lwfrdra a'th anffyddlondeb.

Adn. 18. *Canys wele, heddyw yr ydwyf yn dy roddi di yn ddinas gaerog*] Neu yn dy osod mor ddiogel a phe byddit mewn dinas gaerog;

oedd Juda, yn erbyn ei thywysog-
ion, yn erbyn ei hoffeiriaid, ac yn
erbyn pobl y tir.
19 Ymladdant hefyd yn dy erbyn,
ond ni'th orchfygant: canys myfi
*sydd* gyda thi i'th ymwared, medd
yr Arglwydd.

PENNOD II.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf fi, gan ddywedyd,
2 Cerdda, a llefa yn nghlustiau
Jerusalem, gan ddywedyd, Fel hyn
y dywed yr Arglwydd, Cofiais di,
caredigrwydd dy ieuenctid, a serch
dy ddyweddi, pan y'm canlynaist yn
y diffaethwch, mewn tir ni hauwyd.
3 Israel *ydoedd* santeiddrwydd
i'r Arglwydd, *a* blaenffrwyth ei
gnwd ef: pawb oll a'r a'i bwytao, a
bechant; drwg a ddygwydd iddynt,
medd yr Arglwydd.
4 Gwrandewch air yr Arglwydd,
tŷ Jacob, a holl deuluoedd tŷ Israel.
5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Pa anwiredd a gafodd eich tadau
chwi ynof fi, gan iddynt ymbellhau
oddiwrthyf, a rhodio ar ol oferedd,
a myned yn ofer?
6 Ac ni ddywedant, Pa le *y mae*
yr Arglwydd a'n dyg ni i fyny o dir
yr Aifft; a'n harweiniodd trwy yr
anialwch; trwy dir diffaith, a phyll-
au; trwy dir sychder, a chysgod
angau; trwy dir nid aeth gŵr trwy-
ddo, ac ni thrigodd dyn ynddo?

---

*ac yn golofn haiarn, ac yn fur pres*—hyny yw, yr wyt yn dy wneuthur cyn gryfed a phe byddit golofn haiarn neu fur pres; *yn erbyn yr holl dir*—sef holl drigolion gwlad Judea o bob gradd, megys ei brenhinoedd, ei thywysogion, ei hoffeiriaid, a'r bobl gyffredin. Efe a ddywed 'brenhinoedd Juda,' am y byddai i Jeremi broffwydo yn amser pedwar o honynt ar ol Josiah: gwel y rhagarweiniad.

Adn. 19. *Ymladdant hefyd yn dy erbyn*] A'u holl egni, ac yn mhob rhyw fodd; *ond ni'th orchfygant*—ni fyddant yn alluog i fyrhau dy einioes, nac attal dy waith: *canys myfi sydd gyda thi i'th ymwared*—i'th waredu o'u dwylaw hwynt, pa mor luosog a chryf bynag y byddont.

PEN. II. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf fi*] Yma y mae gwaith proffwydol Jeremi yn dechreu yn briodol; canys nid oedd yr hyn a gawsom yn y bennod flaenorol ddim ond ei osodiad ef yn ei swydd, a'i gymhwysiad iddi.

Adn. 2. *Cerdda*] O Anathoth, pen. i. 1; *a llefa yn nghlustiau Jerusalem*—yn y lleoedd mwyaf cyhoeddus yn y ddinas; *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*—cenadwri yr hwn yr ydwyf yn ei thraethu, ac nid fy ngeiriau fy hun; *Cofiais di, caredigrwydd dy ieuenctid, a serch dy ddyweddi*—hyny yw, yr wyf yn cofio fy nghredigrwydd i ti yn nechread dy fodaeth fel cenedl, a'm serch atat pryd y dyweddïais di yn eiddo i mi trwy y cyfammod yn Horeb, Exod. xxiv. 3, &c.; neu ynte, yr oedd ef yn cofio eu caredigrwydd a'u serch hwy tuag ato ef y pryd hyny. *Pan y'm canlynaist yn y diffaethwch*—am ddeugain mlynedd, fel gwraig yn canlyn ei phriod; *mewn tir ni hauwyd*—i gael bara o hono; eithr yr oeddwn yn dy borthi di â manna o'r nefoedd, a dwfr o'r graig.

Adn. 3. *Israel*] Y pryd hyny; *ydoedd santeiddrwydd i'r Arglwydd*—oeddynt bobl wedi eu neillduo i'w addoli a'i wasanaethu ef; *a blaenffrwyth ei gnwd ef*—fel yr oedd y blaenffrwyth yn santaidd, trwy ei fod yn cael ei roddi i'r Arglwydd, felly yr oedd Israel, Rhuf. xi. 16; ac yr oeddynt hefyd yn flaenffrwyth y credinwyr, Iago i. 18. *Pawb oll a'r a'i bwytao*—a fwytao y blaenffrwyth hwnw, yr hwn a ddygid i'r Arglwydd, o'r hwn ni chai neb fwyta ond yr offeiriaid a'u teuluoedd, Num. xviii. 13—19; *a bechant*—yn erbyn cyfraith Dduw: ac felly y pechai y neb a geisiai ddyfetha neu niweidio cenedl Israel. *Drwg a ddygwydd iddynt*—fel y dygwyddodd i'r Aifftiaid, y Midianiaid, y Canaaneaid, ac ereill.

Adn. 4. *Gwrandewch air yr Arglwydd, tŷ Jacob*] Sef llwythau Juda a Benjamin; *a holl deuluoedd tŷ Israel*—pawb o'r deg llwyth a allent fod yn eu plith hwy, ac heb gael eu caethgludo gyda'r lleill i Assyria; neu bob teulu perthynol i'r deuddeg llwyth a glywent neu a ddarllenent ei eiriau ef ar ol hyn.

Adn. 5. *Pa anwiredd a gafodd eich tadau chwi ynof fi?*] Fel pe dywedasai, Pa anffyddlondeb i gyflawni fy rhan i o gyfammod Horeb a welsant hwy ynof fi; *gan iddynt ymbellhau oddiwrthyf*—oddiwrth fy addoliad a'm gwasanaeth i; *a rhodio ar ol oferedd*—ar ol eilunod ofer; *a myned yn ofer*—eu hunain? Felly y dywed yr apostol am yr eilunaddolwyr yn ei amser ef: 'Ofer fuont yn eu rhesymau, a'u calon anneallus hwy a dywyllwyd: pan dybient eu bod yn ddoethion, hwy a aethant yn ffyliaid,' Rhuf. i. 21, 22.

Adn. 6. *Ac ni ddywedant*] Neu 'ni ddywedent' y pryd hyny; *Pa le y mae yr Arglwydd?*—yr hwn a'u dygasai hwynt o'r Aifft trwy y môr coch, ac a'u harweiniasai trwy yr anialwch am ddeugain mlynedd; *trwy dir diffaith, a phyllau*—llawn o seirff tanllyd ac ysgorpionau, Deut. viii. 15; *trwy dir sychder, a chysgod angau*—lle nad oedd dim dwfr ond yr hyn a gaent yn wyrthiol, a lle yr oedd peryglon ac erchylldra angau yn eu bygwth yn barhaus; *trwy dir nid aeth gŵr trwyddo*—am nad oedd yno ddim amgeledd i ymdeithwyr, a llai o lawer i drigianwyr. Y mae traddodiad gan yr Iuddewon, i Adda benderfynu nad oedd yr anialwch hwn i'w gyfaneddu byth.

7 Dygais chwi hefyd i wlad gnyd-
fawr, i fwyta ei ffrwyth a'i daioni:
eithr pan ddaethoch i mewn, halog-
asoch fy nhir i, a gwnaethoch fy
etifeddiaeth i yn ffieidd-dra.
8 Yr offeiriaid ni ddywedasant,
Pa le *y mae* yr Arglwydd? a'r rhai
sydd yn trin y gyfraith nid adnabu-
ant fi: y bugeiliaid hefyd a dros-
eddasant i'm herbyn, a'r proffwydi
a broffwydasant yn *enw* Baal, ac a
aethant ar ol *y pethau* ni wnaent
lesâd.
9 ¶ Oblegid hyn, mi a ddadleuaf
â chwi eto, medd yr Arglwydd; ïe,
dadleuaf â meibion eich meibion
chwi.
10 Canys ewch dros ynysoedd
Chittim, ac edrychwch; a danfon-
wch i Cedar, ac ystyriwch yn ddi-
wyd, ac edrychwch a fu y cyfryw
beth.
11 A newidiodd *un* genedl *eu*
duwiau, a hwy heb *fod* yn dduwiau?
eithr fy mhobl i a newidiodd eu
gogoniant am *yr hyn* ni wna lesâd.
12 O chwi nefoedd, synwch wrth
hyn, ac ofnwch yn aruthrol, a bydd-
wch annghyfanedd iawn, medd yr
Arglwydd.
13 Canys dau ddrwg a wnaeth fy
mhobl; hwy a'm gadawsant i, ffyn-
non y dyfroedd byw, *ac* a gloddias-
ant iddynt eu hunain bydewau, *ïe,*

---

Adn. 7. *Dygais chwi hefyd i wlad gnydfawr*] Sef i Ganaan, i fwyta ei ffrwythau daionus a thoreithiog: *eithr pan ddaethoch i mewn*—sef yn fuan ar ol cael meddiant o Ganaan; *halogasoch fy nhir i*—trwy eich eilunaddoliaeth a'ch pechodau ereill; *a gwnaethoch fy etifeddiaeth i yn ffieidd-dra*—yr hon yr oedd Duw yn hòni hawl ynddi o hyd: gwel ar Lef. xxv. 23.

Adn. 8. *Yr offeiriaid ni ddywedasant, Pa le y mae yr Arglwydd?*] Y rhai yn anad neb a ddylasent ei geisio ef eu hunain, ac annog ereill i wneyd yr un modd. *A'r rhai sydd yn trin y gyfraith*—gwaith y rhai yw ei hegluro a'i dysgu i ereill; *nid adnabuant fi*—eu hunain. *Y bugeiliaid hefyd*—sef brenhinoedd, llyswyr, a swyddogion gwladol; *a droseddasant i'm herbyn*—trwy dori fy nghyfreithiau i, yn lle eu cadw eu hunain, a pheri i ereill eu cadw. *A'r proffwydi a broffwydasant yn enw Baal*—gan gymhell y bobl i fyned ar ol Baal, yn lle ar ol yr Arglwydd; *ac a aethant ar ol y pethau ni wnaent lesâd*—sef ar ol yr eilunod meirwon, y rhai ni allent eu llesâu.

Adn. 9. *Oblegid hyn mi a ddadleuaf â chwi eto*] Trwy fy marnedigaethau; *ïe, ddadleuaf â meibion eich meibion chwi*—o oes i oes, y rhai a ganlynant ffyrdd ac arferion annuwiol eu tadau.

Adn. 10. *Canys ewch dros ynysoedd Chittim*] I blith y Groegiaid, y Macedoniaid, a'r Eidaliaid, ac i holl ynysoedd a glanau Môr-y-canoldir, o du y gogledd a'r gorllewin, lle y mae dynion coeth a dysgedig yn cyfaneddu; *a danfonwch i Cedar*—i blith yr Arabiaid, ac i'r gwledydd o du y dwyrain a'r deau, lle y mae dynion mwy difoes a barbaraidd yn trigianu; *ac ystyriwch yn ddiwyd*—gyda'r gofal a'r manylwch mwyaf; *ac edrychwch a fu y cyfryw beth*—a fu y fath wrthgiliad cyffredinol oddiwrth wrthddrych eu haddoliad hwy, ag a gymerodd le yn eich plith chwi!

Adn. 11. *A newidiodd un genedl eu duwiau*] Y rhai a addolid gan eu tadau o oes i oes; *a hwy heb fod yn dduwiau*—ond gwaith eu dwylaw eu hunain yn unig? *Eithr fy mhobl i a newidiodd eu gogoniant*—a ymadawsant oddiwrth addoliad a gwasanaeth y Jehofa anfeidrol a thragwyddol, eu Creawdwr, eu Cynaliwr, a'u Hachubwr, eu Cyfaill a'u Tad, i'r hwn yr oeddynt yn ddyledus am eu bywyd a'u holl ddaioni, a'r hwn yr oedd ei addoliad a'i wasanaeth, ei ffafr a'i nodded, y gogoniant mwyaf iddynt; *am yr hyn ni wna lesâd*—am eilunod meirwon, y rhai nis gallant eu llesâu!

Adn. 12. *O chwi nefoedd*] Yr haul, y lleuad, a'r ser; *synwch wrth hyn*—wrth y fath anfadrwydd, ffolineb, a rhyfyg; *ac ofnwch yn aruthrol*—rhag i soriant cyfiawn Duw ysgubo y fath genedl ddrygionus oddiar y ddaear; *a byddwch annghyfanedd iawn*—neu '*crynwch yn ddirfawr.*' Fel pe dywedasai, Peidied yr haul â goleuo y dydd, ac na rodded y lleuad na'r ser eu llewyrch y nos, i'r fath bobl ynfyd; neu byddwch megys heb oleuni ynoch, neu heb lygad i edrych ar y fath amryfusedd. Hwn sydd ymadrodd cryf a chyffrous iawn, ac mewn arddull barddonol prydferth, yn arwyddo fod drygioni y gwrthgilwyr hyn oddiwrth Dduw mor fawr, fel y gallai y cyrff nefol, pe byddai teimlad a bywyd ynddynt, wrido a synu wrtho, a thynu eu dylanwad a'u goleuni oddiwrth y rhan hòno o'r ddaear lle yr oedd y fath ysgelerder yn bodoli.

Adn. 13. *Canys dau ddrwg a wnaeth fy mhobl*] Hyny yw, dau brif ddrwg, oddiwrth y rhai y dylifai ffrydiau lluosog o ddrygau ereill. *Hwy a'm gadawsant i, ffynnon y dyfroedd byw*—lle y caent ddiwalliant helaeth o bob bendith, cysur, a daioni ag yr oeddynt mewn angen am danynt; *ac a gloddiasant iddynt eu hunain bydewau*—o'u dyfais eu hunain, lle y dysgwylient gael cysur a diogelwch; *ïe, bydewau wedi eu tori*—rhai drylliog ac agenog, *ni ddaliant ddwfr*—i'w golchi a'u disychedu hwy. Y meddwl yw, eu bod wedi gadael y gwir Dduw, ffynnonell pob dedwyddwch a daioni; a myned i ymddiried mewn duwiau gau, y rhai ni allent eu llesâu. Trwy hyny yr oeddynt yn ymddwyn mor ffol ag y gwna dynion wrth gefnu ar ddyfroedd gloewon ffynnon risialaidd a fyddont yn tarddu yn ffrwd ddibaid o'r ddaear, a myned i gloddio

bydewau wedi eu tori, ni ddaliant
ddwfr.
14 ¶ Ai gwas *ydyw* Israel? ai
*gwas* a anwyd yn tŷ *yw* efe? paham
yr yspeiliwyd ef?
15 Y llewod ieuainc a ruasant
arno *ac* a leisiasant; a'i dir ef a
osodasant yn anrhaith, a'i ddinas-
oedd a losgwyd heb drigianydd.
16 Meibion Noph hefyd a Tha-
hapanes a dorasant dy goryn di.
17 Onid tydi a beraist hyn i ti dy
hun, am wrthod o honot yr Ar-
glwydd dy Dduw, pan ydoedd efe
yn dy arwain ar hyd y ffordd?
18 A'r awr hon, beth *sydd* i ti *a*
*wnelych* yn ffordd yr Aifft, i yfed
dwfr Nilus? a pheth *sydd* i ti yn
ffordd Assyria, i yfed dwfr yr
afon?
19 Dy ddrygioni dy hun a'th
gospa di, a'th wrthdro a'th gerydda:
gwybydd dithau a gwel, mai drwg
a chwerw *ydyw* gwrthod o honot yr
Arglwydd dy Dduw, ac nad *ydyw*
fy ofn i ynot ti, medd Arglwydd
Dduw y lluoedd.
20 ¶ Oblegid er ys talm mi a
dorais dy iau di, *ac* a ddrylliais dy
rwymau; a thi a ddywedaist, Ni
throseddaf; er hyny ti a wibiaist,
gan buteinio ar bob bryn uchel, a
than bob pren deiliog.
21 Eto myfi a'th blanaswn yn
bêr-winwydden, o'r iawn had oll:
pa fodd gan hyny y'th dröwyd i mi

---

pydew iddynt eu hunain i gael ei lenwi â dwfr gwlaw, yr hwn yn fuan a lygrai wrth ei gadw, neu a lyncid gan y ddaear, gan eu gadael hwythau yn agored i farw o syched!

Adn. 14. *Ai gwas ydyw Israel?*] Ai caethwas yw efe, wedi ei brynu am arian? *Ai gwas a anwyd yn tŷ yw efe*—sef mab i gaethwraig wedi ei eni yn nhŷ ei feistr? Y mae y gofyniadau hyn yn cynwys nacâd. Fel pe dywedasai, Nage, nid *gwas* ydyw, ond *mab* y wraig rydd, a chyntafanedig Duw, Exod. iv. 22. *Paham yr yspeiliwyd ef*—ac yntau yn *fab?* hyny yw, pa fodd yr aeth efe yn yspail i'w elynion, neu i gaethiwed? Yr ateb yw, Nid am nad oedd Duw yn ei garu ef fel ei *fab;* ond am iddo ef adael ei Dad, a myned ar ol eilunod.

Adn. 15. *Y llewod ieuainc a ruasant arno, &c.*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at waith milwyr yr Assyriaid yn caethgludo y deg llwyth o'u gwlad; ond tybia ereill y dylid darllen yr adnod hon yn yr amser dyfodol, '*a ruant* arno;' a'i fod yn cyfeirio at yr hyn a wneid iddynt ar ol hyn gan Pharao-Necho a Nebuchodonosor.

Adn. 16. *Meibion Noph hefyd a Tahapanes*] Dwy o ddinasoedd yr Aifft, sef *Memphis a Daphni* fel y meddylir; *a dorasant dy goryn di*—wrth hyn y dealla rhai waith yr Aifftiaid yn lladd penaethiaid Israel, ac yn yspeilio y wlad o'r pethau goraf ynddi; tra y tybia ereill mai proffwydoliaeth yw y geiriau am laddiad y brenin daionus Josiah gan Pharao-Necho, 2 Bren. xxiii. 29.

Adn. 17. *Onid tydi a beraist hyn i ti dy hun*] Trwy dy bechodau gwirfoddol; *am wrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw*—gwel ar adn. 13; *pan ydoedd efe yn dy arwain ar hyd y ffordd*—sef y ffordd oraf er dy les a'th ddedwyddwch?

Adn. 18. *A'r awr hon*] Ar ol i ti ddyoddef mor fawr oddiwrth yr Aifftiaid; *beth sydd i ti a wnelych yn ffordd yr Aifft, i yfed dwfr Nilus*—pan y mae 'ffynnon y dyfroedd byw' o fewn dy gyraedd? adn. 13. *A pheth sydd i ti yn ffordd Assyria, i yfed dwfr yr afon*—sef yr afon Euphrates? Anfon i'r Aifft ac Assyria am gynorthwy a feddylir yma, yn lle ymddiried yn yr Arglwydd eu Duw; ac wrth ymwneyd â ffordd y gwledydd hyny y meddylir, ymarfer â'u heilunaddoliaeth hwy.

Adn. 19. *Dy ddrygioni dy hun a'th gospa di, a'th wrthdro a'th gerydda*] Ac am hyny ni allant hwy dy achub di. *Gwybydd dithau a gwel*—cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar; *mai drwg a chwerw*—drwg ynddo ei hun, a chwerw yn ei ganlyniad; *ydyw gwrthod o honot yr Arglwydd dy Dduw*—gan ddewis eilunod ac eilunaddolwyr yn ei le ef; *ac nad ydyw fy ofn i ynot ti*—yn dy galon, nac o flaen dy lygad.

Adn. 20. *Oblegid er ys talm mi a dorais dy iau di*] Pan yr oeddit yn yr Aifft; *ac a ddrylliais dy rwymau*—yn nhŷ dy gaethiwed: *a thi a ddywedaist*—y pryd hyny, ac yn enwedig wrth wneuthur cyfammod â mi yn Horeb; *Ni throseddaf*—mwyach: hyny yw, ti a ffurfiaist benderfyniadau da pryd yr oeddit newydd gael dy waredu. *Er hyny ti a wibiaist*—yn fuan oddiwrthyf fi, ac ar ol eilunod; *gan buteinio ar bob bryn uchel, a than bob pren deiliog*—yn ol defodau ffiaidd y Cenhedloedd eilunaddolgar. Ond gellir cyfieithu y wreiddiol fel y mae ar ymyl y ddalen, a'r un modd ag y mae y *Syriaeg*, *y Vulgate*, a'r LXX yn ei ddarllen: 'A thi a ddywedaist, Ni *wasanaethaf* ef, eithr mi a âf i bob bryn uchel,' &c. Cymeradwyir y darlleniad hwn gan *Houbigant* a *Waterland.*

Adn. 21. *Eto myfi a'th blanaswn*] Oeddwn wedi dy blanu di ar y cyntaf, *yn bêr-winwydden o'r iawn had oll*—heb ddim cymysgedd llygredig yn perthyn i ti: gwel ar Esay v. 1, 2. *Pa fodd gan hyny y'th dröwyd i mi yn blanhigyn afrywiog gwinwydden ddyeithr*—heb ddim o burdeb na duwioldeb dy henafiaid yn perthyn i ti! Y mae Duw ei hun yn rhyfeddu wrth y fath gyfnewidiad hynod yn y bobl hyn.

Adn. 22. *Canys pe byddai it' ymolchi â nitr*] Neu â *natron*, yr hwn sydd yn wahanol i'n *nitr* ni, ac a ddefnyddir yn fynych yn y

yn blanhigyn afrywiog gwinwydden
ddyeithr?
22 Canys pe byddai it' ymolchi
â nitr, a chymeryd it' lawer o sebon;
*eto* nodwyd dy anwiredd ger fy
mron i, medd yr Arglwydd Dduw.
23 Pa fodd y dywedi, Ni halog-
wyd fi, ac nid aethym ar ol Baalim?
Edrych dy ffordd yn y glŷn, gwy-
bydd beth a wnaethost; camel buan
*ydwyt* yn amgylchu ei ffyrdd.
24 Asen wyllt wedi ei chynefino
â'r anialwch, wrth ddymuniad ei
chalon yn yfed gwynt, wrth ei hach-
lysur pwy a'i try ymaith? pawb a'r
a'i ceisiant hi, nid ymflinant; yn ei
mis y cânt hi.
25 Cadw dy droed rhag noethni,
a'th geg rhag syched. Tithau a
ddywedaist, Nid oes obaith: nac
*oes:* canys cerais ddyeithriaid, ac
ar eu hol hwynt yr âf fi.
26 Megys y cywilyddia lleidr pan
ddalier ef, felly y cywilyddia tŷ Is-
rael; hwynt-hwy, eu brenhinoedd,
eu tywysogion, a'u hoffeiriaid, a'u
proffwydi;
27 Y rhai a ddywedant wrth
bren, Tydi *yw* fy nhad; ac wrth
gareg, Ti a'm cenhedlaist. Canys

---

dwyrain i godi ystaen o ddilledyn; *a chymeryd it' lawer o sebon*—yr hwn y mae ei rinweddau glanhaol yn dra adnabyddus: *eto nodwyd dy anwiredd ger fy mron i*—y meddwl yw, pe byddai iddynt ddefnyddio yr holl ddefodau dyhuddol a orchymynid gan y gyfraith, neu a arferid gan eilunaddolwyr; neu pe byddai iddynt ddadlu eu diniweidrwydd a'u cyfiawnder eu hunain; eto, y byddai i ystaen neu aflendid eu pechodau ymddangos o hyd i olwg Duw, hyd nes y byddai iddo ef ei ddileu trwy ei drugaredd faddeuol, yn ganlynol i'w hedifeirwch a'u diwygiad hwy. Cofia, ddarllenydd, mai 'gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod,' 1 Ioan i. 7.

Adn. 23. *Pa fodd y dywedi, Ni halogwyd fi*] Gan eilunaddoliaeth; *ac nid aethym ar ol Baalim?*—y mae y gair hwn yn y rhif lluosog, ac yn cynwys pob math ar eilunod. *Edrych dy ffordd yn y glyn*—sef yn nglŷn mab Hinnom, lle yr aberthent eu meibion a'u merched trwy dân i Moloch, pen. vii. 31, Esay lvii. 5, &c.; *gwybydd beth a wnaethost*—meddwl yn ddifrifol am dy ffyrdd a'th weithredoedd hyny. Am fod teml Jerusalem fyth yn eu meddiant, a'u bod yn aberthu yno i'r Arglwydd, yr oeddynt yn eu hystyried eu hunain yn addolwyr y gwir Dduw, er eu bod ar yr un pryd yn aberthu i eilunod, Esay lxvi. 3, 4. Fel hyn y pabyddion hefyd, er eu bod yn defnyddio eilunod yn eu haddoliad, a honant nad ydynt yn eilunaddolwyr. *Camel buan ydwyt yn amgylchu ei ffyrdd*—y mae mor anhawdd dy attal di oddiwrth aflendid dy eilunaddoliaeth, ag ydyw attal y dromedari, ar amserau penodol, rhag rhedeg yn ei chwantachrwydd ar ol ei chymhar.

Adn. 24. *Asen wyllt wedi ei chynefino â'r anialwch*] Neu yn ei chyflwr naturiol yn yr anialwch. Hon sydd gymhariaeth arall o'r un natur a'r un uchod. *Wrth ddymuniad ei chalon yn yfed gwynt*—yr hon, o herwydd y gwres angherddol oddifewn ar y cyfryw amserau, a red oddiamgylch, gan ledu ei safn a'i ffroenau i yfed yr awel oeraidd ac adfywiol. *Wrth ei hachlysur*—neu yn ei hawydd naturiol am y gwryw, *pwy a'i try ymaith*—rhag dylyn yr awydd hwnw? *Pawb a'r a'i ceisiant hi*—neu a ewyllysiant ei dal at waith, *nid ymflinant*—nid ymboenant yn ofer i geisio ei dal, eithr gadawant iddi gael ei rhwysg. *Yn ei mis y cânt hi*—sef pan fyddo yr awydd hwnw wedi darfod, neu pan fyddo wedi cyfebru neu lydnu. Yn debyg i hyny yr ymddygai y bobl hyn yn eu chwantachrwydd ar ol eilunaddoliaeth; ond gyda hyn o wahaniaeth, tra nad oedd yr anifeiliaid direswm hyny yn y cyflwr hwnw ond ar brydiau yn unig, fod y bobl hyn yn cael eu llywodraethu yn barhaus gan yr awydd hwn, fel y gwelwn isod.

Adn. 25. *Cadw dy droed rhag noethni, a'th geg rhag syched*] Rhoddir tri ystyr i'r geiriau hyn, a dewised y darllenydd yr un a fyno: (1) Na fydded i ti dreulio allan dy esgidiau a'th sandalau, a'th osod dy hun yn agored i syched blin, wrth deithio yn mhell i gyfathrachu âg eilunaddolwyr. (2) Na ddynoetha dy draed fel putan, neu na phuteinia mwyach ar ol dy eilunod; ac na sycheda am win a diod-offrymau eilunaddoliaeth, neu nac ŷf mwyach y diodydd hyny a gynhyrfant dy awydd am aflendid halogedig. (3) Ymgadw rhag canlyniad eilunaddoliaeth, sef rhag cael dy yru yn droednoeth, ac mewn syched mawr, fel caethwas i wlad dy elynion. *Tithau a ddywedaist*—mewn atebiad i'r cynghor uchod, *Nid oes obaith: nac oes*—i mi allu ffrwyno fy nhueddiadau cryfion ac aflywodraethus, neu gael fy ngwaredu oddiwrth fy awydd naturiol am eilunaddoliaeth. Yr oedd yr asen wyllt yn rhydd weithiau oddiwrth ei thueddiadau, sef 'yn ei mis,' adn. 24; ond nid felly y bobl drachwantus hyn. *Canys cerais ddyeithriaid*—neu dduwiau dyeithr; *ac ar eu hol hwynt yr âf fi*—yn wastadol. Nid yw yn debyg fod y bobl hyn yn llefaru fel yma mewn geiriau; ond hyn oedd iaith eu hymddygiadau.

Adn. 26. *Megys y cywilyddia lleidr pan ddalier ef*] Yn y weithred o ladrata, ac y dyger ef dan gosp; *felly y cywilyddia tŷ Israel*—pan ddynoethai Duw eu heilunaddoliaeth hwythau, ac y dygai efe eu brenhinoedd a'u tywysogion, eu hoffeiriaid a'u proffwydi, i gael eu cospi yn gyfiawn am eu heilunaddoliaeth a'u drygioni: gwel ar adn. 8, 9.

Adn. 27. *Y rhai a ddywedant wrth bren, Ti yw fy nhad, &c.*] Gan roddi y teitl a berthyna i JEHOFA, fel Creawdwr a Thad pawb oll, i dduwiau o bren a maen, gwaith eu dwy-

hwy a droisant ataf fi wegil, ac nid
wyneb: ond yn amser eu hadfyd y
dywedant, Cyfod, a chadw ni.
28 Eithr pa le *y mae* dy dduwiau,
y rhai a wnaethost i ti? codant, os
gallant dy gadw yn amser dy ad-
fyd: canys *wrth* rifedi dy ddinas-
oedd y mae dy dduwiau di, O Juda.
29 Paham yr ymddadleuwch â
mi? chwi oll a droseddasoch i'm
herbyn, medd yr Arglwydd.
30 Yn ofer y tarewais eich plant
chwi, ni dderbyniasant gerydd: eich
cleddyf eich hun a ddifaodd eich
proffwydi, megys llew yn dystrywio.
31 ¶ O genhedlaeth, gwelwch air
yr Arglwydd: A fûm i yn anialwch
i Israel? yn dir tywyllwch? paham
y dywed fy mhobl, Arglwyddi yd-
ym ni, ni ddeuwn ni mwy atat ti?
32 A annghofia morwyn ei hardd-
wisg? *neu* y briodasferch ei thlys-
au? eto fy mhobl i a'm hannghof-
iasant ddyddiau aneirif.
33 Paham yr wyt ti yn cyweirio
dy ffordd i geisio cariad? am hyny
hefyd y dysgaist dy ffyrdd i rai
drygionus.
34 Hefyd yn dy odre di y cafwyd
gwaed eneidiau y tylodion diniwed;
nid wrth chwilio y cefais hyn, eithr
ar y rhai hyn oll.

---

law eu hunain! *Canys hwy a droisant ataf fi wegil*—mewn ffordd o ddiystyrwch a dirmyg; *ac nid wyneb*—oblegid yr oedd hwnw wedi ei droi ganddynt at eu duwiau gau. *Ond yn amser eu hadfyd*—yr hwn sydd yn prysuro i'w cyfarfod trwy ddwylaw Nebuchodonosor a'i fyddin; *y dywedant*—wrth y gwir Dduw, sef ar ol cael prawf o anallu eu duwiau eu hunain i'w gwaredu; *Cyfod, a chadw ni*—rhag cynddaredd y Caldeaid hyn.

Adn. 28. *Eithr pa le y mae dy dduwiau, y rhai a wnaethost i ti*] I ymddiried ynddynt a'th gadw? *Codant*—hwy oddiar eu seddau i'th waredu; *os gallant dy gadw yn amser dy adfyd*—nesaol, pryd y byddi yn y fath angen am gynorthwy. *Canys wrth rifedi dy ddinasoedd y mae dy dduwiau di, O Juda*—y mae genyt gynifer o dduwiau ag sydd genyt o ddinasoedd, neu lawer iawn yn mhob dinas; fel y Cenhedloedd, y rhai y dywed *Varro* fod ganddynt uwchlaw 30,000 o wahanol dduwiau!

Adn. 29. *Paham yr ymddadleuwch â mi*] Yn rwgnachlyd am yr adfyd sydd yn dyfod arnoch? neu, paham y trowch atat fi i ofyn am eich cadw, adn. 27, neu i ddadlu eich diniweidrwydd, adn. 35? *Chwi oll a droseddasoch i'm herbyn*—ac am hyny nid ydych yn ddiniwed, fel y dywedwch eich bod; a chan fod eich adfyd yn dyfod arnoch yn gyfiawn, y mae yn gyfiawn i minau eich rhoddi i fyny i ddwylaw eich gelynion.

Adn. 30. *Yn ofer y tarewais eich plant chwi*] Sef plant neu bobl Israel yn mhob oes; *ni dderbyniasant gerydd*—fel ag i ddiwygio trwyddo. *Eich cleddyf eich hun a ddifaodd eich proffwydi*—y rhai yn fy enw i a'ch ceryddent chwi am eich pechodau, ac a'ch galwent i edifeirwch; *megys llew yn dystrywio*—ei ysglyfaeth yn y modd mwyaf creulon a didosturi. Fel hyn ond odid y gwnaed â'r proffwyd Esay, ac â Zechariah mab Jehoiada, 2 Cron. xxiv. 20, 21: gwel hefyd 1 Bren. xix. 10, Neh. ix. 26, Mat. xxiii. 30—37.

Adn. 31. *O genhedlaeth*] Anffyddlon a gwrthnysig, *gwelwch air yr Arglwydd*—ystyriwch yn ddifrifol yr hyn yr wyf fi yn ei ddywedyd wrthych o enau yr Arglwydd. *A fûm i yn anialwch i Israel*—neu yn fyr o roddi i chwi yr hyn yr oeddych mewn angen am dano? *Yn dir tywyllwch?*—a ddygais i chwi i adfyd, caledi, a thrallod? Naddo erioed. Yn hytrach na hyny, efe a'u diwallasai hwynt yn yr anialwch, ac a roddasai ei golofn dân yn oleuni iddynt. Eu gwaith hwy eu hunain bob amser oedd myned i anialwch a thywyllwch mewn ystyr moesol. *Paham y dywed fy mhobl* — yn eu llwyddiant a'u hawddfyd, *Arglwyddi ydym ni*—arnom ein hunain, neu, yn ol y LXX, 'ni fynwn ni arglwyddiaethu arnom;' *ni ddeuwn ni mwy atat ti*—i geisio dy fendith, nac i roddi i ti addoliad?

Adn. 32. *A annghofia morwyn ei harddwisg*] Yr hon a wisgid ganddi yn ei hieuenctid? *neu briodasferch ei thlysau*—yn y rhai yr ymddanghosai hi ar ddydd ei phriodas? Na wna yn sicr. *Eto fy mhobl i a'm hannghofiasant ddyddiau aneirif*—er mai myfi a'm gwasanaeth oedd eu gogoniant penaf! Eithr onid oes llawer eto yn euog o'r ynfydrwydd hwn? Onid yw pethau nad ydynt o ddim gwerth mewn cymhariaeth, yn denu eu sylw, eu serch, a'u calon; tra y mae pethau o anfeidrol werth, ac o'r rhagoroldeb mwyaf, megys gras, duwioldeb, a bywyd tragwyddol; ïe Duw, a Christ, a'r nefoedd, yn cael eu hesgeuluso a'u dibrisio ganddynt!

Adn. 33. *Paham yr wyt ti yn cyweirio dy ffordd i geisio cariad*] Fel benyw anniwair a fyddo yn ymdrwsio ac yn ymrodio yn y modd mwyaf hudol, i geisio denu dynion ar ei hol? *Am hyny hefyd y dysgaist dy ffyrdd i rai drygionus*—i'w cadarnhau hwy yn eu drygioni, ac i'w gwneyd yn fwy drygionus nag o'r blaen. Eithr ystyr yr adnod hon, yn ol *Noldius*, yw, 'Paham yr wyt ti yn cyfiawnhau dy ffyrdd, neu yn hòni dy ddiniweidrwydd?' gwel adn. 35; a'r cyfieithiad *Ffrancaidd* a'i deongla, 'Paham y mynit ti gyfiawnhau dy ymddygiad i ddyfod i'm ffafr i, tra yr wyt yn dysgu i ereill y drwg a wnaethost dy hun?'

Adn. 34. *Hefyd yn dy odre di*] Ar odre dy wisgoedd, neu 'ar dy ddwylaw,' fel y mae gan y LXX; *y cafwyd gwaed eneidiau y tylodion diniwed*—neu 'waed *personau* tylodion a diniwed,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; sef y

35 Eto ti a ddywedi, Am fy mod
yn ddiniwed, yn ddiau y try ei lid
ef oddiwrthyf. Wele, dadleuaf â
thi, am ddywedyd o honot, Ni
phechais.
36 Paham y gwibi di gymaint i
newidio dy ffordd? canys ti a war-
adwyddir o herwydd yr Aifft, fel
y'th waradwyddwyd o herwydd As-
syria.
37 Hefyd, ti a ddeui allan oddi-
wrtho, a'th ddwylaw ar dy ben:
oblegid yr Arglwydd a wrthododd
dy hyder di, ac ni lwyddi ynddynt.

## PENNOD III.

HWY a ddywedant, O gyr gŵr ei
wraig ymaith, a myned o honi
oddiwrtho ef, ac iddi fod yn eiddo
gŵr arall, a ddychwel efe ati hi
mwyach? oni lwyr halogir y tir
hwnw? ond ti a buteiniaist *gyda*
chyfeillion lawer; eto dychwel ataf
fi, medd yr Arglwydd.
2 Dyrchafa dy lygaid i'r lleoedd
uchel, ac edrych pa le ni phutein-
iaist. Ti a eisteddaist ar y ffyrdd
iddynt hwy, megys Arabiad yn yr

---

plant a aberthasant hwy i Moloch, neu y proffwydi a laddasant am iddynt eu ceryddu hwy am eu pechodau: gwel ar adn. 23, 30. Dywedir i Manasseh lenwi Jerusalem â gwaed gwirion, 2 Bren. xxi. 16; a gall fod yma gyfeiriad at hyny hefyd. *Nid wrth chwilio y cefais hyn*—fel pe buasai y weithred yn un anamlwg neu anfynych; *eithr ar y rhai hyn oll*—yr oedd y drwg hwn yn un cyffredinol, ac mor amlwg fel y gallai pawb ei weled heb ei chwilio. Y mae y LXX, yn nghyda'r holl hen gyfieithiadau, yn ei ddarllen, 'Nid mewn tyllau cloddiedig y cefais hwynt, eithr ar bob derwen:' hyny yw, cafodd Duw y gwaed a dywalltwyd nid mewn tyllau dan y ddaear, eithr wedi ei daenellu ar bob derwen, o flaen pa rai yr aberthwyd y tylodion diniwed hyn yn y modd mwyaf cyhoeddus: gwel ar Ezec. xxiv. 7.

Adn. 35. *Eto ti a ddywedi*] Yn y modd mwyaf haerllug a digywilydd; *Am fy mod yn ddiniwed*—yn rhydd oddiwrth y cyhuddiadau a ddygwyd uchod yn fy erbyn; *yn ddiau y try ei lid ef oddiwrthyf*—ni fydd i'r Arglwydd fy nghospi i yn ol ei fygythiad. *Wele, dadleuaf â ti*—mi a ddygaf y cynghaws yn mlaen, ac a'th brofaf yn euog; *am ddywedyd o honot, Ni phechais*—fel hyn, yr oedd haeru eu diniweidrwydd, a hwythau ar yr un pryd yn euog, yn bechod chwanegol; ac yr oedd hyny yn galw am i'r Arglwydd ddadlu â hwynt, i'r dyben i brofi ei fod ef yn eirwir, a hwythau yn gelwyddog.

Adn. 36. *Paham y gwibi di gymaint i newidio dy ffordd*] Gan fyned i geisio cynorthwy weithiau o Assyria, a phryd arall o'r Aifft? *Canys ti a waradwyddir o herwydd yr Aifft*—ac felly y dygwyddodd, pen. xxxvii. 7, 8; *fel y'th waradwyddwyd o herwydd Assyria*—gwel ar 2 Cron. xxviii. 16—21.

Adn. 37. *Hefyd ti a ddeui allan oddiwrtho*] Sef dy genadau, y rhai a anfoni at frenin yr Aifft; *a'th ddwylaw ar dy ben*—wedi dy siomi a'th waradwyddo yn dy ddysgwyliad am gynorthwy ganddo ef. Rhoddir goleuni ar yr arferiad yma yn *Roberts's Oriental Illustrations.* 'Pan y byddo yr Hindŵaid mewn cyfyngder mawr, dodant eu dwylaw ar eu penau, gan blethu y bysedd ar y coryn. Pan ddygwyddo i ddyn a fyddo wedi ymsuddo mewn trallod gyfarfod â chyfaill, efe a amlyga hyny trwy ddodi ei ddwylaw ar ei ben. Pan glywo dyn am farwolaeth cyfaill, efe a wna yr un modd; ac felly y gwna bachgenyn a geryddir yn yr ysgol.' *Oblegid yr Arglwydd a wrthododd dy hyder di*—a wrthododd beri i ti gael y pethau yr hyderit ynddynt; *ac ni lwyddi ynddynt*—am dy fod yn dewis ymddiried mewn dynion eilunaddolgar, yn lle yn yr Arglwydd.

PEN. III. Adn. 1. *Hwy a ddywedant*] Hyny yw, arfera dynion ddywedyd, yn ol rheol y gyfraith yn y fath achos: *O gyr gŵr ei wraig ymaith*—trwy roddi iddi lythyr ysgar; *a myned o honi oddiwrtho ef*—yn ganlynol i hyny; *ac iddi fod yn eiddo gŵr arall*—trwy ail briodas; gwel ar Deut. xxiv. 1—4: *a ddychwel efe*—sef ei gŵr cyntaf, *ati hi mwyach?*—na wna yn sicr, am fod hyny yn groes i'r gyfraith uchod, ac yn halogrwydd o'r mwyaf ynddo ei hun. *Oni lwyr halogir y tir hwnw*—lle y gwneler y fath beth, pe byddai i hyny gael ei oddef? *Ond ti a buteiniaist gyda chyfeillion lawer*—Saes., 'gyda *chariadau* lawer;' ac felly y mae genyt achos cyfiawn i ofni na fydd i Dduw byth mwyach dy dderbyn di i fod yn briod iddo, gan dy fod wedi ymgysylltu nid âg un duw dyeithr, ond â llawer. *Eto dychwel ataf fi, medd yr Arglwydd*—bwrw ymaith dy eilunod, a dychwel ataf fi yn edifeiriol; pa wahoddiad a gynwysa addewid, y byddai iddo ef eu derbyn hwy eilwaith. Fel hyn y mae trugaredd Duw yn anfeidrol ragori ar bob tiriondeb dynol.

Adn. 2. *Dyrchafa dy lygaid i'r lleoedd uchel*] I'r mynyddau a'r bryniau lle y codaist allorau; *ac edrych pa le ni phuteiniaist*—ni osodaist eilunod yno i'w haddoli. *Ti a eisteddaist ar y ffordd iddynt hwy*—mewn dysgwyliad awyddus am dy gariadau uchod; *megys Arabiad yn yr anialwch*—yr hwn a eistedda yno i ddysgwyl am ymdeithydd, fel y gallo ei yspeilio; *ac a halogaist y tir â'th buteindra, ac â'th ddrygioni*—nid yn unig â'th eilunaddoliaeth, ond â phob rhyw bechod arall.

Adn. 3. *Am hyny yr attaliwyd y cawodydd*] Sef y cynar-wlaw tua mis Hydref neu Tachwedd, yr hwn oedd mor angenrheidiol i fwydo a pharotoi y tir i'r had; *ac ni bu gwlaw diweddar*—tua mis Mawrth neu Ebrill, i lenwi

anialwch; ac a halogaist y tir â'th
buteindra, ac â'th ddrygioni.
3 Am hyny yr attaliwyd y cawod-
ydd, ac ni bu gwlaw diweddar;
a thalcen puteinwraig oedd i ti;
gwrthodaist gywilyddio.
4 Oni lefi di arnaf fi o hyn allan,
Fy nhad, ti *yw* tywysog fy ieu-
enctid?
5 A ddeil efe *ei ddig* byth? a'*i*
ceidw yn dragywydd? Wele, dy-
wedaist a gwnaethost yr hyn oedd
ddrwg hyd y gellaist.
6 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd
wrthyf yn amser Josiah y brenin, A
welaist ti hyn a wnaeth Israel wrth-
nysig? Hi a aeth i bob mynydd
uchel, a than bob pren deiliog, ac a
buteiniodd yno.
7 A mi a ddywedais, wedi iddi
wneuthur hyn i gyd, Dychwel ataf
fi. Ond ni ddychwelodd. A Juda
ei chwaer anffyddlon hi a welodd
*hyny*.
8 A gwelais yn dda, am yr achos-
ion oll y puteiniodd Israel wrthnys-
ig, ollwng o honof hi ymaith, ac a
roddais iddi ei llythyr ysgar: er
hyn ni ofnodd Juda ei chwaer an-
ffyddlon; eithr aeth a phuteiniodd
hithau hefyd.
9 A chan ysgafnder ei phuteindra
yr halogodd hi y tir; canys gyda'r
maen a'r pren y puteiniodd hi.

---

ac addfedu y twysenau: gwel ar Deut. xi. 14, 15. *A thalcen puteinwraig oedd i ti*—er trymed oedd y barnau tymhorol hyn, sefaist yn dalgryf yn eu gwyneb; *gwrthodaist gywilyddio*—nid ymostyngaist mewn cywilydd ac edifeirwch am dy bechodau erchyll.

Adn. 4. *Oni lefi di arnaf fi o hyn allan*] Ar ol y gwahoddiad grasol yn adn. 1, a'r gosp drom yn adn. 3; *Fy nhad, ti yw tywysog fy ieuenctid*—yr hwn a'm tywysaist yn fore yn y ffordd ag y dylaswn ei rhodio? Fel pe dywedasai, Ai ni fydd i ti, ar ol cael y profion uchod o'm tiriondeb a'm toster, ddychwelyd ataf fi yn edifeiriol, fel plentyn at ei dad, gan ofyn am faddeuant, ac addaw na throseddi mwyach? Yn wir gallesid yn rhesymol ddysgwyl cymaint a hyn oddiwrthynt.

Adn. 5. *A ddeil efe ei ddig byth? a'i ceidw yn dragywydd?*] Tybia rhai mai y geiriau a roddid yn eu genau hwy gan Dduw, neu a ddysgwyliai efe oddiwrthynt, yw y rhai hyn, fel diwedd yr adnod flaenorol; tybia ereill mai cerydd yw y geiriau, am iddynt obeithio na ddigiai efe wrthynt yn dragywydd, er glynu o honynt yn eu pechodau; a thybia ereill mai iaith rwgnachlyd yr Iuddewon eu hunain dan eu ceryddon yw hon: fel pe dywedasent, Ai nid oes diwedd ar ddig yr Arglwydd i'n herbyn? *Wele, dywedaist a gwnaethost yr hyn oedd ddrwg hyd y gellaist*—gan fy nigio i gymaint ag a fedrit mewn gair a gweithred. Ond fe allai mai geiriau y proffwyd yw yr holl adnod, i annog y bobl i droi at yr Arglwydd, am na ddaliai efe ei ddig byth, er iddynt hwy ddywedyd a gwneyd yr hyn oedd ddrwg hyd y gallent.

Adn. 6. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrthyf yn amser Josiah y brenin*] Rywbryd ar ol y *ddeunawfed* flwyddyn o deyrnasiad y brenin duwiol hwnw, fel y meddylir; *A welaist ti hyn a wnaeth Israel wrthnysig*—fel ei hadroddir yn hanes y deg llwyth gwrthgiliedig hyny? Rhaid mai gweled eu *hanes* hwy a feddylir, canys yr oedd Israel wedi eu caethgludo i Assyria er's mwy na 50 mlynedd cyn geni Jeremi na Josiah. *Hi*—sef teyrnas y deg llwyth; *a aeth i bob mynydd uchel, a than bob pren deiliog*—yr un modd a'r cenhedloedd paganaidd, Deut. xii. 1, &c.; *ac a buteiniodd yno*—trwy addoli Baal a duwiau ereill, yn chwanegol at y ddau lo aur ag oeddynt yn Dan a Bethel.

Adn. 7. *A mi a ddywedais*] Trwy fy mhroffwydi Elias, Eliseus, Hosea, Amos, &c.; *wedi iddi wneuthur hyn i gyd*—wedi iddi fy ngadael i a'm haddoliad, a phuteinio gydag eilunod; *Dychwel ataf fi*—i'm haddoli i yn unig. *Ond ni ddychwelodd*—ac felly danghosai nid yn unig ei gwrthgiliad, ond ei gwrthnysigrwydd hefyd. *A Juda ei chwaer anffyddlon hi*—gelwir Juda yn *chwaer* i Israel, naill ai am ei bod yn frenhiniaeth neu deyrnas fel Israel, neu ynte am eu bod ill dwy wedi disgyn oddiwrth yr un tad, sef Jacob; a gelwir hi yn *anffyddlon*, am ei bod fyth yn proffesu ymlyniad wrth Dduw fel ei phriod cyfammodol, tra yr oedd Israel wedi gwrthgilio oddiwrth ei gyfammod ef: *a welodd hyny*—sef gwrthgiliad y deg llwyth, a'r gosp a ddaeth arnynt am hyny, yr hyn a ddylasai fod yn rhybydd i Juda.

Adn. 8. *A gwelais yn dda, am yr achosion oll y puteiniodd Israel wrthnysig*] Sef am eu gwrthgiliad, eu heilunaddoliaeth, a'u parhad gwrthnysig yn yr unrhyw yn ngwyneb fy holl wahoddiadau grasol i ar eu hol; *ollwng o honof hi ymaith*—i fyned yn gaeth i Assyria; *ac a roddais iddi ei llythyr ysgar*—gan ei hysgaru o fod yn eglwys a phobl i mi. *Er hyn ni ofnodd Juda*—nid ofnodd fy nigio i, na'r gosp gyfiawn a ddylynai hyny; *ei chwaer anffyddlon*—sef chwaer anffyddlon teyrnas Israel, adn. 7: *eithr aeth a phuteiniodd hithau hefyd*—yr un modd a theyrnas y deg llwyth, er fod fy marnedigaethau i ar Israel ar y pryd yn amlwg o flaen ei llygad!

Adn. 9. *A chan ysgafnder ei phuteindra*] Neu ei gwaith yn cyfrif eilunaddoliaeth yn beth ysgafn a dibwys; *yr halogodd hi y tir*—y dygodd yr holl wlad i'r un arferiad ffiaidd: *canys gyda'r maen a'r pren y puteiniodd hi*—gwnai dduwiau iddi ei hun o unrhyw fath a'r ddefnyddiau, pa mor wael bynag.

Adn. 10. *Ac er hyn oll hefyd*] Er gweled

10 Ac er hyn oll hefyd, ni ddy-
chwelodd Juda ei chwaer anffydd-
lon ataf fi â'i holl galon, eithr mewn
rhagrith, medd yr Arglwydd.
11 A dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Israel wrthnysig a'i cyf-
iawnhaodd ei hun ragor Juda an-
ffyddlon.
12 ¶ Cerdda, a chyhoedda y geir-
iau hyn tua'r gogledd, a dywed, Ti
Israel wrthnysig, dychwel, medd yr
Arglwydd, *ac* ni adawaf i'm llid
syrthio arnoch: canys trugarog *yd-
wyf* fi, medd yr Arglwydd, ni ddal-
iaf *lid* yn dragywydd.
13 Yn unig cydnebydd dy anwir-
edd, droseddu o honot yn erbyn yr
Arglwydd dy Dduw, a gwasgaru o
honot dy ffyrdd i ddyeithriaid dan
bob pren deiliog, ac ni wrandawech
ar fy llef, medd yr Arglwydd.
14 Trowch, chwi blant gwrth-
nysig, medd yr Arglwydd; canys
myfi a'ch priodais chwi: a mi a'ch
cymeraf chwi, un o ddinas, a dau o
deulu, ac a'ch dygaf chwi i Seion:
15 Ac a roddaf i chwi fugeiliaid
wrth *fodd* fy nghalon, y rhai a'ch
porthant chwi â gwybodaeth, ac â
deall.
16 Ac wedi darfod iwch' amlhau
a chynyddu ar y ddaear, yn y dydd-
iau hyny, medd yr Arglwydd, ni
ddywedant mwy, Arch cyfammod
yr Arglwydd; ac nis meddwl calon
am dani, ac ni chofir hi; nid ym-
welant â *hi* chwaith, ac ni wneir
*hyny* mwy.

---

cosp Israel, ac er fod Duw yn gweled yr un pechodau ynddi hithan hefyd; *ni ddychwelodd Juda*—chwaer anffyddlon Israel, *ataf fi â'i holl galon*—hyd yn nod dan deyrnasiad ei brenhinoedd duwiolaf, pryd y proffesent eu bod yn dychwelyd; *eithr mewn rhagrith*—trwy gael eu *gorfodi* gan Josiah ac ereill i gadw cyfammod yr Arglwydd, yr hyn a wnaent yn rhagrithiol: gwel ar 2 Cron. xxxiv a xxxv.

Adn. 11. *A dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Y pryd hyny, adn. 6; *Israel wrthnysig a'i cyfiawnhaodd ei hun ragor Juda anffyddlon*—hyny yw, y mae Israel wrthnysig yn fwy cyfiawn neu esgusodol, ar y cyfan, na Juda anffyddlon; neu, y mae Juda, o'r ddwy, yn fwy euog, wrth ystyried ei bod hi wedi cael llawer o frenhinoedd duwiol, a mwy o freintiau a manteision crefyddol nag Israel, ac wedi cael rhybydd hefyd oddiwrth bechod a chosp Israel.

Adn. 12. *Cerdda, a chyhoedda y geiriau hyn tua'r gogledd*] A'th wyneb tuag Assyria, Media, a Mesopotamia, gwledydd o du y gogledd i Judea, lle yr oedd y deg llwyth y pryd hyn mewn caethiwed. Nid ydym i feddwl fod y proffwyd i fyned i'r gwledydd hyny; eithr yr oedd efe i gyhoeddi ei genadwri yn Jerusalem, â'i wyneb tuag yno, i'r dyben i gywilyddio gwŷr Juda. *Ti Israel wrthnysig, dychwel*—ataf fi mewn gwir ymostyngiad ac edifeirwch; *ac ni adawaf i'm llid syrthio arnoch*—yn barhaus, neu yn drymach nag y mae efe arnoch eisioes: *canys trugarog ydwyf fi, medd yr Arglwydd*—wrth bawb a droant ataf mewn gwir edifeirwch; *ac ni ddaliaf lid yn dragywydd*—tuag at y cyfryw rai: gwel ar Exod. xxxiv. 6, 7. Ond tybia *Sutcliffe* mai cyfeirio y mae efe at ranau gogleddol Gwlad Canaan, lle yr oedd rhai o'r deg llwyth yn aros fyth.

Adn. 13. *Yn unig cydnebydd dy anwiredd*] Mewn galar ac edifeirwch; *droseddu o honot yn erbyn yr Arglwydd dy Dduw*—wrth addoli y lloi aur yn Dan a Bethel; *a gwasgaru o honot dy ffyrdd i ddyeithriaid*—gan redeg yma a thraw ar ol duwiau dyeithr, neu ymgrymu iddynt, *dan bob pren deiliog*—yr un modd ag y gwna y Cenhedloedd eilunaddolgar yn eu llwyni; *ac ni wrandawech ar fy llef*—ar fy ngalwadau i ar eich ol trwy fy mhroffwydi: gwel ar adn. 7. Felly ni a welwn nad pechod o anwybodaeth oedd eu pechod hwythau.

Adn. 14. *Trowch, chwi blant gwrthnysig*] Oddiwrth eich eilunod hyny at yr Arglwydd eich Duw; *canys myfi a'ch priodais chwi*—trwy y cyfammod a wnaed rhyngom gynt yn Horeb: gwel ar Exod. xxiv. 3—8. *A mi a'ch cymeraf chwi*—a'ch derbyniaf chwi eto, er i mi eich gollwng chwi ymaith trwy roddi llythyr ysgar i chwi, adn. 8; *un o ddinas, a dau o deulu*—y meddwl yw, fod Duw fyth yn foddlon i'w derbyn hwy yn ol i'w ffafr ac i'w eglwys ar eu hedifeirwch, ïe pe na byddai ond i ychydig o honynt ddychwelyd ato, ddim ond megys un o bob dinas, neu ddau o bob talaeth neu lwyth; *ac a'ch dygaf chwi i Seion*—neu i Jerusalem, yr hon oedd yn gysgod o eglwys Crist. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol ar ol cyhoeddiad cyffredinol Cyrus, pryd y dychwelodd rhai hyd yn nod o wŷr *Israel* i Ganaan gyda gwŷr Juda, bob yn ychydig ac ychydig.

Adn. 15. *Ac a roddaf i chwi fugeiliaid wrth fodd fy nghalon*] Yn wladol ac eglwysig; *y rhai a'ch porthant chwi â gwybodaeth*—am Dduw, ei gyfraith, a'i grefydd; *ac â deall*—i amgyffred a charu ei wasanaeth a'i ffyrdd ef. Bugeiliaid o'r fath hyny oedd Zorobabel, Ezra, Nehemiah, Haggai, a Jesua yr archoffeiriad, Ezra v. 2, &c.; a bugeiliaid o'r fath hyny yw gwir weinidogion yr eglwys Gristionogol yn mhob oes.

Adn. 16. *Ac wedi darfod iwch' amlhau a chynyddu ar y ddaear*] Yn y dyddiau diweddaf; *yn y dyddiau hyny*—sef yn nyddiau yr efengyl, at y rhai y cyfeirir yma yn neillduol; *ni ddywedant mwy, Arch cyfammod*

17 Yn yr amser hwnw y galwant
Jerusalem yn orseddfa yr Arglwydd; ac y cesglir ati yr holl
genhedloedd, at enw yr Arglwydd,
i Jerusalem: ac ni rodiant mwy yn
ol cildynrwydd eu calon ddrygionus.
18 Yn y dyddiau hyny y rhodia
tŷ Juda gyda thŷ Israel, a hwy a
ddeuant yn nghyd o dir y gogledd,
i'r tir a roddais i yn etifeddiaeth
i'ch tadau chwi.
19 Ond mi a ddywedais, Pa fodd
y'th osodaf yn mhlith y plant, ac y
rhoddaf i ti dir dymunol, *sef* etifeddiaeth ardderchog lluoedd y Cenhedloedd? ac a ddywedais, Ti a
elwi arnaf fi, Fy nhad, ac ni throi
ymaith oddiar fy ol i.
20 ¶ Yn ddiau *fel* yr anffyddlona
gwraig oddiwrth ei chyfaill; felly,
tŷ Israel, y buoch anffyddlon i mi,
medd yr Arglwydd.
21 Llef a glywyd yn y manau
uchel, ŵylofain *a* dymuniadau meibion Israel: canys gŵyrasant eu
ffordd, *ac* anghofiasant yr Arglwydd eu Duw.
22 Ymchwelwch, feibion gwrthnysig, *a* mi a iachâf eich gwrth-

---

*yr Arglwydd*—nid ymffrostia hyd yn nod yr Iuddewon dychweledig eu hunain yn yr arch a'i gwasanaeth, eithr bydd i freintiau uwch yr efengyl ymddangos iddynt hwy yn llawer mwy gogoneddus na dim a berthynai gynt i'r eglwys Iuddewig, a pheri iddynt ei llwyr anghofio hi. *Nid ymwelant â hi chwaith*—fel y gwnaent gynt ar y gŵyliau arbenig yn Jerusalem; neu, 'ni ofalant am dani,' fel y mae *Blayney* yn ei gyfieithu; *ac ni wneir hyny mwy*—hyny yw, ni wneir arch mwy i'r ail deml, ar ol iddi gael ei llosgi yn ninystr y deml gyntaf gan y Caldeaid, fel y mae rhai yn ei ddeall: gwel ar 2 Bren. xxv. 9. Y mae yn debyg fod yr *arch* yn cael ei henwi yma am holl ddodrefn neu wasanaeth seremonïol y deml dan yr oruchwyliaeth Foesenaidd.

Adn. 17. *Yn yr amser hwnw y galwant Jerusalem*] Sef eglwys y Testament Newydd, o'r hon yr oedd Jerusalem yn gysgod; *yn orseddfa yr Arglwydd*—yn drigfa ei ogoniant ef, neu yn breswylfod i'r Secina dwyfol, yn lle cauad yr arch yn nghysegr y deml: *ac y cesglir ati yr holl genhedloedd*—o bob cwr o'r ddaear, *at enw yr Arglwydd i Jerusalem*—i broffesu ffydd yn Nghrist yn eglwys y Testament Newydd: *ac ni rodiant mwy yn ol cildynrwydd eu calon ddrygionus*—fel y gwnaent gynt.

Adn. 18. *Yn y dyddiau hyny y rhodia tŷ Juda gyda thŷ Israel*] Trwy y bydd yr elyniaeth ag oedd gynt rhwng y ddwy deyrnas hyn wedi ei lladd: *a hwy a ddeuant yn nghyd o dir y gogledd*—o Babilon, yn gystal ag o Assyria a Media; *i'r tir a roddais i yn etifeddiaeth i'ch tadau chwi*—sef i Ganaan. Cyfeiriad llythyrenol y geiriau hyn sydd at ddychweliad Juda ac Israel i'w gwlad eu hunain yn ganlynol i'r cyhoeddiad cyffredinol o ryddid gan Cyrus; ac yr oedd hyny yn gysgod o uniad yr Iuddewon a'r Cenhedloedd yn eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf. Nid wyf fi yn meddwl fod yma y cyfeiriad lleiaf at ddychweliad yr Iuddewon i Ganaan ar ol iddynt gofleidio Cristionogaeth, fel y tybia llawer.

Adn. 19. *Ond mi a ddywedais*] Yma arddanghosir Duw fel yn myfyrio ynddo ei hun yn ol dull dynion; *Pa fodd y'th osodaf yn mhlith y plant*—hyny yw, pa fodd y gallaf fi, yn gyson â'm cyfiawnder a'm santeiddrwydd dwyfol, dderbyn y fath bobl wrthryfelgar i'm ffafr, a'u harddel hwynt fel fy mhlant; *ac y rhoddaf i ti dir dymunol*—neu le yn yr eglwys Gristionogol; *sef etifeddiaeth ardderchog lluoedd y Cenhedloedd*—yr hon a wrthodwyd ar y cyntaf gan yr Iuddewon yn nyddiau yr apostolion, ac a etifeddwyd wedi hyny gan y Cenhedloedd? gwel Act. xiii. 46—48. *Ac a ddywedais*—yn mhellach, fel atebiad i'r gofyniad uchod; *Ti a elwi arnaf fi, Fy nhad, ac ni throi ymaith oddiar fy ol i*—fel pe dywedasai, Ar yr ammodau hyn yn unig y gosodaf di yn mhlith y plant, ac y cai le yn yr eglwys Gristionogol.

Adn. 20. *Yn ddiau fel yr anffyddlona gwraig oddiwrth ei chyfaill*] Saes., 'oddiwrth ei gŵr;' *felly, tŷ Israel, y buoch anffyddlon i mi*—yma y mae Duw yn adgofio iddynt eu hanffyddlondeb gynt, i'r dyben i'w dwyn hwynt i edifeirwch, ac i ufydd-dod newydd rhagllaw; yr hyn a gafodd effaith dda arnynt, fel y gwelwn yn yr adnod nesaf.

Adn. 21. *Llef a glywyd yn y manau uchel*] Lle y buont hwy yn puteinio gyda'u heilunod; neu gall mai cyfeiriad sydd yma at yr arferiad o weddio ar benau y tai mewn amseroedd o drallod mawr, Esay xv. 3, a xxii. 1; *ŵylofain a dymuniadau meibion Israel*—yn ŵylo am eu pechodau, ac yn gweddio am drugaredd: *canys gŵyrasant eu ffordd*—trwy fyned ar ol eilunod; *ac anghofiasant yr Arglwydd eu Duw*—sef eu Duw cyfammodol, am yr hyn y maent yn awr yn gwir edifarhau.

Adn. 22. *Ymchwelwch, feibion gwrthnysig*] Oddiwrth eich eilunod a'ch pechodau, ataf fi; *a mi a iachâf eich gwrthnysigrwydd chwi*—symudaf yr euogrwydd o hono trwy faddeuant neu gyfiawnhad, a gwaredaf chwi oddiwrth eich tueddiadau gwrthnysig trwy adnewyddiad eich natur, neu santeiddhad. *Wele ni yn dyfod atat ti*—yr awr hon ar dy alwad rasol; *oblegid ti yw yr Arglwydd ein Duw*—sef ein Duw cyfammodol, yr hwn y dylem ufyddhau i ti, a'r hwn y mae genyt gyfiawn hawl yn ein gwasanaeth ddiffuant. Hyn, hyd ddiwedd y bennod, sydd ddarluniad nid o'r hyn a wnaed mewn gwirionedd gan

nysigrwydd chwi. Wele ni yn
dyfod atat ti; oblegid ti *yw* yr Arglwydd ein Duw.
23 Diau *fod* yn ofer *ymddiried am help* o'r bryniau, *ac o* luaws y mynyddoedd: diau *fod* iachawdwriaeth Israel yn yr Arglwydd ein Duw *ni*.
24 Canys gwarth a ysodd lafur ein tadau o'n hieuenctid; eu defaid a'u gwartheg, eu meibion a'u merched.
25 Gorwedd yr ydym yn ein cywilydd, a'n gwarth a'n tôdd ni: canys yn erbyn yr Arglwydd ein Duw y pechasom, nyni a'n tadau, o'n hieuenctid hyd y dydd heddyw, ac ni wrandawsom ar lais yr Arglwydd ein Duw.

PENNOD IV.

ISRAEL, os dychweli, dychwel ataf fi, medd yr Arglwydd: hefyd os rhoi heibio dy ffieidd-dra oddiger fy mron, yna ni'th symudir.
2 A thi a dyngi, Byw *yw* yr Arglwydd, mewn gwirionedd, mewn barn, ac mewn cyfiawnder: a'r cenhedloedd a ymfendithiant ynddo; ïe, ynddo ef yr ymglodforant.
3 ¶ Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth wŷr Juda, ac wrth Jerusalem; Braenerwch i chwi fraenar, ac na hauwch mewn drain.
4 Ymenwaedwch i'r Arglwydd, a rhoddwch heibio ddienwaediad

---

yr *holl* Israeliaid, ond o'r hyn ag ydoedd yn angenrheidiol i'w wneuthur mewn trefn i ennill ffafr Duw; ac o'r hyn y rhagwelai efe y byddai iddo gael ei wneuthur gan bawb o honynt a gredent yn y Messia yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 23. *Diau fod yn ofer ymddiried am help o'r bryniau, ac o luaws y mynyddoedd*] Sef oddiwrth yr eilunod a addolem gynt ar y bryniau a'r mynyddoedd; neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Diau y bryniau a nerth y mynyddoedd oeddynt i gelwydd.' *Diau fod iachawdwriaeth Israel*—yn dymhorol ac ysbrydol, *yn yr Arglwydd ein Duw ni*—yr hwn a wnaeth nef a daear, a'r hwn 'a wnaethpwyd yn awdwr iachawdwriaeth dragwyddol i'r rhai oll a ufyddhant iddo,' Heb. v. 9.

Adn. 24. *Canys gwarth a ysodd lafur ein tadau o'n hieuenctid*] Y mae eilunaddoliaeth ein tadau wedi bod yn ddinystr i'w *meddiannau*, neu i *ffrwyth* eu llafur hwy a ninau er pan ydym yn cofio; *eu defaid a'u gwartheg*—y rhai a ddygwyd oddiarnynt gan eu gelynion; *eu meibion a'u merched*—y rhai a gaethgludwyd o'u gwlad. Daeth yr holl golled, y drygfyd, a'r gwarth yma arnom o herwydd ein pechodau ni a'n tadau.

Adn. 25. *Gorwedd yr ydym yn ein cywilydd*] Mewn gwlad ddyeithr; *a'n gwarth a'n tôdd ni*—o herwydd ein pechodau a'n dyoddefiadau mawrion. Tybia rhai fod y gair *gwarth*, yma, ac yn pen. xi. 13, a Hos. ix. 10, yn arwyddo *Baal*, yr eilun a addolid ganddynt. *Canys yn erbyn yr Arglwydd ein Duw y pechasom*—yr hwn y dylasem ei garu a'i anrhydeddu; *nyni a'n tadau, o'n hieuenctid hyd y dydd heddyw*—yn ddiseibiant er pan yr ydym yn alluog i weithredu; *ac ni wrandawsom ar lais yr Arglwydd ein Duw*—yn gwahardd i ni bechu, neu yn galw arnom i edifeirwch ar ol i ni bechu.

PEN. IV. Adn. 1. *Israel, os dychweli*] Fel yr addewaist, pen. iii. 22; *dychwel ataf fi*—hyny yw, dychwel yn awr, a hyny â'th holl galon, ac yn ddiragrith. *Hefyd, os rhoi heibio dy ffieidd dra oddiger fy mron*—sef dy arferion pechadurus, ac yn enwedig dy '[illegible]od,' fel yr arwydda y gair hwn yn fynych; *yna ni'th symudir*—ti a ddychwelir [illegible] i'th wlad dy hun, ac ni'th symudir [illegible] mwyach. Rhaid mai hyn yw ystyr y [illegible] gan fod Israel y pryd hyn yn gaethion yn Assyria er's llawer o flynyddau, pen. iii. 6.

Adn. 2. *A thi a dyngi, Byw yw yr Arglwydd*] Hyny yw, pan y bydd genyt achos i dyngu, ti a dyngi i enw JEHOFA, ac nid i enwau eilunod. Neu gall fod y 'tyngu' hwn yn gyfystyr â phroffes o'r Arglwydd yn unig, ac yn cynwys ffyddlondeb i'w grefydd ef yn eu haddoliad yn gystal ag yn eu llwon. *Mewn gwirionedd*—sef yn ddidwyll, gan gredu fod yr hyn a dyngi yn wirionedd; *mewn barn*—yn bwyllog, ystyriol, a pharchus; *ac mewn cyfiawnder*—i amddiffyn y gwir, ac nid i niweidio ereill. *A'r cenhedloedd a ymfendithiant ynddo*—sef yn yr Arglwydd, wrth weled duwioldeb a dedwyddwch ei bobl ef; *ïe, ynddo ef yr ymglodforant*—ac nid yn eu heilunod mwyach. Meddylir fod yma gyfeiriad neillduol at ddyddiau yr efengyl.

Adn. 3. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, &c.*] Yma y mae yr Arglwydd yn troi at *wŷr Juda* a *thrigolion Jerusalem*, y rhai oeddynt hyd yma yn eu gwlad, a[illegible] yn mwynhau eu breintiau a'u manteision crefyddol, gan eu cynghori hwynt, mewn [illegible] gyffelybiaethol, i edifarhau a diwygio. *B[illegible]erwch i chwi fraenar*—trwy [illegible] eich calon galed a diffrwyth. F[illegible] pe dywedasai, Boed i chwi, trwy dduwiol dristwch am eich pechodau, a chasineb atynt, barotoi eich calonau i dderbyn had gair y bywyd. *Ac na hauwch mewn drain*—gweddiwch am i Dduw ddiwreiddio eich chwantau a'ch tueddiadau pechadurus, yn nghyda'ch gofalon bydol, rhag iddynt dyfu i fyny a thagu y gair, ac attal cynydd duwioldeb a rhinwedd yn eich eneidiau: gwel ar Mat. xiii. 3—23.

Adn. 4. *Ymenwaedwch i'r Arglwydd*] Trwy farweiddio eich tueddiadau llygredig, ac ymroddi i wasanaethu a charu yr Arglwydd eich Duw; *a rhoddwch heibio d[illegible] eich calon*—hyny yw, gofelwch a[illegible] enwaedu

eich calon, chwi gwŷr Juda, a
thrigolion Jerusalem: rhag i'm dig-
ofaint ddyfod allan fel tân, a llosgi
fel na *byddo* diffoddydd, o herwydd
drygioni eich amcanion.
5 Mynegwch yn Juda, a chy-
hoeddwch yn Jerusalem, a dywed-
wch, Udgenwch udgorn yn y tir:
gwaeddwch, ymgesglwch, a dywed-
wch, Ymgynullwch, ac awn i'r
dinasoedd caerog.
6 Codwch faner tua Seion:
ffowch, ac na sefwch; canys mi a
ddygaf ddrwg o'r gogledd, a di-
nystr mawr.
7 Y llew a ddaeth i fyny o'i loch-
es, a dyfethwr y cenhedloedd a gy-
chwynodd, ac a aeth allan o'i drig-
le, i wneuthur dy dir yn orwag;
*a'th* ddinasoedd a ddinystrir heb
drigianydd.
8 Am hyn ymwregyswch â llian
sach; galerwch ac udwch: canys
angerdd llid yr Arglwydd ni throes
oddiwrthym ni.
9 Ac yn y dydd hwnw, medd yr
Arglwydd, y derfydd am galon y
brenin, ac am galon y penaethiaid:
yr offeiriaid hefyd a synant, a'r
proffwydi a ryfeddant.
10 Yna y dywedais, O Arglwydd
Dduw, yn sicr gan dwyllo ti a
dwyllaist y bobl yma a Jerusalem,
gan ddywedyd, Bydd heddwch i
chwi; ac eto fe ddaeth y cleddyf
hyd at yr enaid.
11 Yn yr amser hwnw y dywedir
wrth y bobl hyn, ac wrth Jerusalem,

---

eich calon yn fwy nag am enwaedu eich cnawd; *rhag i'm digofaint ddyfod allan fel tân*—i'ch difa fel cenedl; *a llosgi fel na byddo diffoddydd*—hyny yw, eich difa yn hollol ac anadferadwy; *o herwydd drygioni eich amcanion*—Saes, 'drygioni eich gweithredoedd,' yr hyn yn unig sydd yn cyneu tân digofaint Duw yn erbyn dynion.

Adn. 5. *Mynegwch yn Juda, a chyhoeddwch yn Jerusalem*] Fod perygl dirfawr yn eu haros. *Udgenwch udgorn yn y tir*—rhybyddiwch y bobl yn gyhoeddus yn nghanol y wlad, megys trwy udganiad udgorn. *Gwaeddwch, ymgesglwch, a dywedwch*—fel y clywo pawb. *Ymgynullwch*—yn nghyd, *ac awn i'r dinasoedd caerog*—am ddiogelwch rhag ymosodiad y gelynion.

Adn. 6. *Codwch faner tua Seion*] Nid yn arwydd i gasglu milwyr ati, eithr yn fynegai i gyfeirio y bobl i *ffoi* yn ddioedi i Seion neu Jerusalem er diogelwch. *Canys mi a ddygaf ddrwg o'r gogledd*—sef o wlad y Caldeaid; *a dinystr mawr*—ar holl ddinasoedd Judea. Awgrymir yma, ond iddynt hwy adael eu pechodau, yr arbedid hwynt yn Jerusalem.

Adn. 7. *Y llew a ddaeth i fyny o'i loches*] Neu 'a *ddaw* i fyny,' onid edifarhewch chwi; canys ymddengys i hyn gael ei ddywedyd yn amser Josiah, fwy na 30 mlynedd cyn iddo gymeryd lle: *a dyfethwr y cenhedloedd*—felly y gelwir Nebuchodonosor, o herwydd i Dduw roddi yr holl wledydd cymydogaethol yn ei law ef; *a gychwynodd, ac a aeth allan o'i drigle*—yma llefarir am y pethau nid oeddynt, fel pe buasent; *i wneuthur dy dir yn orwag*—o drigolion; *a'th ddinasoedd a ddinystrir heb drigianydd*—ni byddai y dinasoedd yn addas i drigianu ynddynt, na dynion wedi eu gadael i gyfaneddu o'u mewn.

Adn. 8. *Am hyn ymwregyswch â llian sach*] Yn arwydd o'ch edifeirwch a'ch ymostyngiad gerbron Duw; *galerwch ac udwch*—am eich pechodau, fel y rhagflaener y trychineb hwn; neu, hwy a wnaent hyn oll pan ddeuai eu dinystr arnynt: *canys angerdd llid yr Arglwydd ni throes oddiwrthym ni*—neu 'oddiwrthych *chwi*,' fel y mae y LXX, y *Syriaeg*, a'r *Vulgate*, yn ei ddarllen.

Adn. 9. *Ac yn y dydd hwnw, medd yr Arglwydd*] Sef y dydd y deuai Nebuchodonosor a'i luoedd yn erbyn y wlad; *y derfydd am galon y brenin*—y derfydd gwroldeb Zedeciah brenin Juda, 2 Bren. xxv. 4; *ac am galon y penaethiaid*—sef ei lyswyr a'i gynghorwyr, y rhai a fyddant mor ofnus a llwfr ag yntau: *yr offeiriaid hefyd a synant*—heb wybod pa beth i'w wneyd; *a'r proffwydi a ryfeddant*—wrth weled y fath farn drom wedi syrthio ar y wlad. Y mae yn debyg mai y gau-broffwydi a feddylir yma, ac offeiriaid halogedig ac annuwiol, neu offeiriaid yr uchelfeydd.

Adn. 10. *Yna y dywedais*] Y dywedodd y proffwyd wrth yr Arglwydd, ar ol iddo glywed y bygythion trymion uchod yn erbyn y bobl. *Yn sicr gan dwyllo ti a dwyllaist y bobl yma a Jerusalem*—hyny yw, ti a oddefaist iddynt gael eu twyllo gan y gau-broffwydi, y rhai a ddywedent wrthynt y byddai heddwch parhaus iddynt. *Ac eto fe ddaeth y cleddyf hyd at yr enaid*—neu efe a *ddaw* i ddyfetha eu *heinioes* hwynt. Am na wrandawai y bobl ar y gwir broffwydi, goddefodd Duw iddynt gael eu twyllo gan y gau-broffwydi.

Adn. 11. *Yn yr amser hwnw*] Pan ddeuai brenin Babilon yn erbyn yr Iuddewon; *y dywedir wrth y bobl hyn, ac wrth Jerusalem*—cyhoeddir ei ddyfodiad ef a'i fyddinoedd dan y gyffelybiaeth o wynt difaol. *Gwynt sych yr uchel-leoedd yn y diffaethwch*—yr hwn oedd boethwynt cryf a difaol iawn yn y gwledydd hyny, Esay xxi. 1; *tua merch fy mhobl*—yn gwynebu ar Jerusalem; *nid i nithio, ac nid i buro*—nid i nithio a phuro yr ŷd oddiwrth yr ûs a'r sothach, fel y gwna gwynt cyffredin; eithr yn hytrach i ddifa a dystrywio dynion, neu i ddwyn y bobl yn gaethion i Babilon, fel corwynt yn cario ymaith bob peth o'i flaen.

Adn. 12. *Gwynt llawn o'r lleoedd hyny a ddaw ataf fi*] Wrth fy ngalwad i, neu i wneuthur fy ewyllys i. *Weithian hefyd mi*

Gwynt sych yr uchel-leoedd yn y
diffaethwch tua merch fy mhobl,
nid i nithio, ac nid i buro;
12 Gwynt llawn o'r *lleoedd* hyny
a ddaw ataf fi: weithian hefyd myfi
a draethaf farn yn eu herbyn hwy.
13 Wele, megys cymylau y daw
i fyny, a'i gerbydau megys cor-
wynt: ei feirch sydd ysgafnach na'r
eryrod. Gwae nyni; canys ni a
anrheithiwyd.
14 O Jerusalem, golch dy galon
oddiwrth ddrygioni, fel y byddech
gadwedig: pa hyd y lletŷi o'th
fewn goeg amcanion?
15 Canys llef sydd yn mynegu
allan o Dan, ac yn cyhoeddi cyst-
udd allan o fynydd Ephraim.
16 Coffewch i'r cenhedloedd,
wele, cyhoeddwch yn erbyn Jeru-
salem, ddyfod gwylwyr o wlad bell,
a llefaru yn erbyn dinasoedd Juda.
17 Megys ceidwaid maes y maent
o amgylch yn ei herbyn; am iddi
fy niglloni, medd yr Arglwydd.
18 Dy ffordd di a'th amcanion a
wnaethant hyn i ti: dyma dy ddryg-
ioni di; am ei fod yn chwerw, am
ei fod yn cyrhaeddyd hyd at dy
galon di.
19 ¶ Fy mol, fy mol; gofidus
wyf o barwydenau fy nghalon; y
mae fy nghalon yn terfysgu ynof:
ni allaf dewi, am i ti glywed sain
yr udgorn, O fy enaid, *a* gwaedd
rhyfel.

---

*a draethaf farn yn eu herbyn hwy*—yr hon yn yr amser priodol a gyflawnir arnynt hwy, os na ddychwelant trwy y rhybyddion hyn.

Adn. 13. *Wele, megys cymylau y daw i fyny*] Y daw Nebuchodonosor a'i fyddinoedd i fyny yn erbyn Jerusalem; *a'i gerbydau megys corwynt*—y rhai nas gellir eu gwrthsefyll; *ei feirch sydd ysgafnach na'r eryrod*—Saes., 'sydd *gyflymach* nag eryrod,' wrth iddynt ruthro i fyny yn erbyn Jerusalem. Y meddwl yw, y byddai y Caldeaid yn *llawer* fel cymylau, yn *nerthol* fel corwynt, ac yn *gyflym* fel eryrod pan yn ceisio dal eu hysglyfaeth. *Gwae nyni, canys ni a anrheithiwyd*—hyn a ddywedir gan y proffwyd wrth iddo ragweled y trychineb hwnw, neu gan y bobl wrth iddynt glywed am dano.

Adn. 14. *O Jerusalem, golch dy galon oddiwrth ddrygioni*] Yr oedd peth diwygiad allanol wedi cymeryd lle yn mhlith yr Iuddewon yn amser Josiah, ond yr oedd calon y rhan fwyaf o honynt yn tueddu fyth at eilunaddoliaeth a phechodau ereill; ac am hyny geilw yr Arglwydd arnynt i fod yn bur oddifewn: *fel y byddech gadwedig*—fel y gwareder chwi rhag y dinystr nesaol oddiwrth y Caldeaid, yn gystal a rhag dinystr tragwyddol. *Pa hyd y lletŷi o'th fewn goeg amcanion*—sef gobeithion gwâg am waredigaeth oddiwrth y Caldeaid trwy gynorthwy yr Aifftiaid ac ereill? neu pa hyd y dysgwyli i Dduw dy achub ar gyfrif dy olchiadau seremonïol, tra y mae dy galon oddifewn heb ei golchi trwy edifeirwch a santeiddiad yr Ysbryd?

Adn. 15. *Canys llef sydd yn mynegu allan o Dan*] Gan mai Dan oedd y parth mwyaf gogleddol o wlad Canaan, y mae yn debyg mai yno y deuai y Caldeaid gyntaf ar eu taith tua Jerusalem, yr hyn a barai i lef gyffrous gael ei chlywed oddiyno; *ac yn cyhoeddi cystudd allan o fynydd Ephraim*—canys byddai i'r Caldeaid ymdaith o Dan tua Jerusalem ar hyd ffordd mynydd Ephraim.

Adn. 16. *Coffewch i'r cenhedloedd*] Y rhai sydd yn awr yn preswylio yn ninasoedd y deg llwyth yn lle yr Israeliaid a gaethgludesid oddiyno, 2 Bren. xvii. 24, fod byddinoedd y Caldeaid yn dyfod trwy eu gwlad, fel y gallont barotoi gogyfer â'u diogelwch eu hunain: *wele, cyhoeddwch yn erbyn Jerusalem*—coffewch i Jerusalem hefyd, fel y gallo hithau fod yn barod erbyn eu dyfodiad hwynt; neu, cyhoeddwch mai yn erbyn Jerusalem y maent yn dyfod, ac nid yn erbyn y cenhedloedd uchod: *ddyfod gwylwyr o wlad bell*—neu 'warchaewyr' o Caldea, y rhai a wylient ar bob cyfleusdra i wneuthur drwg: *a llefaru yn erbyn dinasoedd Juda*—gan fwriadu drygu holl ddinasoedd ereill Juda, yn gystal a Jerusalem. Ond fe allai mai galwad sydd yma ar y cenhedloedd uchod i fyned allan gyda'r Caldeaid yn erbyn Jerusalem a dinasoedd Juda.

Adn. 17. *Megys ceidwaid maes y maent o amgylch yn ei herbyn*] Yn gwylio rhag i neb o'r Iuddewon ddianc o'r dinasoedd, fel y gwylia bugeiliaid rhag colli eu praidd, neu fel y gwylia gwinllanwyr rhag lladron; *am iddi fy niglloni, medd yr Arglwydd*—trwy ei heilunaddoliaeth a'i phechodau ereill.

Adn. 18. *Dy ffordd di a'th amcanion*] Dy arferion a'th feddyliau pechadurus; *a wnaethant hyn i ti*—yw yr achos o'r trychineb hwn a ddaeth arnat: *dyma dy ddrygioni di*—neu ffrwyth dy ddrygioni: *am ei fod yn chwerw*—i ti yn y canlyniad o hono; *am ei fod yn cyrhaeddyd hyd at dy galon di*—sef yn gofidio dy galon, neu yn ei harcholli hi.

Adn. 19. *Fy mol, fy mol, &c.*] I ddangos nad o hyfrydwch yr oedd y proffwyd yn rhagfynegu y barnau hyn, y mae efe yma yn dangos ei fod yn teimlo yn y modd dwysaf yn y rhagolwg ar y drygfyd nesaol; ïe, yr oedd ei fol neu ei ymysgaroedd, parwydenau ei galon, a'r galon ei hun hefyd, yn terfysgu ac yn dychlamu o'i fewn gan faint ei ddychryn a'i ofid. *Ni allaf dewi*—ni allai y proffwyd beidio â chwyno fel hyn, am ei fod eisioes fel yn clywed sain yr udgorn yn galw i ryfel, a gwaedd y rhyfel fel wedi dechreu. Y mae hwn yn ddarluniad cyffrous a naturiol iawn.

Adn. 20. *Dinystr ar ddinystr a gyhoedd-*

20 Dinystr ar ddinystr a gy-
hoeddwyd; canys yr holl dir a an-
rheithiwyd: yn ddisymwth y dys-
trywiwyd fy lluesttai i, *a*'m corteni
yn ddiatreg.
21 Pa hyd y gwelaf faner, *ac* y
clywaf sain yr udgorn?
22 Canys *y mae* fy mhobl i yn
ynfyd heb fy adnabod i; meibion
annghall *ydynt*, ac nid deallgar
hwynt: *y maent* yn synwyrol i
wneuthur drwg, eithr gwneuthur
da ni fedrant.
23 Mi a edrychais ar y ddaear, ac
wele, afluniaidd a gwâg *oedd;* ac ar
y nefoedd, a goleuni nid *oedd* gan-
ddynt.
24 Mi a edrychais ar y mynydd-
oedd, ac wele yr oeddynt yn crynu;
a'r holl fryniau a ymysgydwent.
25 Mi a edrychais, ac wele, nid
*oedd* dyn, a holl adar y nefoedd a
giliasent.
26 Mi a edrychais, ac wele y dol-
dir yn anialwch, a'i holl ddinas-
oedd a ddystrywiesid o flaen yr Ar-
glwydd, gan lidiogrwydd ei ddigter
ef.
27 Canys fel hyn y dywedodd yr
Arglwydd, Y tir oll fydd ddiffaeth-
wch: ac eto ni wnaf ddyben.
28 Am hyny y galara y ddaear,
ac y tywylla y nefoedd oddiuchod:
o herwydd dywedyd o honof fi, Mi
a'*i* bwriedais, ac ni bydd edifar
genyf, ac ni thrôf oddiwrtho.

---

*wyd*] Trwy ysbryd proffwydoliaeth efe a glywai gyhoeddiad dinystr y naill ddinas ar ol y llall yn barhaus; *canys yr holl dir a anrheithiwyd*—sef tir Judea, adn. 23—26. *Yn ddisymwth y dinystriwyd fy lluesttai*—sef pebyll yr Iuddewon; *a'm corteni yn ddiatreg*—sef corteni neu leni y pebyll hyny: neu, yr oedd y gelynion yn dryllio eu dinasoedd cadarnaf hwy cyn hawdded a phe buasent bebyll wedi eu gwneyd o leni a chortenau.

Adn. 21. *Pa hyd y gwelaf faner*] Neu lumanau y gelynion wedi eu gosod i fyny yn y wlad; *ac y clywaf sain yr udgorn*—yn galw i ryfel? Yr oedd yr arwyddion hyn o ryfel a dinystr yn ymddangos o flaen llygad y proffwyd yn barhaus.

Adn. 22. *Canys y mae fy mhobl i yn ynfyd heb fy adnabod i*] Crybwyllir hyn, mewn atebiad i'r gofyniad uchod, fel rheswm dros ddechread a pharhad y rhyfel hon, sef eu bod heb adnabod yr Arglwydd, yn enw yr hwn y llefarai y proffwyd. *Meibion annghall ydynt*—fel y tystia eu gweithredoedd; *ac nid deallgar hwynt*—yn y pethau sydd oraf er eu lles eu hunain. *Y maent yn synwyrol i wneuthur drwg*—neu yn dangos llawer o gyfrwysdra, medrusrwydd, a grym meddwl; *eithr gwneuthur da ni fedrant*—ni feddant duedd ato, neu ni fynant ei wneuthur. Yr oedd ganddynt allu naturiol i wneuthur da, ond ni feddent allu moesol; ac yr oedd eu hanallu hwn yn gynwysedig yn eu hanewyllysgarwch.

Adn. 23. *Mi a edrychais*] Medd y proffwyd, *ar y ddaear*—sef ar wlad Judea; *ac wele, afluniaidd a gwâg oedd*—fel crynswdd cymysglyd cyntefig y ddaear, Gen. i. 2: *ac ar y nefoedd, a goleuni nid oedd ganddynt*—yr un modd a'r fluriafen cyn creu y goleuni, Gen. i. 3. Ond wrth y *ddaear* yma y golyga rhai y llywodraeth wladol; ac wrth y *nefoedd*, y gyfundrefn eglwysig.

Adn. 24. *Mi a edrychais ar y mynyddoedd, ac wele yr oeddynt yn crynu*] Yr un modd a Sinai ar roddiad y ddeddf, Exod. xix. 18; *a'r holl fryniau a ymysgydwent*—fel gan ddaeargryn. Ond fe allai mai llywodraethwyr o wahanol raddau mewn gwlad ac eglwys a olygir wrth y *mynyddoedd* a'r *bryniau* hyn, y rhai a grynent ac a ymysgydwent ar ddynesiad y Caldeaid.

Adn. 25. *Mi a edrychais, ac wele, nid oedd dyn*] Neu ond ychydig o ddynion, trwy i'r rhan fwyaf naill ai ffoi mewn dychryn, neu gael eu caethgludo i Babilon; *a holl adar y nefoedd a giliasent*—i chwilio am eu hymborth mewn lleoedd ereill. Ni ragorir ar arddull barddonol hedegog yr adnodau hyn, hyd yn nod gan y proffwyd Esay ei hun.

Adn. 26. *Mi a edrychais*] Y bedwaredd waith; *ac wele y doldir yn anialwch*—gwyllt, llawn o ddrain a mieri; *a'i holl ddinasoedd a ddystrywiesid*—trwy ddwylaw y Caldeaid; *o flaen yr Arglwydd*—sef yn ei olwg ef, ac yn ol ei fwriad, adn. 28; *gan lidiogrwydd ei ddigter ef*—yr hwn a ddigiasai wrth ei bobl o herwydd eu pechodau.

Adn. 27. *Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd*] Mewn geiriau eglur wrth y proffwyd, yn gystal a thrwy yr arddangosiadau uchod; *Y tir oll fydd ddiffaethwch*—fel yr arddanghoswyd i ti, adn. 23—26: *ac eto ni wnaf ddyben*—hyny yw, yn ol rhai, ni fydd i'm llid derfynu yma. Ond fe allai mai gair o gysur yw hwn, yn arwyddo na lwyr ddyfethai Duw ei bobl, eithr y byddai iddo yn nghanol barn gofio trugaredd, ac y byddai i weddill gael eu hachub; ac felly y bu: gwel ar pen. v. 10.

Adn. 28. *Am hyny y galara y ddaear, ac y tywylla y nefoedd*] Arddanghosir yma yr holl greadigaeth fel yn galaru o herwydd erchylldod y dinystr hwn, i'r dyben i gywilyddio yr Iuddewon, y rhai oeddynt yn rhy galed i alaru wrth gael eu rhybyddio fel hyn: neu gall mai cyfeiriad sydd yma at y llywodraethwyr gwladol ac eglwysig, adn. 23. *O herwydd dywedyd o honof fi*—trwy fy mhroffwydi, *Mi a'i bwriedais*—a fwriedais ddwyn y gosp hon ar fy mhobl, i'r dyben i'w puro; *ac ni bydd edifar genyf*—ddarfod i mi fwriadu eu cospi, ac nid edifarhaf ar ol eu cospi; *ac ni thrôf oddiwrtho*—sef oddiwrth y bwriad na'r cyf-

29 Rhag trwst y gwŷr meirch a'r saethyddion y ffy yr holl ddinas; hwy a ânt i'r dyrysni, ac a ddringant ar y creigiau: yr holl ddinasoedd a adewir, ac heb neb a drigo ynddynt.

30 A thithau yr anrheithiedig, beth a wnei? Er ymwisgo o honot âg ysgarlad, er it' ymdrwsio â thlysau aur, er i ti liwio dy wyneb â lliwiau, yn ofer y'th wnei dy hun yn dêg; *dy* gariadau a'th ddirmygant, *ac* a geisiant dy einioes.

31 Canys clywais lef megys gwraig yn esgor, cyfyngder fel benyw yn esgor ar ei hetifedd cyntaf, llef merch Seion yn ochain, *ac* yn lledu ei dwylaw, *gan ddywedyd,* Gwae fi yr awr hon, oblegid diffygiodd fy enaid gan leiddiaid.

## PENNOD V.

RHEDWCH yma a thraw ar hyd heolydd Jerusalem, ac edrychwch yr awr hon, mynwch wybod hefyd, a cheisiwch yn ei heolydd hi, o chewch ŵr, a oes a wnel farn, a gais wirionedd, a myfi a'i harbedaf hi.

2 Ac er dywedyd o honynt, Byw yw yr Arglwydd, eto yn gelwyddog y tyngant.

3 O Arglwydd, onid ar y gwirionedd *y mae* dy lygaid di? ti a'u tarewaist hwynt, ac nid ymofidiasant; difeaist hwynt, *eithr* gwrthodasant dderbyn cerydd: hwy a wnaethant eu hwynebau yn galetach na chraig, gwrthodasant ddychwelyd.

---

lawniad. Y mae *Blayney*, gan ddylyn y LXX, yn newid ychydig ar drefn y geiriau hyn, gan eu darllen, 'O herwydd dywedais, ac nid yw edifar genyf; mi a fwriedais, ac ni thrôf oddiwrtho.'

Adn. 29. *Rhag trwst y gwŷr meirch a'r saethyddion*] Yn myddin y Caldeaid; *y ffy yr holl ddinas*—sef rhyfelwyr Jerusalem, fel yr adroddir yn pen. xxxix. 4—6, a lii. 7, 2 Bren. xxv. 4: *hwy a ânt i'r dyrysni*—i'r llwyni a'r coedwigoedd, *ac a ddringant ar y creigiau*—lle y tybient nad allai eu gelynion eu dal: *yr holl ddinasoedd a adewir*—gan eu trigolion.

Adn. 30. *A thithau yr anrheithiedig*] Sef Jerusalem a gwlad Judea; *beth a wnei*—y pryd hyny, pan yn cael dy faeddu gan y Caldeaid? *Er ymwisgo o honot âg ysgarlad*—fel benyw aniwair a hudol; *er it' ymdrwsio â thlysau aur*—ar dy wisgoedd, ac o amgylch dy wddf a'th freichiau; *er i ti liwio dy wyneb â lliwiau*—i'r dyben i ymddangos yn dêg a hardd yn ngolwg ereill: *dy gariadau a'th ddirmygant*—y pryd hyny; *ac a geisiant dy einioes*—y meddwl yw, na byddai i holl ddyfais yr Iuddewon i geisio ennill yr Aifftiaid ac ereill i'w cynorthwyo yn erbyn y Caldeaid, fod o ddim lles iddynt y pryd hyny; ac yn lle eu cynorthwyo, y byddai i'r cynghreirwyr hyny ymuno â'u gelynion i'w dyfetha hwynt.

Adn. 31. *Canys clywais lef megys gwraig yn esgor*] Sef llef yr Iuddewon yn eu trallod dirfawr; *cyfyngder fel benyw yn esgor ar ei hetifedd cyntaf*—pryd y mae poenau ac ofnau y fam yn fwyaf yn y cyffredin; *llef merch Seion yn ochain*—dan bwys ei chyfyngder; *ac yn lledu ei dwylaw*—fel arwydd naturiol o'i phoenau, ac o'i dymuniad am gynorthwy; *gan ddywedyd*—ar yr un pryd mewn geiriau, *Gwae fi yr awr hon*—pan y mae y rhai a'n hudasant i odineb ysbrydol eilunaddoliaeth wedi troi yn fy erbyn; *oblegid diffygiodd fy enaid gan leiddiaid*—sef trwy greulondeb didosturi y Caldeaid gwaedlyd! Yr oedd y proffwyd, trwy ysbryd proffwydoliaeth, fel yn gweled ac yn clywed hyn oll lawer o flynyddau cyn iddo gymeryd lle.

PEN. V. Adn. 1. *Rhedwch yma a thraw ar hyd heolydd Jerusalem*] Chwi fy mhroffwydi; *ac edrychwch yr awr hon*—a oes neb o fewn y ddinas yn gyfiawn; *a cheisiwch yn ei heolydd hi*—Saes., 'yn ei lleoedd llydain,' megys ei marchnad-leoedd, ei llysoedd, a'r manau lle yr oedd mwyaf o ddynion yn ymgynull; *o chewch ŵr*—gymaint ag un a wnel farn, ac a gais wirionedd; *a myfi a'i harbedaf hi*—er mwyn hwnw, os cewch ynddi gymaint ag *un* cyfiawn. Ymddengys fod Jerusalem y pryd hyn yn waeth na Sodom a Gomorra; canys wrth gynyg eu harbed hwy, ni ddaethai Duw yn îs na *deg* o rai cyfiawn, Gen. xviii. 32; ond yma efe a gynygia arbed Jerusalem er mwyn *un.* Y mae yn debyg mai rywbryd ar ol marwolaeth Josiah y traddodwyd y geiriau hyn.

Adn. 2. *Ac er dywedyd o honynt, Byw yw yr Arglwydd*] Gan broffesu ymlyniad wrth Jehofa yn eu llwon a'u crefydd, pen. iv. 2; *eto yn gelwyddog y tyngant*—nid ofnant dyngu celwydd pan yn apelio at Dduw; neu ymddygant fel pe na byddai yr Arglwydd yn *fyw*, ac yn eu canfod hwy. Yr oeddynt weithiau y pryd hyn yn tyngu i'w heilunod hefyd, adn. 7. Ymddengys mai geiriau yr Arglwydd yw y ddwy adnod uchod; ond o adn. 3 hyd ddiwedd adn. 6, y proffwyd sydd yn llefaru.

Adn. 3. *O Arglwydd, onid ar y gwirionedd y mae dy lygaid di?*] Onid gwirionedd a ffyddlondeb a gymeradwyir genyt ti? ac onid wyt ti yn gallu gwahaniaethu rhwng gwirionedd a rhagrith? *Ti a'u tarewaist hwynt*—sef trigolion Jerusalem, lawer gwaith cyn hyn; *ac nid ymofidiasant* — nid ymostyngasant mewn gwir alar edifeiriol wrth dy draed:

4 A mi a ddywedais, Yn sicr ty-
lodion *ydyw* y rhai hyn, ynfydion
ydynt: canys nid adwaenant ffordd
yr Arglwydd, *na* barn eu Duw.
5 Mi a âf rhagof at y gwŷr mawr,
ac a ymddyddanaf â hwynt; canys
hwy a wybuant ffordd yr Arglwydd,
*a* barn eu Duw: eithr y rhai hyn a
gyd-dorasant yr iau, *ac* a ddryll-
iasant y rhwymau.
6 Oblegid hyn llew o'r coed a'u
tery hwy, blaidd o'r anialwch a'u
dystrywia hwy, llewpard a wylia ar
eu dinasoedd hwy: pawb a'r a ddel
allan o honynt a rwygir: canys eu
camweddau a amlhasant, eu gwrth-
drofeydd a chwanegasant.
7 ¶ Pa fodd y'th arbedwn am
hyn? dy blant a'm gadawsant i, ac
a dyngasant i'r *rhai* nid *ydynt*
dduwiau: a phan ddiwellais hwynt,
gwnaethant odineb, ac a heidiasant
i dŷ y butan.
8 Oeddynt *fel* meirch porthian-
nus y bore; gweryrent bob un ar
wraig ei gymydog.
9 Onid ymwelaf am *y pethau* hyn?
medd yr Arglwydd: oni ddial fy
enaid ar gyfryw genedl a hon?
10 ¶ Dringwch ar ei muriau hi,
a dystrywiwch, ond na orphenwch
yn llwyr: tynwch ymaith eu mur-
ganllawiau hi; canys nid eiddo yr
Arglwydd *ydynt.*
11 Oblegid tŷ Israel a thŷ Juda

---

*difeaist hwynt*—lawer o honynt; *eithr gwrthodasant dderbyn cerydd*—hyny yw, gwrthododd y lleill ymlesâu trwy eu cerydd hwynt. *Hwy a wnaethant eu hwynebau yn galetach na chraig*—i wrthsefyll dy geryddon; *gwrthodasant ddychwelyd*—yr hyn y bwriadai Duw iddynt ei wneuthur wrth eu ceryddu.

Adn. 4. *A mi a ddywedais*] Mi a dynais y casgliad hwn oddiwrth eu hymddygiad ffol; *Yn sicr tylodion ydyw y rhai hyn*—plant i bobl dylodion, y rhai ni chawsant addysg priodol gan eu rhieni; *ynfydion ydynt*—heb gael manteision addas i gyraedd synwyr a doethineb yn eu hieuenctid: *canys nid adwaenant ffordd yr Arglwydd*—pa fodd i'w addoli ef, a rhyngu ei fodd; *na barn eu Duw*—sef ewyllys Duw, fel ei heglurir yn ei air; neu nid adwaenant ddyben y barnedigaethau dwyfol â pha rai yr ymwelwyd â hwynt.

Adn. 5. *Mi a âf rhagof at y gwŷr mawr*] Y rhai a gawsant eu dwyn i fyny yn well; *ac a ymddyddanaf â hwynt*—am Dduw a'i grefydd; *canys hwy a wybuant ffordd yr Arglwydd, a barn eu Duw*—trwy yr addysgiadau a'r wybodaeth grefyddol a dderbyniasant gan eu rhieni cyfoethog yn more eu hoes. *Eithr y rhai hyn a gyd dorasant yr iau*—yn waeth na'r tylodion; *ac a ddrylliasant y rhwymau*—a osodwyd arnynt gan gyfraith a chyfammod Jehofa.

Adn. 6. *Oblegid hyn llew o'r coed a'u tery hwy*] Y tlawd a'r cyfoethog yn nghyd; *blaidd o'r anialwch a'u dystrywia hwy*—y naill fel y llall: *llewpard a wylia ar eu dinasoedd hwy*—wrth y bwystfilod hyn y golygir Nebuchodonosor a'i fyddin, y rhai oeddynt yn gryf a gwrol fel *llew*, yn wancus a difael fel *blaidd*, ac yn gyflym a bywiog fel *llewpard*. *Pawb a'r a ddel allan o honynt*—sef o ddinasoedd Juda, *a rwygir*—gan y bwystfilod rheibus hyn: *canys eu camweddau a amlhasant*—yn ddirfawr; *eu gwrthdrofeydd a chwanegasant*—nes y mae cwpan eu hanwiredd yn llawn.

Adn. 7. *Pa fodd y'th arbedwn am hyn?*] Pa fodd y gelli ddysgwyl i'r Duw cyfiawn a santaidd basio heibio y fath ysgelerderau heb eu cospi? Efe a apelia at wŷr Jerusalem eu hunain i farnu ar yr achos hwn. *Dy blant a'm gadawsant i*—yr unig wir Dduw; hyny yw, a adawsant fy addoliad a'm gwasanaeth i; *ac a dyngasant i'r rhai nid ydynt dduwiau*—a apeliasant atynt, neu a dyngasant lw o ffyddlondeb iddynt, sef i'w heilunod mudion, gan eu hanrhydeddu hwy yn fy lle i. *A phan ddiwellais hwynt*—â phob cyflawnder o fendithion tymhorol; *gwnaethant odineb*—â gwragedd eu cymydogion, adn. 8; *ac a heidiasant i dŷ y butan*—nid i demlau yr eilunod yn unig, i gyflawni defodau ffiaidd ac aflan yno, eithr i dai putanod cyffredin hefyd, yr hyn sydd yma i'w ddeall yn llythyrenol.

Adn. 8. *Oeddynt fel meirch porthiannus y bore*] Yn llawn gwres ar ol eu cau i mewn dros nos, a'u porthi yn dda: *gweryrent bob un ar wraig ei gymydog*—mewn awydd ymlosgawl, fel march mewn cadwraeth dda.

Adn. 9. *Onid ymwelaf am y pethau hyn*] Mewn cosp gyfiawn? *oni ddial fy enaid ar gyfryw genedl a hon*—hyd yr eithaf? Fel pe dywedasai, A ydyw yn rhesymol meddwl y bydd i mi, yr hwn wyf Dduw cyfiawn a santaidd, oddef i'r fath bechaduriaid aflan a rhyfygus ddianc yn ddigosp?

Adn. 10. *Dringwch ar ei muriau hi*] Chwi Galdeaid; *a dystrywiwch*—y muriau hyny hyd y llawr, yn nghyda'r tai a'r trigolion: *ond na orphenwch yn llwyr*—gadewch weddill yn fyw. Fel hyn efe a esyd derfyn i'r cleddyf dinystriol, dros yr hwn ni chai efe fyned. *Tynwch ymaith ei mur-ganllawiau hi*—neu ei thyrau amddiffynol; *canys nid eiddo yr Arglwydd ydynt*—canys yr wyf fi yn eu diarddel hwynt, ac yn tynu fy amddiffyniad oddiwrthynt. Ond y mae y LXX, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg* yn ei ddarllen, 'Na orphenwch yn llwyr: gadewch ei sylfaeni; canys eiddo yr Arglwydd ydynt.'

Adn. 11. *Oblegid tŷ Israel a thŷ Juda*] Dau lwyth Benjamin a Juda, yn gystal a'r deg ereill; *a wnaethant yn anffyddlon iawn*

a wnaethant yn anffyddlon iawn â mi, medd yr Arglwydd.
12 Celwyddog fuant yn erbyn yr Arglwydd, a dywedasant, Nid efe *yw;* ac ni ddaw drygfyd arnom, ac ni welwn gleddyf na newyn:
13 A'r proffwydi a fuant fel gwynt, a'r gair nid *yw* ynddynt: fel hyn y gwneir iddynt hwy.
14 Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Am i chwi ddywedyd y gair hwn, wele fi yn rhoddi fy ngeiriau yn dy enau di yn dân, a'r bobl hyn yn gynud, ac efe a'u difa hwynt.
15 Wele, mi a ddygaf arnoch chwi, tŷ Israel, genedl o bell, medd yr Arglwydd: cenedl nerthol *ydyw,* cenedl *a fu* er ys talm, cenedl ni wyddost ei hiaith, ac ni ddealli beth a ddywedant.
16 Ei chawell saethau hi *sydd* fel bedd agored, cedyrn *ydynt* oll.
17 A hi a fwyty dy gynauaf di, a'th fara, *yr hwn* a gawsai dy feibion di a'th ferched ei fwyta: hi a fwyty dy ddefaid di a'th wartheg; hi a fwyty dy winwydd a'th ffigyswydd: dy ddinasoedd cedyrn, y rhai yr wyt yn ymddiried ynddynt, a dyloda hi â'r cleddyf.
18 Ac er hyn, yn y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd, ni wnaf fi gwbl ben â chwi.
19 ¶ A bydd pan ddywedoch, Paham y gwna yr Arglwydd ein Duw hyn oll i ni? ddywedyd o honot tithau wrthynt, Megys y gwrthodasoch fi, ac y gwasanaethasoch dduwiau dyeithr yn eich tir eich hun; felly y gwasanaethwch ddy-

---

*â mi*—trwy dori fy nghyfammod i, a myned ar ol eilunod.

Adn. 12. *Celwyddog fuant yn erbyn yr Arglwydd*] Trwy ddywedyd am dano yr hyn nid oedd wir; neu, yr oeddynt wrth annghredu geiriau Duw, yn ei 'wneuthur ef yn gelwyddog,' 1 Ioan v. 10. *A dywedasant, Nid efe yw*—nid Duw sydd yn llefaru trwy ei broffwydi; neu, yr oeddynt yn gwadu ei ragluniaeth ef, a'i lywodraethiad yn achosion y byd, gan briodoli pob peth i ddamwain. *Ac ni ddaw drygfyd arnom*—er i'r proffwydi fygwth hyny; *ac ni welwn gleddyf na newyn*—i'n dyfetha o'r tir: gwel ar Salm xciv. 7.

Adn. 13. *A'r proffwydi a fuant fel gwynt*] Yn swn heb sylwedd; *a'r gair nid yw ynddynt*—sef gair oddiwrth Dduw, eithr llefarant rywbeth o'u penau eu hunain: *fel hyn y gwneir iddynt hwy*—daw i'r proffwydi eu hunain y drygau a fygythient hwy arnom ni. Y rhai hyn ydynt eiriau y bobl gelwyddog uchod, mewn diystyrwch o broffwydi yr Arglwydd.

Adn. 14. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd*] Wrth yr anffyddwyr rhyfygus uchod; *Am i chwi ddywedyd y gair hwn*—sef fod geiriau fy mhroffwydi i fel gwynt swniog a disylwedd, adn. 13; *wele fi*—ebai Duw, gan droi i lefaru wrth y proffwyd Jeremi, *yn rhoddi fy ngeiriau yn dy enau di yn dân*—ac nid yn wynt disylwedd; *a'r bobl hyn yn gynud*—neu danwydd i'w llosgi ganddo; *ac efe a'i difa hwynt*—yn effeithiol a diatreg, fel pe byddent goed sychion a chrin.

Adn. 15. *Wele, mi a ddygaf arnoch chwi, tŷ Israel*] Sef Juda a Benjamin, fel rhan o had Israel; *genedl o bell*—sef o Babilon yn ol y bygythiad yn Deut. xxviii. 49: *cenedl nerthol ydyw*—mewn nifer, a phob arlwy rhyfel; *cenedl a fu er ys talm*—canys yr oedd Babilon wedi ei sylfaenu gan Nimrod yn mhen oddeutu 170 mlynedd ar ol y dylif, Gen. x. 10; *cenedl ni wyddost ei hiaith*—sef y Galdeaeg; *ac ni ddealli beth a ddywedant*—ni ddeallai y Baboniaid gŵynion na deisyfiadau yr Iuddewon, ac ni ddeallai yr Iuddewon eu cynygion na'u hammodau hwythau, ac felly nid allent ddysgwyl nemawr o drugaredd oddiwrthynt.

Adn. 16. *Ei chawell saethau hi sydd fel bedd agored*] Yn ddinystr i'r byw, fel y mae y bedd yn ddinystr i'r meirwon: *cedyrn ydynt oll*—y maent yn gryf o gorff, ac yn ddewr o ysbryd

Adn. 17. *A hi a fwyty dy gynauaf di*] Yn dy faesydd, *a'th fara*—yn dy dai; *dy ddefaid di a'th wartheg*—o'r rhai y cymerait ebyrth i'th dduwiau; *dy winwydd a'th ffigyswydd*—sef ffrwythau dymunol y prenau hyny. *Dy ddinasoedd cedyrn*—yn y rhai yr ymddiriedent hwy yn fwy nag yn Nuw; *a dyloda hi â'r cleddyf*—trwy ladd neu ddarostwng y trigolion.

Adn. 18. *Ac er hyn*] Er y difrod mawr hwn ar ddynion a'u meddiannau; *yn y dyddiau hyny*—pan fyddo y Caldeaid wedi dyfod i'ch gwlad; *ni wnaf fi gwbl ben â chwi*—canys yr oedd ganddo ddrygau ereill i'w dwyn arnynt ar ol hyny, sef caethiwed blin yn Babilon am 70 mlynedd, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu, yn ol ereill, ni lwyr ddinystriai efe hwynt, eithr gweddill a achubid: gwel ar pen. iv. 27.

Adn. 19. *A bydd pan ddywedoch*] Wrth eich gilydd, neu wrth y proffwyd Jeremi; *Paham y gwna yr Arglwydd ein Duw hyn oll i ni?*—am ba achos y dyg efe y difrod mawr hwn arnom ni a'n gwlad? *ddywedyd o honot tithau wrthynt*—mewn atebiad, mai nid heb gyfiawn achos y gwnaethym hyn. *Megys y gwrthodasoch fi*—a'm gwasanaeth; *ac y gwasanaethasoch dduwiau dyeithr yn eich tir eich hun*—sef yn nhir Judea; *felly y gwasanaethwch ddyeithriaid* — y byddwch

cithriaid mewn tir ni *byddo* eiddo
chwi.
20 Mynegwch hyn yn nhŷ Jacob,
a chyhoeddwch hyn yn Juda, gan
ddywedyd,
21 Gwrando hyn yn awr, ti
bobl ynfyd ac heb ddeall; y rhai y
mae llygaid iddynt, ac ni welant;
*a chlustiau* iddynt, ac ni chlyw-
ant:
22 Onid ofnwch chwi fi? medd
yr Arglwydd: oni chrynwch rhag
fy mron, yr hwn a osodais y tywod
*yn* derfyn i'r môr *trwy* ddeddf dra-
gwyddol, fel nad elo dros hwnw;
er i'r tònau ymgyrchu, eto ni thyc-
ia iddynt; er iddynt derfysgu, eto
ni ddeuant dros hwnw?
23 Eithr i'r bobl hyn y mae calon
wrthnysig ac anufyddgar: hwynt-
hwy a giliasant, ac a aethant
*ymaith.*
24 Ac ni ddywedant yn eu calon,
Ofnwn weithian yr Arglwydd ein
Duw, yr hwn sydd yn rhoi y gwlaw
cynar a'r diweddar yn ei amser:
*efe* a geidw i ni ddefodol wythnos-
au cynauaf.
25 ¶ Eich anwireddau chwi a
droes heibio y rhai hyn, a'ch pech-
odau chwi a attaliasant ddaioni
oddiwrthych.
26 Canys yn mysg fy mhobl y
ceir anwiriaid, y rhai a wyliant
megys *un* yn gosod maglau: gosod-
ant offer dinystr, dynion a ddal-
iant.
27 Fel cawell yn llawn o adar,
felly *y mae* eu tai hwynt yn llawn o
dwyll: am hyny y cynyddasant, ac
yr ymgyfoethogasant.
28 Tewychasant, dysgleiriasant,
aethant hefyd tuhwnt i weithred-
oedd y drygionus; ni farnant farn
yr amddifad, eto ffynasant; ac ni
farnant farn yr anghenus.

---

gaethweision i ddynion dyeithr, *mewn tir ni byddo eiddoch chwi*—sef yn Babilon.

Adn. 20. *Mynegwch hyn yn nhŷ Jacob, &c.*] Sef yn nhir Juda, yr hwn oedd ran o dŷ Jacob, adn. 15.

Adn. 21. *Gwrando hyn yn awr, ti bobl ynfyd ac heb ddeall*] Y rhai ydych mor ffol gyda golwg ar eich lles eich hunain, ag a ydych gyda golwg ar eich dyledswyddau i Dduw; *y rhai y mae llygaid iddynt*—neu allu naturiol i weled; *ac ni welant*—eithr cauant eu llygaid a'u clustiau yn wirfoddol, am na fynant weled na chlywed.

Adn. 22. *Onid ofnwch chwi fi, medd yr Arglwydd*] Ag ofn duwiol a pharchus? *oni chrynwch rhag fy mron*—yr hwn wyf hollalluog, fel yr awgrymir yn y geiriau nesaf? *Yr hwn a osodais y tywod yn derfyn i'r môr*—yn fur digon cryf i attal ymchwydd ei dònau, heb son am y mynyddau a'r creigiau: gwel ar Job xxxviii. 10, 11. *Trwy ddeddf dragwyddol*—yr hon a osodwyd mewn grym yn nechre y byd, ac a ufyddheir iddi hyd ddiwedd amser; oddieithr pan y rhoddo Duw ganiatad i'r elfen ddwfr gilio oddiwrthi, megys yn amser y dylif.

Adn. 23. *Eithr i'r bobl hyn y mae calon wrthnysig ac anufyddgar*] Calon hollol aflywodraethus, hyd yn nod tra y mae y môr yn ufyddhau yn barhaus i ddeddfau anian. *Hwynt-hwy a giliasant*—oddiwrthyf fi a'm haddoliad, *ac a aethant ymaith*—at eilunod.

Adn. 24. *Ac ni ddywedant yn eu calon*] Mewn gwir ymostyngiad ac edifeirwch; neu ni ddywedent oddiar ystyriaeth o *ddaioni* Duw, mwy na'i *allu*, adn. 22; *Ofnwn weithian yr Arglwydd ein Duw*—gan ufyddhau iddo a'i barchu; *yr hwn sydd yn rhoi y gwlaw cynar a'r diweddar yn ei amser*—pan y mae y naill a'r llall yn angenrheidiol at wasanaeth dyn: gwel ar pen. iii. 3, a Deut. xi. 14, 15. *Efe a geidw i ni ddefodol wythnosau cynauaf*—Saes., 'wythnosau *penodedig* y cynauaf,' sef yn eu hamser priodol. Fel pe dywedasai, Y mae daioni Duw i ni mor fawr, mewn ystyr naturiol neu dymhorol, fel y dylem ninau weithian ei ofni a'i wasanaethu ef o'r herwydd: ond gwel ar yr adnod nesaf.

Adn. 25. *Eich anwireddau chwi a droes heibio y rhai hyn*] Lawer gwaith; *a'ch pechodau chwi a attaliasant ddaioni oddiwrthych*—y mae rhai yn meddwl fod y cynauaf wedi ei attal oddiwrthynt y pryd hyn, naill ai trwy ddiffyg gwlaw, neu ynte trwy ormodedd o hono.

Adn. 26. *Canys yn mysg fy mhobl y ceir anwiriaid*] Neu ddynion anwir a drwg; nid yn unig yn mysg y cenhedloedd paganaidd, eithr yn mysg y rhai a broffesant eu bod yn bobl i mi; *y rhai a wyliant*—am gyfle i ddal a dinystrio ereill; *megys un yn gosod maglau*—i ddal adar neu fwystfilod.

Adn. 27. *Fel cawell yn llawn o adar*] Y rhai a ddaliesid trwy faglau ac offer dinystriol ereill; *felly y mae eu tai hwynt yn llawn o dwyll*—neu o eiddo a gyraeddasent hwy trwy dwyll ac annghyfiawnder: *am hyny y cynyddasant*—mewn cyfoeth a meddiannau.

Adn. 28. *Tewychasant, dysgleiriasant*] Y maent yn edrych yn dew, llewyrchus, a golygus, wrth fyw yn fras a moethus: *aethant hefyd tuhwnt i weithredoedd y drygionus*—yn fwy drygionus na'r dynion gwaethaf yn mhlith y cenhedloedd barbaraidd: *ni farnant farn yr amddifad*—ni roddant farn gyfiawn yn achos yr amddifad, yr anghenus, na'r weddw. *Eto ffynasant*—cynyddasant mewn cyfoeth, a hyny yn debygol trwy gael eu gwobrwyo am ŵyro barn, neu trwy gadw iddynt eu hunain eiddo yr amddifad a'r anghenus.

29 Onid ymwelaf am *y pethau*
hyn? medd yr Arglwydd; oni ddial
fy enaid ar gyfryw genedl a hon?
30 ¶ Peth aruthr ac erchyll a
wnaed yn y tir.
31 Y proffwydi a broffwydant
gelwydd, yr offeiriaid hefyd a lyw-
odraethant trwy eu gwaith hwynt;
a'm pobl a hoffant *hyny:* eto beth a
wnewch yn niwedd hyn?

## PENNOD VI.

YMGYNULLWCH i ffoi, meibion
Benjamin, o ganol Jerusalem,
ac yn Tecoa udgenwch udgorn; a
chodwch ffagl yn Beth-haccerem:
canys drwg a welir o'r gogledd, a
dinystr mawr.
2 Cyffelybais ferch Seion i *wraig*
dêg foethus.
3 Ati hi y daw y bugeiliaid â'u
deadellau; yn ei herbyn hi o am-
gylch y gosodant *eu* pebyll; porant
bob un yn ei le.
4 Parotowch ryfel yn ei herbyn
hi; codwch, ac awn i fyny ar han-
ner dydd. Gwae ni, o herwydd
ciliodd y dydd, canys cysgodau yr
hwyr a ymestynasant.
5 Codwch, ac awn i fyny o *hyd*
nos, a dystrywiwn ei phalasau hi.
6 ¶ Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Torwch goed, a

---

Adn. 29. *Onid ymwelaf am y pethau hyn? &c.*] Gwel ar adn. 9.

Adn. 30. *Peth aruthr ac erchyll*] Trosedd rhy fawr i'w adrodd yn llawn mewn geiriau; *a wnaed yn y tir*—sef yn nhir Juda, a hyny gan fy mhobl fy hun! Enwir rhan o hono yn yr adnod nesaf.

Adn. 31. *Y proffwydi a broffwydant gelwydd*] Sef y gau-broffwydi, trwy ddywedyd y byddai heddwch a llwyddiant i'r wlad, pryd yr oedd dinystr yn brysio i'w chyfarfod: *yr offeiriaid hefyd*—neu y *tywysogion*, fel y gellir ei gyfieithu; *a lywodraethant trwy eu gwaith hwynt*—a lywodraethant yn galed ac anghyfiawn, neu mewn cysondeb âg addysgiadau celwyddog y gau-broffwydi hyny. Neu gall ei fod yn cyfeirio yma at yr offeiriaid cnawdol ac annuwiol yn eu mysg, neu offeiriaid yr uchel-leoedd. *A'm pobl a hoffant hyny*—a garant glywed yr hyn a ddywedai y gau-broffwydi uchod, trwy na roddai anesmwythder i'w meddyliau, nac attalfa ar eu chwantau llygredig: gwel ar Esay xxx. 10. *Eto beth a wnewch yn niwedd hyn*—pan ddaw dinystr arnoch, yn groes i dystiolaeth y gau-broffwydi uchod?

PEN. VI. Adn. 1. *Ymgynullwch i ffoi, meibion Benjamin, o ganol Jerusalem*] At yr hon y mae y Caldeaid yn dynesu. Ond paham y dyry y proffwyd y rhybydd hwn i feibion Benjamin yn fwy nag i wŷr Juda? Tybia rhai ei fod ef yn rhoddi y flaenoriaeth i feibion Benjamin, am ei fod ef ei hun yn trigo yn Anathoth, un o ddinasoedd Benjamin, pen. i. 1; ac yn dra adnabyddus ond odid â rhai o'r Benjaminiaid ag oeddynt yn awr yn Jerusalem. Neu efe a eilw wŷr Juda a Benjamin ar yr enw hwn, am fod rhan fawr o Jerusalem yn llwyth Benjamin. *Ac yn Tecoa udgenwch udgorn*—i rybyddio y bobl yno hefyd fod y gelyn yn nesâu at Jerusalem. Yr oedd Tecoa yn llwyth Juda, oddeutu 12 milldir i'r deau o Jerusalem. *A chodwch ffagl yn Beth-haccerem*—cyneuwch goelcerth fawr yno, fel y gallo pawb trwy y wlad ddeall fod perygl yn ymyl. Hwn oedd bentref bychan yn sefyll ar fryn rhwng Jerusalem a Tecoa. *Canys drwg a welir o'r gogledd*—yn dyfod o'r gogledd, pen. iv. 15; *a dinystr mawr*—ar fywydau a meddiannau trwy law y Caldeaid.

Adn. 2. *Cyffelybais ferch Seion*] Neu ddinas Jerusalem; *i wraig dêg foethus*—yr hon oedd yn afradus iawn, heb feddwl dim am y drygfyd ag oedd yn dyfod arni. Ond trwy nad oes yma ddim yn y wreiddiol am *wraig*, y mae *Houbigant* ac ereill yn ei ddarllen, 'Cyffelybais ferch Seion i *borfa* dêg a dymunol,' yr hyn sydd yn cytuno yn dda â'r geiriau nesaf.

Adn. 3. *Ati hi y daw y bugeiliaid â'u deadellau*—Sef y cadfridogion Caldeaidd a'u byddinoedd; *yn ei herbyn hi o amgylch y gosodant eu pebyll*—i wersyllu yno; *porant bob un yn ei le*—dinystriant ac yspeiliant y ddinas bob un ar ei gyfer.

Adn. 4. *Parotowch ryfel yn ei herbyn hi*] Y rhai hyn ydynt eiriau y Caldeaid yn annog eu gilydd i daro Jerusalem, neu eiriau Duw yn peri iddynt wneuthur hyny. *Codwch, ac awn i fyny ar hanner dydd*—sef yr amser ag yr arferai y milwyr yn gyffredin yn ngwledydd poethion y dwyrain orphwyso. *Gwae ni, o herwydd ciliodd y dydd*—cyn i ni allu dechreu ar ein gwaith dinystriol; *canys cysgodau yr hwyr a ymestynasant*—y mae yr haul eisioes ar fachludo. Y geiriau hyn ydynt ddarluniad barddonol cryf o awydd diamynedd y Caldeaid am wneuthur eu hymosodiad.

Adn. 5. *Codwch, ac awn i fyny o hyd nos*] I daro Jerusalem cyn y bore; *a dystrywiwn ei phalasau hi*—heb arbed tŷ eu brenin na theml eu Duw. Cael y trysorau ag oeddynt yn y rhai hyn oedd eu hamcan hwy, ac nid cyflawni ewyllys Duw: modd bynag, yr oedd Duw trwyddynt hwy yn cyflawni ei fwriadau ei hun: gwel ar Esay x. 7.

Adn. 6. *Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Wrth y Caldeaid mewn effaith; *Torwch goed*—i'w defnyddio yn y gwarchaead hwn; *a chodwch glawdd yn erbyn Jerusalem*—i osod arno eich peiriannau rhyfel i weithredu yn ei herbyn hi. *Dyma y ddinas sydd i ymweled â hi*—mewn ffordd o gosp

chodwch glawdd yn erbyn Jerusalem. Dyma y ddinas *sydd* i ymweled â hi; gorthrymder *yw* hi oll o'i mewn.

7 Megys y gwna ffynnon i'w dwfr darddu allan, felly y mae hi yn bwrw allan ei drygioni: trais ac yspail a glywir ynddi; gofid a dyrnodiau *sydd yn* wastad ger fy mron.

8 Cymer addysg, O Jerusalem, rhag i'm henaid i ymado oddiwrthyt; rhag i mi dy osod di yn anrhaith, yn dir annghyfaneddol.

9 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Gan loffa y lloffant weddill Israel fel gwinwydden: tro dy law yn ei hol, megys casglydd grawnwin i'r basgedau.

10 Wrth bwy y dywedaf fi, a phwy a rybyddiaf, fel y clywant? Wele, eu clust hwy *sydd* ddienwaededig, ac ni allant wrando: wele, dirmygus ganddynt air yr Arglwydd; nid oes ganddynt ewyllys iddo.

11 Am hyny yr ydwyf fi yn llawn o lid yr Arglwydd; blinais yn ymattal: tywalltaf ef ar y plant yn yr heol, ac ar gynulleidfa y gwŷr ieuainc hefyd: canys y gŵr a'r wraig a ddelir, yr henwr a'r llawn o ddyddiau.

12 A'u tai a ddygwyddant i ereill, *eu* maesydd a'*u* gwragedd hefyd: canys estynaf fy llaw ar drigolion y wlad, medd yr Arglwydd.

13 Oblegid o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf, pob un sydd yn ymroi i gybydd-dod: ac o'r proffwyd hyd yr offeiriad, pob un sydd yn gwneuthur ffalsder.

14 A hwy a iachasant friw *merch*

---

neu farn: *gorthrymder yw hi oll o'i mewn*—sef ffynnonell o orthrymder, gormes, a thrais: gwel ar pen. v. 26—31.

Adn. 7. *Megys y gwna ffynnon i'w dwfr darddu allan*] Yn naturiol a pharhaus; *felly y mae hi yn bwrw allan ei drygioni*—yn ddibaid, ac mewn helaethrwydd: *trais ac yspail a glywir ynddi*—sef cwynion a llefiadau y rhai a dreisir ac a yspeilir ynddi; *gofid a dyrnodiau*—Saes., 'gofid ac archollion,' *sydd yn wastad ger fy mron*—yn galw am ddial yn barhaus ar y gorthrymwyr hyny.

Adn. 8. *Cymer addysg, O Jerusalem*] Oddiwrth fy rhybyddion i; *rhag i'm henaid i ymado oddiwrthyt*—a'th adael yn hollol i ddwylaw dy elynion; *rhag i mi dy osod di yn anrhaith*—i'r Caldeaid; *yn dir annghyfaneddol*—trwy i'th drigolion gael eu caethgludo i Babilon.

Adn. 9. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Gan ragweled na chymerai Jerusalem addysg; *Gan loffa y lloffant weddill Israel*—sef y rhai a adawyd gan yr Assyriaid yn amser caethgludiad y deg llwyth, ac a ymnoddasant yn Jerusalem; neu y rhai hyny o wŷr Juda a Benjamin a'r a adewid gan y Caldeaid yn amser yr ymosodiad ar Jerusalem; *fel gwinwydden*—fel y lloffir gweddill y grawn oddiar y winwydden i'r basgedau. *Tro dy law yn ei hol*—dychwel i loffa neu gasglu y gweddill hyny i gaethiwed. Hyn a ddywedir wrth Nebuchodonosor a'i fyddin.

Adn. 10. *Wrth bwy y dywedaf fi, a phwy a rybyddiaf?*] Yr oedd y proffwyd eisioes wedi bod yn rhybyddio y tylodion a'r gwŷr mawr, ond yn aflwyddiannus, pen. v. 4, 5; a phwy a rybyddiai efe mwyach, *fel y clywant*—hyny yw, yn effeithiol, neu i bwrpas? *Wele, eu clust hwy sydd ddienwaededig*—ymadrodd cyffelybiaethol, yn arwyddo eu hwyrfrydigrwydd hwy i wrando; *ac ni allant wrando*—hyny yw, ni fynent wrando ar ei rybyddion ef. *Wele, dirmygus ganddynt air yr Arglwydd*—sef ei addysgiadau, ei rybyddion, a'i geryddon ef; *nid oes ganddynt ewyllys iddo*—eithr casânt a dirmygant ef.

Adn. 11. *Am hyny yr ydwyf fi yn llawn o lid yr Arglwydd*] Sef yn llawn o awydd i gyhoeddi ei lid ef; *blinais yn ymattal*—rhag ei gyhoeddi. *Tywalltaf ef ar y plant yn yr heol*—cyhoeddaf ei ddisgyniad ef ar y plant bychain a fyddant yn chwareu ar yr heolydd, pen. ix. 21; *ac ar gynulleidfa y gwŷr ieuainc*—y rhai a gyfarfyddant â'u gilydd i gydymddifyru: *canys y gŵr a'r wraig a ddelir*—ganddo, y naill ryw yn gystal a'r llall; *yr henwr*—a fyddo wedi cyraedd canol oed, ac yn tynu tuag i waered; *a'r llawn o ddyddiau*—yr hwn a fyddo wedi cyraedd at fin ei fedd: hyny yw, efe a gyhoeddai lid yr Arglwydd yn erbyn pob gradd, rhywogaeth, ac oedran.

Adn. 12. *A'u tai a ddygwyddant i ereill*] A berchenogir gan ddyeithriaid; *eu maesydd a'u gwragedd hefyd*—yn ol y bygythiad yn Deut. xxviii. 30: *canys estynaf fy llaw ar drigolion y wlad*—i'w cospi yn y modd a nodwyd.

Adn. 13. *Oblegid o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf*] Yr ieuanc a'r hen, y tylawd a'r cyfoethog; *pob un sydd yn ymroi i gybydd-dod*—neu 'arian-garwch,' yr hwn yw 'gwreiddyn pob drwg,' 1 Tim. vi. 10, a'r achos o'r trais a'r gorthrymder a ffynai yn eu plith, adn. 6, 7. *Ac o'r proffwyd hyd yr offeiriad*—y rhai a ddylasent fod yn siampl o rinwedd a chrefydd i bawb; *pob un sydd yn gwneuthur ffalsder*—yn ymddwyn yn dwyllodrus a rhagrithiol, o ba broffwydi ac offeiriaid halogedig yr oedd amrai yn mysg yr Iuddewon yn amser y proffwyd Jeremi.

Adn. 14. *A hwy a iachasant friw merch fy mhobl i yn esmwyth*] Neu 'â geiriau têg,' fel y mae Beibl *Geneva* yn ei ddarllen; heb

fy mhobl i yn esmwyth, gan ddywedyd, Heddwch, heddwch; er nad *oedd* heddwch.
15 A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra? nid ydoedd arnynt hwy ddim cywilydd, ac ni fedrent wrido: am hyny y cwympant yn mysg y rhai a gwympant; yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt y cwympant, medd yr Arglwydd.
16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch, a gofynwch am yr hen lwybrau, lle *mae* ffordd dda, a rhodiwch ynddi; a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau. Ond hwy a ddywedasant, Ni rodiwn ni *ynddi.*
17 A mi a osodais wylwyr arnoch chwi, *gan ddywedyd,* Gwrandewch ar sain yr udgorn. Hwythau a ddywedasant, Ni wrandawn ni ddim.
18 ¶ Am hyny clywch, genhedloedd; a thi gynulleidfa, gwybydd pa bethau sydd yn eu plith hwynt.
19 Gwrando, tydi y ddaear, wele fi yn dwyn drygfyd ar y bobl hyn, *sef* ffrwyth eu meddyliau eu hunain; am na wrandawsant ar fy ngeiriau, na'm cyfraith, eithr gwrthodasant hi.
20 I ba beth y daw i mi thus o Seba, a chalamus peraidd o wlad bell? eich poeth-offrymau nid *ydynt* gymeradwy, ac nid melys eich aberthau genyf.
21 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele fi yn rhoddi tram-

---

dreiddio i waelod y briw, na dangos i'r bobl eu perygl dirfawr, na cheisio eu dwyn i deimlad chwerw o herwydd eu pechodau; *gan ddywedyd, Heddwch, heddwch*—i chwi a'ch gwlad; *er nad oedd heddwch*—na lle i'w ddysgwyl yn eu cyflwr presenol.

Adn. 15. *A ydoedd arnynt hwy gywilydd pan wnelent ffieidd-dra*] Sef pan gyflawnent ryw bechodau aflan? Nac oedd; *ac ni fedrent wrido*—gan mor galed a rhyfygus oeddynt. *Am hyny y cwympant yn mysg y rhai a gwympant*—cânt hwythau eu rhan gyda'r rhai a dwyllwyd ac a ddinystriwyd ganddynt. *Yn yr amser yr ymwelwyf â hwynt*—sef â gwŷr Juda a thrigolion Jerusalem; *y cwympant*—hwythau hefyd, sef trwy gleddyf y Caldeaid.

Adn. 16. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Sef cyn iddo ddwyn y farn uchod ar yr Iuddewon; *Sefwch ar y ffyrdd, ac edrychwch*—a ydych ar yr iawn ffordd ai peidio; *a gofynwch am yr hen lwybrau*—ar hyd y rhai y rhodiodd y patrieirch, y proffwydi, a'r duwiolion gynt; *lle mae ffordd dda*—sef ffordd crefydd a rhinwedd, yr hon sydd dda ynddi ei hun, ac yn arwain i le da; *a rhodiwch ynddi*—dros weddill eich oes; *a chwi a gewch orphwysdra i'ch eneidiau*—cewch dawelwch i'ch meddyliau, heddwch â Duw ar y daith, a gorphwysfa dragwyddol yn y nef: gwel ar Mat. xi. 29. Hon sydd gyffelybiaeth a gymerwyd oddiwrth ymdeithydd mewn petrusder oblegid y ffordd, mewn gwlad ddyeithr. Ar ol dyfod at groesffyrdd, y mae efe yn sefyll yno, ac yn gofyn i'r cyntaf a wel pa un yw yr iawn ffordd i'r fan lle y dymuna fyned; a thrwy rodio ar hyd hòno, y mae yn cael esmwythdra i'w feddwl, ac yn cyraedd o'r diwedd i ben ei daith yn ddiogel. *Ond hwy a ddywedasant*—ar ol cael eu cyfeirio i'r ffordd dda gan broffwydi, gair, a gweinidogion Duw; *Ni rodiwn ni ynddi*—hyn o leiaf oedd iaith eu hymddygiad, os nid eu geiriau.

Adn. 17. *A mi a osodais wylwyr arnoch chwi*] Sef olyniad o broffwydi i'ch dysgu a'ch cyfarwyddo yn barhaus; *gan ddywedyd, Gwrandewch ar sain yr udgorn*—sef ar y rhybyddion a'r addysgiadau gwerthfawr a roddir i chwi. *Hwythau a ddywedasant*—mewn ymddygiad, os nid mewn geiriau; *Ni wrandawn ni ddim*—ar dy gynghor, dy gerydd, na'th broffwydi.

Adn. 18. *Am hyny clywch, genhedloedd*] Y rhai a gyfaneddwch yn y gwledydd oddiamgylch; *a thi gynulleidfa*—sef y swyddogion a'r ynadon y rhai a wnaent i fyny lysoedd y cenhedloedd amgylchynol hyny, a'r rhai a farnent neu a drinient achosion eu pobl eu hunain; *gwybydd pa bethau sydd yn eu plith hwynt*—telwch sylw am unwaith i amgylchiadau fy mhobl inau, sef yr Iuddewon.

Adn. 19. *Gwrando, tydi y ddaear*] Yma y mae yr Arglwydd yn apelio at holl drigolion y ddaear, gan alw arnynt i wrando ei dystiolaeth ef, a barnu o berthynas i uniondeb ei weinyddiadau tuag at ei bobl wrthnysig. *Wele fi yn dwyn drygfyd ar y bobl hyn*—trwy ddwylaw y Caldeaid didosturi; *sef ffrwyth eu meddyliau eu hunain*—y gosp ag y maent wedi ei thynu yn wirfoddol arnynt eu hunain; *am na wrandawsant ar fy ngeiriau na'm cyfraith*—y rhai a roddais iddynt i'r dyben i'w llesâu hwynt; *eithr gwrthodasant hi*—a hyny yn y modd mwyaf beiddgar a rhyfygus.

Adn. 20. *I ba beth y daw i mi thus o Seba*] Gwel ar Esay lx. 6; *a chalamus peraidd o wlad bell?*—yr oedd yr Iuddewon, er maint eu drygioni, yn dwyn yn mlaen wasanaeth Duw yn y deml, ac yn dwyn y pethau uchod o bell at y wasanaeth hòno; eithr efe a ofyna, i ba beth y gwnaent hyny, tra yr oeddynt yn gwrthod ei eiriau a'i gyfraith? gwel ar Esay i. 11. *Eich poeth-offrymau nid ydynt gymeradwy*—tra y mae eich calonau mor halogedig; *ac nid melys eich aberthau genyf*—gan eich bod ar yr un pryd yn arogldarthu i Baal, ac yn rhodio ar ol duwiau dyeithr: gwel ar pen. vii. 9, &c.

Adn. 21. *Am hyny fel hyn y dywed yr*

gwyddiadau i'r bobl hyn, fel y
tramgwyddo wrthynt y tadau a'r
meibion yn nghyd; cymydog a'i
gyfaill a ddyfethir.
22 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Wele bobl yn dyfod o dir y gog-
ledd, a chenedl fawr a gyfyd o
ystlysau y ddaear.
23 Yn y bwa a'r waewffon yr
ymaflant; creulon *ydynt*, ac ni chy-
merant drugaredd: eu llais a rua
megys y môr, ac ar feirch y march-
ogant yn daclus, megys gwŷr i
ryfel yn dy erbyn di, merch Seion.
24 Clywsom son am danynt; ein
dwylaw a laesasant; blinder a'n
daliodd, fel gofid gwraig yn esgor.
25 Na ddos allan i'r maes, ac na
rodia ar hyd y ffordd: canys cledd-
yf y gelyn *ac* arswyd *sydd* oddiam-
gylch.
26 ¶ Merch fy mhobl, ymwreg-
ysa â sach-lian, ac ymdroa yn y
lludw; gwna it' gwynfan *a* galar
tost, *megys am* unig *fab:* canys y
dystrywiwr a ddaw yn ddisymwth
arnom ni.
27 Mi a'th roddais di yn dŵr, *ac*
yn gadernid yn mysg fy mhobl, i
wybod ac i brofi eu ffordd hwy.
28 Cyndyn o'r fath gyndynaf *yd-
ynt* oll, yn rhodio âg enllib: efydd
a haiarn *ŷnt;* llygru y maent hwy
oll.
29 Llosgodd y fegin; gan dân y
darfu y plwm; yn ofer y toddodd y
toddydd: canys ni thynwyd y rhai
drygionus ymaith.

---

*Arglwydd*] O berthynas i'r bobl ragrithiol yma; *Wele fi yn rhoddi tramgwyddiadau i'r bobl hyn*—yn dwyn adfydau arnynt a fyddant yn achos o'u cwymp a'u dinystr; *fel y tramgwyddo wrthynt y tadau a'r meibion yn nghyd*—sef yr hen a'r ieuanc, adn. 11; *cymydog a'i gyfaill a ddyfethir*—sef dynion o bob gradd a chyflwr. Gan eu bod oll yn cyd-bechu, byddai iddynt oll gael eu cyd-ddinystrio, a hyny yn gyfiawn.

Adn. 22. *Wele bobl yn dyfod o dir y gogledd*] Sef o Caldea neu Babilon, trwy Dan a mynydd Ephraim, pen. iv. 15; *a chenedl fawr a gyfyd o ystlysau y ddaear*—sef y Caldeaid, y rhai a breswylient yn mhell o Judea, megys yn nherfynau eithaf y ddaear.

Adn. 23. *Yn y bwa a'r waewffon yr ymaflant*] Y rhai oeddynt brif arfau rhyfel y pryd hyny: *creulon ydynt, ac ni chymerant drugaredd*—ar yr hen na'r ieuanc, y brenin na'i ddeiliaid: *eu llais a rua megys y môr*—eu bloeddiadau rhyfel fyddant megys tònau y môr yn euro yn erbyn y creigiau: *ac ar feirch y marchogant yn daclus*—wedi eu harlwyo a'u haddysgu yn dda i ryfel; *megys gwŷr i ryfel yn dy erbyn di, merch Seion*—sef dinas Jerusalem a thir Judea.

Adn. 24. *Clywsom son am danynt*] Eu bod eisioes wedi dyfod i gyrau ein gwlad, pen. iv. 15: *ein dwylaw a laesasant*—fel nad oes ynom galon i'w gwrthsefyll: *blinder a'n daliodd, fel gofid gwraig yn esgor*—ar ei chyntafanedig, pen. iv. 31.

Adn. 25. *Na ddos allan i'r maes*] I gynyg ymladd â hwynt; *ac na rodia ar hyd y ffordd*—i ymddifyru, neu i gynyg ffoi; eithr aros o fewn caerau y ddinas, i ymlochesu yno: *canys cleddyf y gelyn ac arswyd*—sef cleddyf yn peri arswyd, *sydd oddiamgylch*—yn amgylchu yr holl ddinas.

Adn. 26. *Merch fy mhobl*] Sef Seion neu Jerusalem; *ymwregysa â sach-lian, ac ymdroa yn y lludw*—yn arwydd o ofid a galar dwys: *gwna it' gwynfan a galar tost*—fel galar rhieni ar farwolaeth eu hunig fab: *canys y dystrywiwr a ddaw yn ddisymwth arnom ni*—ac a'n rhifa i'r cleddyf yn anocheladwy.

Adn. 27. *Mi a'th roddais di yn dŵr, ac yn gadernid yn mysg fy mhobl*] Mi a'th wnaethym di yn gadarn a diofn yn eu mysg; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'Mi a'th roddais di mewn tŵr, ac mewn amddiffynfa gadarn;' hyny yw, yn ddiogel dy hun, ac yn wyliedydd dros fy mhobl. Ond y mae ereill yn ei ddarllen, 'Mi a'th roddais di yn *gadarn brofiedydd* yn mysg fy mhobl;' gan dybio fod y geiriau yn cyfeirio at y swydd o *brofi* aur ac arian, neu eu coethi. *I wybod ac i brofi eu ffordd hwy*—i brofi a ydynt hwy yn fettel pur, coeth, a chymeradwy.

Adn. 28. *Cyndyn o'r fath gyndynaf ydynt oll*] Dyma dystiolaeth y proffwyd am danynt ar ol iddo eu profi; *yn rhodio âg enllib*—yn enllibio eu gilydd, ac yn enllibio Duw a'i broffwydi am eu ceryddu. *Efydd a haiarn ŷnt*—sef y metteloedd gwaelaf, yn lle arian ac aur. *Llygru y maent hwy oll*—nid ydynt hwy ddim oll ond llygredd a sothach, yn lle bod yn arian pur.

Adn. 29. *Llosgodd y fegin*] Wrth chwythu y tân i'w profi; *gan dân y darfu y plwm*—yr hwn a ddefnyddid yn y gwaith o buro a choethi arian, cyn bod arian byw yn adnabyddus. Neu ynte, gan na feddai yr Hebreaid un gair am arian byw, arferent y gair *ipereth* am blwm ac arian byw yn ddiwahaniaeth, yr hwn a ddygid gan eu marsiandwyr o'r Hispaen, Ezec. xxvii. 12. *Yn ofer y toddodd y toddydd*—trwy iddo fethu yn ei amcan o buro yr arian oddiwrth y sothach, o herwydd i'r offerynau a ddefnyddiai efe i'r perwyl hwnw gael eu llosgi yn y gwaith: *canys ni thynwyd y rhai drygionus ymaith*—neu ni wasgarwyd y sothach oddiwrth yr arian pur. Yr holl ymadroddion hyn ydynt gyffelybiaethol; a'r meddwl yw, fod y proffwydi ac ereill a fuont yn llafurio i geisio puro a diwygio y bobl hyn, wedi treulio allan, neu wedi marw wrth geisio gwneuthur hyny, fel megin yn llosgi wrth hir chwythu y tân; a bod pob moddion a ddefn-

30 Yn arian gwrthodedig y galw-
ant hwynt; am wrthod o'r Ar-
glwydd hwynt.

## PENNOD VII.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jer-
emi oddiwrth yr Arglwydd, gan
ddywedyd,
2 Saf di yn mhorth tŷ yr Ar-
glwydd, a chyhoedda y gair hwn
yno, a dywed, Gwrandewch air yr
Arglwydd, *chwi* holl Juda, y rhai
a ddeuwch i mewn trwy y pyrth
hyn i addoli yr Arglwydd.
3 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel, Gwellewch
eich ffyrdd a'ch gweithredoedd ; ac
mi a wnaf i chwi drigo yn y man
yma.
4 Nac ymddiriedwch mewn geir-
iau celwyddog, gan ddywedyd, Teml
yr Arglwydd, teml yr Arglwydd,
teml yr Arglwydd *ydynt*.
5 Canys os gan wellâu y gwell-
ewch eich ffyrdd a'ch gweithred-
oedd ; os gan wneuthur y gwnewch
farn rhwng gŵr a'i gymydog ;
6 *Ac* ni orthrymwch y dyeithr, yr
amddifad, a'r weddw ; ac ni thy-
welltwch waed gwirion yn y fan
hon ; ac ni rodiwch ar ol duwiau
dyeithr, i'ch niwed eich hun ;

---

yddient hwy i'r dyben hyny wedi troi allan yn aneffeithiol, fel plwm yn cael ei ddifa ymaith gan y tân ; ac felly fod eu holl lafur hwy yn ofer, trwy na thynwyd drygioni ymaith o fysg y bobl.

Adn. 30. *Yn arian gwrthodedig y galwant hwynt*] Cyfrifai pawb yr Iuddewon llygredig hyn fel mettel anmhur, neu fel batheiniau neu ddarnau o arian ffugiol a gwrthodedig, heb ddelw y Brenin mawr ar eu calon na'u buchedd ; *am wrthod o'r Arglwydd hwynt*—megys arian drwg, anmhur, ac annghymeradwy, fel y mae yn amlwg oddiwrth ei waith ef yn eu rhoddi hwynt i fyny i ddwylaw eu gelynion : gwel ar Galar iv. 1, 2.

PEN. VII. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd*] Yma y dechreua proffwydoliaeth newydd, yr hon a gyrhaedda hyd ddiwedd pen. x. Meddylir iddi gael ei thraethu yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Joacim, mab Josiah ; yr hwn, yn lle canlyn siampl ei dad duwiol, a adferodd eilunaddoliaeth, a gynaliodd offeiriaid drwg a phroffwydi gwaeth, ac a lanwodd Jerusalem â phob math o ffieidd-dra.

Adn. 2. *Saf di yn mhorth tŷ yr Arglwydd*] Sef yn mhorth dwyreiniol y cyntedd neu y deml ; *a chyhoedda y gair hwn yno*—fel y clywo pawb, a hyny ond odid ar un o'r tair gŵyl arbenig. *Gwrandewch air yr Arglwydd, chwi holl Juda*—yn cynwys llwyth Benjamin hefyd ; *y rhai a ddeuwch i mewn trwy y pyrth hyn i addoli yr Arglwydd*—canys yr oedd gwasanaeth arferol y deml, yr hon a adferasai Josiah, yn cael ei chynal yn mlaen eto, er nad oedd nemawr neu ddim o ysbrydolrwydd crefydd yn nglŷn â hi y pryd hyny, fel y gwelwn isod.

Adn. 3. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn y mae pob dyn trwy y byd yn rhwym o wrando arno ; *Duw Israel*—sef Duw cyfammodol Israel, yr hwn y mae holl aelodau yr eglwys weledig yn rhwym o ufyddhau iddo : *Gwellewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd*—y rhai sydd yn awr yn dra chyfeiliornus a drygionus ; *ac mi a wnaf i chwi drigo yn y man yma*—yn heddychol a llwyddiannus, heb gael eich caethgludo oddiyma. Y *Lladin* yw, 'A mi a drigaf yn eich mysg yn y man yma.'

Adn. 4. *Nac ymddiriedwch mewn geiriau celwyddog*] Yn ngeiriau y rhai hyny a addawant ddiogelwch i chwi tra y byddoch yn cyrchu i deml yr Arglwydd ; neu yn ngeiriau y rhai a ddywedant mai teml yr Arglwydd ydynt hwy, neu offeiriaid a phroffwydi yr Arglwydd. Y *Syriaeg* a'i darllena fel hyn : 'Nac ymddiriedwch mewn geiriau celwyddog, gan ddywedyd, Teml yr Arglwydd [ydym ni] : teml yr Arglwydd ydych, os gwellewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd.' Eithr y *Galdeaeg* a'i darllena fel hyn : 'Nac ymddiriedwch yn ngeiriau proffwydi celwyddog, y rhai a ddywedant, O flaen teml yr Arglwydd yr addolwch ; o flaen teml yr Arglwydd yr aberthwch ; o flaen teml yr Arglwydd yr ymgrymwch : teirgwaith yn y flwyddyn yr ymddanghoswch o'i blaen.' Tybia awdwr y *Targum* mai hyn yw y rheswm fod y geiriau yn cael eu hadrodd yma deirgwaith. Ymddengys yn hytrach fod yr adroddiad triphlyg o honynt yn dangos hyder rhyfygus y bobl yn eu diogelwch eu hunain tra y byddai gwasanaeth y deml yn parhau yn eu plith ; canys tybient na roddai Duw hi i fyny i ddwylaw halogedig. Eithr nid yw temlau cysegredig a chysgodau cysegredig yn ddim yn ngolwg yr Arglwydd, pan y mae y galon heb fod yn uniawn gyda ef : gwel ar Mica iii. 11.

Adn. 5. *Canys os gan wellâu y gwellewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd*] Yn drwyadl, cyffredinol, a pharhaus ; *os gan wneuthur y gwnewch farn rhwng gŵr a'i gymydog*—sef barn gyfiawn a chywir, heb dderbyn gwyneb y naill, na gwneuthur cam â'r llall.

Adn. 6. *Ac ni orthrymwch y dyeithr, yr amddifad, a'r weddw*] Naill ai trwy wrthod cyfiawnder iddynt pan yn ei geisio genych, neu trwy bleidio ac amddiffyn y rhai a fynent eu gorthrymu hwynt ; *ac ni thywelltwch waed gwirion yn y fan hon*—trwy ddedfrydu y dieuog i farwolaeth ; *ac ni rodiwch ar ol duwiau dyeithr i'ch niwed eich hun*—i dynu melldith arnoch chwi a'ch gwlad trwy eu haddoli hwynt :—

7 Yna y gwnaf i chwi drigo yn y
fan hon, yn y tir a roddais i'ch tad-
au chwi, yn oesoesoedd.
8 ¶ Wele chwi yn ymddiried
mewn geiriau celwyddog ni wnant
les.
9 Ai yn lladrata, yn lladd, ac yn
godinebu, a thyngu anudon, ac ar-
ogldarthu i Baal, a rhodio ar ol
duwiau dyeithr, y rhai nid adwaen-
och;
10 Y deuwch ac y sefwch ger fy
mron i yn y tŷ hwn, yr hwn y gelw-
ir fy enw i arno, ac y dywedwch,
Rhyddhawyd ni i wneuthur y ffi-
eidd-dra hyn oll?
11 Ai yn lloches lladron yr aeth
y tŷ yma, ar yr hwn y gelwir fy
enw i, gerbron eich llygaid? wele,
minau a welais *hyn*, medd yr Ar-
glwydd.
12 Eithr, atolwg, ewch i'm lle,
yr hwn *a fu* yn Silo, lle y gosodais
fy enw ar y cyntaf, ac edrychwch
beth a wnaethym i hwnw, o her-
wydd anwiredd fy mhobl Israel.
13 Ac yn awr, am wneuthur o
honoch yr holl weithredoedd hyn,
medd yr Arglwydd, minau a lefer-
ais wrthych, gan godi yn fore, a
llefaru, eto ni chlywsoch; a gelw-
ais arnoch, ond nid atebasoch:
14 Am hyny y gwnaf i'r tŷ *hwn* y
gelwir fy enw arno, yr hwn yr yd-
ych yn ymddiried ynddo, ac i'r lle
a roddais i chwi ac i'ch tadau, megys
y gwnaethym i Silo.
15 A mi a'ch taflaf allan o'm gol-
wg, fel y teflais eich holl frodyr,
*sef* holl had Ephraim.
16 Am hyny na weddia dros y
bobl hyn, ac na ddyrchafa waedd

---

Adn. 7. *Yna y gwnaf i chwi drigo yn y fan hon*] Yn nhir Juda neu wlad Canaan; *yn y tir a roddais i'ch tadau chwi*—ac i'w plant ar eu hol, ar yr ammod iddynt fod yn ffyddlon i'm cyfammod i; *yn oesoesoedd*—heb i chwi gael eich caethgludo ymaith gan eich gelynion.

Adn. 8. *Wele chwi yn ymddiried mewn geiriau celwyddog ni wnant les*] Sef yn ngeiriau eich gau-broffwydi, y rhai a addawant i chwi ddiogelwch a daioni trwy ddyfod weithiau i fy nheml i; ïe, er i chwi ar yr un pryd orthrymu y dyeithr, yr amddifad, a'r weddw, a thywallt gwaed gwirion, a rhodio ar ol duwiau dyeithr! gwel ar adn. 4, 6.

Adn. 9. *Ai yn lladrata, yn lladd, ac yn godinebu, a thyngu anudon*] Pedwar o bechodau yn erbyn ail lech y gyfraith; *ac arogldarthu i Baal, a rhodio ar ol duwiau dyeithr*—dau o bechodau yn erbyn y llech gyntaf; *y rhai nid adwaenoch*—neu na wyddoch ddim am eu gallu na'u hewyllysgarwch i'ch llesâu. Fel pe dywedasai, Ai tra yn cyflawni y pechodau ffiaidd hyn, y deuwch i'm haddoli i yn y deml santaidd hon? gwel isod.

Adn. 10. *Y deuwch ac y sefwch ger fy mron i yn y tŷ hwn*] Fel fy addolwyr; *yr hwn y gelwir fy enw i arno*—fel 'teml Jehofa,' neu yr hwn y gelwir ar fy enw i ynddo mewn ffordd o addoliad dwyfol: *ac y dywedwch*—mewn ymddygiad o leiaf; *Rhyddhawyd ni i wneuthur y ffieidd-dra hyn oll*—i dori holl orchymynion y ddeddf foesol, ar yr ystyriaeth ein bod yn dyfod ar brydiau ereill i addoli yn y deml. Fel pe dywedasai, A ellwch chwi fod mor ynfyd a hyn? neu a fedrwch chwi fod yn euog o'r fath ddigywilydd-dra, rhyfyg, ac annghysondeb pechadurus?

Adn. 11. *Ai yn lloches lladron yr aeth y tŷ yma*] Ie, yn lloches llofruddion, godinebwyr, ac anudonwyr, adn. 9; *ar yr hwn y gelwir fy enw i*—gwel ar adn. 10; *gerbron eich llygaid*—yn eich golwg, neu yn ol eich barn chwi? A ydych chwi yn meddwl ddarfod ei adeiladu i noddi y drwgweithredwyr gwaethaf, fel y gallont hwy, wrth fy rhith-addoli i ynddo, gael llonydd i gyflawni eu pechodau ffieiddiaf? *Wele, minau a welais hyn, medd yr Arglwydd*—a welais eich drygioni erchyll yn nghysgod eich duwioldeb ffugiol a rhagrithiol.

Adn. 12. *Eithr, atolwg, ewch i'm lle, yr hwn a fu yn Silo, &c.*] Gwelwch yr hyn a wnaethym i'm tabernacl a'm harch gynt yn Silo. O herwydd drygioni y bobl a'r offeiriaid, goddefais i'r arch syrthio i ddwylaw y Philistiaid, a chael ei chario i'w gwlad hwy, a'i gosod i fyny yn nhŷ Dagon, 1 Sam. v. 1, &c. Ac o herwydd eich drygioni chwithau, ymddygaf atoch chwi a'r deml hon yr un modd. Canys megys nad arbedais Silo, er fod fy arch yno; felly nid arbedaf Jerusalem na'r deml chwaith.

Adn. 13. *Ac yn awr, am wneuthur o honoch yr holl weithredoedd hyn*] Y rhai ydynt cynddrwg neu waeth na phechodau Israel yn Silo, adn. 9: *minau a leferais wrthych*—trwy fy mhroffwydi, y rhai a godent yn fore i'ch rhybyddio a'ch addysgu; *eto ni chlywsoch*—ni wrandawsoch ar fy lleferydd i trwyddynt hwy: *a gelwais arnoch*—yn daer a difrifol; *ond nid atebasoch*—trwy ddychwelyd ataf.

Adn. 14. *Am hyny gwnaf i'r tŷ hwn*] Er y gelwir fy enw arno; *yr hwn yr ydych yn ymddiried ynddo*—am nawdd a diogelwch rhag y farn fygythiedig; *ac i'r lle a roddais i chwi ac i'ch tadau*—yn etifeddiaeth dragwyddol ar yr ammod o'ch ufydd-dod, Salm cv. 44, 45; *megys y gwnaethym i Silo*—gwel ar adn. 12.

Adn. 15. *A mi a'ch taflaf allan o'm golwg*] O wlad Judea yn gaethion i Babilon; *fel y teflais eich holl frodyr*—yn gaethion i Assyria; *sef holl had Ephraim*—neu y deg llwyth, y rhai a elwir yn fynych ar yr enw hwn, am

na gweddi drostynt, ac nac eiriol
arnaf: canys ni'th wrandawaf.
17 ¶ Oni weli di beth y maent
hwy yn ei wneuthur yn ninasoedd
Juda, ac yn heolydd Jerusalem?
18 Y plant sydd yn casglu cyn-
ud, a'r tadau yn cyneu tân, a'r gwr-
agedd yn tylino toes, i wneuthur
teisenau i frenhines y nef, ac i dy-
wallt diod-offrymau i dduwiau dy-
eithr, i'm digio i.
19 Ai fi y maent hwy yn ei ddig-
io? medd yr Arglwydd: ai hwynt
eu hun, er cywilydd i'w hwynebau
eu hun?
20 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Wele, fy llid a'm
digofaint a dywelltir ar y man yma,
ar ddyn ac ar anifel, ar goed y
maes, ac ar ffrwyth y ddaear; ac
efe a lysg, ac nis diffoddir.
21 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd, Duw Israel; Rhoddwch
eich poeth-offrymau at eich aberth-
au, a bwytewch gig.
22 Canys ni ddywedais i wrth
eich tadau, ac ni orchymynais idd-
ynt, y dydd y dygais hwynt o dir
yr Aifft, am boeth-offrymau neu
aberthau:
23 Eithr y peth hyn a orchymyn-
ais iddynt, gan ddywedyd, Gwrand-
ewch ar fy llef, a mi a fyddaf Dduw
i chwi, a chwithau fyddwch yn bobl

---

mai llwyth Ephraim oedd y lluosocaf a'r cryfaf o honynt oll, ac am fod Jeroboam, eu brenin cyntaf, yn ŵr o'r llwyth hwnw.

Adn. 16. *Am hyny na weddia dros y bobl hyn*] Am arbediad iddynt; *ac na ddyrchafa waedd na gweddi drostynt*—y rhai y mae cwpan eu hanwiredd yn llawn; *ac nac eiriol arnaf, canys ni'th wrandawaf*—yr oedd Duw wedi goddef i Moses gael ei wrando yn ei eiriolaeth dros Israel gynt, Exod. xxxii. 11, 14, Num. xiv. 19, 20; ond yr oedd achos y bobl hyn yn dra gwahanol. Nid oedd dim ond diwygiad cyffredinol, yr hwn yr oedd Duw yn rhagweled na fyddai iddo byth gymeryd lle, a allai waredu yr Iuddewon hyn rhag y gosp a'r caethiwed a fygythiasai efe arnynt; a chan fod bwriad Duw i'w dymchwelyd, oddieithr iddynt edifarhau a diwygio, yn un *digyfnewid*, gwaherddir yma i'r proffwyd weddio am ei gyfnewid, am na chai ei wrando.

Adn. 17. *Oni weli di beth y maent hwy yn ei wneuthur yn ninasoedd Juda*] Mewn ffordd o eilunaddoliaeth a phechodau ereill; *ac yn heolydd Jerusalem*—o flaen dy lygaid, yn y modd mwyaf cyhoeddus a digywilydd?

Adn. 18. *Y plant sydd yn casglu cynud*] Sef coed neu danwydd; *a'r tadau yn cyneu tân*—i rostio yr ebyrth i'w duwiau; *a'r gwragedd yn tylino toes*—at y bwyd-offrwm; *i wneuthur teisenau i frenhines y nef*—sef i'r *lleuad*, neu *Venus*, yr hon a addolid gan yr holl genhedloedd dan yr enw *Astarte* neu *Asteroth*, pen. xliv. 17—25; *ac i dywallt diod-offrymau i dduwiau dyeithr*—o bob math; *i'm digio i*—yr hyn oedd canlyniad a ffrwyth eu heilunaddoliaeth, os nid eu dyben bwriadol hwy. Fel hyn yr oedd pawb o'r teulu â rhyw law ganddynt yn y gwaith hwn. Ond a ydyw ein teuluoedd ni mor ffyddlon a hyn yn ngwasanaeth ac addoliad y gwir Dduw?

Adn. 19. *Ai fi y maent hwy yn ei ddigio*] Trwy y pethau hyn? *ai hwynt eu hun, &c.*—ai nid hwy eu hunain a gaiff y cywilydd, y golled, a'r niwed mwyaf yn y diwedd?

Adn. 20. *Wele, fy llid a'm digofaint a dywelltir ar y man yma*] Fel y tywalltwyd dyfroedd y dylif ar yr hen fyd, a thân o'r nef oedd ar Sodom a Gomorra; *ar ddyn ac ar anifel, &c.*—fel yn amser pläau yr Aifft: *ac efe a lysg, ac nis diffoddir*—nes eu llwyr ddifa hwynt, er maint eu hedifeirwch, eu dagrau, a'u gweddiau ar y pryd.

Adn. 21. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel*] Gwel ar adn. 3; *Rhoddwch eich poeth-offrymau at eich aberthau*—yr oedd y poeth-offrymau i gael eu llosgi yn gwbl i'r Arglwydd, Lef. i. 9, a vi. 23, tra yr oedd rhanau o'r aberthau ereill, yn enwedig yr ebyrth hedd, yn cael eu bwyta gan yr offeiriaid a'r bobl; *a bwytewch gig*—sef cig y poeth-offrymau, yn gystal a chig yr aberthau hedd; fy rhan i, yn gystal a'ch rhan chwithau. Yr oedd y cwbl yn wrthodedig gan yr Arglwydd, tra yr oeddynt hwy eu hunain mor annuwiol.

Adn. 22. *Canys ni ddywedais i wrth eich tadau*] Wrth Moses ac Aaron, a thadau ereill y genedl; *ac ni orchymynais iddynt y dydd y dygais hwynt o dir yr Aifft*—pryd y rhoddais iddynt y deg gorchymyn; *am boeth offrymau neu aberthau*—hyny yw, nid oedd y gorchymyn i aberthu yn un ran o'r ddeddf foesol, eithr attodiad ati oedd y ddeddf seremonïol, yr hon a draddodwyd ar ol hyny. Y mae yn wir i Dduw orchymyn iddynt am boeth-offrymau ac aberthau; ond ni orchymynodd efe hwynt ar yr un pryd a'r ddeddf foesol; neu ni orchymynodd efe hwynt yn unig, neu yn benaf, neu i wneyd y tro yn lle ufydd-dod i'r ddeddf foesol: gwel y pwnc hwn yn cael ei egluro ar 1 Sam. xv. 22, 23.

Adn. 23. *Eithr y peth hyn a orchymynais iddynt*] Fel y peth pwysicaf a mwyaf angenrheidiol; *Gwrandewch ar fy llef*—ufyddhewch yn ddiffuant i'm holl orchymynion; *a mi a fyddaf Dduw i chwi, a chwithau fyddwch yn bobl i minau*—trwy gyfammod na thorir: *a rhodiwch yn yr holl ffyrdd a orchymynais i chwi*—mewn ufydd-dod cywir i'r ddeddf foesol yn mlaenaf, ac yna mewn ufydd-dod i'r ddeddf seremonïol hefyd; *fel y byddo yn ddaionus i chwi*—fel y mwynhaoch holl freintiau a bendithion fy nghyfammod i; neu, fel y byddo cadwraeth y ddeddf seremonïol yn lles-

i minau; a rhodiwch yn yr holl
ffyrdd a orchymynais i chwi, fel y
byddo yn ddaionus i chwi.
24 Eithr ni wrandawsant, ac ni
ostyngasant eu clust, ond rhodias-
ant yn ol cynghorion *a* childyn-
rwydd eu calon ddrygionus, ac
aethant yn ol, ac nid yn mlaen.
25 O'r dydd yr aeth eich tadau
chwi allan o wlad yr Aifft hyd y
dydd hwn, mi a ddanfonais atoch
fy holl wasanaethwyr y proffwydi,
*bob* dydd gan fore godi, ac anfon :
26 Er hyny ni wrandawsant arnaf
fi, ac ni ostyngasant eu clust, eithr
caledasant eu gwarau ; gwnaethant
yn waeth na'u tadau.
27 Am hyny ti a ddywedi y geir-
iau hyn oll wrthynt ; ond ni wrand-
awant arnat ; gelwi hefyd arnynt ;
ond nid atebant di.
28 Eithr ti a ddywedi wrthynt,
Dyma genedl ni wrendy ar lais yr
Arglwydd ei Duw, ac ni dderbyn
gerydd : darfu am y gwirionedd,
a thorwyd hi ymaith o'u genau
hwynt.
29 ¶ Cneifia dy wallt, *O Jerusalem,*
a bwrw i ffordd ; a chyfod gwynfan
ar y lleoedd uchel: canys yr Ar-
glwydd a fwriodd i ffordd ac a wrth-
ododd genhedlaeth ei ddigofaint.
30 Canys meibion Juda a wnaeth-
ant ddrwg yn fy ngolwg, medd yr
Arglwydd : gosodasant eu ffieidd-
dra yn y tŷ yr hwn y gelwir fy enw
arno, i'w halogi ef.
31 A hwy a adeiladasant uchel-
feydd Tophet, yr hon *sydd* yn nglŷn
mab Hinnom, i losgi eu meibion
a'u merched yn y tân, yr hyn ni or-
chymynais, ac ni feddyliodd fy
nghalon.
32 ¶ Am hyny wele y dyddiau yn

---

ol i chwi, trwy eich ufydd-dod i'r ddeddf foesol.

Adn. 24. *Eithr ni wrandawsant, &c.*] Sef y rhan fwyaf o dadau y genedl, fel y gwelwn yn eu hanes yn yr anialwch ; *ac aethant yn ol, ac nid yn mlaen*—fel ychain ystyfnig a childynus yn gwrthod tynu dan yr iau ; neu, aethant yn ol yn eu calonau.

Adn. 25. *O'r dydd y daeth eich tadau chwi allan o wlad yr Aifft*] Oddeutu 900 o flynyddau cyn hyn ; *hyd y dydd hwn*—pryd yr oedd yr Arglwydd yn llefaru wrth eu hiliogaeth hwynt ; *mi a ddanfonais atoch fy holl wasanaethwyr y proffwydi*—i alw arnoch yn fore bob dydd, ac i'ch addysgu yn fy ffyrdd: gwel ar adn. 13.

Adn. 26. *Er hyny ni wrandawsant arnaf fi, &c.*] Ond yr oedd y naill genhedlaeth ar ol y llall yn myned yn galetach a gwaeth na'u tadau.

Adn. 27. *Er hyny ti a ddywedi y geiriau hyn oll wrthynt*] Yr un modd ag y dywedasai y proffwydi ereill; *ond ni wrandawant arnat*—mwy nag ar y rhai o'th flaen : *gelwi hefyd arnynt*—i ddychwelyd ataf fi ; *ond nid atebant di*—mewn ufydd-dod i'th alwad. Gwyddai yr Arglwydd na wrandawent hwy ; er hyny yr oedd y proffwyd i alw arnynt, yr hyn a'u gwnai hwynt yn fwy diesgus pan syrthiai y farn fygythiedig arnynt.

Adn. 28. *Eithr ti a ddywedi wrthynt*] Er maint eu caledrwydd a'u cyndynrwydd ; *Dyma genedl ni wrendy ar lais yr Arglwydd ei Duw*—pan yn galw arnynt yn ei drugaredd ; *ac ni dderbyn gerydd*—ni lesâ trwy ei doster ef chwaith. *Darfu am y gwirionedd*—yn hollol o'u plith, fel nad oes neb yn gwneuthur gwirionedd; *a thorwyd hi ymaith o'u genau hwynt*—fel nad oes neb yn dywedyd gwirionedd.

Adn. 29. *Cneifia dy wallt, O Jerusalem*] Yr oedd cneifio neu eillio y gwallt yn arwydd o alar a chaethiwed, pen. xlvii. 5, a xlviii. 37, Esay xv. 2. Yma golygir Jerusalem fel benyw brydferth, a'i gwallt llaes yn harddwch iddi ; eithr gorchymynir iddi ei gneifio, a'i fwrw ef ymaith, yn arwydd o gaethiwed a galar. *A chyfod gwynfan ar y lleoedd uchel*—fel y galler dy glywed o bell ; neu ar y manau lle y buasai hi yn aberthu i eilunod. Ond gan nad yw *Jerusalem* yn y wreiddiol, tybia *Blayney* mai wrth y *proffwyd* y dywedir hyn. *Canys yr Arglwydd a fwriodd i ffordd*—fel y gwallt hwnw, *genhedlaeth ei ddigofaint* — sef yr Iuddewon, wrth y rhai y digiasai efe mor fawr o herwydd eu pechodau.

Adn. 30. *Canys meibion Juda a wnaethant ddrwg yn fy ngolwg*] Trwy yr hyn y cynhyrfwyd fy nigofaint i'w herbyn : *gosodasant eu ffieidd-dra yn y tŷ yr hwn y gelwir fy enw arno*—sef yn nheml santaidd yr Arglwydd : *i'w halogi ef*—a hyny yn fwriadol! Cyfeirir yma ond odid at y brenin Ahaz, yr hwn oedd wedi gosod i fyny allor ddyeithr yn nghyntedd y deml, ac offrymu arni, 2 Bren. xvi. 15 ; ac at Manasseh, yr hwn oedd wedi adeiladu allorau i holl lu y nefoedd yn nau gyntedd tŷ yr Arglwydd, ac wedi gosod delw gerfiedig ei eilunod o fewn y deml, gan amharchu Duw felly yn ei wyneb : gwel ar 2 Bren. xxi. 4—7.

Adn. 31. *A hwy a adeiladasant uchelfeydd Tophet, &c.*] I losgi eu meibion a'u merched yn y tân i Moloch : gwel ar Lef. xviii. 21, 2 Bren. xxiii. 10, Esay xxx. 33. *Yr hyn ni orchymynais*—ond yn hytrach a waherddais yn bendant, Lef. xx. 1—5 ; *ac ni feddyliodd fy nghalon*—i neb ei gyflawni.

Adn. 32. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod*] Sef dyddiau dinystr yr Iuddewon gan y Caldeaid, ac yn enwedig gan y Rhufeiniaid ; *na elwir hi mwy Tophet, na glyn mab Hinnom*—sef ei hen enwau arferol : *namyn glyn*

dyfod, medd yr Arglwydd, na elwir hi
mwy Tophet, na glyn mab Hinnom,
namyn glyn lladdedigaeth; canys
claddant o fewn Tophet, nes bod
eisiau lle.
33 A bydd celanedd y bobl hyn
yn fwyd i adar y nefoedd, ac i ani-
feiliaid y ddaear; ac ni *bydd a'u*
*tarfo*.
34 Yna y gwnaf i lais llawenydd,
a llais digrifwch, llais priodfab, a
llais priodferch, ddarfod allan o ddi-
nasoedd Juda, ac o heolydd Jeru-
salem; canys yn anrhaith y bydd y
wlad.

## PENNOD VIII.

YN yr amser hwnw, medd yr Ar-
glwydd, y dygant hwy esgyrn
brenhinoedd Juda, ac esgyrn ei
dywysogion, ac esgyrn yr offeiriaid,
ac esgyrn y proffwydi, ac esgyrn
trigolion Jerusalem, allan o'u bedd-
au.
2 A hwy a'u taenant o flaen yr
haul, ac o flaen y lleuad, a holl lu y
nefoedd y rhai a garasant hwy, a'r
rhai a wasanaethasant, a'r rhai y
rhodiasant ar eu hol, a'r rhai a geis-
iasant, a'r rhai a addolasant: ni
chesglir hwynt, ac nis cleddir; yn
domen ar wyneb y ddaear y bydd-
ant.
3 Ac angau a ddewisir o flaen
bywyd gan yr holl weddillion a ad-
ewir o'r teulu drwg hwn, y rhai a
adewir yn y lleoedd oll y gyrais i
hwynt yno, medd Arglwydd y llu-
oedd.
4 ¶ Ti a ddywedi wrthynt hefyd,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd; A
gwympant hwy, ac ni chodant? a
dry efe ymaith, ac oni ddychwel?
5 Paham y ciliodd pobl Jerusalem
yma yn eu hol âg encil tragwyddol?
glynasant mewn twyll, gwrthodas-
ant ddychwelyd.
6 Mi a wrandewais ac a glywais,

---

*lladdedigaeth*—lle y teflir celaneddau miloedd o'r bobl wrthryfelgar hyn i gael eu claddu, eu llosgi, neu yn fwyd i adar a bwystfilod, adn. 33, pen. xix. 6—15. *Canys claddant o fewn Tophet, nes bod eisiau lle*—nes ei gwbl lenwi, ac na fydd yno le mwyach.

Adn. 33. *A bydd celanedd y bobl hyn*] Y rhai ni chaent eu claddu; *yn fwyd i adar y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaear*—sef i fwystfilod ysglyfaethus y ddaear; *ac ni bydd a'u tarfo*—ni bydd neb wedi ei adael i'w hymlid ymaith, neu neb a all wneuthur hyny, gan mor ysglyfaethus a lluosog fyddant.

Adn. 34. *Yna y gwnaf i lais llawenydd a llais digrifwch*] Yr hwn a arferai fod yn eu plith yn amser eu gwleddoedd a'u rhysedd; *llais priodfab a llais priodferch*—sef eu llawenydd ar ddydd eu priodas; *ddarfod allan o ddinasoedd Juda, ac o heolydd Jerusalem*—trwy na fydd i neb briodi, na bod yn llawen, pan fydd dinystr a gwae wedi ymaflyd ynddynt: *canys yn anrhaith y bydd y wlad*—yn nwylaw eu gelynion, a phob cân a gorfoledd wedi troi yn alar ac ing.

PEN. VIII. Adn. 1. *Yn yr amser hwnw*] Ag y cyfeiriwyd ato yn niwedd y bennod flaenorol; *y dygant hwy*—sef y Caldeaid; *esgyrn brenhinoedd Juda—allan o'u beddau*—gan obeithio cael trysorau lawer yn y beddau hyny, wedi eu claddu gyda'r meirw. Dywed Josephus i Solomon osod trysorau lawer yn nghelloedd beddrod Dafydd ei dad, o un o ba rai y codwyd yn mhen llawer o oesau wedi hyny dair mil o dalentau arian; ac agorodd Herod Fawr gell arall, o ba un y cododd yntau gyfoeth mawr.

Adn. 2. *A hwy a'u taenant o flaen yr haul*] Ac o flaen y lleuad a'r ser, y rhai y buont hwy gynt yn eu haddoli fel duwiau: *ni chesglir hwynt, ac nis cleddir*—ni chymer y Caldeaid y drafferth o'u claddu, eithr gadawant hwy yn domenau ar hyd wyneb y ddaear.

Adn. 3. *Ac angau a ddewisir o flaen bywyd*] Mewn anobaith am unrhyw ddaioni mwyach ar y ddaear; *gan yr holl weddillion a adewir o'r teulu drwg hwn*—sef y rhai a adewir yn fyw o'r Iuddewon drygionus; *y rhai a adewir yn y lleoedd oll y gyrais i hwynt yno*—sef yn ngwledydd eu caethiwed.

Adn. 4. *Ti a ddywedi wrthynt hefyd*] Fel cenadwri oddiwrthyf fi atynt hwy; *A gwympant hwy*—mor ddwfn ac anobeithiol trwy bechod; *ac ni chodant*—byth mwyach trwy edifeirwch a diwygiad buchedd? *A dry efe ymaith*—a dry Juda ymaith oddiwrth yr Arglwydd; *ac oni ddychwel*—ato ef byth mwyach? Neu, a dry yr Arglwydd oddiwrth Juda, heb byth ddychwelyd ato ef mwy? Ond gall mai yr ystyr yw, Os dygwydd i ddynion gwympo, ai ni fydd iddynt geisio codi drachefn yn ddiatreg? ac os bydd i ryw ymdeithydd droi ymaith o'r iawn ffordd, ai ni ddychwel efe iddi cyn gynted ag y deallo ei fod wedi myned ar gyfeiliorn? Ond, yn groes i arferiad pawb, yr oedd yr Iuddewon hyn yn euog o gwympo, heb geisio codi; ac o ŵyro oddiar y wir ffordd, heb feddwl am droi yn ol!

Adn. 5. *Paham y ciliodd pobl Jerusalem yma yn eu hol âg encil tragwyddol?*] Fel pe dywedasai, Gan y ceisia pob dyn godi ar ol iddo gwympo, a dychwelyd i'r iawn ffordd ar ol iddo gyfeiliorni o honi, paham na wna pobl Jerusalem yr un modd, yn lle gwrthgilio âg encil tragwyddol? *Glynasant mewn twyll*—neu mewn cyfeiliornad a rhagrith, yn wirfoddol; *gwrthodasant ddychwelyd*—er amled

*ond* ni ddywedent yn iawn: nid edi-
farhaodd neb am ei anwiredd, gan
ddywedyd, Beth a wnaethym i?
pob un oedd yn troi i'w yrfa, megys
march yn rhuthro i'r frwydr.
7 Ie, y ciconia yn yr awyr a ed-
wyn ei dymhorau; y durtur hefyd,
a'r aran, a'r wenol, a gadwant am-
ser eu dyfodiad; eithr fy mhobl i
ni wyddant farn yr Arglwydd.
8 Pa fodd y dywedwch, Doethion
*ydym* ni, a chyfraith yr Arglwydd
*sydd* gyda ni? wele, yn ddiau, ofer y
gwnaeth *hi;* ofer *yw* pin yr ysgrif-
enyddion.
9 Y doethion a waradwyddwyd,
a ddychrynwyd, ac a ddaliwyd:
wele, gwrthodasant air yr Ar-
glwydd; a pha ddoethineb *sydd*
ynddynt?
10 Am hyny y rhoddaf eu gwr-
agedd hwynt i ereill, *a'u* maesydd
i'r rhai *a'u* meddianno: canys o'r
lleiaf hyd y mwyaf, pob un sydd yn
ymroi i gybydd-dod; o'r proffwyd
hyd at yr offeiriad, pawb sydd yn
gwneuthur ffalsder.
11 Iachasant hefyd archoll merch
fy mhobl yn ysgafn, gan ddywedyd,
Heddwch, heddwch, pryd nad *oedd*
heddwch.
12 A fu gywilydd arnynt hwy pan
wnaethant ffieidd-dra? na fu ddim
cywilydd arnynt, ac ni fedrasant
wrido: am hyny y syrthiant yn
mysg y rhai a syrthiant: yn amser
eu hymweliad y syrthiant, medd yr
Arglwydd.
13 ¶ Gan ddifa y difaf hwynt,
medd yr Arglwydd; ni *bydd* grawn-
win ar y winwydden, na ffigys ar y
ffigysbren, a'r ddeilen a syrth; a'*r*
*hyn* a roddais iddynt a ymedy â
hwynt.
14 Paham yr ydym ni yn aros?
ymgesglwch yn nghyd, ac awn i'r
dinasoedd cedyrn, a dystawn yno:
canys yr Arglwydd ein Duw a'n
gostegodd, ac a roes i ni ddwfr
bustl i'w yfed, o herwydd pechu o

---

gwahoddiadau, y cynghorion, a'r rhybyddion a roddid iddynt.

Adn. 6. *Mi a wrandewais ac a glywais*] Mi a glustfeiniais i glywed pa beth a ddywedent hwy; *ond ni ddywedent yn iawn*—nid oedd un gair yn eu hymddyddanion a arwyddai fod ynddynt y duedd leiaf i ddychwelyd ataf fi. *Nid edifarhaodd neb am ei anwiredd*—personol ei hun, *gan ddywedyd, Beth a wnaethym i*—yn erbyn yr Arglwydd? neu mor ynfyd y gwnaethym! a llai o lawer y gofidiai neb am anwiredd y genedl yn gyffredinol. *Pob un oedd yn troi i'w yrfa*—yn myned yn mlaen ar hyd ei ffordd bechadurus ei hun; *megys march yn rhuthro i'r frwydr*—yn ddiystyr o'r canlyniad.

Adn. 7. *Ie, y ciconia yn yr awyr*] Gwel ar Lef. xi. 19; *a edwyn ei dymhorau*—yr adeg briodol i fyned yn ol ac yn mlaen o'r naill wlad i'r llall, sef o hinsawdd oer i hinsawdd gynhesach: *y durtur hefyd, a'r aran, a'r wenol*—a phob aderyn symudol arall; *a gadwant amser eu dyfodiad*—a ddeuant drosodd yn eu hamser priodol i'r gwledydd a'r hinsoddau mwyaf cydnaws â'u natur: *eithr fy mhobl i*—y rhai a ystyrir yn greaduriaid rhesymol, *ni wyddant farn yr Arglwydd*—sef ei gyfraith a'i ewyllys ef; ac ni wyddant fod barn i ddyfod arnynt am eu drygioni.

Adn. 8. *Pa fodd y dywedwch, Doethion ydym ni*] Pan yr ydych mewn gwirionedd yn ffolach na'r adar uchod? *a chyfraith yr Arglwydd sydd gyda ni*—pan na wyddoch y gyfraith hono? adn. 7. *Wele, yn ddiau, ofer y gwnaeth hi*—yn ofer y gwnaeth yr Arglwydd gyfraith iddynt; *ofer yw pin yr ysgrifenyddion*—yn ysgrifenu ailunau o honi, neu esboniad arni.

Adn. 9. *Y doethion*] Sef y rhai a'u galwent eu hunain felly; *a waradwyddwyd, &c.*—hyny yw, hwy a waradwyddid, a ddychrynid, ac a ddelid gan ddinystr oddiwrth y Caldeaid; neu ynte caent eu dal gan gywilydd a dychryn pan welent na fyddai i'w doethineb hònedig eu cadw hwy rhag dinystr. *Wele, gwrthodasant air yr Arglwydd*—yn rheol i fucheddu wrthi; *a pha ddoethineb sydd ynddynt*—pan y maent yn wirfoddol yn tynu y fath ddinystr arnynt eu hunain?

Adn. 10—12. *Am hyny y rhoddaf eu gwragedd hwynt i ereill, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro yn pen. vi. 12—15, lle y cawsom yr un geirian o'r blaen.

Adn. 13. *Gan ddifa y difaf hwynt*] Am eu drygioni, a'u digywilydd-dra yn eu drygioni. *Ni bydd grawnwin ar y winwydden, &c.*—ymadroddion cyffelybiaethol, yn arwyddo na ddiangai neb o'r Iuddewon rhag y difrod hwn. *A'r hyn a roddais iddynt a ymedy â hwynt*—sef eu breintiau gwladol ac eglwysig.

Adn. 14. *Paham yr ydym ni yn aros*] Yn y wlad agored a diamddiffyn? Yma arddangosir yr Iuddewon fel yn ymddyddan â'u gilydd ar ol clywed am ddyfodiad y Caldeaid i barthau gogleddol eu gwlad, adn. 16. *Ymgesglwch yn nghyd*—nid i ryfela, ond i ffoi; *ac awn i'r dinasoedd cedyrn, a dystawn yno*—neu byddwn dawel yno, gan mai ofer fyddai i ni geisio gwrthsefyll y fath elynion cedyrn a lluosog. *Canys yr Arglwydd ein Duw a'n gostegodd*—Saes., 'a'n dystawodd;' *ac a roes i ni ddwfr bustl i'w yfed*—efe a'n dygodd i drallod chwerw fel cosp am ein pechodau.

Adn. 15. *Dysgwyl yr oeddym am heddwch*] Am lwyddiant a diogelwch, yn ol addewid y gau-broffwydi, adn. 11; *eto ni ddaeth daioni*

honom yn erbyn yr Arglwydd.
15 Dysgwyl yr oeddym am heddwch, eto ni *ddaeth* daioni; am amser meddyginiaeth, ac wele ddychryn.
16 O Dan y clywir ffroeniad ei feirch ef; gan lais gweryriad ei gedyrn ef y crynodd yr holl ddaear: canys hwy a ddaethant, ac a fwytasant y tir, ac oll a oedd ynddo; y ddinas a'r rhai sydd yn trigo ynddi.
17 Canys wele, mi a ddanfonaf seirff, aspiaid, i'ch mysg, y rhai nid *oes* swyn rhagddynt: a hwy a'ch brathant chwi, medd yr Arglwydd.
18 ¶ *Pan* ymgysurwn yn erbyn gofid, fy nghalon *sydd* yn gofidio ynof.
19 Wele lais gwaedd merch fy mhobl, oblegid y rhai o wlad bell: Onid *ydyw* yr Arglwydd yn Seion? onid *yw* ei Brenin hi ynddi? paham y'm digiasant â'u delwau cerfiedig, *ac* âg oferedd dyeithr?
20 Y cynauaf a aeth heibio, darfu yr haf, ac nid ydym ni gadwedig.
21 Am friw merch fy mhobl y'm briwyd i; galerais: daliodd synder fi.
22 Onid *oes* driagl yn Gilead? onid *oes* yno phisygwr? paham na wellâ iechyd merch fy mhobl?

---

—namyn trallod chwerw: *am amser meddyginiaeth*—oddiwrth bob drygfyd ac ofn; *ac wele ddychryn*—yn lle hyny.

Adn. 16. *O Dan y clywir ffroeniad ei feirch ef*] Sef meirch brenin Babilon, i'r lle y daethai ei fyddin ef gyntaf, pen. iv. 15: *gan lais gweryriad ei gedyrn ef*—sef ei feirch cedyrn, *y crynodd yr holl ddaear*—sef holl drigolion gwlad Canaan: *canys hwy a ddaethant, ac a fwytasant y tir*—sef holl gynyrch y tir; *y ddinas, a'r rhai sydd yn trigo ynddi*—gwnaethant y dinasoedd yn garneddau, a'u trigolion a laddasant neu a yrasant ymaith. Y mae y proffwyd yn llefaru am hyn oll fel wedi ei wneuthur eisioes, am ei fod yn sicr o gael ei wneyd, ac yn cael ei ddangos iddo ef felly yn ei weledigaethau.

Adn. 17. *Canys wele, mi a ddanfonaf seirff, aspiaid, i'ch mysg*] Sef y Caldeaid, y rhai a fyddant atgas a dinystriol fel seirff ac aspiaid; *y rhai nid oes swyn rhagddynt*—nas gellir eu llareiddio na'u heddychu; *a hwy a'ch brathant chwi*—yn anfeddyginiaethol: gwel ar Salm lviii. 4, 5.

Adn. 18. *Pan ymgysurwn yn erbyn gofid*] Trwy geisio ymostwng i ewyllys Duw, neu obeithio yn ei drugaredd ef; *fy nghalon sydd yn gofidio ynof*—wrth feddwl am ddrygioni y bobl hyn, a'r farn drom ag sydd yn nghylch disgyn arnynt am eu drygioni. Ymddengys mai geiriau y proffwyd am dano ei hun yw y rhai hyn.

Adn. 19. *Wele lais gwaedd merch fy mhobl*] Felly y geilw y proffwyd yr Iuddewon hyn, o herwydd ei fawr gariad atynt; *oblegid y rhai o wlad bell*—sef y Caldeaid, y rhai oeddynt yn barod i ymosod arnynt; neu, yn fwy cyson â'r wreiddiol, 'wele lais gwaedd merch fy mhobl o wlad bell,' sef o'u caethiwed yn Babilon. *Onid ydyw yr Arglwydd yn Seion?*—neu onid *oedd* efe yn Seion. Hon oedd eu gwaedd hwynt. *Onid yw ei Brenin hi ynddi?*—neu onid *oedd* efe yno i'n gwaredu, pan y'n dygwyd ni oddiyno? Mewn atebiad i hyn y mae Duw yn gofyn iddynt hwythau, neu i'r proffwyd o berthynas iddynt, *Paham y'm digiasant â'u delwau cerfiedig, ac âg oferedd dyeithr?*—fel pe dywedasai, Eu heilunaddoliaeth ffiaidd hwy oedd yr achos i mi eu gadael hwynt i ddwylaw eu gelynion.

Adn. 20. *Y cynauaf a aeth heibio*] Yr hwn ydoedd drosodd yn y wlad hòno tua diwedd Mai; *darfu yr haf*—canys bernir i Jerusalem gael ei llosgi yn mis Awst; *ac nid ydym ni gadwedig*—ni ddaeth yr Aifftiaid i'n gwaredu ni o law ein gelynion, ac nid oes obaith y deuant chwaith, pan y mae mor ddiweddar a hyn yn y flwyddyn! Defnyddir y geiriau hyn yn fynych fel cwyn y colledigion, fod cynauaf enaid a thymhor iachawdwriaeth wedi darfod iddynt hwy, a hwythau heb ddefnyddio y cyfleusderau hyny i gyraedd cadwedigaeth. Y mae hyny yn wirionedd gyda golwg arnynt hwy, er mai yr ystyr uchod yw meddwl y geiriau.

Adn. 21. *Am friw merch fy mhobl y'm briwyd i*] Hyn a ddywed y proffwyd i ddangos ei ofid ei hun yn achos eu gofid hwy. *Galerais*—yn ddwys o herwydd y cyfyngder a'u daliodd hwy. Saes., 'yr ydwyf yn *ddû*,' neu yn gleisiau a briwiau dros fy holl gorff. *Daliodd synder fi*—fel na wn pa beth i'w ddyweyd, ei wneyd, na'i feddwl.

Adn. 22. *Onid oes driagl yn Gileaid?*] Saes., '*balm*,' neu *balsam*, yr hwn oedd *sudd* pren tra rhinweddol i iachâu y briwiau a'r doluriau gwaethaf: gwel ar Gen. xxxvii. 25. *Onid oes yno phisygwr*—yr hwn a ŵyr am rinweddau meddyginiaethol y balm hwnw, a pha fodd i'w gymhwyso? *Paham na wellâ iechyd merch fy mhobl?*—yr atebiad yw, Am nad aeth hi yno at y phisygwr, ac na wnaeth ddefnydd o'r balm. Y mae y proffwyd yn cymhwyso hyn yn gyffelybiaethol at gyflwr yr Iuddewon, y rhai oeddynt, mewn ystyr moesol, yn llawn 'archollion, a chleisiau, a gweliau crawnllyd,' Esay i. 6, 7. Fel pe dywedasai, Onid oedd moddion gwellâd o fewn eich cyraedd? onid anfonwyd atoch broffwydi ac athrawon i'ch addysgu a'ch rhybyddio? ac oni chynygiwyd i chwi bob cymhorth digonol, a phob gras angenrheidiol, i'ch galluogi i ddychwelyd a byw? Paham gan hyny y mae eich afiechyd moesol heb ei wella? Fel hyn eto, os bydd i bechaduriaid feirw yn eu pechodau, bydd eu colledigaeth o honynt eu hunain. Gwaed Iesu

## PENNOD IX.

ONA bae fy mhen yn ddyfroedd,
a'm llygaid yn ffynnon o ddagr-
au, fel yr ŵylwn ddydd a nos am
laddedigion merch fy mhobl!
2 O na byddai i mi yn yr anial-
wch lety fforddolion, fel y gadawn
fy mhobl, ac yr elwn oddiwrthynt!
canys hwynt oll *ydynt* odinebus, *a*
chymanfa anffyddloniaid.
3 A hwy a anelasant eu tafod *fel*
eu bwa *i* gelwydd; ac nid at wir-
ionedd yrymgryfhasant ar y ddaear:
canys aethant o ddrwg i ddrwg, ac
nidadnabuant fi, meddyr Arglwydd.
4 Gochelwch bawb ei gymydog,
ac na choelied neb ei frawd: canys
pob brawd gan ddysodli a ddysodla,
a phob cymydog a rodia yn dwyll-
odrus.
5 Pob un hefyd a dwylla ei gy-
mydog, a'r gwir nis dywedant: hwy
a ddysgasant eu tafodau i ddy-
wedyd celwydd, ymflinasant yn
gwneuthur anwiredd.
6 Dy drigfan *sydd* yn nghanol
twyll: o herwydd twyll y gwrthod-
asant fy adnabod i, medd yr Ar-
glwydd.
7 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd; Wele fi yn eu
toddi hwynt, ac yn eu profi hwynt:
canys pa wedd y gwnaf o herwydd
merch fy mhobl?
8 Saeth lem *yw* eu tafod hwy, yn

---

Grist yw y balm yn Gilead, sef yn ei eglwys; ei Ysbryd ef yw y Phisygwr yno. Y mae y ddau hyn yn ddigonol, yn olddigonol, i'w cwbl iachâu: ac os bydd iddynt feirw yn eu pechodau, hyny fydd am na fynant ddyfod at Grist i gael bywyd, Ioan v. 40.

PEN. IX. Adn. 1. *O na bae fy mhen yn ddyfroedd, a'm llygaid yn ffynnon o ddagrau, &c.*] Yma awgryma y proffwyd fod ei alar mawr ef o herwydd pechodau a dinystr ei genedl wedi dyhysbyddu neu sychu i fyny ffynnonell ei ddagrau, fel nad allai ŵylo mwyach; ac efe a ddymunai gael ffynnon wedi ei hagor o'r newydd yn ei ben, fel y gallai ŵylo ddydd a nos yn achos lladdedigion ei genedl yr Iuddewon!

Adn. 2. *O na byddai i mi yn yr anialwch lety fforddolion*] Rhyw fath o babell wedi ei chodi yn mhell o Jerusalem, hyd yn nod yn mhlith bwystfilod yr anialwch: *fel y gadawn fy mhobl, ac yr elwn oddiwrthynt*—yn lle canfod eu pechodau ffiaidd, a'r trueni ag y maent yn ei ddwyn arnynt eu hunain! *Canys hwynt oll ydynt odinebus*—yn llythyrenol felly, pen. v. 7, 8, yn gystal ag yn ysbrydol fel eilunaddolwyr; *a chymanfa anffyddloniaid*—y rhai sydd yn anffyddlon i Dduw, ac hefyd i'w gilydd, adn. 4, 5. Yr oedd Dafydd, yn yr anialwch, yn hiraethu am gynteddau tŷ Dduw, Salm lxxxiv. 2—4; ond y mae Jeremi, yn nghynteddau tŷ Dduw, (lle yr oedd efe yn awr, pen. vii. 2,) yn hiraethu am fod yn yr anialwch, gan mor annuwiol ydoedd pawb yn Jernsalem!

Adn. 3. *A hwy a anelasant eu tafod fel eu bwa i gelwydd*] Hyn, hyd ddiwedd adn. 9, a ddywedir am danynt gan yr Arglwydd. Yr oedd celwydd yn gelfyddyd arferedig ganddynt, fel yr oedd saethu â bwa; ac yr oedd eu tafod yn barod at gelwydd, fel bwa wedi ei barotoi i ollwng ymaith y saeth. *Ac nid at wirionedd yr ymgryfhasant ar y ddaear*—yr oeddynt yn gryf a gwrol i lunio a lledaenu celwydd; ond gadawent i wirionedd gwympo yn yr heol, heb neb i'w godi, Esay lix. 14, 15.

*Canys aethant o ddrwg i ddrwg*—o'r naill bechod i bechod gwaeth; *ac nid adnabuant fi*—nid oedd Duw yn eu holl feddyliau hwynt: nid ystyrient ei fod ef yn digio wrthynt, nac yn sylwi arnynt.

Adn. 4. *Gochelwch bawb ei gymydog*] Hebr., 'ei gyfaill;' *ac na choelied neb ei frawd*—mwy nag estron: *canys pob brawd gan ddysodli a ddysodla*—a dwylla hyd yn nod ei frawd ei hun; *a phob cymydog*—neu 'gyfaill,' *a rodia yn dwyllodrus*—tuag at ei gyfaill goraf. Saes., 'a rodia gydag enllibau,' neu athrodau.

Adn. 5. *Pob un hefyd a dwylla ei gymydog*] Trwy ddywedyd celwydd wrtho, yn lle gwirionedd: *hwy a ddysgasant eu tafodau i ddywedyd celwydd*—fel dynion yn dysgu celfyddyd: *ymflinasant yn gwneuthur anwiredd*—hyny yw, cymerent boen a thrafferth i'w wneuthur, pan nas gallent ei wneuthur yn hawdd.

Adn. 6. *Dy drigfan sydd yn nghanol twyll*] O broffwyd, fel nad yw yn rhyfedd dy fod yn dymuno cael llety yn yr anialwch, adn. 2: *o herwydd twyll y gwrthodasant fy adnabod i*—fel y gallent gael gwell mantais i gario eu twyll yn mlaen. Fel hyn y mae adnabyddiaeth o Dduw, yr hyn yw hanfod gwir grefydd, yn hollol annghytunol â thwyll a phechod o bob math.

Adn. 7. *Wele fi yn eu toddi hwynt*] Yn ffwrneisiau cystudd; *ac yn eu profi hwynt*—i'r dyben i'w puro oddiwrth eu sothach: gwel ar pen. vi. 29, 30, Esay i. 25. *Canys pa wedd y gwnaf, &c.*—pa drefn arall a gymeraf i gadw rhai o honynt yn eglwys a phobl i mi fy hun? Nis gallai Duw gyd-ddwyn â'u pechodau; ac nis gallai, yn unol â'i gyfammod, eu dinystrio hwynt oll hyd ddyfodiad y Messia; ac felly nid oedd dim gwell i'w wneyd yn awr na'u toddi a'u profi hwynt, i'r dyben i buro a chadw rhai o honynt, er y byddai i lawer gael eu dinystrio yn y prawf hwnw.

Adn. 8. *Saeth lem yw eu tafod hwy, yn dywedyd twyll*] Yn adn. 3 cyffelybwyd eu tafod hwynt i *fwa* wedi ei anelu yn barod i

dywedyd twyll: â'i enau y traetha
*un* heddwch wrth ei gymydog,
eithr o'i fewn y gesyd gynllwyn
iddo.
9 ¶ Onid ymwelaf â hwynt am
hyn? medd yr Arglwydd: oni
ddial fy enaid ar gyfryw genedl a
hon?
10 Dros y mynyddoedd y codaf
ŵylofain a chwynfan, a galar dros
lanerchau yr anialwch; am eu llosgi
hwynt, fel na thramwyo neb trwy-
ddynt, ac na chlywir llais ysgrubl-
iaid: adar y nefoedd a'r anifeiliaid
hefyd a giliasant, aethant ymaith.
11 A mi a wnaf Jerusalem yn
garneddau, *ac* yn drigfan dreigiau;
a dinasoedd Juda a wnaf yn ddi-
ffaethwch heb breswylydd.
12 ¶ Pa ŵr *sydd* ddoeth a ddeall
hyn? a phwy y traethodd genau yr
Arglwydd wrtho, fel y mynego, pa-
ham y darfu am y tir, *ac* y llosgwyd
fel anialwch heb gyniweirydd?
13 A dywedodd yr Arglwydd,
Am wrthod o honynt fy nghyfraith,
yr hon a roddais ger eu bron hwynt,
ac na wrandawsant ar fy llef, na
rhodio ynddi;
14 Eithr myned yn ol cyndyn-
rwydd eu calon eu hun, ac yn ol
Baalim, yr hyn a ddysgodd eu tad-
au iddynt:
15 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel,
Wele, mi a'u bwydaf hwynt, y bobl
hyn, â wermod, ac a'u diodaf hwyn
â dwfr bustl.
16 Gwasgaraf hwynt hefyd yn
mysg y cenhedloedd nid adnabuant
hwy na'u tadau: a mi a ddanfonaf
ar eu hol hwynt gleddyf, hyd oni
ddyfethwyf hwynt.
17 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd; Edrychwch, a gelwch
am alar-wragedd i ddyfod, a dan-
fonwch am y rhai cyfarwydd, i beri
iddynt ddyfod;
18 A brysio, a chodi cwynfan am
danom ni, fel y gollyngo ein llygaid

---

gelwydd a thwyll; eithr yma cyffelybir ef i *saeth lem* wedi ei gollwng oddiar y bwa hwnw, ac yn dywedyd celwydd yn weithredol: *â'i enau y traetha un heddwch wrth ei gymydog*—fel pe buasai yn wir gyfaill iddo; *eithr o'i fewn y gesyd gynllwyn iddo*—i'w ddyfetha yn ddirgel.

Adn. 9. *Onid ymwelaf â hwynt am hyn*] Mewn barn? *oni ddial fy enaid, &c.*—gwel ar pen. v. 9.

Adn. 10. *Dros y mynyddoedd y codaf ŵylofain a chwynfan, &c.*] Sef o *achos* cyflwr andwyol y mynyddoedd a'r anialwch; *am eu llosgi hwynt*—fel nad oes dyn, anifel, nac aderyn yn aros ynddynt!

Adn. 11. *A mi a wnaf Jerusalem yn garneddau*] Trwy ymosodiad y Caldeaid arni; *ac yn drigfan dreigiau*—neu 'seirff,' sef y fath greaduriaid ag a geir mewn adfeilion neu leoedd annghyfanedd: *a dinasoedd Juda a wnaf yn ddiffaethwch*—heb ddyn i breswylio ynddynt.

Adn. 12. *Pa ŵr sydd ddoeth a ddeall hyn*] Sydd ddoeth i fedru deall yr achos o'r fath alanastra dirfawr? *a phwy y traethodd genau yr Arglwydd wrtho, fel y mynego*—fel y gallo yntau fynegu i ereill yr achos o'r dinystr mawr hwn trwy yr holl dir a'r anialwch? Buasai gŵr doeth yn ceisio deall hyn, i'r dyben i rybyddio ereill; ond nid oedd neb felly i'w gael yn Juda y pryd hyn. Y mae yn wir i'r Arglwydd draethu y farn hon wrth Jeremi, ac iddo-yntau ei mynegu i'r bobl; ond ni wrandawsant hwy ar ei rybyddion ef.

Adn. 13. *Am wrthod o honynt fy nghyfraith*] Yr hon a roddais iddynt yn rheol i rodio wrthi; *ac na wrandawsant ar fy llef*—yn galw arnynt i edifeirwch am ei throseddu.

Adn. 14. *Eithr myned yn ol cyndynrwydd eu calon eu hun*] Gan ddylyn tueddiadau eu calon lygredig; *ac yn ol Baalim*—i addoli pob math o dduwiau dyeithr ac aflan; *yr hyn a ddysgodd eu tadau iddynt*—yn groes i'm gorchymyn i.

Adn. 15. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Gwel ar pen. vii. 3; *Duw Israel*—sef Duw cyfammodol Israel; *Wele, mi a'u bwydaf hwynt, y bobl hyn*—er eu bod mewn cyfammod â mi, *â wermod*—mi a'u cospaf hwynt â barnedigaethau mor chwerw a wermod; *ac a'u diodaf hwynt â dwfr bustl*—neu 'â sudd cegid,' fel y myn rhai ei ddarllen. Wrth hyn y deallir, nid diffyg bwyd a diod yn unig, eithr y trallodion chwerwaf hefyd.

Adn. 16. *Gwasgaraf hwynt hefyd yn mysg y cenhedloedd nid adnabuant*] Sef yn mysg y Caldeaid ac ereill, y rhai oeddynt ddyeithr iddynt hwy a'u tadau: *a mi a ddanfonaf ar eu hol hwynt gleddyf*—i'w dyfetha yn ngwledydd eu caethiwed.

Adn. 17. *Edrychwch, a gelwch am alar-wragedd*] Y rhai a arferent alaru am gyflog mewn angladdau a'r cyffelyb: gwel ar Gen. l. 10, 11, Mat. ix. 23. Fel pe dywedasai, Gan nad ydych chwi eich hunain yn teimlo yn ddigon dwys yn ngwyneb y peryglon ag sydd yn eich bygwth, gelwch am rai i alaru yn eich lle. *A danfonwch am y rhai cyfarwydd*—rhai hyddysg yn y gelfyddyd hon. Gwragedd yn gyffredin a ddefnyddid yn y gwaith hwn, am ei fod yn fwy cydweddol â thynerwch teimladau benywod, neu am eu bod hwy yn fwy galluog i efelychu natur yn y peth hwn.

ni ddagrau, ac y dyfero ein hamrantau ni ddwfr.
19 Canys llais cwynfan a glybu-
wyd o Seion, Pa wedd y'n hanrheith-
iwyd! Ni a lwyr waradwyddwyd;
o herwydd i ni adael y tir, o her-
wydd i'n trigfanau *ein* bwrw *ni* allan.
20 Eto gwrandewch air yr Ar-
glwydd, O wragedd, a derbynied
eich clust air ei enau ef; dysgwch
hefyd gwynfan i'ch merched, a galar
bob un i'w gilydd.
21 O herwydd dringodd angau i'n
ffenestri, *ac* efe a ddaeth i'n palasau,
i ddystrywio y rhai bychain oddi-
allan, *a'r* gwŷr ieuainc o'r heol-
ydd.
22 Dywed, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Celaneddau dynion a
syrthiant megys tom ar wyneb y
maes, ac megys y dyrnaid ar ol y
medelwr, ac ni chynull *neb hwynt.*
23 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Nac ymffrostied y doeth yn
ei ddoethineb, ac nac ymffrostied y
cryf yn ei gryfder, ac nac ymffrost-
ied y cyfoethog yn ei gyfoeth;
24 Eithr y neb a ymffrostio, ym-
ffrostied yn hyn, *ei fod* yn deall, ac
yn fy adnabod i, mai myfi *yw* yr
Arglwydd a wna drugaredd, barn, a
chyfiawnder yn y ddaear: o herwydd
yn y rhai hyny yr ymhyfrydais,
medd yr Arglwydd.
25 ¶ Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, pan ymwelwyf
â phob enwaededig yn nghyda'r
rhai dienwaededig;
26 A'r Aifft, ac â Juda, ac âg
Edom, ac â meibion Ammon, ac â
Moab, ac â'r rhai oll *sydd* yn y cyr-
au eithaf, a'r rhai a drigant yn yr
anialwch: canys yr holl genhedl-
oedd *hyn sydd* ddienwaededig, a
holl dŷ Israel *sydd* â chalon ddien-
waededig.

---

Adn. 18. *A brysio, a chodi cwynfan am danom ni*] Hon yw y genadwri a roddai yr Arglwydd yn ngenau y rhai a anfonid i gyrchu y galar-wragedd hyny; *fel y gollyngo ein llygaid ni ddagrau*—o herwydd ein cyflwr alaethus; *ac y dyfero ein hamrantau ni ddwfr*—hyny yw, fel y byddo i'ch galar a'ch dagrau celfyddydol neu ffugiol chwi gael eu cyfrif fel ein gwir ddagrau ni.

Adn. 19. *Canys llais cwynfan a glybuwyd o Seion*] Sef naill ai cwynfaniad y galar-wragedd uchod, neu ynte gwynfaniad trigolion Jerusalem ar ol i'r drygfyd bygythiedig eu dal. *Pa wedd y'n hanrheithiwyd*—gan y Caldeaid hyn! *Ni a lwyr waradwyddwyd*—gan y Cenhedloedd dienwaededig yma; *o herwydd i ni adael y tir*—i'w dwylaw hwynt, neu o herwydd i ni ei fforffetio ef trwy ein pechodau; *o herwydd i'n trigfanau ein bwrw ni allan*—yr un modd a'r hen Ganaaneaid gynt; neu, fel y mae y *Galdeaeg* yn ei darllen, 'o herwydd ein trigfanau a fwriwyd i lawr.' Hon oedd iaith eu cwynfaniad hwy.

Adn. 20. *Eto gwrandewch air yr Arglwydd, O wragedd*] Sef gwragedd Juda yn gyffredin, fe allai; *a derbynied eich clust air ei enau ef*—sef yr hyn a ganlyn: *Dysgwch hefyd gwynfan i'ch merched, a galar bob un i'w gilydd*—fel pe dywedasai, Galerwch chwi eich hunain ar ol eich gwŷr a'ch meibion, a dysgwch i'ch merched hefyd gwynfan ar ol eu tadau a'u brodyr. Yn yr adnod nesaf cawn eto eiriau y cwynfaniad hwn.

Adn. 21. *O herwydd dringodd angau i'n ffenestri, ac efe a ddaeth i'n palasau, &c.*] Yma y mae angau yn cael ei bersonoli; ac ar ol iddo ddystrywio y rhai bychain a'r gwŷr ieuainc ag oeddynt allan ar yr heolydd, arddanghosir ef fel yn dringo trwy y ffenestri i'r tai cyffredin, i ladd y tadau; ac i'r palasau, i ddyfetha y tywysogion a'r penaethiaid.

Adn. 22. *Dywed*] Yn mhellach wrthynt, O broffwyd, oddiwrthyf fi: *Celaneddau dynion a syrthiant megys tom ar wyneb y maes*—trwy gleddyf y Caldeaid; *ac megys y dyrnaid ar ol y medelwr*—neu fel ŷd yn gorwedd ar wyneb y maes ar ol ei fedi; *ac ni chynull neb hwynt*—i'w claddu, eithr gadewir hwynt yno i fraenu, neu yn ymborth i fwystfilod ac adar ysglyfaethus.

Adn. 23. *Nac ymffrostied y doeth yn ei ddoethineb*] Yn ei gyfrwysdra i lywodraethu gwlad, neu ei fedrusrwydd i drin arfau rhyfel; *y cryf yn ei gryfder*—i wrthsefyll ei elynion; *y cyfoethog yn ei gyfoeth*—i gynal traul rhyfel.

Adn. 24. *Eithr y neb a ymffrostio*] Neu a fyn ymffrostio mewn rhywbeth; *ymffrostied yn hyn*—ac yn hyn yn unig; *ei fod yn deall, ac yn fy adnabod i*—fel Duw rhagluniaeth a gras; *mai myfi yw yr Arglwydd a wna drugaredd, barn, a chyfiawnder yn y ddaear*—sef trugaredd i'r edifeiriol, barn i'r anedifeiriol, a chyfiawnder manwl i bawb. *O herwydd yn y rhai hyny yr ymhyfrydais*—sef yn yr ymarferiad o'r perffeithderau hyny; neu yn y rhai a feddent yr adnabyddiaeth hon o Dduw.

Adn. 25. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Ac nid ydynt yn mhell: *pan ymwelwyf â phob enwaededig*—â'r holl Iuddewon fel cenedl, i'w cospi trwy law y Caldeaid; *yn nghyda'r rhai dienwaededig*—sef y Cenhedloedd a enwir yn yr adnod nesaf.

Adn. 26. *A'r Aifft, ac â Juda, ac âg Edom*] Rhoddir Juda yma rhwng yr Aifft ac Edom, i arwyddo nad oedd gwŷr Juda ddim gwell na'r Cenhedloedd dienwaededig hyny, am eu bod hwythau yn ddienwaededig o galon,

## PENNOD X.

GWRANDEWCH y gair a ddy-
wed yr Arglwydd wrthych chwi,
tŷ Israel :
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Na ddysgwch ffordd y cenhedloedd,
ac nac ofnwch arwyddion y nef-
oedd: canys y cenhedloedd a'u hofn-
ant hwy.
3 Canys deddfau y bobloedd sydd
oferedd : o herwydd cymyna *un*
bren o'r coed (gwaith llaw y saer) â
bwyell.
4 Ag arian ac âg aur yr harddant
ef ; â hoelion ac â morthwylion y
sicrhant ef, fel na syflo.
5 Megys palmwydden, syth *ydynt*
hwy, ac ni lefarant : y mae yn rhaid
eu dwyn hwy, am na allant gerdd-
ed. Nac ofnwch hwynt ; canys ni
allant wneuthur drwg, a gwneuthur
da nid *oes* ynddynt.
6 Yn gymaint ag nad *oes neb* fel
tydi, Arglwydd : mawr *wyt*, a mawr
*yw* dy enw mewn cadernid.
7 Pwy ni'th ofna di, Brenin y
cenhedloedd ? canys i ti y gweddai :
o herwydd yn mysg holl ddoeth-
ion y cenhedloedd, ac yn mysg eu
holl deyrnasoedd hwy, nid *oes neb*
fel tydi.
8 Eithr cydynfydasant ac an-
mhwyllasant: athrawiaeth oferedd
yw cŷff.

---

fel y dywedir isod. *Ac â meibion Ammon, ac â Moab*—sef hiliogaeth Lot o'i ddwy ferch, Gen. xix. 37, 38. *Ac â'r rhai oll sydd yn y cyrau eithaf*—yn y gwledydd pellaf oddiwrth Judea ; neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, ac yn y *Vulgate*, y *Syriaeg*, a'r *Arabaeg*, 'ac â'r rhai y torwyd cyrau eu gwallt,' yr hyn a waherddid i Israel: gwel ar Lef. xix. 27. *A'r rhai a drigant yn yr anialwch*—sef yr Arabiaid gwylltion. *Canys yr holl genhedloedd hyn sydd dienwaededig*—o gnawd, ac felly tu allan i gylch y cyfammod ; *a holl dŷ Israel sydd â chalon ddienwaededig*—ac felly 'aeth eu henwaediad yn ddienwaediad,' Rhuf. ii. 25.

PEN. X. Adn. 1. *Gwrandewch y gair a ddywed yr Arglwydd wrthych chwi, tŷ Israel*] Sef Juda a Benjamin, fel y mae rhai yn ei ddeall. Efe a ddywedasai yn niwedd y bennod flaenorol y cospai efe y rhai hyn yn gystal a'r Cenhedloedd ; ac yma efe a ddywed, os mynent hwy ochelyd anfoddlonrwydd yr Arglwydd, fod yn rhaid iddynt ymadael â'u heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill, a pheidio dylyn arferion coelgrefyddol y Cenhedloedd. Ond tybia ereill mai at y *deg llwyth* yn nhir Assyria y cyfeirir hyn, neu ynte at y rhai hyny o honynt a adewsid yn ngwlad Canaan, neu a ddychwelasent yno o dir eu caethiwed. Tybia *Dahler* i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn y *bedwaredd* flwyddyn o deyrnasiad Joacim.

Adn. 2. *Na ddysgwch ffordd y cenhedloedd*] Sef eu harferion eilunaddolgar hwy ; *ac nac ofnwch arwyddion y nefoedd*—trwy feddwl fod gan yr haul, y lloer, a'r planedau ryw lywodraeth dros amgylchiadau dynion, fel y tybiai yr Aifftiaid, y Caldeaid, ac ereill: *canys y cenhedloedd a'u hofnant hwy*—ac a'u haddolant hefyd, sef y rhai nid adwaenant Dduw y nefoedd.

Adn. 3. *Canys deddfau y bobloedd sydd oferedd*] Sef eu deddfau perthynol i wneuthur ac addoli eilunod : *o herwydd cymyna un bren o'r coed*—hyny yw, efe a'i tyr o'r goedwig â bwyell.

Adn. 4. *Ag arian ac âg aur yr harddant ef, &c.*] Gwel ar Esay xl. 19, 20.

Adn. 5. *Megys palmwydden, syth ydynt hwy*] Y maent yn anystwyth ac ansymudol, fel cŷff y balmwydden yn y goedwig : *ac ni lefarant*—er fod genau iddynt: *ac y mae yn rhaid eu dwyn hwy*—neu eu cario o'r naill fan i'r llall, *am na allant gerdded*—er fod traed iddynt : gwel ar Salm cxv. 5—7. *Nac ofnwch hwynt*—mewn ffordd o *ddychryn*, canys ni allant wneuthur *drwg ;* nac mewn ffordd o *addoliad*, canys ni allant wneuthur *da* i'w haddolwyr: gwel ar Esay xli. 23.

Adn. 6. *Yn gymaint ag nad oes neb fel tydi, Arglwydd*] Yn mhlith y duwiau uchod, nac yn mysg holl ddoethion y cenhedloedd, adn. 7: *mawr wyt*—yn dy hanfod a'th briodoliaethau ; *a mawr yw dy enw mewn cadernid*—fel Duw hollalluog. Neu, fel y mae rhai yn ei chyfieithu yn fwy priodol, 'O Arglwydd, mawr wyt ti, fel nad oes neb yn gyffelyb i ti ; a mawr yw dy enw o herwydd dy gadernid.' Fel hyn y llefarai y proffwyd wrth yr Arglwydd mewn ffordd o addoliad iddo yn ngwydd y bobl, gan obeithio eu hennill hwythau oddiwrth eu heilunod, ac i gydnabod ei fawredd ef.

Adn. 7. *Pwy ni'th ofna di, Brenin y cenhedloedd*] Sef âg ofn parchus, mewn ffordd o addoliad ? *canys i ti y gweddai*—cael dy ofni felly ; neu, fel y mae *Blayney* yn ei gyfieithu, 'Pwy ni'th ofna di, Brenin y cenhedloedd, wrth nesâu atat?' *O herwydd yn mysg holl ddoethion y cenhedloedd*—eu beirdd, eu hareithwyr, a'u hathronyddion ; *ac yn mysg eu holl deyrnasoedd hwy*—hyd yn nod y rhai mwyaf diwylliedig a goleu o honynt ; *nid oes neb fel tydi*—mewn doethineb, gallu, a phob rhagoriaeth.

Adn. 8. *Eithr cydynfydasant ac anmhwyllasant*] Gyda'u heilunod, yn lle dy ofni a'th addoli di, fel y gweddai iddynt, adn. 7. *Athrawiaeth oferedd yw cŷff*—athrawiaeth ofer a gwâg yw dysgu i ddynion addoli cŷff: neu, fel y mae *Blayney* yn ei gyfieithu, 'Y mae y cŷff ei hun yn *geryddydd* oferedd,' sef oferedd eilunaddoliaeth ; canys y mae yn

9 Arian wedi ei yru yn ddalenau
a ddygir o Tarsis, ac aur o Uphaz,
gwaith y celfydd, a dwylaw y todd-
ydd: sidan glas a phorffor *yw* eu
gwisg hwy: gwaith y celfydd *ŷnt*
oll.
10 Eithr yr Arglwydd *ydyw* y
gwir Dduw, efe *yw* y Duw byw, a'r
Brenin tragwyddol: rhag ei lid ef
y cryna y ddaear, a'r cenhedloedd
ni allant ddyoddef ei soriant ef.
11 Fel hyn y dywedwch wrthynt:
Y duwiau ni wnaethant y nefoedd
a'r ddaear, dyfethir hwynt o'r
ddaear, ac odditan y nefoedd.
12 Efe a wnaeth y ddaear trwy ei
nerth, efe a sicrhaodd y byd trwy
ei ddoethineb, ac a estynodd y nef-
oedd trwy ei synwyr.
13 Pan roddo efe ei lais, *y bydd*
twrf dyfroedd yn y nefoedd, ac efe
a wna i'r tarth ddyrchafu o eithaf-
oedd y ddaear: efe a wna fellt
gyda'r gwlaw, ac a ddwg y gwynt
allan o'i drysorau.
14 Ynfyd yw pob dyn yn *ei* wy-
bodaeth; gwaradwyddwyd pob todd-
ydd trwy y ddelw gerfiedig: canys
celwydd *yw* ei ddelw dawdd, ac nid
*oes* anadl ynddynt.
15 Oferedd *ŷnt, a* gwaith cyfeil-
iorni: yn amser eu gofwy y dyfeth-
ir hwynt.
16 Nid fel y rhai hyn *yw* rhan

---

dangos ynddo ei hun, yn ei ddefnydd a'i natur ei hun, nad all y fath dduw byth lesâu ei addolwyr.

Adn. 9. *Arian wedi ei yru yn ddalenau*] I orchuddio y delwau pren, a pheri iddynt ymddangos fel darnau cyfain o arian; *a ddygir o Tarsis*—gwel ar 1 Bren. x. 22; *ac aur o Uphaz*—tybia *Calmet* mai yr afon *Pison* a feddylir yma wrth Uphaz, ac ereill mai *Ophir; gwaith y celfydd, a dwylaw y toddydd*—sef aur wedi ei doddi, neu ei guro yn ddalenau teneuon, a hyny gan grefftwyr medrus, i'r dyben i wisgo y delwau hyny. *Sidan glas a phorffor yw eu gwisg hwy*—yr hon a ddodid dros ranau o gorff y delwau aur ac arian uchod. *Gwaith y celfydd ŷnt oll*—oddifewn ac oddifaes; ac o ganlyniad nis gallent fod yn uwch o ran natur ac urddas na'u lluniwr.

Adn. 10. *Eithr yr Arglwydd ydyw y gwir Dduw*] Sef Jehofa. *Efe yw y Duw byw*—awdwr a chynalydd pob bywyd, tra nad yw delwau y cenhedloedd ddim ond delweddau gweigion a difywyd. *A'r Brenin tragwyddol*—yr hwn sydd yn meddu pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear, heb ddechre na diwedd iddo. *Rhag ei lid ef y cryna y ddaear*—nid yn unig brenhinoedd y ddaear, ond y ddaear ei hun hefyd; *a'r cenhedloedd ni allant ddyoddef ei soriant ef*—pan enyno, a llai o lawer ei wrthsefyll neu ei attal.

Adn. 11. *Fel hyn y dywedwch wrthynt*] Y dywedai yr Iuddewon wrth y Caldeaid yn Babilon, pan geisiai y rhai hyny eu cymhell hwynt i addoli eu gau-dduwiau hwy. Y mae yr adnod hon yn sefyll mewn math o *Syro-Galdeaeg* yn y Beiblau *Hebreig*, fel y gallai yr Iuddewon ddywedyd yr hyn a ganlyn wrthynt hwy yn eu hiaith eu hunain, gan mor bwysig ydoedd. *Y duwiau ni wnaethant y nefoedd a'r ddaear*—y rhai o ganlyniad nad ydynt dduwiau, namyn traws-ymhonwyr i'r anrhydedd a berthyn yn unig i Jehofa, Creawdwr pob dim; *dyfethir hwynt o'r ddaear*—trwy gyfiawn farn Duw, am eu bod yn hòni hawl i'r anrhydedd ag sydd ddyledus yn unig iddo ei hun; *ac odditan y nefoedd*—mangre eu preswylfod; canys ni buont erioed *yn y* nefoedd. Y mae yr holl ddelwau o natur ddarfyddol ynddynt eu hunain; ond yma rhagfynegir yn amlwg y dyfethir eilunaddoliaeth oddiar y ddaear yn gwbl, yn mhob man dan y nefoedd. Y mae Duw wedi dileu enwau llawer o dduwiau y cenhedloedd odditan y nefoedd eisioes, fel ernes o ddinystr yr oll o honynt yn ei amser priodol.

Adn. 12. *Efe*] Sef Jehofa, y gwir Dduw, adn. 10; *a wnaeth y ddaear trwy ei nerth*—hollalluog ei hun; *efe a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb*—anfeidrol, yn ei le a'i drefn bresenol; *ac a estynodd y nefoedd trwy ei synwyr*—fel tô uwchben ac o amgylch y belen ddaearol.

Adn. 13. *Pan roddo efe ei lais, y bydd twrf dyfroedd yn y nefoedd*] Sef taranau mawrion: gwel ar Job xxxvii. 5, a xxxviii. 34. *Ac efe a wna i'r tarth ddyrchafu o eithafoedd y ddaear*—yr hwn a ddisgyna eilwaith ar y ddaear yn gawodydd maethlon o wlaw. *Efe a wna fellt gyda'r gwlaw*—y rhai yw yr achos o'r taranau. *Ac a ddwg y gwynt allan o'i drysorau*—pan fyddo achos am dano; yr hyn ni all y gau-dduwiau uchod ei wneuthur.

Adn. 14. *Ynfyd yw pob dyn yn ei wybodaeth*] Sef pob dyn a wnelo eilun i'w addoli, at y rhai yn unig y cyfeirir yma; *gwaradwyddwyd pob toddydd trwy ei ddelw gerfiedig*—trwy iddo feddwl y gallai delw felly lesâu ei haddolwyr: *canys celwydd yw ei ddelw dawdd*—siomedig a thwyllodrus ydyw: *ac nid oes anadl ynddynt*—nid oes bywyd na deall mewn un o honynt, ac o ganlyniad nid allant wybod am angen eu haddolwyr, na'u cynorthwyo hwynt.

Adn. 15. *Oferedd ŷnt*] Sef pethau ofer, gwâg, a diles; *a gwaith cyfeiliorni*—ffrwyth neu effaith cyfeiliornad dynion am natur a phriodoliaethau Duw: *yn amser eu gofwy*—pan ymwelai Duw â hwynt, *y dyfethir hwynt*—yn anocheladwy, adn. 11.

Adn. 16. *Nid fel y rhai hyn yw rhan Jacob*] Yw y Duw a ddewisasai had Jacob i fod yn bobl neillduol iddo ei hun, gan addaw bod yn Dduw ac yn rhan iddynt hwythau. *Canys Lluniwr pob peth yw efe*—Creawdwr

Jacob: canys Lluniwr pob *peth yw*
efe, ac Israel *yw* gwialen ei etifedd-
iaeth ef. Arglwydd y lluoedd *yw*
ei enw.
17 Casgl o'r tir dy farsiandïaeth,
yr hon wyt yn trigo yn yr amddi-
ffynfa.
18 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Wele fi yn taflu trigolion
y tir y waith hon; a chyfyngaf ar-
nynt, fel y caffont *felly*.
19 ¶ Gwae fi am fy mriw, dolur-
us *yw* fy archoll: ond mi a ddywed-
ais, Yn ddiau dyma ofid, a mi a'i
dygaf.
20 Fy mhabell i a anrheithiwyd,
a'm rhaffau oll a dorwyd; fy mhlant
a aethant oddiwrthyf, ac nid *ydynt:*
nid *oes* mwy a ledo fy mhabell, nac
a gyfyd fy lleni.
21 Canys y bugeiliaid a ynfydas-
ant, ac ni cheisiasant yr Arglwydd:
am hyny ni lwyddant; a *defaid* eu
porfa hwy oll a wasgerir.
22 Wele, trwst y son a ddaeth, a
chynhwrf mawr o dir y gogledd, i
osod dinasoedd Juda yn ddiffaeth-
wch, *ac* yn drigfan dreigiau.
23 ¶ Gwn, Arglwydd, nad eiddo
dyn ei ffordd: nid ar law gŵr a
rodio *y mae* llywodraethu ei gerdd-
ediad.
24 Cospa fi, Arglwydd, eto mewn
barn; nid yn dy lid, rhag it' fy
ngwneuthur yn ddiddym.
25 Tywallt dy lid ar y cenhedl-

---

y nefoedd a'r ddaear. *Ac Israel yw gwialen ei etifeddiaeth ef*—yw y rhai a etholwyd, neu a fesurwyd allan, i fod yn etifeddiaeth iddo ei hun. Ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth raniad cyntaf gwlad Canaan â gwialen fesurol. *Arglwydd y lluoedd yw ei enw*—yr hwn y mae ei lywodraeth yn cyraedd dros bawb a phobpeth yn y nef a'r ddaear.

Adn. 17. *Casgl o'r tir dy farsiandïaeth*] O'r holl wlad oddiamgylch; *yr hon wyt yn trigo yn yr amddiffynfa*—sef yn Jerusalem. Y mae y proffwyd yn troi yma i rybyddio yr Iuddewon o'u caethgludiad i Babilon, ac yn eu cynghori i gasglu yn nghyd yr holl angenrheidiau bywyd ag y goddefai y Caldeaid iddynt eu dwyn gyda hwynt.

Adn. 18. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Fel rheswm am y cynghor uchod; *Wele fi yn taflu trigolion y tir y waith hon*—allan o'u gwlad ar unwaith, fel taflu careg o'r ffon dafl; *a chyfyngaf arnynt, fel y caffont felly*—fel y caffont wybod trwy brofiad chwerw fod fy mygythion i yn wir, yr hyn ni chredent o'r blaen.

Adn. 19. *Gwae fi am fy mriw, dolurus yw fy archoll*] Yma cwynai y proffwyd am friw ac archoll ei deimladau ei hun o achos dinystr ei genedl: neu ynte efe a lefara yn enw y genedl oll, neu ddinas Jerusalem, fel y mae rhai yn ei ddeall. *Ond mi a ddywedais*—yn fy meddwl, ar ol cymeryd ail ystyriaeth; *Yn ddiau dyma ofid*—ag sydd gyfiawn ynddo ei hun, er mor flin a chwerw ydyw; *a mi a'i dygaf*—mi a'i dyoddefaf yn amyneddgar, wrth ystyried y dyben ag sydd gan Dduw mewn golwg wrth ein ceryddu.

Adn. 20. *Fy mhabell i a anrheithiwyd*] Gan y Caldeaid, *a'm rhaffau oll a dorwyd*—gwel ar pen. iv. 20: *fy mhlant a aethant oddiwrthyf*—i gaethiwed, *ac nid ydynt*—y maent yr un peth i mi a phe baent oll wedi eu lladd: *nid oes mwy a ledo fy mhabell, nac a gyfyd fy lleni*—yn dô ar fy mhabell; hyny yw, nid oedd neb wedi ei adael i adfer y wlad i'w chyflwr blaenorol.

Adn. 21. *Canys y bugeiliaid a ynfydasant*] Sef y llywodraethwyr gwladol ac eglwysig; *ac ni cheisiasant yr Arglwydd*—yn gymhorth ac yn gyfarwyddwr iddynt: *am hyny ni lwyddant*—yn eu hymgais bresenol i achub y ddinas a'r wlad; *a defaid eu porfa hwy oll a wasgerir*—i wlad eu gelynion.

Adn. 22. *Wele, trwst y son a ddaeth*] Sef y son blaenorol am ddyfodiad y gelynion i'w plith; *a chynhwrf mawr o dir y gogledd*—sef o Dan, ar hyd pa ffordd y deuai y Caldeaid tua Judea, pen. iv. 15; *i osod dinasoedd Juda yn ddiffaethwch, &c.*—gwel ar pen. ix. 11.

Adn. 23. *Gwn, Arglwydd, nad eiddo dyn ei ffordd*] Nad all ef fyned lle y myno, na gwneyd pob peth a chwennycho, heb ganiatâd dy ragluniaeth di: *nid ar law gŵr a rodio y mae llywodraethu ei gerddediad*—eithr tydi biai llywodraethu holl ysgogiadau dynion; ac y mae pob peth a ddygwydda, yn hollol dan dy awdurdod di. Ond fe allai fod yma gyfeiriad neillduol at gerddediad brenin Babilon. Bwriadai ef fyned yn erbyn meibion Ammon; ond wedi iddo ddyfod i ran ogleddol Canaan, a chlywed fod brenin Juda yn y deau wedi gwrthryfela yn ei erbyn ef, efe a drôdd i'r ffordd ag ydoedd yn arwain tua Jerusalem: ac yr oedd hyny yn cael ei lywodraethu gan ragluniaeth Duw, i gospi yr Iuddewon am eu pechodau: gwel ar Ezec. xxi. 19—22.

Adn. 24. *Cospa fi, Arglwydd*] Gan mai hyny yw dy ewyllys di, a'n bod ninau wedi haeddu hyny; *eto mewn barn*—yn bwyllig ac wrth fesur, neu yn gymysg â thrugaredd: *nid yn dy lid*—nid yn ol eithafion haeddiant ein pechodau; *rhag it' fy ngwneuthur yn ddiddym*—neu ein difodi oddiar wyneb y ddaear: gwel ar Salm vi. 1, a xxxviii. 1. Ymddengys fod y proffwyd yn llefaru yma yn enw y genedl, neu y rhai duwiolaf o honynt.

Adn. 25. *Tywallt dy lid ar y cenhedloedd y rhai ni'th adnabuant*] Sef ar y Caldeaid a'u cynghreirwyr, y rhai nid ydynt yn cydnabod dy ragluniaeth di, eithr a briodolant eu holl lwyddiant i'w heilunod; *ac ar y teuluoedd ni alwasant ar dy enw*—mewn ffordd o addoliad,

oedd y rhai ni'th adnabuant, ac ar y teuluoedd ni alwasant ar dy enw: canys bwytasant Jacob, ïe, bwytasant ef, difasant ef hefyd, ac anrheithiasant ei gyfanedd.

## PENNOD XI.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, gan ddywedyd,

2 Gwrandewch eiriau y cyfammod hwn, a dywedwch wrth wŷr Juda, ac wrth breswylwyr Jerusalem:

3 Dywed hefyd wrthynt, Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel; Melldigedig *fyddo* y gŵr ni wrendy ar eiriau y cyfammod hwn,

4 Yr hwn a orchymynais i'ch tadau chwi y dydd y dygais hwynt o wlad yr Aifft, o'r ffwrn haiarn, gan ddywedyd, Gwrandewch ar fy llef, a gwnewch hwynt, yn ol yr hyn oll a orchymynwyf i chwi: felly chwi a fyddwch yn bobl i mi, a minau a fyddaf yn Dduw i chwithau:

5 Fel y gallwyf gwblhau y llw a dyngais wrth eich tadau, ar roddi iddynt dir yn llifeirio o laeth a mêl, megys *y mae* heddyw. Yna yr atebais, ac y dywedais, O Arglwydd, felly y byddo.

6 Yna yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Cyhoedda y geiriau hyn oll yn ninasoedd Juda, ac yn heolydd Jerusalem, gan ddywedyd, Gwrandewch eiriau y cyfammod hwn, a gwnewch hwynt.

7 Canys gan dystiolaethu y tystiolaethais wrth eich tadau, y dydd y dygais hwynt i fyny o dir yr

---

neu ddysgwyliad wrthyt; gwel ar pen. i. 15. *Canys bwytasant Jacob, ïe, bwytasant ef*—y maent wedi bod yn ein dinystrio ni â dinystr ar ddinystr; *difasant ef hefyd*—fel llewod gwancus ac ysglyfaethus; *ac anrheithiasant ei gyfanedd*—ein gwlad, ein dinasoedd, a'n teml. Gellir ystyried dechre yr adnod hon fel *rhagfynegiad* y byddai i Dduw dywallt ei lid ar y cenhedloedd a'r teuluoedd hyny, yn hytrach na *gweddi* am i hyny gymeryd lle: gwel ar Salm v. 10: canys rhaid i ni beidio meddwl fod y proffwyd yn llefaru y geiriau hyn mewn ysbryd malais, llid, a dial; na chwaith ei fod ef am ddysgu i Dduw ar bwy yr oedd efe i dywallt ei lid, ac yn mha fodd. Neu ynte gallwn ystyried y geiriau fel apeliad at gyfiawnder Duw. Fel pe dywedasai, Yr ydym ni, O Arglwydd, yn bobl ddrwg, ac yn haeddu cael ein cospi fel hyn: eithr ai nid oes rhai cynddrwg a ninau yn y byd? ac am hyny, ai nyni yn unig a gospir? 'Daeth yr amser i ddechre o'r farn o dŷ Dduw: ac os dechreu hi yn gyntaf arnom ni, beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?' 1 Pedr iv. 17.

PEN. XI. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Yn niwedd teyrnasiad Josiah, yn ol *Blayney*, ac ereill; neu, yn ol *Dahler*, yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Zedeciah.

Adn. 2. *Gwrandewch eiriau y cyfammod hwn*] Yr hwn a draddodwyd ar y cyntaf yn Horeb, Exod. xxiv. 3—8, ac a ddarllenwyd y pryd hyn ond odid i wŷr Juda a phreswylwyr Jerusalem. Y mae Duw yn llefaru yma yn benaf wrth Jeremi, a'r ychydig dduwiolion ag oeddynt o'r un feddwl ag ef, y rhai a geryddent annuwioldeb y bobl hyny.

Adn. 3. *Dywed hefyd wrthynt*] O broffwyd, *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel*—sef Duw cyfammodol Israel; *Melldigedig fyddo y gŵr ni wrendy ar eiriau y cyfammod hwn*—i'w gwneuthur hwynt, yn y dyddiau hyn fel yn y dyddiau gynt: gwel ar Deut. xxvii. 26.

Adn. 4. *Yr hwn a orchymynais i'ch tadau chwi y dydd y dygais hwynt o wlad yr Aifft*] Neu yn fuan ar ol eu dwyn oddiyno; *o'r ffwrn haiarn*—felly y gelwir yr Aifft, ar gyfrif caledwaith a chystudd blin Israel dros lawer o flynyddoedd yn y wlad hòno; er y tybia rhai eu bod hwy yn gweithio mewn ffwrneisiau haiarn yno: gwel ar Deut. iv. 20. *Gan ddywedyd, Gwrandewch ar fy llef, &c.*—dywedai yr Arglwydd eto wrth y bobl hyn, fel wrth eu tadau o'r blaen, am iddynt wrando ar ei lef ef yn ei orchymynion, a'u gwneuthur hwynt oll. *Felly chwi a fyddwch yn bobl i mi, a minau a fyddaf yn Dduw i chwithau*—ar yr ammod hon yn unig.

Adn. 5. *Fel y gallwyf gwblhau y llw a dyngais wrth eich tadau*] Sef wrth Abraham, Isaac, a Jacob; *ar roddi iddynt dir yn llifeirio o laeth a mêl*—sef gwlad Canaan; *megys y mae heddyw*—yn llifeirio felly; neu megys ag yr ydych chwi heddyw yn mwynhau y tir hwnw. *Yna yr atebais, ac y dywedais, O Arglwydd, felly y byddo*—ar ol i Dduw orphen llefaru, dywedodd y proffwyd 'Amen,' megys y gorchymynasai Duw, Deut. xxvii. 26; gan ddangos ei gydsyniad â'r hyn a ddywedasai yr Arglwydd, neu amlygu ei ddymuniad i'r bobl wneyd yn ol y cyfammod hwn, neu foddloni i'r felldith fel un gyfiawn a rhesymol.

Adn. 6. *Cyhoedda y geiriau hyn oll yn ninasoedd Juda, &c.*] Fel y gallo pawb wybod eu dyledswydd, eu breintiau, a'u perygl.

Adn. 7. *Canys gan dystiolaethu y tystiolaethais wrth eich tadau*] Yn Horeb gynt, ac o oes i oes byth ar ol hyny; *trwy godi yn fore, a thystiolaethu*—sef trwy beri i'r proffwydi wneuthur hyny, y naill ar ol y llall; *gan ddywedyd*—trwyddynt hwy, yn y modd mwyaf

Aifft, hyd y dydd hwn, trwy godi
yn fore, a thystiolaethu, gan ddy-
wedyd, Gwrandewch ar fy llais.
8 Ond ni wrandawsant, ac ni
ogwyddasant eu clust, eithr rhod-
iasant bawb yn ol cyndynrwydd eu
calon ddrygionus: am hyny y dyg-
af arnynt holl eiriau y cyfammod
hwn, yr hwn a orchymynais *iddynt*
ei wneuthur, ond ni wnaethant.
9 A dywedodd yr Arglwydd wrth-
yf, Cydfradwriaeth a gafwyd yn
ngwŷr Juda, ac yn mysg trigolion
Jerusalem.
10 Troisant at anwiredd eu tadau
gynt, y rhai a wrthodasant wrando
fy ngeiriau: a hwy a aethant ar ol
duwiau dyeithr i'w gwasanaethu
hwy: tŷ Juda a thŷ Israel a dor-
asant fy nghyfammod yr hwn a
wnaethym â'u tadau hwynt.
11 ¶ Am hyny fel hyn y dywed
yr Arglwydd, Wele fi yn dwyn drwg
arnynt, yr hwn nis gallant fyned
oddiwrtho: yna y gwaeddant arnaf,
ac ni wrandawaf hwynt.
12 Yna dinasoedd Juda a thrig-
olion Jerusalem a ânt, ac a waedd-
ant ar y duwiau yr arogldarthant
iddynt: ond gan waredu ni allant eu
gwared hwynt yn amser eu dryg fyd.
13 Canys *yn ol* rhifedi dy ddinas-
oedd yr oedd dy dduwiau, O Juda;
ac *yn ol* rhifedi heolydd Jerusalem
y gosodasoch allorau i'r peth gwar-
adwyddus *hwnw, ïe,* allorau i fwg-
darthu i Baal.
14 Am hyny na weddia dros y
bobl hyn, ac na chyfod waedd neu
weddi drostynt: canys ni wrandaw-
af yr amser y gwaeddant arnaf o
herwydd eu drygfyd.
15 Beth *a wna* fy anwyl yn fy
nhŷ, gan iddi wneuthur ysgelerder
lawer? a'r cig cysegredig a aeth
ymaith oddiwrthyt: pan wnelit
ddrygioni, yna y llawenychit.
16 Olewwydden ddeiliog dêg, o

---

taer a difrifol; *Gwrandewch ar fy llais*—fel ag i ufyddhau i'm gorchymynion.

Adn 8. *Ond ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clust*] I wrando; *eithr rhodiasant bawb yn ol cyndynrwydd eu calon ddrygionus*—yn groes i orchymynion a chyfammod eu Duw: *am hyny y dygaf arnynt holl eiriau y cyfammod hwn*—sef yr holl fygythion a'r melldithion cynwysedig ynddo.

Adn. 9. *A dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Yn mhellach; *Cydfradwriaeth a gafwyd*—yn erbyn Duw, ei grefydd, a'i lywodraeth; *yn ngwŷr Juda, ac yn mysg trigolion Jerusalem*—yn mhlith fy holl bobl mewn tref a gwlad.

Adn. 10. *Troisant at anwiredd eu tadau gynt*] I wasanaethu duwiau dyeithr, fel y gwnai eu tadau yn amser Amon, Manasseh, ac Ahaz. *Tŷ Juda a thŷ Israel a dorasant fy nghyfammod*—yr oedd tŷ Israel wedi ei hen dori ef, a chael eu halltudio i Assyria am hyny; ac yr oedd tŷ Juda yn prysuro yn gyflym i wneyd yr un peth, ac i gael eu caethgludo am hyny i Babilon.

Adn. 11. *Wele fi yn dwyn drwg arnynt*] Sef ar dŷ Juda, trwy ddwylaw y Caldeaid; *yr hwn nis gallant fyned oddiwrtho*—neu ei osgoi, er maint eu hymdrech. *Yna y gwaeddant arnaf*—am gymhorth yn eu cyfyngder; *ac ni wrandawaf hwynt*—am iddynt hwy wrthod gwrando arnaf fi, adn. 8.

Adn. 12. *Yna dinasoedd Juda a thrigolion Jerusalem*] Ar ol bod yn gwaeddi yn ofer ar yr Arglwydd; *a ânt, ac a waeddant ar y duwiau yr arogldarthant iddynt*—gan obeithio y byddai i'r rhai hyny eu gwrando a'u gwaredu: *ond gan waredu ni allant eu gwared hwynt*—er amled ydynt, fel y gwelwn isod.

Adn. 13. *Canys yn ol rhifedi dy ddinasoedd yr oedd dy dduwiau, O Juda*] Gwel ar pen. ii. 28; *ac yn ol rhifedi heolydd Jerusalem y gosodasoch allorau*—sef un yn mhob heol, fel y byddai yn hawdd cyrchu ati mewn achos o angen; *i'r peth gwaradwyddus hwnw*—sef i'r eilun ffiaidd Baal, yr hwn sydd waradwyddus ynddo ei hun, ac a ddyg warth a chywilydd yn y diwedd i bawb a ymddiriedant ynddo: gwel ar Hos. ix. 10

Adn. 14. *Am hyny na weddia dros y bobl hyn, &c.*] Gwel ar pen. vii. 16.

Adn. 15. *Beth a wna fy anwyl yn fy nhŷ*] Sef yr Iuddewon, y rhai a ddewisodd Duw fel ei 'anwyl' briod gynt, ac a oeddynt yn 'garedigion' fyth 'oblegid y tadau,' Rhuf. xi. 28; *gan iddi wneuthur ysgelerder lawer*—sef troi yn anffyddlon i'w phriod ei hun, a myned i buteinio ar ol eilunod? Arddanghosir y genedl fel gwraig wedi cael ei hysgar oddiwrth ei phriod, a'i throi allan o'i dŷ ef; a pha neges sydd ganddi hi yno mwyach? *A'r cig cysegredig a aeth ymaith oddiwrthyt*—neu, yn ol *Lowth*, 'cig dy ebyrth ni lesâ i ti:' ac, yn ol ereill, 'cig fy nghysegr a â ymaith oddiwrthyt,' sef ar ol i'r deml gael ei dinystrio, ac iddynt hwythau gael eu symud i Babilon, lle ni byddai aberthu. *Pan wnelit ddrygioni, yna y llawenychit*—yn dy ddrygioni hwnw, fel pe buasai y daioni mwyaf. Ond y mae dau o'r hen gyfieithiadau yn ei ddarllen, 'A dderbynir addunedau a chig cysegredig oddiwrthyt? pan amceni ddrygioni, a gei di y pryd hyny lawenydd?'

Adn. 16. *Olewwydden ddeiliog dêg*] Yr hon y gellid dysgwyl iddi ddwyn ffrwyth prydferth a dymunol; *y galwodd yr Arglwydd dy enw*—pan y planodd efe dydi gyntaf yn ei

ffrwyth prydferth, y galwodd yr
Arglwydd dy enw: trwy drwst cy-
nhwrf mawr y cyneuodd tân ynddi,
a'i changhenau a dorwyd.
17 Canys Arglwydd y lluoedd,
yr hwn a'th blanodd, a draethodd
ddrwg yn dy erbyn, o herwydd
drygioni tŷ Israel a thŷ Juda, y rhai
a wnaethant yn eu herbyn eu hun,
i'm digo i, trwy fwgdarthu i Baal.
18 ¶ A'r Arglwydd a hysbysodd
im', a mi a'*i* gwn; yna y danghos-
aist im' eu gweithredoedd hwy.
19 A minau *oeddwn* fel oen, *neu*
fustach a ddygid i'w ladd; ac ni
wyddwn fwriadu o honynt fwriadau
yn fy erbyn i, *gan ddywedyd*, Dys-
trywiwn y pren yn nghyda'i ffrwyth,
a dyfethwn ef o dir y rhai byw,
fel na chofier ei enw ef mwy.
20 Eithr, O Arglwydd y lluoedd,
barnwr cyfiawnder, a chwiliwr yr
arenau a'r galon, gwelwyf dy ddial-
edd arnynt; canys i ti y datgudd-
iais fy nghwyn.
21 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd am wŷr Anathoth, y rhai
a geisiant dy einioes, gan ddywedyd,
Na phroffwyda yn enw yr Arglwydd,
rhag dy farw trwy ein dwylaw
ni:
22 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd; Wele fi yn ym-
weled â hwynt: y gwŷr ieuainc a
fyddant feirw trwy y cleddyf, a'u
meibion a'u merched a fyddant feirw
o newyn.
23 Ac ni bydd gweddill o honynt;
canys mi a ddygaf ddrygfyd ar wŷr
Anathoth, *sef* blwyddyn eu gofwy.

---

ardd. *Trwy drwst cynhwrf mawr y cyneuodd tân ynddi*—yr oedd yr olewwydden dêg hon yn awr wedi dirywio mor fawr, fel y penderfynai yr Arglwydd ei hysu megys â thân, trwy ymosodiad trystfawr a chynhyrfus y Caldeaid arni; *a'i changhenau a dorwyd*—symudid penaethiaid y genedl yn gaethion i Babilon.

Adn. 17. *Canys Arglwydd y lluoedd, yr hwn a'th blanodd*] Yn Nghanaan, ac a ddysgwyliodd yn ofer am ffrwyth arnat; *a draethodd ddrwg yn dy erbyn*—a'th ddedfrydodd i ddinystr; *o herwydd drygioni tŷ Israel a thŷ Juda*—o herwydd i'r holl genedl ddigio Duw trwy fwgdarthu i Baal, yn gystal a thrwy aneirif bechodau ereill; *y rhai a wnaethant yn eu herbyn eu hun*—yn gystal ag yn erbyn yr Arglwydd, fel y cânt brofi yn eu cospedigaeth chwerw.

Adn. 18. *A'r Arglwydd a hysbysodd im', a mi a'i gwn*] Hyny yw, gwyddai y proffwyd, trwy hysbysiad oddiwrth yr Arglwydd, am fwriad gwŷr Anathoth yn ei erbyn ef, adn. 21. *Yna y danghosaist im' eu gweithredoedd hwy*—neu, fel y mae yn yr *Arabaeg*, 'yna y *gwelais* eu gweithredoedd hwy.'

Adn. 19. *A minau oeddwn fel oen neu fustach a ddygid i'w ladd*] Oeddwn yn hollol ddifeddwl am fy mherygl. Ond yn lle *bustach*, y mae llawer yn deall *alluph* fel ansoddair i'r *oen*, gan ei ddarllen, 'oeddwn fel oen diniwed,' neu besgedig, 'a ddygid i'w ladd.' *Ac ni wyddwn*—nes i'r Arglwydd ei hysbysu i mi, *fwriadu o honynt fwriadau yn fy erbyn*—i'm rhoddi i farwolaeth; *gan ddywedyd*—wrth eu gilydd, *Dystrywiwn y pren yn nghyda'i ffrwyth*—rhoddwn derfyn nid yn unig ar ei broffwydo, ond hefyd ar ei fywyd: dyfethwn y proffwyd a'i athrawiaeth. *A dyfethwn ef o dir y rhai byw*—neu, fel y mae y *Targum* yn ei ddarllen, 'Rhoddwn wenwyn marwol yn ei fwyd ef;' *fel na chofier ei enw ef mwy*—yn nhir y rhai byw. Y mae llawer yn meddwl fod Jeremi yn son yma am ei ddyoddefiadau ei hun, fel yn gysgodol o ddyoddefiadau y Messia.

Adn. 20. *Eithr, O Arglwydd y lluoedd, barnwr cyfiawnder*] Rhwng pawb; *a chwiliwr yr arenau a'r galon*—yr hwn a wyddost fwriadau a meddyliau dirgelaf dynion; *gwelwyf dy ddialedd arnynt*—Hebr., '*gwelaf* dy ddialedd arnynt;' hyny yw, yr wyf yn ei ragweled ac yn ei ragfynegu, er fod yn ddrwg genyf iddynt haeddu dy ddialedd fel hyn: gwel ar pen. x. 25. *Canys i ti y datguddiais fy nghwyn*—neu y gadewais fy achos.

Adn. 21. *Am hyny fel hyn y dywedodd yr Arglwydd am wŷr Anathoth*] Anathoth oedd cartref Jeremi, pen. i. 1; ac am hyny yr oedd pechodau y gwŷr hyny yn fwy, wrth iddynt geisio einioes eu cyd-ddinesydd o herwydd ei rybyddion ffyddlon ef iddynt. *Na phroffwyda yn enw yr Arglwydd*—na ddywed wrthym ni am ein pechodau, ac am ddinystr ein gwlad, a'n caethgludiad ninau i Babilon; *rhag dy farw trwy ein dwylaw ni*—am aflonyddu o honot ar ein digrifwch.

Adn. 22. *Wele fi yn ymweled â hwynt*] Fel pe dywedasai yr Arglwydd, Yn lle iddynt hwy dy ladd di, cânt eu lladd eu hunain. *Y gwŷr ieuainc*—neu filwyr Anathoth, *a fyddant feirw trwy y cleddyf*—sef cleddyf y Caldeaid; *a'u meibion a'u merched*—sef eu plant ieuangach, *a fyddant feirw o newyn*—yr hon oedd yn waeth marwolaeth na syrthio trwy y cleddyf: gwel ar Galar. iv. 9.

Adn. 23. *Ac ni bydd gweddill o honynt*] Dyfethid trigolion Anathoth mor llwyr trwy y cleddyf a thrwy newyn, fel na byddai yno gymaint ag un wedi ei adael i'w gaethgludo i Babilon, am iddynt geisio attal gweinidogaeth y proffwyd, a bygwth ei fywyd ef oni pheidiai â phroffwydo. *Canys mi a ddygaf ddrygfyd ar wŷr Anathoth*—a fydd yn drymach na drygfyd neb arall; *sef blwyddyn eu gofwy*—neu *yn* mlwyddyn eu gofwy, sef pan ymwelai yr Arglwydd yn farnol â'r wlad hòno trwy law y Caldeaid.

## PENNOD. XII.

CYFIAWN *wyt,* Arglwydd, pan
ddadleuwyf â thi: er hyny ym-
resymaf â thi *am dy* farnedigaethau:
Paham y llwydda ffordd yr anwir,
*ac* y ffyna yr anffyddloniaid oll?
2 Plenaist hwy, ïe gwreiddiasant;
cynyddant, ïe dygant ffrwyth; agos
*wyt* yn eu genau, a phell oddiwrth
eu harenau.
3 Ond ti, Arglwydd, a'm had-
waenost i; ti a'm gwelaist, ac a
brofaist fy nghalon tuag atat; tyn
allan hwynt megys defaid i'r lladd-
fa, a pharotoa hwynt erbyn dydd y
lladdfa.
4 Pa hyd y galara y tir, ac y
gwywa gwellt yr holl faes, oblegid
drygioni y rhai sydd yn trigo ynddo?
methodd yr anifeiliaid a'r adar,
oblegid iddynt ddywedyd, Ni wel
efe ein diwedd ni.
5 ¶ O rhedaist ti gyda'r gwŷr
traed, a hwy yn dy flino, pa fodd
yr ymdarewi â'r meirch? ac os *blin-
asant di* mewn tir heddychlawn, *yn
yr hwn* yr ymddiriedaist, yna pa
fodd y gwnai yn ymchwydd yr
Iorddonen?
6 Canys dy frodyr, a thŷ dy dad,
ïe y rhai hyny a wnaethant yn an-
ffyddlon â thi; hwynt-hwy hefyd a
waeddasant yn groch ar dy ol: na
choelia hwy, er iddynt ddywedyd
geiriau têg wrthyt.
7 ¶ Gadewais fy nhŷ, gadewais
fy etifeddiaeth; mi a roddais an-

---

PEN. XII. Adn. 1. *Cyfiawn wyt, Arglwydd*] Yn dy holl weinyddiadau, *pan ddadleuwyf â thi*—hyny yw, er fy mod yn dadleu â thi; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'Gan dy fod yn gyfiawn, a fydd i mi ddadleu â thi?' *Er hyny ymresymaf â thi am dy farnedigaethau*—Saes., 'er hyny gad i mi ymresymu â thi,' &c.; nid mewn ffordd o feio ar orchwyliaethau dy ragluniaeth yn y byd, ond i'r dyben i gael fy ngoleuo mewn perthynas iddynt. *Paham y llwydda ffordd yr anwir, &c.*—pan y mae dy blant ufydd a ffyddlon dy hun yn fynych yn aflwyddo, ac mewn peryglon a helbulon dirfawr! Fe allai ei fod ef yn cyfeirio yn neillduol yma at wŷr Anathoth, y rhai a gydfwriadent yn erbyn ei einioes ef, pen. xi. 21.

Adn. 2. *Plenaist hwy*] Fel olewwydden mewn tir da; *ïe gwreiddiasant*—gwel ar Job xii. 6, a xxi. 7, &c., Salm xxxvii. 1, 35, a lxxiii. 3, &c; *cynyddant, ïe dygant ffrwyth*—iddynt eu hunain o leiaf. *Agos wyt yn eu genau*—proffesant eu bod yn dy garu a'th wasanaethu; *a phell oddiwrth eu harenau*—pell wyt oddiwrth gael eu calonau yn y gwaith, Esay xxix. 13, Mat. xv. 8.

Adn. 3. *Ond ti, Arglwydd, a'm hadwaenost i*] Fod fy nghalon i yn uniawn a chywir tuag atat, fel y gwelaist ac y profaist lawer gwaith. *Tyn allan hwynt megys defaid i'r lladdfa, &c.*—'ti a'u neilldui hwynt fel defaid i'w haberthu, ac a'u dodi heibio erbyn dydd y lladdfa.'—*Houbigant.* Gwel ar pen. x. 25.

Adn. 4. *Pa hyd y galara y tir*] Dan bwys dy farnedigaethau; *ac y gwywa gwellt yr holl faes*—meddylir fod sychder mawr dros yr holl wlad y pryd hyn, pen. ix. 10, a xiv. 3, 4; *oblegid drygioni y rhai sydd yn trigo ynddo*—sef eilunaddoliaeth ac annuwioldeb y trigolion? *Methodd yr anifeiliaid a'r adar*—trengasant o newyn a syched; *oblegid iddynt ddywedyd*—oblegid i'r trigolion ddywedyd, *Ni wel efe ein diwedd ni*—ni chaiff y proffwyd fyw i weled yr hyn a fygythia efe yn ein herbyn ni: gwel ar pen. xi. 19, 21.

Adn. 5. *O rhedaist ti gyda'r gwŷr traed, a hwy yn dy flino, &c.*] Hwn sydd ymadrodd diarebol, yn cael ei gymhwyso yma gan yr Arglwydd at amgylchiadau y proffwyd cwynfanus. Fel pe dywedasai, Os wyt ti yn barod i suddo dan ddrygau *bychain*, pa fodd yr ymdarewi dan ddrygau *mwy?* Wrth y *gwŷr traed* y dealla rhai bobl gyffredin Anathoth, y rhai a'i blinent ef yn fawr; neu ynte y Philistiaid a'r Edomiaid, y rhai yr oedd eu byddinoedd yn cael eu gwneyd i fyny yn benaf o wŷr traed. *Pa fodd yr ymdarewi â'r meirch*—â gwŷr meirch y Caldeaid? neu pa fodd y gwynebi ar yr holl rai sydd mewn awdurdod eglwysig a gwladol yn Jerusalem, i draethu dy genadwri fygythiol yn eu herbyn hwy? *Ac os blinaist ti mewn tir heddychlawn*—cyn i farnedigaethau fy nigllonedd ddisgyn ar dir Judea; *yn yr hwn yr ymddiriedaist*—am barhad dy heddwch a'th ddiogelwch, neu y gobeithiaist nad ymwelid âg ef yn ol fy mygythiad i: *yna pa fodd y gwnei yn ymchwydd yr Iorddonen*—pan ddylifa y Caldeaid dros yr holl wlad, yr un modd ag y dylifa yr Iorddonen dros ei glanau oll yn amser y cynauaf? gwel ar Jos. iii. 15.

Adn. 6. *Canys dy frodyr, a thŷ dy dad*] Sef offeiriaid a gwŷr Anathoth; *ïe y rhai hyny a wnaethant yn anffyddlon â thi*—gan fygwth cymeryd ymaith dy einioes, pen. xi. 19, 21. *Hwynt-hwy hefyd a waeddasant yn groch ar dy ol*—fel pe buasit lofrudd neu leidr. *Na choelia hwy, er iddynt ddywedyd geiriau têg wrthyt*—canys pobl dwyllodrus a rhagrithiol ydynt. Fe allai mai coelio y rhai hyn yn ormodol o dd yr *ymddiriedaid* a grybwyllir yn adn. 5. Blinai Jeremi o herwydd ei erlidwyr cyhoeddus; eithr yr oedd yn coelio ei wenieithwyr, ac yn ymddiried yn ormodol ynddynt.

Adn. 7. *Gadewais fy nhŷ*] Sef y deml, yn yr hon y preswyliai yr Arglwydd gynt; *gadewais fy etifeddiaeth*—sef y bobl a ddetholasai efe yn etifeddiaeth iddo ei hun, Salm xxxiii. 12: *mi a roddais anwylyd fy enaid*—sef ei eglwys, neu ei ddyweddi, yr hon a fu-

wylyd fy enaid yn llaw ei gelynion.
8 Fy etifeddiaeth sydd i mi megys
llew yn y coed, rhuo y mae i'm her-
byn ; am hyny caseais hi.
9 *Y mae* fy etifeddiaeth i mi *fel*
aderyn brith ; *y mae* yr adar o am-
gylch yn ei herbyn hi : deuwch,
ymgesglwch, holl fwystfilod y
maes; deuwch i ddifa.
10 Bugeiliaid lawer a ddystryw-
iasant fy ngwinllan ; sathrasant fy
rhandir, fy rhandir dirion a wnaeth-
ant yn ddiffaethwch anrheithiol.
11 Gwnaethant hi yn anrhaith,
*ac* wedi ei hanrheithio y galara hi
wrthyf : y tir i gyd a anrheithiwyd,
am nad *oes* neb yn *ei* gymeryd at *ei*
galon.
12 Anrheithwyr a ddaethant ar
yr holl fryniau trwy yr anialwch :
canys cleddyf yr Arglwydd a ddy-
fetha o'r *naill* gŵr i'r ddaear hyd
y cŵr *arall* i'r ddaear : nid *oes*
heddwch i un cnawd.
13 Hauasant wenith, ond hwy a
fedant ddrain ; ymboenasant, *ond*
ni thycia iddynt : a hwy a gywil-
yddiant am eich ffrwythydd chwi, o
herwydd llid digofaint yr Arglwydd.
14 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd yn erbyn fy holl gymydog-
ion drwg, y rhai sydd yn cyffwrdd
â'r etifeddiaeth a berais i'm pobl
Israel ei hetifeddu, Wele, mi a'u
tynaf hwy allan o'u tir, ac a dynaf
dŷ Juda o'u mysg hwynt.
15 Ac wedi i mi eu tynu hwynt
allan, mi a ddychwelaf ac a drugar-

---

asai unwaith yn anwyl iawn yn ei olwg ef, pen. xi. 15 ; *yn llaw ei gelynion*—i gael ei chospi gan y Caldeaid am ei hanffyddlondeb i'w phriod.

Adn. 8 *Fy etifeddiaeth sydd i mi megys llew yn y coed*] Yn rhuo mewn cynddeiriogrwydd yn fy erbyn i, ac yn barod i rwygo fy mhroffwydi y rhai a anfonwyf atynt : *am hyny caseais hi*—fel ag i'w hysgaru oddiwrthyf.

Adn. 9. *Y mae fy etifeddiaeth i mi fel aderyn brith*] 'Y maent yn llygru fy addoliad i gyda defodau a seremoniäau paganaidd.'—*Clarke*. 'Fel aderyn wedi ei fritho â gwaed ei ysglyfaeth.'—*Rabbi Solomon*. 'Fel aderyn crafangog neu ewinog,' sef aderyn ysglyfaethus, fel y darllenir ef ar ymyl y ddalen. *Y mae yr adar o amgylch yn ei herbyn hi*—o herwydd ei thuedd waedlyd ac ysglyfaethus. *Holl fwystfilod y maes*—chwi Galdeaid, creulon fel bwystfilod ; *deuwch i ddifa*—ymgesglwch yn erbyn pobl fy etifeddiaeth i.

Adn. 10. *Bugeiliaid lawer a ddystrywiasant fy ngwinllan*] Tybia rhai mai y penaethiaid Iuddewig a olygir yma wrth y 'bugeiliaid' hyn, y rhai trwy eu llywodraethiad a'u siamplau drwg a ddinystriasant wlad Judea ; ond y mae yn debycach, oddiwrth yr adnodau nesaf, mai swyddogion milwraidd y Caldeaid a feddylir, y rhai gyda'u byddinoedd, fel bugeiliaid gyda'u deadellau, a fathrent yr holl wlad. *Fy rhandir dirion a wnaethant yn ddiffaethwch anrheithiol*—geilw Duw ei winllan hon yn 'rhandir dirion,' neu ddymunol, o herwydd y gofal a gymerasai efe i'w diwyllio, a'r ffrwyth a ddysgwyliasai efe oddiwrthi.

Adn. 11. *Gwnaethant hi yn anrhaith*] Neu yn annghyfanedd ; *ac wedi ei hanrheithio y galara hi wrthyf*—gan erfyn, fel pe byddai, am gael ei hadfer i'w chyflwr blaenorol. *Y tir i gyd a anrheithiwyd*—o'r naill gŵr i'r llall ; *am nad oes neb yn ei gymeryd at ei galon*—yn ymostwng ger fy mron i mewn edifeirwch, nac yn cydnabod fy llaw i yn y trallodau a ddisgynant arnynt.

Adn. 12. *Anrheithwyr a ddaethant ar yr holl fryniau*] Yn gystal ag ar y dyffrynoedd breision ; neu, ymosodasant ar yr holl 'gastelli a'r amddiffynfeydd,' fel y mae rhai yn ei ddeall. *Canys cleddyf yr Arglwydd*—yn llaw y Caldeaid, *a ddyfetha o'r naill gŵr i'r ddaear*—neu wlad Judea, hyd y cŵr arall. *Nid oes heddwch i un cnawd*—eithr bydd i rai gael eu lladd, i ereill gael eu caethgludo, ac i bawb gael eu trallodi hyd yr eithaf.

Adn. 13. *Hauasant wenith, ond hwy a fedant ddrain*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo eu siomedigaeth yn eu dysgwyliadau, a'u methiant yn eu holl fesurau, ar ol yr holl boen a'r costau yr aethant iddynt. *A hwy a gywilyddiant*—neu 'chwi a gywilyddiwch,' fel y mae gan y LXX ; *am eich ffrwythydd*—wrth weled drain yn eich maesydd yn lle gwenith ; *o herwydd llid digofaint yr Arglwydd*—yn eich cospi felly.

Adn. 14. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd yn erbyn fy holl gymydogion drwg*] Megys y Moabiaid, yr Ammoniaid, yr Edomiaid, a'r Philistiaid ; *y rhai sydd yn cyffwrdd â'r etifeddiaeth a berais i'm pobl Israel ei hetifeddu*—sef yn cyffinio â gwlad Canaan neu Judea : *Wele, mi a'u tynaf hwy allan o'u tir*—caethgludir rhai o'r Cenhedloedd hyny i Babilon am eu drygioni : *ac a dynaf dŷ Juda o'u mysg hwynt*—sef yr Iuddewon hyny a gaethgludesid ganddynt hwy o dro i dro, neu a ffoisent atynt rhag ofn eu gelynion. Tynai yr Arglwydd y rhai hyny o'u mysg hwynt, i'w dychwelyd drachefn i'w gwlad eu hunain : ac felly pan ddisgynai barn ar y cymydogion drwg, danghosid trugaredd i dŷ Juda y rhai oeddynt yn eu mysg hwynt.

Adn. 15. *Ac wedi i mi eu tynu hwynt allan*] Wedi i mi yru y Cenhedloedd hyny i Babilon fel cosp am eu pechodau ; *mi a ddychwelaf*—mi a newidiaf fy ymddygiad tuag atynt ; *ac a drugarhaf wrthynt*—fel gwaith fy nwylaw, er nas gallant hwy, fel paganiaid eilunaddolgar, hòni hawl yn mendithion y cyfammod a

haf wrthynt; a dygaf hwynt dra-
chefn bob un i'w etifeddiaeth, a
phob un i'w dir.
16 Ac os gan ddysgu y dysgant
ffyrdd fy mhobl, i dyngu i'm henw,
Byw yw yr Arglwydd, (megys y
dysgasant fy mhobl i dyngu i Baal,)
yna yr adeiledir hwy yn nghanol fy
mhobl.
17 Eithr oni wrandawant, yna
gan ddiwreiddio y diwreiddiaf fi y
genedl hon, a chan ddyfetha myfi
a'i dinystriaf hi, medd yr Arglwydd.

## PENNOD XIII.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd
wrthyf, Dos a chais it' wregys
llian, a dod ef am dy lwynau, ac na
ddod ef mewn dwfr.
2 Felly y ceisiais wregys yn ol
gair yr Arglwydd, ac a'*i* dodais am
fy llwynau.
3 A daeth gair yr Arglwydd at-
af eilwaith, gan ddywedyd,
4 Cymer y gwregys a gefaist, *ac
sydd* am dy lwynau, a chyfod, dos i
Euphrates, a chuddia ef mewn twll
o'r graig.
5 Felly mi a aethym ac a'i cudd-
iais ef yn Euphrates, megys y gor-
chymynasai yr Arglwydd i mi.
6 Ac ar ol dyddiau lawer y dy-
wedodd yr Arglwydd wrthyf, Cy-
fod, dos i Euphrates, a chymer

---

wnaed âg Abraham a'i had; *a dygaf hwynt drachefn bob un i'w etifeddiaeth, a phob un i'w dir*—sef i'w gwlad briodol eu hunain. Caethgludodd y Caldeaid amrai genhedloedd heblaw yr Iuddewon tua'r un amser a hwy, y rhai a ryddhawyd gan Cyrus tua'r un amser ag y rhoddes efe ollyngdod i'r Iuddewon.

Adn. 16. *Ac os gan ddysgu y dysgant ffyrdd fy mhobl*] Y rhai a fuont byw yn eu plith hwy yn eu gwlad eu hunain, adn. 14, ac hefyd yn Babilon, adn. 15; *i dyngu i'm henw, Byw yw yr Arglwydd*—hyny yw, os bydd iddynt gefnu ar eu heilunod, a'm cydnabod a'm haddoli i fel yr unig wir Dduw; *megys y dysgasant fy mhobl i dyngu i Baal*—hyny yw, os bydd iddynt hwy gymeryd eu dysgu yn y wir grefydd, megys y darfu iddynt hwy ddysgu i'r Iuddewon eu gau-grefydd eu hunain; *yna yr adeiledir hwy yn nghanol fy mhobl*—cânt eu gwneyd yn adeilad ysbrydol, ac yn deml santaidd i'r Arglwydd, ac yn breswylfod i Dduw trwy yr Ysbryd, Eph. ii. 13—22. Cynwysa hyn eu cydgorfforiad hwy â'r Iuddewon yn yr eglwys Iuddewig, fel cysgod ac ernes o'u cydgorfforiad â'r Cristionogion yn un eglwys dan yr efengyl.

Adn. 17. *Eithr oni wrandawant*] Os na wrendy y cenhedloedd hyny ar fy llais i yn fy ngair a thrwy fy nghenadon, ac yn enwedig os bydd iddynt wrthod y Messia a'i athrawiaeth; *yna gan ddiwreiddio y diwreiddiaf fi y genedl hon*—neu y genedl hòno, pwy bynag fyddo; *a chan ddyfetha y dinystriaf hi, medd yr Arglwydd*—'canys y genedl a'r deyrnas ni'th wasanaetho di a ddyfethir; a'r cenhedloedd hyny a lwyr ddinystrir,' Esay lx. 12. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol i'r Moabiaid, yr Ammoniaid, a'r Caldeaid, y rhai a lwyr ddinystriwyd, fel nad oes dim o'u hôl i'w weled. Y rhai ni fynant gael eu llywodraethu gan ras Duw, a ddyfethir gan gyfiawnder Duw.

PEN. XIII. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrthyf*] Y mae y proffwyd yma yn dechreu mater newydd, a hyny fel y meddylir dan deyrnasiad Joacin mab Joacim, 2 Bren. xxiv. 8. *Dos a chais it' wregys llian*—o'r fath ond odid ag a wisgai yr offeiriaid; *a dod ef am dy lwynau*—i arwyddo agosrwydd y genedl Iuddewig gynt at Dduw; *ac na ddod ef mewn dwfr*—na olcha ef ar ol ei wisgo, fel y byddo i'w aflendid arddangos aflendid presenol y genedl.

Adn. 2. *Felly y ceisiais wregys*] Megys y gorchymynasai yr Arglwydd; *ac a'i dodais am fy llwynau*—heb ymofyn paham y gorchymynodd yr Arglwydd i mi wneuthur hyny.

Adn. 3. *A daeth gair yr Arglwydd ataf eilwaith*] Ar ol i'r proffwyd fod yn gwisgo y gwregys hwnw am ryw amser nes ei aflanhau.

Adn. 4. *Cymer y gwregys a gefaist, &c.*] Yr hwn yr oedd efe i'w wisgo ond odid am ei lwynau nes cyraedd pen ei daith; *a chyfod, dos i Euphrates*—lle oddeutu 600 o filldiroedd o Jerusalem; *a chuddia ef mewn twll o'r graig*—ag sydd ar lan yr afon hòno. Ond y mae y rhan fwyaf o'r esbonwyr yn meddwl i hyn oll gael ei wneuthur mewn *gweledigaeth*, ac nid yn *llythyrenol;* ac felly nad aeth y proffwyd yr holl ffordd hòno ddwywaith yn bersonol, sef i guddio y gwregys, ac wedi hyny i'w geisio ef. Adroddir llawer o bethau yn yr ysgrythyr fel wedi eu gwneuthur yn weithredol, y rhai na chyflawnwyd ond yn weledigaethol: gwel un anghraifft yn pen. xxv. 15—29.

Adn. 5. *Felly mi a aethym, ac a'i cuddiais ef yn Euphrates*] Efe a'i *gwelai* ei hun yn myned i Euphrates, ac yn ei guddio felly. Ond tybia *Bochart* ac ereill mai *Ephrata* ger Bethlehem a feddylir, lle oddeutu chwe milldir o Jerusalem; ac os felly, gallai y proffwyd yn hawdd fyned yno yn bersonol.

Adn. 6. *Ac ar ol dyddiau lawer y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Gan fod yr Iuddewon i fod yn gaethion yn Babilon am 70 mlynedd, fe allai fod y 'dyddiau lawer' hyn yn cynwys 70 o ddyddiau, sef dydd am bob blwyddyn, yn ol y drefn broffwydoliaethol; ac felly fod y gwregys yn nghudd yno dros gynifer o ddyddiau ag yr oedd yr Iuddewon i fod o flynyddau yn eu caethiwed. *Cyfod, dos i Euphrates*—neu i 'Ephrata:' gwel ar adn. 5. Ond gan mai i Babilon ar lan yr Euphrates yr

oddiyno y gwregys a orchymynais
i ti ei guddio yno.
7 Yna yr aethym i Euphrates, ac
a gloddiais, ac a gymerais y gwreg-
ys o'r man lle y cuddiaswn ef: ac
wele, pydrasai y gwregys, *ac* nid
oedd efe dda i ddim.
8 A daeth gair yr Arglwydd at-
af, gan ddywedyd,
9 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Felly y gwnaf i falchder Juda, a
mawr falchder Jerusalem, bydru.
10 Y bobl ddrygionus hyn, y rhai
a wrthodant wrandaw fy ngeiriau i,
y rhai a rodiant yn nghyndynrwydd
eu calon, ac a ânt ar ol duwiau dy-
eithr, i'w gwasanaethu hwynt, ac i
ymostwng iddynt, a fyddant fel y
gwregys yma, yr hwn nid yw dda i
ddim.
11 Canys megys ag yr ymwasg
gwregys am lwynau gŵr, felly y
gwnaethym i holl dŷ Israel a holl
dŷ Juda lynu wrthyf, medd yr Ar-
glwydd, i fod i mi yn bobl, ac yn
enw, ac yn foliant, ac yn ogoniant:
ond ni wrandawent.
12 ¶ Am hyny y dywedi wrthynt
y gair yma; Fel hyn y dywed Ar-
glwydd Dduw Israel, Pob costrel
a lenwir â gwin. A dywedant wrth-
yt ti, Oni wyddom ni yn sicr y
llenwir pob costrel â gwin?
13 Yna y dywedi wrthynt, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd; Wele
fi yn llenwi holl drigolion y tir hwn,
ïe, y brenhinoedd sydd yn eistedd
yn lle Dafydd ar ei orseddfainc ef,
yr offeiriaid hefyd, a'r proffwydi,
a holl breswylwyr Jerusalem, â
meddwdod.
14 Tarawaf hwy y naill wrth y
llall, y tadau a'r meibion yn nghyd,
medd yr Arglwydd: nid arbedaf,
ac ni thrugarhaf, ac ni resynaf, ond
eu dyfetha hwynt.

---

oedd yr Iuddewon i gael eu caethgludo, y mae yn debycach mai yno y cuddiwyd y gwregys fel arwydd o hyny; ac felly ddarfod i'r proffwyd fyned yno ddwywaith, naill ai yn weithredol neu yn weledigaethol, fel y sylwyd ar adn. 4.

Adn. 7. *Yna yr aethym i Euphrates*] I geisio y gwregys; *ac wele pydrasai y gwregys*—yr hwn oedd yn aflan pan y cuddiwyd ef yno; *ac nid oedd efe dda i ddim*—yr hyn oedd yn arwydd o gyflwr gwael yr Iuddewon, adn. 10.

Adn. 8. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Y bedwaredd waith.

Adn. 9. *Felly y gwnaf i falchder Juda, a mawr falchder Jerusalem, bydru*] Yr un modd ag y pydrodd y gwregys hwn: hyny yw, darostyngaf eu balchder hwynt, trwy eu gosod yn gaethweision i'w gelynion; cuddiaf hwynt yn Babilon, fel mewn twll o'r graig, o'r hwn nis gallant ddianc; a byddant yno heb deml, heb aberth, ac heb addoliad cyhoeddus.

Adn. 10. *Y bobl ddrygionus hyn, y rhai a wrthodant wrandaw fy ngeiriau i*] Y rhai a lefarais wrthynt yn fy nghyfraith a thrwy fy mhroffwydi; *y rhai a rodiant yn nghyndynrwydd eu calon*—halogedig eu hunain; *ac a ânt ar ol duwiau dyeithr*—i'w haddoli hwy, yn lle fy addoli a'm gwasanaethu i; *a fyddant fel y gwregys yma*—yr hwn nad yw dda i ddim ond i'w daflu i'r domen.

Adn. 11. *Canys megys ag yr ymwasg gwregys am lwynau gŵr*] Yr hwn a ymlyna wrtho felly yn ddiymollwng; *felly y gwnaethym i holl dŷ Israel a holl dŷ Juda lynu wrthyf*—yn yr undeb a'r agosrwydd anwylaf, fel y glŷn gwraig wrth ei phriod; *i fod i mi yn bobl*—neillduol a phriodol; *ac yn enw*—dewisais hwynt i'r anrhydedd o gael eu galw ar fy enw i; *ac yn foliant*—i'm moliannu i; *ac yn ogoniant*—mynegol i'm henw: hyny yw, dewisais hwynt fel y byddai i mi gael fy moliannu a'm gogoneddu ynddynt a chanddynt hwy. *Ond ni wrandawent*—nid ufyddhasant i mi, neu ni lynasant wrthyf fi yn barhaus, fel ag i ateb y dyben ag ydoedd genyf mewn golwg.

Adn. 12. *Am hyny y dywedi wrthynt y gair yma*] Ti a ddanghosi iddynt y dinystr a ddaw arnynt trwy arwydd arall. *Pob costrel a lenwir â gwin*—dyna ddyben gwneuthuriad y gwin-gostrelau. *A dywedant wrthyt ti*—yn ganlynol i hyny, mewn gwawd, neu mewn anwybodaeth o ystyr y ddammeg; *Oni wyddom ni yn sicr y llenwir pob costrel â gwin?*—fel pe dywedasent, Nid yw hyny yn ddim newydd i ni, canys ni a wyddom yn gystal â thithau y llenwir pob gwin-gostrel â gwin. Yr oeddynt yn dirmygu y fath ddywediad fel peth rhy wael i'w ddywedyd wrth wŷr fel hwy.

Adn. 13. *Yna y dywedi wrthynt*] Mewn geiriau eglur, ystyr y ddammeg hon. *Wele fi yn llenwi holl drigolion y tir hwn*—sef y brenin, yr offeiriaid, y proffwydi, a phawb a breswyliant yn Jerusalem, y rhai a olygir yma wrth y costrelau hyn; *â meddwdod*—à 'gwin madrondod,' Salm lx. 3, nes y byddant fel wedi meddwi, pendroni, a syfrdanu gan win fy nigofaint i.

Adn. 14. *Tarawaf hwy y naill wrth y llall*] I'w dryllio fel costrelau pridd; neu goddefaf i genfigen, cynhenau, ac ymrysonau gael eu magu yn eu plith, nes y bydd y tadau yn codi yn erbyn y meibion, a'r meibion yn erbyn y tadau, a'r naill deulu yn erbyn y llall, fel y bydd iddynt ddyfod yn ysglyfaeth hawdd i'w gelynion. *Nid arbedaf*—y naill na'r llall o honynt; *ni thrugarhaf*—hyd yn nod wrth y rhai a alwant arnaf; *ac ni resynaf*—wrth

15 ¶ Clywch, a gwrandewch, na
falchïwch: canys yr Arglwydd a
lefarodd.
16 Rhoddwch ogoniant i'r Ar-
glwydd eich Duw, cyn iddo ef
ddwyn tywyllwch, a chyn i chwi
daro eich traed wrth y mynyddoedd
tywyll: a thra f'och yn dysgwyl
am oleuni, iddo ef ei droi yn gysgod
angau, *a'i* wneuthur yn dywyll-
wch.
17 Ond oni wrandewch chwi hyn,
fy enaid a ŵyla mewn lleoedd dir-
gel am *eich* balchder; a'm llygaid
gan ŵylo a ŵylant, ac a ollyngant
ddagrau, o achos dwyn deadell yr
Arglwydd i gaethiwed.
18 Dywed wrth y brenin a'r fren-
hines, Ymostyngwch, eisteddwch i
lawr: canys disgynodd eich pendef-
igaeth, *sef* coron eich anrhydedd.
19 Dinasoedd y deau a gauir, ac
ni bydd a'*u* hagoro; Juda i gyd a
gaethgludir, yn llwyr y dygir hi i
gaethiwed.
20 Codwch i fyny eich llygaid, a
gwelwch y rhai sydd yn dyfod o'r
gogledd: pa le *y mae* y ddeadell
a roddwyd i ti, *sef* dy ddeadell
brydferth?
21 Beth a ddywedi pan ymwelo
â thi? (canys ti a'u dygaist hwynt
yn dywysogion ac yn ben arnat:)
oni oddiwes gofidiau di megys
gwraig yn esgor?
22 ¶ Ac o dywedi yn dy galon,
Paham y dygwydd hyn i mi? o
herwydd amlder dy anwiredd y

---

eu cyflwr andwyol; *ond eu dyfetha hwynt*—wreiddyn a changhen, oddieithr i ddiwygiad cyffredinol gymeryd lle yn eu mysg hwynt. Yn ninystr diweddaf Jerusalem dyfethwyd mwy o'r Iuddewon gan eu gilydd, nag a ddyfethwyd gan y Rhufeiniaid; ac ymddengys ei bod yn gyffelyb yn amser y Caldeaid.

Adn. 15. *Clywch, a gwrandewch*] Ar y rhybydd hwn; *na falchïwch*—yn ysgornllyd, fel ag i wrthod gwrando; oblegid balchder oedd un o'u prif bechodau hwy, adn. 9: *canys yr Arglwydd a lefarodd*—ei eiriau ef yw y bygythion a'r rhybyddion hyn, ac nid fy ngeiriau i.

Adn. 16. *Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw*] Trwy gyfaddef a gadael eich pechodau; *cyn iddo ef ddwyn tywyllwch*—arnoch, sef barnedigaethau ac adfydau blinion; *a chyn i chwi daro eich traed wrth y mynyddoedd tywyll*—ymadrodd diarebol fe allai, yn arwyddo syrthio i'r ing a'r dyryswch mwyaf, fel dyn yn ffoi ac yn tramgwyddo yn nhywyllwch y nos: *a thra f'och yn dysgwyl am oleuni*—am ymwared a chysur; *iddo ef ei droi yn gysgod angau*—gwel ar pen. ii. 6, Salm xxiii. 4; *a'i wneuthur yn dywyllwch*—y meddwl yw, rhoddwch ogoniant i Dduw cyn i chwi gael eich suddo yn y trallodau mwyaf dybryd a gofidus.

Adn. 17. *Ond oni wrandewch chwi hyn*] Eithr parhau yn wrthnysig ac anedifeiriol; *fy enaid a ŵyla mewn lleoedd dirgel am eich balchder*—am gosp eich balchder; hyny yw, mi a deimlaf yn chwerw drosoch pan allan o'ch golwg, er fy mod yn ymddangos fel yn ddideimlad wrth eich bygwth yn eich gwyneb: *a'm llygaid gan ŵylo a ŵylant*—yn sicr, *ac a ollyngant ddagrau*—yn hidl, *o achos dwyn deadell yr Arglwydd i gaethiwed*—neu am gaethgludo ei bobl ef i Babilon.

Adn. 18. *Dywed wrth y brenin a'r frenhines*] Sef Joacin a'i fam, neu ei wraig, fel y tybia rhai, y rhai a gaethgludwyd i Babilon ar ddyfodiad cyntaf Nebuchodonosor, 2 Bren. xxiv. 12, 15; neu Zedeciah a'i wraig, yn ol ereill, 2 Bren. xxv. 7. *Ymostyngwch*—mewn gwir edifeirwch, gan roddi siampl dda o flaen eich deiliaid; *eisteddwch i lawr*—nid ar yr orsedd, ond yn y llwch: *canys disgynodd eich pendefigaeth, sef coron eich anrhydedd*—syrthiodd eich urddas a'ch rhwysg fel brenin a brenhines, yn yr hyn yr ymfalchïwch gymaint.

Adn. 19. *Dinasoedd y deau*] Sef dinasoedd Juda, y rhai a orweddent yn y rhan ddeheuol o wlad Canaan; *a gauir, ac ni bydd a'u hagoro*—a warchaeir gan y Caldeaid, fel na allo neb fyned i mewn nac allan. Ond tybia rhai mai dinasoedd yr Aifft a feddylir, o'r rhai y dysgwyliai yr Iuddewon am gynorthwy. Y rhai hyn hefyd a gauid, fel na ddeuai neb oddiyno i'w cynorthwyo hwynt. *Juda i gyd a gaethgludir*—i Babilon; *yn llwyr y dygir hi i gaethiwed*—oddieithr y rhai a leddid â'r cleddyf, a rhyw ychydig o dylodion: gwel ar 2 Bren. xxv. 12.

Adn. 20. *Codwch i fyny eich llygaid*] I edrych ar y Caldeaid yn dylifo o'r gogledd i'ch gwlad. *Pa le y mae y ddeadell a roddwyd i ti, &c.*—efe a lefara wrth y brenin, yn ol rhai, gan ei ystyried ef fel bugail, a'i ddeiliaid fel deadell brydferth: neu ynte, trwy fod y rhagenwau yma yn y rhyw fenywaidd, efe a gyfarcha ddinas Jerusalem, neu wlad Judea.

Adn. 21. *Beth a ddywedi pan ymwelo â thi?*] Pan ymwelo brenin Babilon â thi, neu ynte pan ymwelo Duw â thi yn ei farnedigaethau cyfiawn? *Canys ti a'u dygaist hwynt yn dywysogion ac yn ben arnat*—hyny yw, agoraist ddrws, trwy dy bechodau, i'th elynion ddyfod yn ben arnat. Ond tybia rhai mai at ymddygiad Hezeciah tuag at genadau brenin Babilon y cyfeirir yma: gwel ar 2 Bren. xx. 12—18. *Oni oddiwes gofidiau di*—o herwydd dy falchder, dy eilunaddoliaeth, a'th bechodau ereill; *megys gwraig yn esgor?*—sef y gofidiau trymaf, y rhai a osodir allan yn fynych trwy y gyffelybiaeth o wraig mewn gwewyr.

Adn. 22. *Ac o dywedi yn dy galon*] Yn nghanol dy drallodion trymion, *Paham y dygwydd hyn i mi?*—paham y darostyngwyd fi fel hyn i'r fath warth a gofid? yr ateb yw, *O herwydd amlder dy anwiredd*—dy odineb

noethwyd dy odre, *ac* y dynoethwyd
dy sodlau.
23 A newidia yr Ethiopiad ei
groen, neu y llewpard ei frychni?
*felly* chwithau a ellwch wneuthur
da, y rhai a gynefinwyd â gwneuth-
ur drwg.
24 Am hyny y chwalaf hwynt
megys sofl yn myned ymaith gyda
gwynt y diffaethwch.
25 Dyma dy gyfran di, y rhan a
fesurais i ti, medd yr Arglwydd;
am i ti fy annghofio i, ac ymddiried
mewn celwydd.
26 Am hyny y dynoethais inau
dy odre di dros dy wyneb, fel yr
amlyger dy warth.
27 Gwelais dy odineb a'th weryr-
iad, brynti dy buteindra, *a*'th ffi-
eidd-dra ar y bryniau yn y maes-
ydd. Gwae di, Jerusalem: a ym-
lanhei di? pa bryd bellach?

## PENNOD XIV.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a
ddaeth at Jeremi o achos y
drudaniaeth.
2 Galar Juda, a'i phyrth a lesg-
ânt; y maent yn ddû hyd lawr, a
gwaedd Jerusalem a ddyrchafodd
i fyny.
3 A'u boneddigion a hebryngas-
ant eu rhai bychain i'r dwfr: daeth-

---

ysbrydol, a'th aneirif bechodau ereill; *y noethwyd dy odre, ac y dynoethwyd dy sodlau*—tybia rhai fod yma gyfeiriad at arferiad barbaraidd hen orchfygwyr, y rhai a ddyosgent ddillad eu caethion rhyfel, ac a'u caethgludent hwy yn noethion i'r lleoedd a fwriedid iddynt: gwel ar Esay iii. 17, Nahum iii. 5. Tybia *Lowth* fod yma gyfeiriad at y gosp a weinyddid ar butanod a gwragedd godinebus, sef eu gadael yn noethion i olwg y byd; a bod Duw yma yn bygwth ymddwyn yr un modd tuag at ei bobl yntau, o herwydd eu godineb ysbrydol, neu eu heilunaddoliaeth.

Adn. 23. *A newidia yr Ethiopiad ei groen*] Yr hwn sydd ddû wrth naturiaeth; *neu y llewpard ei frychni*—neu ei groen brithliw? Y mae y pethau hyn yn naturiol iddynt hwy, ac nis gellir eu newid. *Felly chwithau a ellwch wneuthur da*—os gallant hwy newid eu crwyn: ac os na allant hwy newid eu crwyn, nis gellwch chwithau wneuthur da; *y rhai a gynefinwyd â gwneuthur drwg*—o'r bru hyd yma, nes y mae drygioni wedi dyfod fel ail natur ynoch. Nid ydym i gasglu oddiyma fod y proffwyd yn golygu fod yn *anmhosibl* i gyfnewidiad moesol gymeryd lle yn nghyflwr pechaduriaid; canys byddai hyny yn groes i holl rediad ei ysgrifeniadau ef, ac yn gwneuthur ei holl alwadau arnynt i edifarhau a diwygio yn eiriau diystyr ac afresymol: gwel ar adn. 27. Eithr ei feddwl yw, fod yn *dra anhawdd* cael gan bechaduriaid a fyddont wedi gwreiddio yn ddwfn mewn arferion drwg, ddyfod i ymadael â hwynt. Ond dylem gofio fod yr hyn sydd anmhosibl gyda dynion, yn 'bosibl gyda Duw,' Marc x. 27.

Adn. 24. *Am hyny y chwalaf hwynt megys sofl*] Megys 'ûs' neu 'beiswyn' yn hytrach; *yn myned ymaith gyda gwynt y diffaethwch*—yr hwn sydd gryf iawn, fel nad oes dim i'w gysgodi. Cyfeirir yma at eu gwasgariad hwy i Babilon.

Adn. 25. *Dyma dy gyfran di*] Sef y gosp a fesurir i ti gan yr Arglwydd; *am i ti fy annghofio i*—yn nghyda'm hawliau ynot: *ac ymddiried mewn celwydd*—mewn eilunod siomedig, neu ddynion twyllodrus.

Adn. 26. *Am hyny y dynoethais inau dy odre di dros dy wyneb*] Fel codi dillad benyw dros ei phen; *fel yr amlyger dy warth*—gwel ar adn. 22.

Adn. 27. *Gwelais dy odineb*] Sef eu heilunaddoliaeth, neu eu hawydd dirfawr am dduwiau dyeithr; *a'th weryriad*—cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth feirch porthiannus, pen. v. 8; *brynti dy buteindra*—dy ddigywilydd-dra gyda'th eilunod; *a'th ffieidd-dra ar y bryniau yn y maesydd*—sef eu heilunaddoliaeth ar yr uchel-leoedd. *Gwae di, Jerusalem*—o herwydd dy bechodau ffiaidd hyn! *A ymlanhei di?*—Saes., 'ai ni fyni di dy lanhau?' *Pa bryd bellach*—yr ymostyngi di i dderbyn neu geisio glanhad? 'Ni a welwn oddiwrth hyn,' fel y sylwa *Clarke*, 'er fod y peth yn anhawdd, eto nad oedd yn *anmhosibl* i'r *Ethiopiaid* hyn newid eu *crwyn*, i'r *llewpardiaid* hyn newid eu *brychni*. Eu cyndyn wrthodiad hwy o ras Duw yn unig, oedd yn ei wneuthur yn anmhosibl. Nis gall dyn ei gyfnewid ei hun; ond gall weddio am i Dduw wneuthur hyny, a dyfod ato ef trwy Grist fel y *byddo* iddo ef ei wneuthur. Y mae y cymhorth fyth wrth law, i'w alluogi ef i weddio a chredu; ac os na ddefnyddia efe ef, rhaid iddo drengu.'

PEN. XIV. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Ryw bryd ar ol y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Joacim, fel y tybir; *o achos y drudaniaeth*—yr hwn a achosid gan sychder mawr, neu ddiffyg gwlaw.

Adn. 2. *Galar Juda, &c.*] Yr oedd pobl Juda oll yn galaru, a'r rhai a aent i mewn ac allan trwy byrth ei dinasoedd yn llesgâu o eisiau bwyd. *Y maent yn ddû hyd lawr*—mewn dillad duon, arwyddion gofid a galar, yn ol rhai; neu yr oedd eu crwyn wedi duo gan newyn: gwel ar Galar. iv. 8, a v. 10. *A gwaedd Jerusalem a ddyrchafodd i fyny*—llefai y trigolion yn uchel o herwydd eu trallod, a rhai o honynt ond odid mewn gweddi am drugaredd.

Adn. 3. *A'u boneddigion*] Sef pendefigion

ant i'r ffosydd, ni chawsant ddwfr;
dychwelasant â'u llestri yn weig-
ion: cywilyddio a gwladeiddio a
wnaethant, a chuddio eu penau.
4 Oblegid agenu o'r ddaear, am
nad oedd gwlaw ar y ddaear, cy-
wilyddiodd y llafurwyr, cuddiasant
eu penau.
5 Ie, yr ewig hefyd a lydnodd yn
y maes, ac a'*i* gadawodd, am nad
oedd gwellt.
6 A'r asynod gwylltion a safasant
yn y lleoedd uchel; yfasant wynt
fel dreigiau: eu llygaid hwy a ball-
asant, am nad *oedd* gwellt.
7 ¶ O Arglwydd, er i'n han-
wireddau dystiolaethu i'n herbyn,
gwna di er mwyn dy enw: canys
aml yw ein cildynrwydd ni; pech-
asom i'th erbyn.
8 Gobaith Israel, a'i Geidwad yn
amser adfyd, paham y byddi megys
pererin yn y tir, ac fel ymdeithydd
yn troi i letya dros noswaith?
9 Paham y byddi megys gŵr
wedi synu? fel gŵr cadarn heb allu
achub? eto *yr ydwyt* yn ein mysg
ni, Arglwydd, a'th enw di a elwir
arnom: na âd ni.
10 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd wrth y bobl hyn, Fel hyn
yr hoffasant hwy grwydro, ac ni
attaliasant eu traed: am hyny nis
myn yr Arglwydd hwy; yr awr hon
y cofia efe eu hanwiredd hwy, ac a
ymwel â'u pechodau.
11 Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Na weddia dros y bobl hyn
am ddaioni.
12 Pan ymprydiant, ni wrandaw-

---

mwyaf gwlad Judea; *a hebryngasant eu rhai bychain i'r dwfr*—fe allai fod eu gweision wedi myned i rywle i chwilio am ddwfr iddynt eu hunain, fel nad oedd gan y pendefigion neb ond eu plant i weini iddynt mwyach. Ond trwy fod y gair a gyfieithir yma 'eu rhai bychain,' yn arwyddo eu *hisraddolion*, gall ei fod yn golygu eu gweision neu eu cymydogion tylodion. *Daethant i'r ffosydd*—lle yr arferent gael dwfr; *ni chawsant ddwfr*—fel y bu orfod iddynt ddychwelyd â'u llestri yn weigion. *Cywilyddio a gwladeiddio a wnaethant*—neu gywilyddio a 'dyddelwi,' neu ymddyrysu; *a chuddio eu penau*—ond odid â gorchudd, yn arwydd o alar a gofid am fethu cael dwfr.

Adn. 4. *Oblegid agenu o'r ddaear*] Gan ddirfawr sychder a gwres; *cywilyddiodd y llafurwyr*—neu yr amaethwyr trwy yr holl wlad; *cuddiasant eu penau*—gwel ar adn. 3.

Adn. 5. *Ie, yr ewig hefyd a lydnodd yn y maes*] Yr hon oedd yn ddiarebol am ei serch at ei rhai bychain, Job xxix. 1—4; *ac a'i gadawodd*—hyny yw, a adawodd ei llwdn i drengu ar y maes; *am nad oedd gwellt*—yr hyn a'i gorfodai i fyned oddiyno i chwilio am borfa iddi ei hun mewn lle arall.

Adn. 6. *A'r asynod gwylltion a safasant yn y lleoedd uchel*] Lle yr oedd yr awel yn oerach nag yn y dyffrynoedd isel a sych: *yfasant wynt fel dreigiau*—i oeri eu cylla llosgedig: *eu llygaid hwy a ballasant*—neu a dywyllasant, *am nad oedd gwellt*—yn borfa iddynt.

Adn. 7. *O Arglwydd, &c.*] Yma y mae y proffwyd yn troi at Dduw, i eiriol dros y bobl hyn yn eu caledfyd, er iddo gael ei wahardd i wneuthur hyny, pen. vii. 16, a xi. 14; canys efe a obeithiai yr attaliai Duw ei farn ar eu hedifeirwch hwy, neu yr oedai efe ei ddigofaint am yr amser presenol. *Er i'n hanwireddau dystiolaethu i'n herbyn*—ein bod ni yn haeddu dy soriant, a'th fod dithau yn gyfiawn wrth ein cospi fel hyn; *gwna di er mwyn dy enw*—hyny yw, gwna drugaredd â ni, neu gwna roddi gwlaw i ni, er mwyn dy anrhydedd a'th ogoniant dy hun; *canys aml yw ein cildynrwydd ni*—yr hyn nas gallwn ei wadu; *canys pechasom i'th erbyn*—fel ag i gyfiawn haeddu y farn hon.

Adn. 8. *Gobaith Israel*] Y Duw ag yr arferai Israel obeithio ynddo; *a'i Geidwad yn amser adfyd*—sef bob amser o'r Aifft hyd yma; *paham y byddi megys pererin yn y tir*—fel estron heb ganddo ddim teimlad dros y wlad; *ac fel ymdeithydd yn troi i letya dros noswaith*—ac yn ymadael bore dranoeth, heb ganddo dim dyddordeb yn y trigolion, na phryder am eu llesâd?

Adn. 9. *Paham y byddi megys gŵr wedi synu*] Yn yr olwg ar ein trueni presenol, yr hwn ni ŵyr pa beth i'w ddywedyd na'i wneuthur? *Fel gŵr cadarn heb allu achub?*—gwyddai y proffwyd yn dda ei fod ef yn Dduw cadarn; ac eto, trwy ei fod heb eu hachub hwy, yr oedd yn ymddangos i lawer fel pe nad allai achub. *Eto yr ydwyt yn ein mysg ni, Arglwydd*—y mae dy gysegr, dy arch, a'th ordinhadau yn ein mysg; *a'th enw di a elwir arnom*—fel Israel Duw: *na âd ni*—gan hyny, i gael ein dyfetha gan y newyn hwn, na chan un farn arall.

Adn. 10. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth y bobl hyn*] Mewn atebiad i eiriolaeth y proffwyd; *Fel hyn yr hoffasant hwy grwydro*—am gynorthwy gan y Cenhedloedd, neu ar ol eu duwiau hwynt; *ac ni attaliasant eu traed*—o barch i Dduw, na rhag ei ofn ef, rhag crwydro felly: *am hyny nis myn yr Arglwydd hwy*—yn bobl iddo ei hun, neu ni fyn eu gwrando na'u hachub. *Yr awr hon y cofia efe eu hanwiredd hwy*—yr hwn a wnaethant i'w erbyn; *ac a ymwel â'u pechodau*—i'w cospi hwy o'u plegid.

Adn. 11. *Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Yn mhellach; *Na weddia dros y*

af eu gwaedd hwynt; a phan off-
rymant boeth-offrwm a bwyd-off-
rwm, ni byddaf boddlon iddynt:
ond â'r cleddyf, ac â newyn, ac â
haint, y difaf hwynt.
13 ¶ Yna y dywedais, O Ar-
glwydd Dduw, wele, mae y proff-
wydi yn dywedyd wrthynt, Ni wel-
wch chwi gleddyf, ac ni ddaw new-
yn atoch; eithr mi a roddaf hedd-
wch sicr i chwi yn y lle yma.
14 Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Y proffwydi sydd yn proff-
wydo celwyddau yn fy enw i; nid
anfonais hwy, ni orchymynais idd-
ynt chwaith, ac ni lefarais wrthynt:
gau weledigaeth, a dewiniaeth, a
choegedd, a thwyll eu calon eu hun,
y maent hwy yn eu proffwydo i
chwi.
15 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd am y proffwydi sydd yn
proffwydo yn fy enw i, a minau heb
eu hanfon hwynt, eto hwy a ddy-
wedant, Cleddyf a newyn ni bydd
yn y tir hwn; Trwy gleddyf a
newyn y dyfethir y proffwydi hyny.
16 A'r bobl y rhai y maent yn
proffwydo iddynt, a fyddant wedi
eu taflu allan yn heolydd Jerusa-
lem, o herwydd y newyn a'r cledd-
yf; ac ni bydd neb i'w claddu,
hwynt-hwy, na'u gwragedd, na'u
meibion, na'u merched: canys mi
a dywalltaf arnynt eu drygioni.
17 ¶ Am hyny y dywedi wrthynt
y gair yma, Dyfered fy llygaid i
ddagrau nos a dydd, ac na pheid-
iant: canys â briw mawr y briwyd
y wyryf merch fy mhobl, *ac* â phla
tost iawn.
18 Os âf fi allan i'r maes, wele
rai wedi eu lladd â'r cleddyf; ac o
deuaf i mewn i'r ddinas, wele rai

---

*bobl hyn am ddaioni*—trwy fod cwpan eu hanwiredd bellach yn llawn: gwel ar pen. vii. 16.

Adn. 12. *Pan ymprydiant, ni wrandawaf eu gwaedd hwynt*] Am fod eu hympryd yn llawn rhagrith, neu yn cael ei gyflawni oddiar egwyddor hunanol, neu am iddynt ei esgeuluso nes ei bod yn rhy ddiweddar: *a phan offrymant boeth-offrwm a bwyd-offrwm*—gan feddwl gwneyd iawn am eu pechodau trwy y pethau hyny, *ni byddaf boddlon iddynt*—am fod eu dwylaw mor aflan a'u calon mor halogedig: *ond â'r cleddyf*—sef eiddo y Caldeaid; *ac â newyn, ac â haint*—y rhai oeddynt wedi dechreu eisioes trwy y sychder presenol; *y difaf hwynt*—er i mi unwaith fyned i gyfammod â hwynt i'w cadw.

Adn. 13. *Yna y dywedais*] Mewn ffordd o ysgafnhau eu bai; *O Arglwydd Dduw, wele, mae y proffwydi yn dywedyd wrthynt*—sef y gau-broffwydi celwyddog, pen. iv. 10; *Ni welwch chwi gleddyf, ac ni ddaw newyn atoch*—hyd yn nod er eu bygwth arnoch; *eithr mi a roddaf heddwch sicr i chwi yn y lle yma*—yn Jerusalem a gwlad Judea. Fel hyn yr oedd y gau-broffwydi yn eu twyllo hwy â chelwyddau yn enw yr Arglwydd.

Adn. 14. *Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, &c.*] Addefai yr Arglwydd fod y gau-broffwydi hyny i'w beio yn fawr am dwyllo y bobl hyn felly yn enw yr Arglwydd, pryd nad oedd efe wedi eu hanfon hwy, na gorchymyn iddynt, na llefaru gair wrthynt. *Gau weledigaeth, a dewiniaeth*—datguddiad oddiwrth yr ysbryd drwg, ac nid oddiwrth Ysbryd Duw; *a choegedd*—peth nid yn unig heb sail, ond heb sylwedd; *a thwyll eu calon eu hun*—i'r dyben i dwyllo ereill; *y maent hwy yn eu broffwydo i chwi*—ac nid fy ewyllys a'm meddwl i.

Adn. 15. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Am y proffwydi celwyddog hyny, y rhai a dwyllent y bobl trwy ddywedyd, *Cleddyf a newyn ni bydd yn y tir hwn*—eithr cewch fyw mewn heddwch a digonoldeb: *Trwy gleddyf a newyn y dyfethir y proffwydi hyny*—cânt hwy eu hunain eu cwympo trwy y barnedigaethau hyny ag y mynent i ereill gredu na ddisgynent ar y wlad.

Adn. 16. *A'r bobl y rhai y maent yn proffwydo iddynt*] Trwy eu bod hwythau yn cynal breichiau y gau-broffwydi hyny, ac yn hoffi gwrando eu celwyddau hwy, pen. v. 31, yn lle gwrando ar wir broffwydi yr Arglwydd; *a fyddant wedi eu taflu allan yn heolydd Jerusalem*—ar ol eu lladd trwy y newyn a'r cleddyf; *ac ni bydd neb i'w claddu*—trwy fod eu gwragedd a'u plant wedi syrthio fel hwythau: *canys mi a dywalltaf arnynt eu drygioni*—sef cosp gyfiawn eu drygioni.

Adn. 17. *Am hyny y dywedi wrthynt y gair yma*] Am dy deimlad gofidus dy hun yn eu hachos; *Dyfered fy llygaid ddagrau nos a dydd, ac na pheidiant*—o herwydd y trallodau chwerwon ag sydd ar syrthio arnoch. Fel hyn, er na chai y proffwyd *weddio* drostynt, adn. 11, efe a gai *wylo* drostynt. Ond y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Dyfered *eich* llygaid ddagrau,' &c. *Canys â briw mawr y briwyd y wyryf merch fy mhobl*—y genedl anneddwydd yma, yr hon oedd mor anwyl gan y proffwyd ag yw gwyryf gan ei thad. Neu fe allai fod Jerusalem yn cael ei galw yn 'wyryf,' am na chawsai ei darostwng erioed o'r blaen gan ei gelynion.

Adn. 18. *Os âf fi allan i'r maes, wele rai wedi eu lladd â'r cleddyf*] Gan y Caldeaid; *ac o deuaf i mewn i'r ddinas, wele rai llesg o newyn*—neu yn marw o newyn: *canys y proffwyd a'r offeiriad hefyd*—sef y gau-broffwydi a'r offeiriaid annuwiol; *sydd yn amgylchu i dir nid adwaenant*—sydd yn ceisio

llesg o newyn: canys y proffwyd
a'r offeiriad hefyd sydd yn am-
gylchu i dir nid adwaenant.
19 Gan wrthod, a wrthodaist ti
Juda? neu a ffieiddiodd dy enaid di
Seion? paham y tarewaist ni, ac
nad *oes* i ni feddyginiaeth? dys-
gwyliasom am heddwch, ac nid *oes*
daioni; ac am amser iachâd, ac
wele flinder.
20 Yr ydym yn cydnabod, Ar-
glwydd, ein camwedd, *ac* anwiredd
ein tadau; oblegid ni a bechasom
yn dy erbyn di.
21 Na ffieiddia *ni*, er mwyn dy
enw, ac na fwrw i lawr orseddfa dy
ogoniant: cofia, na thor dy gyfam-
mod â ni.
22 A oes *neb* yn mhlith oferedd y
Cenhedloedd a wna iddi wlawio?
neu a rydd y nefoedd gawodau?
Onid ti *yw* efe, O Arglwydd ein
Duw ni? am hyny arnat ti y dys-
gwyliwn ni: canys ti a wnaethost *y*
*pethau* hyn oll.

## PENNOD XV.

A DYWEDODD yr Arglwydd
wrthyf, Pe safai Moses a Sam-
uel ger fy mron, *eto* ni *byddai* fy
serch ar y bobl yma; bwrw *hwy*
allan o'm golwg, ac elont ymaith.
2 Ac os dywedant wrthyt, I ba le
yr awn? tithau a ddywedi wrthynt,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Y

---

ffoi rhag eu gelynion, neu yn cael eu caethgludo i wlad ddyeithr; neu, yr oeddynt yn myned oddeutu y wlad gyda'u celwyddau a'u twyll, yn ddiystyr o'r trueni ag oedd wedi disgyn ar eu cydwladwyr. Ond y mae rhai yn deall hyn am y gwir broffwydi, Ezeciel a Daniel, y rhai a gaethgludwyd i Babilon gyda'r lleill.

Adn. 19. *Gan wrthod, a wrthodaist ti Juda?*] Yma y mae y proffwyd yn troi eilwaith at Dduw, gan ofyn iddo, a oedd efe wedi llwyr wrthod llwyth Juda, o'r hwn yr oedd y MESSIA i ddeilliaw? *Neu a ffieiddiodd dy enaid di Seion*—neu Jerusalem, lle y mae dy gysegr, dy enw, a'th ordinhadau? *Paham y tarewaist ni, ac nad oes i ni feddyginiaeth?*—hyny yw, paham y tarewaist ni mor drwm, fel nad oes modd ein hiachâu? *Dysgwyliasom am heddwch*—ar ol i Josiah lanhau y wlad oddiwrth eilunaddoliaeth; *ac nid oes daioni*—trwy i'r bobl syrthio eilwaith at eu hen arferion: *ac am amser iachâd*—oddiwrth ein clwyfau gwladol a chrefyddol; *ac wele flinder*—trymach nag erioed, yn lle iachâd.

Adn. 20. *Yr ydym yn cydnabod, Arglwydd, ein camwedd*] Sef ein camwedd ni fel cenedl yn yr oes hon; *ac anwiredd ein tadau*—yn yr holl oesau a aethant heibio: *oblegid ni a bechasom yn dy erbyn di*—y naill fel y llall, fel ag i gyfiawn haeddu y cerydd hwn.

Adn. 21. *Na ffieiddia ni, er mwyn dy enw*] Sef er mwyn dy anrhydedd a'th ogoniant, rhag i'th elynion ddywedyd dy fod naill ai yn analluog neu yn anewyllysgar i achub dy bobl dy hun; *ac na fwrw i lawr orseddfa dy ogoniant*—sef y deml, yr arch, a'r drugareddfa, lle yr oedd y gogoniant dwyfol yn aros; hyny yw, na ddyro hwynt yn llaw y Caldeaid i'w dinystrio: *cofia, na thor dy gyfammod â ni*—yr oeddynt hwy wedi tori y cyfammod hwn o'u tu hwy, ac yr oedd Duw wedi attal llawer o fendithion y cyfammod oddiwrthynt o'i du yntau; ond yma gweddia y proffwyd na byddai iddo ei dori â hwynt fel cenedl yn llwyr ac am byth:

Adn. 22. *A oes neb yn mhlith oferedd y Cenhedloedd*] Sef yn mhlith eu gau-dduwiau hwy; *a wna iddi wlawio*—pe tröem atynt hwy ar y sychder mawr hwn i weddio am wlaw? *Neu a rydd y nefoedd gawodau*—o honi ei hun, a thrwy ddeddfau natur, heb i ti yn dy ragluniaeth orchymyn hyny? *Onid ti yw efe, O Arglwydd ein Duw ni*—yr hwn yn unig wyt yn rhoddi gwlaw i ddyfrhau a ffrwythloni y ddaear? *Am hyny arnat ti y dysgwyliwn ni*—am waredigaeth oddiwrth y sychder hwn, a phob bendith arall. *Canys ti a wnaethost y pethau hyn oll*—y gwlaw gynt, a'r sychder presenol.

PEN. XV. Adn. 1. *A dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Mewn atebiad i'm gweddi uchod; *Pe safai Moses a Samuel ger fy mron*—hyny yw, pe codent hwy oddiwrth y meirw i eiriol dros y bobl hyn; *eto ni byddai fy serch ar y bobl yma*—ni dderbyniwn hwynt i'm ffafr, ac ni wrandawn hwynt mewn atebiad i weddiau fy ngweision hyny. *Bwrw hwynt allan o'm golwg*—cyhoedda y cânt eu bwrw o'r wlad hon, neu na ddwg hwynt ger fy mron i yn dy weddiau; *ac elont ymaith*—i'r cleddyf, i newyn, ac i gaethiwed. Yr oedd Duw wedi dywedyd o'r blaen na wrandawai efe ar weddiau Jeremi drostynt hwy, pen. vii. 16; ac yma efe a ddywed na wrandawai efe chwaith ar weddiau neb arall drostynt, hyd yn nod ei anwyliaid penaf. Cafodd *Moses* faddeuant i Israel ar ol eu pechod yn gwneuthur y llo aur, Exod. xxxii. 34, a thrachefn ar ol iddynt ddiystyru gwlad Canaan, Num. xiv. 20; ac yr oedd eiriolaeth *Samuel* wedi llwyddo i'w gwaredu hwy o ddwylaw y Philistiaid, 1 Sam. vii. 9: ac y mae y ddau ŵr hyn yn cael eu henwi yn nghyd fel rhai hynod am lwyddiant eu gweddiau, Salm xcix. 6, 8. Ond yma dywed Duw, pe buasent hwy yn awr yn fyw, ac yn gweddio dros y bobl hyn, na wrandawsai efe ar eu gweddiau, i droi ymaith y farn fygythiedig oddiwrthynt hwy.

Adn. 2. *Ac os dywedant wrthyt, I ba le yr awn*] Ar ol ein bwrw allan felly? *tithau a*

sawl *sydd* i angau, i angau; a'r
sawl i'r cleddyf, i'r cleddyf; a'r
sawl i'r newyn, i'r newyn; a'r sawl
i gaethiwed, i gaethiwed.
3 A mi a osodaf arnynt bedwar
rhywogaeth, medd yr Arglwydd: y
cleddyf i ladd; a'r cŵn i larpio; ac
adar y nefoedd, ac anifeiliaid y
ddaear i ysu ac i ddifa.
4 Ac a'u rhoddaf hwynt i'w sy-
mudo i holl deyrnasoedd y ddaear;
herwydd Manasseh mab Hezeciah
brenin Juda, am yr hyn a wnaeth
efe yn Jerusalem.
5 Canys pwy a drugarha wrthyt
ti, O Jerusalem? a phwy a gwyna
i ti? a phwy a dry i ymofyn pa fodd
yr wyt ti?
6 Ti a'm gadewaist, medd yr Ar-
glwydd, *ac* a aethost yn ol: am
hyny yr estynaf fy llaw yn dy erbyn
di, ac a'th ddyfethaf; myfi a flinais
yn edifarhau.
7 A mi a'u chwalaf hwynt â
gwyntyll yn mhyrth y wlad: di-
blantaf, dyfethaf fy mhobl, *gan* na
ddychwelant oddiwrth eu ffyrdd.
8 Eu gweddwon a amlhasant i mi
tuhwnt i dywod y môr: dygais ar-
nynt yn erbyn mam y gwŷr ieuainc,
anrheithwyr ganol dydd; perais
*iddo* syrthio yn ddisymwth arni hi,
a dychryn ar y ddinas.
9 Yr hon a blantodd saith, a lesg-
aodd: ei henaid hi a lesmeiriodd,
ei haul a fachludodd tra yr *oedd hi*

---

*ddywedi wrthynt*—o'm genau i; *Y sawl sydd i angau*—neu a nodwyd i farw o'r haint; *i angau*—a fyddant farw o'r haint; a bydd i ereill farw trwy *gleddyf* eu gelynion, ac ereill trwy *newyn*, a'r lleill a gaethgludir i Babilon.

Adn. 3. *A mi a osodaf arnynt bedwar rhywogaeth*] O ddrygau anocheladwy: (1) Y *cleddyf* i ladd; (2) Y *cwn* i larpio y rhai a laddwyd: (3) *Adar* y nefoedd i fwyta y celaneddau llarpiedig; (4) A *bwystfilod* i ddifa yr hyn a adawyd gan yr adar.

Adn. 4. *Ac a'u rhoddaf hwynt*] Y rhai a adawyd heb eu lladd a'u difa felly; *i'w symudo i holl deyrnasoedd y ddaear*—diamau i frenin Babilon anfon llawer o'r Iuddewon i'r gwahanol deyrnasoedd a berthynent i'w amherodraeth eang; er y tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at eu gwasgariad diweddaf hwy gan y Rhufeiniaid, yn ol y bygythiad yn Deut. xxviii. 25. *Herwydd Manasseh, &c.*—am yr hyn a wnaeth efe yn Jerusalem, sef adeiladu allorau i'w eilunod yn nhŷ yr Arglwydd, ac allorau i holl lu y nefoedd yn nau gyntedd y deml, 2 Bren. xxi. 4, 5. Ond dylid sylwi, nad am bechodau Manasseh yn unig yr oedd Duw yn cospi yr Iuddewon yn nyddiau Joacim a Zedeciah, ond am iddynt hwy ddylyn y siamplau drwg a osodasai Manasseh o'u blaen hwy, a gwrthod dychwelyd oddiwrth eu ffyrdd drwg, adn. 7.

Adn. 5. *Canys pwy a drugarha wrthyt ti, O Jerusalem*] Wrth ystyried mai ti dy hun a ddygaist y barnedigaethau hyn arnat dy hun? *a phwy a gwyna i ti*—wrth weled dy fod yn haeddu cael dy gospi fel hyn? *a phwy a dry*—un cam allan o'i ffordd, *i ymofyn pa fodd yr wyt ti*—i dosturio wrthyt, ac i gydymdeimlo â thi yn dy galedi?

Adn. 6. *Ti a'm gadewaist*] Ti a wrthgiliaist oddiwrthyf fi: *ac a aethost yn ol*—at dy eilunod ofer: *am hyny yr estynaf fy llaw yn dy erbyn di*—i'th ddyfetha: *myfi a flinais yn edifarhau*—yn dy fygwth, ac wedi hyny yn dy arbed drachefn a thrachefn, yn lle dy gospi.

Adn. 7. *A mi a'u chwalaf hwynt â gwyntyll*] Fel chwalu ûs; canys ûs ydynt oll, heb ddim grawn pur yn eu mysg; *yn mhyrth y wlad*—allan o'u gwlad i wledydd ereill; neu gall fod yma gyfeiriad at ddyn yn sefyll yn mhorth ei lawr-dyrnu, i wyntyllio ei rawn. *Diblantaf, dyfethaf fy mhobl*—hyny yw, dyfethaf fy mhobl a'u plant; *gan na ddychwelant oddiwrth eu ffyrdd*—fel hyn eu cyndynrwydd a'u drygioni hwy eu hunain oedd y prif achos o'u dinystr, fel y gwelwn isod.

Adn. 8. *Eu gweddwon a amlhasant i mi tuhwnt i dywod y môr*] Gormodiaith dra chyffredin, a goddefol hefyd mewn iaith farddonol. Y mae y proffwyd fyth yn llefaru am yr hyn a fyddai, fel pe buasai wedi cymeryd lle eisioes. Yn amser dinystr y ddinas a'r deml gan y Caldeaid, yr oedd y gweddwon yn aml iawn, trwy i'w gwŷr gael eu lladd â'r cleddyf. *Dygais arnynt yn erbyn mam y gwŷr ieuainc*—sef yn erbyn Jerusalem y 'fam-ddinas,' fel ei gelwir ar ymyl y ddalen, neu 'yn erbyn y fam a'r gwŷr ieuainc;' *anrheithiwr ganol dydd*—yn y modd amlycaf, sef Nebuchodonosor: *perais iddo syrthio yn ddisymwth arni hi*—heb betruso dim; *a dychryn ar y ddinas*—perais i'w thrigolion oll ddychrynu trwy ei ymosodiad ef arni. Ond y mae *Blayney* yn cyfieithu diwedd yr adnod fel hyn: 'Dygais yn erbyn eu mam un etholedig, yn anrheithio ganol dydd; perais i elyn a dychrynfeydd syrthio arni yn ddisymwth.'

Adn. 9. *Yr hon a blantodd saith*] Neu sydd yn fam i *lawer* o blant; *a lesgaodd*—wrth weled eu dyfetha hwynt oll gan y gelyn. Gall hyn fod yn cyfeirio at famau naturiol, neu ynte at Jerusalem aml ei thrigolion. *Ei henaid hi a lesmeiriodd*—o herwydd y dinystr a ddaethai ar ei hanwyl blant. *Ei haul a fachludodd tra yr oedd hi yn ddydd*—ymadrodd diarebol, yn arwyddo iddi syrthio i'r trueni dyfnaf o ganol ei llwyddiant. *Hi a gywilyddiwyd ac a waradwyddwyd*—am golli ei meibion felly. *A rhoddaf y gweddillion o honynt*—y rhai ni buant feirw trwy yr haint a'r newyn, adn. 2; *i'r cleddyf yn ngwydd eu gelynion*—i gael eu lladd gan gleddyf eu gelynion.

yn ddydd; hi a gywilyddiwyd,
ac a waradwyddwyd; a rhoddaf y
gweddillion o honynt i'r cleddyf yn
ngwydd eu gelynion, medd yr Ar-
glwydd.
10 ¶ Gwae fi, fy mam, ymddwyn
o honot fi, yn ŵr ymryson, ac yn ŵr
cynhen i'r holl ddaear: ni logais,
ac ni logwyd i mi; *eto* pawb o hon-
ynt sydd yn fy melldithio i.
11 Yr Arglwydd a ddywedodd,
Yn ddiau *bydd* dy weddill di mewn
daioni, yn ddiau gwnaf i'r gelyn fod
yn dda wrthyt, yn amser adfyd ac
yn amser cystudd.
12 A dyr haiarn yr haiarn o'r
gogledd, a'r dur?
13 Dy gyfoeth a'th drysorau a
roddaf yn yspail, nid am werth, ond
oblegid dy holl bechodau, trwy dy
holl derfynau.
14 Gwnaf it' fyned hefyd gyda'th
elynion i dir nid adwaenost: canys
tân a enynodd yn fy nigofaint, ar-
noch y llysg.
15 ¶ Ti a wyddost, Arglwydd;
cofia fi, ac ymwel â mi, a dial drosof
ar fy erlidwyr; na ddwg fi ymaith
yn dy hir-ymaros: gwybydd ddwyn
o honof waradwydd er dy fwyn di.
16 Dy eiriau a gaed, a mi a'u
bwyteais hwynt; ac yr oedd dy air
di i mi yn llawenydd ac yn hyfryd-
wch fy nghalon: canys dy enw di a
alwyd arnaf fi, O Arglwydd Dduw y
lluoedd.

---

Adn. 10. *Gwae fi, fy mam, ymddwyn o honot fi*] Yma cwynai y proffwyd am i'w fam roddi genedigaeth iddo; *yn ŵr ymryson ac yn ŵr cynhen i'r holl ddaear*—hyny yw, yn ŵr i holl drigolion gwlad Judea ymryson âg ef, am ddywedyd o hono yr hyn nid oeddynt hwy yn ei hoffi. *Ni logais, ac ni logwyd i mi*—gwaherddid i'r Iuddewon gymeryd ocraeth, neu lôg annghyfreithlon, gan eu brodyr, Deut. xxiii. 19, ac yn enwedig gan dylodion, Exod. xxii. 25; ac yr oedd y dyn a fyddai yn euog o hyny yn cael ei gasâu gan bawb. Dywed y proffwyd nad oedd efe erioed wedi gwneuthur hyn; *eto pawb o honynt sydd yn fy melldithio i*—fel pe byddwn yn euog o'r cyfryw bechod.

Adn. 11. *Yr Arglwydd a ddywedodd*] I dawelu meddwl y proffwyd yn ngwyneb hyn; *Yn ddiau bydd dy weddill di mewn daioni*—sef gweddill ei oes: *yn ddiau gwnaf i'r gelyn*—sef y Caldeaid, *fod yn dda wrthyt*—pan yn cymeryd y ddinas; *yn amser adfyd ac yn amser cystudd*—sef yn amser adfyd a chystudd yr Iuddewon ag sydd yn awr yn dy felldithio di. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol; canys pan yr oedd y Caldeaid yn caethgludo yr Iuddewon i Babilon, ymddygasant tuag at Jeremi gyda thynerwch mawr, fel y gwelwn yn pen. xxxix. 11, a xl. 3, 4.

Adn. 12. *A dyr haiarn*] Heb ei galedu yn dda, *yr haiarn o'r gogledd*—yr hwn oedd yn galetach na haiarn cyffredin, *a'r dur*—yr hwn oedd y caletaf oll? Y mae y geiriau hyn yn cael eu deall dair ffordd: (1) Yr oedd yr Iuddewon yn ymgaledu fel haiarn yn erbyn y proffwyd; ond a allent hwy wneyd niwed iddo ef, tra yr oedd yr Arglwydd yn ei osod ef yn 'golofn haiarn' ac yn 'fur pres' yn eu herbyn hwy oll? pen. i. 18. (2) Neu a allai yr Iuddewon, â'u harfau cyffredin, wrthsefyll eirf celyd a miniog y Caldeaid, y rhai a ddeuent o'r gogledd? pen. iv. 15. (3) Neu, gan eu bod yn ymgaledu yn erbyn Duw ei hun, a allent hwy ei wrthsefyll ef, pan y deuai yn eu herbyn hwy â'i gleddyf daufiniog yn nydd ei ddigofaint?

Adn. 13. *Dy gyfoeth a'th drysorau*] Yma y mae Duw yn troi oddiwrth y proffwyd i lefaru wrth y bobl; *a roddaf yn yspail*—i'r Caldeaid; *nid am werth*—nid trwy eu gwerthu iddynt; *ond oblegid dy holl bechodau*—i'th gospi di, trwy dy holl derfynau, am dy bechodau. Yspeilir di gan y Caldeaid, am i ti yspeilio Duw.

Adn. 14. *Gwnaf it' hefyd fyned gyda'th elynion*] Y rhai a gymerant nid yn unig dy gyfoeth, ond dy berson hefyd; *i dir nid adwaenost*—sef i Babilon, yr hon oedd dros 600 o filldiroedd o Judea: *canys tân a enynodd yn fy nigofaint*—i'ch erbyn am eich holl bechodau; *arnoch y llysg*—dros dragwyddoldeb, os na ddiffoddir ef mewn amser.

Adn. 15. *Ti a wyddost, Arglwydd*] Fy nghywirdeb i, mor ffyddlon y traethais dy ewyllys i'r bobl hyn; neu, ti a wyddost fy mheryglon a'm dyoddefiadau, mor ddrygionus yr ymddyga fy nghenedl tuag ataf. *Cofia fi*—er daioni; *ac ymwel â mi*—â'th drugaredd; *a dial drosof ar fy erlidwyr*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'amddiffyn fi rhag fy erlidwyr.' *Na ddwg fi ymaith yn dy hir-ymaros*—tra yr wyt yn hir-ymarhous tuag at fy erlidwyr, neu yn oedi eu rhoddi hwynt yn llaw eu gelynion, na oddef iddynt ddwyn ymaith fy mywyd i; neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, na oddef i mi gael fy nwyn gyda hwy i Babilon. Caniatawyd hyn iddo, canys efe a fu farw yn yr Aifft: gwel y rhagarweiniad. *Gwybydd ddwyn o honof waradwydd er dy fwyn di*—o herwydd i mi draethu dy ewyllys a'th wirionedd i'r bobl hyn, ac amddiffyn dy anrhydedd a'th ogoniant.

Adn. 16. *Dy eiriau a gaed*] Sef y datguddiadau dwyfol a wnaethai Duw i Jeremi fel proffwyd; *a mi a'u bwyteais hwynt*—derbyniais hwynt yn ewyllysgar, myfyriais arnynt yn ddwys, a thraethais hwynt yn ffyddlon; *ac yr oedd dy air di i mi*—bob tro y llefarit wrthyf, *yn llawenydd ac yn hyfrydwch fy nghalon*—yr oedd y bygythion yn gystal a'r addewidion felly iddo, am y gobeithiai, wrth eu traddodi yn ffyddlon i'r bobl, yr achubid hwynt

17 Nid eisteddais yn nghymanfa y gwatwarwyr, ac *nid* ymhyfrydais: eisteddais fy hunan o herwydd dy law di; canys ti a'm llenwaist i o lid.

18 Paham y mae fy nolur i yn dragwyddol? a'm pla yn anaele, fel na ellir ei iechâu? a fyddi di i mi megys celwyddog, *neu fel* dyfroedd a ballant?

19 ¶ Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Os dychweli, yna y'th ddygaf eilwaith, *a* thi a sefi ger fy mron; os tyni ymaith y gwerthfawr oddiwrth y gwael, byddi fel fy ngenau i: dychwelant hwy atat ti, ond na ddychwel di atynt hwy.

20 Gwnaf di hefyd i'r bobl yma yn fagwyr efydd gadarn; a hwy a ryfelant yn dy erbyn di, eithr ni'th orchfygant: canys *yr ydwyf* fi gyda thi, i'th achub ac i'th wared, medd yr Arglwydd.

21 A mi a'th waredaf di o law y rhai drygionus, ac a'th ryddhaf di o law yr ofnadwy.

PENNOD XVI.

GAIR yr Arglwydd a ddaeth hefyd ataf fi, gan ddywedyd,

2 Na chymer i ti wraig, ac na fydded i ti feibion na merched, yn y lle hwn.

3 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd am y meibion ac am y merched a anwyd yn y lle hwn, ac am eu mamau a'u dyg hwynt, ac am eu tadau a'u cenhedlodd hwynt yn y wlad hon;

4 O angau nychlyd y byddant feirw: ni alerir am danynt, ac nis cleddir hwynt: byddant fel tail ar wyneb y ddaear, a darfyddant trwy y cleddyf, a thrwy newyn; a'u celaneddau fydd yn ymborth i adar y nefoedd, ac i anifeiliaid y ddaear.

---

trwy eu hedifeirwch rhag y barnau a fygythid: *canys dy enw di a alwyd arnaf fi*—fel dy broffwyd a'th genad neillduol.

Adn. 17. *Nid eisteddais yn nghymanfa y gwatwarwyr*] Sef yn eu gwleddoedd hwynt; *ac nid ymhyfrydais*—yn eu llawenydd a'u digrifwch annuwiol hwy: *eisteddais fy hunan o herwydd dy law di*—neu dy farnedigaethau: *canys ti a'm llenwaist i o lid*—â bygythion o'th lid yn erbyn y bobl hyn a'u gwlad. Ond tybia rhai mai llid y bobl yn ei erbyn ef a feddylir, neu ei lid ef yn erbyn pechodau y bobl.

Adn. 18. *Paham y mae fy nolur i yn dragwyddol?*] Paham yr wyf yn cael poeni fy ysbryd yn barhaus gan lid y bobl hyn? *a'm pla yn anaele*—Saes., yn 'anwelladwy,' *fel na ellir ei iachâu?*—fel pe dywedasai, Paham y mae fel hyn gyda mi, a thithau wedi dywedyd y cai gweddill fy oes fod i mi mewn daioni? gwel ar adn. 11. *A fyddi di i mi megys celwyddog?*—ni ddywed efe, '*yn* gelwyddog,' eithr '*megys* celwyddog;' canys gwyddai y proffwyd 'nad dyn yw Duw i ddywedyd celwydd.' Num. xxiii. 19. *Neu fel dyfroedd a ballant?*—fel ffynnon neu ffrwd yn sychu yn yr haf, pan y mae mwyaf o'i heisiau: gwel ar Job vi. 15.

Adn. 19. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] I gysuro y proffwyd, 'canys efe a edwyn ein defnydd ni,' Salm ciii. 14. *Os dychweli*—oddiwrth dy ddigalondid a'th anhyder presenol yn fy rhagluniaeth a'm ffyddlondeb i; *yna y'th ddygaf eilwaith*—o'th beryglon a'th anhawsderau tybiedig; *a thi a sefi ger fy mron*—yn barhaus, i dderbyn datguddiadau oddiwrthyf fi fel fy mhroffwyd. *Os tyni ymaith y gwerthfawr oddiwrth y gwael*—gan wneuthur gwahaniaeth rhwng fy ngwirionedd-au i a dychymygion dynion; neu os gwahaniaethi di rhwng dynion da a dynion drwg, gan gefnogi y naill a cheryddu y llall; *byddi fel fy ngenau i*—bydd dy ymddygiad fel yr eiddof finau; neu ti a gai barhau i lefaru drosof fi fel fy mhroffwyd. *Dychwelant hwy atat ti*—i ufyddhau i'm geiriau i o'th enau di; *ond na ddychwel di atynt hwy*—i gydymffurfio â'u harferion hwy, neu i wenieithio iddynt yn eu drygioni. Bydded iddynt hwy fod yn debyg i ti, ac nid tydi yn debyg iddynt hwy.

Adn. 20. *Gwnaf di hefyd i'r bobl yma yn fagwyr efydd gadarn*] I allu sefyll yn gryf a gwrol yn eu gwyneb hwy, fel mur o bres. *A hwy a ryfelant yn dy erbyn di*—a barhant i ryfela yn dy erbyn; *eithr ni'th orchfygant*—fel ag i'th yru oddiwrth dy waith, a llai o lawer i ddwyn ymaith dy fywyd. *Canys yr ydwyf fi gyda thi*—i'th achub a'th wared rhag eu malais a'u llid hwy.

Adn. 21. *A mi a'th waredaf di o law y rhai drygionus*] Sef yr Iuddewon drygionus; *ac a'th ryddhaf di o law yr ofnadwy*—o law brenin Juda, neu ynte o law brenin Babilon a'i fyddin: gwel ar adn. 11.

PEN. XVI. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd a ddaeth hefyd ataf fi*] Rywbryd dan deyrnasiad Joacim, fel y meddylir.

Adn. 2. *Na chymer i ti wraig*] Yn y dyddiau adfydus hyn; *ac na fydded i ti feibion na merched*—y rhai, er yr ystyrid hwynt yn fendith ar amserau ereill, eto a fyddent yn achos o boen a gofid yn yr amserau blinion ag oeddynt i ddyfod ar yr Iuddewon, fel y danghosir isod.

Adn. 3. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Am y plant a anesid eisioes, ac am eu rhieni hwynt hefyd.

Adn. 4. *O angau nychlyd*] Blin neu boenus, megys yr haint, y newyn, a'r cleddyf; *y*

5 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Na ddos i dŷ y galar, ac na ddos i alaru, ac na chwyna iddynt: canys myfi a gymerais ymaith fy heddwch oddiwrth y bobl hyn, medd yr Arglwydd, *sef* trugaredd a thosturi.
6 A byddant feirw yn y wlad hon, fawr a bychan: ni chleddir hwynt, ac ni alerir am danynt; nid ymdorir ac nid ymfoelir drostynt.
7 Ni ranant iddynt *fwyd* mewn galar, i roi cysur iddynt am y marw; ac ni pharant iddynt yfed o phiol cysur, am eu tad, neu am eu mam.
8 Na ddos i dŷ gwledd, i eistedd gyda hwynt i fwyta ac i yfed.
9 Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; Wele, myfi a baraf i lais cerdd a llawenydd, i lais y priodfab, ac i lais y briodferch, ddarfod o'r lle hwn, o flaen eich llygaid, ac yn eich dyddiau chwi.
10 ¶ A phan ddanghosech i'r bobl yma yr holl eiriau hyn, ac iddynt hwythau ddywedyd wrthyt, Am ba beth y llefarodd yr Arglwydd yr holl fawrddrwg hyn i'n herbyn ni? neu, Pa beth *yw* ein hanwiredd? neu, Beth *yw* ein pechod a bechasom yn erbyn yr Arglwydd ein Duw?
11 Yna y dywedi wrthynt, O herwydd i'ch tadau fy ngadael i, medd yr Arglwydd, a myned ar ol duwiau dyeithr, a'u gwasanaethu hwynt, ac ymgrymu iddynt, a'm gwrthod i, a bod heb gadw fy nghyfraith;
12 A chwythau a wnaethoch yn waeth na'ch tadau, (canys wele chwi yn rhodio bob un yn ol cyndynrwydd ei galon ddrwg, heb wrandaw arnaf,)

---

*byddant feirw*—y plant a'r rhieni: *ni alerir am danynt, ac nis cleddir hwynt*—am y bydd gan bawb ddigon i'w wneyd yn ei achos ei hun, neu am na byddai yno neb i wneuthur hyny, pen. xiv. 16: *byddant fel tail ar wyneb y ddaear*—yn llygru ac heb eu claddu, ar ol iddynt feirw trwy y cleddyf a thrwy newyn; *a'u celaneddau fydd yn ymborth i adar y nefoedd, &c.*—gwel ar pen. vii. 33.

Adn. 5. *Na ddos i dŷ y galar*] Neu 'yr alar-wledd,' fel y mae ar ymyl y ddalen; *ac na ddos i alaru, ac na chwyna iddynt*—neu am danynt: *canys myfi a gymerais ymaith fy heddwch oddiwrth y bobl hyn*—y maent oll i'w hystyried fel drwgweithredwyr, ar farwolaeth pa rai ni arferid galaru; *sef trugaredd a thosturi*—neu gydymdeimlad â hwy: ac am hyny na chydymdeimla dithau â hwy.

Adn. 6. *A byddant feirw yn y wlad hon, fawr a bychan*] Rieni a phlant, y cyfoethogion a'r tylodion: *ni chleddir hwynt, ac ni alerir am danynt*—gwel ar adn. 4: *nid ymdorir ac nid ymfoelir drostynt*—hyny yw, ni fydd i'w perthynasau a'u cyfeillion dori eu cnawd â chyllyll, na thynu nac eillio gwallt eu pen, yn arwydd o alar ar eu hol: gwel ar Lef. xix. 28, Deut. xiv. 1.

Adn. 7. *Ni ranant iddynt fwyd mewn galar*] I wneyd yr 'alar-wledd' ag y cyfeiriwyd ati ar adn. 5; *i roi cysur iddynt am y marw*—i'w cynal a'u cysuro yn eu galar ar ol y marw? *ac ni pharant iddynt yfed o phiol cysur*—sef yfed gwin, i sirioli meddyliau y plant a fyddant yn ŵylo ar ol eu rhieni. Gynt, pan y byddai gwragedd gweddwon neu blant amddifaid mewn gormod galar ar ol eu meirw i allu trin bwyd iddynt eu hunain i gynal natur, arferai eu cyfeillion ddwyn bwyd a diod iddynt i'w lloni a'u cryfhau, at ba arferiad y cyfeirir yma. Ond ni wnai neb felly yn yr amser ag y cyfeirir ato yma, gan mor aml y byddai y meirw.

Adn. 8. *Na ddos i dŷ gwledd*] Mwy nag i dŷ galar; *i eistedd gyda hwynt i fwyta ac i yfed*—am fod hyny yn dra annghydweddol â'r amserau gofidus ag oeddynt wrth eu drysau.

Adn. 9. *Wele, myfi a baraf i lais cerdd a llawenydd*] Yr hwn yr arferid ei glywed yn eu gwleddoedd a'u rhysedd; *i lais y priodfab, ac i lais y briodferch*—sef eu llawenydd ar ddydd eu priodas; *ddarfod o'r lle hwn*—o Jerusalem a Judea, trwy na fydd yno neb yn meddu calon i wledda, ymddigrifo, a phriodi ar y fath amserau; *o flaen eich llygaid, ac yn eich dyddiau chwi*—sef cyn i'r oes hon fyned heibio.

Adn. 10. *A phan ddanghosech i'r bobl yma yr holl eiriau hyn*] Sef yr holl fygythion uchod; *ac iddynt hwythau*—ofyn am ba beth yr oeddynt yn cael eu bygwth felly? *Pa beth yw ein hanwiredd?*—fel hyn yr oeddynt am wadu eu hanwiredd, ac felly chwanegu pechod at bechod.

Adn. 11. *Yna y dywedi wrthynt*] O'm genau i; *O herwydd i'ch tadau fy ngadael i*—a myned i wasanaethu duwiau dyeithr. Enwir yma dri phechod o eiddo eu tadau yn erbyn Duw, sef ei adael ef, ei wrthod, a bod heb gadw ei gyfraith; a thri ereill mewn cysylltiad â'u heilunod, sef myned ar eu hol hwynt, eu gwasanaethu, ac ymgrymu iddynt.

Adn. 12. *A chwithau a wnaethoch yn waeth na'ch tadau*] Nid yn unig yr oeddynt yn euog o'r chwe phechod uchod yr un modd a'u tadau, ond yr oeddynt hefyd *yn rhodio bob un yn ol cyndynrwydd ei galon ddrwg*—gan ddangos mwy o gyndynrwydd yn y pechodau uchod nag a wnai eu tadau; *heb wrandaw arnaf*—ar lais fy nghyfraith, fy rhagluniaeth, na'm proffwydi. Gwrandawai eu tadau weithiau, a dychwelent dros beth amser o'u ffyrdd drwg; ond ni fynai y rhai hyn wrandaw gan gyndynrwydd eu calon ddrwg, ac felly yr oeddynt yn waeth na'u tadau.

13 Am hyny mi a'ch taflaf chwi
o'r tir hwn, i wlad nid adwaenoch,
chwi na'ch tadau; ac yno y gwasan-
aethwch dduwiau dyeithr ddydd a
nos, lle ni ddanghosaf i chwi ffafr.
14 ¶ Gan hyny wele y dyddiau
yn dyfod, medd yr Arglwydd, pryd
na ddywedir mwyach, Byw yw yr
Arglwydd, yr hwn a ddyg feibion
Israel i fyny o dir yr Aifft:
15 Eithr, Byw yw yr Arglwydd,
yr hwn a ddyg i fyny feibion Israel
o dir y gogledd, ac o'r holl diroedd
lle y gyrasai efe hwynt: a mi a'u
dygaf hwynt drachefn i'w gwlad a
rhoddais i'w tadau.
16 ¶ Wele fi yn anfon am bysgod-
wyr lawer, medd yr Arglwydd, a
hwy a'u pysgotant hwy; ac wedi
hyny mi a anfonaf am helwyr lawer,
a hwy a'u heliant hwynt oddiar bob
mynydd, ac oddiar bob bryn, ac o
ogofeydd y creigiau.
17 Canys *y mae* fy ngolwg ar eu
holl ffyrdd hwynt: nid ydynt gudd-
iedig o'm gwydd i, ac nid yw eu
hanwiredd hwynt guddiedig oddiar
gyfer fy llygaid.
18 Ac yn gyntaf myfi a dalaf yn
ddwbl am eu hanwiredd a'u pechod
hwynt; am iddynt halogi fy nhir
â'u ffiaidd gelanedd; ïe, â'u ffieidd-
dra y llanwasant fy etifeddiaeth.
19 O Arglwydd, fy nerth a'm
cadernid, a'm noddfa yn nydd blin-
der; atat ti y daw y Cenhedloedd
o eithafoedd y ddaear, ac a ddywed-
ant, Diau mai celwydd a ddarfu i'n
tadau ni ei etifeddu, oferedd, a
*phethau* heb les ynddynt.

---

Adn. 13. *Am hyny mi a'ch taflaf chwi o'r tir hwn*] O wlad Judea; *i wlad nid adwaenoch chwi na'ch tadau*—sef i Babilon, yr hon oedd dros 600 o filldiroedd oddiyno: *ac yno y gwasanaethwch dduwiau dyeithr ddydd a nos*—fel ag y bydd i'r pechod a gerwch yn awr, fod yn gosp i chwi y pryd hyny, trwy gael eich gorfodi gan y Caldeaid i wasanaethu eu duwiau hwy, Deut. iv. 28, a xxviii. 36; *lle ni ddanghosaf i chwi ffafr*—eithr gadawaf chwi yn agored i'w gormes hwy. Ond y mae rhai o'r hen gyfieithiadau yn ei ddarllen, 'Y rhai ni ddangosasant i chwi ffafr.'

Adn. 14. *Gan hyny*] Neu '*er hyny*,' er y bydd i chwi gael eich caethgludo i Babilon; *wele y dyddiau yn dyfod*—sef yn niwedd y 70 mlynedd o'ch caethiwed yno; *pryd na ddywedir mwyach, Byw yw yr Arglwydd, yr hwn a ddyg feibion Israel i fyny o dir yr Aifft*—eithr chwi a newidiwch yr hen ddull hwnw o dyngu i Jehofa, am y dull newydd a enwir yn yr adnod nesaf: gwel ar Esay xliii. 18. Y mae Duw yma yn nghanol barn yn cofio trugaredd, neu yn melysu ei fygythion âg addewid o waredigaeth iddynt o'u caethiwed, i'r dyben i ddyddanu meddwl y duwiolion yn eu plith, a chadw ereill rhag ymollwng i lwyr anghof o'r gwir Dduw.

Adn. 15. *Eithr, Byw yw yr Arglwydd, yr hwn a ddyg i fyny feibion Israel o dir y gogledd*] Sef o Caldea; *ac o'r holl diroedd lle y gyrasai efe hwynt*—gwel ar pen. xv. 4: *a mi a'u dygaf hwynt drachefn i'w gwlad a roddais i'w tadau*—sef i Ganaan. Y meddwl yw, y byddai i'w gwaredigaeth o gaethiwed Babilon gael son am dani yn amlach na'u gwaredigaeth gynt o'r Aifft. Yn wir nid oedd hòno, ar lawer o gyfrifon, mor hynod a hon. Dygwyd hwynt o afaelion Pharao trwy bläau dychrynllyd, yr hyn a barasai iddo eu gollwng hwynt o'i anfodd; eithr eu gwaredigaeth o Babilon a ganiatawyd iddynt yn wirfoddol gan Cyrus, yr hwn oedd yn frenin llawer galluocach na brenin yr Aifft; ac yr oedd y gorchymyn a roddasai efe i'w rhyddhau yn llawer anrhydeddusach iddynt hwy eu hunain: gwel ar pen. iii. 18.

Adn. 16. *Wele fi yn anfon am bysgodwyr lawer, &c.*] Wrth y 'pysgodwyr' a'r 'helwyr' hyn y golygir y Caldeaid, y rhai a arferent bob cyfrwysdra a thrais i ddal, lladd, a chaethgludo yr Iuddewon, fel y gwna pysgodwyr wrth ddal pysgod yn yr afonydd, a helwyr wrth rwydo eu helwriaeth ar y mynyddoedd a'r bryniau, ac yn ogofeydd y creigiau.

Adn. 17. *Canys y mae fy ngolwg ar eu holl ffyrdd hwynt*] Yr wyf yn sylwi ar eu holl bechodau, hyd yn nod y rhai mwyaf dirgel: *nid ydynt guddiedig o'm gwydd i*—o ran eu personau, hyd yn nod tra yn ymguddio yn ogofeydd y creigiau; *ac nid yw eu hanwiredd hwynt guddiedig*—mwy na'u personau, er iddynt ei gyflawni yn y tywyllwch.

Adn. 18. *Ac yn gyntaf*] O flaen y drugaredd addawedig yn adn. 15; *myfi a dalaf yn ddwbl am eu hanwiredd a'u pechod hwynt*—nid cymaint arall a'u haeddiant, eithr cymaint arall ag a ddysgwyliant hwy, neu a arferwn ei dalu iddynt wrth eu cospi o'r blaen: gwel ar Esay xl. 2. *Am iddynt halogi fy nhir â'u ffiaidd gelanedd*—sef â'u heilunod, y rhai oeddynt mor ffiaidd gan Dduw a chelanedd llygredig; neu â chelanedd yr anifeiliaid a offryment hwy yn ebyrth i'w heilunod, Lef. xxvi. 30; neu gelanedd eu brenhinoedd, Ezec. xliii. 7, 9. *Ie, â'u ffieidd-dra y llanwasant fy etifeddiaeth*—sef gwlad Canaan.

Adn. 19. *O Arglwydd, fy nerth a'm cadernid*] I'm cynal a'm cysuro; *a'm noddfa yn nydd blinder*—i'm hamddiffyn a'm diogelu; *atat ti y daw y Cenhedloedd o eithafoedd y ddaear*—yn nyddiau y Messia. Yma cawn y proffwyd, yr hwn oedd yn teimlo yn dralloddus iawn o herwydd dirywiad ei genedl, ac yn eiddigus dros ogoniant ei Dduw, yn ymgysuro wrth edrych yn mlaen at ddyddiau yr efegnyl,

20 A wna dyn dduwiau iddo ei hun, a hwythau heb *fod* yn dduwiau?
21 Am hyny wele, mi a wnaf iddynt wybod y waith hon, danghosaf iddynt fy llaw a'm grym: a chânt wybod mai yr Arglwydd *yw* fy enw.

## PENNOD XVII.

PECHOD Juda a ysgrifenwyd â phin o haiarn, âg ewin o adamant y cerfiwyd *ef* ar lech eu calon, ac ar gyrn eich allorau;
2 Gan fod eu meibion yn cofio eu hallorau a'u llwyni wrth y pren deiliog ar y bryniau uchel.
3 O fy mynydd yn y maes, dy olud *a*'th holl drysorau di a roddaf yn anrhaith, *a*'th uchelfeydd i bechod, trwy dy holl derfynau.
4 Ti a adewir hefyd dy hunan, heb dy etifeddiaeth a roddais i ti; a mi a wnaf i ti wasanaethu dy elynion mewn tir nid adwaenost: canys cyneuasoch dân yn fy nig, *yr hwn* a lysg byth.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Melldigedig *fyddo* y gŵr a hydero mewn dyn, ac a wnelo gnawd yn fraich iddo, a'*r hwn* y cilio ei galon oddiwrth yr Arglwydd.

---

pryd y deuai y Cenhedloedd i weled ffolineb a drygedd eilunaddoliaeth, ac i addoli y gwir Dduw. *Diau mai celwydd*—neu dwyll, *a ddarfu i'n tadau ni ei etifeddu*—trwy holl oesoedd eu hanwybodaeth; *oferedd*—felly y gelwir eilunod yn fynych; *a phethau heb les ynddynt*—i'w haddolwyr: gwel ar pen. x. 14.

Adn. 20. *A wna dyn dduwiau iddo ei hun*] I'w haddoli, gan ddysgwyl iddynt ei gadw ef; *a hwythau heb fod yn dduwiau*—namyn celwydd, oferedd, a phethau heb les ynddynt; adn. 19. Fel hyn y mae y proffwyd yn arddangos y Cenhedloedd, ar ol iddynt gael eu goleuo â goleuni yr efengyl, yn ymresymu yn eu plith eu hunain: Fel pe dywedasent, A all rhyw ddyn fod mor ffol, anwybodus, a diddeall, fel ag i wneyd y fath bethau diles, ac yn enwedig eu haddoli hwynt fel duwiau! Gall; canys heb ras Duw y mae dyn syrthiedig yn ddigon ffol i wneyd pob peth ag sydd wael, ffiaidd, a phechadurus.

Adn. 21. *Am hyny wele, mi a wnaf iddynt wybod y waith hon*] I'r Cenhedloedd wybod, sef yn nyddiau yr efengyl: *danghosaf iddynt fy llaw a'm grym*—rhoddaf iddynt y fath ddadleniad o'm hollalluogrwydd a'm gras, ag a brawf fy modaeth a'm Duwdod: *a chânt wybod*—trwy fy efengyl a'm hiachawdwriaeth, *mai yr Arglwydd yw fy 'enw*—mai myfi yn unig wyf Jehofa, ffynnonell fawr pob perffeithrwydd a daioni. Ond tybia rhai mai am yr Iuddewon y dywedir yma, y caent hwy adnabod llaw a grym Jehofa yn eu caethgludiad i Babilon, ac yn eu dychweliad drachefn oddiyno, yr hyn a'u gwaredai hwynt yn effeithiol ac am byth oddiwrth eilunaddoliaeth.

PEN. XVII. Adn. 1. *Pechod Juda a ysgrifenwyd â phin o haiarn*] Daliai gwŷr Juda yn gyndyn i wadu eu pechod, pen. xvi. 10; ond yr oedd ef mor amlwg yn ngolwg Duw a phe buasai wedi ei ysgrifenu â phin o haiarn, neu gerfiadur, mewn craig: *âg ewyn o adamant*—y fath ag a ddefnyddid gan wydrwr, *y cerfiwyd ef ar lech eu calon*—yn annileadwy; hyny yw, yr oedd eu heilunaddoliaeth hwy wedi greddfu yn eu calon a'u serchiadau: *ac ar gyrn eich allorau*—y rhai a godasoch i aberthu arnynt i eilunod. Yr oedd enwau y gwahanol dduwiau yn cael eu hysgrifenu gynt ar eu hallorau, Act. xvii. 23; ac fe allai mai at hyny y cyfeirir yma: neu ynte yr oedd gwaed eu hebyrth i'w ganfod fyth ar gyrn allorau eu heilun-dduwiau, Lef. iv. 25.

Adn. 2. *Gan fod eu meibion yn cofio eu hallorau a'u llwyni*] Y fath oedd eu hymlyniad hwy wrth eilunaddoliaeth, nes yr oedd eu plant yn cael eu harfer o'u mabandod i eilunaddoli, y rhai a fyddent yn sicr o gofio allorau a llwyni eu tadau dros eu hoes; *wrth y pren deiliog ar y bryniau uchel*—lle yr arferai y Cenhedloedd paganaidd godi eu hallorau.

Adn. 3. *O fy mynydd yn y maes*] Tybia rhai mai y *deml*, yr hon oedd yn sefyll ar fynydd, pa un a elwir yn 'fynydd tŷ yr Arglwydd,' Esay ii. 2, a feddylir yma; tybia ereill mai *Jerusalem*, yr hon oedd wedi ei hadeiladu mewn rhan ar fynyddoedd, a'r holl wlad fel maes hyfryd o'i hamgylch; ond y mae yn debycach, ebai *Cocceius*, mai yr *Iuddewon* a olygir, y rhai oeddynt wedi eu dyrchafu mewn mawredd a gogoniant uwchlaw holl genhedloedd ereill y ddaear. *Dy olud a'th holl drysorau di a roddaf yn anrhaith*—i'r Caldeaid, pen. xv. 13; *a'th uchelfeydd i bechod*—hyny yw, rhoddaf dy allorau hefyd yn anrhaith i'r Caldeaid *o herwydd* dy bechod; *trwy dy holl derfynau*—trwy holl wlad Judea.

Adn. 4. *Ti a adewir hefyd dy hunan*] Neu, ti dy hunan hefyd a adewir, *heb dy etifeddiaeth a roddais i ti*—ti a golli nid yn unig dy olud a'th drysorau, ond hefyd dy wlad: *a mi a wnaf i ti wasanaethu dy elynion mewn tir nid adwaenost*—sef yn Babilon: *canys cyneuasoch dân yn fy nig*—neu dân fy nigofaint, trwy eich eilunaddoliaeth a'ch pechodau ereill; *yr hwn a lysg byth*—nid yn unig tra y byddoch chwi byw ar y ddaear, ond hefyd am dragwyddoldeb, os byddwch byw a marw yn anedifeiriol: gwel ar pen. xv. 13, 14.

Adn. 5. *Melldigedig fyddo y gŵr a hydero mewn dyn*] Megys yn mrenin yr Aifft, neu ryw gynghreirwyr ereill, am gynorthwy yn erbyn ei elyn, fel y gwnai brenin Juda yn awr yn erbyn y Caldeaid; *ac a wnelo gnawd yn fraich iddo*—yn lle hollalluog nerth Duw; *a'r hwn y cilio ei galon oddiwrth yr Arglwydd*—i

6 Canys efe a fydd fel y grug yn y diffaethwch, ac ni wel pan ddel daioni; eithr efe a gyfanedda boethfanau *yn* yr anialwch, *mewn* tir hallt ac annghyfaneddol.
7 Bendigedig *yw* y gŵr a ymddiriedo yn yr Arglwydd, ac y byddo yr Arglwydd yn hyder iddo.
8 Canys efe a fydd megys pren wedi ei blanu wrth y dyfroedd, ac a estyn ei wraidd wrth yr afon, ac ni ŵyr oddiwrth ddyfod gwres; ei ddeilen fydd îr, ac ar flwyddyn sychder ni ofala, ac ni phaid â ffrwytho.
9 ¶ Y galon *sydd* fwy ei thwyll na dim, a drwg ddiobaith ydyw; pwy a'i hedwyn?
10 Myfi yr Arglwydd *sydd* yn chwilio y galon, yn profi yr arenau, i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd, *ac* yn ol ffrwyth ei weithredoedd.
11 *Fel* petris yn eistedd, ac heb ddeor, *yw* yr hwn a helio gyfoeth yn annheilwng: yn hanner ei ddyddiau y gedy hwynt, ac yn ei ddiwedd ynfyd fydd.
12 ¶ Gorsedd ogoneddus ddyrchafedig o'r dechread, *yw* lle ein cysegr ni.

---

fyned i ymddiried mewn duwiau gau, neu ryw wrthddrychau ereill.

Adn. 6. *Canys efe a fydd fel y grug yn y diffaethwch*] Tyfolion sych a gwael, a thra adnabyddus ar fynyddoedd Cymru; *ac ni wel pan ddel daioni*—ni wel y gŵr hwnw ddaioni; neu ni fwynha y grug ryw les mawr oddiwrth y cawodydd ireiddlon pan ddisgynont arno, trwy ei fod yn tyfu yn gyffredin mewn tir poeth a hallt, fel y dywedir yma. *Eithr efe a gyfanedda boeth-fanau yn yr anialwch*—lle nis gall dyfu i uwchder mawr; *mewn tir hallt ac annghyfaneddol*—neu dir sych a diffrwyth, ac annghymhwys i neb breswylio ynddo, fel yr oedd glanau y môr coch, a'r môr marw, a rhanau o Arabia Petrea: gwel ar Deut. xxix. 23, Barn. ix. 45, Salm cvii. 34, Seph. ii. 9. Y meddwl yw, y byddai i'r hwn a ymddiriedai mewn braich o gnawd, yn lle yn Nuw, fod yn wael a diffrwyth fel grug; neu yn amddifad o gysur presenol, ac o obaith am ddaioni dyfodol. Felly hefyd y mae y gŵr a ymddiriedo yn ei gyfiawnder ei hun am iachawdwriaeth, yn lle yn aberth a gras Crist.

Adn. 7. *Bendigedig*] O'r tu arall, *yw y gŵr a ymddiriedo yn yr Arglwydd*—am bob daioni, gan ufyddhau i'w orchymynion ef, a'i garu a'i wasanaethu â'i holl galon; *ac y byddo yr Arglwydd yn hyder iddo*—yn unig wrthddrych ei hyder a'i ymddiriediad. Tra y byddai melldith i'r blaenaf, byddai bendith a daioni i hwn.

Adn. 8. *Canys efe a fydd megys pren wedi ei blanu wrth y dyfroedd*] Gellir cyffelybu y gŵr a ymddiriedo yn yr Arglwydd, i bren wedi ei blanu mewn tir ffrwythlon, ar lan afon, at ba un yr estyn efe ei wraidd, ac oddiwrth ba un y caiff efe ddigon o wlybyredd a maeth; *ac ni ŵyr oddiwrth ddyfod gwres*—ni effeithia gwres yn niweidiol iddo; *ac ar flwyddyn sychder ni ofala*—nid ofna i'w ddail wywo; *ac ni phaid â ffrwytho*—yn ei dymhor, mwy nag ar flwyddyn laith: gwel ar Salm i. 3.

Adn. 9. *Y galon sydd fwy ei thwyll na dim*] Sef calon pob dyn wrth natur; *a drwg ddiobaith ydyw*—heb obaith i neb allu ei gwella: *pwy a'i hedwyn*—ond Duw yn unig, fel y dywedir yn yr adnod nesaf? Crybwyllir hyn i ddau ddyben: (1) Fel rheswm i ni beidio hyderu mewn dyn, adn. 5; (2) I'n rhybyddio rhag ein twyllo ein hunain, gan feddwl ein bod yn ymddiried yn Nuw pan na byddom. Nid gwella yr hen galon y mae Duw wrth achub dyn, eithr ei thynu ymaith, a rhoddi calon newydd yn ei lle: gwel ar Ezec. xi. 19, a xxxvi. 26.

Adn. 10. *Myfi yr Arglwydd sydd yn chwilio y galon*] Yr wyf yn adwaen calon pawb, a hyny mor berffaith a phe bawn yn ei chwilio; ac yr wyf yn gwybod am yr holl ddrwg sydd yn nghalon yr annuwiol, a'r holl dda sydd yn nghalon y duwiol; *yn profi yr arenau*—sef y meddyliau dyfnaf a dirgelaf yn nghalonau pawb; *i roddi i bob un yn ol ei ffyrdd*—pa un bynag ai da ai drwg; *ac yn ol ffrwyth ei weithredoedd*—sef effaith neu ddylanwad ei weithredoedd ef ar ereill.

Adn. 11. *Fel petris*] Neu ryw adar ereill; *yn eistedd, ac heb ddeor*—Hebr., 'heb *ddodwy*;' hyny yw, yn eistedd ar wyau na ddodwyasant; *yw yr hwn a helio gyfoeth yn annheilwng*—heb ei ennill yn gyfiawn trwy fendith Duw ar ei ddiwydrwydd, eithr ei gyraedd trwy drais, twyll, neu annghyfiawnder. *Yn hanner ei ddyddiau y gedy hwynt*—trwy i'w fywyd ef gael ei fforffetio yn gosp am ei drais a'i annghyfiawnder, neu trwy i'w gyfoeth gymeryd ei adenydd a ffoi oddiwrtho: *ac yn ei ddiwedd ynfyd fydd*—ymddengys yn ynfyd yn ei olwg ei hun ac ereill, wrth ystyried iddo gasglu cyfoeth yn annheilwng, ac yna ei golli yn hanner ei ddyddiau, a cholli ei enaid yn y fargen.

Adn. 12. *Gorsedd ogoneddus ddyrchafedig o'r dechread*] Er pan ei cysegrwyd gan Solomon; *yw lle ein cysegr ni*—sef y deml yn Jerusalem. Yma yr oedd Duw yn eistedd rhwng y cerubiaid, ac yma y deuai y bobl i warogaethu i'w Brenin. Yr oedd hon yn orsedd santaidd, yr hyn a'i gwnai yn ogoneddus; ac yn orsedd y Goruchaf, yr hyn a'i gwnai yn ddyrchafedig: ac yr oedd yn ogoniant a dyrchafiad i Israel fod Duw wedi gosod i fyny ei orsedd yn eu mysg. Tybia rhai mai geiriau yr Iuddewon *annuwiol* yw y rhai hyn, yn ymffrostio ac yn ymddiried yn eu teml, fel yn pen. vii. 4; tybia ereill mai geiriau y *duw-*

13 O Arglwydd, gobaith Israel, y
rhai oll a'th wrthodant a warad-
wyddir, ysgrifenir yn y ddaear y
rhai a giliant oddiwrthyf, am iddynt
adael yr Arglwydd, ffynnon y dyfr-
oedd byw.
14 Iachâ fi, O Arglwydd, a mi a
iachêir; achub fi, a mi a achubir:
canys tydi *yw* fy moliant.
15 ¶ Wele hwynt yn dywedyd
wrthyf, Pa le *y mae* gair yr Ar-
glwydd? deued bellach.
16 Ond myfi ni phrysurais rhag
*bod* yn fugail ar dy ol di: ac ni ddy-
munais y dydd blin, ti a'i gwydd-
ost: yr oedd yr hyn a ddaeth o'm
gwefusau *yn union* ger dy fron di.
17 Na fydd yn ddychryn i mi; ti
*yw* fy ngobaith yn nydd y drygfyd.
18 Gwaradwydder fy erlidwyr, ac
na'm gwaradwydder i; brawycher
hwynt, ac na'm brawycher i; dwg
arnynt ddydd drwg, a dryllia hwynt
â drylliad dauddyblyg.
19 ¶ Fel hyn y dywedodd yr Ar-
glwydd wrthyf, Cerdda, a saf yn
mhorth meibion y bobl, trwy yr hwn
yr â brenhinoedd Juda i mewn, a
thrwy yr hwn y deuant allan, ac yn
holl byrth Jerusalem;

---

*iolion* ydynt, yn dangos eu gwir obaith a'u hyder yn yr Arglwydd, yr hwn a breswyliai yn y cysegr; neu gall mai geiriau y *proffwyd* ei hun ydynt, y rhai a ddefnyddia efe fel rheswm i Dduw drugarhau wrth Jerusalem o barch i orsedd ei ogoniant yno; neu i fwyhau pechod y bobl yn gwrthod Duw, yr hwn yr oedd ei orsedd ogoneddus yn eu plith.

Adn. 13. *O Arglwydd, gobaith Israel*] Gobaith y duwiolion yn Israel, a'r hwn a ddylasai fod yn wrthddrych gobaith pawb o honynt; *y rhai oll a'th wrthodant a waradwyddir*—yn fuan neu yn hwyr, am iddynt fod mor ffol a'th wrthod. *Ysgrifenir yn y ddaear y rhai a giliant oddiwrthyf*—oddiwrth y proffwyd a'i addysgiadau, yr hyn oedd yr un peth a chilio oddiwrth Dduw ei hun: hyny yw, cofir hwynt ar y ddaear fel gwrthgilwyr oddiwrth Dduw; neu darostyngid ac anmherchid hwy gan bawb, fel pe buasai eu henwau wedi eu hysgrifenu ar y ddaear dan draed dynion; neu dilëid eu henwau a'u coffadwriaeth, fel pe buasent wedi eu hysgrifenu yn y llwch, yr hwn a chwythid ymaith yn hawdd. *Am iddynt adael yr Arglwydd, ffynnon y dyfroedd byw*—oddiwrth ba un y dylifa pob bendith, cysur, a daioni yn helaeth: gwel ar pen. ii. 13.

Adn. 14. *Iachâ fi, O Arglwydd, a mi a iachêir*] Yma y mae y proffwyd yn ei arddangos ei hun fel wedi ei glwyfo gan y gwarth a deflid arno gan ei elynion, neu dan deimlad o'r dianrhydedd a ddanghosid i Dduw trwy bechodau y bobl; ac efe a weddia am i Dduw ei iachâu ef oddiwrth y cyfryw. *Achub fi*—oddiwrth y brofedigaeth bresenol; *a mi a achubir*—yn hollol ac effeithiol. *Canys tydi yw fy moliant*—yw gwrthddrych fy mawl a'm gweddi; neu, oddiwrthyt ti yn unig yr wyf yn dysgwyl ymwared, ac i ti yr wyf yn dychwelyd y mawl.

Adn. 15. *Wele hwynt*] Sef pobl Juda a Jerusalem; *yn dywedyd wrthyf*—mewn anghrediniaeth a gwawd; *Pa le y mae gair yr Arglwydd*—y barnedigaethau hyny ag y dywedaist ti fod yr Arglwydd yn dyfod i'w tywallt arnom ni? *Deued bellach*—i'w tywallt hwynt arnom. Yr oedd y rhai hyn yn debyg i'r gwatwarwyr hyny yn amser yr apostol, 2 Pedr iii. 4.

Adn. 16. *Ond myfi ni phrysurais rhag bod yn fugail ar dy ol di*] Neu, fel y mae *Waterland* yn ei gyfieithu, 'Ni wthiais fy hun arnat ti i fod yn fugail;' neu, yn ol y LXX, 'ni flinais dy ganlyn di:' *ac ni ddymunais y dydd blin*—fod i ddydd cyflawniad dy fygythion, am yr hwn y proffwydais, gymeryd lle, i'r dyben i ddangos fy mod i yn wir broffwyd i ti; *ti a'i gwyddost*—fel hyn efe a apeliai at hollwybodaeth Duw, ei fod yn dywedyd y gwir. *Yr oedd yr hyn a ddaeth o'm gwefusau yn union ger dy fron di*—yr oedd fy ngeiriau yn gyson â'r hyn a dderbyniais oddiwrthyt ti, neu a roddaist yn fy ngenau.

Adn. 17. *Na fydd yn ddychryn i mi*] Yn nghanol yr holl ddrygau ag y mae fy ngelynion yn eu bygwth arnaf, boed i mi gael cysur ynot ti; neu, na fydded i'r ofn o gael fy ngadael genyt ti gael ei chwanegu at fy ofnau ereill: *ti yw fy ngobaith yn nydd y drygfyd*—ag sydd ar ddisgyn arnaf oddiwrth y bobl hyn, neu y drygfyd ag sydd ar ddisgyn arnynt hwy.

Adn. 18. *Gwaradwydder fy erlidwyr*] Sef yr Iuddewon hyn ag sydd yn ceisio fy einioes, pen. xi. 20, 21; *ac na'm gwaradwydder i*—gwel ar Salm xxxv. 4: *brawycher hwynt*—gan y Caldeaid; *ac na'm brawycher i*—yr hwn wyf ffyddlon yn dy wasanaeth di. *Dwg arnynt ddydd drwg*—neu 'ti a *ddygi* arnynt ddydd drwg;' canys gellir deall yr holl eiriau hyn fel rhagfynegiadau, yn hytrach na gweddiau: gwel ar Salm v. 10: *a dryllia hwynt â drylliad dauddyblyg*—â chleddyf ac â newyn, neu â drylliad gymaint arall ag yr arferent ei gael: gwel ar pen. xvi. 18.

Adn. 19. *Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf*] Meddylir mai proffwydoliaeth wahanol yw hon, ac wedi ei thraethu ond odid yn amser Josiah, trwy fod yr addewidion a geir yn adn. 25, 26, yn fwy priodol i'r amserau hyny nag i amserau yn ymyl caethiwed Babilon. *Cerdda, a saf yn mhorth meibion y bobl*—trwy ba un y cyniweirid amlaf, ac yr âi brenhinoedd Juda i mewn ac allan, neu yn mha un y cynalient eu llysoedd pwysicaf; *ac yn holl byrth Jerusalem*—yn olynol.

Adn. 20. *Gwrandewch air yr Arglwydd*] Yr hwn a berthyn i bawb, o'r brenin hyd y cardotyn.

20 A dywed wrthynt, Gwran-
dewch air yr Arglwydd, brenhin-
oedd Juda, a holl Juda, a holl bres-
wylwyr Jerusalem, y rhai a ddeuwch
trwy y pyrth hyn.
21 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Dysgwyliwch ar eich eneidiau, ac
na ddygwch faich ar y dydd sab-
both, ac na ddygwch *ef* i mewn trwy
byrth Jerusalem.
22 Ac na ddygwch faich allan
o'ch tai ar y dydd sabboth, ac na
wnewch ddim gwaith; eithr sant-
eiddiwch y dydd sabboth, fel y
gorchymynais i'ch tadau.
23 Ond ni wrandawsant, ac ni
ogwyddasant eu clust; eithr caled-
asant eu gwarau rhag gwrando, a
rhag derbyn addysg.
24 Er hyny os dyfal-wrandewch
arnaf, medd yr Arglwydd, heb
ddwyn baich trwy byrth y ddinas
hon ar y dydd sabboth, ond sant-
eiddio y dydd sabboth, heb wneuth-
ur dim gwaith arno:
25 Yna y daw trwy byrth y ddin-
as hon, frenhinoedd a thywysogion
yn eistedd ar orsedd Dafydd, yn
marchogaeth mewn cerbydau, ac ar
feirch, hwy a'u tywysogion, gwŷr
Juda, a phreswylwyr Jerusalem;
a'r ddinas hon a gyfaneddir byth.
26 Ac o ddinasoedd Juda, ac o
amgylchoedd Jerusalem, ac o wlad
Benjamin, ac o'r gwastadedd, ac o'r
mynydd, ac o'r deau, y daw rhai
yn dwyn poeth-offrymau, ac aberth-
au, a bwyd-offrymau, a thus, ac yn
dwyn aberthau moliant i dŷ yr Ar-
glwydd.
27 Ond os chwi ni wrendy arnaf,
i santeiddio y dydd sabboth, heb
ddwyn baich, wrth ddyfod i byrth
Jerusalem, ar y dydd sabboth: yna
mi a gyneuaf dân yn ei phyrth hi,
ac efe a ysa balasau Jerusalem, ac
nis diffoddir.

## PENNOD XVIII.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, gan ddywedyd,

---

Adn. 21. *Dysgwyliwch ar eich eneidiau*] I wneyd yr hyn sydd oraf er lles eich eneidiau; *ac na ddygwch faich ar y dydd sabboth*—sef baich o nwyddau neu ymborth ond odid, Neh. xiii. 15—22; *ac na ddygwch ef i mewn trwy byrth Jerusalem*—i'w werthu i'r trigolion ar y sabboth.

Adn. 22. *Ac na ddygwch faich allan o'ch tai ar y dydd sabboth*] Mwy na thrwy y pyrth; *ac na wnewch ddim gwaith*—sef gwaith o natur dymhorol, priodol i'r chwe diwrnod ereill; *eithr santeiddiwch y dydd sabboth*—trwy ei dreulio yn hollol yn ngwasanaeth Duw; *fel y gorchymynais i'ch tadau*—gwel ar Exod. xx. 8—10.

Adn. 23. *Ond ni wrandawsant*] Hyn a ddywedir am dadau y genedl yn mhob oes er dyddiau Moses; *ac ni ogwyddasant eu clust*—mewn dymuniad i wrando: *eithr caledasant eu gwarau rhag gwrando*—ar fy ngorchymyn i; *a rhag derbyn addysg*—yn nghylch cadw y sabboth, neu rhag pob addysg a allasent ei gael ar y sabboth trwy ddarllen a gwrando gair Duw.

Adn. 24. *Er hyny*] Er i'ch tadau wrthod gwrando; *os dyfal-wrandewch*—chwi arnaf fi; *heb ddwyn baich trwy byrth y ddinas hon ar y dydd sabboth*—gwel ar adn. 21, 22; *ond santeiddio y dydd sabboth*—trwy ei neillduo i wasanaeth Duw; *heb wneuthur dim gwaith arno*—dim gwaith celfyddydol neu dymhorol, na dim ond gweithredoedd o angenrheidrwydd, trugaredd, ac addoliad yn unig.

Adn. 25. *Yna y daw trwy byrth y ddinas hon*] Y tramwya trwyddynt yn ol ac yn mlaen, i mewn ac allan; *frenhinoedd a thywysogion yn eistedd ar orsedd Dafydd*—ac wedi hànu o'i linach ef yn olynol; *yn marchogaeth mewn cerbydau ac ar feirch*—yn fawreddog, llwyddiannus, a dedwydd; *hwy a'u tywysogion*—a phob gradd o wŷr Juda a Jerusalem yr un modd: *a'r ddinas hon a gyfaneddir byth*—heb ei dinystrio gan ei gelynion, ac heb i'w thrigolion orfod gadael eu gwlad. Fel hyn ni a welwn, er i ddinystr Jerusalem gael ei ragfynegu yn benodol, mai mewn rhagolwg ar eu hanufydd-dod a'u hanedifeirwch parhaus hwy y gwneid hyny, neu eu hannghydffurfiad hwy â'r ammodau a enwir adn. 24: gwel ar pen. xxxviii. 17.

Adn. 26. *Ac o ddinasoedd Juda, &c.*] Yn amser y llwyddiant a'r dedwyddwch uchod, deuai dynion o'r holl fanau a enwir yma i Jerusalem; *yn dwyn poeth-offrymau, ac aberthau, &c.*—i deml yr Arglwydd, yn ol trefn seremonïol yr oruchwyliaeth hòno; *ac yn dwyn aberthau moliant i dŷ yr Arglwydd*—i'w foliannu a'i addoli ef mewn ysbryd a gwirionedd.

Adn. 27. *Ond os chwi ni wrendy arnaf, i santeiddio y dydd sabboth*] Fel y nodwyd uchod, adn. 21, 22; *yna mi a gyneuaf dân yn ei phyrth hi*—trwy offerynoliaeth Nebuchodonosor a'i fyddin; *ac efe a ysa balasau Jerusalem*—heb eithro palas y brenin, na'r deml; *ac nis diffoddir*—nes iddo lwyr dinystrio yr holl dinas.

PEN. XVIII. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Yn nechre teyrnasiad Joacim, fel y meddylir.

Adn. 2. *Cyfod, a dos i waered i dŷ y*

2 Cyfod, a dos i waered i dŷ y
crochenydd, ac yno y paraf i ti
glywed fy ngeiriau.
3 Yna mi a aethym i waered i
dŷ y crochenydd, ac wele ef yn
gwneuthur *ei* waith ar droellau.
4 A'r llestr yr hwn yr oedd efe
yn ei wneuthur o glai, a ddifwyn-
wyd yn llaw y crochenydd; felly
efe a'i gwnaeth ef drachefn yn llestr
arall, fel y gwelodd y crochenydd
yn dda *ei* wneuthur *ef*.
5 Yna y daeth gair yr Arglwydd
ataf, gan ddywedyd,
6 Oni allaf fi, fel y crochenydd
hwn, wneuthur i chwi, tŷ Israel?
medd yr Arglwydd. Wele, megys
ag *y mae* y clai yn llaw y crochen-
ydd, felly yr *ydych* chwithau yn fy
llaw i, tŷ Israel.

---

*crochenydd*] I weithdy tra adnabyddus, lle y gwneid llestri pridd; *ac yno y paraf i ti glywed fy ngeiriau*—yr amlygaf fy meddwl yn mhellach i ti, fel y gallot ei hysbysu i fy mhobl.

Adn. 3. *Yna mi a aethym i waered i dŷ y crochenydd*] Megys y gorchymynwyd i mi, heb fod yn anufydd i'r weledigaeth nefol; *ac wele ef yn gwneuthur ei waith ar droellau*—Hebr., 'ar feini,' neu droellau meini, rywbeth yn debyg i'n meini melinau ni.

Adn. 4. *A'r llestr yr hwn yr oedd efe yn ei wneuthur o glai*] Neu y clai yr hwn yr oedd efe yn ei lunio yn llestr; *a ddifwynwyd yn llaw y crochenydd*—neu a ddyfethwyd, ond odid trwy fod ynddo gerig bychain wedi ymgymysgu â'r clai, yr hyn a rwystrai iddo fod yn dêg a llyfn: *felly efe a'i gwnaeth ef drachefn yn llestr arall*—o ffurf arall, neu i ddyben arall; *fel y gwelodd y crochenydd yn dda ei wneuthur ef*—i'r dyben i beidio cael colled oddiwrtho.

Adn. 5. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] I ddysgu i mi wers oddiwrth yr hyn a welswn.

Adn. 6. *Oni allaf fi, fel y crochenydd hwn*] Fel y gwnaeth y crochenydd hwn â'r clai; *wneuthur i chwi, tŷ Israel?*—diamau y gallai. *Wele, megys ag y mae y clai yn llaw y crochenydd*—yn hollol dan ei awdurdod ef; *felly yr ydych chwithau yn fy llaw i, tŷ Israel*—i wneyd â chwi fel y gwelwyf yn dda; neu, fel y mae yr apostol yn ei fynegu, 'i wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch:' gwel ar Rhuf. ix. 21—23. Yr ystyr a ddyry rhai i'r geiriau hyn yw, fod Duw wedi gwneyd o'r un telpyn pridd rai dynion yn llestri i *barch*, i gael eu hachub yn ddiammodol i fywyd tragwyddol; ac ereill, o'r un telpyn pridd, yn llestri i *anmharch*, wedi eu rhagluniaethu i ddamnedigaeth dragwyddol: gwel *Calvin's Institutions*, pen. xxi. dos. 1. Eithr yr oedd Duw ar y cyntaf wedi gwneyd ei holl waith ef yn llestri i *barch;* canys 'gwelodd Duw yr hyn oll a wnaethai, ac wele *da iawn* ydoedd,' Gen. i. 31. A wnai rhyw grochenydd lestr prydferth a da, i'r dyben i'w ddryllio yn ddarnau ar ol ei wneuthur? Diamau na wnai! Ac a allai y Duw o anfeidrol berffeithrwydd a chariad wneyd miliynau aneirif o eneidiau anfarwol yn fwriadol i golledigaeth dragwyddol, fel y dywed pleidwyr yr arfaeth ddychrynllyd o wrthodedigaeth? Na allai yn sicr! Byddai hyny yn gelwydd yn erbyn holl briodoliaethau Duw, fel y sylwa *Clarke*. 'Eithr oni ddywed yr apostol y gall ef wneuthur o'r un telpyn pridd un llestr i barch, ac arall i anmharch?' Gwir. Ond ni ddywed efe yr hyn a ddywed pleidwyr yr arfaeth ddychrynllyd dan sylw, i Dduw wneyd un ran o ddynolryw, ac yn wir y rhan fwyaf o lawer, gyda bwriad i'w damnio yn dragwyddol! 'Beth ynte yw meddwl y testyn?' Wel hyn yn amlwg: Megys ag y gall y crochenydd, o'r un telpyn clai, wneyd un llestr i ddal ei win ar y bwrdd, a llestr arall at wasanaeth ystafell ei wely; un i wasanaeth fwy anrhydeddus, a'r llall i wasanaeth lai anrhydeddus, er fod y ddau yn gyfartal angenrheidiol i'w perchenog; felly y gall Duw, o'r un cig a gwaed, wneyd un yn *llafurwr y maes*, a'r llall yn *broffwyd i'r Goruchaf;* y naill mewn gwasanaeth fwy anrhydeddus, a'r llall mewn gwasanaeth lai anrhydeddus; eto y ddau yr un mor angenrheidiol yn y byd, ac yn gyfartal alluog i ogoneddu Duw yn eu priodol leoedd. Ond os bydd i'r llestr ddifwyno yn ei law ef, dan ei driniaethau rhagluniaethol a grasol, gall Duw ei wrthod ef megys y gwnaeth â'r Iuddewon; a gwneuthur llestr arall, fel y gwelo yn dda, o'r Cenhedloedd: ac os ymddyga y Cenhedloedd fel y gwnaeth yr Iuddewon, yna hwythau hefyd a dorir ymaith, a geilw Duw ei eglwys ar enw arall: gwel *Clarke*. Fel hyn, wrth i'r proffwyd edrych ar y crochenydd yn gwneyd ei waith, yr oedd Duw yn dysgu iddo amrai wersi: (1) Y gofal a'r tynerwch a arferasai efe tuag at Israel, i'w gwneuthur hwy yn llestri i barch: yr oeddynt wedi bod megys ar y droell ganddo yn cael eu llunio i barch. (2) Fod difwyniad Israel o honynt eu hunain, fel y dywed Duw mewn lle arall: 'O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun,' Hos. xiii. 9. Nid y crochenydd a ddifwynodd y llestr, ac nid oedd efe yn hoffi ei weled ef yn difwyno. (3) Mai bwriad blaenaf y crochenydd oedd gwneyd y telpyn clai yn llestr i barch; ond trwy iddo ddifwyno yn ei law ef, yna efe a newidiodd ei fwriad, ac a'i gwnaeth ef yn llestr i anmharch, adn. 4. (4) Fod gan Dduw awdurdod dros Israel, i wneyd â hwy fel y mynai. Yr oeddynt yn ei law ef, fel yr oedd y clai yn llaw y crochenydd; ac os na wasanaethent hwy ef yn eu gwlad eu hunain fel llestri i barch, byddai yn rhaid iddynt ymostwng i'w ail fwriad, yn ngwlad eu gelynion, fel llestri i anmharch: gwel ar pen. v. 19, a xiii. 22, a xvi. 10—13. (5) Na fuasai y crochenydd yn gwneyd y telpyn clai yn llestr arall, oni buasai iddo ddifwyno yn ei law ef; ac ni fuasai i Dduw byth wneyd Israel yn llestr i anmharch, oni buasai iddynt hwythau

7 Pa bryd bynag y dywedwyf am
ddiwreiddio, a thynu i lawr, a dy-
fetha cenedl neu frenhiniaeth;
8 Os y genedl hòno y dywedais
yn ei herbyn a dry oddiwrth ei
drygioni, myfi a edifarhaf am y
drwg a amcenais ei wneuthur iddi.
9 *A pha* bryd bynag y dywedwyf
am adeiladu ac am blanu cenedl
neu frenhiniaeth;
10 Os hi a wna ddrygioni yn fy
ngolwg, heb wrando ar fy llais,
minau a edifarhaf am y daioni â'r
hwn y dywedais y gwnawn les iddi.
11 ¶ Yn awr gan hyny, atolwg,
dywed wrth wŷr Juda, ac wrth
breswylwyr Jerusalem, gan ddy-
wedyd, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Wele fi yn llunio drwg i'ch
erbyn, ac yn dychymygu dychymyg
i'ch erbyn: dychwelwch yr awr hon
bob un o'i ffordd ddrwg, a gwnewch
eich ffyrdd a'ch gweithredoedd yn
dda.
12 Hwythau a ddywedasant, Nid
oes obaith; *ond* ar ol ein dychymyg-
ion ein hunain yr awn, a gwnawn
bob un amcan ei ddrwg galon ei
hun.
13 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Gofynwch, atolwg, yn
mysg y cenhedloedd, pwy a glyw-
odd y cyfryw bethau? Gwnaeth y
forwyn Israel beth erchyll iawn.
14 A wrthyd *dyn* eira Libanus, *yr
hwn sydd yn dyfod* o graig y maes?
*neu* a wrthodir y dyfroedd oerion
rhedegog sydd yn dyfod o le arall?

---

wrthwynebu ei fwriadau ef, a bod yn anufydd a gwrthryfelgar, gan ddirmygu ei gynygion o ras ac anrhydedd. Cofier mai am awdurdod Duw dros *genhedloedd* yn unig y sonir yn yr adnodau hyn, fel y gwelir isod.

Adn. 7. *Pa bryd bynag y dywedwyf am ddiwreiddio*] Allan o'u gwlad; *a thynu i lawr*—o'u hanrhydedd a'u parch; *a dyfetha cenedl neu frenhiniaeth*—trwy gleddyf, haint, neu newyn.

Adn. 8. *Os y genedl hòno y dywedais yn ei herbyn a dry oddiwrth ei drygioni*] Ataf fi mewn gwir edifeirwch; *myfi a edifarhaf am y drwg a amcenais ei wneuthur iddi*—ac nis gwnaf ef. Gan fod bygythion Duw yn *ammodol*, yna, pan attelir hwynt trwy ddiwygiad y pechadur, dywedir yn yr ysgrythyr fod Duw yn *edifarhau;* nid am ei fod ef yn cyfnewid, ond am fod cyfnewidiad wedi cymeryd lle ynom ni; neu am y buasai ei ymddygiad ef, oni buasai fod ei fygythion yn *ammodol*, yr un peth a phe buasai efe yn edifarhau, neu yn newid ei feddwl: gwel ar Gen. vi. 6.

Adn. 9. *A pha bryd bynag y dywedwyf am adeiladu ac am blanu*] Am sefydlu, cadarnhau, neu lwyddo, *cenedl neu frenhiniaeth*—mewn ystyr gwladol neu ysbrydol.

Adn. 10. *Os hi a wna ddrygioni yn fy ngolwg, heb wrando ar fy llais*] Eithr tori yr ammodau ar bai rai yr addewais ei hadeiladu a'i phlanu; *minau a edifarhaf am y daioni â'r hwn y dywedais y gwnawn les iddi*—ac nis gwnaf ef: gwel ar adn. 8. Fel hyn yn gywir yr ymddygodd Duw tuag at dŷ Eli, am yr hwn y dywedasai y cai efe rodio o'i flaen ef *byth*, 1 Sam. ii. 30; ac fel hyn y gyrodd efe Israel yn ol i'r anialwch, ar ol iddo eu dwyn hwy i olwg Canaan, Num. xiv. 34.

Adn. 11. *Ac yn awr gan hyny, atolwg, dywed wrth wŷr Juda, &c.*] Mewn ffordd o gymhwysiad neillduol o'r hyn a ddywedwyd uchod yn gyffredinol; *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*—yr hwn a'm hanfonodd i at y crochenydd; *Wele fi yn llunio drwg i'ch erbyn*—mewn barn; *ac yn dychymygu dychymyg i'ch erbyn*—pa fodd i'ch cospi am ddifwyno o honoch yn fy llaw i. *Dychwelwch yr awr hon bob un o'i ffordd ddrwg*—fel hyn ni a welwn fod Duw, cyn iddo ddwyn y drwg hwnw arnynt, ac fel na byddai raid iddo ei ddwyn, yn galw arnynt yn rasol i ddychwelyd oddiwrth eu drygioni; *a gwnewch eich ffyrdd a'ch gweithredoedd yn dda*—fel prawf o'ch casineb at bechod, a'ch gwir ddychweliad at Dduw.

Adn. 12. *Hwythau a ddywedasant*] Mewn ymddygiad o leiaf, os nid mewn geiriau; *Nid oes obaith*—i ti allu ein hennill ni oddiwrth ein ffyrdd a'n gweithredoedd presenol: gwel ar pen. ii. 25: *ond ar ol ein dychymygion ein hunain yr awn*—fel arferol; *a gwnawn bob un amcan ei ddrwg galon ei hun*—beth bynag fyddo y canlyniad. Nid yw yn debyg eu bod hwy yn galw eu calon eu hunain yn *ddrwg;* ond felly y galwai y proffwyd hi.

Adn. 13. *Gofynwch, atolwg, yn mysg y cenhedloedd*] Mwyaf tywyll a phaganaidd; *pwy a glywodd y cyfryw bethau*—sef am ddynion yn ymddwyn tuag at eu heilunod, y rhai nid ydynt dduwiau, fel yr ymddygodd fy mhobl tuag ataf fi y gwir Dduw! *Gwnaeth y forwyn Israel*—neu 'y forwyn Jerusalem,' fel y mae mewn tri o ysgriflyfrau Hebreig, ac yn yr ailun Alexandriaidd o'r LXX; *beth erchyll iawn*—sef puteinio gydag eilunod, ar ol i mi ei dyweddïo i mi fy hun fel morwyn bur.

Adn. 14. *A wrthyd dyn eira Libanus?*] Y mynydd uwchaf yn Israel, yn y rhan ogleddol o'r wlad, yr hwn yr oedd ei gopa bron bob amser yn orchuddiedig âg eira; *yr hwn sydd yn dyfod o graig y maes*—sef o'r creigiau ar y gwastadedd yn mhen y mynydd hwnw, o ba le yr oedd yr eira toddedig ar amserau yn dylifo i'r dyffrynoedd wrth droed y mynydd. *Neu a wrthodir y dyfroedd oerion rhedegog sydd yn dyfod o le arall*—o unrhyw le arall? Nid yw y geiriau 'dyn,' a'r 'hwn sydd yn dyfod,' yn yr Hebraeg, yr hon yn llythyrenol yw, 'A beidia eira Libanus o graig y maes?

15 O herwydd i'm pobl fy anghofio i, *hwy* a arogldarthasant i wagedd, ac a wnaethant iddynt dramgwyddo yn eu ffyrdd, *allan* o'r hen lwybrau, i gerdded llwybrau ffordd ddisathr;

16 I wneuthur eu tir yn anghyfanedd, *ac* yn chwibaniad byth: pob un a elo heibio iddo a syna, ac a ysgwyd ei ben.

17 Megys â gwynt y dwyrain y chwalaf hwynt o flaen y gelyn; *fy* ngwegil ac nid *fy* wyneb a ddanghosaf iddynt yn amser eu dialedd.

18 ¶ Yna y dywedasant, Deuwch a dychymygwn ddychymygion yn erbyn Jeremi; canys ni chyll y gyfraith gan yr offeiriad, na chynghor gan y doeth, na'r gair gan y proffwyd: deuwch, tarawn ef â'r tafod, ac nac ystyriwn yr un o'i eiriau ef.

19 Ystyria di wrthyf, O Arglwydd, a chlyw lais y rhai sydd yn ymryson â mi.

20 A delir drwg dros dda? canys cloddiasant ffos i'm henaid: cofia i mi sefyll ger dy fron di i ddywedyd daioni drostynt, *ac* i droi dy ddig oddiwrthynt.

---

neu a balla y dyfroedd oerion gorlifol ag sydd yn rhedeg i lawr?' Yn ol hyn yr ystyr yw, na ddylasai yr Iuddewon ballu yn eu hymlyniad ffyddlon wrth y gwir Dduw a'i wasanaeth, mwy nag y pallai yr eira a'r dyfroedd redeg i lawr o'r mynydd i'r dyffrynoedd islaw: neu, mewn geiriau ereill, fel yr oedd gweithredoedd natur yn cadw eu trefn, ac yn ateb y dybenion a osodwyd iddynt; felly y dylasai yr Iuddewon gyflawni eu dyledswydd hwythau, a mynegu moliant yr hwn a'u dewisasai hwynt i fod yn bobl neillduol iddo ei hun. Neu os dylynwn ein cyfieithiad ni, y meddwl yw, fod mor annaturiol i'r Iuddewon wrthod y gwir Dduw am eilunod, ag a fyddai i ymdeithydd sychedig wrthod y ffrydiau oerion adfywiol a redent i lawr o'r mynydd.

Adn. 15. *O herwydd i'm pobl fy anghofio i*] Yr unig wir Dduw, 'ffynnon y dyfroedd byw,' pen. xvii. 13; *hwy a arogldarthasant i wagedd*—i dduwiau gau: *ac a wnaethant iddynt dramgwyddo yn eu ffyrdd*—hyny yw, gwnaeth y duwiau gau iddynt gyfeiliorni a chrwydro o hen lwybrau y duwiolion gynt; *i gerdded llwybrau ffordd ddisathr*—yr hon ni cherddasai eu tadau ynddi: gwel ar pen. vi. 16.

Adn. 16. *I wneuthur eu tir yn annghyfanedd*] Heb drigolion, y rhai a leddid neu a gaethgludid ymaith; *ac yn chwibaniad byth*—yn wrthddrych o ddirmyg a gwawd am hir amser gan bawb a dramwyent y ffordd hòno, 1 Bren. ix. 8: *pob un a elo heibio iddo a syna*—o herwydd ei fod wedi ei adael mor ddidrigolion; *ac a ysgwyd ben*—rhai mewn gwawd, ac ereill ond odid mewn gresyndod wrtho.

Adn. 17. *Megys â gwynt y dwyrain*] Yr hwn oedd yn gryf a dinystriol iawn yn y gwledydd hyny, Gen, xli. 6; *y chwalaf hwynt o flaen y gelyn*—sef o flaen y Caldeaid: *fy ngwegil ac nid fy wyneb a ddanghosaf iddynt yn amser eu dialedd*—am iddynt hwy droi eu gwegil ataf fi, pen. ii. 27. Y mae yr ymadrodd hwn wedi ei gymeryd oddiwrth arferiad dynion o gefnu ar y rhai na byddont am ganiatâu eu deisyfiad iddynt.

Adn. 18. *Yna y dywedasant*] Ar ol iddynt glywed gan y proffwyd yr hyn y gorchymynasai Duw iddo ei draethu wrthynt am eu dinystr hwy; *Deuwch a dychymygwn ddychymygion yn erbyn Jeremi*—ryw anwiredd disail, i'w roddi ef i farwolaeth, adn. 23; *canys ni chyll y gyfraith gan yr offeiriad, &c.*—credent y darparai Duw iddynt hwy olyniad parhaus o swyddogion i gynal i fyny eu sefydliad gwladol a chrefyddol; sef *offeiriaid* i drin eu cyfraith a'u crefydd, *gwladychwyr* doethion i lywodraethu eu hachosion gwladol, a *phroffwydi* enwocach na Jeremi i hysbysu iddynt ewyllys Duw. *Deuwch, tarawn ef â'r tafod*—enllibiwn ef fel gelyn ei wlad a'i genedl, neu dygwn ryw gamdystiolaeth i'w erbyn i'w roddi i farwolaeth; *ac nac ystyriwn yr un o'i eiriau ef*—fel ag i gredu y deuant i ben. Ond yn lle '*â'r* tafod,' 'tarawn ef *am* y tafod,' yw y darlleniad ar ymyl y ddalen: hyny yw, lladdwn ef am iddo lefaru yn ein herbyn ni. Eithr tybia *Montanus*, *Castalio*, a *Clarke*, mai yr iawn ddarlleniad yw, 'tarawn ef *yn* y tafod;' a barnant fod yma gyfeiriad at arferiad rhai gwledydd o gospi yr aelod a droseddasai. Yn y gwledydd dwyreiniol cospir celwydd ac anudoniaeth hyd heddyw trwy daro yr euog ar ei enau â darn o ledr caled fel gwadn esgid. Weithiau tyllir y tafod â mynawyd, neu torir ef ymaith. Ac y mae cabledd, enllib, a melldithio rhieni, yn cael eu cospi yr un modd yn mhlith y Chineaid.

Adn. 19. *Ystyria di wrthyf, O Arglwydd*] Yn ngwyneb fy mherygl dirfawr; *a chlyw lais y rhai sydd yn ymryson â mi*—yn ddiachos, fel ag i farnu rhyngom.

Adn. 20. *A delir drwg dros dda?*] A oddefir i hyny gael ei wneuthur yn ddigosp? gwel ar Diar. xvii. 13. Yr oedd y proffwyd wedi bod yn gwneyd daioni i'r bobl hyn hyd y gallai, trwy eu rhybyddio o'u perygl, eu hannog i ddychwelyd at yr Arglwydd, a gweddio drostynt; ac yr oeddynt hwythau yn gwneyd a allent i dalu drwg iddo ef am y daioni hwnw, trwy ei enllibio, ei fradychu, a cheisio ei ladd. *Canys cloddiasant ffos i'm henaid*—neu i'w *fywyd*, fel helwyr yn cloddio ffos i faglu a dal anifeiliaid gwylltion, Salm vii. 15. *Cofia i mi sefyll ger dy fron di i ddywedyd daioni drostynt*—neu i weddio am ddaioni iddynt lawer gwaith. Nid oedd y bobl yn meddwl dim yn awr am ei ddaioni hwn erddynt; gan

21 Am hyny dyro eu plant hwy i fyny i'r newyn, a thywallt eu *gwaed* hwynt trwy nerth y cleddyf; a bydded eu gwragedd heb eu plant, ac yn weddwon; lladder hefyd eu gwŷr yn feirw, *a* tharawer eu gwŷr ieuainc â'r cleddyf yn y rhyfel.

22 Clywer eu gwaedd o'u tai, pan ddygech fyddin arnynt yn ddisymwth; canys cloddiasant ffos i'm dal, a chuddiasant faglau i'm traed.

23 Tithau, O Arglwydd, a wyddost eu holl gynghor hwynt i'm herbyn i'*m* lladd *i:* na faddeu eu hanwiredd, ac na ddilea eu pechodau o'th wydd; eithr byddant dramgwyddedig ger dy fron; gwna *hyn* iddynt yn amser dy ddigofaint.

## PENNOD XIX.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd; Dos, a chais ystên bridd y crochenydd, a *chymer* o henuriaid y bobl ac o henuriaid yr offeiriaid,

2 A dos allan i ddyffryn mab Hinnom, yr hwn *sydd* wrth ddrws porth y dwyrain, a chyhoedda yno y geiriau a ddywedwyf wrthyt;

3 A dywed, Brenhinoedd Juda, a phreswylwyr Jerusalem, clywch air yr Arglwydd: Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; Wele fi yn dwyn ar y lle hwn ddrwg, yr hwn pwy bynag a'i clywo, ei glustiau a ferwinant.

4 Am iddynt fy ngwrthod i, a dyeithrio y lle hwn, ac arogldarthu ynddo i dduwiau dyeithr, y rhai nid adwaenent hwy, na'u tadau, na brenhinoedd Juda, a llenwi o honynt y lle hwn o waed gwirioniaid;

5 Adeiladasant hefyd uchelfeydd Baal, i losgi eu meibion â thân *yn* boeth-offrymau i Baal; yr hyn ni

---

hyny efe a atolygai i'r Arglwydd ei gofio, a'i achub ef o'u dwylaw hwynt.

Adn. 21. *Am hyny dyro eu plant hwy i fyny i'r newyn*] A'r cleddyf, y rhai a fygythiaist arnynt, pen. xiv. 12; *a bydded eu gwragedd heb eu plant*—trwy i'w meibion a'u merched ieuangaf feirw o newyn; *ac yn weddwon*—trwy i'w gwŷr gael eu lladd â'r cleddyf; *a tharawer eu gwŷr ieuainc*—sef eu milwyr, *yn y rhyfel*—a wneir yn eu herbyn gan y Caldeaid.

Adn. 22. *Clywer eu gwaedd o'u tai*] Wrth iddynt weled byddin eu gelynion yn dyfod arnynt yn ddisymwth; *canys cloddiasant ffos i'm dal*—gwel ar adn. 20.

Adn. 23. *Tithau, O Arglwydd*] Yr hwn a wyddost bob peth; *a wyddost eu holl gynghor hwynt i'm herbyn, i'm lladd i*—yn ddiachos. *Na faddeu eu hanwiredd*—gwaedlyd; *ac na ddilea eu pechodau o'th wydd*—o lyfr dy goffadwriaeth; *eithr byddant dramgwyddedig ger dy fron*—Saes., 'dymchweler hwynt o'th flaen di.' *Gwna hyn iddynt yn amser dy ddigofaint*—pryd y bydd i ti ddwyn y Caldeaid i fyny yn eu herbyn hwy. Addefir bron yn gyffredinol mai *rhagfynegiadau* yw y geiriau yn y tair adnod hyn, y byddai i Dduw wneyd fel hyn â hwy, yn hytrach na *gweddi* am iddo ei wneuthur: gwel ar Salm v. 10. Ond os tybiwn, gyda rhai, fod y proffwyd yn llefaru yma dan effeithiau ei deimladau terfysglyd ei hun, ac yn gweddio am iddynt gael eu cospi fel hyn, yr hyn a fyddai yn ogoniant i Dduw yn gystal ag yn lles i'r byd, trwy fod cwpan eu hanwiredd yn llawn, a bod Duw wedi penderfynu eu cospi hwynt felly, ac wedi ei rwystro ef i weddio am ddaioni iddynt hwy mwyach; eto ni ddylai ei siampl ef fod yn rheol i ni, trwy fod ein Harglwydd wedi gorchymyn i ni 'garu ein gelynion, a bendithio y rhai a'n melldithiant, a gweddio dros y rhai a wnel niwed i ni,' Mat. v. 44.

PEN. XIX. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth y proffwyd, yn ebrwydd ar ol iddo lefaru y geiriau yn niwedd y bennod flaenorol; *Dos, a chais ystên bridd y crochenydd*—neu gostrel bridd o dŷ y crochenydd, y fath ag yr arferid yfed o honi; *a chymer o henuriaid y bobl*—sef o aelodau y sanhedrim, *ac o henuriaid yr offeiriaid*—blaenoriaid y pedwar dosbarth ar hugain a sefydlwyd gan Dafydd, 1 Cron. xxiv. 3, &c. Y dyben o hyn a eglurir yn adn. 10, &c.

Adn. 2. *A dos allan i ddyffryn mab Hinnom*] Yr hwn hefyd a elwid *Tophet*, adn. 6, ac a ydoedd o du y deau-ddwyrain i Jerusalem, Jos. xv. 8; *yr hwn sydd wrth ddrws porth y dwyrain*—trwy ba un yr aent i'r deml. Yr Hebraeg yw, 'porth Harsith,' yr hwn a gyfieithir 'porth y dom,' Neh. ii. 13. *A chyhoedda yno y geiriau a ddywedwyf wrthyt*—fel y clywo pawb, y brenin a'i dywysogion, yn nghyda phreswylwyr Jerusalem.

Adn. 3 *Wele fi yn dwyn ar y lle hwn ddrwg*] Sef newyn, cleddyf, a chaethiwed; *yr hwn pwy bynag a'i clywo*—a glywo am dano, yn enwedig pan ddelo; *ei glustiau a ferwinant*—efe a darewir â syndod a dychryn.

Adn. 4. *Am iddynt fy ngwrthod i*] Fel eu Duw a'u noddwr; *a dyeithrio y lle hwn*—trwy arogldarthu ynddo i dduwiau dyeithr, ac felly ei ddyeithrio oddiwrth ei ddyben gwreiddiol, a pheri i Dduw trwy hyny ymddyeithrio oddiwrtho; *y rhai nid adwaenent hwy*—hyd yn ddiweddar; *na'u tadau*—o gwbl; *na brenhinoedd Juda*—neb o frenhinoedd duwiolaf Juda, megys Dafydd, Asa, Jehosaphat, Hezeciah, a Josiah; *a llenwi o honynt y lle hwn o waed gwirioniaid*—sef y plant diniwed a aberthid ganddynt i Moloch: gwel ar pen. ii. 34, Esay xxx. 33.

Adn. 5. *Adeiladasant hefyd uchelfeydd Baal*] Enw cyffredin ar eu holl brif eilunod, megys Baal, Moloch, Astaroth, &c.; *i losgi*

orchymynais, ac ni ddywedais, ac
ni feddyliodd fy nghalon:
6 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd, pryd na
elwir y lle hwn mwyach Tophet, na
Dyffryn mab Hinnom, ond dyffryn
y lladdfa.
7 A mi a wnaf yn ofer gynghor
Juda a Jerusalem yn y lle hwn, a
pharaf iddynt syrthio gan y cleddyf
o flaen eu gelynion, a thrwy law y
rhai a geisiant eu heinioes hwy:
rhoddaf hefyd eu celaneddau hwynt
yn fwyd i ehediaid y nefoedd, ac i
anifeiliaid y ddaear.
8 A mi a wnaf y ddinas hon yn
annghyfanedd, ac yn ffiaidd; pob
un a elo heibio iddi a syna ac a
chwibana, o herwydd ei holl ddial-
eddau hi.
9 A mi a baraf iddynt fwyta
cnawd eu meibion, a chnawd eu
merched, bwytânt hefyd bob un
gnawd ei gyfaill, yn y gwarchae
a'r cyfyngder, â'r hwn y cyfynga eu
gelynion, a'r rhai sydd yn ceisio eu
heinioes, arnynt.
10 Yna y tori yr ystên yn
ngwydd y gwŷr a êl gyda thi;
11 Ac y dywedi wrthynt, Fel hyn
y dywed Arglwydd y lluoedd, Yn y
modd hwn y drylliaf y bobl hyn, a'r
ddinas hon, fel y dryllia *un* lestr
pridd, yr hwn ni ellir ei gyfanu
mwyach; ac yn Tophet y cleddir
*hwynt*, o eisiau lle i gladdu.
12 Fel hyn y gwnaf i'r lle hwn,
medd yr Arglwydd, ac i'r rhai sydd
yn trigo ynddo; a mi a wnaf y
ddinas hon megys Tophet.
13 A thai Jerusalem, a thai bren-
hinoedd Juda, a fyddant halogedig
fel mangre Tophet; o herwydd yr
holl dai y rhai yr arogldarthasant
ar eu penau i holl lu y nefoedd, ac
y tywalltasant ddiod-offrymau i
dduwiau dyeithr.
14 Yna y daeth Jeremi o Tophet,
lle yr anfonasai yr Arglwydd ef i
broffwydo, ac a safodd yn nghynt-

*eu meibion â thân*—a'u merched hefyd, pen. vii. 31; *yn boeth-offrymau i Baal*—neu Moloch, 2 Bren. xxiii. 10; *yr hyn ni orchymynais*—eithr a waherddais yn bendant, Lef. xx. 2—5; *ac ni feddyliodd fy nghalon*—i neb ei gyflawni.

Adn. 6. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod, &c.*] Gwel ar pen. vii. 32.

Adn. 7. *A mi a wnaf yn ofer gynghor Juda a Jerusalem*] Sef eu cydymgynghoriad hwy pa fodd i wrthsefyll y Caldeaid pan y deuent, ac felly ddianc rhag y farn a gyhoeddasai y proffwyd o enau yr Arglwydd i'w herbyn hwynt; *a pharaf iddynt syrthio gan y cleddyf*—sef cleddyf y Caldeaid a'u cynghreirwyr: *rhoddaf hefyd eu celaneddau hwynt yn fwyd, &c.*—gwel ar pen. vii. 33.

Adn. 8. *A mi a wnaf y ddinas hon yn annghyfanedd, &c.*] Gwel ar pen. xviii. 16.

Adn. 9. *A mi a baraf iddynt fwyta cnawd eu meibion, &c.*] Fel y bygythiwyd gan Moses, Deut. xxviii. 53—57; yr hyn hefyd a gyflawnwyd trwy y newyn tost yn amser gwarchaead Jerusalem gan y Caldeaid, Galar. iv. 10.

Adn. 10. *Yna y tori yr ystên yn ngwydd y gwŷr a êl gyda thi*] Yr hyn oedd i fod yn arwydd gweledig o'r dinystr a fygythiasai Duw arnynt, ac a effeithiai yn ddwysach ar yr edrychwyr na dim a ellid ei ddywedyd trwy eiriau yn unig. Yr oedd yn hawdd i Jeremi ddryllio yr ystên bridd hono; ond yr oedd yn hawddach i Dduw allu dryllio yr Iuddewon a'u dinas am eu pechodau.

Adn. 11. *Yn y modd hwn y drylliaf y bobl hyn, a'r ddinas hon*] Sef fel y dryliasai Jeremi y llestr pridd; *yr hwn ni ellir ei gyfanu mwyach*—nis gellid adferu y lladdedigion i fywyd; ac ar ol y caethiwed, gorfu i'r Iuddewon adeiladu dinas newydd ar sylfaeni yr hen ddinas. *Ac yn Tophet y cleddir hwynt, o eisiau lle i gladdu*—o eisiau lle arall; neu, yn ol y Saesonaeg, 'hyd nes na byddo lle i gladdu,' hyd yn nod yn Tophet ei hun: gwel ar pen. vii. 32.

Adn. 12. *Fel hyn y gwnaf i'r lle hwn*] A'i drigolion: *a mi a wnaf y ddinas hon megys Tophet*—yn aflan a ffiaidd megys Tophet; neu byddai yr un fath gigyddwaith ofnadwy, lladd a llosgi, gyda swn tabyrddau, udgyrn, a bloeddiadau y Caldeaid a'r Iuddewon, yn ninas Jerusalem, ag a arferai fod yn Tophet ei hun pan fyddai yr Iuddewon yn offrymu eu plant yno trwy dân i Moloch: gwel ar Esay xxx. 33.

Adn. 13. *A thai Jerusalem, a thai brenhinoedd Juda*] Lle y buasai brenhinoedd Juda yn cartrefu yn olynol, canys nid oedd yno ond un brenin ar y tro; *a fyddant halogedig fel mangre Tophet*—heb ynddynt ddim ond celaneddau braenedig y teuluoedd, a'r rhai hyny yn llosgi pan roddid y tai ar dân, yr un modd ag y llosgid cyrff a budreddi yn Tophet: *o herwydd yr holl dai y rhai yr arogldarthasant ar eu penau, &c.*—sef yn gosp am eu heilunaddoliaeth hwy yno. Yr oedd penau tai yr Iuddewon yn lleddf neu wastad, Deut. xxii. 8; ac yno y cysegrent allorau i'r haul, y lloer, a'r ser, o ba le y gallent yn hawdd ganfod gwrthddrychau eu haddoliad.

Adn. 14. *Yna y daeth Jeremi o Tophet*] Sef o 'ddyffryn mab Hinnom,' adn. 2, a'r holl henuriaid ond odid gydag ef; *ac a safodd yn nghyntedd tŷ yr Arglwydd*—sef y cyntedd allanol, lle yr ymgynullai holl bobl Israel, i gyhoeddi yn eu gwydd hwythau yr un barnedigaethau.

edd tŷ yr Arglwydd, ac a ddywedodd wrth y bobl,
15 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel; Wele fi yn dwyn ar y ddinas hon, ac ar ei holl drefydd, yr holl ddrygau a leferais i'w herbyn, am galedu o honynt eu gwarau, rhag gwrando fy ngeiriau.

## PENNOD XX.

PAN glybu Pasur mab Immer yr offeiriad, yr hwn *oedd* yn benllywodraethwr yn nhŷ yr Arglwydd, i Jeremi broffwydo y geiriau hyn;
2 Yna Pasur a darawodd Jeremi
y proffwyd, ac a'i rhoddodd ef yn y carchar *oedd* yn y porth uchaf i Benjamin, yr hwn *oedd* wrth dŷ yr Arglwydd.
3 A thranoeth Pasur a ddyg Jeremi allan o'r carchar. Yna Jeremi a ddywedodd wrtho ef, Ni alwodd yr Arglwydd dy enw di Pasur, ond Magor-missabib.
4 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd; Wele fi yn dy wneuthur di yn ddychryn i ti dy hun, ac i'r rhai oll a'th garant; a hwy a syrthiant ar gleddyf eu gelynion, a'th lygaid di yn gweled: rhoddaf hefyd holl Juda yn llaw brenin Babilon, ac efe a'u caethgluda hwynt i Babilon, ac a'u lladd hwynt â'r cleddyf.
5 Rhoddaf hefyd holl olud y ddinas hon, a'i holl lafur, a phob dim a'r y sydd werthfawr ganddi, a holl drysorau brenhinoedd Juda a roddaf fi yn llaw eu gelynion, y rhai a'u hanrheithiant hwynt, ac a'u cymerant, ac a'u dygant i Babilon.
6 A thithau, Pasur, a phawb a'r sydd yn trigo yn dy dŷ, a ewch i gaethiwed; a thi a ddeui i Babilon, ac yno y byddi farw, ac yno y'th gleddir, ti, a'r rhai oll a'th garant,

---

Adn. 15. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn sydd yn ddigon galluog i gyflawni ei fygythion; *Duw Israel*—sef eu Duw cyfammodol hwy: *Wele fi yn dwyn ar y ddinas hon*—sef ar Jerusalem; *ac ar ei holl drefydd*—y rhai a berthynent iddi hi fel mamddinas yn nhir Juda a Benjamin; *yr holl ddrygau a leferais i'w herbyn*—trwy fy mhroffwydi o oes i oes; *am galedu o honynt eu gwarau*—fel ŷch ystyfnig ac anhywaith, *rhag gwrando fy ngeiriau*—y rhai a lefarais wrthynt yn fy nghyfraith, a thrwy fy mhroffwydi.

PEN. XX. Adn. 1. *Pan glybu Pasur mab Immer yr offeiriad*] Yr oedd Immer yn byw yn amser Dafydd, ac yn ben ar yr unfed dosbarth ar bymtheg o'r offeiriaid y pryd hyny, 1 Cron. xxiv. 14; gan hyny fel un o hiliogaeth Immer, yn mhen llawer o genedlaethau ar ei ol ef, y gelwir y Pasur hwn yn fab iddo. Tybia rhai mai yr un oedd ef a Pasur mab Melciah, pen. xxi. 1; ond barna ereill i'r gwrthwyneb. *Yr hwn oedd yn benllywodraethwr yn nhŷ yr Arglwydd*—yn ben ond odid ar ddosbarth Immer gynt, ac fel y cyfryw yn llywodraethwr neu yn flaenor ar y deml y pryd hyn, i gadw heddwch a threfn o'i mewn hi. Tra yr oedd ei ddosbarth ef yn gweini yn y deml, ganddo ef yr oedd yr awdurdod nesaf at eiddo yr archoffeiriad. *I Jeremi broffwydo y geiriau hyn*—y rhai a adroddwyd yn y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Yna Pasur a darawodd Jeremi*] Ar ei wyneb, neu a roddes orchymyn i'w fflangellu ef; *ac a'i rhoddodd ef yn y carchar*—Saes., 'yn y cyffion;' *oedd yn y porth uchaf i Benjamin*—sef porth y ddinas neu y deml, yr hwn oedd yn wynebu ar randir Benjamin.

Adn. 3. *A thranoeth Pasur a ddyg Jeremi allan o'r carchar*] Lle y buasai efe yn aros dros nos. *Yna Jeremi a ddywedodd wrtho ef*—yn hyf, ac o dan ddwyfol gynhyrfiad. Nid ydym yn darllen iddo ddywedyd gair yn erbyn Pasur pan yn cael ei daro a'i garcharu; 'pan ddyoddefodd, ni fygythiodd;' ond wedi iddo gael ei ollwng yn rhydd, rhoddodd Duw air yn ei enau ef i'w ddywedyd wrtho. *Ni alwodd yr Arglwydd dy enw di Pasur*—'diogelwch o bob tu;' *ond Magor-missabib*—'dychryn o bob tu,' fel y gwelwn yn yr adnod nesaf.

Adn. 4. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrthyt ti trwy fy ngenau i; *Wele fi yn dy wneuthur di yn ddychryn i ti dy hun*—trwy ofn yn tarddu oddiar euogrwydd dy gydwybod; *ac i'r rhai oll a'th garant*—dy deulu a'th gyfeillion, y rhai a ofnant nesâu atat. *A hwy a syrthiant ar gleddyf eu gelynion, a'th lygaid di yn gweled*—yr hyn a chwanega at dy ddychryn a'th ofid di. *Rhoddaf hefyd holl Juda yn llaw brenin Babilon*—i ladd rhai â'r cleddyf, a chaethgludo y lleill.

Adn. 5. *Rhoddaf hefyd holl olud y ddinas hon*] Cyfoeth y trigolion, y brenhinoedd, a llestri y deml; *a'i holl lafur*—sef holl ffrwyth neu ennill eu llafurwaith; *yn llaw eu gelynion*—y Caldeaid, i'w dwyn i Babilon.

Adn. 6. *A thithau, Pasur*] Yn nghyda'th holl deulu, a'r rhai a'th garant; *a ewch i gaethiwed*—i Babilon, lle y byddi di a hwythau farw; *ac yno y'th gleddir*—ystyriai yr Iuddewon yn farn drom fod iddynt gael eu claddu mewn tir halogedig, yn ngwlad eu gelynion dienwaededig. *Y rhai*—sef dy deulu a'th gyfeillion, *y proffwydaist iddynt yn gelwyddog*—trwy ddywedyd na ddeuai i ben y pethau a hysbysodd yr Arglwydd trwyof fi.

y rhai y proffwydaist iddynt yn gelwyddog.
7 ¶ O Arglwydd, ti a'm hudaist, a mi a hudwyd: cryfach oeddit na mi, a gorchfygaist: yr ydwyf yn watwargerdd ar hyd y dydd, pob un sydd yn fy ngwatwar.
8 Canys er pan lefarais, mi a waeddais, trais ac anrhaith a lefais; am fod gair yr Arglwydd yn waradwydd ac yn watwargerdd i mi beunydd.
9 Yna y dywedais, Ni soniaf am dano ef, ac ni lefaraf yn ei enw ef mwyach: ond *ei air* ef oedd yn fy nghalon yn llosgi fel tân, wedi ei gau o fewn fy esgyrn, a mi a flinais yn ymattal, ac ni allwn *beidio.*
10 ¶ Canys clywais ogan llawer, dychryn o amgylch: Mynegwch, *meddant,* a ninau a'i mynegwn: pob dyn heddychol â mi *oedd* yn dysgwyl i mi gloffi, *gan ddywedyd,* Ysgatfydd efe a hudir, a ni a'i gorchfygwn ef, ac a ymddialwn arno.
11 Ond yr Arglwydd *oedd* gyda mi fel un cadarn ofnadwy: am hyny fy erlidwyr a dramgwyddant, ac ni orchfygant; gwaradwyddir hwynt yn ddirfawr, canys ni lwyddant: nid annghofir *eu* gwarth tragwyddol byth.
12 Ond tydi, Arglwydd y lluoedd, yr hwn wyt yn profi y cyfiawn, yn gweled yr arenau a'r galon, gad i mi weled dy ddialedd arnynt: canys i ti y datguddiais fy nghwyn.
13 Cenwch i'r Arglwydd, moliennwch yr Arglwydd: canys efe a achubodd enaid y tylawd o law y drygionus.

---

Adn. 7. *O Arglwydd, ti a'm hudaist*] Hebr., *pittithani,* 'ti a'm *darbwyllaist,*' i fyned i broffwydo i'r bobl hyn; *a mi a hudwyd*—cymerais fy narbwyllo neu fy mherswadio genyt; a thraethais dy genadwri iddynt yn ffyddlon; ac yn awr yr wyf yn y perygl mwyaf oddiwrthynt o herwydd hyny. Y mae yn debyg iddo lefaru y geiriau hyn wrth Dduw ar ol iddo gael ei daro a'i garcharu gan Pasur. *Cryfach oeddit na mi, a gorchfygaist*—efe a gyfeiria ond odid at yr amser pryd y galwyd ef i'w swydd, a'r annogaeth a roisai Duw iddo y pryd hyny, pen. i. 7, 8, 17—19; neu at yr addewid a wnaethai efe iddo wedi hyny, pen. xv. 19—21. *Yr ydwyf yn watwargerdd ar hyd y dydd*—o'r bore hyd yr hwyr; *pob un sydd yn fy ngwatwar*—o'r mwyaf hyd y lleiaf.
Adn. 8. *Canys er pan lefarais*] Er pan ddechreuais broffwydo; *trais ac anrhaith a lefais*—dyna oedd fy nhestyn yn barhaus; *am fod gair yr Arglwydd yn waradwydd ac yn watwargerdd i mi beunydd*—neu, fel y mae *Houbigant* ac ereill yn ei ddarllen, 'Canys mor fynych ag y llefaraf, pa un bynag a wnaf ai llefain yn erbyn trais, neu gyhoeddi anrhaith, y mae gair yr Arglwydd yn cael ei droi yn fy erbyn i yn destyn gwaradwydd a gwawd yn barhaus.'
Adn. 9. *Yna y dywedais*] Yn fy meddwl fy hun; *Ni soniaf am dano ef*—am Dduw, neu am ei air; *ac ni lefaraf yn ei enw ef mwyach*—eithr rhoddaf fy swydd heibio. *Ond ei air ef oedd yn fy nghalon yn llosgi fel tân*—yn y modd mwyaf poenus ac anoddefol; *wedi ei gau o fewn fy esgyrn*—fel pe buasai tân yn fy esgyrn: *a mi a flinais yn ymattal*—rhag traethu cenadwri yr Arglwydd; *ac ni allwn beidio*—ei thraethu wedi hyn: gwel ar 1 Cor. ix. 16.
Adn. 10. *Canys clywais ogan llawer*] Eu henllib, eu gwawd, a'u bygythion; *dychryn o amgylch*—Hebr., *magor-missabib;* fel pe dywedasai, Buasai yr enw a roddwyd i Pasur, adn. 3, yn gyfaddas i mi; canys dychryn, neu achos i ddychrynu, sydd o bob tu i minau. *Mynegwch, meddant*—dyfeisiwch ryw ddrwg am Jeremi, megys ei fod yn fradychwr ei wlad a'i frenin, ac mewn cynghrair â brenin Babilon; *a ninau a'i mynegwn*—i'r awdurdodau, neu a'i cyhoeddwn ar led. *Pob dyn heddychol â mi*—y rhai a gymerent arnynt fod yn gyfeillion i mi; *oedd yn dysgwyl i mi gloffi*—neu golli fy lle trwy ryw gamymddygiad; *gan ddywedyd*—wrth eu gilydd, *Ysgatfydd efe a hudir*—i ddywedyd neu wneuthur rhywbeth allan o'i le; *a ni a'i gorchfygwn ef, ac a ymddialwn arno*—am iddo ein bygwth ni a'n gwlad.
Adn. 11. *Ond yr Arglwydd oedd gyda mi fel un cadarn ofnadwy*] Fel un *cadarn* i'm gwared i, ac *ofnadwy* i ddial arnynt hwythau. *Am hyny fy erlidwyr a dramgwyddant*—yn eu ffyrdd drygionus; *ac ni orchfygant*—fel ag i gael fy mhen i lawr. *Gwaradwyddir hwynt yn ddirfawr*—am yr hyn a fwriadant i'm herbyn; *canys ni lwyddant*—i'w ddwyn i ben. *Nid annghofir eu gwarth tragwyddol byth*—ganddynt hwy eu hunain, na chan ereill a glywant neu a ddarllenant am danynt hwy.
Adn. 12. *Ond tydi, Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn y mae pob gallu yn dy law; *yr hwn wyt yn profi y cyfiawn*—yn profi ei ffydd a'i amynedd, i'r dyben i'w buro; neu yn ei chwilio ef yn fanwl; *yn gweled yr arenau a'r galon*—yn gwybod meddyliau a bwriadau dirgelaf pawb; *gad i mi weled dy ddialedd arnynt*—gwel ar pen. xi. 20, a xviii. 23: *canys i ti y datguddiais fy nghwyn*—neu y gadewais fy achos.
Adn. 13. *Cenwch i'r Arglwydd*] Ei holl saint ef; *moliennwch yr Arglwydd*—yma y mae y proffwyd, mewn rhyw hwyl nefolaidd a melys iawn, yn troi ei alar yn gân, a'i weddi

14 ¶ Melldigedig *fyddo* y dydd
y'm ganwyd arno: na fendiger y
dydd y'm hesgorodd fy mam.
15 Melldigedig *fyddo* y gŵr a fy-
negodd i'm tad, gan ddywedyd,
Ganwyd i ti blentyn gwryw; gan
ei lawenychu ef yn fawr.
16 A bydded y gŵr hwnw fel y
dinasoedd a ymchwelodd yr Ar-
glwydd, ac ni bu edifar ganddo: a
chaffed efe glywed gwaedd y bore,
a bloedd bryd hanner dydd:
17 Am na laddodd fi *wrth ddyfod*
o'r groth; neu na buasai fy mam
yn fedd i mi, a'i chroth yn feichiog
*arnaf* byth.
18 Paham y daethym i allan o'r
groth, i weled poen a gofid, fel y
darfyddai fy nyddiau mewn gwarth?

## PENNOD XXI.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jere-
mi oddiwrth yr Arglwydd, pan
anfonodd y brenin Zedeciah ato ef
Pasur mab Melchiah, a Sephaniah
mab Maaseiah yr offeiriad, gan ddy-
wedyd,
2 Ymofyn, atolwg, â'r Arglwydd
drosom ni, (canys y mae Nebuchod-
onosor brenin Babilon yn rhyfela
yn ein herbyn ni,) i edrych a wna
yr Arglwydd â ni yn ol ei holl ry-
feddodau, fel yr elo efe i fyny oddi-
wrthym ni.
3 ¶ Yna y dywedodd Jeremi
wrthynt, Fel hyn y dywedwch wrth
Zedeciah;

yn fawl: *canys efe a achubodd enaid y tylawd*—sef ei fywyd ef ei hun; *o law y drygionus*—o law Pasur a'i gyfeillion.

Adn. 14. *Melldigedig fyddo y dydd y'm ganwyd arno*] Os yw y darllenydd yn rhyfeddu wrth y cyfnewidiad sydyn hwn o eiddo y proffwyd, o ddiolchiadau llawen am waredigaeth i gwynfaniadau chwerwon, dylai gofio nad yw y drefn amseryddol yn cael ei chadw yn gywir bob amser yn llyfrau y proffwydi, ac yn enwedig yn llyfr Jeremi, fel y nodwyd yn y rhagarweiniad i'r llyfr hwn. Y dyb gyffredin yw, fod y geiriau hyn, hyd ddiwedd y bennod, wedi eu gosod allan o'u lle priodol, ac y dylasai y bennod hon ddiweddu gydag adn. 13. Fe allai mai rhwng adn. 8 ac adn. 9 y dylasai yr adnodau hyn gael eu dodi, lle y mae y proffwyd yn cwyno o herwydd yr hyn a wnaethai Pasur ac ereill iddo. Ond y mae *Boothroyd* yn chwanegu at ddiwedd adn. 13 y geiriau hyn, '*yr hwn yn ei anobaith a ddywedasai*, Melldigedig fyddo y dydd y'm ganwyd arno,' &c. Yr oedd teimlad Jeremi y pryd hyn yn debyg i eiddo Job yn pen. iii. 1, &c.: gwel y sylwadau yno. *Na fendiger y dydd y'm hesgorodd fy mam*—sef dydd ei enedigaeth, yr hwn yr arferid ei gadw yn flynyddol yn ddydd o wledd a llawenydd, Job i. 4; eithr melldiger ef gan bawb.

Adn. 15. *Melldigedig fyddo y gŵr a fynegodd i'm tad*] Fod mab wedi ei eni iddo; *gan ei lawenychu ef yn fawr*—â'r cyfryw newydd; canys yr oedd esgor ar *fab* yn peri mwy o lawenydd o lawer yn mhlith y dwyreinwyr nag esgor ar *ferch:* gwel ar Job iii. 3.

Adn. 16. *A bydded y gŵr hwnw fel y dinasoedd a ymchwelodd yr Arglwydd*] Sef Sodom a Gomorra; *ac ni bu edifar ganddo*—am iddo eu dinystrio hwy felly â thân a brwmstan o'r nefoedd, Gen. xix. 24: *a chaffed efe glywed gwaedd y bore*—sef gwaedd ei deulu wrth iddynt gael eu dyfetha felly; *a bloedd bryd hanner dydd*—yn parhau hyd hanner dydd, nes ei lwyr ddyfetha efe a'i deulu.

Adn. 17. *Am na laddodd fi wrth ddyfod o'r groth*] Yn lle rhedeg i fynegu fy ngenedigaeth i'm tad. Y mae yn debyg mai at y meddyg a'i derbyniodd ef i'r byd y cyfeiria efe yn y tair adnod hyn. *Neu na buasai fy mam yn fedd i mi*—na buasai efe yn gadael i fy mam farw cyn fy ngeni, fel ag iddi gael ei chladdu tra yr oeddwn i eto yn ei chroth.

Adn. 18. *Paham y daethym i allan o'r groth*] Yn blentyn byw; *i weled poen a gofid*—yn y byd hwn; *fel y darfyddai fy nyddiau mewn gwarth*—i ddiweddu fy nyddiau fel hyn mewn gwarth a gofid? gwel ar adn. 7, 8. Rhaid fod y proffwyd y pryd hyn dan ryw gynhyrfiad cryf iawn, gan ei fod yn llefaru geiriau nas gellir eu cyfiawnhau ynddo ef mwy nag yn Job o'i flaen. Gwelwn yma y fath achos sydd gan y dynion goraf i weddio am gael eu cadw rhag profedigaeth, a rhag cael eu gollwng dan lywodraeth eu nwydau eu hunain.

PEN. XXI. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd*] Meddylia rhai mai lle priodol y bennod hon yw ar ol pen. xxviii; ac i'r hyn a grybwyllir yma gymeryd lle yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, yn ganlynol i warchaead Jerusalem, yr hyn a gymerodd le yn y degfed mis o'r flwyddyn hòno: gwel y sylwadau ar 2 Bren. xxv. 1, &c. *Pan anfonodd y brenin Zedeciah ato ef Pasur mab Melchiah*—tybia *Clarke* ac ereill fod y Pasur hwn yn wahanol i'r un a grybwyllwyd yn y bennod flaenorol: gwel ar pen. xxxviii. 1.

Adn. 2. *Ymofyn, atolwg, â'r Arglwydd drosom ni*] Yn dy weddiau; *canys y mae Nebuchodonosor brenin Babilon yn rhyfela yn ein herbyn ni*—gan fwriadu cymeryd ein dinas; *i edrych a wna yr Arglwydd â ni yn ol ei holl ryfeddodau*—y rhai yr arferai efe eu gwneuthur i'n cenedl, gan yru Nebuchodonosor yn ol dan ei warth a'i golled, fel y gyrodd efe Senacherib yn amser Hezeciah.

Adn. 3. *Yna y dywedodd Jeremi wrthynt*] Ar ol cael yr atebiad isod i'w weddi oddiwrth yr Arglwydd.

4 Fel hyn y dywed Arglwydd
Dduw Israel, Wele fi yn troi yn eu
hol yr arfau rhyfel *sydd* yn eich
dwylaw, y rhai yr ydych yn ymladd
â hwynt yn erbyn brenin Babilon,
ac *yn erbyn* y Caldeaid, y rhai sydd
yn gwarchae arnoch o'r tu allan i'r
gaer, a mi a'u casglaf hwynt i ganol
y ddinas hon.
5 A mi fy hun a ryfelaf i'ch erbyn
â llaw estynedig, ac â braich cryf,
mewn soriant, a llid, a digofaint
mawr.
6 Tarawaf hefyd drigolion y ddin-
as hon, yn ddyn ac yn anifel:
byddant feirw o haint mawr.
7 Ac wedi hyny, medd yr Ar-
glwydd, y rhoddaf Zedeciah brenin
Juda, a'i weision, a'r bobl, a'r *rhai*
a weddillir yn y ddinas hon, gan yr
haint, gan y cleddyf, a chan y new-
yn, i law Nebuchodonosor brenin
Babilon, ac i law eu gelynion, ac i
law y rhai sydd yn ceisio eu hein-
ioes: ac efe a'u tery hwynt â min
y cleddyf: ni thosturia wrthynt, ac
nid erbyd, ac ni chymer drugaredd.
8 ¶ Ac wrth y bobl hyn y dywedi,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Wele fi yn rhoddi ger eich bron
ffordd einioes a ffordd angau.
9 Yr hwn a drigo yn y ddinas hon
a leddir gan y cleddyf, a chan y
newyn, a chan yr haint; ond y neb
a elo allan, ac a gilio at y Caldeaid,
y rhai sydd yn gwarchae arnoch, a
fydd byw, a'i einioes fydd yn ys-
glyfaeth iddo.
10 Canys mi a osodais fy wyneb
yn erbyn y ddinas hon er drwg, ac
nid er da, medd yr Arglwydd: yn
llaw brenin Babilon y rhoddir hi,
ac efe a'i llysg â thân.
11 ¶ Ac am dŷ brenin Juda,
*dywed,* Gwrandewch air yr Ar-
glwydd.
12 O tŷ Dafydd, fel hyn y dywed
yr Arglwydd; Bernwch uniondeb
y bore, ac achubwch y gorthrymed-
ig o law y gorthrymwr, rhag i'm

Adn. 4. *Wele fi yn troi yn eu hol*] I'w defnyddio genych yn erbyn eich gilydd, *yr arfau rhyfel sydd yn eich dwylaw*—â'r rhai y bwriedwch ryfela yn erbyn y Caldeaid; *y rhai sydd yn gwarchae arnoch o'r tu allan i'r gaer*—neu furiau Jerusalem; *a mi a'u casglaf hwynt i ganol y ddinas hon*—trwy roddi Jerusalem yn eu llaw hwynt.

Adn. 5. *A mi fy hun a ryfelaf i'ch erbyn â llaw estynedig, ac â braich cryf*] Fel yr arferwn gynt ryfela o'ch plaid chwi, Exod. vi. 6, Deut. iv. 34; *mewn soriant, a llid, a digofaint mawr*—o herwydd eich aml a'ch dirfawr bechodau.

Adn. 6. *Tarawaf hefyd drigolion y ddinas hon*] Yn ystod y flwyddyn a hanner ag y bydd y Caldeaid yn gwarchae arni, heb allu dyfod i mewn, 2 Bren. xxv. 2—5; *yn ddyn ac yn anifel*—hyny yw, tarewid dyn ac anifel â newyn, yn cael ei ddylyn â haint mawr, nes y byddai i'r naill a'r llall drengu trwy yr haint a'r newyn, a thrwy ymrysoniadau yn eu plith eu hunain, adn. 4. Fel hyn, er i furiau Jerusalem gadw y Caldeaid o'r ddinas am flwyddyn a hanner, ni allent gadw allan farn Duw; canys gallodd ei saethau ef gyraedd y rhai hyny a'u hystyrient eu hunain yn ddiogel rhag saethau dynion.

Adn. 7. *Ac wedi hyny*] Sef yn niwedd y gwarchae; *rhoddaf Zedeciah brenin Juda*—a phawb ereill a weddillid gan yr haint, y cleddyf, a'r newyn; *i law Nebuchodonosor brenin Babilon*—a'i fyddinoedd, i gael eu lladd neu eu caethiwo: *ac efe a'u tery hwynt â min y cleddyf*—lawer o honynt, heb dosturio na thrugarhau wrth hen nac ieuanc: gwel ar 2 Cron. xxxvi. 17. Ni laddwyd Zedeciah ei hun y pryd hyn, eithr efe a gymerwyd i Babilon, lle y bu farw, pen. xxxv. 5.

Adn. 8. *Ac wrth y bobl hyn y dywedi*] Sef wrth drigolion Jerusalem yn gyffredinol; *Wele fi yn rhoddi ger eich bron ffordd einioes a ffordd angau*—nid mewn ystyr ysbrydol, fel yn Deut. xxx. 19; eithr mewn ystyr tymhorol; canys caethiwed tost a gwaradwyddus oedd yr holl *einioes* a osodid o'u blaen hwy yn awr, fel y gwelir isod.

Adn. 9. *Yr hwn a drigo yn y ddinas hon*] Gan gredu y diogelir ef ynddi, er i Dduw ddywedyd i'r gwrthwyneb; *a leddir gan y cleddyf, a chan y newyn, a chan yr haint*—sef gan y naill neu y llall o'r drygau hyny, yr hon yw 'ffordd *angau*,' adn. 8. *Ond y neb a elo allan, ac a gilio at y Caldeaid*—gan ei roddi ei hun i fyny yn garcharor i'w dwylaw hwy; *a fydd byw*—arbedir ei fywyd naturiol; a dyma 'ffordd *einioes*,' adn. 8. *A'i einioes fydd yn ysglyfaeth iddo*—a achubir, ond yn brin; neu a achubir gyda chymaint o anhawsder a pherygl ag a geir wrth ddwyn ysglyfaeth o safn llew.

Adn. 10. *Canys mi a osodais fy wyneb yn erbyn y ddinas hon er drwg, ac nid er da*] I'w dinystrio hi, ac nid ei chadw: *yn llaw brenin Babilon y rhoddir hi*—yn gosp am ei phechodau ysgeler; *ac efe a'i llysg hi â thân*—ar ol lladd a chaethiwo ei thrigolion, 2 Cron. xxxvi. 19.

Adn. 11. *Ac am dŷ brenin Juda*] Sef tŷ Zedeciah, neu ei lys; *Gwrandewch air yr Arglwydd*—yr hwn yw Brenin y brenhinoedd.

Adn. 12. *O tŷ Dafydd*] Felly y gelwir hwynt, am fod Zedeciah a'i dŷ o hiliogaeth

llid dori allan fel tân, a llosgi fel
na allo neb ei ddiffodd, o herwydd
drygioni eich gweithredoedd.
13 Wele fi yn dy erbyn, yr hon
wyt yn preswylio y dyffryn, *a* chraig
y gwastadedd, medd yr Arglwydd;
y rhai a ddywedwch, Pwy a ddaw i
waered i'n herbyn? neu, Pwy a
ddaw i'n haneddau?
14 Ond mi a ymwelaf â chwi yn
ol ffrwyth eich gweithredoedd,
medd yr Arglwydd; a mi a gyneuaf
dân yn ei choedwig, ac efe a ysa bob
dim o'i hamgylch hi.

## PENNOD XXII.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd,
Dos di i waered i dŷ brenin Juda,
a llefara yno y gair hwn;
2 A dywed, Gwrandaw air yr Ar-
glwydd, frenin Juda, yr hwn wyt
yn eistedd ar frenhinfainc Dafydd,
ti, a'th weision, a'th bobl y rhai
sydd yn dyfod i mewn trwy y pyrth
hyn:
3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Gwnewch farn a chyfiawnder, a
gwaredwch y gorthrymedig o law y
gorthrymwr: na wnewch gam, ac
na threisiwch y dyeithr, yr amddif-
ad, na'r weddw, ac na thywelltwch
waed gwirion yn y lle hwn.
4 Canys os gan wneuthur y
gwnewch y peth hyn, daw trwy
byrth y tŷ hwn frenhinoedd yn eis-
tedd ar deyrngadair Dafydd, yn
marchogaeth mewn cerbydau, ac ar
feirch, efe a'i weision, a'i bobl.
5 Eithr oni wrandewch y geiriau
hyn, i mi fy hun y tyngaf, medd yr
Arglwydd, y bydd y tŷ hwn yn
anghyfanedd.
6 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd am dŷ brenin Juda; Gilead
*wyt* i mi, *a* phen Libanus: *eto* yn

---

Dafydd; *Bernwch uniondeb y bore*—yn fore, neu yn gyntaf peth. Neu gall ei fod yn enwi y 'bore,' am mai yn y bore y cynaliai yr Iuddewon eu llysoedd barn. *Ac achubwch y gorthrymedig o law y gorthrymwr*—yr hwn a fynai wneyd cam âg ef dan rith cyfiawnder; *rhag i'm llid dori allan fel tân*—yr hwn ni all neb ei ddiffodd; *o herwydd drygioni eich gweithredoedd*—a'ch parhad cyndyn chwi yn yr unrhyw. Fel hyn yr oedd gobaith yn cael ei ddal o'u blaen yn barhaus, ar yr ammod o ddiwygiad cyffredinol.

Adn. 13. *Wele fi yn dy erbyn*] Sef yn erbyn Jerusalem a'i thrigolion; *yr hon wyt yn preswylio y dyffryn, a chraig y gwastadedd*—meddylir fod yma gyfeiriad at safle Jerusalem, yr hon oedd wedi ei hadeiladu mewn rhan ar ddau fynydd creigiog, ac yn cyraedd i'r dyffryn islaw; ac yr oedd Seion, dinas Dafydd, yn briodol yn *graig*, wedi ei chryfhau yn gadarn gan natur a chelfyddyd. *Y rhai a ddywedwch*—yn eich balchder a'ch rhyfyg, fel y Jebusiaid gynt, 2 Sam. v. 6, 7; *Pwy a ddaw i waered i'n herbyn?*—pwy a *all* neu a *feiddia* ddyfod? *Pwy a ddaw i'n haneddau*—i'n hyspeilio a'n lladd ni?

Adn. 14. *Ond mi a ymwelaf â chwi*] I dalu i chwi yn ol ffrwyth eich gweithredoedd; *a mi a gyneuaf dân yn ei choedwig*—yn ei thai aml ac uchel fel coedwig, ac yn ei llwyni a'i gerddi; *ac efe a ysa bob dim o'i hamgylch hi*—yn gystal ag o'i mewn.

PEN. XXII. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth ei was Jeremi; *Dos di i waered i dŷ brenin Juda*—tybia *Dahler* i'r hyn a adroddir yma gymeryd lle yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad *Zedeciah*, yr hwn ni enwir yma, fel y tybia rhai, am ddarfod ei enwi ef yn y bennod o'r blaen. Tybia ereill i hyn gael ei draddodi dan deyrnasiad *Joacim* neu *Jehoiacim*, gan y sonir am ei ragflaenydd digyfrwng ef wedi myned eisioes i gaethiwed, adn. 10, 11, a chan y rhagfynegir am farwolaeth Jehoiacim ei hun, adn. 18.

Adn. 2. *Gwrandaw air yr Arglwydd, frenin Juda*] Sef Jehoiacim neu Zedeciah, adn. 1; *yr hwn wyt yn eistedd ar frenhinfainc Dafydd*—fel hyn y mae y proffwyd yn adgofio iddo addewidion Duw i deulu Dafydd, os byddai iddynt fyw mewn ufydd-dod i'w ewyllys ef, 1 Bren. viii. 25; *ti, a'th weision, a'th bobl*—ei lyswyr a'i swyddogion; *y rhai sydd yn dyfod i mewn trwy y pyrth hyn*—sef trwy byrth tŷ y brenin, i'r hwn yr anfonwyd y proffwyd, adn. 1.

Adn. 3. *Gwnewch farn a chyfiawnder*] I'ch holl ddeiliaid; *gwaredwch y gorthrymedig*—gwel ar pen. xxi. 12; *na wnewch gam*—â neb; *ac na threisiwch y dyeithr, yr amddifad, na'r weddw*—y rhai sydd yn fwy analluog na neb i'w hamddiffyn eu hunain; *ac na thywelltwch waed gwirion yn y lle hwn*—trwy gondemnio y diniwed i farwolaeth. Cyhuddir y brenin hwn o'r pechodau hyny, adn. 17.

Adn. 4. *Canys os gan wneuthur y gwnewch y peth hyn*] Sef barn a chyfiawnder; *daw trwy byrth y tŷ hwn frenhinoedd, &c.*—gwel ar pen. xvii. 25.

Adn. 5. *Eithr oni wrandewch y geiriau hyn*] Fel ag i ufyddhau iddynt; *i mi fy hun y tyngaf*—i sicrhau dianwadalwch fy mwriad, Heb. vi. 16—18; *y bydd y tŷ hwn yn anghyfanedd*—sef y palas hwn, heb un brenin o'i fewn, mwy na deiliaid yn y ddinas a'r deyrnas.

Adn. 6. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd am dŷ brenin Juda*] Ac am ei holl ddinasoedd ef, fel y gwelwn yn niwedd yr

ddiau mi a'th wnaf yn ddiffaeth-
wch, *ac* yn ddinasoedd anghyfan-
eddol.
7 Parotoaf hefyd i'th erbyn an-
rheithwyr, pob un â'i arfau; a hwy
a dorant dy ddewis gedrwydd, ac
a'*u* bwriant i'r tân.
8 A chenhedloedd lawer a ânt heb-
law y ddinas hon, ac a ddywedant
bob un wrth ei gilydd, Paham y
gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r
ddinas fawr hon?
9 Yna yr atebant, Am iddynt ym-
wrthod â chyfammod yr Arglwydd
eu Duw, ac addoli duwiau dyeithr,
a'u gwasanaethu hwynt.
10 Nac ŵylwch dros y marw, ac
na ymofidiwch am dano, *ond* gan
ŵylo ŵylwch am yr hwn sydd yn
myned ymaith: canys ni ddychwel
mwyach, ac ni wel wlad ei enedig-
aeth.
11 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd am Salum mab Josiah bren-
in Juda, yr hwn a deyrnasodd yn lle
Josiah ei dad, yr hwn a aeth allan
o'r lle hwn; Ni ddychwel efe yno
mwyach.
12 Eithr yn y lle y caethgludasant
ef iddo, yno y bydd efe marw; ac ni
wel efe y wlad hon mwyach.
13 ¶ Gwae yr hwn a adeilado ei
dŷ trwy anghyfiawnder, a'i ystaf-
ellau trwy gam; gan beri i'w gy-
mydog ei wasanaethu yn rhad, ac
heb roddi iddo am ei waith:
14 Yr hwn a ddywed, Mi a adeil-
adaf i mi dŷ eang, ac ystafellau

---

adnod hon; *Gilead wyt i mi*—yr hon oedd y rhan fwyaf ffrwythlon o'r wlad; *a phen Libanus*—y mynydd uwchaf yn Israel; cysgod tra addas o ddyrchafiad ac urddas y brenin a'i deulu yn y wladwriaeth: *eto yn ddiau*—os na wrandewi fy ngeiriau hyn; *mi a'th wnaf yn ddiffaethwch*—diffrwyth, er dy fod yn awr fel Gilead; *ac yn ddinasoedd anghyfaneddol*—heb drigolion ynddynt, er fod dy freintiau yn awr yn uchel fel pen Libanus.

Adn. 7. *Parotoaf hefyd i'th erbyn anrheithwyr*] Sef byddinoedd creulon y Caldeaid; *pob un â'i arfau*—dinystriol yn ei law: *a hwy a dorant dy ddewis gedrwydd*—dy dai dyrchafedig, a'u trigolion uchel eu breintiau; *ac a'u bwriant i'r tân*—a'u llwyr ddinystriant, fel llosgi coed sychion.

Adn. 8. *A chenhedloedd lawer a ânt heblaw y ddinas hon*] Neu '*heibio* y ddinas hon;' *ac a ddywedant bob un wrth eu gilydd*—wrth weled ei hadfeilion a'i lludw; *Paham y gwnaeth yr Arglwydd fel hyn i'r ddinas fawr hon?*—yr oedd Jerusalem yn fawr o ran eangder ei therfynau, amledd a gwychder ei hadeiladau, cryfder ei chaerau a'i thyrau, lluosogrwydd ei thrigolion, a helaethrwydd ei chyfoeth a'i thrysorau.

Adn. 9. *Yna yr atebant*] I'w gilydd; *Am iddynt ymwrthod â chyfammod yr Arglwydd eu Duw*—yr hwn a wnaed yn Horeb, ac yr ymrwymasant hwythau i'w gadw, Exod. xxiv. 3—8; *ac addoli duwiau dyeithr*—yn lle addoli a gwasanaethu y gwir Dduw.

Adn. 10. *Nac ŵylwch dros y marw*] Am farwolaeth y brenin duwiol *Josiah*, yr hwn a laddwyd gan yr Aifftiaid, a'r hwn y galarai yr Iuddewon yn fawr ar ei ol, 2 Cron. xxxv. 20—25: *ac na ymofidiwch am dano*—canys y mae ei enaid ef yn ddedwydd mewn byd arall, a chymerwyd ef ymaith cyn i'r drygau hyn gael eu tywallt ar y wlad: *ond gan ŵylo ŵylwch am yr hwn sydd yn myned ymaith*—sef am ei fab ef, yr hwn a ddygwyd yn rhwym i'r Aifft: *canys ni ddychwel mwyach*—o'r Aifft, *ac ni wel wlad ei enedigaeth*—canys efe a fydd marw yn yr Aifft, 2 Bren. xxiii. 31—34.

Adn. 11. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd am Salum mab Josiah*] Yr hwn yn gyffredin a elwir *Joahaz* neu *Joachaz*. Y mae yn debyg mai *Salum* oedd ei enw ef cyn ei wneuthur yn frenin, ac iddo wedi hyny gael ei droi yn *Joachaz*, fel y trowyd *Eliacim* yn *Joacim*, a *Mattaniah* yn *Zedeciah*, 2 Bren. xxiii. 34, a xxiv. 17. *Yr hwn a deyrnasodd yn lle Josiah ei dad*—am dri mis yn unig, 2 Bren. xxiii. 30, 33; *yr hwn a aeth allan o'r lle hwn*—sef o Jerusalem, yn garcharor i'r Aifft: *Ni ddychwel efe yno mwyach*—fel y dywedir isod.

Adn. 12. *Eithr yn y lle y caethgludasant ef iddo*] Sef yr Aifft; *yno y bydd efe marw*—am iddo mewn tri mis o amser adferu yr eilunaddoliaeth a ddystrywiesid gan ei dad duwiol: *ac ni wel efe y wlad hon mwyach*—yr hyn a ddywedir yma dair gwaith, i ddangos sicrwydd y peth.

Adn. 13. *Gwae yr hwn a adeilado ei dŷ trwy anghyfiawnder*] Addefir yn gyffredin fod y proffwyd yma yn cyfeirio at *Jehoiacim*, yr hwn a ddaeth yn frenin ar ol ei frawd *Salum;* ond nid yw pawb yn cydweled pa un a lefarwyd y geiriau hyn wrth *Jehoiacim* yn ei amser ef, ynte am dano ef yn amser *Zedeciah*, er rhybydd i hwnw: gwel ar adn. 1, 18. *Gan beri i'w gymydog ei wasanaethu yn rhad*—heb roddi tâl i'w ddeiliaid am eu gwaith.

Adn. 14. *Yr hwn a ddywed*] Yn ei feddwl ei hun, neu wrth ei dywysogion; *Mi a adeiladaf i mi dŷ eang*—i fyw ynddo mewn llwyddiant a dedwyddwch ar yr amseroedd gofidus hyn; *ac ystafellau helaeth*—Hebr., 'ystafellau i'r gwynt,' i dderbyn yr awelon oerion ac adfywiol i mewn o bob tu: *ac a nadd iddo ffenestri*—gwychion a lluosog; *a llofft o gedrwydd*—wedi ei murio a'i llawrio â chedrwydd; *wedi ei lliwio â fermilion*—lliw coch, hardd, a drudfawr.

Adn. 15. *A gei di deyrnasu, am i ti ymgau mewn cedrwydd?*] A fydd i'th dŷ hardd

helaeth; ac a nadd iddo ffenestri, a llofft o gedrwydd, wedi ei lliwio â fermilion.
15 A gei di deyrnasu, am i ti ymgau mewn cedrwydd? oni fwytaodd ac oni yfodd dy dad, ac oni wnaeth efe farn a chyfiawnder, *ac* yna *y bu* dda iddo?
16 Efe a farnodd gŵyn y tylawd a'r anghenus; yna y llwyddodd: onid fy adnabod i *oedd* hyn? medd yr Arglwydd.
17 Er hyny dy lygaid di a'th galon nid *ydynt* ond ar dy gybydd-dod, ac ar dywallt gwaed gwirion, ac ar wneuthur trais a cham.
18 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim mab Josiah brenin Juda, Ni alarant am dano, *gan ddywedyd,* O fy mrawd! neu, O fy chwaer! ni alarant am dano ef, *gan ddywedyd,* O ior! neu, O ei ogoniant ef!
19 A chladdedigaeth asyn y cleddir ef, wedi ei lusgo a'i daflu tuhwnt i byrth Jerusalem.
20 ¶ Dring i Libanus, a gwaedda; cyfod dy lef yn Basan, a bloeddia o'r bylchau: canys dinystriwyd y rhai oll a'th garant.
21 Dywedais wrthyt pan oedd esmwyth arnat: tithau a ddywedaist, Ni wrandawaf. Dyma dy arfer o'th ieuenctid, na wrandewaist ar fy llais.
22 A gwynt a ysa dy holl fugeiliaid, a'th gariadau a ânt i gaethiwed: yna y'th gywilyddir, ac y'th waradwyddir am dy holl ddrygioni.

---

a mawreddog dy amddiffyn di rhag dy elynion, pan nesânt i'th ddiorseddu? *Oni fwytaodd ac oni yfodd dy dad*—mewn digonoldeb a chysur yn ei hen dŷ fel yr ydoedd? *Ac oni wnaeth efe farn a chyfiawnder*—i bawb o'i ddeiliaid, *ac yna y bu dda iddo*—am yr hyn y bendithiodd Duw ef trwy ei oes?

Adn. 16. *Efe a farnodd gŵyn y tylawd a'r anghenus*] Yn lle eu gorthrymu, fel y gwnaethost ti; *yna y llwyddodd*—trwy i Dduw ei fendithio ef am hyny. *Onid fy adnabod i oedd hyn?*—neu onid oedd ymddygiad duwiol Josiah yn brawf ei fod ef yn fy adnabod i mewn gwirionedd? Er mai ei ladd a gafodd Josiah yn y diwedd, eto efe a lwyddodd hyd hyny, a bu dda iddo o ran ei enaid ar ol hyny.

Adn. 17. *Er hyny dy lygaid di a'th galon nid ydynt ond ar dy gybydd-dod*] Er i ti gael y siamplau a'r cynghorion goraf gan dy dad duwiol Josiah; *ac ar dywallt gwaed gwirion*—trwy ddedfrydu y diniwed i farwolaeth pan fyddo hyny o ryw ennill i ti; *ac ar wneuthur trais a cham*—hyd yn nod â'th ddeiliaid dy hun.

Adn. 18. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim*] Yr hwn hefyd a elwir *Joacim.* Gellid meddwl oddiwrth yr adnod hon mai *Jehoiacim,* ac nid *Zedeciah* ei frawd, oedd brenin Juda y pryd hyn: gwel ar adn. 1. *Ni alarant am dano*—pan y bydd iddo farw; *gan ddywedyd, O fy mrawd! neu, O fy chwaer!*—hyny yw, ni alara neb am dano ef yn ol yr arferiad o alaru am frawd neu chwaer a fyddo wedi marw. Ond tybia rhai fod yr ymadrodd 'O fy *chwaer*,' yn arwyddo na fyddai i neb chwaith alaru ar ol ei wraig ef, y frenhines; neu gwyno i'r frenhines ar ol marwolaeth ei gŵr. *Ni alarant am dano ef, gan ddywedyd, O ior!*—hyny yw, 'O arglwydd frenin; *neu, O ei ogoniant ef!*—yr hwn a ddiffoddodd yn nghanol ei barch, ei anrhydedd, a'i ddefnyddioldeb. Y meddwl yw, na fyddai i neb alaru fel hyn ar ol brenin mor ddrwg a Jehoiacim.

Adn. 19. *A chladdedigaeth asyn y cleddir ef*] Yn ddibarch, ac heb alar gan neb ar ei ol; *wedi ei lusgo a'i daflu tuhwnt i byrth Jerusalem*—ond odid i Tophet, neu 'ddyffryn mab Hinnom,' pen. xix. 2, &c. Er i *Joachaz* o'i flaen gael ei gludo i'r Aifft, adn. 11, ac i *Joacin* ar ei ol gael ei gludo i Babilon, eto cafodd *Jehoiacim* fyw a marw yn Jerusalem: gwel ar 2 Bren. xxiv.

Adn. 20. *Dring i Libanus, a gwaedda, &c.*] Gan fod y berfau yma yn y rhyw fenywaidd yn y wreiddiol, ymddengys mai wrth ddinas Jerusalem neu wlad Judea y dywedir hyn, gan ei chymhell yn wawdlyd i fyned i benau y mynyddau uchel, megys Libanus a Basan, a gwaeddi am gymhorth gan y galluoedd cymydogaethol, ond yn ofer, trwy fod y rhai a dueddent i'w phleidio, yn enwedig yr Aifftiaid, wedi cael eu gorchfygu eu hunain gan Nebuchodonosor. *A bloeddia o'r bylchau*—Hebr., 'o'r cyffiniau, neu yr afonydd,' sef terfynau eu gwlad. *Canys dinystriwyd y rhai oll a'th garant*—dy gynghreirwyr cymydogaethol, y rhai y cydymffurfiaist â'u heilunaddoliaeth er mwyn ennill eu ffafr.

Adn. 21. *Dywedais wrthyt*] Trwy fy mhroffwydi, *pan oedd esmwyth arnat*—cyn i ddrygfyd dy ddal; hyny yw, dywedodd wrthynt y deuai drygfyd arnynt, os na fyddai iddynt edifarhau a diwygio. *Tithau a ddywedaist*—mewn ymddygiad, os nid mewn geiriau, *Ni wrandawaf*—ar dy rybyddion. *Dyma dy arfer o'th ieuenctid*—er pan ddaethost o'r Aifft, sef peidio gwrando ar fy llais.

Adn. 22. *A gwynt a ysa dy holl fugeiliaid*] Bydd i'th frenhinoedd, dy dywysogion, dy offeiriaid, a'th au-broffwydi, y rhai sydd yn llywodraethu dy achosion gwladol ac eglwysig, gael eu dyfetha trwy fy marnedigaethau i, fel y dyfethir planhigion gan wyntoedd poethion; *a'th gariadau a ânt i gaethiwed*—gwneir dy gynghreirwyr eu hunain yn gaethion gan y

23 Ti yr hon wyt yn trigo yn Libanus, yn nythu yn y cedrwydd, mor hawddgar fyddi pan ddelo gwewyr arnat, *fel* cnofeydd gwraig yn esgor!

24 *Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd, pe byddai Coniah mab Jehoiacim brenin Juda yn fodrwy ar fy neheulaw, diau y tynwn di oddiyno:

25 A mi a'th roddaf di yn llaw y rhai sydd yn ceisio dy einioes, ac yn llaw y rhai y mae arnat ofn eu hwynebau, sef i law Nebuchodonosor brenin Babilon, ac i law y Caldeaid.

26 Bwriaf dithau hefyd, a'th fam a'th esgorodd, i wlad ddyeithr, yr hon ni'ch ganwyd ynddi, ac yno y byddwch farw.

27 Ond i'r wlad y bydd arnynt hiraeth am ddychwelyd iddi, ni ddychwelant yno.

28 Ai delw ddirmygus ddrylliedig *yw* y gŵr hwn Coniah? ai llestr *yw* heb hoffder ynddo? paham y bwriwyd hwynt ymaith, efe a'i had, ac y taflwyd hwynt i wlad nid adwaenant?

29 O ddaear, ddaear, ddaear! gwrando air yr Arglwydd.

30 Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ysgrifenwch y gŵr hwn yn ddiblant, gŵr ni ffyna yn ei ddyddiau: canys ni ffyna o'i had ef un a eisteddo ar orseddfa Dafydd, nac a lywodraetho mwyach yn Juda.

---

Caldeaid, y rhai nas gallent eu gwaredu eu hunain chwaithach dy gynorthwyo di. *Yna y'th gywilyddir ac y'th waradwyddir am dy holl ddrygioni*—yn gadael y gwir Dduw, ac yn myned ar ol eilunod.

Adn. 23. *Ti yr hon wyt yn trigo yn Libanus*] Yn Jerusalem, yr hon o ran enwogrwydd a hyfrydwch a ellir ei chyffelybu i Libanus; neu ynte efe a gyfeiria at ei hadeiladau gwychion, y rhai a wnaed o gedrwydd. *Mor hawddgar fyddi*—mor addfwyn a gostyngedig; neu gall mai gwawdiaith yw y geiriau; *pan ddelo gwewyr arnat*—pan gospir di â'r barnedigaethau bygythiedig, y rhai y gellir eu cyffelybu i gnofeydd gwraig yn esgor!

Adn. 24. *Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd*] Yr hwn a dynga iddo ei hun, am na allai dyngu i neb oedd fwy; *pe byddai Coniah mab Jehoiacim brenin Juda yn fodrwy ar fy neheulaw*—o'r fath ag a wisgai brenhinoedd, ar yr hon yr oedd sêl y llywodraeth, i awdurdodi eu llythyrau a'u deddfau. Yr oedd y fodrwy hòno yn cael ei gwisgo gynt fel arwydd o'r frenhiniaeth; canys pan oedd Alexander yn marw, efe a roddodd ei fodrwy i Perdiccas, gan ei nodi ef trwy hyny yn olynydd iddo ar yr orsedd. Dywed *Roberts*, fod pob peth gwerthfawr neu ddymunol yn y dwyrain yn cael eu cyffelybu hyd heddyw i'r addurn hwn. *Diau y tynwn di oddiyno*—sef tydi Coniah, er dy fod mor agos ataf a modrwy ar fy neheulaw. Wrth y *Coniah* hwn y meddylir *Jechoniah*, yr hwn hefyd a elwir *Joacin;* a gelwir ef *Coniah*, naill ai am mai dyna oedd ei enw ef cyn myned i'r orsedd, fel y nodwyd ar adn. 11; neu ynte am i'r *Je*, rhan o enw Jehofa, gael eu tynu ymaith o'i enw ef mewn ffordd o ddirmyg arno.

Adn. 25. *A mi a'th roddaf di*] Ar ol i ti esgyn i'r orsedd; *yn llaw y rhai sydd yn ceisio dy einioes*—sef yn llaw Nebuchodonosor a'r Caldeaid.

Adn. 26. *Bwriaf dithau hefyd, a'th fam a'th esgorodd*] Yr hon yn debygol a'i dygasai ef i fyny yn annuwiol; *i wlad ddyeithr*—sef i Babilon; *ac yno y byddwch farw*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol: gwel ar 2 Bren. xxiv. 15.

Adn. 27. *Ond i'r wlad y bydd arnynt hiraeth am ddychwelyd iddi*] Sef Judea, gwlad eu genedigaeth; *ni ddychwelant yno*—byth mwyach, o herwydd eu drygioni.

Adn. 28. *Ai delw ddirmygus ddrylliedig yw y gŵr hwn Coniah?*] Ai rhywbeth tebyg i hen ddelw ddirmygus yw efe? *Ai llestr yw heb hoffder ynddo*—yr hwn nad yw dda i ddim ond i'w daflu ymaith? Ymddengys mai iaith y bobl yw y geiriau hyn, wrth glywed y bygythion uchod yn erbyn y brenin. *Paham y bwriwyd hwynt ymaith, efe a'i had*—i Babilon? neu paham y bygythir gwneyd hyn â hwy? Nid ydym i feddwl fod hyn wedi ei gyflawni eto, oddieithr y tybiwn mai Zedeciah oedd y pryd hyn ar yr orsedd: gwel ar adn. 1.

Adn. 29. *O ddaear, ddaear, ddaear!*] Sef gwlad Judea; *gwrando air yr Arglwydd*—yr hwn y mae Coniah yn gwrthod ei wrando; neu gwrando ar y farn drom a gyhoeddir yn ei erbyn ef. Gelwir ar y wlad dair gwaith i wrando, i'r dyben i osod mwy o bwys ar y cynghor.

Adn. 30. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth drigolion gwlad Judea, neu wrth y rhai a edrychent ar ol y taflenau achawl; *Ysgrifenwch y gŵr hwn yn ddiblant*—fel pe byddai yn ddiblant, neu heb blant i'w ddylyn ef ar yr orsedd, fel y dywedir yn niwedd yr adnod; *gŵr ni ffyna yn ei ddyddiau*—ni lwydda mewn dim a wnelo: *canys ni ffyna o'i had ef un a eisteddo ar orseddfa Dafydd*—fel brenin. Fod gan Jechoniah blant, a ymddengys oddiwrth yr adnod hon ac adn. 28, ac hefyd oddiwrth 1 Cron. iii. 17, 18; ond, fel y dywedir yma, ni chafodd un o'i had ef eistedd ar orseddfa Dafydd, na llywodraethu yn Juda. Brenin nesaf Juda oedd *Zedeciah*, ei ewythr ef brawd ei dad, 2 Bren. xxiv. 17; ac y mae hyn yn wir am blant hwnw hefyd, y rhai a laddwyd o flaen ei lygaid ef: gwel ar 2 Bren. xxv. 7.

## PENNOD XXIII.

GWAE y bugeiliaid sydd yn dy-
fetha ac yn gwasgaru defaid fy
mhorfa, medd yr Arglwydd.
2 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd Dduw Israel yn erbyn y bug-
eiliaid sydd yn bugeilio fy mhobl,
Chwi a wasgarasoch fy nefaid,
ac a'u hymlidiasoch, ac nid ymwel-
soch â hwynt: wele fi yn ymweled
â chwi, am ddrygioni eich gweith-
redoedd, medd yr Arglwydd.
3 A mi a gasglaf weddill fy nef-
aid o'r holl wledydd lle y gyrais
hwynt, a mi a'u dygaf hwynt dra-
chefn i'w corlanau; yna yr amlhant
ac y chwanegant.
4 Gosodaf hefyd arnynt fugeiliaid,
y rhai a'u bugeilia hwynt; ac nid
ofnant mwyach, ac ni ddychrynant,
ac ni byddant yn eisiau, medd yr
Arglwydd.
5 ¶ Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, y cyfodaf i Dda-
fydd Flaguryn cyfiawn, a Brenin
a deyrnasa ac a lwydda, ac a wna
farn a chyfiawnder ar y ddaear.
6 Yn ei ddyddiau ef yr achubir
Juda, ac Israel a breswylia yn ddi-
ogel: a hyn *fydd* ei enw *ar* yr hwn
y gelwir ef, YR ARGLWYDD EIN
CYFIAWNDER.

---

PEN. XXIII. Adn. 1. *Gwae y bugeiliaid*] Sef y llywodraethwyr gwladol ac eglwysig; *sydd yn dyfetha ac yn gwasgaru defaid fy mhorfa*—yn llygru moesau yr Iuddewon, ac yn peri iddynt gilio o'u gwlad. Ymddengys i lawer o'r Iuddewon duwiolaf orfod cilio o'u cartrefleoedd i wledydd ereill, cyn y caethgludiad i Babilon, i'r dyben i ochelyd gormes a thrais eu llywodraethwyr.

Adn. 2. *Chwi a wasgarasoch fy nefaid, ac a'u hymlidiasoch*] Fel y nodwyd uchod; *ac nid ymwelsoch â hwynt*—i geisio eu denu yn ol. *Wele fi yn ymweled â chwi*—mewn ffordd farnol, i'ch cospi am eich drygioni hwn.

Adn. 3. *A mi a gasglaf weddill fy nefaid*] Y rhai yn brin a ddiangasant rhag dinystr; *o'r holl wledydd lle y gyrais hwynt*—o Assyria, Caldea, a'r manau ereill lle y caethgludwyd hwynt o herwydd eu pechodau; *a mi a'u dygaf hwynt drachefn i'w corlanau*—i'w gwlad eu hunain, yn niwedd eu caethiwed, fel defaid i'w corlanau: *yna yr amlhant ac y chwanegant* — mewn nifer a chyfoeth yn Nghanaan.

Adn. 4. *Gosodaf hefyd arnynt fugeiliaid*] Wrth fodd fy nghalon; *y rhai a'u bugeilia hwynt*—Saes., 'a'u *portha* hwynt,' â gwybodaeth ac â deall, pen. iii. 15. *Ac nid ofnant mwyach, ac ni ddychrynant*—fel y gwnaent gynt, pan yn agored i ormes eu llywodraethwyr; *ac ni byddant yn eisiau*—neu wedi cilio o'u gwlad, adn. 1, 2.

Adn. 5. *Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd*] Sef dyddiau yr efengyl, fel eu deallir yn gyffredin; *y cyfodaf i Ddafydd*—o'i had ef; *Flaguryn cyfiawn*—yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a elwir yn fynych ar yr enw hwn, pen. xxxiii. 15, Esay iv. 2, a xi. 1, a liii. 2, Zech. iii. 8. Gelwir ef yma yn 'Flaguryn *cyfiawn*,' nid yn unig am ei fod yn gyfiawn ynddo ei hun, ond hefyd am ei fod yn cyfiawnhau ei bobl, ac yn eu gwneyd yn gyfiawn yn eu holl ymdriniaethau. *A Brenin a deyrnasa*—mewn cyfiawnder, *ac a lwydda*—yn ei holl waith, yr hwn fydd yn dra gwahanol i frenhinoedd presenol tŷ Dafydd, y rhai ni ffynant, pen. xxii. 30; *ac a wna farn a chyfiawnder ar y ddaear*—sef ar yr holl ddaear, ac nid yn ngwlad Judea yn unig: gwel ar Salm xcvi. 13.

Adn. 6. *Yn ei ddyddiau ef*] Sef yn ystod goruchwyliaeth yr efengyl; *yr achubir Juda*—âg iachawdwriaeth dragwyddol; *ac Israel a breswylia yn ddiogel*—sef Israel ysbrydol Duw, neu y gwir gredinwyr, y rhai a osodir allan yn fynych dan yr enwau hyn. Tybia rhai mai at ddyddiau Zorobabel neu Nehemiah y cyfeirir yma; ond ni bu y fath lwyddiant a diogelwch a hyn mewn un oes rhwng dychweliad yr Iuddewon o Babilon a dyfodiad Crist; gan hyny rhaid mai at ddyddiau ein Hiachawdwr y cyfeirir yma. *A hyn fydd ei enw ar yr hwn y gelwir ef*—y gelwir y Blaguryn a'r Brenin uchod gan bawb; YR ARGLWYDD EIN CYFIAWNDER—Hebr., 'JEHOFA ein cyfiawnder;'* hyny yw, Duw wedi



---

* Er fy mod yn credu mai yr hyn a ddywedwyd uchod yw ystyr yr adnodau hyn, eto dichon y bydd yn foddhaol gan rai weled beth a ddywed ereill ar y testyn pwysig hwn. Y LXX a'i cyfieithant, 'A dyma ei enw ar yr hwn y geilw yr Arglwydd ef, Josedek.' 'A dyma yr enw wrth yr hwn y galwant ef, sef yr Arglwydd, ein Gwneuthurwr cyfiawn.'—*Coverdale.* 'A dyma yr enw wrth yr hwn y gelwir ef, Yr Arglwydd, Awdwr ein dedwyddwch.'—*Dahler.* 'A dyma yr enw ar yr hwn y geilw Jehofa ef, Ein Cyfiawnder.'—*Blayney.* Dywed *Dr. Blayney* yn chwanegol, 'Diamau genyf y bydd i rai dramgwyddo wrthyf am eu hamddifadu hwy, trwy y cyfieithiad yma, o reswm hoff i brofi Duwdod ein Gwaredwr o'r Hen Destament. Ond nis gallaf fi wrth hyny: ni wnaethym ef gydag unrhyw ddrwg-fwriad, ond yn unig am fy mod yn meddwl, ac yn foesol sicr, na fydd i'r testyn, fel y mae yn sefyll, oddef yn briodol un ystyr arall. Y mae y LXX wedi ei gyfieithu felly o'm blaen i, mewn oes pryd nad allai fod un duedd na rhagfarn *dros* nac *yn erbyn* yr athrawiaeth rag-grybwylledig, athrawiaeth ag sydd yn cael ei phrofion *penderfynol* o'r Testament Newydd yn unig.' *Dr. A. Clarke* a ddywed, 'Y mae ein cyfieithiad presenol ni wedi ei fenthyca oddiwrth un *Cardmarden* (Rouen, 1566); ac yr wyf yn credu ei fod ef, a'r ystyr a roddir i'r geiriau hyn, yn annghywir. Y mae yn well genyf fi gyfieithiad *Blayney* nac un arall;

7 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd, pryd na
ddywedant mwyach, Byw yw yr
Arglwydd, yr hwn a ddyg feibion
Israel i fyny o wlad yr Aifft.
8 Eithr, byw yw yr Arglwydd,
yr hwn a ddyg i fyny, ac a dywys-
odd had tŷ Israel o dir y gogledd,
ac o bob gwlad lle y gyraswn i
hwynt; a hwy a gânt aros yn eu
gwlad eu hun.
9 ¶ O herwydd y proffwydi y
torodd fy nghalon ynof, fy holl
esgyrn a grynant: yr ydwyf fel un
meddw, ac fel un wedi i win ei orch-
fygu; o herwydd yr Arglwydd, ac
o herwydd geiriau ei santeiddrwydd
ef.
10 Canys llawn yw y ddaear o
odinebwyr: canys o herwydd llwon
y gofidiodd y ddaear, ac y sychodd
tirion leoedd yr anialwch; a'u hel-
ynt sydd ddrwg, a'u cadernid nid
*yw* union.
11 Canys y proffwyd a'r offeiriad
hefyd a ragrithiasant: yn fy nhŷ
hefyd y cefais eu drygioni hwynt,
medd yr Arglwydd.
12 Am hyny y bydd eu ffordd yn
llithrig iddynt yn y tywyllwch:
gyrir hwynt rhagddynt, a syrthiant
ynddi: canys myfi a ddygaf arnynt
ddrygfyd, *sef* blwyddyn eu gofwy,
medd yr Arglwydd.
13 Ar broffwydi Samaria y gwel-
ais hefyd beth diflas: proffwydasant
yn Baal, a hudasant fy mhobl Israel.
14 Ac ar broffwydi Jerusalem y

---

ymddangos mewn natur dyn, fel y gallai farw ac adgyfodi drosom, i'n cyfiawnhau ni oddiwrth ein pechodau trwy ei waed ei hun, a'n santeiddio trwy ei Ysbryd: gwel ar 1 Cor. i. 30.

Adn. 7, 8. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod, &c.*] Gwel y geiriau hyn wedi eu hegluro ar pen. xvi. 14, 15. Eithr tra nad ydynt yno yn cyfeirio ond at waredigaeth Israel o Babilon fel yn rhagori ar eu gwaredigaeth hwy gynt o'r Aifft, meddylir eu bod yma yn cyfeirio yn benaf at ragoriaeth y waredigaeth ysbrydol a ddeuai trwy yr 'Arglwydd ein cyfiawnder.' *A hwy a gânt aros yn eu gwlad eu hun*—hyny yw, yn y mwynhad o'u breintiau gwladol ac eglwysig pa le bynag y byddant. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at ddychweliad yr Iuddewon i Ganaan yn y dyddiau diweddaf, ond nid wyf fi yn meddwl mai hyny a olygir.

Adn. 9. *O herwydd y proffwydi y torodd fy nghalon ynof*] Meddylir fod proffwydoliaeth newydd yn dechreu yma yn erbyn y gau-broffwydi, â'r rhai wedi hyn y cysylltir yr offeiriaid, yr hon a draddodwyd dan deyrnasiad Jehoiacim. *Fy holl esgyrn a grynant*—yr oedd calon Jeremi ar dori gan ofid, a'i holl esgyrn ef yn crynu yn ei gorff, wrth feddwl am y farn a ddeuai ar y proffwydi twyllodrus hyny. *Yr ydwyf fel un meddw, &c.*—fel nas gwn yn iawn pa le yr wyf yn sefyll, na pha beth yr wyf yn ei wneyd na'i ddywedyd, wrth ystyried eu cyflwr hwy. *O herwydd yr Arglwydd*—o herwydd eu hanmharch hwy iddo ef, neu ei farn fygythiedig ef arnynt hwy; *ac o herwydd geiriau ei santeiddrwydd ef*—sef ei gyfraith santaidd, yr hon a dorir ganddynt.

Adn. 10. *Canys llawn yw y ddaear*] Sef gwlad Judea; *o odinebwyr*—o halogwyr y gwely priodasol, yn gystal ag eilunaddolwyr: *canys o herwydd llwon y gofidiodd y ddaear*—sef o herwydd anudoniaeth, celwydd, a chymeryd enw Duw yn ofer; *ac y sychodd tirion leoedd yr anialwch*—neu 'borfeydd y gwastadedd,' fel y gellir ei gyfieithu: *a'u helynt sydd ddrwg*—neu holl rediad eu bywyd; *a'u cadernid nid yw union*—sef eu gallu, eu hawdurdod, a'u llywodraeth.

Adn. 11. *Canys y proffwyd a'r offeiriad hefyd a ragrithiasant*] Y proffwydi, trwy eu celwyddau; a'r offeiriaid, trwy eu ffurfioldeb a'u twyll: *yn fy nhŷ hefyd y cefais eu drygioni hwynt*—lle yr ymgynullent dan yr esgus o'm haddoli a'm hanrhydeddu i; neu dygasant eu heilunaddoliaeth i mewn i'r deml.

Adn. 12. *Am hyny y bydd eu ffordd yn llithrig iddynt yn y tywyllwch*] Ar hyd yr hon ni allant rodio yn ddiogel, mwy na dynion ar hyd llwybr llithrig yn nhywyllwch y nos: *gyrir hwynt rhagddynt, a syrthiant ynddi*—trwy y farn a ddisgyn arnynt, Salm xxxv. 6: *canys myfi a ddygaf arnynt ddrygfyd, sef blwyddyn eu gofwy*—yn mlwyddyn eu gofwy, neu yn amser eu hymweliad barnedigaethol, pen. xi. 23.

Adn. 13. *Ar broffwydi Samaria*] Y rhai a berthynent i ddeg llwyth Israel, prif-ddinas pa rai oedd Samaria; *y gwelais hefyd beth diflas*—yn amser Ahab a'i olynwyr: *proffwydasant yn Baal*—yn enw Baal, neu gan honi eu bod yn derbyn datguddiadau oddiwrth Baal; *a hudasant fy mhobl Israel*—at bob math o eilunaddoliaeth a drygioni, am yr hyn y caethgludwyd hwynt i Assyria.

---

ac nis gellir profi ei fod yn dywedyd dim am gyfiawnder *cyfrifedig* Crist gan neb ag sydd yn deall y testyn gwreiddiol. Gyda golwg ar y rhai a roddant *ystyr* eu *credo* i'r geiriau, rhaid iddynt foddloni i sefyll allan o gofrestr y beirniaid Hebreig. Yr wyf fi yn credu fod *Iesu* yn *Jehofa*; ond yr wyf yn amau yn fawr a ydyw y testyn hwn yn ei alw ef felly. Ni ddylai un athrawiaeth mor hanfodol bwysig gael ei dodi i orphwys ar ddeongliad mor amheus ac anamddiffynadwy gan y testyn. Fod ein holl gyfiawnder, ein santeiddrwydd, a'n daioni, yn gystal a'r oll o'n hiachawdwriaeth, yn dyfod *trwyddo* EF, *oddiwrtho* EF, a *chanddo* EF, sydd gyflawn eglur oddiwrth yr ysgrythyrau; ond nid yw hwn yn un o'r testynau ag sydd yn cynal y gwirionedd tra phwysig yma: gwel ar pen. xxxiii.'

gwelais beth erchyll: tori priodas,
a rhodio mewn celwydd: cynorth-
wyant hefyd ddwylaw y drygionus,
fel na ddychwel neb oddiwrth ei
ddrygioni: y mae y rhai hyn oll i
mi fel Sodom, a'i thrigolion fel
Gomorra.
15 Am hyny fel hyn y dywed
Arglwydd y lluoedd am y proffwydi,
Wele, mi a'u bwydaf hwynt â'r
wermod, ac a'u diodaf hwynt â dwfr
bustl: canys oddiwrth broffwydi
Jerusalem yr aeth lledrith allan i'r
holl dir.
16 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Na wrandewch ar eiriau y
proffwydi sydd yn proffwydo i chwi:
y maent yn eich gwneuthur yn ofer:
gweledigaeth eu calon eu hunain a
lefarant, *ac* nid o enau yr Arglwydd.
17 Gan ddywedyd y dywedant
wrth fy nirmygwyr, Yr Arglwydd a
ddywedodd, Bydd i chwi heddwch;
ac *wrth* bob un sydd yn rhodio wrth
amcan ei galon ei hun y dywedant,
Ni ddaw arnoch niwed.
18 Canys pwy a safodd yn nghyf-
rinach yr Arglwydd, ac a welodd
ac a glywodd ei air ef? pwy hefyd
a ddaliodd ar ei air ef, ac a'i gwran-
dawodd?
19 Wele, corwynt yr Arglwydd
*a aeth allan mewn* llidiogrwydd, sef
corwynt angherddol a syrth ar ben
y drygionus.
20 Digofaint yr Arglwydd ni
ddychwel, nes iddo wneuthur, a nes
iddo gwblhau meddwl ei galon: yn
y dyddiau diweddaf y deallwch hyny
yn eglur.
21 Ni hebryngais i y proffwydi
*hyn*, eto hwy a redasant; ni lefarais
wrthynt, er hyny hwy a broffwyd-
asant.
22 A phe safasent yn fy nghyng-
hor, a phe traethasent fy ngeiriau

---

Adn. 14. *Ac ar broffwydi Jerusalem y gwelais beth erchyll*] Gwaeth nag ar broffwydi Samaria, trwy fod eu manteision crefyddol hwy yn fwy: *tori priodas*—trwy odinebu â gwragedd eu cymydogion, pen. xxix. 23; *a rhodio mewn celwydd*—gan gymeryd arnynt eu bod yn derbyn datguddiadau oddiwrthyf fi pryd nad oeddynt, a dywedyd celwydd yn eu hymddyddanion cyffredin. *Cynorthwyant hefyd ddwylaw y drygionus*—trwy ddywedyd na ddeuai arnynt niwed, adn. 17; *fel na ddychwel neb oddiwrth ei ddrygioni*—wrth eu coelio hwy. *Y mae y rhai hyn oll i mi fel Sodom*—yn ffiaidd yn fy ngolwg; *a'i thrigolion fel Gomorra*—fel trigolion Gomorra: gwel ar Esay i. 10.

Adn. 15. *Wele, mi a'u bwydaf hwynt â'r wermod, &c,*] Sef â barnedigaethau chwerwon fel wermod a bustl, pen. viii. 14, a ix. 15: *canys oddiwrth broffwydi Jerusalem yr aeth lledrith allan i'r holl dir*—gan eu bod yn caledu y bobl mewn drygioni, trwy addaw iddynt ddaioni, a chymeryd arnynt broffwydo yn enw y Duw digelwyddog, ac nid yn enw Baal, fel y gwnai proffwydi Samaria, adn. 13.

Adn. 16. *Na wrandewch ar eiriau y proffwydi*] Hyn; *y maent yn eich gwneuthur yn ofer*—yn eich twyllo ac yn eich niweidio: *gweledigaeth eu calon eu hunain a lefarant*—sef gweledigaeth hônedig, wedi ei dychymygu gan eu calon ddrwg eu hunain, ac nid wedi ei derbyn oddiwrthyf fi.

Adn. 17. *Gan ddywedyd y dywedant wrth fy nirmygwyr*] Wrth y rhai sydd yn diystyru fy awdurdod ac yn troseddu fy ngorchymynion; *Yr Arglwydd a ddywedodd, Bydd i chwi heddwch*—a minau heb ddywedyd hyny, eithr tystiais i'r gwrthwyneb, 'na bydd heddwch i'r rhai annuwiol,' Esay xlviii. 22, a lvii. 21: *ac wrth bob un sydd yn rhodio wrth amcan ei galon ei hun y dywedant*—fel oddiwrthyf fi; *Ni ddaw arnoch niwed*—er i chwi rodio yn ol eich tueddiadau llygredig! Fel hyn yr oeddynt yn caledu y bobl yn eu drygioni.

Adn. 18. *Canys pwy a safodd yn nghyfrinach yr Arglwydd*] I weled a chlywed ei air ef o berthynas i'r dirmygwyr uchod? *Pwy hefyd a ddaliodd ar ei air ef, ac a'i gwrandawodd?*—hyny yw, pwy o'r gau-broffwydi hyn a wnaeth hyny? Ond yr oedd yr Arglwydd yn arfer dangos ei gyfrinach i'r gwir broffwydi, Amos iii. 7.

Adn. 19. *Wele, corwynt yr Arglwydd*] Sef ei farnedigaethau dinystriol ef, fel corwynt neu boethwynt ystormus; *a aeth allan mewn llidiogrwydd*—neu 'a â allan,' yn erbyn y gau-broffwydi hyn, a'r rhai a wrandawant arnynt; *sef corwynt angherddol a syrth ar ben y drygionus*—er iddynt hwy ddywedyd i'r gwrthwyneb, adn. 17.

Adn. 20. *Digofaint yr Arglwydd ni ddychwel*] Nes iddo gyflawni ei fwriad ef: *yn y dyddiau diweddaf*—wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar i'w droi yn ol, neu wedi iddo eich goddiweddyd; *y deallwch hyny yn eglur*—trwy ei weled a'i deimlo.

Adn. 21. *Ni hebryngais i y proffwydi hyn*] Ni roddais i yr awgrymiad lleiaf iddynt ymgymeryd â'r gwaith hwn; *eto hwy a redasant*—iddo, nid i achub eneidiau, ond er mwyn esmwythyd, elw, neu barch: *ni lefarais wrthynt*—i roddi cenadwri yn eu genau; *er hyny hwy a broffwydasant*—a gyhoeddasant eu dychymygion eu hunain, gan hôni eu bod wedi derbyn datguddiad oddiwrthyf fi.

Adn. 22. *A phe safasent yn fy nghynghor*] Hyny yw, pe buasent yn fy nghyfrinach i, ac wedi eu galw yno genyf fi, adn. 18; *a phe traethasent fy ngeiriau i'm pobl*—pe buasent

i'm pobl; yna y gwnaethent iddynt
ddychwelyd o'u ffordd ddrwg, ac
oddiwrth ddrygioni eu gweithred-
oedd.
23 Ai Duw o agos *ydwyf* fi, medd
yr Arglwydd, ac nid Duw o bell?
24 A lecha un mewn dirgel-le-
oedd, fel nas gwelwyf fi ef? medd
yr Arglwydd: onid ydwyf fi yn
llenwi y nefoedd a'r ddaear? medd
yr Arglwydd.
25 Mi a glywais beth a ddywed-
odd y proffwydi sydd yn proffwydo
celwydd yn fy enw, gan ddywedyd,
Breuddwydiais, breuddwydiais.
26 Pa hyd y bydd *hyn* yn nghalon
y proffwydi sydd yn proffwydo cel-
wydd? ïe, proffwydi hudoliaeth eu
calon eu hunain *ydynt*.
27 Y rhai sydd yn meddwl peri
i'm pobl annghofio fy enw trwy eu
breuddwydion a fynegant bob un i'w
gymydog; fel yr annghofiodd eu
tadau fy enw, er mwyn Baal.
28 Y proffwyd sydd â breuddwyd
ganddo, myneged freuddwyd; a'r
hwn y mae ganddo fy ngair, llefared
fy ngair *mewn* gwirionedd: beth *yw*
yr ûs wrth y gwenith? medd yr
Arglwydd.
29 Onid *yw* fy ngair i megys tân;
medd yr Arglwydd; ac fel gordd
yn dryllio y graig?
30 Am hyny wele fi yn erbyn y

---

wedi eu hanfon i'w traethu; *yna y gwnaethent iddynt ddychwelyd o'u ffordd ddrwg, &c.* —hyny yw, troi y bobl hyn oddiwrth ddrygioni eu gweithredoedd fuasai eu hunig amcan, ac nid cael esmwythyd, parch, neu elw iddynt eu hunain.

Adn. 23. *Ai Duw o agos ydwyf fi*] Yr hwn ni fedraf weled pethau heb eu bod yn fy ymyl yn y nefoedd? *ac nid Duw o bell*—yn gallu canfod pethau ar y ddaear, neu yn y pellder mwyaf, fel y pethau agosaf? Fel pe dywedasai, Yr ydych chwi yn ymddwyn fel pe baech yn meddwl nad wyf fi yn hollbresenol a hollwybodol.

Adn. 24. *A lecha un mewn dirgel-leoedd, fel nas gwelwyf fi ef?*] A ellwch chwi y gau-broffwydi, neu rai o'ch dysgyblion, ymguddio o'm gwyddfod i, neu ochel fy marnedigaethau? *Onid ydwyf fi yn llenwi y nefoedd a'r ddaear* —ac felly yn bresenol yn mhob man ar yr un waith, ac yn adnabod pawb, yn nghyda'u meddyliau, eu geiriau, a'u gweithredoedd?

Adn. 25. *Mi a glywais beth a ddywedodd y proffwydi*] Celwyddog hyn wrth y bobl; *gan ddywedyd, Breuddwydiais, breuddwydiais* — cefais ddatguddiad dwyfol oddiwrth Dduw yr awr hon trwy freuddwyd.

Adn. 26. *Pa hyd y bydd hyn yn nghalon y proffwydi sydd yn proffwydo celwydd?*] Pa hyd y goddefaf iddynt hwy fyned yn mlaen fel hyn? *Ie, proffwydi hudoliaeth eu calon eu hunain ydynt*—y rhai sydd yn traethu dychymygion twyllodrus eu calon lygredig eu hunain.

Adn. 27. *Y rhai sydd yn meddwl peri i'm pobl annghofio fy enw*] Gan eu hudo oddiwrth fy addoliad a'm gwasanaeth i; *trwy eu breuddwydion*—neu eu ffug-weledigaethau, y rhai a fynegant bob un i'w gymydog; *fel yr annghofiodd eu tadau fy enw er mwyn Baal*— i fyned i wasanaethu Baal yn fy lle i.

Adn. 28. *Y proffwyd sydd â breuddwyd ganddo*] Sef y gau-broffwyd, yr hwn a broffesa ei fod wedi cael datguddiad dwyfol trwy freuddwyd, adn. 25; *myneged freuddwyd*—adrodded yr hyn a welodd yn ei freuddwyd: *a'r hwn y mae ganddo fy ngair*—sef y gwir broffwyd, yr hwn a gawsai wir ddatguddiad; *llefared fy ngair mewn gwirionedd*—traethed yr hyn a dderbyniodd oddiwrthyf fi; ac yna, fel pe dywedasai, bydd yn hawdd i bawb weled y gwahaniaeth sydd rhwng breuddwydion y gau-broffwydi, a'r oraclau dwyfol a draethir gan y gwir broffwydi; ac adnabod pwy sydd o anfoniad Duw, a phwy nid yw. *Beth yw yr ûs wrth y gwenith*—o ran pwys neu werth? Fel pe dywedasai, Y mae cymaint o wahaniaeth rhwng eu breuddwydion hwy a'm datguddiadau i, ag sydd rhwng yr ûs a'r gwenith.

Adn. 29. *Onid yw fy ngair i megys tân*] 'Yn fywiol a nerthol, yn alluog i brofi dynion fel y profir metteloedd mewn ffwrn, ac yn barod i losgi i fyny yr hyn ni ddeil y prawf?'—*Benson.* Ond yr wyf fi yn meddwl mai cyfeiriad sydd yma at *air y broffwydoliaeth*, yn llosgi yn nghalon y gwir broffwyd pan ei datguddir iddo, yr hwn nis gall efe ymattal rhag ei draethu, mwy na phe byddai tân wedi ei gau o fewn ei esgyrn ef, pen. xx. 9. *Ac fel gordd yn dryllio y graig?*—hyny yw, onid yw efe, pan ei cyhoeddir, yn cael ei ddylyn â gallu dwyfol, nes peri i ddynion deimlo ei bwys a'i rym? Tybia rhai fod yma gyfeiriad at yr arferiad o *losgi* cerig yn cynwys mŵn, i'r dyben i'w malurio yn llwch. 'Gwelais hwynt yn Nghernyw,' ebai *Clarke*, 'yn rhostio y *meini alcan* yn y tân, cyn iddynt eu gosod dan weithrediad yr ordd yn y felin. Yr oedd y tân yn ysgaru yr *arsenic* oddiwrth y *mŵn*, ac yna yr oedd yn hawdd eu malu yn llwch â morthwylion y felin; wedi hyny, wrth olchi y cwbl mewn dwfr, yr oedd y gronynau alcan yn suddo i'r gwaelod, tra yr oedd y rhanau ysgafnaf yn myned ymaith gyda'r dwfr; ac fel hyn ceid y mettel yn lân a phur. Os at hyn y mae y cyfeiriad, y mae yn dra phriodol.' Ond pa fodd bynag y deallwn y geiriau, rhaid i ni beidio meddwl, gyda rhai, fod yr ysgrythyrau santaidd yn hollol ddigonol o honynt eu hunain i oleuo, argyhoeddi, a throi yr enaid, ac nad oes dim angen am yr Ysbryd Glân. Rhaid i'r *tân* ei hun gael ei gymhwyso gan rywun mewn trefn i effeithio; a sicr yw nas gall yr *ordd* ddryllio y graig oddieithr ei

proffwydi, medd yr Arglwydd, y
rhai sydd yn lladrata fy ngeiriau
bob un oddiar ei gymydog.
31 Wele fi yn erbyn y proffwydi,
medd yr Arglwydd, y rhai a lyfn-
hant eu tafodau, ac a ddywedant,
Efe a ddywedodd.
32 Wele fi yn erbyn y rhai a broff-
wydant freuddwydion celwyddog,
medd yr Arglwydd, ac a'u myneg-
ant, ac a hudant fy mhobl â'u cel-
wyddau, ac â'u gwagedd, a mi heb
eu gyru hwynt, ac heb orchymyn
iddynt: am hyny ni wnant ddim lles
i'r bobl hyn, medd yr Arglwydd.
33 ¶ A phan ofyno y bobl hyn, neu
y proffwyd, neu yr offeiriad, i ti, gan
ddywedyd, Beth *yw* baich yr Ar-
glwydd? yna y dywedi wrthynt, Pa
faich? eich gwrthod a wnaf, medd
yr Arglwydd.
34 A'r proffwyd, a'r offeiriad, a'r
bobl, y rhai a ddywedo, Baich yr
Arglwydd, myfi a ymwelaf â'r gŵr
hwnw, ac â'i dŷ.
35 Fel hyn y dywedwch bob un
wrth ei gymydog, a phob un wrth
ei frawd, Beth a atebodd yr Ar-
glwydd? a pha beth a lefarodd yr
Arglwydd?
36 Ond am faich yr Arglwydd na
wnewch goffa mwyach; canys baich
i bawb fydd ei air ei hun: o her-
wydd chwychwi a ŵyrasoch eiriau y
Duw byw, Arglwydd y lluoedd, ein
Duw ni.
37 Fel hyn y dywedi wrth y proff-
wyd, Pa ateb a roddodd yr Ar-

---

defnyddio gan weithiwr galluog. Ac *Ysbryd Duw* yn unig a all gymhwyso y *gair* fel hyn; canys cawn ef yn cael ei *ddarllen* yn fynych, a'i *lefaru* yn fynych, heb gynyrchu unrhyw effeithiau achubol.

Adn. 30. *Am hyny wele fi yn erbyn y proffwydi*] Sef y gau-broffwydi; *y rhai sydd yn lladrata fy ngeiriau bob un oddiar ei gymydog*—oddiar wir broffwyd, i'w cymysgu â'u celwyddau eu hunain, neu i gyhoeddi mai wrthynt *hwy* y llefarasai Duw.

Adn. 31. *Wele fi yn erbyn y proffwydi—y rhai a lyfnhant eu tafodau*] I broffwydo pethau esmwyth a gwenieithus i'r bobl yn ol eu dychymygion eu hunain; *ac a ddywedant, Efe a ddywedodd*—yr Arglwydd a ddywedodd y 'bydd i chwi heddwch,' adn. 17.

Adn. 32. *Wele fi yn erbyn y rhai a broffwydant freuddwydion celwyddog*] Gan gymeryd arnynt eu bod wedi cael datguddiad trwy freuddwyd oddiwrth Dduw, adn. 25; *ac a hudant fy mhobl â'u celwyddau*—oddiar yr iawn ffordd; *ac â'u gwagedd*—sef eu haeriadau gwâg a disail; *a mi heb eu gyru hwynt*—i broffwydo felly, na gwneuthur datguddiad iddynt, adn. 21: *am hyny ni wnant ddim lles i'r bobl hyn*—namyn niwed dirfawr.

Adn. 33. *A phan ofyno y bobl hyn, neu y proffwyd, neu yr offeiriad, i ti*] Jeremi, mewn gwawd a dirmyg; *Beth yw baich yr Arglwydd*—y waith hon? Felly y galwai y gwatwarwyr hyn broffwydoliaethau Jeremi, am ei fod yn cyhoeddi barnedigaethau trymion, fel *baich*, arnynt hwy. *Yna y dywedi wrthynt, Pa faich*—yr ydych chwi yn ei feddwl? Fel pe dywedasai, Os ydych chwi am wybod bwriad yr Arglwydd o berthynas i chwi, chwi a gewch ei wybod er eich gwae. *Eich gwrthod a wnaf, medd yr Arglwydd*—fel y wrthodasoch chwithau finau. Chwi a roddir i fyny i ddwylaw eich gelynion, i gael eich dyfetha neu eich caethiwo ganddynt; a dyna ddigon o *faich* i chwi! Ond y mae y *Syriaeg* a'r *Galdeaeg* yn darllen diwedd yr adnod fel hyn: 'Yna y dywedi wrthynt, *Chwi yw'r baich:* eich gwrthod a wnaf, medd yr Arglwydd.'

Adn. 34. *A'r proffwyd, a'r offeiriad, a'r bobl*] Y rhai a ddywedant yn annuwiol a gwatwarllyd, *Baich yr Arglwydd*—hyny yw, y rhai a alwant ei farnau cyfiawn ef felly, neu gyhoeddiad yr unrhyw gan ei wir broffwyd ef; *myfi a ymwelaf â'r gŵr hwnw, ac â'i dŷ*—myfi a'i cospaf ef fel na byddo iachâd: gwel ar 2 Cron. xxxvi. 16.

Adn. 35. *Fel hyn y dywedwch*] Neu y *dylech* ddywedyd wrth eich gilydd, yn lle 'gwatwar cenadau Duw, a thremygu ei eiriau ef;' *Beth a atebodd yr Arglwydd*—trwy ei wir broffwyd? *a pha beth a lefarodd yr Arglwydd*—gyda golwg arnom ni? Dylech arfer geiriau mwy gweddus a pharchus wrth ymofyn am ewyllys Duw, ac nid dywedyd, '*Baich* yr Arglwydd.'

Adn. 36. *Ond am faich yr Arglwydd na wnewch goffa mwyach*] Yn watwarllyd felly; *canys baich i bawb fydd ei air ei hun*—yr hwn a lefara efe yn ysgafn ac anmharchus, neu mewn gwawd; hyny yw, bydd y *gosp* am y cyfryw yn ddigon o *faich* iddo ef. *O herwydd chwychwi a ŵyrasoch eiriau y Duw byw*—gan roddi ystyr arall iddynt, neu eu gwawdio, yn lle eu credu, a chymeryd rhybydd oddiwrthynt. Gelwir Jehofa yma y *Duw byw*, i osod allan ei ragoriaeth ef ar eu heilunod meirwon hwy; ac *Arglwydd y lluoedd*, i ddangos ei awdurdod ef ar bawb; a'n *Duw ni*, i arwyddo y dylasai efe gael ei barchu a'i anrhydeddu gan bawb o honynt fel eu Duw cyfammodol.

Adn. 37. *Fel hyn y dywedi wrth y proffwyd*] Neu fel hyn y dylai pawb ofyn yn barchus i wir broffwyd yr Arglwydd; *Pa ateb a roddodd yr Arglwydd i ti*—pan yr oeddit yn ymofyn âg ef yn ein hachos ni? *a pha beth a lefarodd yr Arglwydd*—wrthyt am danom ni? Byddai iaith fel hyn yn fwy gweddus o lawer i bawb o honoch: gwel ar adn. 35.

glwydd i ti? a pha beth a lefarodd
yr Arglwydd?
38 Ond gan eich bod yn dywedyd,
Baich yr Arglwydd; am hyny fel
hyn y dywed yr Arglwydd, Am i
chwi ddywedyd y gair hwn, Baich
yr Arglwydd, a mi wedi anfon atoch,
gan ddywedyd, Na ddywedwch,
Baich yr Arglwydd:
39 Am hyny wele, myfi a'ch llwyr
annghofiaf chwi, ac mi a'ch gadawaf
chwi, a'r ddinas yr hon a roddais i
chwi ac i'ch tadau, *ac a'ch bwriaf*
allan o'm golwg.
40 A mi a roddaf arnoch warth-
rudd tragwyddol, a gwaradwydd
tragywydd, yr hwn nid annghofir.

## PENNOD XXIV.

YR Arglwydd a ddanghosodd i mi,
ac wele ddau gawell o ffigys
wedi eu gosod ar gyfer teml yr Ar-
glwydd, wedi i Nebuchodonosor
brenin Babilon gaethgludo Jeconiah
mab Jehoiacim brenin Juda, a thy-
wysogion Juda, gyda'r seiri a'r
gofaint o Jerusalem, a'u dwyn i
Babilon.
2 Un cawell *oedd* o ffigys da iawn,
fel ffigys yr addfediad cyntaf: a'r
cawell arall *oedd* o ffigys drwg iawn,
y rhai ni ellid eu bwyta rhag eu
dryced.
3 Yna y dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Beth a weli di, Jeremi?
A mi a ddywedais, Ffigys: y ffigys
da, yn dda iawn; a'r rhai drwg, yn
ddrwg iawn, y rhai ni ellir eu bwyta
rhag eu dryced.
4 ¶ Yna y daeth gair yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd,
5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Duw Israel, Fel y ffigys da hyn,

---

Adn. 38. *Ond gan eich bod yn dywedyd, Baich yr Arglwydd*] Sef yn parhau i'w ddywedyd yn watwarllyd, hyd yn nod ar ol i mi anfon Jeremi atoch i wahardd hyny. Defnyddir yr ymadrodd hwn gan rai o'r proffwydi eu hunain, Zech. ix. 1; gan hyny nid oedd yr Arglwydd yn gwahardd y defnyddiad parchus o hono gan ei weision, eithr y defnyddiad anmharchus o hono gan y gwatwarwyr hyn.

Adn. 39. *Am hyny wele, myfi a'ch llwyr annghofiaf chwi*] Fel fy mhobl gyfammodol; *a mi a'ch gadawaf chwi*—a'ch rhoddaf i fyny i ddwylaw eich gelynion; *a'r ddinas yr hon a roddais i chwi ac i'ch tadau*—sef Jerusalem, yr hon a roddasai Duw i fod yn gyrchle parhaus i'r holl lwythau ddyfod iddo i'w addoli ef; *ac a'ch bwriaf allan o'm golwg*—o fangre preswylfod grasol Duw, i Babilon annuwiol ac eilunaddolgar. Fe allai fod yma gyfeiriad hefyd at eu cyflwr gwasgaredig hwy yn y dyddiau hyn.

Adn. 40. *A mi a roddaf arnoch warthrudd tragwyddol*] Am i chwi fy ngwarthruddo i a'm proffwydi; *a gwaradwydd tragywydd, yr hwn nid annghofir*—genych chwi eich hunain, na chan ereill. Y mae hwn yn awr ar gof yn yr ysgrythyrau; ac y mae yr Iuddewon hyd heddyw yn ddirmygus yn ngolwg pawb trwy yr holl wledydd lle y gwasgarwyd hwynt, am iddynt wrthryfela yn erbyn Duw mor dda, a gwrthod Iachawdwr mor alluog ac ewyllysgar.

PEN. XXIV. Adn. 1. *Yr Arglwydd a ddanghosodd i mi*] Yn debygol mewn gweledigaeth: *ac wele ddau gawell o ffigys wedi eu gosod ar gyfer teml yr Arglwydd*—yn nghyntedd y deml, ac ar gyfer porth y deml ond odid, lle yr arferai yr Iuddewon ddwyn eu blaenffrwythau yn ol y gyfraith, Deut. xxvi. 2—4. *Wedi i Nebuchodonosor brenin Babilon gaethgludo Jeconiah fab Jehoiacim*—neu 'Joacin fab Joacim,' fel ei gelwir yn fynych; *gyda'r seiri a'r gofaint o Jerusalem, a'u dwyn i Babilon*—am yr hyn y darllenwn yn 2 Bren. xxiv. 15, 16, a 2 Cron. xxxvi. 9, 10. Meddylir i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraddodi yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Zedeciah, oddeutu deg mlynedd cyn dinystr Jerusalem gan y Caldeaid.

Adn. 2. *Un cawell oedd o ffigys da iawn*] Yn gosod allan yr Iuddewon hyny a gaethgludesid yn amser *Joacin*, a chyn hyny, adn. 5—7. *Fel ffigys yr addfediad cyntaf*—yr oedd un math o ffigys, y rhai goraf, yn addfed tua diwedd Mehefin; ac ereill, heb fod cystal, yn addfed tua dechre Awst: gwel ar Mat. xxi. 19, Marc xi. 13. *A'r cawell arall oedd o ffigys drwg iawn*—yn arddangos yr Iuddewon a gaethgludid yn amser *Zedeciah*, adn. 8—10; *y rhai ni ellid eu bwyta*—gan mor ddrwg oeddynt.

Adn. 3. *Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Beth a weli di, Jeremi*] Yn y ddau gawell hyn? *A mi a ddywedais, Ffigys*—sef dau fath o ffigys: *y ffigys da, yn dda iawn*—y rhai y gellid gwneyd defnydd o honynt; *a'r rhai drwg, yn ddrwg iawn*—heb fod yn dda i ddim ond eu dyfetha.

Adn. 4. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] I egluro y weledigaeth uchod.

Adn. 5. *Fel y ffigys da hyn, felly y cydnabyddaf fi gaethglud Juda*] Hyny yw, y cydnabyddaf hwynt o hyd fel fy mhobl; *y rhai a anfonais o'r lle hwn i wlad y Caldeaid*—yn amser *Joacim* a *Joacin* brenhinoedd Juda, 2 Bren. xxiv. 12—16, Dan. i. 1—7; yn mhlith pa rai yr oedd Ezeciel, Daniel a'i gyfeillion, ac amrai dduwiolion ereill; *er daioni*—iddynt, yn dymhorol ac ysbrydol. Yr oedd yr Iuddewon a adewsid y pryd hyny yn eu gwlad, yn meddwl eu bod hwy yn fwy anwyl

felly y cydnabyddaf fi gaethglud
Juda, y rhai a anfonais o'r lle hwn i
wlad y Caldeaid er daioni.
6 Canys mi a osodaf fy ngolwg
arnynt er daioni, ac a'u dygaf dra-
chefn i'r wlad hon, ac a'u hadeiladaf
hwynt, ac ni thynaf i lawr; planaf
hefyd hwynt, ac nis diwreiddiaf.
7 Rhoddaf hefyd iddynt galon i'm
hadnabod, mai yr Arglwydd *ydwyf:*
a hwy a fyddant yn bobl i mi, a
minau a fyddaf yn Dduw iddynt
hwy: canys hwy a droant ataf fi â'u
holl galon.
8 ¶ Ac fel y ffigys drwg, y rhai
ni ellir eu bwyta rhag eu dryced,
(diau fel hyn y dywed yr Arglwydd,)
felly y rhoddaf Zedeciah brenin
Juda, a'i benaethiaid, a gweddill
Jerusalem, y rhai a weddilliwyd yn
y wlad hon, a'r rhai sydd yn trigo
yn nhir yr Aifft;
9 Ie, rhoddaf hwynt i'w symud i
holl deyrnasoedd y ddaear, er drwg
*iddynt, i fod* yn waradwydd ac yn
ddiareb, yn watwargerdd ac yn fell-
dith, yn mhob man lle y gyrwyf
hwynt.
10 A mi a anfonaf arnynt y cledd-
yf, newyn, a haint, nes eu darfod
oddiar y ddaear yr hon a roddais
iddynt ac i'w tadau.

## PENNOD XXV.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jer-
emi am holl bobl Juda, yn y
bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim
mab Josiah brenin Juda, hon *oedd* y
flwyddyn gyntaf i Nebuchodonosor
brenin Babilon:
2 Yr hwn a lefarodd y proffwyd
Jeremi wrth holl bobl Juda, ac wrth
holl breswylwyr Jerusalem, gan
ddywedyd,
3 Er y drydedd flwyddyn ar ddeg
i Josiah mab Amon brenin Juda,
hyd y dydd hwn, (hòno *yw* y dryd-
edd flwyddyn ar hugain,) y daeth
gair yr Arglwydd ataf, a mi a
ddywedais wrthych, gan fore-godi
a llefaru, ond ni wrandawsoch.

---

gan Dduw na'u brodyr, y rhai a gaethgludesid; ac i attal yr hyder gwâg hwn addawa Duw ddangos i'r rhai hyny arwyddion neillduol o'i ffafr mewn gwlad ddyeithr, a'u dwyn yn ol i'w gwlad eu hunain, adn. 6.

Adn. 6. *Canys mi a osodaf fy ngolwg arnynt er daioni*] Mi a ofalaf am danynt trwy fy rhagluniaeth ddaionus tra yn ngwlad eu caethiwed; *ac a'u dygaf drachefn i'r wlad hon*—rai o honynt hwy yn bersonol yn niwedd 70 mlynedd eu caethiwed, a llawer o'u hiliogaeth: gwel ar Ezra iii. 12. Neu fe allai i rai o honynt gael eu dwyn adref cyn diwedd tymhor eu caethiwed, fel blaenffrwyth y rhyddhad. *Ac a'u hadeiladaf hwynt, &c.*—hyny yw, bendithiaf hwynt â phob llwyddiant a daioni yn eu gwlad eu hunain, yn gystal ag yn Babilon, pen. xxix. 5, 6.

Adn. 7. *Rhoddaf hefyd iddynt galon i'm hadnabod*] Fel yr Arglwydd eu Duw: *a hwy a fyddant yn bobl i mi*—arddelaf hwynt fel fy mhobl; *a minau a fyddaf yn Dduw iddynt hwy*—trwy gyfammod adnewyddol: *canys hwy a droant ataf fi â'u holl galon*—gan ymwrthod â'u heilunod am byth. Fel hyn hwy a ddaethant i wybod mwy am Dduw trwy ei ragluniaeth a'i ras yn Babilon, nag a ddysgasent trwy ei oraclau a'i ordinhadau ef yn Jerusalem.

Adn. 8. *Ac fel y ffigys drwg*] Gwel ar adn. 3; *felly y rhoddaf Zedeciah brenin Juda, a'i benaethiaid*—neu 'felly y *gwnaf* Zedeciah,' &c., fel y cyfieithir yr un ferf yn pen. xxix. 17; *a gweddill Jerusalem*—y rhai sydd yn aros yno hyd yma heb eu caethgludo; *a'r rhai sydd yn trigo yn nhir yr Aifft*—i ba le y ffôdd llawer o'r Iuddewon ar ddyfodiad brenin Babilon i'w gwlad, pen. xliii. 7, &c.

Adn. 9. *Ie, rhoddaf hwynt i'w symudi holl deyrnasoedd y ddaear*] Fel y rhagddywedodd Moses, Deut. xxviii. 25, 37; *er drwg iddynt*—i gael eu gwaradwyddo, eu gwatwar, a'u melldithio yn mhob man. Yr oedd 127 o daleithiau yn perthyn i Ahasferus, yn cyraedd o India hyd Ethiopia, Esther i. 1; ac fe allai mai i'r rhai hyny y symudwyd y dosbarth olaf o'r Iuddewon yn amser Zedeciah.

Adn. 10. *A mi a anfonaf arnynt y cleddyf, newyn, a haint*] Cyn eu symud; *nes eu darfod oddiar y ddaear*—sef o wlad Canaan; rhai trwy farwolaeth, fel y dywedir yma; ac ereill trwy eu caethgludo i wledydd ereill, fel y dywedwyd yn adn. 9.

PEN. XXV. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi am holl bobl Juda*] Ac nid am y brenin a thrigolion Jerusalem yn unig; *yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim fab Josiah*—hyny yw, yn niwedd y drydedd flwyddyn, a dechre y bedwaredd flwyddyn, Dan. i. 1, yr hon oedd y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Nebuchodonosor. Meddylir mai lle priodol y bennod hon yw rhwng pen. xxxv a xxxvi.

Adn. 2. *Yr hwn a lefarodd y proffwyd Jeremi*] Wrthynt oll, yn ffyddlon a diflino, fel y dywedir isod.

Adn. 3. *Er y drydedd flwyddyn ar ddeg i Josiah*] Pryd y dechreuodd Jeremi broffwydo, pen. i. 2; *hyd y dydd hwn*—yr hyn oedd 23 mlynedd yn y cwbl, fel y dywedir yma, sef 19 mlynedd yn amser Josiah, a 4 yn amser Jehoiacim neu Joacim; *y daeth gair yr Ar-*

4 A'r Arglwydd a anfonodd atoch chwi ei holl weision y proffwydi, gan fore-godi a'*u* hanfon; ond ni wrandawsoch, ac ni ogwyddasoch eich clust i glywed.

5 Hwy a ddywedent, Dychwelwch yr awr hon bob un oddiwrth ei ffordd ddrwg, ac oddiwrth ddrygioni eich gweithredoedd; a thrigwch yn y tir a roddodd yr Arglwydd i chwi ac i'ch tadau, byth ac yn dragywydd:

6 Ac nac ewch ar ol duwiau dyeithr, i'w gwasanaethu, ac i ymgrymu iddynt; ac na lidiwch fi â gweithredoedd eich dwylaw, ac ni wnaf niwed i chwi.

7 Er hyny ni wrandawsoch arnaf, medd yr Arglwydd, fel y digiech fi â gweithredoedd eich dwylaw, er drwg i chwi eich hunain.

8 ¶ Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, O herwydd na wrandawsoch ar fy ngeiriau,

9 Wele, mi a anfonaf ac a gymeraf holl deuluoedd y gogledd, medd yr Arglwydd, a Nebuchodonosor brenin Babilon fy ngwas, a mi a'u dygaf hwynt yn erbyn y wlad hon, ac yn erbyn ei phreswylwyr, ac yn erbyn yr holl genhedloedd hyn oddiamgylch; difrodaf hwynt hefyd, a gosodaf hwynt yn syndod, ac yn chwibaniad, ac yn anrhaith tragwyddol.

10 Paraf hefyd i lais hyfrydwch, ac i lais llawenydd, i lais y priodfab, ac i lais y briodferch, i swn y meini melinau, ac i lewyrch y canwyllau, ballu ganddynt.

11 A'r holl dir hwn fydd yn ddiffaethwch *ac* yn syndod; a'r cen-

---

*glwydd ataf*—yn barhaus am yr holl amser hwnw: *a mi a ddywedais wrthych, gan fore-godi a llefaru*—fel gweithiwr diwyd yn codi yn fore bob dydd at ei orchwylion: *ond ni wrandawsoch*—arnaf fi, nac ar yr Arglwydd yr hwn a lefarai trwyof fi.

Adn. 4. *A'r Arglwydd a anfonodd atoch chwi ei holl weision y proffwydi*] Yr holl broffwydi duwiol ereill yn gystal a minau, y rhai a fuont yr un mor ffyddlon yn eu gwaith; *gan fore-godi a'u hanfon*—hyny yw, yr oedd Duw fel meistr gofalus yn codi yn fore i'w hanfon hwynt, a hwythau fel gweision ufydd yn codi yn fore i draethu ei genadwri ef wrthych: *ond ni wrandawsoch*—arnynt hwythau chwaith; *ac ni ogwyddasoch eich clust i glywed*—beth oedd ganddynt i'w ddywedyd wrthych.

Adn. 5. *Hwy a ddywedent, &c.*] Swm gweinidogaeth yr holl broffwydi hyn oedd galw ar y bobl i ddychwelyd oddiwrth eu drygioni trwy edifeirwch; *a thrigwch yn y tir*—hyny yw, chwi a *gewch* drigo yn Nghanaan byth, os dychwelwch felly.

Adn. 6. *Ac nac ewch ar ol duwiau dyeithr*] I'w haddoli a'u gwasanaethu hwynt; *ac na lidiwch fi â gweithredoedd eich dwylaw*—trwy wneuthur i chwi eilunod, na dim arall a waherddir genyf; *ac ni wnaf niwed i chwi*—eithr daioni dirfawr.

Adn. 7. *Er hyny ni wrandawsoch arnaf*] Sef ar yr Arglwydd ei hun, yr hwn a lefarai trwy ei broffwydi uchod; *fel y digiech fi*—fel pe buasai genych fwriad penderfynol i'm digio; *er drwg i chwi eich hunain*—i dynu fy marnedigaethau cyfiawn arnoch chwi a'ch gwlad, adn. 9, &c.

Adn. 8. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn sydd alluog i gyflawni ei holl fygythion yn ddifêth; *O herwydd na wrandawsoch ar fy ngeiriau*—fel ag i ufyddhau iddynt.

Adn. 9. *Wele, mi a anfonaf ac a gymeraf holl deuluoedd y gogledd*] Sef yr holl frenhinoedd y rhai y mae eu gwledydd yn gorwedd o du y gogledd i Judea; *a Nebuchodonosor brenin Babilon fy ngwas*—yr hwn a ddefnyddiaf fel fy ngwas yn y difrod hwn, i arwain yr holl fyddinoedd hyny: *a mi a'u dygaf hwynt yn erbyn y wlad hon*—sef yn erbyn Judea a'i phreswylwyr; *ac yn erbyn yr holl genhedloedd hyn oddiamgylch*—sef yr Aifftiaid, a chynorthwywyr ereill yr Iuddewon: *difrodaf hwynt hefyd*—trwy offerynoliaeth y Caldeaid; *a gosodaf hwynt yn syndod ac yn chwibaniad*—gwel ar pen. xviii. 16; *ac yn anrhaith tragwyddol*—ac felly y gwnaed â hwy a'u gwlad, gan na ddygwyd hwynt byth mwyach i fod y peth oeddynt o'r blaen. Neu fe allai y dylid edrych ar y gair *tragwyddol* yma yn ei ystyr *cyfaddasol*, fel yn arwyddo *hir barhad*, sef 70 mlynedd, adn. 11, 12.

Adn. 10. *Paraf hefyd i lais hyfrydwch, &c.*] Gwel ar pen. vii. 34, a xvi. 9; *i swn y meini melinau*—yn malu ŷd bob bore, i gael bara i'r gwahanol deuluoedd; *ac i lewyrch y canwyllau*—y rhai a oleuid bob nos, neu ynte bob bore i gael goleuni i falu; *ballu ganddynt*—ddarfod yn llwyr o'r wlad, o ddiffyg trigolion.

Adn. 11. *A'r holl dir hwn fydd yn ddiffaethwch*] Heb neb i'w ddiwyllio; *ac yn syndod*—i'r rhai oll a'i gwelant, pen. xviii. 16: *a'r cenhedloedd hyn a wasanaethant frenin Babilon*—sef Nebuchodonosor a'i olynwyr; *ddeng mlynedd a thriugain*—gwel ar 2 Cron. xxxvi. 21, Ezra iii. 12. Ymddengys oddiwrth adn. 9, i genhedloedd ereill, heblaw yr Iuddewon, gael eu caethgludo i Babilon tua'r un amser; y rhai a ryddhawyd ond odid gan Cyrus ar yr un pryd a'r Iuddewon.

Adn. 12. *A phan gyflawner deng mlynedd a thriugain*] Gan gyfrif o'r bedwaredd flwydd-

hedloedd hyn a wasanaethant fren-
in Babilon ddeng mlynedd a thri-
ugain.
12 A phan gyflawner deng mlyn-
edd a thriugain, myfi a ymwelaf â
brenin Babilon, ac â'r genedl hòno,
medd yr Arglwydd, am eu hanwir-
edd, ac â gwlad y Caldeaid; a mi
a'i gwnaf hi yn anngbyfanedd tra-
gwyddol.
13 Dygaf hefyd ar y wlad hòno
fy holl eiriau, y rhai a lefarais i yn
ei herbyn, *sef* cwbl *ag sydd* ysgrif-
enedig yn y llyfr hwn; yr hyn a
broffwydodd Jeremi yn erbyn yr
holl genhedloedd.
14 Canys cenhedloedd lawer a
brenhinoedd mawrion a fynant was-
anaeth ganddynt hwythau: a mi a
dalaf iddynt yn ol eu gweithred-
oedd, ac yn ol gwaith eu dwylaw
eu hun.
15 ¶ Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Duw Israel, wrthyf fi,
Cymer phiol win y digofaint yma
o'm llaw, a dod hi i'w hyfed i'r holl
genhedloedd y rhai yr wyf yn dy
anfon atynt.
16 A hwy a yfant, ac a frawych-
ant, ac a wallgofant, o herwydd y
cleddyf yr hwn a anfonaf yn eu
plith.
17 Yna mi a gymerais y phiol o
law yr Arglwydd, ac a'i rhoddais
i'w hyfed i'r holl genhedloedd y
rhai yr anfonasai yr Arglwydd fi
atynt:
18 I Jerusalem, ac i ddinasoedd
Juda, ac i'w brenhinoedd, ac i'w
thywysogion: i'w gwneuthur hwynt
yn ddiffaethwch, yn syndod, yn
chwibaniad, ac yn felldith, (fel *y
mae* heddyw,)
19 I Pharao brenin yr Aifft, ac
i'w weision, ac i'w dywysogion, ac
i'w holl bobl;

---

yn i Jehoiacim hyd y flwyddyn gyntaf i Cyrus, Ezra i. 1; neu o'r unfed ar ddeg i Zedeciah hyd y bedwaredd i Darïus: gwel y rhagarweiniad i lyfr Ezra. *Myfi a ymwelaf â brenin Babilon, ac â'r genedl hòno—am eu hanwiredd*—canys er iddynt gyflawni ewyllys Duw wrth gaethiwo yr Iuddewon; eto, gan eu bod yn gwneyd hyny i borthi eu huchelgais a'u creulondeb eu hunain, ac nid i gyflawni ewyllys Duw, nac er gogoniant i'w enw ef, yr oedd yn gyfiawn iddynt hwy gael eu cospi am hyny, yr un modd a'r Assyriaid o'r blaen, fel y danghoswyd ar Esay x. 7. *Ac â gwlad y Caldeaid*—yr hon a wneir yn anngbyfanedd-dra tragwyddol: gwel hyn yn cael ei ragfynegu yn fanylach, Esay xiii 19—22.

Adn. 13. *Dygaf hefyd ar y wlad hòno*] Sef ar wlad y Caldeaid, a chenhedloedd ereill; *fy holl eiriau*—yr holl farnau a fygythir yn eu herbyn hwynt; *sef cwbl ag sydd ysgrifenedig yn y llyfr hwn*—y rhai a gynwysir o pen. xlvi hyd ddiwedd pen. li, y rhai y darfu i'r LXX eu dwyn i mewn yma.

Adn. 14. *Canys cenhedloedd lawer a brenhinoedd mawrion*] Sef y Mediaid a'r Persiaid dan Cyrus, ac amrai frenhinoedd ereill ag oeddynt mewn cynghrair âg ef; *a fynant wasanaeth ganddynt hwythau*—sef gan y Caldeaid, fel y mynodd y Caldeaid gan yr Iuddewon ac ereill: *a mi a dalaf iddynt yn ol eu gweithredoedd*—cânt hwythau eu gorthrymu, fel y darfu iddynt hwy orthrymu ereill.

Adn. 15. *Cymer phiol win y digofaint yma o'm llaw*] Y mae digofaint Duw yn cael ei gymharu yn fynych yn yr ysgrythyrau i gwpan neu phiol lawn o win, o ba un yr yfa pechaduriaid fel hyd feddwdod neu syfrdandod, Esay li. 17, 22: *a dod hi i'w hyfed i'r holl genhedloedd y rhai yr wyf yn dy anfon atynt*—rhaid mai yn weledigaethol, ac nid yn llythyrenol, y cyflawnwyd hyn oll; canys nid ydym i feddwl y gallai y proffwyd fyned mewn gwirionedd, neu yn bersonol, i'r holl wledydd a enwir isod: gwel ar pen. xiii. 5.

Adn. 16. *A hwy a yfant, ac a frawychant, ac a wallgofant*] Byddant fel dynion wedi yfed gwin cymysgedig â rhyw ddefnyddiau cryfion a syfrdanol, yr hwn a barai iddynt feddwi, brawychu, a gwallgofi: gwel ar Salm lxxv. 8: *o herwydd y cleddyf yr hwn a anfonaf yn eu plith*—yn llaw eu gelynion. Y *cleddyf* hwn, a'i ganlyniadau ofnadwy, yw yr hyn a osodir allan trwy 'phiol win y digofaint' uchod.

Adn. 17. *Yna*] Yn fy ngweledigaeth, *mi a gymerais y phiol o law yr Arglwydd*—yn ol ei orchymyn ef; *ac a'i rhoddes i'w hyfed i'r holl genhedloedd*—hyny yw, efe a'i gwelai ei hun yn ei rhoddi iddynt. Fe allai i Jeremi gyhoeddi ei fygythion yn erbyn yr holl genhedloedd hyn yn llythyrenol yn Jerusalem, a'u hanfon hefyd atynt hwy oll mewn ysgrifen, neu yn ngenau cenadau penodol.

Adn. 18. *I Jerusalem, ac i ddinasoedd Juda*] Crybwyllir yr Iuddewon yn mlaenaf, wrth y rhai yr oedd y proffwyd i lefaru yn bersonol; *ac i'w brenhinoedd*—y naill ar ol y llall; *i'w gwneuthur hwynt yn ddiffaethwch*—sef Jerusalem a dinasoedd Juda; *yn syndod, yn chwibaniad, ac yn felldith*—gwel ar pen. xviii. 16; *fel y mae heddyw*—gall mai Jeremi ei hun a chwanegodd hyn, canys bu ef byw beth amser ar ol dinystr Jerusalem gan y Caldeaid.

Adn. 19. *I Pharao brenin yr Aifft, &c.*] Enwir yr Aifftiaid yn nesaf at yr Iuddewon, am eu bod mewn cynghrair â hwy, ac yn dysgwyl cymhorth ganddynt yn erbyn eu gelynion; ond yma danghosir mai ofer oedd iddynt

20 Ac i'r holl bobl gymysg, ac i holl frenhinoedd gwlad Us, a holl frenhinoedd gwlad y Philistiaid, ac i Ascelon, ac Azzah, ac Ecron, a gweddill Asdod;
21 I Edom, a Moab, a meibion Ammon;
22 I holl frenhinoedd Tyrus hefyd, ac i holl frenhinoedd Sidon, ac i frenhinoedd yr ynysoedd y rhai *sydd* dros y môr;
23 I Dedan, a Thema, a Buz; ac i bawb o'r cyrau eithaf;
24 Ac i holl frenhinoedd Arabia, ac i holl frenhinoedd y bobl gymysg, y rhai sydd yn trigo yn yr anialwch;
25 Ac i holl frenhinoedd Zimri, ac i holl frenhinoedd Elam, ac i holl frenhinoedd y Mediaid;
26 Ac i holl frenhinoedd y gogledd, agos a phell, bob un gyda'u gilydd; ac i holl deyrnasoedd y byd, y rhai sydd ar wyneb y ddaear: a brenin Sesach a ŷf ar eu hol hwynt.
27 A thi a ddywedi wrthynt, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, yfwch a meddwch, a chwydwch a syrthiwch, ac na chyfodwch, o herwydd y cleddyf yr hwn a anfonwyf i'ch plith.
28 Ac os gwrthodant dderbyn y phiol o'th law di i yfed, yna y dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Diau yr yfwch.

---

ddysgwyl hyny, am fod yr Aifftiaid dan yr un farn a hwythau.

Adn. 20. *Ac i'r holl bobl gymysg*] Dyeithriaid yn byw yn yr Aifft, ac wedi ymgymysgu â hwynt trwy briodasau fe allai; neu ryw genhedloedd ereill yn byw ar derfynau yr Aifft. *Ac i holl frenhinoedd gwlad Us*—meddylir fod gwlad Us, lle y ganed Job, yn rhan o Arabia neu wlad Idumea, Job i. 1; ac yr oedd yr enw *brenin* yn cael ei roddi i unrhyw lywodraethwr bychan a fyddai yn ben ar ryw ddinas, talaeth, neu ddosbarth o'r bobl; a hyny yw ystyr y gair yn yr adnodau hyn. *A holl frenhinoedd gwlad y Philistiaid*—neu arglwyddi dan y brenin yno. *Ascelon, Azzah, ac Ecron*—prif-ddinasoedd neu daleithiau yn Philistia, 1 Sam. vi. 17. *A gweddill Asdod*—yr hon oedd wedi ei dinystrio yn fawr ddwywaith o'r blaen, fel nad oedd dim ond 'gweddill' o honi yn awr yn aros: gwel ar Esay xx. 1.

Adn. 21. *I Edom*] Gwlad hiliogaeth Esau; *a Moab, a meibion Ammon*—hiliogaeth Lot, Gen. xix. 37, 38.

Adn. 22. *I holl frenhinoedd Tyrus—Sidon*] Sef i benaethiaid neu fawrion y dinasoedd hyny; canys nid oedd ond un brenin yn mhob dinas. *Ac i frenhinoedd yr ynysoedd y rhai sydd dros y môr*—neu yn Môr-y-canoldir, megys Cyprus, &c.; yn nghyda'r gororau ar *lanau* y môr hwnw.

Adn. 23. *I Dedan, a Thema, a Buz*] Lleoedd, fel y meddylir, yn Idumea neu Arabia, neu ar y cyffiniau hyny, Job xxxii. 2. *Ac i bawb o'r cyrau eithaf*—neu y gwledydd pellaf o Judea: gwel ar pen. ix. 26.

Adn. 24. *Ac i holl frenhinoedd Arabia*] Rhenid Arabia yn dair rhan, *Arabia Felix*, *Arabia Deserta*, ac *Arabia Petræa*, y rhai a fesurent oddeutu 1,500 o filldiroedd o'r deau i'r gogledd, ac oddeutu 1,200 o'r dwyrain i'r gorllewin. *Ac i holl frenhinoedd y bobl gymysg*—y rhai a symudent o le i le ar hyd yr anialwch a orweddai rhwng Mesopotamia a Phalestina, fel y meddylir.

Adn. 25. *Ac i holl frenhinoedd Zimri*] Hiliogaeth Abraham o Cetura, Gen. xxv. 2. *Elam*—yr un a Phersia, Esay xxi. 2. *Y Mediaid*—y rhai, gyda'r Persiaid, a ddarostyngent y Caldeaid: gwel ar Esay xiii. 17.

Adn. 26. *Ac i holl frenhinoedd y gogledd, agos a phell*] Wrth y rhai 'agos' hyn y golygir brenhinoedd *Syria;* ac wrth y rhai 'pell,' yr *Hyrcaniaid* a'r *Bactriaid*, y rhai a orweddent o du y gogledd i Judea, ac a oeddynt yn mhell oddiyno. *Ac i holl deyrnasoedd y byd*—y rhai oeddynt adnabyddus mewn rhyw fan arall ar wyneb y ddaear, neu o fewn amherodraeth eang Caldea. *A brenin Sesach a ŷf ar eu hol hwynt*—fod 'Sesach' yma yn arwyddo *Babilon*, sydd eglur oddiwrth pen. li. 41. Yfai yntau o'r phiol hon ar ol y rhai uchod oll, o herwydd iddo fod yn offeryn iddynt hwy yfed o honi; hyny yw, deuai barn Duw arno yntau hefyd trwy law y Mediaid a'r Persiaid. *Sesach* oedd enw hen frenin a fuasai yn Babilon gynt, yr hwn wedi ei farw a dduweiddiwyd, ac a addolid fel duw. Cedwid gŵyl iddo bob blwyddyn; a dywed rhai mai ar yr ŵyl hòno yr aeth y Mediaid a'r Persiaid i mewn i'r ddinas. Fe allai mai mewn gwawd ar y duw dychymygol hwnw y gelwid y ddinas ar ei enw ef.

Adn. 27. *A thi a ddywedi wrthynt*] Wrth roddi y phiol yn llaw y rhai hyn oll; *Yfwch a meddwch*—hyny yw, chwi a yfwch o'r phiol hon, ac a feddwch ar y gwin digofaint sydd ynddi; *chwydwch a syrthiwch*—dyna fydd y canlyniad o'ch yfed a'ch meddwi; *ac na chyfodwch*—hyny yw, *ni* chyfodwch; neu chwi a yfwch nes syrthio fel na alloch gyfodi; *o herwydd y cleddyf yr hwn a anfonwyf i'ch plith*—sef y barnedigaethau llymion a ddisgynant arnoch oll.

Adn. 28. *Ac os gwrthodant dderbyn y phiol o'th law di i yfed*] Os gwrthodant wrando a chredu dy gyhoeddiad di o'r barnedigaethau hyn; *yna y dywedi wrthynt*—o fy ngenau, ac yn fy enw i, Arglwydd y lluoedd; *Diau yr yfwch*—bydd raid i chwi ddyoddef y farn a gyhoeddwyd i'ch erbyn.

29 Canys wele fi yn dechreu
drygu y ddinas y gelwir fy enw
arni, ac a ddiengwch chwi yn ddi-
gerydd? Na ddiengwch; canys yr
ydwyf fi yn galw am gleddyf ar
holl drigolion y ddaear, medd Ar-
glwydd y lluoedd.
30 Am hyny proffwyda yn eu
herbyn yr holl eiriau hyn, a dywed
wrthynt, Yr Arglwydd oddiuchod a
rua, ac a rydd ei lef o drigle ei
santeiddrwydd; gan ruo y rhua efe
ar ei drigle, bloedd fel rhai yn
sathru *grawnwin*, a rydd efe yn er-
byn holl breswylwyr y ddaear.
31 Daw twrf hyd eithafoedd y
ddaear; canys *y mae* cwyn rhwng
yr Arglwydd a'r cenhedloedd: efe
a ymddadleu â phob cnawd, y dryg-
ionus a ddyry efe i'r cleddyf, medd
yr Arglwydd.
32 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Wele ddrwg yn myned
allan o genedl at genedl, a chor-
wynt mawr yn cyfodi o ystlysau y
ddaear.
33 A lladdedigion yr Arglwydd
a fyddant y dwthwn hwnw o'r *naill*
gŵr i'r ddaear hyd y cŵr *arall* i'r
ddaear: ni alerir drostynt, ac nis
cesglir, ac nis cleddir hwynt; fel
tomen y byddant ar wyneb y ddaear.
34 ¶ Udwch, fugeiliaid, a gwaedd-
wch; ac ymdreiglwch mewn lludw,
chwi flaenoriaid y praidd: canys
cyflawnwyd dyddiau eich lladded-
igaeth, a'ch gwasgarfa; a chwi a
syrthiwch fel llestr dymunol.

---

Adn. 29. *Canys wele fi yn dechreu drygu y ddinas y gelwir fy enw arni*] Sef Jerusalem, 'dinas Duw;' a lle hefyd y gelwid *ar* ei enw ef mewn ffordd o addoliad, cyn iddi gael ei llygru trwy eilunaddoliaeth y bobl. Dechreuwyd drygu Jerusalem yn y drydedd neu y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad y Jehoiacim hwn: gwel y sylwadau ar 2 Bren. xxiv. 1, 13. *Ac a ddiengwch chwi yn ddigerydd*—chwi, y cenhedloedd eilunaddolgar a drygionus uchod? 'Canys daeth yr amser i ddechreu o'r farn o dŷ Dduw; ac os dechreu hi yn gynaf arnom ni, beth fydd diwedd y rhai nid ydynt yn credu i efengyl Duw?' 1 Pedr iv. 17, 18. *Na ddiengwch*—yn sicr: canys os cospir Jerusalem am ddysgu eilunaddoliaeth oddiwrth y cenhedloedd, ai ni chospir y cenhedloedd am ei dysgu iddynt? *Canys yr ydwyf fi yn galw am gleddyf ar holl drigolion y ddaear*—y rhai a enwyd uchod, adn. 15—26; *medd Arglwydd y lluoedd*—yr hwn y mae ei awdurdod yn cyraedd dros bawb a phobpeth, ac am hyny a all gyflawni ei holl fygythion.

Adn. 30. *Am hyny proffwyda yn eu herbyn yr holl eiriau hyn*] Pa un bynag a wnelont ai gwrando ai peidio; *a dywed wrthynt*—yn y modd mwyaf diofn; *Yr Arglwydd oddiuchod a rua*—i'ch erbyn fel llew yn rhuo ar ei ysglyfaeth; *ac a rydd ei lef o drigle ei santeiddrwydd*—sef o'r nefoedd uchod: *gan ruo y rhua efe ar ei drigle*—sef ar Jerusalem a'r deml, y rhai oeddynt yn awr wedi cael eu halogi yn ddirfawr; *bloedd fel rhai yn sathru grawnwin*—yn niwedd y cynauaf gwin, *a rydd efe yn erbyn holl breswylwyr y ddaear*—yn gystal ag yn erbyn Jerusalem a dinasoedd ereill Juda, adn. 18. Fel yr oedd y rhai a sathrent y gwinrawn yn y cafnau yn bloeddio ac yn gorfoleddu yn uchel, felly y bloeddiai yr Arglwydd yn eu dinystr hwy: neu efe a floeddiai i wroli ysbryd y milwyr gelynol, fel yr arferid bloeddio wrth arwain y lluoedd i'r frwydr, 1 Sam. xvii. 20.

Adn. 31. *Daw twrf hyd eithafoedd y ddaear*] Sef twrf cleddyfau a bloeddiadau y Caldeaid ac ereill, yn cael eu dylyn fe allai gan dwrf taranau Duw; *canys y mae cwyn rhwng yr Arglwydd a'r cenhedloedd*—y rhai a ddangosasant y fath sarhad iddo ef trwy eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill. *Efe a ymddadleu â phob cnawd*—'â thân ac â'i gleddyf,' fel y dywed Esay, pen. lxvi. i. 16. *Y drygionus a ddyry efe i'r cleddyf*—canys am eu drygioni yn unig y cospir hwy fel hyn.

Adn. 32. *Wele ddrwg yn myned allan o genedl at genedl*] Yn gyntaf at yr Iuddewon, ac wedi hyny at yr Aifftiaid a'r lleill, fel yr oedd y proffwyd yn myned â'r phiol iddynt, adn. 18, &c.; *a chorwynt mawr*—sef byddinoedd y Caldeaid, y rhai a gyffelybir yn fynych i gorwynt, pen. iv. 13; *yn cyfodi o ystlysau y ddaear*—gelwir Caldea fel hyn, am yr ystyrid hi y pryd hyny yn un o'r lleoedd pellaf yn y cyfeiriad hwnw.

Adn. 33. *A lladdedigion yr Arglwydd*] Y rhai a laddwyd trwy ei awdurdod ac yn ol ei orchymyn ef; *a fyddant y dwthwn hwnw o'r naill gŵr i'r ddaear, &c.*—a fyddant aml iawn yn mhob un o'r lleoedd hyny. *Ni alerir drostynt, ac nis cesglir, ac nis cleddir hwynt*—am na fydd yno neb wedi ei adael i wneuthur hyny: *fel tomen y byddant ar wyneb y ddaear*—yn braenu ac yn llygru, ac heb eu claddu.

Adn. 34. *Udwch, fugeiliaid, a gwaeddwch, &c.*] Hyny yw, chwi a udwch, a waeddwch, ac a ymdreiglwch mewn lludw, pan weloch y farn hon wedi disgyn arnoch. Wrth y 'bugeiliaid' hyn y deallir brenhinoedd, tywysogion, a chadfridogion y bobl; ac wrth 'flaenoriaid y praidd' y golyga rhai gyfoethogion neu wŷr mawrion y gwahanol wledydd uchod. Ond yr wyf fi yn meddwl fod y proffwyd yma yn troi at yr Iuddewon, ac yn cyfarch eu llywodraethwyr gwladol ac eglwysig hwy yn unig. *Canys cyflawnwyd dyddiau eich lladdedigaeth a'ch gwasgarfa*—sef yr amser a benodwyd gan Dduw i rai o honoch gael eu lladd, a'r lleill gael eu caethgludo. *A chwi a syrth-*

35 Metha gan y bugeiliaid ffoi, a
chan flaenoriaid y praidd ddianc.
36 *Clywir* llef gwaedd y bugeil-
iaid, ac udfa blaenoriaid y praidd:
canys yr Arglwydd a anrheithiodd
eu porfa hwynt.
37 A'r aneddau heddychlon a
ddryllir gan lid digofaint yr Ar-
glwydd.
38 Efe a wrthododd ei loches, fel
cenaw llew: canys y mae eu tir yn
annghyfanedd gan lid y gorthrym-
wr, a chan lid ei ddigofaint ef.

## PENNOD XXVI.

YN nechre teyrnasiad Jehoiacim
fab Josiah brenin Juda, y daeth
y gair hwn oddiwrth yr Arglwydd,
gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Saf yn nghyntedd tŷ yr Arglwydd,
a llefara wrth holl ddinasoedd Juda,
y rhai a ddêl i addoli i dŷ yr Ar-
glwydd, yr holl eiriau a orchymyn-
wyf i ti eu llefaru wrthynt; na attal
air:
3 I edrych a wrandawant, ac a
ddychwelant bob un o'i ffordd ddrwg;
fel yr edifarhawyf finau am y drwg
a amcenais ei wneuthur iddynt, am
ddrygioni eu gweithredoedd.
4 A dywed wrthynt, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd; Oni wrand-
ewch arnaf, i rodio yn fy nghyfraith,
yr hon a roddais ger eich bron,
5 I wrando ar eiriau fy ngweision
y proffwydi, y rhai a anfonais atoch,
gan godi yn fore, ac anfon, ond ni
wrandawsoch chwi;
6 Yna y gwnaf y tŷ hwn fel Silo,
a'r ddinas hon a wnaf yn felldith i
holl genhedloedd y ddaear.
7 Yr offeiriaid hefyd a'r proffwydi,
a'r holl bobl a glywsant Jeremi yn
llefaru y geiriau hyn yn nhŷ yr
Arglwydd.

---

*iwch fel llestr dymunol*—fel costrel wydr yn syrthio ar y llawr, ac yn dryllio yn ddarnau heb fod yn dda i ddim; neu, 'fel hyrddod wedi tewhau.'—LXX.

Adn. 35. *Metha gan y bugeiliaid ffoi, &c.*] Am fod eu gelynion yn lluosocach, yn gryfach, ac yn gyflymach na hwy.

Adn. 36. *Clywir llef gwaedd y bugeiliaid, &c.*] Fel y rhagfynegwyd adn. 34; *canys yr Arglwydd a anrheithiodd eu porfa hwynt*—sef eu gwlad, eu dinasoedd, a'u pobl, oddiwrth y rhai y caent eu cynaliaeth a'u cyfoeth.

Adn. 37. *A'r aneddau heddychlon*] Sef tai a phalasau Judea, y rhai a arferent fod yn llawn heddwch a daioni; *a ddryllir gan lid digofaint yr Arglwydd*—yr hwn a'u dyfetha hwynt trwy offerynoliaeth y Caldeaid.

Adn. 38. *Efe a wrthododd ei loches, fel cenaw llew*] Yn myned allan o'i loches i chwilio am ysglyfaeth. Dywedir hyn naill ai am Nebuchodonosor yn dyfod allan o Babilon i ddystrywio y cenhedloedd; neu ynte am yr Arglwydd yn gwrthod ei deml yn Jerusalem, ac yn troi fel llew yn erbyn y fan lle y preswyliai o'r blaen, adn. 30. *Canys y mae eu tir yn annghyfanedd gan lid y gorthrymwr*—sef llid Nebuchodonosor ond odid; *a chan lid ei ddigofaint ef*—naill ai digofaint Nebuchodonosor, neu ynte ddigofaint cyfiawn Duw yn dial trwyddo ef ar yr Iuddewon, eu dinasoedd, a'u gwlad.

PEN. XXVI. Adn. 1. *Yn nechre teyrnasiad Jehoiacim, &c.*] Gan y rhaid fod y broffwydoliaeth hon wedi cael ei thraddodi yn y flwyddyn gyntaf neu yr ail o deyrnasiad Jehoiacim, y mae hi yn gwbl allan o'i lle yma: gwel y rhagarweiniad. Y mae *Dr. Dahler* yn ei dodi ar ol pen. ix.

Adn. 2. *Saf yn nghyntedd tŷ yr Arglwydd*] Sef y cyntedd mawr, lle yr addolai y bobl pan na fyddai ganddynt aberth; canys y pryd hyny aent i'r cyntedd nesaf i mewn: gwel LIGHTFOOT. *A llefara wrth holl ddinasoedd Juda*—sef wrth eu trigolion hwy, ond odid ar un o'r tair gŵyl arbenig, pryd yr ymgynullai yr holl wrywod i Jerusalem; *yr holl eiriau a orchymynwyf i ti*—yr addewidion a'r bygythion isod: *na attal air*—eithr traetha iddynt y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir, gan roddi iddynt rybydd ffyddlon.

Adn. 3. *I edrych a wrandawant, ac a ddychwelant bob un o'i ffordd ddrwg*] Gwyddai Duw na wnaent hyny; ond yr oedd yn gyson â gogoniant ei gyfiawnder, ei drugaredd, a'i santeiddrwydd, fod iddo roddi adeg a moddion edifeirwch o'u blaen hwy; *fel yr edifarhawyf finau am y drwg a amcenais ei wneuthur iddynt*—hyny yw, fel y peidiwyf â'u cospi: gwel ar pen. xviii. 8.

Adn. 4. *A dywed wrthynt*] O'm genau i; *Oni wrandewch arnaf, i rodio yn fy nghyfraith*—yr hon a ysgrifenwyd i chwi gan Moses, ac a eglurir ac a wesgir arnoch gan fy ngweision yn barhaus.

Adn. 5. *Y rhai a anfonais atoch, gan godi yn fore, ac anfon*] Gwel ar pen. xxv. 3, 4; *ond ni wrandawsoch chwi*—hyd yma.

Adn. 6. *Yna y gwnaf y tŷ hwn fel Silo*] Gwnaf yr un peth i'r deml hon ag a wnaethym i'r tabernacl yn Silo: gwel ar pen. vii. 12—14; *a'r ddinas hon a wnaf yn felldith i holl genhedloedd y ddaear*—i gael ei chyfrif ganddynt fel dinas wedi ei melldithio gan Dduw.

Adn. 7. *Yr offeiriaid hefyd a'r proffwydi*] Sef y gau-broffwydi, neu y rhai a honent eu bod yn broffwydi, pen. xxiii. 9, &c.; *a'r holl bobl*—y rhai a ddaethent i'r ŵyl; *a glywsant Jeremi yn llefaru y geiriau hyn*—yn nghyntedd tŷ yr Arglwydd, adn. 2.

8 ¶ A phan ddarfu i Jeremi lefaru
yr hyn oll a orchymynasai yr Ar-
glwydd ei ddywedyd wrth yr holl
bobl; yna yr offeiriaid, a'r proffwydi,
a'r holl bobl a'i daliasant ef, gan
ddywedyd, Ti a fyddi farw yn ddiau.
9 Paham y proffwydaist yn enw
yr Arglwydd, gan ddywedyd, Fel
Silo y bydd y tŷ hwn, a'r ddinas hon
a wneir yn annghyfanedd heb bres-
wyliwr? Felly ymgasglodd yr holl
bobl yn erbyn Jeremi yn nhŷ yr
Arglwydd.
10 ¶ Pan glybu tywysogion Juda
y geiriau hyn, yna hwy a ddaethant
i fyny o dŷ y brenin i dŷ yr Ar-
glwydd, ac a eisteddasant ar ddrws
porth newydd *tŷ* yr Arglwydd.
11 Yna yr offeiriaid a'r proffwydi
a lefarasant wrth y tywysogion, ac
wrth yr holl bobl, gan ddywedyd,
Barn marwolaeth *sydd ddyledus* i'r
gŵr hwn: canys efe a broffwydodd
yn erbyn y ddinas hon, megys y
clywsoch â'ch clustiau.
12 ¶ Yna y llefarodd Jeremi
wrth yr holl dywysogion, ac wrth
yr holl bobl, gan ddywedyd, Yr Ar-
glwydd a'm hanfonodd i broffwydo
yn erbyn y tŷ hwn, ac yn erbyn y
ddinas hon, yr holl eiriau a glywsoch.
13 Gan hyny gwellêwch yn awr
eich ffyrdd a'ch gweithredoedd, a
gwrandewch ar lais yr Arglwydd
eich Duw; ac fe a edifarha yr Ar-
glwydd am y drwg a lefarodd efe
i'ch erbyn.
14 Ac am danaf fi, wele fi yn eich
dwylaw; gwnewch i mi fel y gwel-
och yn dda ac yn uniawn.
15 Ond gwybyddwch yn sicr, os
chwi a'm lladd, eich bod yn dwyn
gwaed gwirion arnoch eich hunain,
ac ar y ddinas hon, ac ar ei thrigol-
ion: canys mewn gwirionedd yr
Arglwydd a'm hanfonodd atoch i
lefaru, lle y clywech, yr holl eiriau
hyn.
16 ¶ Yna y tywysogion, a'r holl
bobl, a ddywedasant wrth yr offeir-

---

Adn. 8. *A phan ddarfu i Jeremi lefaru yr hyn oll a orchymynasai yr Arglwydd*] Yr hyn ond odid a wnaeth efe heb i neb gynyg ei aflonyddu nes iddo orphen; *yna yr offeiriaid, a'r proffwydi, a'r holl bobl, a'i daliasant ef*—a ymaflasant ynddo fel gelyn y deml, y ddinas, a'r genedl; *gan ddywedyd, Ti a fyddi farw yn ddiau*—am dy gabledd a'th anffyddlondeb.

Adn. 9. *Paham y proffwydaist yn enw yr Arglwydd*] Yn erbyn y deml a'r ddinas hon? gwel ar adn. 6. *Felly ymgasglodd yr holl bobl yn erbyn Jeremi*—i'w roddi i farwolaeth.

Adn. 10. *Pan glybu tywysogion Juda*] Sef swyddogion y llywodraeth, neu aelodau y sanhedrim fawr, fel y tybia rhai; *y geiriau hyn*—sef adroddiad o'r geiriau a ddywedasai Jeremi am y ddinas a'r deml; *yna hwy a ddaethant i fyny o dŷ y brenin i dŷ yr Arglwydd*—sef i'r cyntedd lle yr oedd y terfysg hwn; *ac a eisteddasant ar ddrws porth newydd tŷ yr Arglwydd*—yr hwn a adeiladasai Jotham, 2 Bren. xv. 35, ac yn yr hwn y cynelid y llysoedd barn.

Adn. 11. *Yna yr offeiriaid a'r proffwydi a lefarasant wrth y tywysogion*] Gan gymeryd y mater i'w llaw eu hunain; *ac wrth yr holl bobl*—y rhai a ddaethent yn nghyd i glywed y cynghaws; *Barn marwolaeth sydd ddyledus i'r gŵr hwn*—felly cyhoeddent hwy ddedfryd marwolaeth arno cyn i'w achos gael ei brofi: *canys efe a broffwydodd yn erbyn y ddinas hon*—Jerusalem a'r deml; *megys y clywsoch â'ch clustiau*—adroddiad o'r hyn a ddywedodd efe. Rhaid mai hyn yw yr ystyr, canys nid oeddynt hwy yn y cyntedd i'w glywed gan Jeremi ei hun.

Adn. 12. *Yna y llefarodd Jeremi*] Fel y gallai y tywysogion a'r holl bobl gael gwybodaeth gywir o'r holl achos; *Yr Arglwydd a'm hanfonodd i broffwydo yn erbyn y tŷ hwn, ac yn erbyn y ddinas hon*—ac felly nid o honof fy hun yr oeddwn yn llefaru; *yr holl eiriau a glywsoch*—ddarfod i mi eu llefaru.

Adn. 13. *Gan hyny gwellêwch yn awr eich ffyrdd a'th gweithredoedd*] Fel hyn, yn lle tynu yn ol ei broffwydoliaeth a'i fygythion yn adn. 3—6, y mae y proffwyd yma yn galw ar y tywysogion eu hunain, yn gystal ag ar yr offeiriaid, y proffwydi, a phawb, i wella yn ddioedi eu ffyrdd a'u gweithredoedd pechadurus; *a gwrandewch ar lais yr Arglwydd eich Duw*—yr hwn a lefara yn awr trwyof fi, yn lle fy mygwth i am lefaru ei eiriau ef: *ac fe a edifarha yr Arglwydd am y drwg a lefarodd efe i'ch erbyn*—gan eich achub a'ch llwyddo eto, yn lle eich dyfetha.

Adn. 14. *Ac am danaf fi, wele fi yn eich dwylaw*] I wneyd â mi fel y gweloch yn dda; *ac yn uniawn*—fel y gweloch fy mod yn haeddu.

Adn. 15. *Ond gwybyddwch yn sicr, os chwi a'm lladd*] Os dedfrydwch fi i farwolaeth yn ol ewyllys fy ngelynion, adn. 11; *eich bod yn dwyn gwaed gwirion*—ac nid yn unig gwaed gwirion, ond gwaed gwir broffwyd yr Arglwydd hefyd; *arnoch eich hunain*—yr hyn fydd yn chwanegiad dirfawr at eich pechodau ereill, ac yn trymhau eich cosp yn fawr: *canys mewn gwirionedd yr Arglwydd a'm hanfonodd atoch i lefaru, lle y clywech, yr holl eiriau hyn*—ac nid myfi a'u llefarodd o honof fy hun. Fel pe dywedasai, Er i chwi ladd y proffwyd, nis gellwch attal cyflawniad y broffwydoliaeth.

iaid a'r proffwydi, Ni haeddai y gŵr
hwn farn marwolaeth: canys yn enw
yr Arglwydd ein Duw y llefarodd
efe wrthym.
17 Yna rhai o henuriaid y wlad a
godasant, ac a lefarasant wrth holl
gynulleidfa y bobl, gan ddywedyd,
18 Micah y Morasthiad oedd yn
proffwydo yn nyddiau Hezeciah
brenin Juda, ac efe a lefarodd wrth
holl bobl Juda, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed Arglwydd y lluoedd,
Seion a erddir *fel* maes, a Jerusalem
a fydd yn garneddau, a mynydd y tŷ
yn uchelfeydd i goed.
19 A roddodd Hezeciah brenin
Juda, a holl Juda ef i farwolaeth?
oni ofnodd efe yr Arglwydd, ac
*oni* weddiodd efe gerbron yr Ar-
glwydd, fel yr edifarhaodd yr Ar-
glwydd am y drwg a draethasai efe
yn eu herbyn? Fel hyn y gwnaem
ddrwg mawr yn erbyn ein heneidiau.
20 Ac yr oedd hefyd ŵr yn proff-
wydo yn enw yr Arglwydd, Urïah
fab Semaiah, o Ciriath-jearim, yr
hwn a broffwydodd yn erbyn y
ddinas hon, ac yn erbyn y wlad hon,
yn ol holl eiriau Jeremi.
21 A phan glywodd y brenin Je-
hoiacim, a'i holl gedyrn, a'r holl
dywysogion, ei eiriau ef, y brenin a
geisiodd ei ladd ef: ond pan glywodd
Urïah, efe a ofnodd, ac a ffôdd, ac a
aeth i'r Aifft.
22 A'r brenin Jehoiacim a anfon-
odd wŷr i'r Aifft, *sef* Elnathan fab
Achbor, a gwŷr gydag ef i'r Aifft.
23 A hwy a gyrchasant Urïah
allan o'r Aifft, ac a'i dygasant ef at

---

Adn. 16. *Yna y tywysogion a'r holl bobl*] Wedi eu hargyhoeddi o ddiniweidrwydd y proffwyd; *a ddywedasant wrth yr offeiriaid a'r proffwydi*—sef wrth ei gyhuddwyr ef; *Ni haeddai y gŵr hwn farn marwolaeth*—fel y cyhoeddasoch chwi, adn. 11: *canys yn enw yr Arglwydd ein Duw*—sef trwy ei awdurdod ef, *y llefarodd efe wrthym*—y genadwri hon, adn. 4—6, 12, 13.

Adn. 17. *Yna rhai o henuriaid y wlad*] Sef aelodau y cynghor, neu yr ynadon gwladol; *a godasant*—i anerch y gynulleidfa, yr hyn a wnaethant gyda doethineb mawr.

Adn. 18. *Micah y Morasthiad*] Yr hwn yw y chweched o'r deuddeg a elwir 'y proffwydi lleiaf;' *oedd yn proffwydo yn nyddiau Hezeciah*—gwel ar Mic. i. 1; *ac efe a lefarodd wrth holl bobl Juda*—yn y modd bygythiol a ganlyn: *Seion a erddir fel maes, a Jerusalem a fydd yn garneddau, &c.*—gwel ar Mic. iii. 12.

Adn. 19. *A roddodd Hezeciah—a holl Juda ef i farwolaeth*] Am gyhoeddi felly yn erbyn Seion a Jerusalem, fel y mynwch chwi ladd Jeremi? I'r gwrthwyneb, gadawsant ef yn fyw, a chymerasant y rhybydd a roddwyd iddynt fel hyn. *Oni ofnodd efe yr Arglwydd?*—yn lle lladd Micah, oni ddarfu i Hezeciah ofni yr Arglwydd, a gweddio am drugaredd, *fel yr edifarhaodd yr Arglwydd am y drwg a draethasai efe yn eu herbyn*—gan eu harbed hwynt? *Fel hyn y gwnaem ddrwg mawr yn erbyn ein heneidiau*—ped ymddygem yn wahanol i'r hyn a wnaeth Hezeciah, gan roddi Jeremi i farwolaeth.

Adn. 20. *Ac yr oedd hefyd ŵr yn proffwydo yn enw yr Arglwydd*] Y mae tri o wahanol olygiadau ar y geiriau hyn: (1) Tybia rhai mai y blaid oedd am ladd Jeremi a lefarodd y geiriau hyn hyd ddiwedd adn. 23, mewn atebiad i'r henuriaid y rhai a fynent ei amddiffyn ef; fel pe dywedasent, Gan i Urïah gael ei ladd, dylai Jeremi hefyd gael ei ladd. (2) Tybia ereill mai geiriau ei amddiffynwyr ydynt, i nodi allan y gwahanol ganlyniadau a gymerasent le, ac i rybyddio y llywodraeth a'r bobl rhag ymddwyn yr un fath tuag at Jeremi ag y gwnaed tuag at Urïah: fel pe dywedasent, Darfu i Hezeciah, yr hwn a amddiffynodd Micah, lwyddo; eithr a lwyddodd Jehoiacim, yr hwn a laddodd Urïah? Gwyddent oll na lwyddodd efe. Yr oedd un proffwyd wedi ei ladd eisioes; ac edrychent hwy rhag cyflawni mesur eu hanwiredd gwladol trwy ladd y llall. (3) Ond tybia *Blayney* ac ereill fod yr henuriaid wedi gorphen eu geiriau yn adn. 19, ac mai adroddiad yr hanesydd ei hun yw y geiriau hyn, i ddangos y perygl mawr yr oedd Jeremi ynddo cyn i Ahicam fab Saphan ei waredu ef, adn. 24. *Urïah fab Semaiah, o Ciriath-jearim*—yr hyn a ddywedir yma yw yr holl hanes a feddwn am y gŵr hwn; ond rhaid fod yr amgylchiad ag y cyfeirir ato yn dra adnabyddus i bawb o honynt hwy, gan iddo ddygwydd yn amser y brenin presenol, ychydig o fisoedd cyn hyn. *Yr hwn a broffwydodd yn erbyn y ddinas hon, ac yn erbyn y wlad hon*—sef Jerusalem a Judea; *yn ol holl eiriau Jeremi*—i'r un perwyl, os nid yn yr un geiriau.

Adn. 21. *A phan glywodd y brenin*] A'i holl dywysogion, ei eiriau ef; *y brenin a geisiodd ei ladd ef*—am iddo broffwydo drygfyd yn erbyn y ddinas a'r wlad. *Ond pan glywodd Urïah*—am fwriad y brenin; *efe a ofnodd, ac a ffôdd*—i wlad yr Aifft. Ymddengys oddiyma fod ei ffydd ef yn wan iawn; canys efe a ofnai lid dynion, yn lle ymddiried yn ngallu a ffyddlondeb Duw.

Adn. 22. *A'r brenin Jehoiacim a anfonodd wŷr i'r Aifft*] I ddal Urïah; canys gwyddai y byddai i Pharao-Necho, yr hwn oedd mewn cynghrair â brenin Juda, ei roddi ef i fyny iddo.

Adn. 23. *A hwy a gyrchasant Urïah*] At y brenin Jehoiacim; *yr hwn a'i lladdodd ef â'r cleddyf*—neu a roddes orchymyn i'w ladd ef felly; *ac a fwriodd ei gelan ef i feddau y*

y brenin Jehoiacim, yr hwn a'i lladdodd ef â'r cleddyf, ac a fwriodd ei gelan ef i feddau y cyffredin.
24 Eithr llaw Ahicam fab Saphan oedd gyda Jeremi, fel na roddwyd ef i law y bobl i'w ladd.

## PENNOD XXVII.

YN nechre teyrnasiad Jehoiacim fab Josiah brenin Juda, y daeth y gair hwn at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd wrthyf, Gwna iti rwymau a gefynau, a dod hwynt am dy wddf;
3 Ac anfon hwynt at frenin Edom, ac at frenin Moab, ac at frenin meibion Ammon, ac at frenin Tyrus, ac at frenin Sidon, yn llaw y cenadau a ddelo i Jerusalem at Zedeciah brenin Juda;
4 A gorchymyn iddynt ddywedyd wrth eu harglwyddi, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Fel hyn y dywedwch wrth eich arglwyddi;
5 Myfi a wnaethym y ddaear, y dyn a'r anifel *sydd* ar wyneb y ddaear, â'm grym mawr, ac â'm braich estynedig, ac a'*u* rhoddais hwynt i'r neb y gwelais yn dda.
6 Ac yn awr mi a roddais yr holl diroedd hyn yn llaw Nebuchodonosor brenin Babilon fy ngwas; a mi a roddais hefyd anifeiliaid y maes i'w wasanaethu ef.
7 A'r holl genhedloedd a'i gwasanaethant ef a'i fab, a mab ei fab, nes dyfod gwir amser ei wlad ef; *yna* cenhedloedd lawer a brenhinoedd mawrion a fynant wasanaeth ganddo ef.
8 Ond y genedl a'r deyrnas nis

---

*cyffredin*—fel pe na buasai ef yn broffwyd i'r Arglwydd. Modd bynag, er ei gladdu fel dyn cyffredin, cafodd fwy o barch yn ei ddiwedd na Jehoiacim ei hun, yr hwn a gladdwyd â chladdedigaeth asyn, pen. xxii. 18, 19.

Adn. 24. *Eithr llaw Ahicam fab Saphan*] Y rhai oeddynt ill dau yn wŷr mawrion yn llys Josiah, ac ond odid yn llys Jehoiacim ei fab ef, 2 Bren. xxii. 12; *oedd gyda Jeremi*—i'w amddiffyn ef; *fel na roddwyd ef yn llaw y bobl i'w ladd*—hyny yw, efe a droes y llys o'i blaid ef; neu ynte, efe a'i cuddiodd rhag i'r werin ei ladd, ar ôl i'r llys farnu nad oedd ef yn haeddu marwolaeth.

PEN. XXVII. Adn. 1. *Yn nechre teyrnasiad Jehoiacim fab Josiah*] Y mae y bennod hon yn perthyn yn eglur i amseroedd *Zedeciah*, adn. 3, 12, 20, a pen. xxviii. 1. Ymddengys i *Jehoiacim* gael ei roddi yma, yn lle *Zedeciah*, trwy esgeulusdra neu ddiofalwch rhyw adysgrifenydd bore. Y mae rhai ysgriflyfrau *Hebreig*, yn nghyda'r *Syriaeg* a'r *Arabaeg*, yn darllen yma *Zedeciah;* a chymeradwyir y darlleniad hwn gan *Houbigant*, *Blayney*, *Dahler*, *Lowth*, *Clarke*, *Benson*, *Boothroyd*, *Hall*, *Poole*, *Scott*, &c. *Y daeth y gair hwn at Jeremi*—sef y gorchymyn a grybwyllir isod.

Adn. 2. *Gwna i ti rwymau a gefynau*] Saes., 'rwymau ac ieuau;' *a dod hwynt am dy wddf*—yr hyn oedd i fod yn arwydd iddynt y dygid hwynt dan iau caethiwus brenin Babilon. Gorchymynid i'r proffwydi yn fynych ragddargos dygwyddiadau dyfodol trwy arwyddion yn gystal a thrwy eiriau. Fel hyn gorchymynwyd i Esay 'rodio yn noeth ac heb esgidiau,' Esay xx. 2, 3: gwel hefyd Ezec. iv. 1, a xii. 3, a xxiv. 17—19.

Adn. 3. *Ac anfon hwynt*] Ar ol eu gwisgo dy hun am beth amser; *at frenin Edom*—yn nghyda'r brenhinoedd ereill a enwir yma; *yn llaw y cenadau a ddelo i Jerusalem at Zedeciah*—i geisio ganddo ef ymuno â hwynt mewn cynghrair yn erbyn brenin Babilon. Yr oedd y rhwymau a'r ieuau hyn i fod yn arwydd iddynt na thyciai eu cynghrair hwynt ddim yn ei erbyn ef, ond y byddai raid iddynt ymostwng iddo a'i wasanaethu.

Adn. 4. *A gorchymyn iddynt ddywedyd wrth eu harglwyddi*] Sef wrth y brenhinoedd a'u hanfonasent hwy at Zedeciah; *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*—yr hwn y mae ei allu a'i awdurdod yn anfeidrol ragori ar eiddo y mân frenhinoedd hyny.

Adn. 5. *Myfi a wnaethym y ddaear*] A'r oll sydd arni, trwy fy nerth hollalluog; *ac a'u rhoddais hwynt i'r neb y gwelais yn dda*—ac o ganlyniad y mae genyf hawl i'w cymeryd oddiarnynt hwy, a'u rhoddi eilwaith i'r neb a fynwyf.

Adn. 6. *Ac yn awr mi a roddais yr holl diroedd hyn yn llaw Nebuchodonosor*] Fel cosp gyfiawn am ddrygioni eu cyn-berchenogion; *fy ngwas*—sef yr offeryn a ddewisais i gario allan fy mwriadau hyn, pen. xxv. 9: *a mi a roddais hefyd anifeiliaid y maes i'w wasanaethu ef*—i fod yn ymborth iddo ef a'i luoedd, ac i gludo ei offer rhyfel o le i le.

Adn. 7. *A'r holl genhedloedd a'i gwasanaethant ef*] Sef Nebuchodonosor; *a'i fab*—sef Efil-merodach, pen. lii. 31; *a mab ei fab*—sef Belsassar, Dan. v. 1, &c.; *nes dyfod gwir amser ei wlad ef*—yr amser i ddarostwng ei wlad yntau, sef yn niwedd y 70 mlynedd. *Yna cenhedloedd lawer a brenhinoedd mawrion*—y Mediaid a'r Persiaid ac ereill; *a fynant wasanaeth ganddo ef*—fel y mynodd yntau gan ereill: gwel ar pen. xxv. 14.

Adn. 8. *Ond y genedl a'r deyrnas nis gwasanaetho ef*] Na roddant eu gwddf dan iau brenin Babilon, yr hyn a arwyddid trwy y

gwasanaetho ef, sef Nebuchodonosor
brenin Babilon, a'r rhai ni roddant
eu gwddf dan iau brenin Babilon;
â'r cleddyf, ac â newyn, ac â haint,
yr ymwelaf â'r genedl hòno, medd
yr Arglwydd, nes i mi eu dyfetha
hwynt trwy ei law ef.
9 Am hyny na wrandewch ar eich
proffwydi, nac ar eich dewiniaid,
nac ar eich breuddwydwyr, nac ar
eich hudolion, nac ar eich swynydd-
ion, y rhai sydd yn llefaru wrthych,
gan ddywedyd, Nid rhaid i chwi
wasanaethu brenin Babilon:
10 Canys celwydd y mae y rhai
hyn yn ei broffwydo i chwi, i'ch
gyru chwi yn mhell o'ch gwlad, ac
fel y bwriwn chwi ymaith, ac y
methoch.
11 Ond y genedl a roddo ei
gwddf dan iau brenin Babilon, ac a'i
gwasanaetho ef, y rhai hyny a ad-
awaf fi yn eu gwlad eu hun, medd
yr Arglwydd; a hwy a'i llafuriant
hi, ac a drigant ynddi.
12 ¶ A mi a lefarais wrth Zedeciah
brenin Juda yn ol yr holl eiriau hyn,
gan ddywedyd, Rhoddwch eich
gwarau dan iau brenin Babilon, a
gwasanaethwch ef a'i bobl, fel y
byddoch byw.
13 Paham y byddwch feirw, ti
a'th bobl, trwy y cleddyf, trwy
newyn, a thrwy haint, fel y dywed-
odd yr Arglwydd yn erbyn y genedl
ni wasanaethai frenin Babilon?
14 Am hyny na wrandewch ar
eiriau y proffwydi y rhai a lefarant
wrthych, gan ddywedyd, Nid rhaid
i chwi wasanaethu brenin Babilon:
canys y maent yn proffwydo cel-
wydd i chwi.
15 O herwydd nid myfi a'u han-
foddodd hwynt, medd yr Arglwydd,
er hyny hwy a broffwydant yn fy
enw ar gelwydd, fel y gyrwn chwi
ymaith, ac y darfyddai am danoch
chwi, a'r proffwydi sydd yn proff-
wydo i chwi.
16 Myfi a lefarais hefyd wrth yr
offeiriaid, a'r holl bobl hyn, gan
ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Ar-

---

rhwymau a'r gefynau uchod; *â'r cleddyf, ac â newyn, ac â haint, yr ymwelaf â'r genedl hòno*—nes eu dyfetha hwynt oddiar wyneb y ddaear; *trwy ei law ef*—sef Nebuchodonosor a'i fyddin. Dygai y rhai hyn y cleddyf i'w herbyn, a newyn a ddylynai warchaead eu dinasoedd, yr hwn a ganlynid yn naturiol gan haint angeuol.

Adn. 9. *Am hyny na wrandewch ar eich proffwydi*] Sef eich gau-broffwydi; *nac ar eich dewiniaid, &c.*—cyfeiria hyn ond odid at y cenhedloedd a grybwyllwyd adn. 3; *y rhai sydd yn llefaru wrthych*—yn gelwyddog; *Nid rhaid i chwi wasanaethu brenin Babilon*—er i'r Arglwydd ddywedyd i'r gwrthwyneb, adn. 6, 7.

Adn. 10. *Canys celwydd y mae y rhai hyn yn ei broffwydo i chwi*] Pethau nad oes sail iddynt, ac na ddeuant i ben; *i'ch gyru chwi yn mhell o'ch gwlad*—er nad hyny oedd amcan y gau-broffwydi a'r dewiniaid hyn, eto dyna fyddai y canlyniad; *ac fel y bwriwn chwi ymaith*—am wrando arnynt; *ac y methoch*—neu y trengoch yn ngwlad eich caethiwed.

Adn. 11. *Ond y genedl a roddo ei gwddf dan iau brenin Babilon*] I fod dan deyrnged iddo ef; *y rhai hyny a adawaf fi yn eu gwlad eu hun*—trwy dueddu brenin Babilon i'w gadael hwynt gartref: *a hwy a'i llafuriant hi*—a gânt drigo yn eu gwlad i'w llafurio iddynt eu hunain, ar yr ammod o dalu teyrnged flynyddol iddo ef.

Adn. 12. *Ac mi a lefarais wrth Zedeciah*] Hyny yw, llefarodd Jeremi yn bersonol wrth Zedeciah a'i dywysogion i'r perwyl hwn, ac wrth y brenhinoedd ereill trwy eu cenadau, adn. 3; *Rhoddwch eich gwarau dan iau brenin Babilon*—heb gynyg ei wrthsefyll ef fel offeryn eich cosp dan Dduw; *a gwasanaethwch ef a'i bobl, fel y byddoch byw*—fel yr arbeder eich bywyd, ac y caffoch fyw yn eich gwlad eich hun, adn. 11. Yr oedd y cynghor hwn o bwys mawr i Zedeciah, am mai brenin Babilon a'i gosodasai ef ar orsedd Juda, 2 Bren. xxiv. 17.

Adn. 13. *Paham y byddwch feirw?*] Paham y fforffetiwch eich bywyd yn wirfoddol trwy eich cyndynrwydd; *fel y dywedodd yr Arglwydd*—y byddai raid i bawb wneyd a'r nad ymostyngent i frenin Babilon? gwel ar adn. 8.

Adn. 14. *Am hyny na wrandewch*] Ar addewidion disail y gau-broffwydi; *canys y maent yn proffwydo celwydd i chwi*—wrth ddywedyd na raid i chwi wasanaethu brenin Babilon.

Adn. 15. *O herwydd nid myfi a'u hanfonodd hwynt, &c.*] Eithr adrodd y maent eu celwyddau eu hunain, gan eu tadogi i mi, yr hyn a ddiwedda yn eich dinystr chwi a hwythau; *fel y gyrwn chwi ymaith*—gwel ar adn. 10.

Adn. 16. *Myfi a lefarais hefyd wrth yr offeiriaid a'r holl bobl hyn*] Yn gystal ag wrth y brenin a'i dywysogion, adn. 12; *Na wrandewch ar eiriau eich proffwydi*—y rhai yn gelwyddog a ddywedant wrthych; *Wele llestri tŷ yr Arglwydd a ddygir yn eu hol o Babilon bellach ar frys*—sef y rhai a gymerasid yno eisioes yn amser Joacim a Joacin: gwel ar 2 Bren. xxiv. 13, 2 Cron. xxxvi. 7, 10.

glwydd, Na wrandewch ar eiriau
eich proffwydi, y rhai sydd yn proff-
wydo i chwi, gan ddywedyd, Wele,
llestri tŷ yr Arglwydd a ddygir yn
eu hol o Babilon bellach ar frys;
canys celwydd y maent yn ei broff-
wydo i chwi.
17 Na wrandewch arnynt, gwas-
anaethwch chwi frenin Babilon, a
byddwch fyw: paham y byddai y
ddinas hon yn ddiffaethwch?
18 Ond os proffwydi *ydynt* hwy,
ac od ydyw gair yr Arglwydd gyda
hwynt, eiriolant yr awr hon ar Ar-
glwydd y lluoedd, nad elo y llestri
a adawyd yn nhŷ yr Arglwydd, ac
yn nhŷ brenin Juda, ac yn Jerusa-
lem, i Babilon.
19 ¶ Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, am y colofnau,
ac am y môr, ac am yr ystolion, ac
am y rhan arall o'r llestri a adawyd
yn y ddinas hon,
20 Y rhai ni ddyg Nebuchodon-
osor brenin Babilon ymaith, pan
gaethgludodd efe Jechoniah fab Je-
hoiacim brenin Juda, o Jerusalem
i Babilon, a holl bendefigion Juda a
Jerusalem:
21 Ie, fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd, Duw Israel, am y llestri
a adawyd yn nhŷ yr Arglwydd, ac
yn nhŷ brenin Juda a Jerusalem;
22 Hwy a ddygir i Babilon, ac
yno y byddant hyd y dydd yr ym-
welwyf â hwynt, medd yr Ar-
glwydd: yna y dygaf hwynt i fyny,
ac y dychwelaf hwynt i'r lle hwn.

## PENNOD XXVIII.

AC yn y flwyddyn hòno yn nechre
teyrnasiad Zedeciah brenin Ju-
da, yn y bedwaredd flwyddyn, ar y
pummed mis, y llefarodd Hananiah
fab Azur y proffwyd, yr hwn *oedd*
o Gibeon, wrthyf fi yn nhŷ yr Ar-
glwydd, yn ngwydd yr offeiriaid a'r
holl bobl, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel, gan ddywed-
yd, Myfi a dorais iau brenin Babi-
lon.

---

Fel pe dywedasent, Nid yn unig nid ewch chwi i Babilon, ond dychwelir oddiyno yr hyn a ddygwyd yno eisioes.

Adn. 17. *Na wrandewch arnynt*] Eithr ymostyngwch i ewyllys Duw: *gwasanaethwch chwi frenin Babilon*—megys y tyngodd Zedeciah y byddai iddo wneuthur, 2 Cron. xxxvi. 13; *a byddwch fyw*—ar yr ammod o'i wasanaethu ef. *Paham y byddai y ddinas hon yn ddiffaethwch*—trwy eich gwaith chwi yn gwrthryfela yn ei erbyn ef, yr hyn a barai i chwi gael eich symud o honi trwy farwolaeth dreisiol neu gaethgludiad?

Adn. 18. *Ond os proffwydi ydynt hwy*] Sef gwir broffwydi; *ac od ydyw gair yr Arglwydd gyda hwynt*—fel y dywedant ei fod; *eiriolant yr awr hon ar Arglwydd y lluoedd, &c.*—yn lle haeru y dygir y llestri ereill yn ol ar frys, boed iddynt eiriol na byddo i'r gweddill o'r llestri a adawyd yn Jerusalem gael eu dwyn ymaith i Babilon ar ol y lleill.

Adn. 19. *Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd am y colofnau*] Am y ddwy golofn bres, 'Jachin a Boaz,' y rhai oeddynt yn mhorth y deml, 1 Bren. vii. 21; *ac am y môr*—sef y 'môr tawdd,' yr hwn oedd yn nghynteddy deml, 1 Bren. vii. 23; *ac am yr ystolion*—sef deg o ystolion pres, i ddal y deg noe bres, 1 Bren. vii. 27, 38; *ac am y rhan arall o'r llestri*—perthynol i'r deml, y palas brenhinol, a thai y pendefigion; *a adawyd yn y ddinas hon*—yn amser Jehoiacim a Jechoniah, y rhai a elwid Joacim a Joacin.

Adn. 20. *Y rhai ni ddyg Nebuchodonosor brenin Babilon ymaith*] Ond odid am eu bod yn rhy drymion, neu yn llestri *pres;* canys llestri *aur* ac *arian* gan mwyaf a ddygasai efe ymaith yn amser y brenhinoedd uchod, 2 Bren. xxiv. 13, &c.

Adn. 21. *Ie, fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Am yr holl lestri uchod, y rhai a adewsid ar ol.

Adn. 22. *Hwy a ddygir i Babilon*] Yn sicr, yn amser ymosodiad diweddaf Nebuchodonosor ar Jerusalem; *ac yno y byddant*—gyda'r rhai a ddygesid yno o'r blaen, *hyd y dydd yr ymwelwyf â hwynt*—sef â'r Caldeaid mewn barn, ac â'r Iuddewon mewn trugaredd, yn niwedd y 70 mlynedd: *yna y dygaf hwynt i fyny*—o Babilon i Jerusalem; yr hyn a gyflawnwyd yn fanwl, fel y gwelwn yn Ezra i. 7—9.

PEN. XXVIII. Adn. 1. *Ac yn y flwyddyn hòno*] Pryd y gwnaeth Jeremi y rhwymau a'r gefynau i'w hanfon i'r brenhinoedd, fel yr adroddwyd uchod; *yn nechre teyrnasiad Zedeciah*—ac nid 'Jehoiacim,' fel y dywedir yn adn. 1 o'r bennod flaenorol; *y llefarodd Hananiah fab Azur y proffwyd*—sef y gau-broffwyd, neu un yn hòni ei fod yn broffwyd; *yr hwn oedd o Gibeon*—dinas offeiriadol yn llwyth Benjamin, Jos. xxi. 17, ac am hyny gallai ei fod yntau o'r llin offeiriadol yn gystal a Jeremi; *wrthyf fi yn nhŷ yr Arglwydd*—i wrthwynebu yr hyn a ddywedaswn i yn y bennod uchod; *yn ngwydd yr offeiriaid a'r holl bobl*—i'r dyben i'w hennill hwy i fod yn fy erbyn i.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Oddiwrth yr hwn yr hònai ef ei fod wedi cael datguddiad; *Myfi a dorais iau*

3 O fewn yspaid dwy flynedd
myfi a ddygaf drachefn i'r lle hwn
holl lestri tŷ yr Arglwydd, y rhai a
gymerth Nebuchodonosor brenin
Babilon ymaith o'r lle hwn, ac a'u
dyg i Babilon.
4 Ac mi a ddygaf Jechoniah fab
Jehoiacim brenin Juda, a holl
gaethglud Juda, y rhai a aethant
i Babilon, drachefn i'r lle hwn,
medd yr Arglwydd; canys mi a
doraf iau brenin Babilon.
5 ¶ Yna Jeremi y proffwyd a
ddywedodd wrth Hananiah y proff-
wyd, yn ngwydd yr offeiriaid, ac
yn ngwydd yr holl bobl, y rhai
oedd yn sefyll yn nhŷ yr Arglwydd;
6 Ie, y proffwyd Jeremi a ddy-
wedodd, Amen, poed felly y gwnelo
yr Arglwydd; yr Arglwydd a gyf-
lawno dy eiriau di, y rhai a broff-
wydaist, am ddwyn drachefn lestri
tŷ yr Arglwydd, a'r holl gaethglud,
o Babilon i'r lle hwn.
7 Eto gwrando di yr awr hon y
gair yma, yr hwn a lefaraf fi lle y
clywech di, a lle y clywo yr holl
bobl;
8 Y proffwydi y rhai a fuant o'm
blaen i, ac o'th flaen dithau erioed,
a broffwydasant yn erbyn gwledydd
lawer, ac yn erbyn teyrnasoedd
mawrion, am ryfel, ac am ddrygfyd,
ac am haint.
9 Y proffwyd a broffwydo am
heddwch, pan ddel gair y proffwyd
*i ben*, yr adnabyddir y proffwyd,
mai yr Arglwydd a'i hanfonodd ef
mewn gwirionedd.
10 ¶ Yna Hananiah y proffwyd a
gymerodd y gefyn oddiam wddf
Jeremi y proffwyd, ac a'i torodd ef.
11 A Hananiah a lefarodd yn
ngwydd yr holl bobl, gan ddywed-
yd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Y modd hyn y toraf fi iau Nebuch-
odonosor brenin Babilon o fewn ys-
paid dwy flynedd oddiar war pob
cenedl. A Jeremi y proffwyd a
aeth i ffordd.
12 ¶ Yna y daeth gair yr Ar-
glwydd at Jeremi *y proffwyd*, (wedi

*brenin Babilon*—yr hwn a roisai efe am yr Iuddewon i'w rhwymo hwynt i'w wasanaethu ef. Rhaid fod y dyn hwn yn dra rhyfygus, pan yr haerai yn gelwyddog i Dduw Israel ddywedyd fel hyn wrtho ef!

Adn. 3. *O fewn yspaid dwy flynedd myfi a ddygaf drachefn i'r lle hwn*] Sef i Jerusalem, yr holl lestri santaidd a gymerasai Nebuchodonosor i Babilon: gwel ar pen. xxvii. 16, 20.

Adn. 4. *Ac mi a ddygaf Jechoniah, &c.*] Yr oedd proffwydo dychweliad Jechoniah yn beth dymunol gan y bobl, y rhai nid edrychent ar Zedeciah ond fel brenin o osodiad Nebuchodonosor arnynt, 2 Bren. xxiv. 17. Fel hyn efe a addawai iddynt ddychweliad diatreg y gaethglud o Babilon, tra yr oedd Jeremi wedi proffwydo y rhwymid hwy eto yn dŷnach fyth, ac na ddychwelid y llestri na'r gaethglud hyd ddiwedd y 70 mlynedd, pen. xxvii. 22.

Adn. 5. *Yna Jeremi*] Gwir broffwyd yr Arglwydd; *a ddywedodd wrth Hananiah*—y gau-broffwyd; *yn ngwydd yr offeiriaid, ac yn ngwydd yr holl bobl*—y rhai a glywsent eiriau Hananiah, adn. 2—4.

Adn. 6. *Ie, y proffwyd Jeremi a ddywedodd*] Mewn cywirdeb calon; *Amen, poed felly y gwnelo yr Arglwydd*—boed iddo dori iau brenin Babilon, a dwyn y llestri a'r gaethglud yn ol i Jerusalem, fel y dywedaist ti. Yr oedd yn well gan Jeremi gael ei gyfrif yn au-broffwyd, ac i eiriau Hananiah gael eu cyflawni, nag i'w genedl barhau yn gaethion yn ngwlad eu gelynion.

Adn. 7. *Eto gwrando di yr awr hon y gair yma*] Yr hwn a draethai Jeremi wrtho ef yn nghlywedigaeth yr holl bobl.

Adn. 8. *Y proffwydi y rhai a fuant o'm blaen i, ac o'th flaen dithau erioed*] Megys Joel, Amos, Hosea, Micah, Zephaniah, Nahum, Habaccuc, ac ereill; *a broffwydasant yn erbyn gwledydd lawer, ac yn erbyn teyrnasoedd mawrion*—ïe, proffwydasant am ryfel, ac am ddrygfyd, ac am haint, fel y proffwydais inau yn erbyn Judea a Jerusalem. Nid i broffwydo *daioni* yn unig yr oedd Duw yn anfon ei wir broffwydi ef, eithr i broffwydo *drwg* hefyd: gan hyny nid oedd fod Hananiah yn proffwydo fel y gwnaeth, yn ddigon o brawf ei fod wedi cael ei anfon gan Dduw.

Adn. 9. *Y proffwyd a broffwydo am heddwch*] I bechaduriaid anedifeiriol, fel y gwnaethai Hananiah yn awr; *pan ddel gair y proffwyd i ben*—yn yr amser a'r dull a ragfynegodd efe; *yr adnabyddir y proffwyd*—ei fod yn broffwyd wedi ei anfon mewn gwirionedd gan yr Arglwydd, ac nid cyn hyny.

Adn. 10. *Yna Hananiah y proffwyd a gymerodd y gefyn*] Neu yr iau, *oddiam wddf Jeremi y proffwyd*—yr hwn a ddodasai efe am ei wddf trwy orchymyn Duw, pen. xxvii. 2; *ac a'i torodd ef*—i arwyddo toriad iau Nebuchodonosor oddiar war pob cenedl o fewn yspaid dwy flynedd, adn. 11.

Adn. 11. *A Jeremi y proffwyd a aeth i ffordd*] Naill ai mewn syndod a gofid wrth weled rhyfyg Hananiah, neu am nad oedd ganddo eto un genadwri oddiwrth yr Arglwydd ato ef. Nid oedd Jeremi yn caru dadlu â dyn mor ddrwg, rhag creu terfysg yn mhlith y bobl; ac am hyny efe a giliodd yn dawel oddiwrtho.

Adn. 12. *Yna y daeth gair yr Arglwydd*

i Hananiah y proffwyd dori y gefyn oddiam wddf y proffwyd Jeremi,) gan ddywedyd,

13 Dos di, a dywed i Hananiah, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Gefynau pren a doraist ti; ond ti a wnei yn eu lle hwynt efynau o haiarn.

14 Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Rhoddaf iau o haiarn ar war yr holl genhedloedd hyn, fel y gwasanaethont Nebuchodonosor brenin Babilon, a hwy a'i gwasanaethant ef: mi a roddais hefyd anifeiliaid y maes iddo ef.

15 ¶ Yna Jeremi y proffwyd a ddywedodd wrth Hananiah y proffwyd, Gwrando yn awr, Hananiah; Ni anfonodd yr Arglwydd mo honot ti; ond yr wyt yn peri i'r bobl hyn ymddiried mewn celwydd.

16 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele, mi a'th fwriaf di oddiar wyneb y ddaear: *o fewn* y flwyddyn hon y byddi farw, o herwydd i ti ddysgu gwrthryfel yn erbyn yr Arglwydd.

17 Felly Hananiah y proffwyd â fu farw y flwyddyn hòno, yn y seithfed mis.

## PENNOD XXIX.

DYMA eiriau y llythyr a anfonodd Jeremi y proffwyd o Jerusalem at weddill henuriaid y gaethglud, ac at yr offeiriaid, ac at y proffwydi, ac at yr holl bobl y rhai a gaethgludasai Nebuchodonosor o Jerusalem i Babilon.

2 (Wedi myned Jechoniah y brenin, a'r frenhines, a'r ystafellyddion, tywysogion Juda a Jerusalem, a'r seiri a'r gofaint, allan o Jerusalem.)

3 Yn llaw Elasah fab Saphan, a Gemarïah fab Hilciah, y rhai a anfonodd Zedeciah brenin Juda at Nebuchodonosor brenin Babilon i Babilon, gan ddywedyd,

4 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, wrth yr holl

---

*at Jeremi*] I roddi cenadwri iddo at y proffwyd celwyddog Hananiah, ac i gadarnhau ei broffwydoliaeth ei hun.

Adn. 13. *Dos di, a dywed i Hananiah*] Oddiwrthyf fi; *Gefynau pren a doraist ti*—oddiam wddf Jeremi, adn. 10; *ond ti a wnei yn eu lle hwynt efynau o haiarn*—y rhai a fyddant yn gryfach, trymach, ac anhawddach eu dyoddef, na gefynau pren. Wrth i'r bobl wrthsefyll y Caldeaid, yr oeddynt yn cryfhau ac yn trymhau eu caethiwed eu hunain; a phriodolir hyny i Hananiah, yr hwn a'u hannogai hwynt i'w gwrthsefyll er niwed iddynt eu hunain.

Adn. 14. *Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Ac nid fel y dywedaist ti, adn. 2—4; *Rhoddaf iau o haiarn ar war yr holl genhedloedd hyn*—a enwyd pen. xxvii. 3; *fel y gwasanaethont Nebuchodonosor*—mewn caethiwed blin: *mi a roddais hefyd anifeiliaid y maes iddo ef*—gwel ar pen. xxvii. 6.

Adn. 15. *Yna Jeremi*] A ddywedodd yn mhellach wrth y gau-broffwyd hwn; *Gwrando yn awr, Hananiah*—ar dy ddedfryd dy hun: *Ni anfonodd yr Arglwydd mo honot ti*—i broffwydo yn ei enw ef; *ond yr wyt yn peri i'r bobl hyn ymddiried mewn celwydd*—trwy gredu y bydd i Dduw dori iau brenin Babilon oddiar eu gwar hwy mewn yspaid dwy flynedd, adn. 11, yr hyn ni addawodd erioed.

Adn. 16. *Wele, mi a'th fwriaf di oddiar wyneb y ddaear*] I waelod bedd: *o fewn y flwyddyn hon y byddi farw*—yn gosp am dy bechod rhyfygus; *o herwydd i ti ddysgu gwrthryfel yn erbyn yr Arglwydd*—trwy annog y bobl i gredu celwydd, yn lle gwrando ar ei leferydd ef trwy enau ei wir broffwyd; ac i wrthryfela yn erbyn y Caldeaid, yn lle ymostwng yn dawel i'r orchwyliaeth geryddol hon o eiddo Duw.

Adn. 17. *Felly Hananiah y proffwyd a fu farw y flwyddyn hòno*] Yn ol gair Jeremi, yr hyn oedd megys sêl y nefoedd wrth ei eiriau ef: *yn y seithfed mis*—sef yn mhen dau fis ar ol iddo fod yn gwrthwynebu Jeremi, yr hyn a wnaeth yn y 'pummed mis,' adn. 1. Fel hyn efe a gafodd ddau fis o amser i ymbarotoi i gyfarfod â'i Farnwr.

PEN. XXIX. Adn. 1. *Dyma eiriau y llythyr a anfonodd Jeremi*] Yn nechre teyrnasiad Zedeciah; *at weddill henuriaid y gaethglud*—y rhai oeddynt y pryd hyny yn fyw yn Babilon, heb farw ar y ffordd, neu yn eu caethiwed; *ac at yr offeiriaid, ac at y proffwydi*—sef Ezeciel, Daniel, ac ereill, y rhai a gaethgludesid gan Nebuchodonosor yn amser Jehoiacim a Jechoniah; *ac at yr holl bobl*—y rhai a ddygesid yno ar yr un pryd a hwynt. Amcan Jeremi trwy y llythyr hwn oedd eu hannog hwy i ymfoddloni i'w cyflwr, a pheidio coelio y gau-broffwydi y rhai a addawent ryddhad iddynt cyn gorphen 70 mlynedd eu caethiwed.

Adn. 2. *Wedi myned Jechoniah y brenin, &c.*] Gwel hanes y caethgludiad hwn, 2 Bren. xxiv. 13—16.

Adn. 3. *Yn llaw Elasah fab Saphan, a Gemarïah*] Danfonodd Jeremi ei lythyr i Babilon yn llaw y ddau ŵr hyn, y rhai oeddynt yn myned yno eisioes dros Zedeciah fel teyrn-genadau at Nebuchodonosor.

gaethglud, yr hon a berais ei chaethgludo o Jerusalem i Babilon;
5 Adeiledwch dai, a phreswyliwch *ynddynt;* a phlenwch erddi, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.
6 Cymerwch wragedd, ac ennillwch feibion a merched; a chymerwch wragedd i'ch meibion, a rhoddwch eich merched i wŷr, fel yr esgoront ar feibion a merched, ac yr amlhaoch chwi yno, ac na leihaoch.
7 Ceisiwch hefyd heddwch y ddinas yr hon y'ch caethgludais iddi, a gweddiwch ar yr Arglwydd drosti hi; canys yn ei heddwch hi y bydd heddwch i chwithau.
8 ¶ O herwydd fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Na thwylled eich proffwydi, y rhai *sydd* yn eich mysg chwi, mo honoch, na'ch dewiniaid; ac na wrandewch ar eich breuddwydion y rhai yr ydych chwi yn peri eu breuddwydio:
9 Canys y maent hwy yn proffwydo i chwi ar gelwydd yn fy enw i; ni anfonais i mo honynt, medd yr Arglwydd.
10 ¶ O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd, Pan gyflawner yn Babilon ddeng mlynedd a thriugain, yr ymwelaf â chwi, ac a gyflawnaf â chwi fy ngair daionus, trwy eich dwyn chwi drachefn i'r lle hwn.
11 Oblegid myfi a wn y meddyliau yr wyf fi yn eu meddwl am danoch chwi, medd yr Arglwydd, meddyliau heddwch ac nid niwed, i roddi i chwi y diwedd yr ydych chwi yn ei ddysgwyl.
12 Yna y gelwch chwi arnaf, ac yr ewch ac y gweddiwch arnaf fi, a minau a'ch gwrandawaf.
13 Ceisiwch fi hefyd, a chwi a'*m*

---

Adn. 4. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Felly cenadwri oddiwrth yr Arglwydd a anfonid gan Jeremi at y gaethglud yn Babilon.

Adn. 5. *Adeiledwch dai, a phreswyliwch ynddynt, &c.*] Fel pe dywedasai, Gwnewch eich hunain mor gysurus ag y medroch hyd ddiwedd y 70 mlynedd, yn lle coelio y gau-broffwydi y rhai a addawant i chwi ryddhad diatreg oddiyna.

Adn. 6. *Cymerwch wragedd*] Sef rhai o'u cenedl eu hunain yn ddiamau; *ac ennillwch feibion a merched*—y rhai yr un modd oeddynt i briodi ac ennill plant; yr hyn hefyd a arwyddai eu hir gaethiwed hwy.

Adn. 7. *Ceisiwch hefyd heddwch y ddinas*] Trwy weddio dros Babilon; *canys yn ei heddwch hi y bydd heddwch i chwithau*—gan eich bod i aros yn Babilon am 70 mlynedd, bydd i'w llwyddiant neu ei haflwyddiant hi effeithio er daioni neu niwed i chwithau, fel rhan o'i thrigolion.

Adn. 8. *Na thwylled eich proffwydi, y rhai sydd yn eich mysg chwi, mo honoch*] Hyny yw, na wrandewch arnynt yn addaw rhyddhad ebrwydd i chwi; *na'ch dewiniaid*—y rhai a honant eu bod wedi cael gwybodaeth o hyny trwy y ser a'r planedau, neu trwy ysbryd dewiniaeth. Y mae yn debyg mai Iuddewon perthynol i'r gaethglud oedd y rhai hyn, er fod y Caldeaid hefyd yn dra chwannog i ddewiniaeth o bob math, Dan. ii. 2. *Ac na wrandewch ar eich breuddwydion y rhai yr ydych chwi yn peri eu breuddwydio*—neu yn hytrach, 'na wrandewch ar eich *breuddwydwyr*, y rhai yr ydych yn peri iddynt freuddwydio;' hyny yw, y rhai yr ydych yn eu hannog i gymeryd arnynt freuddwydio am eich rhyddhad, trwy dalu yn dda iddynt am eich twyllo.

Adn. 9. *Canys y maent hwy yn proffwydo i chwi ar gelwydd*] A hyny yn rhyfygus yn enw yr Arglwydd, fel Hananiah yn pen. xxviii. 2, 4, 11: *ni anfonais i mo honynt*—i broffwydo, dewinio, na breuddwydio.

Adn. 10. *O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Hyn yw y gwirionedd, pa beth bynag a ddywed y gau-broffwydi uchod i'r gwrthwyneb; *Pan gyflawner yn Babilon ddeng mlynedd a thriugain*—o ddechre y caethiwed hyd ddechre y rhyddhad, fel y nodwyd yn y rhagarweiniad i lyfr Ezra; *yr ymwelaf â chwi*—mewn trugaredd, *ac a gyflawnaf â chwi fy ngair daionus*—fy addewid ddaionus i'ch rhyddhau; *trwy eich dwyn chwi drachefn i'r lle hwn*—sef i Jerusalem. Ni chafodd ond ychydig o'r rhai hyn eu dwyn yn bersonol i Jerusalem, Ezra iii. 12; eto, gan i'w plant a'u hwyrion gael eu rhyddhau, yr oedd yr addewid hon yn cael ei chyflawni yn llythyrenol iddynt fel *cenedl.*

Adn. 11. *Oblegid myfi a wn y meddyliau yr wyf fi yn eu meddwl am danoch chwi*] Trwy y caethiwed hwn; *meddyliau heddwch ac nid niwed*—meddyliau i wneyd daioni i chwi yn y pen draw, ac nid drwg, er y gallwch chwi ac ereill dybio i'r gwrthwyneb; *i roddi i chwi y diwedd yr ydych chwi yn ei ddysgwyl*—sef gwaredigaeth o'ch caethiwed, ac oddiwrth eich eilunaddoliaeth ar yr un pryd. Nis gallai awydd yr Iuddewon na breuddwydion eu breuddwydwyr ddwyn y 'diwedd' hwnw iddynt cyn cyflawni y 70 mlynedd; ac nis gallai holl rym y Caldeaid eu cadw hwynt yno yn hwy na'r amser penderfynedig hwnw.

Adn. 12. *Yna y gelwch chwi arnaf*] Sef yn eu caethiwed, cyn eu rhyddhau, adn. 14; *ac yr ewch*—i'ch ystafelloedd, neu i leoedd mwy cyhoeddus; *ac y gweddiwch arnaf fi*—ac nid ar eich eilunod mwyach; *a minau a'ch gwrandawaf*—i roddi i chwi eich dymuniad.

Adn. 13. *Ceisiwch fi hefyd*] Hyny yw,

cewch, pan y'm ceisioch â'ch holl galon.

14 A mi a adawaf i chwi fy nghael, medd yr Arglwydd, a mi a ddychwelaf eich caethiwed, ac a'ch casglaf chwi o'r holl genhedloedd, ac o'r holl leoedd y rhai y'ch gyrais iddynt, medd yr Arglwydd; a mi a'ch dygaf chwi drachefn i'r lle y perais eich caethgludo chwi allan o hono.

15 ¶ O herwydd i chwi ddywedyd, Yr Arglwydd a gyfododd broffwydi i ni yn Babilon:

16 *Gwybyddwch* mai fel hyn y dywed yr Arglwydd am y brenin sydd yn eistedd ar deyrn-gadair Dafydd, ac am yr holl bobl sydd yn trigo yn y ddinas hon, *ac* am eich brodyr y rhai nid aethant allan gyda chwi i gaethglud;

17 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Wele fi yn anfon arnynt y cleddyf, a newyn, a haint, a mi a'u gwnaf hwynt fel y ffigys bryntion, y rhai ni ellir eu bwyta rhag eu dryced.

18 A mi a'u herlidiaf hwynt â'r cleddyf, â newyn ac â haint; ac mi a'u rhoddaf hwynt i'w symud i holl deyrnasoedd y ddaear, yn felldith, ac yn chwithdra, ac yn chwibaniad, ac yn warth yn mysg yr holl genhedloedd lle y gyrais i hwynt;

19 Am na wrandawsant ar fy ngeiriau, medd yr Arglwydd, y rhai a anfonais i atynt gyda'm gweision y proffwydi, gan gyfodi yn fore, a'*u* hanfon; ond ni wrandawech, medd yr Arglwydd.

20 ¶ Gan hyny gwrandewch air yr Arglwydd; chwi oll o'r gaethglud a anfonais o Jerusalem i Babilon:

21 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, am Ahab fab Colaiah, ac am Zedeciah fab Maaseiah, y rhai sydd yn proffwydo

---

chwi a'm ceisiwch, ac a'm cewch; *pan y'm ceisioch â'ch holl galon*—gyda thaerineb, difrifoldeb, a diragrithrwydd: y pryd hyny chwi a'm cewch yn Waredwr, yn Amddiffynwr, ac yn Dduw i chwi.

Adn. 14. *A mi a adawaf i chwi fy nghael*] Yn ol fy addewid i'ch tadau, Lef. xxvi. 40—45, Deut. xxx. 2, 3; *a mi a ddychwelaf eich caethiwed*—neu a'ch dychwelaf chwi o'ch caethiwed; *ac a'ch casglaf chwi o'r holl genhedloedd*—o blith yr holl genhedloedd; *ac o'r holl leoedd y rhai y'ch gyrais iddynt*—er mai yn Babilon yr oedd y rhan fwyaf o'r Iuddewon mewn caethiwed, eto yr oedd llawer o honynt ar wasgar yn mhlith rhai cenhedloedd ereill hefyd, y rhai a berthynent i amherodraeth Caldea. *A mi a'ch dygaf chwi drachefn*—i Jerusalem a gwlad Judea.

Adn. 15. *O herwydd i chwi ddywedyd*] Y mae y LXX yn gosod yr adnod hon rhwng adn. 20 a 21, a bernir yn gyffredin mai yno y dylai fod. *Yr Arglwydd a gyfododd broffwydi i ni yn Babilon*—cyfeirir yma at y gau-broffwydi a enwir yn adn. 21, ac ereill, y rhai ni addawent iddynt ddim ond heddwch, daioni, a llwyddiant.

Adn. 16. *Gwybyddwch mai fel hyn y dywed yr Arglwydd am y brenin*] Sef am Zedeciah, brenin presenol Judea; *ac am yr holl bobl*—y rhai a adawyd gartref pan y'ch caethgludwyd chwi.

Adn. 17. *Wele fi yn anfon arnynt y cleddyf, a newyn, a haint*] Fel y bydd yn waeth arnynt hwy yn Judea, nag arnoch chwi yn Babilon; ac am hyny, fel pe dywedasai, na chenfigenwch wrth eu cyflwr hwy: *a mi a'u gwnaf hwynt fel y ffigys bryntion, &c.*—cyfeirir yma at weledigaeth y ddau gawellaid ffigys: gwel ar pen. xxiv. 2, &c.

Adn. 18. *A mi a'u herlidiaf hwynt â'r cleddyf, &c.*] Gwel ar pen. xxiv. 9, 10.

Adn. 19. *Am na wrandawsant ar fy ngeiriau, &c.*] Bygythir cosp drymach ar yr Iuddewon ag oeddynt fyth yn Judea, nag ar eu brodyr ag oeddynt wedi myned eisioes i gaethiwed, am fod eu pechodau yn fwy; canys ar ol cael eu rhybyddio ar gost Jehoiacim a Jechoniah, y rhai a ddyoddefasant yn drwm am eu drygioni, darfu iddynt hwy drachefn, y drydedd waith, dori y ffyddlondeb a dyngasent i frenin Babilon yn enw Duw, a diystyru holl rybyddion a chynghorion yr Arglwydd trwy Jeremi, fel y dywedir yma. *Gan gyfodi yn fore, a'u hanfon*—gwel ar pen. xxv. 3, 4.

Adn. 20. *Gan hyny gwrandewch air yr Arglwydd*] Tybia *Dr. Blayney* i'r proffwyd Jeremi anfon *dau* lythyr at y gaethglud yn Babilon, a bod y cyntaf yn diweddu gyda'r adnod hon. Ac wedi iddo glywed, ar ddychweliad y cenadau (adn. 3), na ddarfu i'r gaethglud dderbyn ei gynghorion ef yn ffafriol, ond eu bod yn gwrandaw ar eu gau-broffwydi eu hunain, y rhai a addawent iddynt ddychweliad buan i'w gwlad: yna ddarfod iddo ysgrifenu *ail* lythyr atynt, yn dechreu gydag adn. 15, yr hon a ddylasai ddyfod i mewn ar ol yr adnod hon, yn yr hwn y cyhoedda efe farnedigaethau Duw ar y tri throseddwr penaf o honynt, sef Ahab, Zedeciah, a Semaiah.

Acn. 21. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Sef yn yr ail lythyr a anfonodd Jeremi atynt; *am Ahab fab Colaiah, ac am Zedeciah fab Maaseiah*—sef dau o'r gau-broffwydi ag y cyfeiriwyd atynt yn adn. 15; *y rhai sydd yn proffwydo celwydd i chwi yn fy enw i*—trwy addaw dychweliad buan i chwi i'ch gwlad, a chyflawni ysgelerderau ereill, adn. 23. Dywed y rabbiniaid mai dyma y

celwydd i chwi yn fy enw i, Wele, myfi a'u rhoddaf hwynt yn llaw Nebuchodonosor brenin Babilon, ac efe a'u lladd hwynt yn ngwydd eich llygaid chwi.
22 A holl gaethglud Juda, yr hon *sydd* yn Babilon, a gymerant y rheg *hon* oddiwrthynt hwy, gan ddywedyd, Gwneled yr Arglwydd dydi fel Zedeciah ac fel Ahab, y rhai a rostiodd brenin Babilon wrth y tân.
23 Am iddynt wneuthur ysgelerder yn Israel, a gwneuthur godineb gyda gwragedd eu cymydogion, a llefaru o honynt eiriau celwyddog yn fy enw i, y rhai ni orchymynais iddynt; a minau yn gwybod, ac yn dyst, medd yr Arglwydd.
24 ¶ Ac wrth Semaiah y Nehemaliad y llefari, gan ddywedyd,
25 Fel hyn y llefarodd Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, gan ddywedyd, Am i ti anfon yn dy enw dy hun lythyrau at yr holl bobl *sydd* yn Jerusalem, ac at Zephaniah fab Maaseiah yr offeiriad, ac at yr holl offeiriaid, gan ddywedyd,
26 Yr Arglwydd a'th osododd di yn offeiriad yn lle Jehoiada yr offeiriad, i fod yn olygwr yn nhŷ yr Arglwydd, ar bob gŵr gorphwyllog, ac yn cymeryd arno broffwydo, i'w roddi ef mewn carchar, a chyffion:
27 Ac yn awr paham na cheryddaist ti Jeremi o Anathoth, yr hwn sydd yn proffwydo i chwi?
28 Canys am hyny yr anfonodd atom ni *i* Babilon, gan ddywedyd, Hir *fydd y caethiwed* hwn: adeiledwch dai, a phreswyliwch *ynddynt;* a phlenwch erddi, a bwytewch eu ffrwyth hwynt.

---

ddau henuriad a geisiasant hudo Susanna i odineb, fel yr adroddir yn 'Ystori Susanna,' yn yr Apocrypha: gwel yr hanes yno. *Wele, myfi a'u rhoddaf hwynt yn llaw Nebuchodonosor*—yr hwn a lidia wrthynt am annog yr Iuddewon i godi yn erbyn ei lywodraeth ef, i'r dyben i gael eu rhyddid yn ebrwydd; *ac efe a'u lladd hwynt yn ngwydd eich llygaid chwi*—trwy eu rhostio i farwolaeth, adn. 22.

Adn. 22. *A holl gaethglud Juda*] Y rhai oeddynt yn Babilon eisioes, a'r rhai a ddygid yno yn ol llaw; *a gymerant y rheg hon oddiwrthynt hwy*—pan yn dymuno drwg neu felldith i arall; *Gwneled yr Arglwydd dydi fel Zedeciah ac fel Ahab*—pared i ti gael yr un diwedd a hwy; *y rhai a rostiodd brenin Babilon wrth y tân*—yr hon oedd yn gosp gyffredin yn Babilon, fel yr ymddengys oddiwrth hanes y tri llanc, Dan. iii. 6, 19: gwel hefyd 2 *Mac.* vii. 5.

Adn. 23. *Am iddynt wneuthur ysgelerder yn Israel*] Sef halogi merch Nebuchodonosor, meddai rhai o'r Iuddewon; neu annog gwrthryfel yn erbyn ei lywodraeth ef, fel y nodwyd ar adn. 21; *a gwneuthur godineb gyda gwragedd eu cymydogion*—fel y ceisiasant gyda Susanna, os gwir a ddywed y rabbiniaid; *a llefaru o honynt eiriau celwyddog yn fy enw i*—gan haeru mai myfi a'u rhoddodd hwynt yn eu geneuau; *a minau yn gwybod, ac yn dyst* — o'u holl feddyliau, eu geiriau, a'u gweithredoedd.

Adn. 24. *Ac wrth Semaiah y Nehelamiad*] Neu 'Semaiah y *breuddwydiwr*,' fel y gellir ei gyfieithu: gwel ar adn. 8.

Adn. 25. *Am i ti anfon yn dy enw dy hun lythyrau*] Mewn canlyniad i lythyr cyntaf Jeremi atynt hwy, adn. 4—20; *at yr holl bobl sydd yn Jerusalem*—heb eu caethgludo eto oddiyno; *ac at Zephaniah*—yr hwn oedd yr ail offeiriad, a'r nesaf at yr archoffeiriad, pen. lii. 24; *ac at yr holl offeiriaid*—cyffredin. Ysgrifenodd Semaiah lythyrau yn ei enw ei hun, heb ymgynghori dim â neb, at yr holl wŷr uchod yn Jerusalem, i'w hannog hwy i godi yn erbyn Jeremi. Rhediad y llythyr at Zephaniah sydd fel hyn:

Adn. 26. *Yr Arglwydd a'th osododd di yn offeiriad yn lle Jehoiada*] Sef yn archoffeiriad, fel y tybia rhai. Awgryma Semaiah iddo gael y datguddiad hwn yn Babilon oddiwrth yr Arglwydd. Gwir enw yr archoffeiriad presenol oedd *Azariah*, neu *Seriah* ei fab, pen. lii. 24; a gall ei fod yn cael ei alw yn *Jehoiada* yma, i annog Zephaniah i ddangos yr un sel a gwroldeb yn ei swydd ag a ddanghosid gynt gan yr archoffeiriad o'r enw hwnw, 2 Bren. xi. 4, &c. Neu gall yr ymadrodd '*yn lle* Jehoiada,' fod yn arwyddo '*fel* Jehoiada.' Eithr tybia *Blayney* mai ail offeiriad a ddiswyddwyd o herwydd rhyw fai oedd y *Jehoiada* hwn, a bod Zephaniah i gymeryd ei le ef fel ail offeiriad, ac i wylio rhag troseddu fel y gwnaeth hwnw, rhag iddo gael ei ddiswyddo fel yntau. *I fod yn olygwr yn nhŷ yr Arglwydd*—yn benaf gŵr yn y deml, braint berthynol i'r archoffeiriad, ac i'r ail offeiriad yn ei absenoldeb ef; *ar bob gŵr gorphwyllog*—y fath ag y tybiai ef fod Jeremi; *ac yn cymeryd arno broffwydo*—ac yntau heb ei anfon gan Dduw; *i'w roddi ef mewn carchar a chyffion*—fel cosp am ei orphwylldra, ei ryfyg, a'i gelwydd.

Adn. 27. *Ac yn awr paham na cheryddaist ti Jeremi*] Y dyn gorphwyllog a chelwyddog hwnw, a thithau yn meddu awdurdod i hyny fel golygwr yn nhŷ yr Arglwydd?

Adn. 28. *Canys am hyny*] Am ei fod ef yn orphwyllog, neu am na cheryddaist ti ef trwy ei osod mewn carchar a chyffion; *yr anfonodd atom ni i Babilon*—i fynegu mai hir fydd y caethiwed hwn, yn parhau 70 mlynedd, adn. 10: *adeiledwch dai, &c.*—gwel ar adn. 5, 6.

Adn. 29. *A Zephaniah yr offeiriad a ddar-*

29 A Zephaniah yr offeiriad a ddarllenodd y llythyr hwn lle y clywodd Jeremi y proffwyd.

30 ¶ Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi, gan ddywedyd,

31 Anfon at yr holl gaethglud, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed yr Arglwydd am Semaiah y Nehelamiad; O herwydd i Semaiah broffwydo i chwi, a minau heb ei anfon ef, a pheri o hono i chwi ymddiried mewn celwydd:

32 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd; Wele, mi a ymwelaf â Semaiah y Nehelamiad, ac â'i had ef: ni bydd iddo un a drigo yn mysg y bobl hyn, ac ni chaiff efe weled y daioni a wnaf fi i'm pobl, medd yr Arglwydd; am iddo ddysgu gwrthryfel yn erbyn yr Arglwydd.

## PENNOD XXX.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, gan ddywedyd,

2 Fel hyn y llefarodd yr Arglwydd, Duw Israel, gan ddywedyd, Ysgrifena i ti yr holl eiriau a lefarais i wrthyt mewn llyfr.

3 Canys wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, i mi ddychwelyd caethiwed fy mhobl Israel a Juda, medd yr Arglwydd: a mi a'u dygaf hwynt drachefn i'r wlad a roddais i'w tadau, a hwy a'i meddiannant hi.

4 ¶ Dyma hefyd y geiriau a lefarodd yr Arglwydd am Israel, ac am Juda.

5 O herwydd fel hyn y dywed yr

---

*llenodd y llythyr hwn*] O eiddo Semaiah ato ef ei hun; *lle y clywodd Jeremi y proffwyd*—gan mai cwyn yn ei erbyn ef yn benaf oedd ynddo, adn. 26—28.

Adn. 30. *Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*] Yn y fan ar ol iddo glywed darllen y llythyr uchod.

Adn. 31. *Anfon at yr holl gaethglud*] Yr oedd Jeremi i anfon llythyr arall i Babilon, sef y trydydd ond odid, nid at Semaiah ei hun, ond at yr holl gaethglud yn ei achos ef. *O herwydd i Semaiah broffwydo i chwi, a minau heb ei anfon ef*—o herwydd iddo adrodd ei freuddwydion ei hun, neu yr hyn a ddywedai ddarfod iddo ei freuddwydio; *a pheri o hono i chwi ymddiried mewn celwydd*—trwy goelio yr hyn a ddywedai efe wrthych.

Adn. 32. *Wele, mi a ymwelaf â Semaiah y Nehelamiad*] Neu 'y breuddwydiwr,' adn. 24; *ac â'i had ef*—mewn ffordd o gosp gyfiawn. *Ni bydd iddo un a drigo yn mysg y bobl hyn, &c.*—bydd iddo ef a'i blant farw yn ebrwydd, heb weled rhyddhad y gaethglud; *am iddo ddysgu gwrthryfel yn erbyn yr Arglwydd*—yr un modd ag y gwnaethai Hananiah yn Jerusalem: gwel ar pen. xxviii. 16.

PEN. XXX. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Tybia *Dahler*, *Clarke*, ac ereill, i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu yn mhen oddeutu blwyddyn ar ol cymeryd Jerusalem; a thybia *Blayney* fod hon a'r bennod ganlynol yn cyfeirio at adferiad dyfodol yr Iuddewon a'r Israeliaid i eglwys Crist yn nyddiau yr efengyl, er eu bod hefyd yn cyffwrdd â'r adferiad o gaethiwed Babilon yn niwedd y 70 mlynedd.

Adn. 2. *Fel hyn y llefarodd yr Arglwydd, Duw Israel*] Gwel ar pen. xxxi. 23; *Ysgrifena i ti yr holl eiriau a lefarais i wrthyt mewn llyfr*—fel y byddont yn annogaeth i'm pobl ymddiried ynof fi, ac yn brawf o'm rhagwybodaeth a'm goruwchlywodraeth pan ddygir y pethau hyn i ben. Cawn gynwysiad y 'llyfr' hwn yn y bennod hon a'r nesaf.

Adn. 3. *Canys wele y dyddiau yn dyfod*] Yn niwedd y 70 mlynedd, ac yn enwedig yn nyddiau yr efengyl; *i mi ddychwelyd caethiwed fy mhobl Israel a Juda*—dychwelwyd *Juda* o'u caethiwed yn Babilon yn niwedd y 70 mlynedd, a dychwelir holl *Israel* o'u caethiwed ysbrydol yn y dyddiau diweddaf; ac yr oedd y naill yn gysgod o'r llall. *A mi a'u dygaf hwynt drachefn i'r wlad a roddais i'w tadau*—cyflawnwyd hyn yn llythyrenol i Juda a Benjamin, ac i rai o'r deg llwyth ereill ag oeddynt yn eu plith, yn amser Cyrus; ac fe'i cyflawnir yn mhellach, mewn ystyr ysbrydol, i holl had Abraham yn nechre y milflwyddiant. *A hwy a'i meddiannant hi*—sef Juda a Benjamin, ac ereill o'r deuddeg llwyth a fyddant yn eu plith. Ond y mae rhai yn meddwl y bydd i'r oll o'r deuddeg llwyth gael eu hadfer i Ganaan yn y dyddiau diweddaf. Rhaid addef fod llawer o'r addewidion yn y ddwy bennod hon, wrth eu deall yn llythyrenol, yn rhoddi lle i feddwl hyny: ond, wedi y cwbl, y mae llawer i'w ddywedyd yn erbyn hyny, pe caniatäai ein terfynau; a gall mai addewidion ysbrydol, yn cael eu gosod allan mewn iaith gyffelybiaethol, yw yr holl eiriau hyn; neu addewid o ddychweliad i'r eglwys Gristionogol, dan y cysgod o ddychweliad i wlad Canaan.

Adn. 4. *Dyma hefyd y geiriau a lefarodd yr Arglwydd am Israel, ac am Juda*] Y rhai a unir yn un corff dan yr efengyl, pen. iii. 18; neu dyma y geiriau a lefarodd efe am danynt pan yr oeddynt yn nghyd yn Babilon.

Adn. 5. *Llef dychryn a glywsom ni, &c.*] Gall hyn fod yn cyfeirio at deimladau yr Iuddewon pryd yr oedd y Caldeaid yn ymosod ar Jerusalem, neu at deimladau y gaethglud pryd yr oedd Cyrus yn ymosod ar Babilon.

Adn. 6. *Gofynwch yr awr hon, ac edrychwch a esgora gwryw*] A glywodd neb erioed

Arglwydd; Llef dychryn a glyw-
som ni, ofn, ac nid heddwch.
6 Gofynwch yr awr hon, ac
edrychwch a esgora gwryw; pa-
ham yr ydwyf fi yn gweled pob gŵr
â'i ddwylaw ar ei lwynau, fel gwraig
wrth esgor, ac y trowyd yr holl
wynebau yn lesni?
7 Och! canys mawr *yw* y dydd
hwn, heb gyffelyb iddo: amser
blinder *yw* hwn i Jacob; ond efe a
waredir o hono.
8 Canys y dydd hwnw, medd
Arglwydd y lluoedd, y toraf fi ei
iau ef oddiar dy war di, a mi a
ddrylliaf dy rwymau, ac ni chaiff
dyeithriaid wneuthur iddo ef eu
gwasanaethu hwynt mwyach.
9 Eithr hwy a wasanaethant yr
Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu
brenin, yr hwn a godaf fi iddynt.
10 ¶ Ac nac ofna di, O fy ngwas
Jacob, medd yr Arglwydd; ac na
frawycha di, O Israel: canys wele,
mi a'th achubaf di o bell, a'th had
o dir eu caethiwed; a Jacob a ddy-
chwel, ac a orphwys, ac a gaiff lon-
ydd, ac ni bydd a'*i* dychryno.
11 Canys *yr ydwyf* fi gyda thi,
medd yr Arglwydd, i'th achub di:
er i mi wneuthur pen am yr holl
genhedloedd lle y'th wasgerais, eto
ni wnaf ben am danat ti; eithr mi
a'th geryddaf di mewn barn, ac ni'th
adawaf yn gwbl ddigerydd.
12 Oblegid fel hyn y dywed yr
Arglwydd; Anafus *yw* dy ysigdod,
*a* dolurus *yw* dy archoll.
13 Nid *oes* a ddadleuo dy gŵyn,
fel y'th iachäer; nid *oes* feddygin-
iaeth iechyd i ti.
14 Dy holl gariadau a'th annghof-
iasant: ni cheisiant mo honot ti;
canys mi a'th darewais â dyrnod
gelyn, *sef* â chospedigaeth y creu-
lon, am amlder dy anwiredd: *oblegid*
dy bechodau a amlhasant.
15 Paham y bloeddi am dy ysig-
dod? anafus *yw* dy ddolur, gan
amlder dy anwiredd: *o herwydd*
amlhau o'th bechodau y gwnaeth-
ym hyn i ti.

---

am amgylchiad felly? *Paham yr ydwyf fi yn gweled pob gŵr â'i ddwylaw ar ei lwynau*—yn gwasgu ei lwynau gan boen, fel y gwna gwraig pan fyddo gwewyr esgor arni? *ac y trowyd yr holl wynebau yn lesni*—gan boen a dychryn?

Adn. 7. *Och! canys mawr yw y dydd hwn*] Heb gyffelyb iddo o ran dychryn, blinder, a gwae i Jacob. *Ond efe a waredir o hono*—pan ddelo yr amser priodol i ben. Wrth *Jacob* yma y meddylir ei had ef yn Jerusalem neu yn Babilon; neu eglwys Dduw yn cael ei blino gan Annghrist, neu ryw elynion ereill.

Adn. 8. *Canys y dydd hwnw*] Sef dydd gwaredigaeth Jacob o'i flinder; *y toraf fi ei iau ef oddiar dy war di*—sef iau brenin Babilon, a phob gorthrymydd arall, oddiar war Jacob: *ac ni chaiff dyeithriaid wneuthur iddo ef eu gwasanaethu hwynt mwyach*—y mae yr addewid hon heb ei llwyr gyflawni eto; canys ar ol rhyddhau yr Iuddewon o Babilon, darostyngwyd hwynt eilwaith i wasanaethu y Groegiaid, ac wedi hyny y Rhufeiniaid.

Adn. 9. *Eithr hwy a wasanaethant yr Arglwydd eu Duw*] Trwy roddi iddo ufydd-dod ysbrydol; *a Dafydd eu brenin*—sef y Messia, yr hwn a godai efe i fod yn Frenin ysbrydol i'w bobl.

Adn. 10. *Ac nac ofna di, O fy ngwas Jacob*] Rhag na chyflawnaf fi fy addewid hon: *canys wele, mi a'th achubaf di o bell*—o'r holl wledydd lle y'th wasgarwyd: *a Jacob a ddychwel, ac a orphwys*—a fwynha heddwch, llonyddwch, a diogelwch yn mynwes yr eglwys Gristionogol.

Adn. 11. *Canys yr ydwyf fi gyda thi*] Yn holl wledydd dy wasgariad; *i'th achub di*—oddiyno yn y diwedd. *Er i mi wneuthur pen am yr holl genhedloedd lle y'th wasgerais*—megys yr Aifftiaid, yr Assyriaid, a'r Caldeaid; *eto ni wnaf ben am danat ti*—ond cynaliaf di fyth i hanfodi yn bobl ar wahan: *eithr mi a'th geryddaf di mewn barn*—Saes., 'mewn mesur;' *ac ni'th adawaf yn gwbl ddigerydd*—'gan ddyfetha ni'th ddyfethaf,' hyny yw, ni'th lwyr ddyfethaf: felly y *Targum.*

Adn. 12. *Oblegid fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Am y genedl Iuddewig yn amser ei cherydd a'i thrallod; *Anafus yw dy ysigdod, a dolurus yw dy archoll*—o herwydd amlder dy anwiredd.

Adn. 13. *Nid oes a ddadleuo dy gŵyn*] Nid oes neb a gymer dy blaid, nac a ddealla natur dy ddolur; *fel y'th iachäer*—o'th ysigdod a'th archoll: *nid oes feddyginiaeth iechyd i ti*—yn mhlith dynion.

Adn. 14. *Dy holl gariadau a'th annghofiasant*] Sef yr holl genhedloedd â'r rhai yr ymgynghreiriaist: *ni cheisiant mo honot ti*—i ymgyfeillachu â hwynt, nac i'th gynorthwyo: *canys mi a'th darewais â dyrnod gelyn*—neu trwy ddyrnod gelyn; *sef â chospedigaeth y creulon*—yn cael ei gweinyddu gan elynion creulon: neu, yr oedd Duw ei hun yn eu taro ac yn eu cospi fel pe buasai yn elyn creulon iddynt, o herwydd amlder eu hanwiredd. *Oblegid dy bechodau a amlhasant*—fel ag i alw am y toster hwn oddiwrthyf.

Adn. 15. *Paham y bloeddi am dy ysigdod*] Yn anynad a grwgnachlyd? *Anafus yw dy ddolur*—neu drwm iawn; *gan amlder dy anwiredd*—yr hyn yw yr achos cyfiawn o hono.

16 Am hyny y rhai oll a'th ysant
a ysir; a chwbl o'th holl elynion a
ânt i gaethiwed; a'th anrheithwyr
di a fyddant yn anrhaith, a'th holl
yspeilwyr a roddaf fi yn yspail.
17 Canys myfi a roddaf iechyd i
ti, ac a'th iachâf di o'th friwiau,
medd yr Arglwydd; oblegid hwy
a'th alwasant di, yr hon a yrwyd
ymaith, *gan ddywedyd*, Dyma Seion,
yr hon nid oes *neb* yn ei cheisio.
18 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Wele, myfi a ddychwelaf
gaethiwed pebyll Jacob, ac a gymeraf drugaredd ar ei aneddau ef;
a'r ddinas a adeiledir ar ei charnedd, a'r llys a erys yn ol ei arfer.
19 A moliant a â allan o honynt,
a llais rhai yn gorfoleddu: a mi a'u
hamlhaf hwynt, ac ni byddant anaml; a mi a'u hanrhydeddaf hwynt,
ac ni byddant wael.
20 Eu meibion hefyd fydd megys
cynt, a'u cynulleidfa a sicrheir ger
fy mron; a mi a ymwelaf â'u holl
orthrymwyr hwynt.
21 A'u pendefigion fydd o honynt eu hun, a'u llywiawdwr a ddaw
allan o'u mysg eu hun; a mi a baraf
iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf: canys
pwy *yw* hwn a lwyr-roddodd ei
galon i nesâu ataf fi? medd yr Arglwydd.
22 A chwi a fyddwch yn bobl i
mi, a minau a fyddaf yn Dduw i
chwithau.
23 Wele, gorwynt yr Arglwydd
yn myned allan *mewn* digter, corwynt parhaus; ar ben annuwiolion
yr erys.
24 Ni ddychwel digofaint llidiog
yr Arglwydd, nes iddo *ei* wneuthur, ac nes iddo gyflawni meddyliau
ei galon: yn y dyddiau diweddaf y
deallwch hyn.

---

Adn. 16. *Am hyny y rhai oll a'th ysant*] Megys y Caldeaid ac ereill; *a ysir*—gan y Mediaid a'r Persiaid: *a chwbl o'th holl elynion a ânt i gaethiwed, &c.*—fel hyn anrheithiwyd yr Assyriaid gan y Babiloniaid, y Babiloniaid gan y Mediaid a'r Persiaid, a'r Aifftiaid a'r Persiaid gan y Groegiaid dan Alexander. Y mae yr holl genhedloedd hyn yn awr wedi diflanu, tra y mae yr Iuddewon yn bodoli fyth fel pobl wahanedig.

Adn. 17. *Canys myfi a roddaf iechyd i ti*] Myfi a'th adferaf di o'th gaethiwed, ac i fwynhad o'th freintiau blaenorol yn eglwysig a gwladol. *Oblegid hwy a'th alwasant di*—yr oedd gelynion yr eglwys Iuddewig yn ei galw hi, *Yr hon a yrwyd ymaith*—fel gwraig anffyddlon oddiwrth ei phriod; *gan ddywedyd*—yn watwarus, *Dyma Seion, yr hon nid oes neb yn ei cheisio*—er cymaint oedd ei bri a'i hanrhydedd gynt!

Adn. 18. *Wele, myfi a ddychwelaf gaethiwed pebyll Jacob*] Efe a gyfeiria at eu harferiad gynt o drigo mewn pebyll; *ac a gymeraf drugaredd ar ei aneddau ef*—trwy beri iddynt gael eu hadeiladu drachefn: *a'r ddinas a adeiledir ar ei charnedd*—lle yr oedd adfeilion Jerusalem yn aros; *a'r llys a erys yn ol ei arfer*—adeiledir y deml megys gynt. Tybia rhai mai y palas brenhinol a olygir; ond gan na bu brenin iddynt ar ol y dychweliad o Babilon, y mae yn debycach mai y deml a feddylir.

Adn. 19. *A moliant a â allan o honynt*] O'r deml a'r aneddau uchod; *a llais rhai yn gorfoleddu*—o herwydd y daioni a wnaethai yr Arglwydd iddynt: *a mi a'u hamlhaf hwynt*—mewn rhifedi; *a mi a'u hanrhydeddaf hwynt*—yn ngolwg yr holl genhedloedd oddiamgylch.

Adn. 20. *Eu meibion hefyd fydd megys cynt*] Yn eiddo cyfammodol i Dduw fel aelodau o'i eglwys; *a'u cynulleidfa a sicrheir ger fy mron*—fel nas gall pyrth uffern ei gorchfygu; *a mi a ymwelaf â'u holl orthrymwyr hwynt*—mewn barn: gwel ar adn. 16.

Adn. 21. *A'u pendefigion fydd o honynt eu hun*] O'u cenedl eu hunain, ac nid o blith estroniaid; *a'u llywiawdwr a ddaw allan o'u mysg eu hun*—wrth hwn y dealla rhai Zorobabel; ac ereill, y Messia. *A mi a baraf iddo nesâu, ac efe a ddaw ataf*—i wybod fy meddwl a'm hewyllys. *Canys pwy yw hwn a lwyr-roddodd ei galon i nesâu ataf fi?*—hyny yw, 'pwy sydd mor ymroddgar a'r llywiawdwr hwn i'm gwasanaethu i?' Y mae y gair *adiro*, a gyfieithir uchod yn 'bendefigion,' yn y rhif unigol, ac yn arwyddo 'un cadarn;' a thybia rhai mai y Messia a olygir wrth y *pendefig* a'r *llywiawdwr* hwn.

Adn. 22. *A chwi a fyddwch yn bobl i mi*] Yn ymlynu yn barhaus wrth fy ngwasanaeth a'm haddoliad i; *a minau a fyddaf yn Dduw i chwithau*—i'ch amddiffyn a'ch bendithio fel eich Duw cyfammodol.

Adn. 23. *Wele, gorwynt yr Arglwydd yn myned allan mewn digter*] Sef ei farnedigaethau cyfiawn ef, pen. xxiii. 19, 20; *corwynt parhaus*—ac nid un yn myned heibio yn fuan fel corwynt naturiol: *ar ben annuwiolion yr erys*—sef ar ben y Caldeaid, nes iddo eu cwbl ddinystrio.

Adn. 24. *Ni ddychwel digofaint llidiog yr Arglwydd, nes iddo ei wneuthur*] Nes iddo wneuthur ei ewyllys ef, neu, fel y dywedir yn y geiriau nesaf, 'nes iddo gyflawni meddyliau ei galon.' *Yn y dyddiau diweddaf y deallwch hyn*—y deallai y Caldeaid hyn trwy brofiad chwerw; neu y deallai yr Iuddewon hyn am danynt hwy.

## PENNOD XXXI.

YR amser hwnw, medd yr Arglwydd, y byddaf Dduw i holl deuluoedd Israel; a hwythau a fyddant bobl i mi.
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Y bobl *y rhai* a weddillwyd gan y cleddyf, a gafodd ffafr yn yr anialwch, pan aethym i beri llonyddwch iddo ef, *sef* i Israel.
3 Er ys talm yr ymddanghosodd yr Arglwydd i mi, *gan ddywedyd*, A chariad tragwyddol y'th gerais: am hyny y tynais di â thrugaredd.
4 Myfi a'th adeiladaf eto, a thi a adeiledir, O forwyn Israel: ymdrwsi eto â'th dympanau, ac a âi allan gyda'r chwareuyddion dawns.
5 Ti a bleni eto winllanoedd yn mynyddoedd Samaria: y planwyr a blanant, ac a'*u* mwynhânt yn gyffredin.
6 Canys daw y dydd y llefa y gwylwyr yn mynydd Ephraim, Codwch, ac awn i fyny i Seion at yr Arglwydd ein Duw.
7 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd; Cenwch orfoledd i Jacob, a chrechwenwch yn mhlith rhai penaf y cenhedloedd: cyhoeddwch, molwch, a dywedwch, O Arglwydd, cadw dy bobl, gweddill Israel.
8 Wele, mi a'u harweiniaf hwynt o dir y gogledd, ac a'u casglaf hwynt o ystlysau y ddaear, y dall a'r cloff, y feichiog a'r hon sydd yn esgor, ar unwaith gyda hwynt: cynulleidfa fawr a ddychwelant yma.
9 Mewn ŵylofain y deuant, ac

PEN. XXXI. Adn. 1. *Yr amser hwnw*] Ag y cyfeiriwyd ato yn y bennod flaenorol, neu amser goruchwyliaeth yr efengyl; *y byddaf Dduw i holl deuluoedd Israel*—i'r deg llwyth, yn gystal a llwythau Juda a Benjamin; *a hwythau a fyddant bobl i mi*—yn fy ngwasanaeth i, a than fy amddiffyniad grasol.

Adn. 2. *Y bobl y rhai a weddillwyd gan y cleddyf*] Sef y rhai hyny o'r deg llwyth na laddwyd gan gleddyf yr Assyriaid; *a gafodd ffafr yn yr anialwch*—neu yn ngwlad eu halltudiaeth, yr hon nad oedd ddim gwell nag anialwch o'i chymharu â'u gwlad eu hunain; *pan aethym i beri llonyddwch iddo ef*—neu ryddhad o'u caethiwed. Ond tybia rhai mai at gleddyf Pharao gynt, ac anialwch Sur neu Sin, a llonyddwch yn ngwlad Canaan, y cyfeirir yma.

Adn. 3. *Er ys talm yr ymddanghosodd yr Arglwydd i mi*] Hon yw iaith y genedl yn ngenau y proffwyd. *A chariad tragwyddol y'th gerais*—yn parhau trwy bob cyfnod o'th fodaeth genedlaethol; *am hyny y tynais di â thrugaredd*—'am hyny yr estynais allan drugaredd i ti.'—*Blayney*. Hyn a ddywedir gan Dduw am eu parhad cenedlaethol hwy. Y mae yn amlwg nas gall hyn fod yn arwyddo eu hetholiad hwy i fywyd tragwyddol; canys dywedir hyn wrth yr holl genedl, y rhan fwyaf o ba rai oeddynt ddrygionus ac eilunaddolgar.

Adn. 4. *Myfi a'th adeiladaf eto*] A'th ddygaf drachefn i lwyddiant a dedwyddwch; *O forwyn Israel*—gelwir yr holl genedl yn *forwyn*, gyda golwg ar eu *purdeb* dyfodol. *Ymdrwsi eto â'th dympanau, &c.*—â'r holl arwyddion o lawenydd a llwyddiant, yn wladol a chrefyddol.

Adn. 5. *Ti a bleni eto winllanoedd yn mynyddoedd Samaria*] Tybia rhai mai planu eglwysi Cristionogol lle yr oedd eilunaddoliaeth o'r blaen, a feddylir yma; ond yn chwanegol at y rhai hyny byddai ganddynt fendithion tymhorol hefyd.

Adn. 6. *Canys daw y dydd y llefa y gwylwyr*] Sef gweinidogion y gair; *yn mynydd Ephraim*—mewn manau lle y clywo pawb; *Codwch, ac awn i fyny i Seion at yr Arglwydd ein Duw*—i'w addoli a'i foliannu ef. Y mae yma gyfeiriad at y bobl yn cymhell eu gilydd gynt i fyned i Jerusalem ar y tair gŵyl flynyddol. Cafodd hyn ei gyflawni mewn rhan ar ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, pryd y dychwelodd amrai o'r deg llwyth gyda hwy i'w hetifeddiaethau uchod; ond diamau fod cyflawniad llawnach o'r geiriau i gymeryd lle yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 7. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth y cenhedloedd Cristionogol oddiamgylch; *Cenwch orfoledd i Jacob*—sef yn achos llwyddiant had Jacob; *a chrechwenwch yn mhlith rhai penaf y cenhedloedd*—llawenyched pob gradd o'r cenhedloedd, eu brenhinoedd a'u mawrion, wrth ganfod yr arwyddion cyntaf o ddychweliad yr Iuddewon. *Cyhoeddwch, molwch, a dywedwch*—dan deimlad diolchgar i Dduw am yr hyn a wnaeth efe eisioes i'w bobl, ac mewn dymuniad gwresog am iddo wneuthur eto fwy; *O Arglwydd, cadw dy bobl, gweddill Israel*—dychwel di y gweddill ag sydd eto heb eu dychwelyd, fel y cadwer hwynt oll.

Adn. 8. *Wele, mi a'u harweiniaf hwynt o dir y gogledd*] O Assyria, Media, a Babilon; *ac a'u casglaf hwynt o ystlysau y ddaear*—o'r manau pellaf lle y gyrwyd hwynt. Hyn a ddywed Duw mewn atebiad i'r weddi uchod o eiddo y cenhedloedd Cristionogol. *Y dall a'r cloff, y feichiog a'r hon sydd yn esgor*—hyny yw, trefnai Duw foddion i ddwyn y rhai mwyaf analluog o honynt ato ei hun, a hyny gyda'r gofal a'r tynerwch mwyaf. *Cynulleidfa fawr a ddychwelant yma*—sef i Seion. 'Holl Israel a fydd cadwedig,' Rhuf. xi. 26.

Adn. 9. *Mewn ŵylofain y deuant*] Gan ŵylo am eu pechodau, yr achos o'u caethiwed; *ac mewn tosturiaethau y dygaf hwynt*—sef

mewn tosturiaethau y dygaf hwynt:
gwnaf iddynt rodio wrth ffrydiau
dyfroedd mewn ffordd uniawn yr
hon ni thripiant ynddi: oblegid
myfi sydd dad i Israel, ac Ephraim
yw fy nghyntafanedig.
10 ¶ Gwrandewch air yr Ar-
glwydd, O genhedloedd, a myn-
egwch yn yr ynysoedd o bell, a
dywedwch, Yr hwn a wasgarodd
Israel, a'i casgl ef, ac a'i ceidw fel
bugail ei braidd.
11 O herwydd yr Arglwydd a
waredodd Jacob, ac a'i hachubodd
ef o law yr hwn *oedd* drech nag ef.
12 Am hyny y deuant ac y canant
yn uchelder Seion; a hwy a redant
at ddaioni yr Arglwydd, am wenith,
ac am win, ac am olew, ac am epil
y defaid a'r gwartheg: a'u henaid
fydd fel gardd ddyfradwy; ac ni
ofidiant mwyach.
13 Yna y llawenycha y forwyn
yn y dawns, a'r gwŷr ieuainc a'r
henafgwyr yn nghyd: canys myfi a
droaf eu galar yn llawenydd, ac a'u
dyddanaf hwynt, ac a'u llawenych-
af o'u tristwch.
14 A mi a ddiwallaf enaid yr
offeiriaid â brasder, a'm pobl a ddig-
onir â'm ddaioni, medd yr Ar-
glwydd.
15 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd; Llef a glywyd yn Ramah,
cwynfan *ac* ŵylofain chwerw; Rahel
yn ŵylo am ei meibion, ni fynai ei
chysuro am ei meibion, o herwydd
nad *oeddynt*.
16 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Attal dy lef rhag ŵylo, a'th lygaid

---

gyda thynerwch, gofal, a thrugaredd. Y LXX a'i cyfieithant, 'Mewn ŵylofain yr aethant ymaith, ond mewn dyddanwch y dygaf hwynt yn ol.' *Gwnaf iddynt rodio wrth ffrydiau dyfroedd*—fel na ddyoddefant oddiwrth syched; *mewn ffordd uniawn yr hon ni thripiant ynddi*—er eu bod yn ddall a chloff, adn. 8: gwel ar Esay xxxv. 6, 7, a xli. 17, 18, a xlii. 16. *Oblegid myfi sydd dad i Israel*—a gofalaf am danynt gyda serch tadol; *ac Ephraim yw fy nghyntafanedig*—yw fy *anwyl* fab, yr hwn a enwir yma am y deg llwyth oll.

Adn. 10. *Gwrandewch air yr Arglwydd, O genhedloedd*] Sef yr hyn a ddywed efe am ei bobl Israel; *a mynegwch yn yr ynysoedd o bell*—sef yn eich gwledydd pellenig eich hunain; *Yr hwn a wasgarodd Israel*—ar hyd gwledydd eu caethiwed; *a'i casgl ef*—yn ol i'w gorlan ei hun; *ac a'i ceidw*—yn ddiogel, fel y ceidw bugail ei braidd.

Adn. 11. *O herwydd yr Arglwydd a waredodd Jacob*] Sef had Jacob, o law yr Assyriaid a'r Caldeaid, y rhai oeddynt drech na hwynt; *ac a'i hachubodd ef*—ac yr oedd yr achubiaeth dymhorol hòno yn gysgod o'u hachubiaeth ysbrydol dan yr efengyl, o law pechod a Satan, Mat. xii. 29.

Adn. 12. *Am hyny y deuant ac y canant yn uchelder Seion*] Cyfeirir yma at y deml, yr hon a adeiladwyd ar fryn, ac a ydoedd yn gysgod o'r eglwys Gristionogol, yr hon a gyffelybir i ddinas ar fryn. *A hwy a redant at ddaioni yr Arglwydd*—at ei haelfrydedd a'i gymwynasgarwch ef, *am wenith, ac am win, &c.*—am fendithion tymhorol yn gystal ag ysbrydol. *A'u henaid fydd fel gardd ddyfradwy*—yn cael ei adfywio a'i ffrwythloni gan wirionedd a gras Duw; *ac ni ofidiant mwyach*—o ddiffyg bendithion tymhorol nac ysbrydol, fel y gwnaent yn amser eu caethiwed a'u gorthrymder gynt.

Adn. 13. *Yna y llawenycha y forwyn yn dawns*] Y meddwl yw, y bydd i bob gradd ac oedran gael llawenydd a dyddanwch yn lle galar a thristwch, sef llawenydd tymhorol ac ysbrydol.

Adn. 14. *A mi a ddiwallaf enaid yr offeiriaid â brasder*] Y mae yma gyfeiriad at amledd o aberthau yn cael eu hoffrymu i'r Arglwydd ar ol y dychweliad o Babilon, oddiwrth y rhai y cai yr offeiriaid gynaliaeth ddigonol; yr hyn ydoedd gysgod o gynaliaeth y weinidogaeth Gristionogol: *a'm pobl a ddigonir â'm daioni*—â moddion gras, ac â bendithion tymhorol hefyd.

Adn. 15. *Llef a glywyd yn Ramah*] Sef 'cwynfan ac ŵylofain chwerw.' *Ramah* oedd ddinas yn llwyth Benjamin, Jos. xviii. 25, yn gorwedd oddeutu chwe milldir i'r gogledd-orllewin o Jerusalem. 'Ond paham y clywid y llef hon yn *Ramah?*' Yr atteb cyffredin yw, 'Am mai yn agos yno y claddwyd Rahel.' Ond nid yw hyny yn ffaith; canys claddwyd hi yn agos i *Bethlehem Ephrata*, yr hon oedd ddinas o du y deau-orllewin i Jerusalem, oddeutu deg milldir o Ramah: gwel Gen. xxxv. 19. Y mae yn deilwng o sylw fod y *Vulgate* a'r *Galdeaeg* yn deall y gair *ramah* yma, nid fel enw lle, ond fel yn arwyddo 'yn uchel;' gan ei ddarllen, 'Llef a glywyd *yn uchel*, cwynfan ac ŵylofain chwerw.' *Rahel yn ŵylo am ei meibion*—am hiliogaeth Joseph a Benjamin. *Ni fynai ei chysuro am ei meibion, o herwydd nad oeddynt*—mwyach yn eu gwlad eu hunain. Yr oedd hiliogaeth *Joseph*, sef llwythau Ephraim a Manasse, wedi eu caethgludo y pryd hyn i Assyria, ac yr oedd hiliogaeth *Benjamin* wedi myned gyda Juda i Babilon; ac yma, mewn dull barddonol prydferth, arddanghosir Rahel fel wedi codi o'i bedd, ac yn ŵylo yn chwerw am fod hiliogaeth ei meibion wedi eu caethgludo felly i wledydd eu gelynion: gwel ar Mat. ii. 17, 18.

Adn. 16. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Wrth Rahel ŵylofus; *Attal dy lef rhag*

rhag dagrau: canys y mae tâl i'th
lafur, medd yr Arglwydd; a hwy a
ddychwelant o dir y gelyn.
17 Ac y mae gobaith yn dy ddiw-
edd, medd yr Arglwydd, y dychwel
*dy* blant i'w bro eu hun.
18 ¶ Gan glywed y clywais Eph-
raim yn cwynfan *fel hyn;* Cospaist
fi, a mi a gospwyd, fel llo heb ei
gynefino *â'r iau:* dychwel di fi, a
mi a ddychwelir; oblegid ti *yw* yr
Arglwydd fy Nuw.
19 Yn ddiau wedi i mi ddychwel-
yd, mi a edifarheais; ac wedi i mi
wybod, mi a darewais *fy* morddwyd:
myfi a gywilyddiwyd, ac a warad-
wyddwyd hefyd, am i mi ddwyn
gwarth fy ieuenctid.
20 Ai mab hoff genyf *yw* Eph-
raim? ai plentyn hyfrydwch *yw?*
canys er pan lefarais i yn ei erbyn
ef, gan gofio y cofiaf ef eto: am
hyny fy mherfedd a ruant am dano
ef; gan drugarhau y trugarhaf
wrtho ef, medd yr Arglwydd.
21 Cyfod it' arwyddion ffordd,
gosod i ti garneddau uchel: gosod
dy galon tua'r brif-ffordd, y ffordd
yr aethost: dychwel, forwyn Israel,
dychwel i'th ddinasoedd hyn.
22 ¶ Pa hyd yr ymgrwydri, O
ferch wrthnysig? oblegid yr Ar-

---

*wylo, a'th lygaid rhag dagrau*—ar ol dy feibion: *canys y mae tâl i'th lafur*—sef i'w llafur yn dwyn plant i'r byd, ac wedi hyny yn eu magu a'u meithrin: *a hwy a ddychwelant o dir y gelyn*—yr hyn a gyflawnwyd i hiliogaeth Benjamin yn niwedd y 70 mlynedd, ac i rai o hiliogaeth Ephraim a Manasse ar yr un pryd, y rhai oeddynt yn eu plith; ac a gyflawnir yn ysbrydol iddynt oll yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 17. *Ac y mae gobaith yn dy ddiwedd*] Neu, 'y mae gobaith i'th *hiliogaeth*,' fel y mae *Lowth* ac ereill yn ei gyfieithu; *y dychwel dy blant i'w bro eu hun*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol mewn rhan dan Cyrus. Neu, 'y dychwel dy blant i'w cartref eu hun,' sef i'r eglwys Gristionogol, Rhuf. xi. 24.

Adn. 18. *Gan glywed y clywais Ephraim yn cwynfan fel hyn*] Sef y deg llwyth yn ngwlad eu caethiwed; *Cospaist fi, a mi a gospwyd, fel llo heb ei gynefino â'r iau*—fel pe dywedasai, Yr oeddwn unwaith fel llo gwyllt ac anhywaith, pa fwyaf y cospit fi, mwyaf y gwrthryfelwn; ond yn awr llesäwyd fi yn ddirfawr, trwy it' fy rhoddi yn llaw yr Assyriaid. *Dychwel di fi*—nid yn unig o'm caethiwed yn Assyria, ond hefyd o'm caethiwed ysbrydol; *a mi a ddychwelir*—yn effeithiol atat dy hun, neu i'th ffafr: *oblegid ti yw yr Arglwydd fy Nuw*—yr hwn a wasanaethir genyf yn unig o hyn allan.

Adn. 19. *Yn ddiau wedi i mi ddychwelyd*] I ystyriaeth ddifrifol o'm cyflwr; neu, yn ol y LXX, 'wedi i mi gael fy nghaethiwo;' *mi a edifarheais*—yn ddwys am fy ynfydrwydd a'm pechodau blaenorol: *ac wedi i mi wybod*—fy ngholliadau aml; *mi a darewais fy morddwyd*—yn arwydd o dristwch, gofid, a galar. Dywed *Roberts* fod y dwyreinwyr hyd heddyw, pan mewn tristwch, yn taraw y forddwyd. Yn yr adnod o'r blaen cawsom Ephraim yn gweddio am i'r Arglwydd ei ddychwelyd ef; ac yma y mae efe yn adrodd ei brofiad ar ol iddo gael ei ddychwelyd. *Myfi a gywilyddiwyd, ac a waradwyddwyd hefyd*—yn ngwydd Duw a dynion; *am i mi ddwyn gwarth fy ieuenctid*—trwy gael fy nghospi am wneyd pethau gwarthus yn fy ieuenctid, megys addoli y lloi aur, ac eilunod ereill.

Adn. 20. *Ai mab hoff genyf yw Ephraim*] Sef y deg llwyth? *ai plentyn hyfrydwch yw?*—bwriedid i'r cwestiynau hyn gael eu hateb yn gadarnhaol, fel yr ymddengys oddiwrth ddiwedd yr adnod. *Canys er pan lefarais i yn ei erbyn ef*—i'w roddi i gaethiwed; *gan gofio y cofiaf ef eto*—mewn tiriondeb a thrugaredd. *Am hyny fy mherfedd a ruant am dano ef*—mewn tosturiaethau tuag ato; *gan drugarhau y trugarhaf wrtho ef*—fel fy mab edifeiriol a dychweledig.

Adn. 21. *Cyfod it' arwyddion ffordd, gosod i ti garneddau uchel*] Hyn ond odid a ddywedir wrth y rhai cyntaf a ddychwelent adref, fel y gallai y rhai a ddeuent ar eu hol wybod y ffordd trwy yr arwyddion hyn. *Gosod dy galon tua'r brif-ffordd*—ymdrecha i gofio y ffordd ar hyd yr hon yr aethost i gaethiwed, fel y gallot ddyfod ar hyd'ddi yn ol. *Dychwel, forwyn Israel*—gwel ar adn. 4; *dychwel i'th ddinasoedd hyn*—o'r rhai y'th gaethgludwyd.

Adn. 22. *Pa hyd yr ymgrwydri*] Neu y *petrusi* yn dy feddwl o berthynas i anhawsderau y daith, *O ferch wrthnysig*—neu anhawdd dy ddarbwyllo? neu dydi yr hon a wrthgiliaist ar y cyntaf oddiwrth Dduw a'i addoliad. *Oblegid yr Arglwydd a greodd beth newydd ar y ddaear*—neu 'a grea;' *Benyw a amgylcha ŵr*—y mae cryn lawer o ansicrwydd gyda golwg ar ystyr y geiriau hyn. Tybia *Poole, Pearson, Sutcliffe*, ac ereill, fod yma gyfeiriad at *feichiogiad* gwyrthiol y Forwyn Fair; a chan mai yn ngwlad Canaan y cymerai hyny le, y dylasai yr amgylchiad rhyfedd hwnw fod yn annogaeth gref i'r Iuddewon oll ddychwelyd i'w gwlad eu hunain. Ond tybia *Blayney, Boothroyd, Clarke, Gataker*, ac amrai ereill, mai ymadrodd diarebol yw y geiriau, yn arwyddo y byddai i'r 'gwanaf orchfygu y cryfaf;' neu y byddai i 'fenyw wan feistroli gŵr cryf;' hyny yw, y byddai i *genedl Israel*, yr hon oedd fel benyw wan a diamddiffyn, orchfygu y *Babiloniaid*, y rhai oeddynt wŷr cryfion. Gyda golwg ar feichiogiad gwyrthiol Mair, dywed *Clarke*, 'Fel yr wyf yn sicr nad yw y fath ystyr yn y

glwydd a greodd beth newydd ar y
ddaear ; Benyw a amgylcha ŵr.
23 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel ; Dywedant
eto y gair hwn yn ngwlad Juda,
ac yn ei dinasoedd, pan ddychwel-
wyf eu caethiwed hwynt ; Yr Ar-
glwydd a'th fendithio, trigfa cyf-
iawnder, mynydd santeiddrwydd.
24 Yna arddwyr a bugeiliaid a
breswyliant ynddi hi Juda, ac yn
ei holl ddinasoedd yn nghyd.
25 O herwydd yr enaid diffygiol
a ddigonais, a phob enaid trist a
lenwais.
26 Ar hyn y deffroais, ac yr
edrychais, a melys oedd fy hûn
genyf.
27 ¶ Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, yr hauaf dŷ
Israel a thŷ Juda â had dyn ac â
had anifel.
28 Ac megys y gwyliais arnynt,
i ddiwreiddio, ac i dynu i lawr, ac
i ddinystrio, ac i ddyfetha, ac i
ddrygu ; felly y gwyliaf arnynt i
adeiladu ac i blanu, medd yr Ar-
glwydd.
29 Yn y dyddiau hyny ni ddy-
wedant mwyach, Y tadau a fwytas-
ant rawnwin surion, ac ar ddannedd
y plant y mae dincod.

---

*geiriau*, nac yn yr adnodau o'u hamgylch, felly yr wyf yn credu nas gellir dwyn yn dêg y cyfryw ystyr allan o honynt.' Tybia *Houbigant* fod gwall bychan yn y testyn, sef *tesobeb*, 'a amgylcha,' yn lle *teshobeb*, 'a ddychwel,' fel y mae dau o ysgriflyfrau *Kennicott* yn ei ddarllen ; ac efe a fyn y dylai y geiriau gael eu darllen, 'Y wraig a *ddychwel* at ei gŵr ;' yr hyn a gyfeiria at ddychweliad yr Iuddewon, y rhai a elwir yma y 'ferch wrthnysig,' at yr Arglwydd ei phriod. Nid yw y gair *amgylchu* byth yn cael ei arfer am *feichiogiad*, fel y sylwa *Gataker ;* a phe byddai, nid oes dim yn rhyfedd yn yr amgylchiad, fod i fenyw ymddwyn plentyn gwryw ; canys nid oes yma ddim son am *wyryf* yn beichiogi. Cynghorir y ferch Israel i beidio troi heibio, neu wrthod, y gwahoddiad a roddir iddi i ddychwelyd, fel o bosibl yr oedd hi yn dueddol i wneyd rhag ofn ei gelynion cedyrn, y rhai a wrthwynebent ei rhyddhad ; ac fel annogaeth iddi dywedir, nad oedd ganddi un rheswm i ofni nerth mawr ei gelynion, gan y gwnai Duw wyrth o'i phlaid, i'w galluogi hi, er gwaned ydoedd, i orchfygu eu holl wrthwynebiad cryf hwy. Ond y mae ereill yn deall y geiriau fel addewid y byddai i'r eglwys Iuddewig yn ei hamser, ac wedi hyny yr eglwys Gristionogol, orchfygu ei holl elynion cryfion ; er fod hyny, wrth gymharu ychydigrwydd a gwendid aelodau yr eglwys â lluosogrwydd a chryfder ei gelynion, yn ymddangos yn beth mor hynod a phe byddai i fenyw wan orchfygu gŵr cryf a nerthol.

Adn. 23. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel*] Y mae y proffwydoliaethau hyn am adferiad yr Iuddewon yn cael eu dwyn i mewn yn gyffredin gyda'r ddau enw hyn o eiddo Duw, y cyntaf o ba rai a gyfeiria at ei *allu* ef i wneyd yr hyn a addewir, a'r llall at ei *ffyddlondeb* ef i'w bobl fel eu Duw cyfammodol. *Dywedant eto y gair hwn yn ngwlad Juda*—hyny yw, ar ol dychweliad yr Iuddewon o'u caethiwed, dywedai pawb am danynt, neu dymunai pawb iddynt, fod i'r Arglwydd eu bendithio ; *trigfa cyfiawnder*—hyny fyddai gwlad Juda oll, heb ddim trais na gormes o'i mewn ; *mynydd santeiddrwydd*—felly y gelwid Jerusalem, ac yn enwedig y deml.

Adn. 24. *Yna arddwyr a bugeiliaid a breswyliant ynddi hi*] Sef yn ngwlad Juda ; *ac yn ei holl ddinasoedd*—y meddwl yw, y byddai daioni a llwyddiant, yn dymhorol ac ysbrydol, yn rhan i bawb mewn tref a gwlad.

Adn. 25. *O herwydd yr enaid diffygiol a ddigonais*] A daioni o bob math ; *a phob enaid trist a lenwais*—â chysur a thangnefedd. Y mae yr hyn a wnai Duw iddynt, yn dymhorol ac ysbrydol, yn cael ei osod allan fel wedi ei wneuthur eisioes, i ddangos sicrwydd ei gyflawniad.

Adn. 26. *Ar hyn y deffroais*] Ymddengys i'r datguddiad a wnaed i'r proffwyd, yn dechreu yn pen. xxx. 2, ac yn diweddu yn adn. 25 o'r bennod hon, gael ei wneuthur iddo mewn breuddwyd. *Ac yr edrychais*—meddyliais yn ddifrifol am y pethau a ddatguddiwyd felly i mi. *A melys oedd fy hûn genyf*—cefais lawer o gysur ac adfywiad i'm corff a'm hysbryd trwy yr hyn a welwn yn fy nghwsg.

Adn. 27. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Ymddengys i'r Arglwydd lefaru hyn wrtho yn ebrwydd wedi iddo ddihuno ; *yr hauaf dŷ Israel a thŷ Juda*—sef yr oll o'r deuddeg llwyth ; *â had dyn ac â had anifel*—hyny yw, parai Duw i ddynion ac anifeiliaid amlhau yn gyflym yn eu plith, fel cnwd yn tarddu oddiwrth had.

Adn. 28. *Ac megys y gwyliais arnynt i ddiwreiddio, &c.*] I'w dinystrio a'u dyfetha am eu drygioni ; *felly y gwyliaf arnynt i adeiladu ac i blanu*—i'w sefydlu, eu cadarnhau, a'u lluosogi : gwel ar pen. xviii. 7—10.

Adn. 29. *Yn y dyddiau hyny ni ddywedant mwyach*] Fel yr arferent ddywedyd yn eu caethiwed, Ezec. xviii. 2 ; *Y tadau a fwytasant rawnwin surion*—neu a bechasant; *ac ar ddannedd y plant y mae dincod*—hyny yw, y plant sydd yn gorfod dyoddef am bechodau eu rhieni. Tybiai yr Iuddewon yn ngwlad eu caethiwed mai am bechodau eu tadau yn unig yr oeddynt hwy yn dyoddef, heb ystyried eu bod hwy eu hunain wedi dylyn siampl-

30 Ond pob un a fydd farw yn ei anwiredd ei hun: pob un a'r a fwytao rawnwin surion, ar ei ddannedd ef y bydd dincod.
31 ¶ Wele y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd, y gwnaf gyfammod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ Juda:
32 Nid fel y cyfammod a wnaethym â'u tadau hwynt ar y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt i'w dwyn allan o dir yr Aifft, (yr hwn fy nghyfammod a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymu, er fy mod i yn briod iddynt, medd yr Arglwydd,)
33 Ond dyma y cyfammod a wnaf fi â thŷ Israel ár ol y dyddiau hyny, medd yr Arglwydd; Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt, ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt; a mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw, a hwythau a fyddant yn bobl i mi.
34 Ac ni ddysgant mwyach bob

---

au eu tadau, ac wedi gwneuthur yn waeth na'u tadau, pen. xvi. 12.

Adn. 30. *Ond pob un a fydd farw yn ei anwiredd ei hun*] Neu '*am* ei anwiredd ei hun.' Yn y sylw ar Exod. xx. 5, danghoswyd y gall plant gael eu cospi yn *dymhorol* am anwiredd eu rhieni; ond, mewn ystyr *ysbrydol*, na fydd i neb farw yn dragwyddol ond am ei anwiredd ei hun: gwel y sylwadau yno. *Pob un a'r a fwytao rawnwin surion*—neu a becha bechod yn haeddu marwolaeth dragwyddol; *ar ei ddannedd ef y bydd dincod*—ac ar ei ddannedd ef yn unig; canys yn yr ystyr hwnw, 'yr enaid a becho, hwnw a fydd marw:' oblegid 'y mab ni ddwg anwiredd y tad, a'r tad ni ddwg anwiredd y mab:' gwel ar Ezec. xviii. 20.

Adn. 31. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Sef y dyddiau diweddaf, neu amseroedd yr efengyl; *y gwnaf gyfammod newydd â thŷ Israel, ac â thŷ Juda*—yr oedd bendithion y cyfammod hwn i gael eu cynyg yn gyntaf i'r Iuddewon, fel perffeithiad y cyfammod hwnw a wnaethai Duw â'u tadau, Act. iii. 26, a xiii. 46; eithr ni roddid y bendithion hyny yn weithredol i neb ond had ysbrydol Abraham, neu efelychwyr ei ffydd ef yn mhlith Iuddewon a Chenhedloedd, sef gwir Israel Duw. Dywedir yma y byddai y cyfammod hwn yn *newydd*, nid am ei fod ef felly o ran ei sylwedd, canys gwnaed ef o'r blaen âg Abraham, Gen. xvii. 7, ac â'r Israeliaid, Deut. xxvi. 17, 18; ond ar y cyfrifon hyn: (1) Yr oedd yn newydd wrth ei ystyried fel testament, gan ei fod wedi ei gadarnhau trwy farwolaeth y Testamentwr, yr hyn ni chymerodd le hyd amseroedd yr efengyl. (2) Datguddiwyd ef mewn dull newydd, yn llawnach, manylach, ac eglurach. (3) Nid oedd yn cynwys y fath gymysgedd o addewidion tymhorol ag a gynwysai pan y gwnaed ef â'r Israeliaid. (4) Nid oedd y ddeddf seremonïol yn un ran o hono, fel yr oedd yn amser yr Israeliaid, y rhai oeddynt yn gorfod profi eu bod yn bobl i Dduw trwy gadwraeth fanol o honi hi. (5) Yr oedd y cyhoeddiad o hono yn cyraedd at y Cenhedloedd yn gystal a'r Iuddewon, yr hyn nid oedd yn bod o'r blaen. (6) Y mae dylanwadau yr Ysbryd Dwyfol, y rhai a ddylynant y cyhoeddiad o hono, yn llawer helaethach na than yr hen gyfammod, i alluogi y credinwyr i gydymffurfio â'i delerau, ac i gyflawni ei ofynion.

Adn. 32. *Nid fel y cyfammod a wnaethym â'u tadau hwynt*] Eithr yn gwahaniaethu oddiwrth hwnw yn y pethau a enwyd uchod, a'r pethau a enwir eto; *ar y dydd yr ymaflais yn eu llaw hwynt*—fel tad yn ymaflyd yn llaw ei blant, *i'w dwyn allan o dir yr Aifft*—hyny yw, nid oedd hwn i fod fel y cyfammod a wnaethai Duw âg Israel yn Horeb, yn fuan ar ol eu dyfod hwy o'r Aifft, Exod. xxiv. 6—8. *Yr hwn fy nghyfammod a ddarfu iddynt hwy ei ddiddymu*—trwy fyned i buteinio ar ol eilunod; *er fy mod i yn briod iddynt*—ac yn briod tyner a ffyddlon hefyd.

Adn. 33. *Ond dyma y cyfammod a wnaf fi â thŷ Israel ar ol y dyddiau hyny*] Ar ol i ddyddiau yr efengyl ddechreu, adn. 31: *Myfi a roddaf fy nghyfraith o'u mewn hwynt*—yn lle yn eu *llaw*, fel y gyfraith gynt; *ac a'i hysgrifenaf hi yn eu calonau hwynt*—ac nid ar lechau *cerig;* hyny yw, efe a roddai ynddynt anian a thuedd reddfol i'w chadw yn egwyddorol. 'Eithr oni wnaeth Duw hyny â Dafydd ac ereill o'i weision dan yr hen oruchwyliaeth?' Do, yn ddiamau: ond nid trwy rinwedd yr oruchwyliaethFoesenaidd y gwnaed hyny, eithr trwy ras y cyfammod newydd hwn, yr hwn a ddatguddid ac a gyfrenid i ryw fesur hyd yn nod dan yr oruchwyliaeth hono. Prif amcan y proffwyd yma yw dangos y gwahaniaeth rhwng y ddeddf a'r efengyl. Y mae y ddeddf yn dangos i ddyn ei ddyledswydd; ond y mae yr efengyl yn dwyn y gras o adgenhedliad, trwy yr hwn y mae calon dyn yn cael ei chyfnewid, ac yntau yn cael ei alluogi i wneyd ei ddyledswydd. Yr oedd pawb a achubid dan yr hen oruchwyliaeth yn cael eu hachub trwy rinwedd y cyfammod newydd hwn: ond nid oedd efe yn cael ei ddangos yn amlwg y pryd hyny; ac nid oedd gras adnewyddol Duw yn cael ei roddi mor helaeth a chyffredinol ag y gwneir dan yr efengyl. *A mi a fyddaf iddynt hwy yn Dduw*—i'w hamddiffyn a'u bendithio fel eu Duw cyfammodol, ac unig wrthddrych eu serch a'u haddoliad; *a hwythau a fyddant yn bobl i mi*—yn eiddo i mi trwy gyfammod, ac yn wrthddrychau fy hoffder a'm hiachawdwriaeth: gwel ar Heb. viii. 9, 10.

Adn. 34. *Ac ni ddysgant mwyach bob un ei gymydog, &c.*] Nid yw hyn yn arwyddo na fydd arnynt angen am ddysgawdwyr Cristionogol mwyach, canys anfonodd Crist ei apostolion i bregethu, a gorchymynir i bawb ddysgu a rhybyddio eu gilydd, Col. iii. 16*

un ei gymydog, a phob un ei frawd,
gan ddywedyd, Adnabyddwch yr
Arglwydd: o herwydd hwynt-hwy
oll o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf
o honynt a'm hadnabyddant, medd
yr Arglwydd; oblegid mi a fadd-
euaf eu hanwiredd, a'u pechod ni
chofiaf mwyach.
35 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, yr hwn sydd yn rhoddi yr
haul yn oleuni dydd, defodau y lloer
a'r ser yn oleuni nos, yr hwn sydd
yn rhwygo y môr pan ruo ei dònau;
Arglwydd y lluoedd *yw* ei enw:
36 Os cilia y defodau hyny o'm
gwydd i, medd yr Arglwydd, yna
had Israel a baid â bod yn genedl
ger fy mron i yn dragywydd.
37 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Os gellir mesur y nefoedd oddi-
uchod, a chwilio sylfaeni y ddaear
hyd isod, minau hefyd a wrthodaf
holl had Israel, am yr hyn oll a
wnaethant hwy, medd yr Arglwydd.
38 ¶ Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, yr adeiledir y
ddinas i'r Arglwydd, o dŵr Hana-
neel hyd borth y gongl.
39 A'r llinyn mesur a â allan eto
ar ei gyfer ef, ar fryn Gareb, ac a
amgylcha hyd Goath.
40 A holl ddyffryn y celaneddau
a'r lludw, a'r holl faesydd hyd afon
Cidron, hyd gongl porth y meirch
tua'r dwyrain, *a fydd* santaidd i'r
Arglwydd; nis diwreiddir, ac nis
dinystrir mwyach byth.

---

eithr y meddwl yw, y bydd gwybodaeth o'r gwir Dduw, trwy addysgiadau felly, yn beth cyffredin yn mhlith pawb. *O herwydd hwynt-hwy oll, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt*—hyd yn nod y 'rhai bychain yn Nghrist,' yn gystal a'r 'tadau;' *a'm hadnabyddant*—yn achubol yn gystal ag yn hanesiol: *oblegid mi a faddeuaf eu hanwiredd*—yr hyn yw y cam cyntaf mewn gwir achubiaeth; *a'u pechod ni chofiaf mwyach*—fel ag i'w cospi o'i herwydd: gwel ar Heb. viii. 11, 12.

Adn. 35. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] I gadarnhau gwirionedd ei addewid; *yr hwn sydd yn rhoddi yr haul yn oleuni dydd*—trwy ei hollalluog nerth; *defodau y lloer a'r ser yn oleuni nos*—neu y lloer a'r ser a'r planedau i oleuo y nos yn eu tymhorau priodol; *yr hwn sydd yn rhwygo y môr pan ruo ei dònau*—fel y gwnaeth â'r môr coch; neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'yr hwn sydd yn *tawelu* y môr,' &c.; *Arglwydd y lluoedd yw ei enw*—un digon mawr a galluog i wneyd yr hyn a fyno.

Adn. 36. *Os cilia y defodau hyny o'm gwydd i*] Os byddaf fi yn analluog i beri i'r haul oleuo y dydd, a'r lloer a'r ser oleuo y nos; *yna had Israel a baid â bod yn genedl ger fy mron i yn dragywydd*—hyny yw, a baid â bod yn bobl neillduol a gwahanedig. Fel hyn y mae Duw yn gwneyd dydd a nos, neu barhad deddfau natur, yn brawf neu wystl o barhad Israel yn bobl ddigymysg. Y mae y cysgod a'r sylwedd, yr arwydd a'r peth a arwyddir, yn parhau ill dau hyd heddyw; a hwy a barhant felly hyd nes na byddo amser mwyach. Y dyben mawr o gadwraeth yr Iuddewon fel hyn, yw eu dychweliad yn nghyflawnder yr amser at Gristionogaeth.

Adn. 37. *Os gellir mesur y nefoedd oddiuchod*] A dywedyd pa faint yw ei hyd a'i lled, ei dyfnder a'i huchder, yr hyn sydd yn anmhosibl, 1 Bren. viii. 27; *a chwilio sylfaeni y ddaear hyd isod*—fel ag i dreiddio trwy ei chrombil hyd at ein gwrthdroedwyr, ac o begwn i begwn, a deall cynwysiad ei holl ranau mewnol, yr hyn nas gellir byth ei wneuthur; *minau hefyd a wrthodaf holl had Israel am yr hyn oll a wnaethant hwy*—am eu heilunaddoliaeth dan yr hen oruchwyliaeth, a'u gwrthodiad o Grist dan y newydd. Ond nis gall dynion byth fesur a chwilio y nefoedd a'r ddaear; ac o ganlyniad nis gall Duw byth wrthod holl had Israel.

Adn. 38. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Sef dyddiau yr efengyl, fel y mae yn eglur oddiwrth yr hyn a ddywedir isod; *yr adeiledir y ddinas i'r Arglwydd*—at ei wasanaeth a'i addoliad ef; *o dŵr Hananeel hyd borth y gongl*—cawn yma ddysgrifiad o amgylchedd a maintioli y ddinas ag ydoedd i'w hadeiladu yn y fan lle y safai Jerusalem. Meddylia rhai mai cyfeiriad sydd yma at y *drydedd* Jerusalem, yr hon y tybient hwy y bydd iddi gael ei hadeiladu ar ddychweliad yr Iuddewon at Gristionogaeth, ac i Ganaan. Modd bynag, y mae yn amlwg na chyfeirir yma at y ddinas a adeiladwyd ar ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, a hyny am ddau reswm: (1) Am fod terfynau hon yn ymestyn yn helaethach na therfynau hòno, fel ag i gynwys ynddi leoedd ag oeddynt tufaes i furiau y Jerusalem hòno; ac, (2) Am y dywedir yn adn. 40, nas dinystrir hi mwyach byth; pan y gwyddom i'r *ail* ddinas gael ei dinystrio gan y Rhufeiniaid, a hyny yn llwyrach nag y dinystriwyd y *gyntaf* gan y Caldeaid.

Adn. 39. *A'r llinyn mesur a â allan eto ar ei gyfer ef*] Sef ar gyfer y mesuriad blaenorol, yr hwn oedd o dŵr Hananeel hyd borth y gongl, o du y gogledd-ddwyrain i'r ddinas; *ar fryn Gareb, ac a amgylcha hyd Goath*—tybia rhai mai bryn Calfaria a Golgotha a feddylir yma, y rhai oeddynt tu allan i borth yr hen ddinas, Heb. xiii. 12.

Adn. 40. *A holl ddyffryn y celaneddau a'r lludw*] Sef dyffryn mab Hinnom, lle y llosgid celaneddau dynion ac anifeiliaid, a'r budreddi a ddygid allan o'r ddinas, pen. vii. 32, Esay xxx. 33, Mat. v. 22; *a'r holl faesydd hyd*

## PENNOD XXXII.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Je-
remi oddiwrth yr Arglwydd yn
y ddegfed flwyddyn i Zedeciah
brenin Juda, hòno *oedd* y ddeunaw-
fed flwyddyn i Nebuchodonosor.
2 Canys y pryd hwnw yr oedd
llu brenin Babilon yn gwarchae ar
Jerusalem: a Jeremi y proffwyd
ydoedd wedi cau arno yn nghynt-
edd y carchar, yr hwn *oedd* yn nhŷ
brenin Juda.
3 Canys Zedeciah brenin Juda a
gauasai arno ef, gan ddywedyd,
Paham y proffwydi, gan ddywedyd,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Wele, mi a roddaf y ddinas hon yn
llaw brenin Babilon, ac efe a'i hen-
nill hi;
4 Ac ni ddianc Zedeciah brenin
Juda o law y Caldeaid, ond efe a
roddir yn ddiau yn llaw brenin Ba-
bilon, ac efe a ymddyddan âg ef
enau yn ngenau, a'i lygaid ef a
edrychant yn ei lygaid yntau;
5 Ac efe a arwain Zedeciah i Ba-
bilon, ac yno y bydd efe hyd oni
ymwelwyf fi âg ef, medd yr Ar-
glwydd: er i chwi ymladd â'r Cal-
deaid, ni lwyddwch.
6 ¶ A Jeremi a lefarodd, Gair yr
Arglwydd a ddaeth ataf fi, gan
ddywedyd,
7 Wele Hanameel fab Salum dy
ewythr yn dyfod ataf, gan ddywed-
yd, Pryn i ti fy maes, yr hwn *sydd*
yn Anathoth: oblegid i ti *y mae*
cyfiawnder y pryniad i'*w* brynu *ef*.
8 Felly Hanameel mab fy ewythr
frawd fy nhad a ddaeth ataf fi i gyn-
tedd y carchardy, yn ol gair yr
Arglwydd, ac a ddywedodd wrthyf,
Pryn, atolwg, fy maes *sydd* yn
Anathoth yn nhir Benjamin: canys
i ti *y mae* cyfiawnder yr etifeddiaeth,
ac i ti y perthyn ei ollwng; pryn *ef*

---

*afon Cidron*—megys maes y panwr, maes y crochenydd, a maesydd ereill ag oeddynt tu allan i furiau yr hen Jerusalem; *hyd gongl porth y meirch tua'r dwyrain*—gwel ar Neh. iii. 28; *a fydd santaidd i'r Arglwydd*—a fyddant wedi eu cau o fewn y ddinas newydd hon, er eu bod tufaes i'r ddwy Jerusalem gyntaf. *Nis diwreiddir ac nis dinystrir mwyach byth*—fel y gwnaed â'r ddwy Jerusalem o'r blaen, eithr hi a barha yn gryf a llwyddiannus hyd ddiwedd y byd. Y mae yn eglur oddiyma mai at EGLWYS CRIST y cyfeiria y proffwyd, yr hon nas gall pyrth uffern ei gorchfygu hi, a'r hon a elwir yn 'ddinas Duw,' a 'Jerusalem newydd:' gwel ar Ezec. xlviii. 30, &c., Dat. xxi. 2, 10, &c.

PEN. XXXII. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi, &c.*] Oddeutu blwyddyn cyn caethiwo Zedeciah a dinystrio Jerusalem: gwel ar 2 Bren. xxv. 2, 8.

Adn. 2. *Canys y pryd hyny yr oedd llu brenin Babilon yn gwarchae ar Jerusalem*] Y drydedd waith, a'r waith olaf; *a Jeremi y proffwyd ydoedd wedi cau arno*—ydoedd wedi ei garcharu gan y brenin, i attal iddo lefaru yn gyhoeddus wrth y bobl: ond nid oedd efe eto wedi ei fwrw i'r daeardy, pen. xxxviii. 6, &c.

Adn. 3. *Canys Zedeciah brenin Juda a gauasai arno ef, &c.*] Am iddo broffwydo y byddai i'r brenin a'r ddinas gael eu rhoddi yn llaw y Caldeaid. Yr oedd carcharu y proffwyd am lefaru wrthynt eiriau yr Arglwydd, yn ynfydrwydd pechadurus, yn enwedig pan yr oedd y Caldeaid eisioes yn gwarchae ar y ddinas.

Adn. 4. *Ac ni ddianc Zedeciah*] Er ei fod yn frenin; *ond efe a roddir yn ddiau yn llaw brenin Babilon*—yr hyn a wnaed yn Riblah yn Syria: gwel ar 2 Bren. xxv. 6, 7. *Ac efe a ymddyddan âg ef enau yn ngenau*—pan yn cael ei brofi a'i gollfarnu ganddo; *a'i lygaid ef a edrychant yn ei lygaid yntau*—hyny yw, byddai raid i Zedeciah glywed dedfryd greulon brenin Babilon, a chanfod holl arwyddion digofaint yn ei lais a'i wedd.

Adn. 5. *Ac efe a arwain Zedeciah i Babilon*] Ar ol iddo yn gyntaf ladd ei feibion ef, a thynu ei lygaid yntau o'i ben; *ac yno y bydd efe hyd oni ymwelwyf fi âg ef*—trwy farwolaeth naturiol, yn tarddu ond odid oddiwrth ofid calon. *Er i chwi ymladd â'r Caldeaid*—gan geisio eu gyru oddiwrth y ddinas; *ni lwyddwch*—am fod Duw yn eich erbyn.

Adn. 6. *A Jeremi a lefarodd, &c.*] Ar ol adrodd uchod paham y carcharwyd ef, y mae Jeremi yma yn myned yn mlaen i egluro y gair a ddaethai ato ef oddiwrth yr Arglwydd, adn. 1.

Adn. 7. *Wele Hanameel fab Salum dy ewythr*] Yr hwn oedd gefnder i Jeremi; *yn dyfod atat*—hyn a ddanghoswyd i'r proffwyd ond odid mewn breuddwyd, tra yr oedd efe yn y carchar, fel yr adroddwyd uchod; *gan ddywedyd, Pryn i ti fy maes, yr hwn sydd yn Anathoth*—gwel ar pen. i. 1: *oblegid i ti y mae cyfiawnder y pryniad*—genyt ti, fel fy nghyfnesaf, y mae hawl i'w brynu: gwel ar Lef. xxv. 25, &c.

Adn. 8. *Felly Hanameel*] Fel y gwelswn yn fy mreuddwyd, *a ddaeth ataf fi i gyntedd y carchardy*—i geisio genyf brynu ei faes; *canys i ti y mae cyfiawnder yr etifeddiaeth*—fel fy nghyfnesaf. *Yna y gwybûm mai gair yr Arglwydd oedd hwn*—gan iddo ddyfod i ben megys y gwelswn yn fy mreuddwyd.

Adn. 9. *A mi a brynais y maes*] Gan gredu

i ti. Yna y gwybûm mai gair yr
Arglwydd *oedd* hwn.
9 A mi a brynais y maes *oedd* yn
Anathoth gan Hanameel fab fy
ewythr frawd fy nhad, ac a bwysais
iddo yr arian, saith sicl a deg *darn*
o arian.
10 A mi a ysgrifenais *hyn* mewn
llyfr, ac a'*i* seliais; cymerais hefyd
dystion, a phwysais yr arian mewn
cloriannau.
11 Yna mi a gymerais lyfr y
pryniad, *sef yr hwn oedd* wedi ei
selio *wrth* gyfraith a defod, a'*r hwn*
*oedd* yn agored.
12 A mi a roddais lyfr y pryniad
at Baruch fab Neriah, fab Maas-
eiah, yn ngwydd Hanameel *mab* fy
ewythr, ac yn ngwydd y tystion a
ysgrifenasent lyfr y prynedigaeth,
yn ngwydd yr holl Iuddewon oedd
yn eistedd yn nghyntedd y carch-
ardy.
13 ¶ A mi a orchymynais i Bar-
uch yn eu gwydd hwynt, gan ddy-
wedyd,
14 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel; Cymer y llyfr-
au hyn, *sef* y llyfr hwn o'r pryniad
yr hwn *sydd* seliedig, a'r llyfr
agored hwn, a dod hwynt mewn
llestr pridd, fel y parhaont ddyddiau
lawer.
15 O herwydd fel hyn y dywed
Arglwydd y lluoedd, Duw Israel;
Tai, a maesydd, a gwinllanoedd, a
feddiennir eto yn y wlad hon.
16 ¶ Ac wedi i mi roddi llyfr y
pryniad at Baruch fab Neriah, myfi
a weddiais ar yr Arglwydd, gan
ddywedyd,
17 O Arglwydd Dduw, wele, ti a
wnaethost y nefoedd a'r ddaear,
â'th fawr allu ac â'th fraich estyn-
edig; nid oes dim rhy anhawdd i ti.
18 Yr wyt yn gwneuthur trugar-

---

mai hyny oedd ewyllys yr Arglwydd, i fod yn arwydd o ail feddianiad y wlad ar ol y caethiwed, adn. 15; *ac a bwysais iddo yr arian*—nid oes genym sicrwydd fod arian *bathol* gan yr Iuddewon cyn y caethiwed, gan y sonir bob amser am *bwyso* yr arian, ac nid eu *rhifo*, yr hyn sydd yn arferiad eto mewn rhai gwledydd; *saith sicl a deg darn o arian*—Hebr., 'saith sicl a deg o arian;' neu, fel y mae yn y Saesonaeg, 'dau-ar-bymtheg o siclau arian;' canys nid yw y gair *darn* yn y wreiddiol. Os cyfrifwn y sicl yn werth 2*s.* 6*c.* o'n harian ni, cyrhaedda 17 sicl i £2 2*s.* 6*c.*

Adn. 10. *A mi a ysgrifenais hyn mewn llyfr*] Fel gweithredoedd y pryniad; *ac a'i seliais*—i gadarnhau y weithred, yr hyn a wnaed ond odid gan Hanameel hefyd: *cymerais hefyd dystion*—i law-nodi yr unrhyw; *a phwysais yr arian mewn cloriannau*—yr hwn a allai fod yn un llafn neu dalp o arian, neu yn wahanol ddarnau llai.

Adn. 11. *Yna mi a gymerais lyfr y pryniad*] Yr hwn a grybwyllwyd uchod; *sef yr hwn oedd wedi ei selio wrth gyfraith a defod*—ac wedi ei gau i fyny dan sêl; *a'r hwn oedd yn agored*—sef ailun neu gopi o'r cyntaf, yr hwn oedd heb ei gau i fyny dan sêl; neu ynte ail lyfr, yr hwn, yn ol rhai, a gynwysai ddysgrifiad o'r maes o ran ei safle, ei fesuriad, a'i ansawdd.

Adn. 12. *A mi a roddais lyfr y pryniad at Baruch*] I'w gadw ganddo ef, yr hwn oedd gofiadur proffesedig yn y fath achosion, yn debyg i'n cyfreithwyr ni; *yn ngwydd Hanameel*—yr hwn a werthasai y maes; *ac yn ngwydd y tystion*—o'r gwerthiad a'r pryniad; *ac yn ngwydd yr holl Iuddewon*—fel y byddai yn arwydd iddynt hwythau o ddychweliad yr Iuddewon i ail feddiannu eu tai, eu maesydd, a'u gwinllanoedd, adn. 15, 44.

Adn. 13. *A mi a orchymynais i Baruch yn eu gwydd hwynt*] Fel y gallent hwy oll fod yn dystion o hawl Baruch i gadw y gweithredoedd hyn.

Adn. 14. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Yr hwn a roisai orchymyn manwl i Jeremi am y pethau hyn oll; *Cymer y llyfrau hyn*—gwel ar adn. 11; *a dod hwynt mewn llestr pridd*—i'w guddio yn y ddaear, yn yr hwn y cedwid hwynt yn sych a dilwgr; *fel y parhaont ddyddiau lawer*—hyd ddiwedd y 70 mlynedd ond odid. Arferai yr henafiaid gadw eu hysgrifau mewn llestri pridd, y rhai nid oeddynt mor dueddol i bydru a chistiau coed. Dywedir i *Origen* gael cyfieithiad o'r ysgrythyrau wedi ei guddio mewn llestr pridd yn Jericho.

Adn. 15. *O herwydd fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, &c.*] Gwel ar pen. xxxi. 23; *Tai, a maesydd, a gwinllanoedd*—y rhai a gollid gan yr Iuddewon am yspaid 70 mlynedd eu caethiwed; *a feddiennir eto yn y wlad hon*—yn ngwlad Juda a Benjamin; ac am hyny yr oedd yn werth iddynt hwy oll ddiogelu ysgrif-rwymau eu meddiant, os gallent, i rwyddhau ail feddianiad eu rhandiroedd gan eu hiliogaeth.

Adn. 16. *Ac wedi i mi roddi llyfr y pryniad at Baruch*] Gwel ar adn. 14; *myfi a weddiais ar yr Arglwydd*—am fwy o oleuni ar y pethau hyn.

Adn. 17. *O Arglwydd Dduw, wele, ti a wnaethost y nefoedd a'r ddaear, &c.*] Y mae efe yn dechreu ei weddi gyda chydnabyddiad parchus o fawredd a hollalluogrwydd Duw, fel eu hamlygir mewn creadigaeth a rhagluniaeth. Dylem ninau, wrth weddio, nesâu at Dduw gyda'r fath feddyliau am ei allu a'i ddaioni ag a dueddant i ennill ein serchiadau a chadarn-

edd i filoedd, ac yn talu anwiredd-
au y tadau i fynwes eu meibion ar
eu hol hwynt: y Duw mawr, cad-
arn, Arglwydd y lluoedd *yw* ei enw;
19 Mawr mewn cynghor, a gallu-
og ar weithred, (canys *y mae* dy
lygaid yn agored ar holl ffyrdd
meibion dynion, i roddi i bob un yn
ol ei ffyrdd, ac yn ol ffrwyth ei
weithredoedd,)
20 Yr hwn a osodaist arwyddion
a rhyfeddodau yn ngwlad yr Aifft
hyd y dydd hwn, ac yn Israel, ac
yn mysg dynion *ereill;* ac a wnaeth-
ost i ti enw, megys heddyw;
21 Ac a ddygaist dy bobl Israel
allan o dir yr Aifft, âg arwyddion,
ac â rhyfeddodau, ac â llaw gref, ac
â braich estynedig, ac âg ofn mawr;
22 Ac a roddaist iddynt y wlad
yma, yr hon a dyngaist wrth eu
tadau y rhoddit iddynt, *sef* gwlad
yn llifeirio o laeth a mêl.
23 A hwy a ddaethant i mewn, ac
a'i meddiannasant hi; ond ni wr-
andawsant ar dy lais, ac ni rodias-
ant yn dy gyfraith: ni wnaethant
ddim o'r hyn oll a orchymynaist
iddynt ei wneuthur: am hyny y
peraist i'r holl niwed hyn ddygwydd
iddynt.
24 Wele, peiriannau ergydion a
ddaeth ar y ddinas i'w goresgyn hi;
a'r ddinas a roddir i law y Calde-
aid, y rhai sydd yn ymladd yn ei
herbyn, o herwydd y cleddyf, a'r
newyn, a'r haint: a'r hyn a ddy-
wedaist ti a gwblhawyd; ac wele,
ti a'*i* gweli.
25 A thi a ddywedaist wrthyf, O
Arglwydd Dduw, Pryn i ti y maes
âg arian, a chymer dystion: gan
fod y ddinas wedi ei rhoddi i law y
Caldeaid.
26 ¶ Yna y daeth gair yr Ar-
glwydd at Jeremi, gan ddywedyd,
27 Wele, myfi *yw* yr Arglwydd,
Duw pob cnawd: a oes dim rhy
anhawdd i mi?
28 Am hyny fel hyn y dywed yr

---

hau ein ffydd. *Nid oes dim rhy anhawdd i ti*—ei wybod a'i wneuthur.

Adn. 18. *Yr wyt yn gwneuthur trugaredd i filoedd*] Nid i filoedd o bersonau yn unig, ond i filoedd o genedlaethau, y 'rhai a'i carant ef, ac a gadwant ei orchymynion,' Exod. xx. 6; *ac yn talu anwireddau y tadau i fynwes eu meibion ar eu hol hwynt*—mewn ystyr tymhorol yn unig: gwel ar pen. xxxi. 29, 30, Exod. xx. 5. *Y Duw mawr, cadarn*—yr hwn y mae dy fawredd yn anchwiliadwy, a'th gadernid yn anfeidrol; *Arglwydd y lluoedd yw ei enw*—yr hwn sydd yn meddu awdurdod a gallu dros angylion, dynion, a chythreuliaid.

Adn. 19. *Mawr mewn cynghor*] I drefnu pob peth; *a galluog ar weithred*—i'w dwyn i ben: *canys y mae dy lygaid yn agored ar holl ffyrdd meibion dynion*—i wobrwyo neu gospi pob un yn ol ei weithredoedd: gwel ar Rhuf. ii. 6—11.

Adn. 20. *Yr hwn a osodaist arwyddion a rhyfeddodau yn ngwlad yr Aifft hyd y dydd hwn*] Sef rhyfeddodau barnol y deg pla, y rhai sydd mewn coffadwriaeth hyd heddyw; *ac yn Israel*—gwnaethost arwyddion o drugaredd i Israel wrth eu dwyn trwy y môr coch; *ac yn mysg dynion ereill*—hyny yw, gwnaethost lawer o weithredoedd rhyfedd yn mysg cenhedloedd ereill hefyd o dro i dro, fel ag i haeddu i ti enw mawr a gogoneddus, yr hwn sydd yn parhau hyd heddyw.

Adn. 21. *Ac a ddygaist dy bobl Israel allan o dir yr Aifft âg arwyddion ac â rhyfeddodau*] O farn ar yr Aifftiaid, ac o drugaredd ar Israel; *ac â llaw gref, &c.*—gwel ar Deut. iv. 34.

Adn. 22. *Ac a roddaist iddynt y wlad yma*] Sef Canaan, *yr hon a dyngaist wrth eu tadau y rhoddit iddynt*—wrth Abraham, Isaac, a Jacob; *sef gwlad yn llifeirio o laeth a mêl*—gwel ar Exod. iii. 8.

Adn. 23. *A hwy a ddaethant i mewn, ac a'i meddiannasant hi*] Yn ol dy addewid a'th lw i'w tadau: *ond ni wrandawsant ar dy lais, &c.*—ar ol dy holl ddaioni iddynt: *am hyny y peraist i'r holl niwed hyn ddygwydd iddynt*—sef cael eu caethgludo i wlad eu gelynion, ar ol i'w dinas gael ei llosgi.

Adn. 24. *Wele, peiriannau ergydion a ddaeth ar y ddinas i'w goresgyn hi*] Sef peiriannau nerthol i ddinystrio y muriau, ac i daflu cerig mawrion i'r ddinas: *a'r ddinas a roddir i law y Caldeaid*—a hyny yn rhwyddach, *o herwydd y cleddyf, a'r newyn, a'r haint*—y rhai oeddynt yn gwanychu yr Iuddewon oddifewn, fel nas gallent wrthwynebu y Caldeaid oddiallan: *a'r hyn a ddywedaist ti a gwblhawyd*—dy fygythion yn erbyn Jerusalem a ddaethant i ben: *ac wele, ti a'i gweli*—fel nad oes achos i mi ymhelaethu ar y peth.

Adn. 25. *A thi a ddywedaist wrthyf*] Yn ngwyneb y fath gyflwr a hwn, pan y mae y ddinas a'r wlad wedi eu rhoddi yn llaw y Caldeaid; *Pryn i ti y maes âg arian, a chymer dystion, &c.*—fel pe dywedasai, Eglura i mi dy feddwl, paham y gorchymynaist i mi brynu yr hyn nad oes genyf obaith am gael ei fwynhau, trwy fod y ddinas a'r wlad eisioes yn llaw y Caldeaid.

Adn. 26. *Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*] Mewn atebiad i'r weddi uchod.

Adn. 27. *Wele, myfi yw yr Arglwydd*] Jehofa, y Bôd tragwyddol, hunan-fodol, ac

Arglwydd, Wele fi yn rhoddi y ddinas hon yn llaw y Caldeaid, ac yn llaw Nebuchodonosor brenin Babilon, ac efe a'i hennill hi.
29 A'r Caldeaid, y rhai a ryfelant yn erbyn y ddinas hon, a ddeuant ac a ffaglant y ddinas hon â thân, ac a'i llosgant hi, a'r tai y rhai yr arogldarthasant ar eu penau i Baal, ac y tywalltasant ddiod-offrwm i dduwiau dyeithr, i'm digio i.
30 Oblegid meibion Israel, a meibion Juda, oeddynt yn gwneuthur yn unig yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg i o'u mebyd: o herwydd meibion Israel oeddynt yn unig yn fy niglloni i â gweithredoedd eu dwylaw, medd yr Arglwydd.
31 Canys i'm digofaint, ac i'm llid, y bu y ddinas hon i mi, er y dydd yr adeiladasant hi hyd y dydd hwn, i beri ei symud oddi gerbron fy wyneb:
32 Am holl ddrygioni meibion Israel a meibion Juda, y rhai a wnaethant i'm digio i, hwynt-hwy, eu brenhinoedd, eu tywysogion, eu hoffeiriaid, a'u proffwydi, a gwŷr Juda, a phreswylwyr Jerusalem.
33 Er i mi *eu* dysgu, gan fore-godi i roddi addysg *iddynt*, eto ni wrandawsant i gymeryd athrawiaeth; eithr troisant ataf fi eu gwarau, ac nid eu hwynebau:
34 Eithr gosodasant eu ffieidd-dra yn y tŷ y gelwir fy enw arno, i'w halogi ef.
35 A hwy a adeiladasant uchelfeydd Baal, y rhai *sydd* yn nyffryn mab Hinnom, i wneuthur i'w meibion a'u merched fyned trwy *y tân* i Moloch: yr hyn ni orchymynais iddynt, ac ni feddyliodd fy nghalon iddynt wneuthur y ffieidd-dra hyn, i beri i Juda bechu.
36 ¶ Ac yn awr am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, am y ddinas hon, am yr hon y dywedwch chwi, Rhoddir hi i law brenin Babilon, trwy y cleddyf, a thrwy newyn, a thrwy haint.
37 Wele, myfi a'u cynullaf hwynt o'r holl diroedd, y rhai yn fy nig a'm llid a'm soriant mawr y gyrais

---

annibynol; *Duw pob cnawd*—Creawdwr, Cynaliwr, a Llywodraethwr pob dyn: *a oes dim rhy anhawdd i mi*—allu ei gyflawni?

Adn. 28. *Wele fi yn rhoddi y ddinas hon yn llaw y Caldeaid*] Y rhai sydd yn awr yn gwarchae arni; *ac yn llaw Nebuchodonosor*—yr hwn sydd yn arwain ei fyddin; *ac efe a'i hennill hi*—er cadarned ydyw.

Adn. 29. *A'r Caldeaid*] A ddeuant i mewn i'r ddinas hon, ac a'i llosgant hi â thân; *a'r tai y rhai yr arogldarthasant ar eu penau*—i Baal a duwiau dyeithr ereill: gwel ar pen. xix. 13.

Adn. 30. *Oblegid meibion Israel a meibion Juda*] Sef yr oll o'r deuddeg llwyth; *oeddynt yn gwneuthur yn unig yr hyn oedd ddrwg yn fy ngolwg i o'u mebyd*—o ddechread eu bodaeth genedlaethol; *oeddynt yn unig yn fy niglloni i*—nid oeddynt yn gwneyd dim ond fy nigio i; *â gweithredoedd eu dwylaw*—trwy yn gyntaf wneuthur duwiau, ac yna eu haddoli hwynt, a chyflawni pob drwg arall ar feddwl, gair, a gweithred.

Adn. 31. *Canys i'm digofaint ac i'm llid y bu y ddinas hon i mi*] I annog fy nigofaint a'm llid cyfiawn i'w herbyn; *er y dydd yr adeiladasant hi*—i'w chyflwr presenol. Dywed yr Iuddewon mai ar ddydd sylfaeniad y deml y priododd Solomon ferch Pharao, yr hyn a osododd sail i'w eilunaddoliaeth dyfodol ef. *I beri ei symud oddi gerbron fy wyneb*—trwy ei llosgi yn lludw.

Adn. 32. *Am holl ddrygioni meibion Israel a meibion Juda*] Sef drygioni pob gradd o'i phreswylwyr o oes i oes, o'r mwyaf hyd y lleiaf.

Adn. 33. *Er i mi eu dysgu*] Trwy fy mhroffwydi; *gan fore-godi i roddi addysg iddynt*—gwel ar pen. xxv. 3, 4; *eto ni wrandawsant i gymeryd athrawiaeth*—neu addysg, oddiwrth yr hyn a glywent; *eithr troisant ataf fi eu gwarau, ac nid eu hwynebau*—yn y modd mwyaf beiddgar a dirmygus.

Adn. 34. *Eithr gosodasant eu ffieidd-dra yn y tŷ, &c.*] Gwel ar pen. vii. 30.

Adn. 35. *A hwy a adeiladasant uchelfeydd Baal, &c.*] Gwel ar pen. vii. 31, a xix. 5.

Adn. 36. *Ac yn awr am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Am ddinas Jerusalem. Ar ol son am bechodau a chosp y bobl yn yr adnodau blaenorol, y mae yr Arglwydd yn troi yma i addaw eu dychweliad hwy o'u caethiwed; mewn ffordd o atebiad i eiriau y proffwyd yn adn. 25. *Am yr hon y dywedwch chwi, Rhoddir hi i law brenin Babilon*—felly yr oedd llawer o'r Iuddewon eu hunain yn gorfod credu erbyn hyn, y rhoddid y ddinas i law brenin Babilon, trwy fod y cleddyf a'r newyn a'r haint oddifewn yn eu hanalluogi hwy i wrthsefyll y gelynion oddifaes, adn. 24.

Adn. 37. *Wele, myfi a'u cynullaf hwynt o'r holl diroedd*] Gwel ar pen. xxiii. 3, 8, a xxix. 14; *ac a'u dygaf yn eu hol i'r lle hwn*—yn niwedd y 70 mlynedd; *ac a wnaf iddynt breswylio yn ddiogel*—heb eu haflonyddu mwyach. Ond gan i'r Iuddewon orfod goddef llawer o ryfeloedd blinion ar ol eu dychwelyd

hwynt iddynt; ac a'u dygaf yn eu
hol i'r lle hwn, ac a wnaf iddynt
breswylio yn ddiogel.
38 A hwy a fyddant yn bobl i mi,
a minau a fyddaf yn Dduw iddynt
hwythau.
39 A mi a roddaf iddynt un galon
ac un ffordd, i'm hofni byth, er lles
iddynt ac i'w meibion ar eu hol.
40 A mi a wnaf â hwynt gyfam-
mod tragwyddol, na throaf oddi-
wrthynt heb wneuthur lles iddynt;
a mi a osodaf fy ofn yn eu calonau,
fel na chiliont oddiwrthyf.
41 Ie, mi a lawenychaf ynddynt,
gan wneuthur lles iddynt, a mi a'u
planaf hwynt yn y tir hwn yn sicr,
â'm holl galon, ac â'm holl enaid.
42 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd; Megys y dygais i ar y bobl
hyn yr holl fawr ddrwg hyn, felly y
dygaf fi arnynt yr holl ddaioni a
addewais iddynt.
43 A maesydd a feddiennir yn y
wlad yma, *am* yr hon yr ydych chwi
yn dywedyd, Annghyfanedd *yw* hi,
heb ddyn nac anifel; yn llaw y
Caldeaid y rhoddwyd hi.
44 Maesydd a brynant am arian,
ac a ysgrifenant mewn llyfrau, ac
a'*u* seliant, ac a gymerant dystion
yn nhir Benjamin, ac yn amgylch-
oedd Jerusalem, ac yn ninasoedd
Juda, ac yn ninasoedd y mynydd-
oedd, ac yn ninasoedd y gwastad, ac
yn ninasoedd y deau: canys mi a
ddychwelaf eu caethiwed hwynt,
medd yr Arglwydd.

## PENNOD XXXIII.

GAIR yr Arglwydd hefyd a ddaeth
at Jeremi yr ail waith, (ac efe
eto yn garcharor yn nghyntedd y
carchardy,) gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd

---

o Babilon, ymddengys mai yn y dyddiau diweddaf y mae y llwyr gyflawniad o'r addewid hon i gymeryd lle.

Adn. 38. *A hwy a fyddant yn bobl i mi, &c.*] Gwel ar pen. xxx. 22.

Adn. 39. *A mi a roddaf iddynt un galon*] A hòno yn galon newydd; *ac un ffordd*—o athrawiaeth i'w chredu, ac o ordinhadau a chyflawniadau crefyddol i'w harferyd; *i'm hofni byth*—i'm parchu, a'm haddoli, ac ufyddhau i mi hyd ddiwedd amser; *er lles iddynt ac i'w meibion ar eu hol*—yn dymhorol ac ysbrydol. Ni chyflawnir hyn yn hollol hyd oni ddychwelir yr Iuddewon at Dduw fel un corff dan yr efengyl; ac yna y bydd un gorlan ac un Bugail i Iuddewon a Chenhedloedd.

Adn. 40. *A mi a wnaf â hwynt gyfammod tragwyddol*] Un o ammodau yr hwn fydd, *na throaf oddiwrthynt heb wneuthur lles iddynt*—heb eu hachub, fel rhai edifeiriol a chredinol, âg iachawdwriaeth dragwyddol: *a mi a osodaf fy ofn yn eu calonau*—sef ofn fy nigio i, neu ofn mabaidd a pharchedig; *fel na chiliont oddiwrthyf*—byth mwyach. Y mae yn amlwg mai at y dyddiau diweddaf y cyfeirir yma; canys ar ol adferiad yr Iuddewon o Babilon, hwy a giliasant eilwaith oddiwrth burdeb crefydd, yr hyn a barodd i Dduw droi oddiwrthynt hwythau, a'u rhoddi yn nwylaw y Rhufeiniaid, pryd y trengodd miloedd o honynt trwy gleddyf, newyn, a haint.

Adn. 41. *Ie, mi a lawenychaf ynddynt, gan wneuthur lles iddynt*] Nid yn unig mi a wnaf les iddynt, ond mi a ymhyfrydaf yn hyny: *a mi a'u planaf hwynt yn y tir hwn yn sicr*—ymddengys fod hyn yn cyfeirio naill ai at eu dychweliad hwy o Babilon i Judea yn niwedd y 70 mlynedd, neu ynte at eu dygiad hwy i'r eglwys Gristionogol, yr hyn a osodir allan yma mewn iaith gyffelybiaethol: gwel ar pen. xxx. 3. *A'm holl galon, ac â'm holl enaid*—gyda serch cywir, gwresog, a pharhaus.

Adn. 42. *Megys y dygais i ar y bobl hyn yr holl fawr ddrwg hyn*] Sef dinystr eu dinas, a'u caethgludiad hwythau i Babilon; *felly y dygaf fi arnynt yr holl ddaioni a addewais iddynt*—sef gwaredigaeth o Babilon, yr hyn oedd i fod yn gysgod o'u gwaredigaeth yn y dyddiau diweddaf o gaethwasanaeth pechod a Satan.

Adn. 43. *A maesydd a feddiennir yn y wlad yma*] Sef yn ngwlad Juda, yr hon y dywedent hwy ei bod yn annghyfanedd, heb ddyn nac anifel o'i mewn, o herwydd ei rhoddi yn llaw y Caldeaid.

Adn. 44. *Maesydd a brynant am arian*] O'r hyn yr oedd gwaith Jeremi yn prynu maes Hanameel yn arwydd neu yn gysgod, adn. 9—15; *ac a ysgrifenant mewn llyfrau, ac a'u seliant, ac a gymerant dystion*—fel y gwnaethai yntau; *yn nhir Benjamin*—o du y gogledd i Jerusalem; *ac yn ninasoedd Juda*—o du y deau iddi, sef yn yr holl wlad oddiamgylch; hyny yw, adferid yr holl wlad iddynt, a phrynent hwythau dai a thiroedd gan eu gilydd hyd flwyddyn y jubili, Lef. xxv. 15, &c. *Canys mi a ddychwelaf eu caethiwed hwynt, medd yr Arglwydd*—hyny yw, mi a'u dychwelaf hwynt o'u caethiwed, i fwynhau eu rhyddid a'u breintiau megys gynt. Fel hyn ni a welwn fod rhai o'r addewidion a grybwyllir yn y bennod hon yn cyfeirio at eu breintiau tymhorol, y rhai ar yr un pryd a gynwysent eu breintiau ysbrydol hwy yn y dyddiau diweddaf.

PEN. XXXIII. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd hefyd a ddaeth at Jeremi yr ail waith*] Gwel ar pen. xxxii. 1, &c.; *ac efe yn garcharor yn nghyntedd y carchardy*—ar ol

yr hwn a'i gwnaeth, yr Arglwydd yr hwn a'i lluniodd i'w sicrhau, yr Arglwydd *yw* ei enw:

3 Galw arnaf, a mi a'th atebaf, ac a ddanghosaf i ti *bethau* mawrion a chedyrn, y rhai nis gwyddost.

4 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, am dai y ddinas hon, ac am dai brenhinoedd Juda, y rhai a ddinystriwyd â pheiriannau rhyfel, ac â chleddyf;

5 Y maent yn dyfod i ymladd â'r Caldeaid, ond i'w llenwi â chelanedd dynion, y rhai a leddais yn fy llid a'm digofaint, ac am i mi guddio fy wyneb oddiwrth y ddinas hon am eu holl ddrygioni hwynt.

6 Wele, myfi a ddygaf iddi hi iechyd a meddyginiaeth, a mi a'u meddyginiaethaf hwynt, ac a ddatguddiaf iddynt amlder o heddwch a gwirionedd.

7 A mi a ddychwelaf gaethiwed Juda, a chaethiwed Israel, a mi a'u hadeiladaf hwynt megys yn y dechread.

8 A mi a'u puraf hwynt oddiwrth eu holl anwiredd a bechasant i'm herbyn; a mi a faddeuaf iddynt eu holl bechodau *trwy* y rhai y pechasant i'm herbyn, a *thrwy* y rhai y troseddasant yn fy erbyn.

9 ¶ A *hyn* fydd i mi yn enw llawenydd, yn glod ac yn ogoniant o flaen holl genhedloedd y ddaear, y rhai a glywant yr holl ddaioni yr ydwyf fi yn ei wneuthur iddynt: a hwythau a ofnant ac a grynant am yr holl ddaioni a'r holl lwyddiant yr ydwyf fi yn eu gwneuthur i'r *ddinas* hon.

10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Clywir eto yn y lle hwn, (*am* yr hwn y dywedwch, Anialwch *yw* efe, heb ddyn ac heb anifel, yn ninas-

---

i Jeremi gael ei yru allan o'r deml, y mae Duw yn ei ddylyn ef i'r carchar, ac yno yn datguddio ei feddwl iddo unwaith ac eilwaith. Nis gallai drygioni yr Iuddewon yn erlid y proffwyd wneuthur addewidion Duw yn ddirym gyda golwg ar ddangos trugaredd i'r bobl hyn ar ol y caethiwed; pa addewidion, er ddarfod eu gwneyd o'r blaen, a gadarnheir yma drachefn.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd yr hwn a'i gwnaeth, &c.*] Yr hwn a wnaeth ac a luniodd y pethau a ddywedir ganddo yma; *yr Arglwydd yw ei enw*—sef JEHOFA, y Bôd hollalluog, anfeidrol, a thragwyddol.

Adn. 3. *Galw arnaf*] Am drugaredd i'r bobl hyn ar ol eu caethiwed; *a mi a'th atebaf*—trwy ei rhoddi iddynt yn ol dy air; *ac a ddanghosaf i ti bethau mawrion a chedyrn, y rhai nis gwyddost*—o honot dy hun, neu nas gwyddost eto ond yn anmherffaith iawn.

Adn. 4. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Duw cyfammodol Israel; *am dai y ddinas hon*—a holl ddinasoedd ereill Juda; *y rhai a ddinystriwyd â pheiriannau rhyfel*—gwel ar pen. xxxii. 24; *ac â chleddyf*—gall y gair gwreiddiol fod yn arwyddo unrhyw offeryn *haiarn*, megys caib neu drosol, â'r rhai y dinystrir adeiladau; neu gall fod yma gyfeiriad at drigolion y tai hyn, y rhai a leddid â'r cleddyf.

Adn. 5. *Y maent yn dyfod i ymladd â'r Caldeaid*] Hyny yw, y mae yr Iuddewon yn meddwl eu gwrthsefyll hwy; *ond i'w llenwi â chelanedd dynion*—fel pe dywedasai, Ni wna hyny ddim ond chwanegu at nifer eu lladdedigion eu hunain; *y rhai a leddais yn fy llid a'm digofaint*—eisioes, sef trwy gleddyf, newyn, a haint; *ac am i mi guddio fy wyneb oddiwrth y ddinas hon*—o herwydd eilunaddoliaeth a phechodau ereill ei thrigolion.

Adn. 6. *Wele*] Er hyn oll, *myfi a ddygaf iddi hi iechyd a meddyginiaeth*—yn niwedd y 70 mlynedd, er i mi ei tharo fel hyn. Y mae y gair *aruchah* yn arwyddo 'plaster mawr,' neu 'blaster cymaint a'r clwyf,' fel y dywedwn ni. *A mi a'u meddyginiaethaf hwynt*—sef ei thrigolion hi, trwy beri iddynt lwyddo a chynyddu mewn rhifedi, cyfoeth, a phob daioni; *ac a ddatguddiaf iddynt amlder o heddwch*—sef daioni gwladol ac eglwysig; *a gwirionedd*—hyny yw, datguddiai Duw iddynt wirionedd ei addewidion ei hun yn y cyflawniad o honynt.

Adn. 7. *A mi a ddychwelaf gaethiwed Juda a chaethiwed Israel*] Gan y sonir am hyn fel yn canlyn yr hyn a wneid i'r Iuddewon yn niwedd y 70 mlynedd, adn. 6, a'i fod yn cael ei addaw i *Israel* hefyd, y rhai ni ddychwelwyd o'u caethiwed ar yr un pryd a gwŷr *Juda*, rhaid ei fod yn golygu eu dychweliad hwy o gaethiwed pechod i ryddid yr efengyl mewn amser dyfodol: *a mi a'u hadeiladaf hwynt megys yn y dechread*—cânt fwynhau fy ngwenau a'm bendithion megys gynt.

Adn. 8. *A mi a'u puraf hwynt oddiwrth eu holl anwiredd, &c.*] Trwy faddeu eu pechodau, a symud eu heuogrwydd a'u halogrwydd.

Adn. 9. *A hyn*] Sef y bendithion tymhorol ac ysbrydol a grybwyllwyd uchod, adn. 6—8; *fydd i mi yn enw llawenydd*—neu yn enw ac yn llawenydd, pen. xxxii. 41; *yn glod ac yn ogoniant o flaen holl genhedloedd y ddaear*—pan welant ac y clywant am fy naioni rhyfedd i'm pobl: *a hwythau a ofnant ac a grynant*—rhag ymryson â phobl yn cael eu llwyddo a'u ffafrio mor fawr genyf fi: gwel ar Exod. xv. 14—16.

Adn. 10. *Clywir eto yn y lle hwn*] Sef yn Jerusalem a dinasoedd Juda, y rhai a wnaed yn annghyfanedd gan y Caldeaid, pen. xxxii. 43, 44.

oedd Juda, ac yn heolydd Jerusalem,
y rhai a wnaed yn annghyfanedd, heb
ddyn ac heb breswylwyr, ac heb
anifel,)
11 Llef gorfoledd a llef llawen-
ydd, llef y priodfab a llef y briod-
ferch, llef rhai yn dywedyd, Molwch
Arglwydd y lluoedd; o herwydd
daionus *yw* yr Arglwydd, oblegid
ei drugaredd *a bery* yn dragywydd;
*llef* rhai yn dwyn offrwm moliant i
dŷ yr Arglwydd: canys mi a ddych-
welaf gaethiwed y wlad, megys yn
y dechread, medd yr Arglwydd.
12 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Bydd eto yn y lle yma, *yr
hwn sydd* annghyfaneddol heb ddyn
ac heb anifel, ac yn ei holl ddinas-
oedd, drigfa bugeiliaid yn corlanu
y praidd.
13 Yn ninasoedd y mynydd, yn
ninasoedd y gwastad, ac yn ni-
nasoedd y deau, ac yn ngwlad
Benjamin, ac yn amgylchoedd Je-
rusalem, ac yn ninasoedd Juda, yr
â defaid eto, dan law yr hwn sydd
yn *eu* rhifo, medd yr Arglwydd.
14 Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, fel y cyflawn-
wyf y peth daionus a addewais i dŷ
Israel, ac i dŷ Juda.
15 ¶ Yn y dyddiau hyny, ac yn
yr amser hwnw, y paraf i Flaguryn
cyfiawnder flaguro i Ddafydd; ac efe
a wna farn a chyfiawnder yn y tir.
16 Yn y dyddiau hyny Juda a
waredir, a Jerusalem a breswylia yn
ddiogel; a hwn *yw yr enw* y gelwir
ef, Yr Arglwydd ein cyfiawnder.
17 ¶ Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Ni phalla i Ddafydd ŵr
yn eistedd ar frenhinfainc tŷ Israel.

---

Adn. 11. *Llef gorfoledd a llef llawenydd, &c.*] Yr hyn ni chlywid mewn amseroedd o drallod ac annghyfanedd-dra, pen. vii. 34, a xvi. 9; *llef rhai yn dywedyd, Molwch Arglwydd y lluoedd, &c.*—gwel gyflawniad o hyn yn Ezra iii. 11; *llef rhai yn dwyn offrwm moliant i dŷ yr Arglwydd*—ar ol ei ail adeiladu: *canys mi a ddychwelaf gaethiwed y wlad megys yn y dechread*—megys yn ei hamseroedd goraf a mwyaf llwyddiannus.

Adn. 12. *Bydd eto yn y lle yma*] Sef yn ngwlad Juda a Benjamin, lle nad oedd yn amser y caethiwed na dynion nac anifeiliaid; *drigfa bugeiliaid yn corlanu y praidd*—hyny yw, byddai yno lawnder o anifeiliaid yn cael eu magu, a digon o ddynion i edrych ar eu hol.

Adn. 13. *Yn ninasoedd y mynydd, &c.*] Sef yn holl ddinasoedd Juda a Benjamin, pa un bynag ai ar y mynydd ynte yn y gwastadedd; *yr â defaid eto*—megys gynt; *dan law yr hwn sydd yn eu rhifo*—arferai y bugail rifo ei ddefaid wrth eu gollwng i'r borfa yn y bore, ac hefyd wrth eu corlanu yn yr hwyr, i weled a oeddynt oll ar gael.

Adn. 14. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Yn sicr o ddyfod; *fel y cyflawnwyf y peth daionus a addewais*—uchod, yn dymhorol ac ysbrydol; *i dŷ Israel ac i dŷ Juda*—gwel ar adn. 6—8.

Adn. 15. *Yn y dyddiau hyny*] At y rhai y cyfeiriwyd uchod; *y paraf i Flaguryn cyfiawnder flaguro i Ddafydd*—yr oedd y rhan fwyaf o'r brenhinoedd a gawsent hwy o had Dafydd hyd yma yn ddynion annghyfiawn a drwg; ond addawa Duw yma y caent, ar ol y caethiwed, flaguryn i Ddafydd, neu oddiwrth Ddafydd, a fyddai yn dra gwahanol i'r lleill: *ac efe a wna farn a chyfiawnder yn y tir*—os yw y geiriau hyn yn cyfeirio mewn rhyw fodd at Zorobabel, yr hwn oedd yn llywodraethwr cyfiawn ar yr Iuddewon, er nad oedd yn frenin; rhaid eu bod yn cyfeirio ato yn unig fel cysgod o'r Messia, yr hwn oedd y 'Blaguryn o wraidd Jesse,' sef 'Blaguryn yr Arglwydd,' neu y 'Blaguryn cyfiawn a gyfodid i Ddafydd:' gwel ar pen. xxiii. 5, Esay iv. 2, a xi. 1.

Adn. 16. *Yn y dyddiau hyny*] Sef yn nyddiau y 'Blaguryn cyfiawnder' uchod; *Juda a waredir, a Jerusalem a breswylia yn ddiogel*—os cyfeirir yma at waredigaeth a diogelwch tymhorol, rhaid ei fod yn cyfeirio at yr heddwch a'r diogelwch a fwynhâai yr Iuddewon ar ol iddynt dderbyn Crist a'i efengyl, ac nid at y nawdd a'r diogelwch byr a fwynhasant hwy dan lywodraeth Zorobabel: ond diamau mai gwaredigaeth ysbrydol a thragwyddol a feddylir yma yn benaf, yr un modd ag yn pen. xxiii. 6. *A hwn yw yr enw y gelwir ef, Yr Arglwydd ein cyfiawnder*—gwel ar pen. xxiii. 6. Y Saesonaeg yw, 'A hwn yw yr enw y gelwir *hi*,' (sef Jerusalem, neu yr eglwys,) 'Yr Arglwydd ein cyfiawnder,' neu, fel ar ymyl y ddalen, 'Jehofatsidkenu.' A chaniatau mai *hi* yw yr iawn ddarlleniad, nid oes dim anmhriodoldeb mewn galw *dinas* ar enw Jehofa, mwy nag sydd mewn galw *allor* yn 'Jehofa-Nissi,' Exod. xvii. 15, neu yn 'Jehofa-shalom,' Barn. vi. 24. Yr *Esgob Pearson* a'i darllena, 'Efe yr hwn a'i geilw *hi*, (i fod yn eiddo priodol iddo ei hun,) yw yr Arglwydd ein cyfiawnder.' Ond y mae *Blayney* ac ereill, yn nghyda'r Vulgate, y Galdeaeg, a'r Syriaeg, a rhai ysgrifiyfrau Hebreig, yn darllen *ef* yma fel yn ein cyfieithiad ni, ac nid *hi*.

Adn. 17. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd*] I gadarnhau ei addewidion yn adn. 15, 16; *Ni phalla i Ddafydd ŵr i eistedd ar frenhinfainc tŷ Israel*—gan na bu un brenin daearol o hiliogaeth Dafydd yn eistedd ar frenhinfainc Israel o amser y caethiwed hyd heddyw, rhaid mai y Brenin Messia a feddylir

18 Ac ni phalla i'r offeiriaid y
Lefiaid ŵr ger fy mron i, i offrymu
poeth-offrwm, ac i offrymu bwyd-
offrwm, ac i wneuthur aberth yn
dragywydd.
19 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth
at Jeremi, gan ddywedyd,
20 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Os gellwch ddiddymu fy nghyfam-
mod â'r dydd, a'm cyfammod â'r
nos, ac na byddo dydd a nos yn eu
hamser;
21 Yna y diddymir fy nghyfam-
mod â Dafydd fy ngwas, na byddo
iddo fab yn teyrnasu ar ei deyrn-
gadair ef, ac â'r Lefiaid yr offeiriaid
fy ngweinidogion.
22 Megys na ellir cyfrif llu y
nefoedd, ac na ellir mesur tywod y
môr; felly myfi a amlhaf had Da-
fydd fy ngwas, a'r Lefiaid y rhai
sydd yn gweini i mi.
23 Hefyd, gair yr Arglwydd a
ddaeth at Jeremi, gan ddywedyd,
24 Oni weli di pa beth y mae y
bobl hyn yn ei lefaru, gan ddywedyd,
Y ddau deulu a ddewisodd yr Ar-
glwydd, efe a'u gwrthododd hwynt?
felly y dirmygasant fy mhobl, fel
nad ydynt mwyach yn genedl yn eu
golwg hwynt.
25 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Os fy nghyfammod â'r dydd ac â'r
nos ni *saif, ac oni* osodais i ddefodau
y nefoedd a'r ddaear:
26 Yna had Jacob a Dafydd fy
ngwas a wrthodaf fi, fel na chymer-
wyf o'i had ef lywodraethwyr ar had

---

wrth y *gŵr* hwn, yr hwn a eistedd yn Frenin yn dragywydd, ac ar ei lywodraeth ni bydd diwedd: gwel ar Esay ix. 7.

Adn. 18. *Ac ni phalla i'r offeiriaid y Lefiaid ŵr ger fy mron i*] Gan fod yr offeiriadaeth Iuddewig wedi darfod er pan ddinystriwyd Jerusalem gan y Rhufeiniaid, rhaid fod yr addewid hon hefyd yn cyfeirio at offeiriadaeth ysbrydol Crist, yr hwn sydd 'yn aros yn Offeiriad yn dragywydd,' Heb. vii. 3; ac, mewn ail ystyr, at weinidogion yr efengyl yn yr eglwys Gristionogol hyd ddiwedd amser. *I offrymu poeth-offrwm, &c.*—peth arferol yn yr Hen Destament, wrth gyfeirio at oruchwyliaeth yr efengyl, yw gosod allan swyddau a breintiau eglwys Crist trwy ymadroddion perthynol i'r eglwys Iuddewig; canys heb hyny ni fuasai gan yr Iuddewon un ddirnadaeth o honynt: gwel ar Esay xix. 19, a lvi. 7, a lxvi. 23.

Adn. 19. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi*] Drachefn, i gadarnhau yr addewidion uchod.

Adn. 20. *Os gellwch ddiddymu fy nghyfammod â'r dydd, a'm cyfammod â'r nos*] Fel na byddo i'r naill ddylyn y llall yn wastadol. Gwel sefydliad y cyfammod hwn yn Gen. viii. 22, lle y dywedir 'na pheidia dydd a nos mwy holl ddyddiau y ddaear;' a gwel ar pen. xxxi. 35, 36.

Adn. 21. *Yna y diddymir fy nghyfammod â Dafydd fy ngwas*] O berthynas i barhau y frenhiniaeth yn ei dŷ ef, 2 Sam. vii. 12—16; *ac â'r Lefiaid yr offeiriaid fy ngweinidogion*—o berthynas i barhad yr offeiriadaeth: gwel ar Num. xxv. 10—13. Y mae y frenhiniaeth a'r offeiriadaeth Iuddewig wedi eu diddymu er's llawer o oesoedd; ond y mae brenhiniaeth ac offeiriadaeth Crist yn parhau yn dragywydd: gwel ar adn. 17, 18.

Adn. 22. *Megys na ellir cyfrif llu y nefoedd*] Sef y ser a'r planedau; *ac na ellir mesur tywod y môr*—gan mor helaeth a lluosog yw y naill a'r llall; *felly myfi a amlhaf had Dafydd fy ngwas*—wrth *Dafydd* yma y meddylir Crist, fel mewn amrai leoedd ereill; ac wrth *had* Dafydd y golygir had ysbrydol Crist, neu y gwir gredinwyr: *a'r Lefiaid y rhai sydd yn gweini i mi*—sef gweinidogion ffyddlon yr efengyl ond odid. Gelwir yr holl gredinwyr yn 'frenhinoedd ac yn offeiriaid,' Dat. i. 6, ac yn 'frenhinol offeiriadaeth,' 1 Pedr ii. 9. Y mae yr addewid yn adn. 20, 21, yn cyfeirio at sefydlogrwydd a pharhad yr eglwys, a hon at ei helaethiad a rhif ei haelodau.

Adn. 23. *Hefyd gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi*] I gadarnhau yr un addewidion yn ngwyneb gwawd rhyw ddynion.

Adn. 24. *Oni weli di pa beth y mae y bobl hyn yn ei lefaru*] Sef naill ai yr Iuddewon annghrediniol, neu ynte y Cenhedloedd gelynaethus; *Y ddau deulu a ddewisodd yr Arglwydd*—wrth y ddau deulu hyn y golyga rhai ddwy deyrnas Israel a Juda; ond y mae yn debycach mai teulu Dafydd a theulu y Lefiaid a feddylir; y naill yn deulu *brenhinol*, a'r llall yn deulu *offeiriadol;* canys am y rhai hyn y sonir o adn. 17 yn mlaen. *Felly y dirmygasant fy mhobl*—trwy ddywedyd fy mod i wedi eu gwrthod hwynt; *fel nad ydynt mwyach yn genedl yn eu golwg hwynt*—dau brif addurn yr Iuddewon fel cenedl oedd eu *brenhiniaeth* a'u *hoffeiriadaeth;* ac wrth i'r gelynion gredu hyn fod y ddwy ragorfraint uchel hyn wedi eu symud o'u plith hwynt, yr oeddynt yn eu hystyried hwy yn annheilwng mwyach o'r enw *cenedl.*

Adn. 25. *Os fy nghyfammod â'r dydd ac â'r nos ni saif*] Ond fod iddi barhau yn ddydd o hyd, neu yn nos o hyd; *ac oni osodais i ddefodau y nefoedd a'r ddaear*—yn y fath fodd sicr, fel ag i barhau olyniad rheolaidd o ddydd a nos, adn. 20.

Adn. 26. *Yna had Jacob*] Sef holl gorff y genedl, yn cynwys yr offeiriaid o lwyth Lefi; *a Dafydd fy ngwas*—sef y teulu brenhinol o'r genedl; *a wrthodaf fi*—yn ol haeriad y gelynion uchod, adn. 24; *fel na chymerwyf o'i had ef lywodraethwyr ar had Abraham,*

Abraham, Isaac, a Jacob: canys mi
a ddychwelaf eu caethiwed hwynt,
ac a drugarhaf wrthynt.

## PENNOD XXXIV.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jeremi
oddiwrth yr Arglwydd, (pan
oedd Nebuchodonosor brenin Babi-
lon, a'i holl lu, a holl deyrnasoedd
y ddaear *y rhai oedd* dan lywodraeth
ei law ef, a'r holl bobloedd, yn
rhyfela yn erbyn Jerusalem, ac yn
erbyn ei holl ddinasoedd hi,) gan
ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Duw Israel, Dos, a llefara wrth
Zedeciah brenin Juda, a dywed
wrtho, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Wele fi yn rhoddi y ddinas
hon i law brenin Babilon, ac efe a'i
llysg hi â thân:
3 Ac ni ddiengi dithau o'i law ef,
canys diau y'th ddèlir, ac y'th roddir
i'w law ef; a'th lygaid di a gânt
weled llygaid brenin Babilon, a'i
enau ef a ymddyddan â'th enau di,
a thithau a âi i Babilon.
4 Er hyny, O Zedeciah brenin
Juda, gwrando air yr Arglwydd;
Fel hyn y dywed yr Arglwydd am
danat ti, Ni byddi di farw trwy y
cleddyf:
5 Mewn heddwch y byddi farw:
a hwy a losgant *beraroglau* i ti, fel y
llosgwyd i'th dadau, y brenhinoedd
gynt, y rhai a fu o'th flaen di; a hwy
a alarant am danat ti, *gan ddywedyd,*
O arglwydd! canys myfi a ddywed-
ais y gair, medd yr Arglwydd.
6 Yna Jeremi y proffwyd a lef-
arodd wrth Zedeciah brenin Juda
yr holl eiriau hyn yn Jerusalem,
7 Pan oedd llu brenin Babilon yn
rhyfela yn erbyn Jerusalem, ac yn
erbyn holl ddinasoedd Juda y rhai a
adewsid, yn erbyn Lachis, ac yn er-
byn Azecah: canys y dinasoedd caer-
og hyn a adewsid o ddinasoedd Juda.
8 ¶ Y gair yr hwn a ddaeth at
Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, wedi
i'r brenin Zedeciah wneuthur cyf-
ammod â'r holl bobl *oedd* yn Jerusa-
lem, am gyhoeddi iddynt ryddid;
9 I ollwng o bob un ei wasanaeth-
wr, a phob un ei wasanaethferch, *y*

---

*&c.*—sef ar Israel ysbrydol, y rhai a osodir allan yma trwy had naturiol Abraham, Isaac, a Jacob. Y meddwl yw, y bydd i offeiriadaeth a brenhiniaeth ysbrydol barhau yn yr EGLWYS, mor sicr ag y parha dydd a nos i ddylyn eu gilydd. *Canys mi a ddychwelaf eu caethiwed hwynt*—a'u dychwelaf hwy o'u caethiwed, yn dymhorol ac ysbrydol; *ac a drugarhaf wrthynt*—trwy eu gosod mewn mwynhad o freintiau llawer rhagorach na'r rhai a feddiannent yn eu cyflwr gynt.

PEN. XXXIV. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd*] Yn nechre y ddegfed flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, a chyn i'r brenin hwnw ei roddi ef yn ngharchar, pen. xxxii. 2—5; canys o achos yr hyn a ddywed efe isod y carcharwyd ef. *Pan oedd Nebuchodonosor brenin Babilon, a'i holl lu, a holl deyrnasoedd y ddaear*—y rhai a berthynent i'w amherodraeth eang ef; *yn rhyfela yn erbyn Jerusalem*—ac yn erbyn dinasoedd ereill Juda.

Adn. 2. *Dos, a llefara wrth Zedeciah*] Ond odid yn gyfrinachol, a hyny o enau yr Arglwydd; *Wele fi yn rhoddi y ddinas hon i law brenin Babilon*—yr hwn sydd eisioes yn gwarchae arni; *ac efe a'i llysg hi â thân*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol, 2 Cron. xxxvi. 19.

Adn. 3. *Ac ni ddiengi dithau o'i law ef, &c.*] Gwel ar pen. xxxii. 4.

Adn. 4. *Er hyny, O Zedeciah*] Er i ti gael dy ddal, ac i'th lygaid gael eu tynu o'th ben, 2 Bren. xxv. 7; *fel hyn y dywed yr Arglwydd am danat ti*—yr hwn yn nghanol barn a gofia drugaredd; *Ni byddi di farw trwy y cleddyf*—yr un modd a'th feibion.

Adn. 5. *Mewn heddwch y byddi farw*] Sef o farwolaeth naturiol, ac nid trwy drais; ac fe allai mewn heddwch â Duw, ac â brenin Babilon hefyd. *A hwy a losgant beraroglau i ti*—fel y gwneid i anrhydeddu claddedigaeth brenhinoedd, 2 Cron. xvi. 14, a xxi. 19. *A hwy a alarant am danat ti, gan ddywedyd, O arglwydd!*—gwel ar pen. xxii. 18. Y meddwl yw, y cai efe ei gladdu yn barchus fel brenin, er ei gaethgludo i Babilon.

Adn. 6. *Yna Jeremi y proffwyd a lefarodd wrth Zedeciah*] Yr holl eiriau uchod, y drwg a'r da, megys y gorchymynasai yr Arglwydd iddo; am yr hyn y cafodd ei garcharu, pen. xxxii. 2, 3.

Adn. 7. *Pan oedd llu brenin Babilon yn rhyfela yn erbyn Jerusalem*] Neu yn gwarchae arni, ac yn barod i ryfela; *ac yn erbyn holl ddinasoedd Juda y rhai a adewsid*—heb eu hennill cyn hyn; *yn erbyn Lachis, ac yn erbyn Azecah*—dwy ddinas i'r gorllewin a'r deau-orllewin o Jerusalem: *canys y dinasoedd caerog hyn a adewsid o ddinasoedd Juda*—heb eu hennill hyd yma gan y Caldeaid.

Adn. 8. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Ar fater arall, yn mhen ychydig ddyddiau ar ol yr un uchod; *wedi i'r brenin Zedeciah wneuthur cyfammod â'r holl bobl*—sef â'r holl feistriaid yn Jerusalem; *am gyhoeddi iddynt ryddid*—sef i'w gweision a'u morwyn-

*rhai fyddent* Hebread neu Hebrees, yn rhyddion; ac na cheisiai neb wasanaeth ganddynt, *sef* gan ei frawd o Iuddew.

10 A phan glybu yr holl benaethiaid, a'r holl bobl y rhai a aethent i'r cyfammod, am ollwng o bob un ei wasanaethwr a phob un ei wasanaethferch yn rhyddion, fel na cheisient wasanaeth ganddynt mwyach, yna hwy a wrandawsant, ac a'*u* ollyngasant ymaith.

11 Ond wedi hyny yr edifarhaodd arnynt, a hwy a ddygasant yn eu hol eu gweision a'u morwynion, y rhai a ollyngasent yn rhyddion, ac a'u caethiwasant hwy yn weision ac yn forwynion.

12 ¶ Am hyny y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, gan ddywedyd,

13 Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel, Mi a wnaethym gyfammod â'ch tadau chwi, y dydd y dygais hwynt allan o dir yr Aifft, o dŷ y caethiwed, gan ddywedyd,

14 Yn mhen saith mlynedd gollyngwch bob un ei frawd o Hebread, yr hwn a werthwyd i ti, ac a'th wasanaethodd chwe blynedd; gollwng ef yn rhydd oddiwrthyt: ond ni wrandawodd eich tadau arnaf, ac ni ogwyddasant eu clustiau.

15 A chwithau a gymerasech edifeirwch heddyw, ac a wnaethech yr hyn oedd uniawn yn fy ngolwg, am gyhoeddi rhyddid bob un i'w gymydog: a chwi a wnaethech gyfammod yn fy ngŵydd i, yn y tŷ y gelwir fy enw arno:

16 Ond chwi a ddychwelasoch, ac a halogasoch fy enw, ac a ddygasoch yn eu hol bob un ei wasanaethwr, a phob un ei wasanaethferch, y rhai a ollyngasech yn rhyddion wrth eu hewyllys eu hun: caethiwasoch hwynt hefyd i fod yn weision ac yn forwynion i chwi.

17 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ni wrandawsoch arnaf fi, gan gyhoeddi rhyddid bob un i'w frawd a phob un i'w gymydog: wele

---

ion Hebreaidd, ar ol iddynt fod chwe blynedd yn eu gwasanaeth.

Adn. 9. *I ollwng o bob un ei wasanaethwr, &c.*] Gwel y gyfraith ar hyn, Exod. xxi. 2, Deut. xv. 12; *ac na cheisiai neb wasanaeth ganddynt*—yn hwy na chwe blynedd o ddechread eu gwasanaeth. Yr oeddynt i ddyfod yn rhyddion cyn pen y chwe blynedd, os dygwyddai iddi fod yn flwyddyn y jubili: ond nid ymddengys fod y flwyddyn sabbothol yn eu rhyddhau hwynt, fel y tybiodd rhai; eithr y pryd hyny cai y tir orphwysdra, ac yr oedd y gwasanaethwr a'r wasanaethferch i gael mwynhau ei gnwd ef: gwel ar Lef. xxv. 6, &c.

Adn. 10. *A phan glybu yr holl benaethiaid a'r holl bobl*] Natur y cyfammod hwn; *yna hwy a wrandawsant*—a gydsyniasant âg ammodau y cyfammod, gan ollwng eu gweision a'u morwynion yn rhydd.

Adn. 11. *Ond wedi hyny yr edifarhaodd arnynt, &c.*] Gwnaed y cyfammod hwn pan oedd y Caldeaid o amgylch y ddinas, ac yn barod i ymosod arni; eithr pan ymadawodd y Caldeaid oddiwrth y ddinas, i fyned i ymladd â llu Pharao, adn. 21, 22, tybiodd penaethiaid Jerusalem fod eu perygl hwy drosodd, a mynasant eu caethion yn ol drachefn, a hyny yn groes i gyfraith Dduw, ac i'r cyfammod a wnaethent hwy eu hunain yn ddiweddar.

Adn. 12. *Am hyny y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*] I'w anfon ef at y troseddwyr uchod, i ddangos iddynt eu pechod ac i fynegu iddynt eu cosp; *oddiwrth yr Arglwydd*—hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'daeth gair Jehofa y MAB at Jeremi oddiwrth Jehofa y TAD.'

Adn. 13. *Fel hyn y dywed Arglwydd Dduw Israel*] Wrth yr holl droseddwyr uchod; *Mi a wnaethym gyfammod â'ch tadau chwi, y dydd y dygais hwynt allan o dir yr Aifft*—lle y buont yn gaethion eu hunain.

Adn. 14. *Yn mhen saith mlynedd*] Neu, fel y mae gan y LXX, 'yn mhen *chwe* blynedd;' sef yn nechre y seithfed flwyddyn, ar ol iddynt fod yn eu gwasanaethu hwy chwe blynedd; *gollwng ef yn rhydd oddiwrthyt*—gwel ar Exod. xxi. 2, Deut. xv. 12: *ond ni wrandawodd eich tadau arnaf*—trwy eu bod yn caru eu helw eu hunain yn fwy nag ufyddhau i mi.

Adn. 15. *A chwithau a gymerasech edifeirwch heddyw*] A ddangosasoch eich bod yn edifeiriol am orthrymu eich caethion, trwy ymddwyn yn wahanol i'ch tadau wrth eu gollwng hwynt yn rhydd; *a chwi a wnaethech gyfammod yn fy ngwydd i*—yn y deml, a hyny trwy aberth, i'w gollwng hwy yn rhydd: gwel ar adn. 18.

Adn. 16. *Ond chwi a ddychwelasoch*] Oddiwrth y cyfammod hwnw; *ac a halogasoch fy enw*—trwy beidio sefyll at ammodau y cyfammod ag y tyngasoch y byddai i chwi ei gadw; *ac a ddygasoch yn eu hol*—y caethion, y rhai cyn hyny a ollyngasoch yn rhyddion i fyned wrth eu hewyllys i'r fan y mynent; *i fod yn weision ac yn forwynion i chwi*—drachefn: gwel ar adn. 11.

Adn. 17. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd, &c.*] Fel pe dywedasai, Gan na wrandawsoch chwi arnaf fi i gyhoeddi rhyddid parhaus i'ch caethion; wele fi yn cyhoeddi rhyddid i'm barnedigaethau cyfiawn ddisgyn arnoch chwi, sef y cleddyf, yr haint, a'r newyn:

fi yn cyhoeddi i'ch erbyn, medd yr
Arglwydd, ryddid i'r cleddyf, i'r
haint, ac i'r newyn, ac mi a wnaf
eich symud chwi i holl deyrnas-
oedd y ddaear.
18 A mi a roddaf y dynion a dros-
eddodd fy nghyfammod, y rhai ni
chwblhasant eiriau y cyfammod a
wnaethant ger fy mron, wedi iddynt
fyned rhwng rhanau y llo, yr hwn a
holltasent yn ddau,
19 Tywysogion Juda, a thywys-
ogion Jerusalem, yr ystafellyddion,
a'r offeiriaid, a holl bobl y wlad y
rhai a aethant rhwng rhanau y llo,
20 Ie, mi a'u rhoddaf hwynt yn
llaw eu gelynion, ac yn llaw y rhai
sydd yn ceisio eu heinioes: a'u cel-
ain fydd yn fwyd i ehediaid y nef-
oedd, ac anifeiliaid y ddaear.
21 A mi a roddaf Zedeciah brenin
Juda, a'i dywysogion, i law eu gel-
ynion, ac i law y rhai sydd yn ceisio
eu heinioes: ac yn llaw llu brenin
Babilon, y rhai a aethant i fyny
oddiwrthych.
22 Wele, mi a orchymynaf, medd
yr Arglwydd, ac a wnaf iddynt droi
yn ol at y ddinas hon, a hwy a ry-
felant yn ei herbyn hi, ac a'i gores-
gynant hi, ac a'i llosgant hi â thân:
ac mi a wnaf ddinasoedd Juda yn
annghyfanedd heb breswylydd.

## PENNOD XXXV.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jer-
emi oddiwrth yr Arglwydd, yn
nyddiau Jehoiacim mab Josiah
brenin Juda, gan ddywedyd,
2 Dos di i dŷ y Rechabiaid, a llef-
ara wrthynt, a phâr iddynt ddyfod

*ac mi a wnaf eich symud chwi*—y rhai a weddillir o honoch gan y cleddyf, yr haint, a'r newyn; *i holl deyrnasoedd y ddaear*—i fod yn gaethion eich hunain yn holl daleithiau amherodraeth Babilon: gwel ar pen. xxv. 9.

Adn. 18. *A mi a roddaf y dynion a droseddodd fy nghyfammod*] Er mai Zedeciah a wnaethai y cyfammod â'r holl bobl, adn. 8, eto gelwir ef yn gyfammod Duw, am ei fod yn unol â gair ac ewyllys Duw, ac am ddarfod ei wneyd yn ngwydd Duw, yn ei dŷ, ac yn ei enw ef; *y rhai ni chwblhasant eiriau y cyfammod*—eithr a ddygasant yn eu hol eu gweision a'u morwynion, ar ol iddynt unwaith eu rhyddhau, adn. 11; *wedi iddynt fyned rhwng rhanau y llo, yr hwn a holltasent yn ddau*—hon oedd yr hen ffordd o wneuthur cyfammod, fel y gwelwn yn Gen. xv. 10. (1) Yr oedd yr aberth yn cael ei hollti ar hyd madruddyn y cefn, o'r trwyn hyd y gynffon. (2) Yna gosodid y rhanau cyfartal hyn ar gyfer eu gilydd, gan adael lle i gerdded rhyngddynt. (3) Yr oedd y pleidiau yn myned rhwng y rhanau hyn yn y ddau ben, ac yn cyfarfod yn y canol, lle y tyngent lw y cyfammod, ac yr ymrwyment i gymeryd eu *gwahanu* felly i farwolaeth os torent hwy eu cyfammod hwn. (4) Yna gwleddai y ddwy blaid ar yr aberth. Ni a ddysgwn oddiwrth *Livy* a *Homer* fod defodau cyffelyb i'r rhai hyn yn mhlith y Rhufeiniaid a'r Groegiaid hefyd.

Adn. 19. *Tywysogion Juda a thywysogion Jerusalem*] Sef y graddau uwchaf o'r trigolion; *yr ystafellyddion*—Saes., 'yr eunuchiaid,' y rhai a weinyddent i'r pendefigesau fel ystafellyddion; *a'r offeiriaid, a holl bobl y wlad*—y rhai yr oedd gweision a morwynion felly ganddynt. Ymddengys i'r rhai hyn oll gadarnhau y cyfammod uchod trwy fyned rhwng rhanau yr aberth, ac iddynt oll wedi hyny ei dori ef!

Adn. 20. *Ie, mi a'u rhoddaf hwynt yn llaw eu gelynion*] Y rhai sydd yn ceisio eu heinioes; *a'u celain fydd yn fwyd i ehediaid y nefoedd*—fel y buont hwy yn ymborthi ar yr aberth uchod, felly bydd i adar y nefoedd a bwystfilod y ddaear ymborthi ar eu celain hwythau.

Adn. 21. *A mi a roddaf Zedeciah brenin Juda, a'i dywysogion*] I law y Caldeaid creulon; *y rhai a aethant i fyny oddiwrthych*—i ymladd â llu Pharao, y rhai oeddynt yn dyfod i gynorthwyo yr Iuddewon: gwel ar pen. xxxvii. 5, 7.

Adn. 22. *Wele, mi a orchymynaf*] I lu brenin Babilon; *ac a wnaf iddynt droi yn ol at y ddinas hon*—sef Jerusalem: *a hwy a ryfelant yn ei herbyn hi, ac a'i goresgynant*—ar ol i mi dynu fy amddiffyniad dwyfol oddiwrthi; *ac a'i llosgant hi â thân*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol, 2 Cron. xxxvi. 17—19: *ac mi a wnaf ddinasoedd Juda yn annghyfanedd heb breswylydd*—sef heb anheddau addas i'w preswylio, ac heb ddynion i breswylio ynddynt.

PEN. XXXV. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, yn nyddiau Jehoiacim*] Cawn yma brawf arall nad yw proffwydoliaethau y llyfr hwn wedi eu gosod yn y drefn ag y traethwyd hwy, fel y sylwyd yn y rhagarweiniad i'r llyfr hwn; canys y mae yr holl broffwydoliaethau blaenorol, o pen. xxvii hyd yma, yn perthyn i deyrnasiad Zedeciah, ac yn ddiweddarach o 17 mlynedd o leiaf na'r bennod hon a'r nesaf. Bernir i'r hyn a adroddir yma gymeryd lle yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim.

Adn. 2. *Dos di i dŷ y Rechabiaid*] Neu 'at eu *tylwyth* hwynt.' Nid oedd y Rechabiaid wedi disgyn oddiwrth *Jacob;* eithr *Ceneaid* oeddynt, Num. xxiv. 21, 22, 1 Cron. ii. 55, pobl yn wreiddiol o'r rhan hòno o *Arabia*

i dŷ yr Arglwydd, i un o'r ystafell-
oedd, a dod iddynt win i'w yfed.
3 Yna myfi a gymerais Jaazan-
iah, mab Jeremiah, mab Habazin-
iah, a'i frodyr, a'i holl feibion, a holl
deulu y Rechabiaid;
4 A mi a'u dygais hwynt i dŷ yr
Arglwydd, i ystafell meibion Hanan
mab Igdaliah, gŵr i Dduw, yr hon
*oedd* wrth ystafell y tywysogion, yr
hon *sydd* goruwch ystafell Maaseiah
mab Salum, ceidwad y drws.
5 A mi a roddais gerbron meib-
ion tŷ y Rechabiaid phiolau yn llawn
o win, a chwpanau, a mi a ddywed-
ais wrthynt, Yfwch win.
6 Ond hwy a ddywedasant, Nid
yfwn ni ddim gwin: o herwydd
Jonadab mab Rachab ein tad a
roddodd i ni orchymyn, gan ddy-
wedyd, Nac yfwch win, *na* chwy-
chwi na'ch plant, yn dragywydd.
7 Nac adeiledwch dŷ, ac na hau-
wch had, ac na phlenwch winllan,
ac na fydded genych chwi: ond
mewn pebyll y preswyliwch eich
holl ddyddiau; fel y byddoch chwi
fyw ddyddiau lawer ar wyneb y
ddaear, lle yr *ydych* yn ddyeithriaid.
8 A nyni a wrandawsom ar lais Jo-
nadab mab Rechab ein tad, am bob
peth a orchymynodd efe i ni; nad
yfem ni win ein holl ddyddiau, nyni,
ein gwragedd, ein meibion, a'n
merched;
9 Ac nad adeiladem i ni dai i'w
preswylio; ac nid oes genym na
gwinllan, na maes, na had.
10 Eithr trigo a wnaethom mewn
pebyll, a gwrandaw, a gwneuthur
yn ol yr hyn oll a orchymynodd
Jonadab ein tad i ni.

---

*Petræa* a elwid *gwlad Midian*, ac ond odid hiliogaeth *Jethro*, chwegrwn Moses: gwel ar Num. x. 29—32, Barn. i. 16, a iv. 11, 2 Bren. x. 15. Ymddengys eu bod yn dylyn bywyd syml eu henafiaid, ac yn porthi eu praidd yn niffaethwch Judea, gan ystyried fod byw mewn dinasoedd a threfi yn ddinystriol i *ryddid*, ac y byddai iddynt eu darostwng eu hunain wrth fwyta ac yfed fel y gwnai preswylwyr dinasoedd. Yr oedd Jonadab mab Rechab, un o'u henafiaid hwy, wedi eu rhwymo i ddylyn arferion eu tadau, a thrigo mewn pebyll, a byw ar ffrwyth eu deadelloedd, a pheidio llafurio y ddaear, nac yfed gwin. Ei hiliogaeth agadwasant y rheolau hyn yn fanwl hyd nes y daeth byddinoedd y Caldeaid i Judea; ac yna, i'r dyben i gadw eu bywyd, ciliasant i Jerusalem am ddiogelwch. Ond hyd yn nod yma, fel y dysgwn oddiwrth y bennod hon, nid ymadawsant â'u dull syml o fyw, eithr ymgadwasant yn fanwl at gyfraith Jonadab hyd y gallent. *A phâr iddynt ddyfod i dŷ yr Arglwydd*,—sef i un o'r ystafelloedd perthynol i'r deml; *a dod iddynt win i'w yfed*—nid gan feddwl yr yfent hwy win, yr hyn oedd yn groes i orchymyn eu tad, adn. 6; ond i roddi cyfleusdra iddynt i ddangos eu hufydd-dod i orchymyn dyn, er cywilydd i'r Iuddewon am eu hanufydd-dod i orchymyn Duw.

Adn. 3. *Yna myfi a gymerais Jaazaniah*] Hwn yn debygol oedd penaeth y tylwyth uchod; *a holl deulu y Rechabiaid*—sef un o leiaf o bob teulu.

Adn. 4. *A mi a'u dygais hwynt i dŷ yr Arglwydd*] Sef i ystafell meibion Hanan; *gŵr i Dduw*—sef proffwyd, neu ryw swyddog uchel yn y deml; *yr hon oedd wrth ystafell y tywysogion*—neu aelodau y cynghor; *goruwch ystafell Maaseiah mab Salum, ceidwad y drws*—yr hwn a ofalai nad âi neb i mewn ond y rhai y perthynai iddynt. Ymddengys oddiyma nad oedd y Rechabiaid hyn yn eilunaddolwyr, am nad oedd yn gyfreithlon i'r cyfryw fyned i ystafelloedd y deml.

Adn. 5. *A mi a roddais gerbron meibion tŷ y Rechabiaid phiolau*] Neu gostrelau yn llawn o win; *a chwpanau*—i yfed o honynt: *a mi a ddywedais wrthynt, Yfwch win*—nid oedd y proffwyd yn meddwl eu gorfodi i yfed, ond dangos yr oedd fod iddynt groesaw i yfed os mynent; a diamau y gwyddai ef na wnaent, yr hyn oedd yr amcan mewn golwg, adn. 2.

Adn. 6. *Ond hwy a ddywedasant*] Oll yn un fryd; *Nid yfwn ni ddim gwin*—hyd yn nod er mai proffwyd oedd yn ceisio ganddynt. Y mae yn wir fod Duw wedi peri i Jeremi ddodi gwin ger eu bron, ond nid oedd ef wedi peri iddynt hwy ei yfed; gan hyny yr oedd yn rhydd iddynt nacâu. *O herwydd Jonadab mab Rechab ein tad a roddodd i ni orchymyn*—nad yfem win yn dragywydd, nyni na'n plant.

Adn. 7. *Nac adeiledwch dŷ*] I drigo ynddo yn sefydlog; *ac na hauwch had*—i godi i chwi ffrwythau na bara; *ac na phlenwch winllan*—i fwyta nac yfed o'i ffrwyth hi; *ac na fydded genych*—trwy bryniad, nac mewn un ffordd arall: *ond mewn pebyll y preswyliwch eich holl ddyddiau*—yr hyn a wnaethent yn fanwl am gannoedd o flynyddau, hyd nes y gyrwyd hwynt i Jerusalem rhag llu y Caldeaid a'r Assyriaid, adn. 11: *fel y byddoch chwi fyw ddyddiau lawer ar wyneb y ddaear*—byddai i'w sobrwydd, a'u hymattaliad oddiwrth foethusrwydd, ac awyr iach y wlad, gynyrchu iddynt iechyd mewn corff a meddwl, ac felly dueddu i'w gwneuthur hwy yn hirhoedlog; ac ni byddai i'w bywyd hunan-ymwadol a diloddest gyffroi eiddigedd y rhai yr oeddynt yn byw yn eu mysg fel dyeithriaid.

Adn. 8—10. *A nyni a wrandawsom ar lais Jonadab, &c.*] Yn y pethau hyn oll gyda'r

11 Ond pan ddaeth Nebuchodon-
osor brenin Babilon i fyny i'r wlad,
nyni a ddywedasom, Deuwch, ac
awn i Jerusalem, rhag llu y Calde-
aid, a rhag llu yr Assyriaid: ac yn
Jerusalem yr ydym ni yn pres-
wylio.
12 ¶ Yna y daeth gair yr Ar-
glwydd at Jeremi, gan ddywedyd,
13 Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd, Duw Israel, Dos, a dy-
wed wrth wŷr Juda, ac wrth bres-
wylwyr Jerusalem, Oni chymerwch
chwi addysg i wrando ar fy ngeir-
iau? medd yr Arglwydd.
14 Geiriau Jonadab mab Rechab,
y rhai a orchymynodd efe i'w feib-
ion, nad yfent win, a gyflawnwyd:
canys nid yfant hwy *win* hyd y dydd
hwn; ond hwy a wrandawant ar
orchymyn eu tad: a minau a ddy-
wedais wrthych chwi, gan godi yn
fore, a llefaru; ond ni wrandawsoch
arnaf.
15 Myfi a anfonais hefyd atoch
chwi fy holl weision y proffwydi,
gan godi yn fore, ac anfon, gan
ddywedyd, Dychwelwch yn awr
bawb oddiwrth ei ffordd ddrwg, a
gwellhêwch eich gweithredoedd,
ac nac ewch ar ol duwiau dyeithr,
i'w gwasanaethu hwynt; a chwi a
drigwch yn y wlad yr hon a rodd-
ais i chwi ac i'ch tadau: ond ni
ogwyddasoch eich clustiau, ac ni
wrandawsoch arnaf.
16 Gan i feibion Jonadab mab
Rechab gyflawni gorchymyn eu tad,
yr hwn a orchymynodd efe iddynt;
ond y bobl yma ni wrandawsant
arnaf fi:
17 Am hyny fel hyn y dywed
Arglwydd Dduw y lluoedd, Duw
Israel, Wele fi yn dwyn ar Juda,
ac ar holl drigolion Jerusalem, yr
holl ddrwg a lefarais yn eu herbyn:
o herwydd i mi ddywedyd wrthynt,
ond ni wrandawsant; a galw arnynt,
ond nid atebasant.
18 ¶ A Jeremi a ddywedodd wrth
dylwyth y Rechabiaid, Fel hyn y
dywed Arglwydd y lluoedd, Duw
Israel, O herwydd i chwi wrando
ar orchymyn Jonadab eich tad, a

---

manylwch mwyaf, nyni, ein gwragedd, a'n plant.

Adn. 11. *Ond pan ddaeth Nebuchodonosor brenin Babilon i fyny i'r wlad*] I Judea, i'w hanrheithio hi, 2 Bren. xiv. 2; *nyni a ddywedasom*—a annogasom ein gilydd i fyned i Jerusalem, yr hon sydd ddinas gaerog, i ymddiogelu rhag llu y Caldeaid a'r Assyriaid: *ac yn Jerusalem yr ydym ni yn preswylio*—am yr amser presenol, nes yr elo y llid a'r aflwydd hwn heibio.

Adn. 12. *Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*] I'r dyben i wneuthur cymhwysiad o hyn at achos yr Iuddewon ystyfnig ac anufydd.

Adn. 13. *Dos, a dywed wrth wŷr Juda, ac wrth breswylwyr Jerusalem*] O'm genau i; *Oni chymerwch chwi addysg i wrando ar fy ngeiriau*—oddiwrth ymddygiad y Rechabiaid hyn?

Adn. 14. *Geiriau Jonadab mab Rechab*] Wrth ei feibion ef; *a gyflawnwyd*—a ufyddhawyd iddynt yn fanwl trwy yr holl oesau; *canys nid yfant hwy win hyd y dydd hwn*—o herwydd i'w tad orchymyn iddynt beidio: *a minau a ddywedais wrthych chwi*—y rhai ydych dan fwy o rwymau i ufyddhau i mi, nag y maent hwy i ufyddhau iddo ef; *gan godi yn fore, a llefaru*—gwel ar pen. xxv. 3, 4; *ond ni wrandawsoch arnaf*—chwaithach ufyddhau i mi.

Adn. 15. *Myfi a anfonais hefyd atoch chwi fy holl weision y proffwydi*] O dro i dro, yn fore ac yn hwyr; *gan ddywedyd, Dychwelwch yn awr bawb oddiwrth ei ffordd ddrwg, &c.*—y rhai oeddynt ddyledswyddau o natur foesol, ac yn gyfiawn ac angenrheidiol ynddynt eu hunain, ac nid pethau dibwys fel gorchymynion Jonadab; *a chwi a drigwch yn y wlad yr hon a roddais i chwi ac i'ch tadau*—lle y gellwch adeiladu tai, planu gwinllanoedd, hau had, a mwynhau llafur eich dwylaw: *ond ni ogwyddasoch eich clustiau*—ni ddangosasoch y duedd leiaf i wrando arnaf fi na'm gweision.

Adn. 16. *Gan i feibion Jonadab mab Rechab gyflawni gorchymyn eu tad*] Yr hwn oedd bellach wedi marw er's cannoedd o flynyddau, ac nas gallai wobrwyo eu hufydd-dod na chospi eu hanufydd-dod; *ond y bobl yma ni wrandawsant arnaf fi*—yr hwn wyf yn sylwi ar weithredoedd pob un, i'w cospi neu eu gwobrwyo yn ol eu haeddiant; neu, gan i'r Rechabiaid gyflawni gorchymyn eu tad daearol, ac na chyflawnodd yr Iuddewon orchymyn eu Tad nefol.

Adn. 17. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd*] Gwel ar pen. xxxi. 23; *Wele fi yn dwyn ar Juda, ac ar holl drigolion Jerusalem*—y rhai y mae cwpan eu hanwiredd bellach yn llawn; *yr holl ddrwg a lefarais yn eu herbyn*—yn y gyfraith a'r proffwydi: *o herwydd i mi ddywedyd wrthynt, ond ni wrandawsant*—fel pe dywedasai, Gan na ufyddhasant hwy i orchymynion fy ngair, mi a dywalltaf arnynt fygythion fy ngair.

Adn. 18. *A Jeremi a ddywedodd wrth dylwyth y Rechabiaid, &c.*] Tra yr oedd Duw yn gorchymyn i'r proffwyd gyhoeddi barn

chadw ei holl orchymynion ef, a
gwneuthur yn ol yr hyn oll a or-
chymynodd efe i chwi:
19 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel; Ni
phalla i Jonadab fab Rechab ŵr i
sefyll ger fy mron i yn dragywydd.

## PENNOD XXXVI.

AC yn y bedwaredd flwyddyn i
Jehoiacim mab Josiah brenin
Juda, y daeth y gair hwn oddiwrth
yr Arglwydd at Jeremi, gan ddy-
wedyd,
2 Cymer i ti blyg llyfr, ac ysgrif-
ena ynddo yr holl eiriau a lefarais i
wrthyt yn erbyn Israel, ac yn erbyn
Juda, ac yn erbyn yr holl genhedl-
oedd, o'r dydd y llefarais i wrthyt ti,
er dyddiau Josiah hyd y dydd hwn.
3 Fe allai pan glywo tŷ Juda yr
holl ddrwg yr ydwyf fi yn amcanu
ei wneuthur iddynt, y dychwelant
bob un o'i ffordd ddrygionus, fel
y maddeuwyf eu hanwiredd a'u
pechod.
4 Yna Jeremi a alwodd Baruch
mab Neriah; a Baruch a ysgrifen-
odd o enau Jeremi holl eiriau yr
Arglwydd, y rhai a lefarasai efe
wrtho, mewn plyg llyfr.

---

drom ar yr Iuddewon am eu hanufydd-dod iddo ef, y mae yn erchi iddo gyhoeddi bendith oruchel i'r Rechabiaid am ymlynu wrth orchymyn eu tad.

Adn. 19. *Am hyny fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel*] Yr hwn sydd yn awr fel pe byddai yn tynu ei ffafr oddiwrth ei bobl ei hun, ac yn ei rhoddi i ereill; *Ni phalla i Jonadab fab Rechab ŵr i sefyll ger fy mron i yn dragywydd*—neu, fel y mae y *Targum* yn ei alleirio, 'ŵr i *weinyddu* ger fy mron i.' Cynwysa hyn y cai y Rechabiaid aros yn barhaus fel llwyth gwahaniaethol, ac y ceid rhai o honynt yn wastadol yn mysg addolwyr y gwir Dduw. Tybia rhai fod yr *Esseniaid*, yn amser ein Harglwydd, o'u hiliogaeth hwy; a bod y *Keberiaid* presenol yn anialwch Arabia, y rhai sydd fyth yn cadw y gorchymynion uchod o eiddo Jonadab, wedi disgyn oddiwrthynt. Dywed *Wolfe*, y diweddar genadwr enwog, i rai o'r Iuddewon yn Mesopotamia ei gyfeirio ef at un o'r hen Rechabiaid. 'Yr oedd yn ymddangos fel Arabiad gwyllt, ac yn ymaflyd yn ffrwyn ei anifel. Danghosais iddo y Beibl yn yr Hebraeg a'r Arabaeg, yr hwn yr oedd yn llawen ganddo ei weled, gan ei fod yn gallu darllen y ddwy iaith; ond nid oedd yn gwybod dim am y Testament Newydd. Ar ol mynegu iddo newyddion da yr iachawdwriaeth, a'i anrhegu â Beiblau a Thestamentau Hebreig ac Arabig, gofynais iddo o ba hiliogaeth yr ydoedd. 'Mousa,' ebai efe, 'yw fy enw; ac mi a ddanghosaf i chwi pwy oedd fy henafiaid;' ac yna dechreuodd ddarllen Jer. xxxv. 5—11. Gofynais iddo pa le yr oedd yn preswylio; a chan droi at Gen. x. 27, atebodd, 'Yn Hadoram, a elwir yn awr *Sinar* gan yr Arabiaid; yn Usal, a elwir yn awr *Sanan* gan yr Arabiaid;' a chan gyfeirio at adn. 30 o'r un bennod, efe a chwanegodd, 'yn Mesa, a elwir yn awr *Mecca*, sef yn yr anialdiroedd oddeutu y lleoedd hyny.' Ac efe a chwanegodd, 'Nid ydym yn yfed gwin, nac yn planu gwinllanoedd, nac yn hau dim had, ond yn byw mewn pebyll, fel y gorchymynodd ein tad Jonadab i ni: yr oedd Hobab hefyd yn dad i ni. Deuwch atom, a chwi a'n cewch yn 60,000 o rifedi; ac felly cewch weled fod y broffwydoliaeth wedi ei chyflawni,—'Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Ni phalla i Jonadab fab Rechab ŵr i sefyll ger fy mron i yn dragywydd.'' Ac wedi dywedyd hyn, Mousa y Rechabiad a neidiodd ar ei geffyl, ac a yrodd ymaith, gan adael ar ei ol dystiolaeth gadarn o blaid gwirionedd yr ysgrythyrau santaidd.'

PEN. XXXVI. Adn. 1. *Ac yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim*] Yn fuan ar ol y pethau a grybwyllwyd yn y bennod flaenorol; *y daeth y gair hwn oddiwrth yr Arglwydd at Jeremi*—yr hwn a eglurir yn adn. 2—7.

Adn. 2. *Cymer i ti blyg llyfr*] Neu leni o femrwn wedi eu gwnio yn rhol fawr; *ac ysgrifena ynddo yr holl eiriau a lefarais i wrthyt yn erbyn Israel ac yn erbyn Juda*—er fod Israel fel corff wedi eu caethgludo cyn dyddiau Jeremi, eto yr oedd rhai o'r deg llwyth yn gymysg â gwŷr Juda, ac felly yr oedd y rhai hyny yn cael eu cynwys yma; neu ynte yr oedd y proffwyd i goffâu pechodau y rhai a gaethgludesid eisioes o'r deg llwyth, i'r dyben i gyfiawnhau Duw am eu cospi hwy mor drwm, ac i rybyddio yr Iuddewon ar eu cost hwy; *ac yn erbyn yr holl genhedloedd*—gwel ar pen. xxv. 15, &c.; *o'r dydd y llefarais i wrthyt ti*—yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah, pen. i. 2; *hyd y dydd hwn*—sef dros yspaid 22 neu 23 o flynyddau.

Adn. 3. *Fe allai pan glywo tŷ Juda yr holl ddrwg yr ydwyf fi yn amcanu ei wneuthur iddynt*] Sef pan glywont ei ddarllen o'r llyfr uchod; *y dychwelant bob un o'i ffordd ddrygionus*—mewn galar ac edifeirwch gwirioneddol; *fel y maddeuwyf eu hanwiredd a'u pechod*—er fod Duw yn rhagweled mai anufyddhau a wnai y bobl hyn, eto yr oedd ei ddoethineb a'i ddaioni yn cyfarwyddo y proffwyd i'w rhybyddio hwynt fel rhydd-weithredwyr; ac wedi hyny byddent yn fwy diesgus, gan iddynt gael pob mantais a chyfleusdra i edifarhau.

Adn. 4. *Yna Jeremi a alwodd Baruch*] Yr hwn ydoedd ysgrifenydd cyffredin, pen. xxxii. 12; *a Baruch a ysgrifenodd o enau*

5 A Jeremi a orchymynodd i
Baruch, gan ddywedyd, cauwyd
arnaf fi, ni allaf fi fyned i dŷ yr
Arglwydd.
6 Am hyny dos di, a darllen o'r
llyfr a ysgrifenaist o'm genau, eir-
iau yr Arglwydd, lle y clywo y
bobl, *yn* nhŷ yr Arglwydd, ar y
dydd ympryd; a lle y clywo holl
Juda hefyd, y rhai a ddelont o'u
dinasoedd, y darlleni di hwynt.
7 Fe allai y daw eu gweddi hwynt
gerbron yr Arglwydd, ac y dychwel-
ant bob un o'i ffordd ddrygionus:
canys mawr *yw* y llid a'r digofaint
a draethodd yr Arglwydd yn erbyn
y bobl hyn.
8 Felly Baruch mab Nerïah a
wnaeth yn ol yr hyn oll a orchy-
mynasai Jeremi y proffwyd iddo,
gan ddarllen o'r llyfr eiriau yr Ar-
glwydd *yn* nhŷ yr Arglwydd.
9 Ac yn y bummed flwyddyn i
Jehoiacim mab Josiah brenin Juda,
ar y nawfed mis, y cyhoeddasant
ympryd gerbron yr Arglwydd *i'r*
holl bobl yn Jerusalem, ac i'r holl
bobl a ddaethent o ddinasoedd Juda
i Jerusalem.
10 Yna Baruch a ddarllenodd o'r
llyfr eiriau Jeremi, *yn* nhŷ yr Ar-
glwydd, yn ystafell Gemariah mab
Saphan yr ysgrifenydd, yn y cynt-
edd uchaf, wrth ddrws porth new-
ydd tŷ yr Arglwydd, lle y clybu y
holl bobl.
11 ¶ Pan glybu Micaiah mab
Gemariah, mab Saphan, holl eiriau
yr Arglwydd allan o'r llyfr;
12 Yna efe a aeth i waered i dŷ y
brenin i ystafell yr ysgrifenydd: ac
wele, yr holl dywysogion oedd yno
yn eistedd; *sef* Elisama yr ysgrif-
enydd, a Delaiah mab Semaiah, ac
Elnathan mab Achbor, a Gemariah
mab Saphan, a Sedeciah mab Han-
aniah, a'r holl dywysogion.
13 A Micaiah a fynegodd iddynt

---

*Jeremi holl eiriau yr Arglwydd*—sef yr holl fygythion a gyhoeddasai efe trwy enau Jeremi yn ystod y tair blynedd ar hugain a aethent heibio. Yr oedd yr un Ysbryd Dwyfol ag a gynhyrfodd Jeremi ar y cyntaf i broffwydo, yn dwyn o'r newydd ei holl broffwydoliaethau ef i'w gof, nes yr oedd yn awr yn gallu eu hadrodd hwynt i Baruch, yr hwn a'u hysgrifenai hwynt yn y llyfr uchod o'i enau ef.

Adn. 5. *A Jeremi a orchymynodd i Baruch*] Ddarllen y llyfr yn nhŷ yr Arglwydd, am y rheswm hwn: *Cauwyd arnaf fi, ni allaf fi fyned i dŷ yr Arglwydd*—fe allai gan afiechyd, neu trwy waharddiad y brenin neu yr offeiriaid, neu o herwydd rhyw rwystr seremonïol, megys angau yn ei deulu, &c. Modd bynag, nid yw yn debyg ei fod ef yn garcharor y pryd hyn; canys cawn fod y tywysogion yn annog Jeremi i ymguddio, a'r brenin yn rhoddi gorchymyn i'w ddala ef, adn. 19, 26.

Adn. 6. *Am hyny dos di, a darllen o'r llyfr a ysgrifenaist o'm genau*] Gwel ar adn. 4; *yn nhŷ yr Arglwydd, ar y dydd ympryd*—pan y deuai lluoedd o bobl yn nghyd o bob parth i geisio trugaredd gan Dduw. Tybia rhai mai dydd y cymod blynyddol ydoedd hwn, yr hwn a gynelid ar y degfed dydd o'r seithfed mis, Lef. xxiii. 27; ond os felly, rhaid fod y llyfr hwn wedi cael ei ddarllen ddwywaith, adn. 9, yr hyn nid yw yn debygol: gwel *Blayney*.

Adn. 7. *Fe allai y daw eu gweddi hwynt gerbron yr Arglwydd*] Yn gymeradwy, trwy iddynt edifarhau, a dychwelyd bob un o'i ffordd ddrygionus: *canys mawr yw y llid a'r digofaint*—nid llai na dinystr eu dinas a'u teml, a'u caethiwed hwythau; *a draethodd yr Arglwydd yn erbyn y bobl hyn*—os na ddychwelant.

Adn. 8. *Felly Baruch*] A ufyddhaodd yn mhob peth i orchymyn y proffwyd, gan ei ystyried fel gorchymyn Duw; *gan ddarllen o'r llyfr eiriau yr Arglwydd*—pan ddaeth yr amser cyfaddas; *yn nhŷ yr Arglwydd*—fel yr adroddir adn. 10.

Adn. 9. *Ac yn y bummed flwyddyn i Jehoiacim*] Sef yn mhen oddeutu blwyddyn ar ol rhoddi y gorchymyn i ysgrifenu y llyfr hwn, adn. 1; *ar y nawfed mis*—yn cyfateb i ran o'n *Rhagfyr* ni; *y cyhoeddasant ympryd gerbron yr Arglwydd*—i droi ymaith y perygl ag ydoedd yn eu bygwth oddiwrth y Caldeaid, neu oddiwrth sychder mawr.

Adn. 10. *Yna Baruch a ddarllenodd o'r llyfr eiriau Jeremi*] Yn ngwydd yr holl bobl; *yn nhŷ yr Arglwydd*—sef yn ystafell Gemariah mab Saphan, yr hwn oedd yn frawd i'r Ahicam a waredasai Jeremi gynt, pen. xxvi. 24; *yn y cyntedd uchaf*—ond odid o ffenestr ag ydoedd yn edrych tua'r cyntedd uchaf, lle y safai y bobl i wrando arno.

Adn. 11. *Pan glybu Micaiah mab Gemariah*] Nid oedd Gemariah ei hun yn bresenol ar ddarlleniad y llyfr, er iddo roddi benthyg ei ystafell; canys yr oedd ef yn y llys ar y pryd, gyda'r tywysogion ereill, adn. 12. Fe allai fod Micaiah yn ŵr mwy crefyddol na'i dad, yr hyn a'i cymhellai ef i wrando geiriau yr Arglwydd; neu fe allai iddo gael ei anfon yno fel yspïwr, i glywed pa beth a ddywedid.

Adn. 12. *Yna efe a aeth i waered i dŷ y brenin*] Lle yr oedd yr holl dywysogion yn eistedd i ymgynghori, fe allai, ar ryw faterion perthynol i'r llywodraeth.

Adn. 13. *A Micaiah a fynegodd iddynt yr holl eiriau*] Sef swm a sylwedd yr holl eiriau, neu gymaint ag a allai efe gofio o'r hyn a glywsai.

yr holl eiriau a glywsai efe pan
ddarllenasai Baruch y llyfr lle y
clybu y bobl.
14 Yna yr holl dywysogion a an-
fonasant Jehudi mab Nethaniah,
mab Selemiah, mab Cusi, at Baruch,
gan ddywedyd, Cymer yn dy law y
llyfr y darllenaist allan o hono lle y
clybu y bobl, a thyred. Felly Bar-
uch mab Neriah a gymerodd y llyfr
yn ei law, ac a ddaeth atynt.
15 A hwy a ddywedasant wrtho,
Eistedd yn awr, a darllen ef lle y
clywom ni. Felly Baruch a'*i* dar-
llenodd lle y clywsant hwy.
16 A phan glywsant yr holl eir-
iau, hwy a ofnasant bawb gyda'u
gilydd; a hwy a ddywedasant wrth
Baruch, Gan fynegu mynegwn yr
holl eiriau hyn i'r brenin.
17 A hwy a ofynasant i Baruch,
gan ddywedyd, Mynega i ni yn awr
Pa fodd yr ysgrifenaist ti yr holl
eiriau hyn o'i enau ef?
18 Yna Baruch a ddywedodd
wrthynt, Efe a draethodd yr holl
eiriau hyn wrthyf fi â'i enau, a mi-
nau a'*u* hysgrifenais *hwynt* yn y
llyfr âg inc.
19 Yna y tywysogion a ddywed-
asant wrth Baruch, Dos ac ym-
guddia, ti a Jeremi; ac na wyped
neb pa le *y byddoch* chwi.
20 ¶ A hwy a aethant at y bren-
in i'r cyntedd, (ond hwy a gadwas-
ant y llyfr yn ystafell Elisama yr
ysgrifenydd,) ac a fynegasant yr
holl eiriau lle y clybu y brenin.
21 A'r brenin a anfonodd Jehudi
i gyrchu y llyfr. Ac efe a'i dyg ef
o ystafell Elisama yr ysgrifenydd.
A Jehudi a'i darllenodd lle y clybu
y brenin, a lle y clybu yr holl dy-
wysogion oedd yn sefyll yn ymyl y
brenin.
22 A'r brenin oedd yn eistedd yn
y gauafdy, yn y nawfed mis; a thân
wedi ei gyneu ger ei fron.
23 A phan ddarllenasai Jehudi
dair dalen neu bedair, *yna* efe a'i
torodd â chyllell ysgrifenydd, ac a'*i*
bwriodd i'r tân *oedd* yn yr aelwyd,
nes darfod o'r holl lyfr gan y tân
*oedd* ar yr aelwyd.

---

Adn. 14. *Yna yr holl dywysogion a anfonasant Jehudi*] Swyddog yn y llys, i gyrchu Baruch a'i lyfr atynt hwy, fel y gallent glywed yr holl eiriau, a barnu drostynt eu hunain.

Adn. 15. *Eistedd yn awr, a darllen ef*] Fel y gallom ninau ei glywed. *Felly Baruch a'i darllenodd*—yn ngwydd yr holl lys, a hyny ond odid yn ddiddychryn, er ei fod yn cynwys bygythion arswydus yn erbyn y brenin, a'i swyddogion, a'i wlad.

Adn. 16. *A phan glywsant yr holl eiriau*] Yn enwedig yr hyn a berthynai iddynt hwy, a'u brenin, a'u teyrnas; *hwy a ofnasant bawb gyda'u gilydd*—gan fod y cyhuddiadau mor gyfiawn, a'r bygythion mor ddychrynllyd, ac yn enwedig gan y gwyddent i lawer o honynt gael eu cyflawni eisioes yn ystod y 23 mlynedd a aethent heibio. *A hwy a ddywedasant wrth Baruch*—oddiar argyhoeddiad fod y peth yn angenrheidiol; *Gan fynegu mynegwn yr holl eiriau hyn i'r brenin*—gan eu bod yn perthyn mor agos iddo, a chan obeithio ond odid y gwnaent ei ddwyn ef i wir edifeirwch.

Adn. 17. *A hwy a ofynasant i Baruch*] Ar ol iddynt gael y llyfr i'w llaw; *Mynega i ni yn awr, pa fodd yr ysgrifenaist ti yr holl eiriau hyn o'i enau ef?*—yr ystyr yw, pa un ai o'th gof dy hun yr ysgrifenaist hwynt, ar ol clywed Jeremi yn eu traethu trwy yr holl flynyddau; ynte o'i enau ef, wrth iddo eu hadrodd i ti eilwaith?

Adn. 18. *Yna Baruch a ddywedodd wrthynt*] Mewn atebiad i'r gofyniad uchod; *Efe a draethodd yr holl eiriau hyn wrthyf fi â'i enau*—yn mhen blynyddau ar ol iddo eu proffwydo; *a minau a'u hysgrifenais hwynt yn y llyfr âg inc*—neu 'ar ei ol ef,' fel y mae rhai yn ei ddarllen.

Adn. 19. *Yna y tywysogion a ddywedasant wrth Baruch*] Wedi eu boddloni gan ei atebiad ef; *Dos ac ymguddia, ti a Jeremi*—rhag i'r brenin, pan glywo y geiriau hyn, ffyrnigo yn eich erbyn, a mynu eich carcharu, os nid eich lladd: *ac na wyped neb pa le y byddoch chwi*—rhag iddynt eich bradychu i law y brenin.

Adn. 20. *A hwy a aethant at y brenin i'r cyntedd*] Lle yr oedd efe yn eistedd ar y pryd; *ond hwy a gadwasant y llyfr yn ystafell Elisama*—nes i'r brenin anfon am dano ar ol clywed ei gynwysiad.

Adn. 21. *A'r brenin a anfonodd Jehudi i gyrchu y llyfr*] Fel y gallai efe glywed ei ddarllen yn ngwydd ei holl dywysogion.

Adn. 22. *A'r brenin oedd yn eistedd yn y gauafdy*] Mewn ystafell glyd, lle yr oedd tân wedi ei gyneu ger ei fron, am ei bod y pryd hyny yn tynu yn mlaen yn y gauaf, tua diwedd ein Rhagfyr ni, adn. 9.

Adn. 23. *A phan ddarllenasai Jehudi dair dalen neu bedair*] Neu dair *colofn* neu bedair o rol y llyfr; *yna efe*—sef y brenin, neu Jehudi trwy ei orchymyn ef, *a'i torodd â chyllell ysgrifenydd*—Saes., '*penknife,*' yr hon oedd yn agored o'i flaen ond odid ar y bwrdd, i wella ei ysgrifbin; *ac a'i bwriodd i'r tân*—nes ei lwyr ysu. Yr oedd Jehoiacim trwy hyn yn dangos y dirmyg mwyaf ar air Duw; ac fe allai ei fod mor ffol a meddwl y byddai

24 Eto nid ofnasant, ac ni rwygasant eu dillad, *na*'r brenin, nac yr un o'i weision y rhai a glywsant yr holl eiriau hyn.
25 Eto Elnathan, a Delaiah, a Gemariah, a ymbiliasant â'r brenin na losgai efe y llyfr; ond ni wrandawai efe arnynt.
26 Ond y brenin a orchymynodd i Jerameel mab Hammelech, a Seraiah mab Azrïel, a Selemiah mab Abdiel, ddala Baruch yr ysgrifenydd, a Jeremi y proffwyd: ond yr Arglwydd a'u cuddiodd hwynt.
27 ¶ Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi, (wedi i'r brenin losgi y llyfr, a'r geiriau a ysgrifenasai Baruch o enau Jeremi,) gan ddywedyd,
28 Cymer i ti eto lyfr arall, ac ysgrifena arno yr holl eiriau cyntaf y rhai oedd yn y llyfr cyntaf, yr hwn a losgodd Jehoiacim brenin Juda:
29 A dywed wrth Jehoiacim brenin Juda, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Ti a losgaist y llyfr hwn, gan ddywedyd, Paham yr ysgrifenaist ynddo, gan ddywedyd, Diau y daw brenin Babilon, ac a anrheithia y wlad hon; ac efe a wna i ddyn ac i anifel ddarfod o honi?
30 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim brenin Juda; Ni bydd iddo ef a eisteddo ar frenhinfainc Dafydd: a'i gelan ef a fwrir allan i wres y dydd, ac i rew y nos.
31 A mi a ymwelaf âg ef, ac â'i had, ac â'i weision, am eu hanwiredd; a mi a ddygaf arnynt hwy, ac ar drigolion Jerusalem, ac ar wŷr Juda, yr holl ddrwg a lefarais i'w herbyn, ond ni wrandawsant.
32 ¶ Yna Jeremi a gymerth lyfr arall, ac a'i rhoddodd at Baruch mab Nerïah yr ysgrifenydd; ac efe a ysgrifenodd ynddo o enau Jeremi holl eiriau y llyfr a losgasai Jehoiacim brenin Juda yn tân: a chwanegwyd atynt eto eiriau lawer fel hwythau.

---

i'w waith yn dinystrio y llyfr, attal cyflawniad yr hyn a fygythid ynddo.

Adn. 24. *Eto nid ofnasant*] Nid ofnodd y brenin na'i swyddogion; canys yr oedd yr ofn a deimlasai y tywysogion ar y cyntaf, adn. 16, wedi gwisgo ymaith erbyn hyn, gallwn feddwl, wrth weled dideimladrwydd y brenin; *ac ni rwygasant eu dillad*—yn ol arferiad yr Iuddewon wrth glywed rhyw newydd arswydus.

Adn. 25. *Eto Elnathan, a Delaiah, a Gemariah*] Y rhai yr oedd eu calonau beth yn dynerach nag eiddo y lleill; *a ymbiliasant â'r brenin na losgai efe y llyfr*—o leiaf nes ei ddarllen oll: *ond ni wrandawai efe arnynt*—gan mor wyllt a llidiog ydoedd.

Adn. 26. *Ond y brenin a orchymynodd*] Ddala Baruch a Jeremi, i'r dyben i'w cospi: *ond yr Arglwydd a'u cuddiodd hwynt*—trwy drefnu yn rhagluniaethol na chwilid am danynt lle yr oeddynt yn ymguddio eisioes, adn. 19; neu, fel y tybia yr Iuddewon, darfu i'r Arglwydd osod tywyllwch o'u hamgylch, neu effeithio ar olygon y swyddogion, fel nas gallent hwy eu canfod: gwel achos cyffelyb, 2 Bren. vi. 18.

Adn. 27. *Yna y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*] I'r fan lle yr oedd efe yn ymguddio.

Adn. 28. *Cymer i ti eto lyfr arall*] I ysgrifenu ynddo bob gair ag oedd yn y llyfr cyntaf. Fel hyn darfu i'r Arglwydd yn mhob oes amddiffyn ei air yn rhyfedd. Ofer yw i elynion crefydd losgi yr ysgrythyrau, gan feddwl diddymu gair Duw trwy hyny; canys 'gair ein Duw ni a saif byth,' Esay xl. 8.

Adn. 29. *A dywed wrth Jehoiacim*] Yn yr ail lyfr, yn chwanegol at yr hyn oedd yn y cyntaf; *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Ti a losgaist y llyfr hwn, &c.*—hyny yw, efe a'i llosgodd am ddywedyd o Jeremi ynddo y deuai brenin Babilon i anrheithio gwlad Judea; yr hyn a gyflawnwyd yn mhen oddeutu chwe blynedd wedi hyn, ac yn llwyrach fyth yn mhen oddeutu deunaw mlynedd, sef yn amser Zedeciah.

Adn. 30. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd am Jehoiacim*] I gadarnhau yr hyn a ddywedasid o'r blaen; *Ni bydd iddo ef a eisteddo ar frenhinfainc Dafydd*—ni chaiff neb o'i hiliogaeth ef lywodraethu am hir amser; ac felly ni theyrnasodd Joacin ei fab ef ddim ond tri mis, 2 Bren. xxiv. 8. *A'i gelan ef a fwrir allan i wres y dydd, ac i rew y nos*—hyny yw, gadewir ef ar wyneb y maes, neu heb ei gladdu ond 'â chladdedigaeth asyn,' pen. xxii. 19. Peth mynych iawn yn y dwyrain yw cael rhew y nos, ar ol gwres mawr yn y dydd: gwel ar Gen. xxxi. 40.

Adn. 31. *A mi a ymwelaf âg ef, ac â'i had, ac â'i weision, am eu hanwiredd*] Gan eu bod oll yn gyfranog o'r un pechodau, cânt oll ddyoddef yr un gosp: *a mi a ddygaf arnynt hwy, &c.*—sef ar bawb na wrandawant ar fy rhybyddion a'm bygythion i; *yr holl ddrwg a lefarais i'w herbyn*—yn y llyfr a losgasid gan Jehoiacim.

Adn. 32. *Yna Jeremi a gymerth lyfr arall*] Yn ol gorchymyn Duw, adn. 28; *ac a'i rhoddodd at Baruch*—yr hwn a ysgrifenasai y llall:

## PENNOD XXXVII.

A'R brenin Zedeciah mab Josiah
a deyrnasodd yn lle Coniah mab
Jehoiacim, yr hwn a wnaeth Nebu-
chodonosor brenin Babilon yn fren-
in yn ngwlad Juda.
2 Ond ni wrandawodd efe, na'i
weision, na phobl y tir, ar eiriau yr
Arglwydd, y rhai a draethodd efe
trwy law Jeremi y proffwyd.
3 A'r brenin Zedeciah a anfonodd
Jehuchal mab Selemiah, a Sepha-
niah mab Maaseiah yr offeiriad, at
Jeremi y proffwyd, gan ddywedyd,
Gweddia, *atolwg*, drosom ni ar yr
Arglwydd ein Duw.
4 A Jeremi *oedd* yn myned i
mewn ac allan yn mysg y bobl:
canys ni roddasent hwy ef *eto* yn y
carchardy.
5 A llu Pharao a ddaethai allan
o'r Aifft: a phan glybu y Caldeaid
*oedd* yn gwarchae ar Jerusalem son
am danynt, hwy a aethant ymaith
oddiwrth Jerusalem.
6 ¶ Yna gair yr Arglwydd a
ddaeth at Jeremi y proffwyd, gan
ddywedyd,
7 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Duw Israel,; Fel hyn y dywedwch
chwi wrth frenin Juda, yr hwn a'ch
anfonodd chwi ataf fi i ymofyn â mi;
Wele, llu Pharao, yr hwn a ddaeth
allan yn gynorthwy i chwi, a ddy-
chwel i'w wlad ei hun i'r Aifft.
8 A'r Caldeaid a ddychwelant, ac
a ryfelant yn erbyn y ddinas hon,
ac a'i hennillant, ac a'i llosgant â
thân.
9 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Na thwyllwch eich hunain, gan
ddywedyd, Diau yr â y Caldeaid
oddiwrthym ni: oblegid nid ânt
hwy.
10 Canys pe tarawech chwi holl
lu y Caldeaid y rhai sydd yn rhy-
fela i'ch erbyn, fel *na* weddillid o
honynt *ond* gwŷr archolledig, *eto*

---

*ac efe a ysgrifenodd ynddo o enau Jeremi holl eiriau y llyfr a losgasai Jehoiacim*—trwy fod Ysbryd Duw yn eu dwyn ar gof eilwaith i Jeremi, megys y gwnaethai y tro cyntaf, adn. 4: *a chwanegwyd atynt eto eiriau lawer fel hwythau*—sef bygythion newyddion am bechodau newyddion, y rhai a gyflawnwyd ar ol ysgrifenu y llyfr cyntaf: gwel ar adn. 29.

PEN. XXXVII. Adn. 1. *A'r brenin Zedeciah, &c.*] Ar ol i Nebuchodonosor ddiorseddu Coniah neu Joacin, efe a osododd Zedeciah brawd ei dad ef yn frenin yn ei le, fel yr adroddir yn 2 Bren. xxiv. 17: ond nid oedd efe ond brenin dan deyrnged, yr hwn a dyngasai lw o warogaeth a ffyddlondeb i frenin Babilon.

Adn. 2. *Ond ni wrandawodd efe, na'i weision, &c.*] Dylasent oll gymeryd rhybydd oddiwrth y canlyniadau dinystriol o ddirmygu gair Duw, y rhai a welsent yn disgyn ar y brenhinoedd blaenorol a'u pobl; ond yn lle hyny aethant rhagddynt ar hyd yr un llwybrau pechadurus a'r rhai o'u blaen, gan ddibrisio geiriau yr Arglwydd a'i broffwyd.

Adn. 3. *A'r brenin Zedeciah a anfonodd*] Genadau at Jeremi, gan ddywedyd, *Gweddia, atolwg, drosom ni ar yr Arglwydd ein Duw*—meddylir i hyn gymeryd lle tua'r ddegfed flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, ar ol iddo ef wrthryfela yn erbyn brenin Babilon, a myned i gynghrair â brenin yr Aifft, ac ar ol i fyddin y Caldeaid ddyfod i fyny yn erbyn Jerusalem. Ymddengys fod y Caldeaid y pryd hyn wedi myned oddiwrth y ddinas i gyfarfod â llu yr Aifft, adn. 5; ac felly amcan Zedeciah oedd i'r proffwyd weddio am i'r Aifftiaid gael y fuddugoliaeth ar y Caldeaid, fel ag i attal iddynt ddychwelyd i warchae ar Jerusalem.

Adn. 4. *A Jeremi oedd yn myned i mewn ac allan yn mysg y bobl*] Trwy ei fod heb ei garcharu eto, fel y gwnaed ar ol hyn, adn. 15, pen. xxxii. 2.

Adn. 5. *A llu Pharao a ddaethai allan o'r Aifft*] I gynorthwyo yr Iuddewon; *a phan glybu y Caldeaid*—hyny, *hwy a aethant ymaith oddiwrth Jerusalem*—i ymladd â hwynt: gwel ar adn. 3. Y pryd hyn y torodd penaethiaid yr Iuddewon eu cyfammod am ryddhad eu caethweision, fel yr adroddir pen. xxxiv. 11.

Adn. 6. *Yna gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi*] I hysbysu iddo pa atebiad i'w roddi i genadau y brenin, adn. 3.

Adn. 7. *Fel hyn y dywedwch chwi wrth frenin Juda, &c.*] Yr oeddynt i fynegu i Zedeciah, yn y lle cyntaf, mai ofer oedd iddo ef ddysgwyl cynorthwy gan yr Aifftiaid, am y byddai iddynt hwy gael eu baeddu gan y Caldeaid, a ffoi yn ol i'r Aifft.

Adn. 8. *A'r Caldeaid a ddychwelant, &c.*] Yr oeddynt i fynegu iddo hefyd, y deuai y Caldeaid yn ol eilwaith i warchae ar Jerusalem, ac i ryfela yn ei herbyn hi gyda grym adnewyddol; ac yna y byddai iddynt eu hennill hi, a'i llosgi â thân, yr hyn hefyd a wnaethant, pen. xxxix. 8.

Adn. 9. *Na thwyllwch eich hunain*] Gan feddwl yr â y Caldeaid ymaith oddiwrthych; *oblegid nid ânt hwy*—nes iddynt ddinystrio eich dinas, a'ch gorchfygu a'ch caethiwo chwithau.

Adn. 10. *Canys pe tarawech chwi holl lu y Caldeaid*] Gan ladd y rhan fwyaf o honynt, ac archolli y lleill, fel y byddai raid eu cario

hwy a gyfodent bob un yn ei babell,
ac a losgent y ddinas hon â thân.
11 ¶ A phan aeth llu y Caldeaid
ymaith oddiwrth Jerusalem, rhag
llu Pharao;
12 Yna Jeremi a aeth allan o Je-
rusalem, i fyned i wlad Benjamin,
i ymlithro oddiyno yn nghanol y
bobl.
13 A phan oedd efe yn mhorth
Benjamin, *yr oedd* yno ben-swydd-
og, a'i enw ef *oedd* Irïah, mab Se-
lemiah, mab Hananiah; ac efe a
ddaliodd Jeremi y proffwyd, gan
ddywedyd, Cilio at y Caldeaid yr
wyt ti.
14 Yna y dywedodd Jeremi, Nid
gwir; nid ydwyf fi yn cilio at y Cal-
deaid. Ond ni wrandawai efe arno:
felly Irïah a ymaflodd yn Jeremi, ac
a'i dygodd ef at y tywysogion.
15 Am hyny y tywysogion a
ddigiasant wrth Jeremi, ac a'i tar-
awsant, ac a'i rhoddasant yn y car-
chardy yn nhŷ Jonathan yr ysgrif-
enydd: o herwydd hwnw a wnaeth-
ent hwy yn garchardy.
16 ¶ Pan ddaeth Jeremi i'r
daeardy, ac i'r cabanau, ac *wedi* i
Jeremi aros yno ddyddiau lawer;
17 Yna y brenin Zedeciah a an-
fonodd, ac a'i cymerodd ef allan:
a'r brenin a ofynodd iddo yn gyf-
rinachol yn ei dŷ ei hun, ac a ddy-
wedodd, A oes gair oddiwrth yr
Arglwydd? A dywedodd Jeremi,
Oes: canys tydi, *eb efe,* a roddir yn
llaw brenin Babilon.
18 Jeremi hefyd a ddywedodd
wrth y brenin Zedeciah, Pa bechod
a wnaethym i i'th erbyn di, neu yn
erbyn dy weision, neu yn erbyn y

---

hwynt yn ol i'w pebyll; *eto hwy a gyfodent bob un yn ei babell*—sef y gweddill archolledig hyny; *ac a losgent y ddinas hon â thân*—gwnai yr Arglwydd wyrth o blaid y Caldeaid os byddai achos, yn hytrach na gadael i'r Iuddewon ddianc rhag y gosp fygythiedig.

Adn. 11. *A phan aeth llu y Caldeaid ymaith oddiwrth Jerusalem*] Fel yr adroddwyd adn. 5; *rhag llu Pharao*—sef i gyfarfod â llu Pharao, neu i ryfela â hwynt.

Adn. 12. *Yna Jeremi a aeth allan o Jerusalem*] Yr hyn y tybiai efe y gallai ei wneuthur yn hawdd y pryd hyn; *i fyned i wlad Benjamin*—ond odid i Anathoth, ei ddinas ei hun, pen. i. 1; *i ymlithro oddiyno yn nghanol y bobl*—i encilio yn ddisylw yn mhlith y ffoedigion ereill allan o Jerusalem, yr hon oedd yn awr wedi ei diofrydu i ddinystr. Gellid meddwl mai hyn yw ystyr ein cyfieithiad ni; eithr ereill a'i cyfieithant, 'I wneyd neges benodol yno yn mysg y bobl.'—*Coverdale.* 'I gymeryd rhenti (neu ardrethi) oddiyno.'—*Waterland.* 'I dderbyn cyfran o honi (sef o wlad Benjamin) yn mhlith y bobl.'—*Blayney.*

Adn. 13. *A phan oedd efe yn mhorth Benjamin*] Yr hwn oedd yn arwain tua gwlad Benjamin; *yr oedd yno ben-swyddog, a'i enw ef oedd Irïah*—yr hwn oedd yn ŵyr i Hananiah y gau-broffwyd, yn nheulu pa un yr oedd hen gasineb at Jeremi o herwydd yr hyn a adroddir yn pen. xxviii. *Ac efe a ddaliodd Jeremi*—tra yr ydoedd yn gadael i ereill fyned heibio yn ddisylw; *gan ddywedyd, Cilio at y Caldeaid yr wyt ti*—i fradychu dy frenin a'th wlad i'w dwylaw hwy, er mwyn ennill eu ffafr.

Adn. 14. *Yna y dywedodd Jeremi, Nid gwir*] Yw yr hyn a ddywedi: *nid ydwyf fi yn cilio at y Caldeaid*—nac wedi meddwl am y fath beth. *Ond ni wrandawai efe arno*—gan nad oedd am golli y cyfleusdra presenol i ddial ar y proffwyd o achos marwolaeth ei daid. *Felly Irïah a ymaflodd yn Jeremi*—fel carcharor, ac a'i dygodd at y tywysogion.

Adn. 15. *Am hyny y tywysogion a ddigiasant wrth Jeremi*] Pan glywsant ei fod am gilio at y Caldeaid; *ac a'i tarawsant*—â gwiail, neu a'i fflangellasant ef; *ac a'i rhoddasant yn y carchardy yn nhŷ Jonathan yr ysgrifenydd*—sef cofiadur neu ganghellwr y llywodraeth: *o herwydd hwnw a wnaethent hwy yn garchardy*—ymddengys nad oedd yno garchardy cyffredinol wedi ei adeiladu, a bod rhan o dai y pen-swyddogion, y barnwyr, ac hyd yn nod y brenin ei hun, yn neillduedig i'r perwyl hwnw. Dywed *Blayney, Chardin,* ac ereill, fod hyn yn arferiad hyd heddyw yn ngwledydd y dwyrain.

Adn. 16. *Pan ddaeth Jeremi i'r daeardy*] Yr hwn oedd bydew dwfn yn y ddaear dan ran o dŷ Jonathan; *ac i'r cabanau*—y rhai oeddynt gelloedd ffiaidd yn ngwaelod y pydew hwnw, lle y cysgai y carcharorion; *ac wedi i Jeremi aros yno ddyddiau lawer*—sef hyd ddychweliad byddin y Caldeaid i ail ymosod ar y ddinas.

Adn. 17. *Yna y brenin Zedeciah a anfonodd*] Am Jeremi allan o'r carchar: *a'r brenin a ofynodd iddo yn gyfrinachol yn ei dŷ ei hun*—sef yn y palas brenhinol, a hyny yn ddiarwybod i'w dywysogion; *A oes gair oddiwrth yr Arglwydd?*—a oes rhyw ddatguddiad wedi ei wneuthur i ti yn ddiweddar yn nghylch yr amgylchiadau presenol? *A dywedodd Jeremi*—yn y modd mwyaf hyf a gonest; *Oes: canys tydi, eb efe, a roddir yn llaw brenin Babilon*—yr hwn sydd yn awr wedi dychwelyd i warchae ar y ddinas hon. Fel hyn, er fod gan Jeremi ffafr i'w gofyn gan y brenin, ac er fod ei fywyd yn ei law ef, eto y mae efe yn llefaru yn y modd mwyaf diragrith a diarswyd o flaen ei benadur.

Adn. 18. *Jeremi hefyd a ddywedodd wrth*

bobl hyn, pan y'm rhoddasoch yn y carchardy?

19 Pa le *y mae* eich proffwydi a broffwydasant i chwi, gan ddywedyd, Ni ddaw brenin Babilon i'ch erbyn, nac yn erbyn y wlad hon?

20 Ac yn awr gwrando, atolwg, O fy arglwydd frenin: atolwg, deued fy ngweddi ger dy fron; fel na pharech i mi ddychwelyd i dŷ Jonathan yr ysgrifenydd, rhag fy marw yno.

21 Yna y brenin Zedeciah a orchymynodd iddynt hwy roddi Jeremi yn nghyntedd y carchardy, a rhoddi iddo ef deisen o fara beunydd o heol y pobyddion, nes darfod yr holl fara yn y ddinas. Felly Jeremi a arhosodd yn nghyntedd y carchardy.

## PENNOD XXXVIII.

YNA Sephatiah mab Mattan, a Gedaliah mab Pasur, a Juchal mab Selemiah, a Phasur mab Malchiah, a glywsant y geiriau a draethasai Jeremi wrth yr holl bobl, gan ddywedyd,

2 Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd, Yr hwn a arhoso yn y ddinas hon, a fydd farw trwy y cleddyf, trwy newyn, a thrwy haint: ond y neb a elo allan at y Caldeaid, a fydd byw; canys ei einioes fydd yn ysglyfaeth iddo, a byw fydd.

3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Y ddinas hon a roddir yn ddiau yn llaw llu brenin Babilon, yr hwn a'i hennill hi.

4 Yna y tywysogion a ddywedas-

---

*y brenin*] Yn hyf, ac eto yn ostyngedig; *Pa bechod a wnaethym i i'th erbyn di*—fel brenin, neu yn erbyn dy dywysogion a'th ddeiliaid, *pan y'm rhoddasoch yn y carchardy*—fel drwgweithredwr?

Adn. 19. *Pa le y mae eich proffwydi a broffwydasant i chwi*] Sef eich gau-broffwydi, y rhai a wenieithient i chwi ar y cyntaf, gan ddywedyd, na ddeuai brenin Babilon byth i ymosod ar Jerusalem; ac, ar ol iddynt fyned ymaith yn erbyn yr Aifftiaid, a haerent na ddeuent hwy byth yn ol? Yn mha le y mae y gau-broffwydi hyny yn awr? Er fod y naill a'r llall o'r haeriadau hyn wedi eu profi yn gelwyddog, eto yr oedd y proffwydi twyllodrus hyny yn cael ffafr gan y brenin a'i dywysogion; tra yr oedd Jeremi, gwir broffwyd yr Arglwydd, yn cael ei garcharu!

Adn. 20. *Ac yn awr gwrando, atolwg, O fy arglwydd frenin*] Ar ddeisyfiad dy was; *atolwg, deued fy ngweddi ger dy fron*—yn gymeradwy. Pan yr oedd Jeremi yn traddodi cenadwri Duw i'r brenin, yr oedd efe yn llefaru yn hyf ac awdurdodol ger ei fron, fel swyddog y nefoedd, adn. 17; ond pan y mae yn ymofyn â'r brenin yn ei achos ei hun, y mae yn atolygu yn ŵylaidd a gostyngedig. *Fel na pharech i mi ddychwelyd i dŷ Jonathan yr ysgrifenydd*—sef i'r carchar oer ac afiach ag ydoedd yn ei dŷ ef, adn. 15; *rhag fy marw yno*—o ddiffyg awyr, goleuni, a gwres, os nid o ddiffyg ymborth addas hefyd.

Adn. 21. *Yna y brenin Zedeciah a orchymynodd iddynt hwy roddi Jeremi yn nghyntedd y carchardy*] Yr hwn oedd yn gysylltedig â phalas y brenin, pen. xxxii. 2, lle y cai efe anadlu awyr iach, a lle y cai ei gyfeillion ryddid i ddyfod i edrych am dano, fel yr adroddir yn y bennod hòno; *a rhoddi iddo ef deisen o fara beunydd o heol y pobyddion*—sef o ystordy y llywodraeth, lle y diwellid angenrheidiau y llys a'r fyddin; *nes darfod yr holl fara yn y ddinas*—hyny yw, tra y byddai yno beth i'w gael. *Felly Jeremi a arhosodd yn nghyntedd y carchardy*—hyd nes y cymerwyd y ddinas, oddieithr am yr amser byr ag y bu efe yn naeardy Malchiah, fel y cawn hanes yn y bennod nesaf: gwel yno, adn. 6, 28. Y mae yn debyg i'r hyn a grybwyllir pen. xxxii—xxxiv, ddyfod i mewn rhwng y bennod hon a'r nesaf.

PEN. XXXVIII. Adn. 1. *Yna Sephatiah mab Mattan, &c.*] Sef pedwar o uchel-swyddogion y llywodraeth; *a glywsant y geiriau a draethasai Jeremi wrth yr holl bobl*—gan fod Jeremi yn awr wedi cael ei symud i gyntedd y palas brenhinol, fel y gwelsom uchod, lle yr oedd ganddo well lle a mwy o ryddid, yr oedd llawer o'i gyfeillion, ac o'r rhai a chwennychent ei weled, yn dyfod ato i ofyn beth fyddai diwedd y gwarchae presenol; i'r rhai yr amlygai yntau feddwl Duw, gan eu cynghori pa beth oedd oraf ei wneuthur gogyfer â'u diogelwch eu hunain. Gallwn feddwl i rai o'r rhai hyn fyned at y swyddogion uchod, a mynegu iddynt yr hyn a glywsent gan y proffwyd.

Adn. 2. *Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd*] Dyma y geiriau a draethasai y proffwyd wrth y bobl uchod; *Yr hwn a arhoso yn y ddinas hon, a fydd farw trwy y cleddyf, &c.*—hon oedd ei dystiolaeth barhaus ef, yr hon a gadarnheid gan eiriau yr Arglwydd: *ond y neb a elo allan at y Caldeaid*—i'w roddi ei hun yn garcharor i'w dwylaw hwy; *a fydd byw*—arbedir ei fywyd naturiol: *canys ei einioes fydd yn ysglyfaeth iddo*—gwel ar pen. xxi. 9.

Adn. 3. *Y ddinas hon a roddir yn ddiau*] Hyd yn nod er i'ch einioes gael ei harbed; *yn llaw llu brenin Babilon*—yr oedd Jeremi yn dal yn benderfynol at yr un dystiolaeth yn barhaus: ac er iddo gael peth ffafr gan y brenin, a'i fod yn awr yn bwyta ei fara ef, ni wenieithiai efe iddo trwy gelu y gwirionedd.

Adn. 4. *Yna y tywysogion a ddywedasant wrth y brenin*] Sef y rhai a enwyd yn adn. 1,

ant wrth y brenin, Rhodder, atolwg, y gŵr hwn i farwolaeth: oblegid fel hyn y mae efe yn gwanhau dwylaw y rhyfelwyr a adawyd yn y ddinas hon, a dwylaw yr holl bobl, wrth ddywedyd wrthynt yn ol y geiriau hyn: o herwydd nid yw y gŵr hwn yn ceisio llwyddiant i'r bobl hyn, ond niwed.
5 A'r brenin Zedeciah a ddywedodd, Wele ef yn eich llaw chwi: canys nid *yw* y brenin *ŵr* a ddichon ddim yn eich erbyn chwi.
6 Yna hwy a gymerasant Jeremi, ac a'i bwriasant ef i ddaeardy Malchiah mab Hammelech, yr hwn *oedd* yn nghyntedd y carchardy: a hwy a ollyngasant Jeremi i waered wrth raffau. Ac nid *oedd* dwfr yn y daeardy, ond dom: felly Jeremi a lynodd yn y dom.
7 ¶ A phan glybu Ebedmelech yr Ethiopiad, (un o'r ystafellyddion yr hwn oedd yn nhŷ y brenin,) iddynt hwy roddi Jeremi yn y daeardy, (a'r brenin yn eistedd yn mhorth Benjamin,)
8 Ebedmelech a aeth allan o dŷ y brenin, ac a lefarodd wrth y brenin, gan ddywedyd,
9 O fy arglwydd frenin, drwg y gwnaeth y gwŷr hyn yn nghwbl ag a wnaethant i Jeremi y proffwyd, yr hwn a fwriasant hwy i'r daeardy; ac efe a fydd marw o newyn yn y fan lle y mae, o herwydd nid *oes* bara mwyach yn y ddinas.
10 Yna y brenin a orchymynodd i Ebedmelech yr Ethiopiad, gan ddywedyd, Cymer oddiyma ddengwr-ar-hugain gyda thi, a chyfod Jeremi y proffwyd o'r daeardy cyn ei farw.
11 Felly Ebedmelech a gymerodd

---

*Rhodder, atolwg, y gŵr hwn i farwolaeth*—fel bradychwr ei wlad: *oblegid fel hyn y mae efe yn gwanhau dwylaw y rhyfelwyr*—yn eu llwyr ddigaloni hwynt, trwy ddywedyd yn barhaus y bydd i'r Caldeaid ennill y ddinas er eu holl ymdrech hwy, a haeru mai gwell fyddai iddynt hwy oll ymostwng i'w gelynion. *Nid yw y gŵr hwn yn ceisio llwyddiant i'r bobl hyn, ond niwed*—yr oedd hyn yn anwiredd hollol, fel y tystiai dagrau, gweddiau, ac ymdrechiadau y proffwyd ar eu rhan.

Adn. 5. *A'r brenin Zedeciah a ddywedodd*] Wrth ei dywysogion llidiog; *Wele ef yn eich llaw chwi*—i wneuthur iddo fel y gweloch yn dda: *canys nid yw y brenin ŵr a ddichon ddim yn eich erbyn chwi*—ni fyddai wiw iddo gynyg eich gwrthwynebu. Yr oedd amgylchiadau cyfyng ei deyrnas wedi rhoddi i'w dywysogion awdurdod mawr drosto ef, fel y cyfaddefa efe yma gyda theimlad dwys; canys gallwn feddwl yr arbedasai y brenin ef pe meiddiasai.

Adn. 6. *Yna hwy a gymerasant Jeremi, ac a'i bwriasant ef i ddaeardy Malchiah*] Yr hwn oedd le o'r un natur a daeardy Jonathan, pen. xxxvii. 15, 16, ond ei fod yn llawer gwaeth. *A hwy a ollyngasant Jeremi i waered wrth raffau*—trwy nad oedd grisiau yn arwain i'r daeardy hwn, a'i fod yn ddwfn iawn. *Ac nid oedd dwfr yn y daeardy, ond dom*—neu laid ffiaidd, lle y buasai dwfr. *Felly Jeremi a lynodd yn y dom*—dywed Josephus (Henaf., llyfr ix. pen. 10,) iddo suddo hyd ei wddf yn y dom hwn, ac mai amcan ei elynion oedd iddo drengu yno, adn. 4.

Adn. 7. *A phan glybu Ebedmelech yr Ethiopiad*] Meddylir mai negro o *Ethiopia* oedd hwn, yr hwn a ddygwyd ar y cyntaf yn gaethwas i dŷ y brenin, ac iddo wedi hyny gael ei ddyrchafu i swydd anrhydeddusach; *un o'r ystafellyddion*—Saes, 'un o'r *eunuchiaid*,' y rhai oeddynt swyddogion y wely-ystafell; *iddynt hwy roddi Jeremi yn y daeardy*—lle yr oedd bywyd gŵr mor dda yn y perygl mwyaf; *a'r brenin yn eistedd yn mhorth Benjamin*—naill ai i wrando cwynion y bobl, ac i weinyddu cyfiawnder; neu yntè i ymgynghori â'i swyddogion pa beth oedd ddoethaf ei wneuthur er amddiffyn y ddinas. Crybwyllir *gwlad* Ebedmelech, i ddangos ddarfod i broffwyd yr Arglwydd gael mwy o diriondeb gan estron, nag a gawsai efe gan ei gydwladwyr ei hun. Gwel y modd y gwobrwywyd ef gan Dduw ar ol hyn, pen. xxxix. 16—18.

Adn. 8. *Ebedmelech a aeth allan o dŷ y brenin*] Lle yr oedd prif orchwylion ei swydd yn cael eu cario yn mlaen; *ac a lefarodd wrth y brenin*—yn mhorth Benjamin.

Adn. 9. *O fy arglwydd frenin, drwg y gwnaeth y gwŷr hyn yn nghwbl ag a wnaethant i Jeremi*] Yr oedd yn ddrwg iddynt ei fwrw ef i'r daeardy ar y cyntaf, ac yntau heb haeddu hyny; ac y mae yn waeth iddynt ei adael ef yn y fath le ffiaidd, i farw o newyn: *o herwydd nid oes bara mwyach yn y ddinas*—hyny yw, nid oes ond ychydig o fara; ac os esgeulusir rhoddi bara i rywun, gwneir hyny i'r carcharor hwn: gan hyny, fel pe dywedasai, gadawer iddo ddyfod allan i gael yr un siawns ag ereill.

Adn. 10. *Yna y brenin a orchymynodd i Ebedmelech*] Ar ol cael effeithio yn ddwys ar ei feddwl gan ymadroddion teimladwy yr estron hwn; *Cymer oddiyma ddengwr-ar-hugain gyda thi*—sef o blith gwarchawdlu y brenin; *a chyfod Jeremi y proffwyd o'r daeardy cyn ei farw*—y mae yn debyg mai y rheswm dros beri iddo gymeryd cynifer o filwyr gydag ef oedd, rhag i'r tywysogion a'u pleidwyr fyned i'w wrthwynebu.

Adn. 11. *Felly Ebedmelech a gymerodd y*

y gwŷr gydag ef, ac a aeth i dŷ y brenin dan y trysordy, ac a gymerodd oddiyno hen garpiau, a hen bwdr-fratiau, ac a'u gollyngodd i waered at Jeremi i'r daeardy wrth raffau.
12 Ac Ebedmelech yr Ethiopiad a ddywedodd wrth Jeremi, Gosod yn awr yr hen garpiau, a'r pwdr-fratiau hyn, dan dy geseiliau odditan y rhaffau. A Jeremi a wnaeth felly.
13 Felly hwy a dynasant Jeremi i fyny wrth y rhaffau, ac a'i codasant ef o'r daeardy; a Jeremi a arhosodd yn nghyntedd y carchardy.
14 ¶ Yna y brenin Zedeciah a anfonodd, ac a gymerodd Jeremi y proffwyd ato i'r trydydd cyntedd, yr hwn *sydd* yn nhŷ yr Arglwydd; a'r brenin a ddywedodd wrth Jeremi, Mi a ofynaf i ti beth: na chela ddim oddiwrthyf fi.
15 A Jeremi a ddywedodd wrth Zedeciah, Os mynegaf i ti, oni roddi di fi i farwolaeth? ac os rhoddaf i ti gynghor, oni wrandewi di arnaf?
16 Felly y brenin Zedeciah a dyngodd wrth Jeremi yn gyfrinachol, gan ddywedyd, *Fel mai* byw yr Arglwydd, yr hwn a wnaeth i ni yr enaid hwn, ni roddaf fi di i farwolaeth, ac ni roddaf di yn llaw y gwŷr hyn sydd yn ceisio dy einioes.
17 Yna y dywedodd Jeremi wrth Zedeciah, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw y lluoedd, Duw Israel, Os gan fyned yr âi di allan at dywysogion brenin Babilon, yna y bydd dy enaid fyw, ac ni losgir y ddinas hon â thân; a thithau a fyddi fyw, ti a'th deulu.
18 Ond onid âi di allan at dywysogion brenin Babilon, yna y ddinas hon a roddir i law y Caldeaid, a hwy a'i llosgant hi â thân, ac ni ddiengi dithau o'u llaw hwynt.
19 A'r brenin Zedeciah a ddy-

---

*gwŷr gydag ef*] Y rhai oeddynt yn gwarchad y brenin yn y porth; *ac a aeth i dŷ y brenin dan y trysordy*—sef i'r ystafell lle y cedwid hen wisgoedd wedi treulio allan, neu wedi eu bwrw heibio; *ac a gymerodd oddiyno hen garpiau a hen bwdr-fratiau*—y rhai mwyaf diwerth o honynt ond odid, y rhai yr oedd y gwyfyn a'r pryf wedi eu hysu; *ac a'u gollyngodd i waered at Jeremi i'r daeardy wrth raffau*—fel y gallai ei godi ef oddiyno yn y modd esmwythaf iddo ef.

Adn. 12. *Ac Ebedmelech yr Ethiopiad a ddywedodd wrth Jeremi*] Mewn ffordd o gyfarwyddyd iddo; *Gosod yn awr yr hen garpiau, a'r pwdr-fratiau hyn, dan dy geseiliau odditan y rhaffau*—neu yn dorchau am y rhaffau dan dy geseiliau, rhag i'r rhaffau dy ddolurio wrth dy lusgo o'r pridd tomlyd a'r pydew erchyll. *A Jeremi a wnaeth felly*—canys yr oedd ei gydweithrediad yntau yn angenrheidiol er ei waredigaeth.

Adn. 13. *Felly hwy a dynasant Jeremi i fyny wrth y rhaffau*] O'r dom dwfn; *ac a'i codasant ef o'r daeardy*—er gwaethaf malais ei elynion: *a Jeremi a arhosodd yn nghyntedd y carchardy*—lle y buasai efe o'r blaen, pen. xxxvii. 21.

Adn. 14. *Yna y brenin Zedeciah*] A anfonodd am Jeremi, yr hwn y gwyddai efe ei fod yn wir broffwyd i'r Arglwydd; *ato i'r trydydd cyntedd*—neu y trydydd *porth* ag ydoedd ar y fynedfa o balas y brenin i'r deml, lle yr oedd y brenin yn awr wedi encilio rhag ofn y Caldeaid, fel y tybia *Lightfoot* ac ereill. *A'r brenin a ddywedodd wrth Jeremi, Mi a ofynaf i ti beth*—yn nghylch cyflwr presenol fy nheyrnas: *na chela ddim oddiwrthyf fi*—pa un bynag fyddo ai da ai drwg.

Adn. 15. *A Jeremi a ddywedodd wrth Zedeciah, Os mynegaf i ti*] Y gwirionedd yn noeth; *oni roddi di fi i farwolaeth*—os bydd yr hyn a ddywedaf yn dy erbyn di? *Ac os rhoddaf i ti gynghor*—pa beth sydd ddoethaf i ti ei wneuthur; *oni wrandewi di arnaf?*—neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'A fydd i ti wrando arnaf?' neu, fel y mae ereill yn ei ddarllen, 'Ni wrandewi di arnaf.'

Adn. 16. *Felly y brenin Zedeciah a dyngodd wrth Jeremi yn gyfrinachol*] Na chai ei fywyd ef fod mewn un perygl oddiwrtho ef na'i dywysogion, pa beth bynag a fynegai; ond ni ddywed efe y byddai iddo *ufyddhau* i'w 'gynghor' ef. *Fel mai byw yr Arglwydd*—cyn wired a'i fod yn fyw; *yr hwn a wnaeth i ni yr enaid hwn*—awdwr a chynaliwr fy mywyd i a'th fywyd dithau; *ni roddaf fi di i farwolaeth, &c.*—efe a apeliai at Dduw am iddo ei ladd ef, os lladdai efe y proffwyd, neu os rhoddai efe ef yn llaw ei dywysogion i'w ladd.

Adn. 17. *Yna y dywedodd Jeremi*] Ar awdurdod Duw; *Os gan fyned yr âi di allan at dywysogion brenin Babilon*—gan dy roddi dy hun a'r ddinas i fyny i'w dwylaw hwy; *yna y bydd dy enaid fyw*—hyny yw, arbedir dy fywyd; *ac ni losgir y ddinas hon â thân*—er iddi gael ei rhoddi yn llaw y Caldeaid, a'i darostwng dan dreth iddynt hwy: *a thithau a fyddi fyw, ti a'th deulu*—ar yr ammod hon yn unig.

Adn. 18. *Ond onid âi di allan at dywysogion brenin Babilon*] Sef at gadfridogion ei fyddin ef, canys yr oedd Nebuchodonosor ei hun y pryd hyn yn Riblah yn Syria, pen. xxxix. 5; *yna y ddinas hon a roddir i law y Caldeaid*—y rhai a'i llosgant hi â thân, ac a'th gaethiwant dithau.

Adn. 19. *A'r brenin Zedeciah a ddywed-*

wedodd wrth Jeremi, Yr ydwyf fi yn ofni yr Iuddewon a giliasant at y Caldeaid, rhag iddynt hwy fy rhoddi i yn eu llaw hwynt, ac i'r rhai hyny fy ngwatwar.
20 A Jeremi a ddywedodd, Ni roddant ddim: gwrandaw, atolwg, ar lais yr Arglwydd, yr hwn yr ydwyf fi yn ei draethu i ti; felly y bydd yn dda i ti, a'th enaid a fydd byw.
21 Ond os gwrthodi fyned allan, dyma y gair a ddanghosodd yr Arglwydd i mi:
22 Ac wele, yr holl wragedd, y rhai a adawyd yn nhŷ brenin Juda, a ddygir allan at dywysogion brenin Babilon; a hwy a ddywedant, Dy gyfeillion a'th hudasant, ac a'th orchfygasant; dy draed a lynasant yn y dom, *a* hwythau a droisant yn eu hol.
23 Felly hwy a ddygant allan dy holl wragedd a'th blant at y Caldeaid, ac ni ddiengi dithau o'u llaw hwynt; canys â llaw brenin Babilon y'th ddelir; a'r ddinas hon a losgi â thân.
24 ¶ Yna y dywedodd Zedeciah wrth Jeremi, Na chaffed neb wybod y geiriau hyn, ac ni'th roddir i farwolaeth.
25 Ond os y tywysogion a glywant i mi ymddyddan â thi, ac *os* deuant atat ti, a dywedyd wrthyt, Mynega yn awr i ni beth a draethaist ti wrth y brenin; na chela oddi wrthym ni, ac ni roddwn ni mo honot ti i farwolaeth; a pha beth a draethodd y brenin wrthyt tithau:
26 Yna dywed wrthynt, Myfi a weddiais yn ostyngedig gerbron y brenin, na yrai efe fi drachefn i dŷ Jonathan, i farw yno.
27 Yna yr holl dywysogion a ddaethant at Jeremi, ac a'i holasant ef: ac efe a fynegodd iddynt yn ol

---

*odd wrth Jeremi*] Fel gwrthddadl yn erbyn ei gynghor ef; *Yr ydwyf fi yn ofni yr Iuddewon a giliasant at y Caldeaid*—y rhai yr oedd efe ond odid wedi eu bygwth yn dost, os nid wedi eu trin yn greulon; *rhag iddynt hwy*—rhag i'r Caldeaid, os âi efe allan atynt, ei roddi yn llaw yr Iuddewon hyny; *ac i'r rhai hyny fy ngwatwar*—am wneyd yr un peth ag a wnaethent hwythau; neu ei watwar ef am dori y llw o ffyddlondeb a dyngasai efe i frenin Babilon, yr hyn oedd yr achos o'u hymosodiad presenol hwy ar y ddinas.

Adn. 20. *A Jeremi a ddywedodd, Ni roddant ddim*] Ni ddyry y Caldeaid di yn llaw yr Iuddewon hyny, eithr ymddygant tuag atat fel tywysog. *Gwrandaw, atolwg, ar lais yr Arglwydd*—trwy dy roddi dy hun i fyny i law y Caldeaid: *felly y bydd yn dda i ti*—felly yn unig yr achubir dy fywyd, ac y gwaredir y ddinas a'r deml rhag cael eu llosgi.

Adn. 21. *Ond os gwrthodi fyned allan*] I ymostwng i'r Caldeaid, yn ol cynghor yr Arglwydd i ti trwy fy ngenau i.

Adn. 22. *Wele, yr holl wragedd, y rhai a adawyd yn nhŷ brenin Juda*] Ymddengys i lawer o ordderchadon y brenin gilio eisioes at swyddogion y fyddin Galdeaidd; ac yma bygythir y gwnai yr oll. *A hwy a ddywedant, Dy gyfeillion a'th hudasant, &c.*—byddai i'r gwragedd hyny, yn lle cydymdeimlo âg ef yn ei ing, ei watwar yn ei drallodau, ac edliw iddo ei ynfydrwydd yn gwrandaw ar ei gyfeillion y gau-broffwydi, y rhai a'i hudasant ef i fod yn anffyddlon i Nebuchodonosor, ac a oeddynt yn awr yn anffyddlon iddo yntau. *Dy draed a lynasant yn y dom*—ymadrodd diarebol ond odid, yn arwyddo ei fod wedi suddo i'r anhawsderau a'r peryglon mwyaf; *a hwythau a droisant yn eu hol*—sef dy gyfeillion twyllodrus, heb wneyd un ymdrech i'th waredu o'th drallodau. Fel hyn byddai iddo ef, yr hwn oedd yn ofni cael ei watwar gan yr Iuddewon, fyned yn watwargerdd i wragedd ei dŷ ei hun.

Adn. 23. *Felly hwy a ddygant allan dy holl wragedd a'th blant*] Nid yn unig dy ordderchadon, ond dy wragedd priod hefyd, a'ch plant; *at y Caldeaid*—y rhai a'u triniant hwy yn y modd creulonaf: *ac ni ddiengi dithau o'u llaw hwynt*—eithr dygant di yn garcharor i Riblah at frenin Babilon: *a'r ddinas hon a losgi â thân*—hyny yw, dy gyndynrwydd di fydd yr achos o'i llosgi hi.

Adn. 24. *Yna y dywedodd Zedeciah*] Yr hwn erbyn hyn, gallwn feddwl, oedd yn dechreu credu geiriau y proffwyd; *Na chaffed neb wybod y geiriau hyn*—a fu rhyngom ni yn awr; *ac ni'th roddir i farwolaeth*—fel hyn efe a awgrymai mai lles y proffwyd oedd ganddo ef mewn golwg wrth geisio ganddo gadw y gyfrinach.

Adn. 25. *Ond os y tywysogion a glywant i mi ymddyddan â thi*] Sef tywysogion Juda; *ac os deuant atat ti*—i ofyn beth oedd yr ymddyddan a fu rhyngom, gan addaw na chospant di os datguddi y peth iddynt.

Adn. 26. *Yna dywed wrthynt, &c.*] Mai ceisio genyf beidio dy anfon di yn ol i ddaeardy Jonathan, i farw yno, oedd dy neges gyda mi. Yma y gwelwn y modd yr oedd y brenin balch hwn wedi ei ddarostwng yn awr megys dan draed ei dywysogion ei hun, y rhai a ofnai efe yn llawer mwy nag yr oedd yn ofni yr Arglwydd!

Adn. 27. *Yna yr holl dywysogion a ddaethant at Jeremi*] Yn ol rhagdybiaeth y brenin; *ac a'i holasant ef*—yn nghylch natur yr ymddyddan a fu rhyngddo ef a'i benadur. *Ac efe a fynegodd iddynt yn ol yr holl eiriau hyn*—megys y gorchymynasid iddo, adn.

yr holl eiriau hyn, y rhai a orchy-
mynasai y brenin: felly hwy a beid-
iasant ag ymddyddan âg ef, canys
ni chafwyd clywed y peth.
28 A Jeremi a arhosodd yn
nghyntedd y carchardy hyd y dydd
yr ennillwyd Jerusalem; ac *yno* yr
oedd efe pan ennillwyd Jerusalem.

## PENNOD XXXIX.

YN y nawfed flwyddyn i Zedeciah
brenin Juda, ar y degfed mis, y
daeth Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon, a'i holl lu, yn erbyn Jerusa-
lem, ac a warchaeasant arni.
2 Yn yr unfed flwyddyn ar ddeg
i Zedeciah, yn y pedarydd mis, ar
y nawfed *dydd* o'r mis, y torwyd y
ddinas.
3 A holl dywysogion brenin Ba-
bilon a ddaethant i mewn, ac a
eisteddasant yn y porth canol, *sef*
Nergal-sarezer, Samgar-nebo, Sar-
sechim, Rabsaris, Nergal-sarezer,
Rabmag, a holl dywysogion ereill
brenin Babilon.
4 ¶ A phan welodd Zedeciah
brenin Juda hwynt, a'r holl ryfel-
wyr, hwy a ffoisant, ac a aethant
allan o'r ddinas liw nos, trwy ffordd
gardd y brenin, i'r porth rhwng y
ddau fur: ac efe a aeth allan tua'r
anialwch.
5 A llu y Caldeaid a erlidiasant ar
eu hol hwynt, ac a oddiweddasant
Zedeciah yn rhosydd Jericho, ac a'i
daliasant ef, ac a'i dygasant at
Nebuchodonosor brenin Babilon, i
Riblah yn ngwlad Hamath; lle y
rhoddodd efe farn arno.
6 Yna brenin Babilon a laddodd
feibion Zedeciah yn Riblah o flaen
ei lygaid ef: brenin Babilon hefyd
a laddodd holl bendefigion Juda.
7 Ac efe a dynodd lygaid Zedec-
iah, ac a'i rhwymodd ef â chadwyn-
au i'w ddwyn i Babilon.
8 ¶ A'r Caldeaid a losgasant dŷ y
brenin, a thai y bobl, â thân; a hwy
a ddrylliasant furiau Jerusalem.
9 Yna Nebuzaradan penaeth y
milwyr a gaethgludodd i Babilon
weddill y bobl y rhai a adawsid yn
y ddinas, a'r encilwyr y rhai a gil-
iasent ato ef, yn nghyda gweddill y
bobl y rhai a adawsid.
10 A Nebuzaradan penaeth y
milwyr a adawodd o dylodion y
bobl, y rhai nid oedd dim ganddynt,
yn ngwlad Juda, ac efe a roddodd
iddynt winllanoedd a maesydd y
pryd hwnw.
11 ¶ A Nebuchodonosor brenin

---

26. Hyny yw, efe a fynegodd iddynt ran o'r gwir, ond nid yr holl wir; canys efe a dybiai nad oedd ganddynt hwy hawl i gael gwybod yr oll o'r ymddyddan a fu rhyngddo ef a'r brenin. *Felly hwy a beidiasant ag ymddyddan âg ef*—ac a aethant ymaith, gan feddwl ond odid na fu dim mwy na hyny o eiriau rhyngddynt.

Add. 28. *A Jeremi a arhosodd yn nghyntedd y carchardy*] Yr hwn oedd yn gysylltedig â'r palas brenhinol, pen. xxxvii. 21; *hyd y dydd yr ennillwyd Jerusalem*—yr hyn a gymerodd le yn mhen ychydig fisoedd ar ol hyn: *ac yno yr oedd efe pan ennillwyd Jerusalem*—sef pan ddaeth y Caldeaid i mewn i'r ddinas.

PEN. XXXIX. Adn. 1, 2. *Yn y nawfed flwyddyn i Zedeciah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxv. 1—3; *y torwyd y ddinas*—y gwnaed rhwyg yn y mur, trwy ba un y daeth y Caldeaid i mewn.

Adn. 3. *A holl dywysogion brenin Babilon a ddaethant i mewn*] Yn fuddugoliaethus o flaen eu byddinoedd; *ac a eisteddasant yn y porth canol*—yr hwn oedd rhwng dwy ran y ddinas, y rhai a elwir weithiau 'y ddinas uwchaf a'r isaf.' *Sef Nergal-sarezer*—gan y crybwyllir eto am dywysog o'r enw hwn, y mae yn debyg mai *Nebuzaradan*, penaeth y milwyr, a feddylir wrtho yma, ac mai gwall o eiddo rhyw adysgrifenydd bore oedd ei alw ar yr enw uchod. *Samgar-nebo*—arferai y Caldeaid roddi enwau eu duwiau yn nglŷn âg enwau eu pendefigion, fel arwydd o anrhydedd iddynt. *Nebo* oedd enw eilun yn mhlith y Babiloniaid, Esay xlvi. 1, fel yr oedd *Nergal* yn mhlith y Cuthiaid, 2 Bren. xvii. 30. *Sarsechim, Rabsaris, &c.*—enwir yma chwech o dywysogion yn ein cyfieithiad ni; ond tybia *Blayney* nad oes yma ddim ond *tri*, sef y cyntaf, y trydydd, a'r pummed; ac mai enw *swydd* yw yr ail, y pedwarydd, a'r chweched; megys, 'Nergal-sarezer, yr hwn oedd Samgar-nebo,' neu offeiriad i Nebo, &c.

Adn. 4—10. *A phan welodd Zedeciah brenin Juda hwynt*] O fewn y ddinas; *a'r holl ryfelwyr*—hyny yw, pan welodd rhyfelwyr Juda hwynt; *hwy a ffoisant, &c.*—gwel hanes am hyn, bron yn yr un geiriau, yn 2 Bren. xxv. 4—12.

Adn. 11. *A Nebuchodonosor brenin Babilon a roddodd orchymyn am Jeremi i Nebuzaradan*] Penaeth y milwyr Caldeaidd. Diamau i'r Iuddewon a enciliasent at y Caldeaid adrodd i Nebuchodonosor rai o broffwydoliaethau Jeremi, a'i gynghorion parhaus ef i Zedeciah a'i bobl i ymostwng i'r Caldeaid, yn nghyda'i ddyoddefiadau oblegid hyny; ac am

Babilon a roddodd orchymyn am Jeremi i Nebuzaradan penaeth y milwyr, gan ddywedyd,
12 Cymer ef, a bwrw olwg arno, ac na wna iddo ddim niwed; ond megys y dywedo efe wrthyt ti, felly gwna iddo.
13 Felly Nebuzaradan penaeth y milwyr a anfonodd, Nebusazban hefyd, Rabsaris, a Nergal-sarezer, Rabmag, a holl benaethiaid brenin Babilon:
14 Ie, hwy a anfonasant, ac a gymerasant Jeremi o gyntedd y carchardy, ac a'i rhoddasant ef at Gedaliah mab Ahicam, mab Saphan, i'w ddwyn adref: felly efe a drigodd yn mysg y bobl.
15 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi, pan oedd efe wedi cau arno yn nghyntedd y carchar, gan ddywedyd,
16 Dos, a dywed i Ebedmelech yr Ethiopiad, gan ddywedyd, Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Wele, mi a baraf i'm geiriau ddyfod yn erbyn y ddinas hon er niwed, ac nid er lles, a hwy a gwblheir o flaen dy wyneb y dwthwn hwnw.
17 Ond myfi a'th waredaf di y dydd hwnw, medd yr Arglwydd, ac ni'th roddir yn llaw y dynion *yr ydwyt* ti yn ofni rhagddynt.
18 Canys gan achub mi a'th achubaf, ac ni syrthi trwy y cleddyf, eithr bydd dy einioes yn ysglyfaeth i ti, am i ti ymddiried ynof fi, medd yr Arglwydd.

## PENNOD XL.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jeremi oddiwrth yr Arglwydd, wedi i Nebuzaradan penaeth y milwyr ei ollwng ef yn rhydd o Ramah, wedi iddo ei gymeryd ef, ac yntau yn rhwym mewn cadwyni yn mysg holl gaethglud Jerusalem a Juda, *y rhai a* gaethgludesid i Babilon.
2 A phenaeth y milwyr a gymer-

---

hyny tueddwyd ef i ddangos ffafr neillduol i'r proffwyd, yn ol addewid Duw, pen. xv. 11.

Adn. 12. *Cymer ef*] Dan dy nawdd; *a bwrw olwg arno, &c.*—hyny yw, edrych yn ofalus ar ei ol rhag i neb ei niweidio, a gad iddo gael pa beth bynag a ewyllysio.

Adn. 13. *Felly Nebuzaradan penaeth y milwyr*] Sef y maeslywydd cyffredinol, yn nghyda'r holl benaethiaid milwraidd ereill a enwir yma.

Adn. 14. *A gymerasant Jeremi o gyntedd y carchardy*] Lle yr oedd efe yn aros hyd yma, pen. xxxviii. 28; *ac a'i rhoddasant ef at Gedaliah*—yr hwn a wnaed yn llywodraethwr ar ddinasoedd Juda dan Nebuchodonosor, fel yr adroddir yn y bennod nesaf, adn. 5. *Felly efe a drigodd yn mysg y bobl*—yn mysg y gweddill o'r Iuddewon a adewsid yn y wlad. Fel hyn, wedi i frenin Juda a'i dywysogion roddi proffwyd yr Arglwydd yn ngharchar, daeth brenin paganaidd a'i dywysogion i'w ollwng ef yn rhydd!

Adn. 15. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi, pan oedd efe wedi cau arno yn nghyntedd y carchar*] Sef cyn i'r Caldeaid ddyfod i mewn i'r ddinas. Dylasai y pedair adnod hyn fod yn niwedd y bennod flaenorol.

Adn. 16. *Dos, a dywed i Ebedmelech yr Ethiopiad*] Yr hwn a gododd Jeremi o'r daeardy, fel yr adroddwyd yn y bennod flaenorol; *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*—gyda golwg ar ei ddiogelwch ef yn ngwyneb y dinystr bygythiedig ag ydoedd gerllaw.

Adn. 17. *Ond myfi a'th waredaf di y dydd hwnw*] Rhag yr holl ddrwg a ddisgyn ar y ddinas hon; *ac ni'th roddir di yn llaw y dynion yr ydwyt ti yn ofni rhagddynt*—sef yn llaw y Caldeaid, y rhai oeddynt yn awr yn gwarchae ar y ddinas; er y tybia rhai mai y tywysogion Iuddewig a feddylir, y rhai a allent fod yn ei fygwth ef am ei garedigrwydd i'r proffwyd.

Adn. 18. *Canys gan achub mi a'th achubaf*] Yr hyn a ailadroddir yma, i ddangos y sicrwydd o hono; *ac ni syrthi trwy y cleddyf*—fel yr wyt ti yn ofni; *eithr bydd dy einioes yn ysglyfaeth i ti*—wedi ei hachub o'r perygl mwyaf, fel ysglyfaeth o enau llew; *am i ti ymddiried ynof fi*—pan yr aethost at y brenin i ddadlu dros fywyd fy mhroffwyd i, ac at y daeardy i'w godi ef oddiyno, pen. xxxviii. 9—13. Gan iddo ef waredu 'proffwyd yn enw proffwyd,' sierheir iddo yma y caiff efe 'dderbyn gwobr proffwyd.'

PEN. XL. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi*] Fel yr adroddir pen. xlii. 7, &c. Yr hyn a ddywedir oddiyma hyd yno sydd fath ar ragarweiniad cromfachol. Y mae y pum pennod ganlynol yn cynwys hanes yr ychydig Iuddewon a adawyd yn Nghanaan, ar ol i'w brodyr gael eu caethgludo i Babilon. *Wedi i Nebuzaradan penaeth y milwyr ei ollwng ef yn rhydd o Ramah, &c.*—ymddengys i Jeremi, ar ol iddo gael ei ryddhau o gyntedd y carchardy, gael ei ddwyn mewn cadwyni i Ramah, ond odid mewn camgymeriad, yn mysg y carcharorion ereill; ac yno y canfyddwyd y camgymeriad, ac y gollyngwyd ef yn rhydd. Yr oedd Ramah ar y ffordd o Jerusalem i Babilon.

Adn. 2. *A phenaeth y milwyr a gymerodd Jeremi*] O blith y carcharorion ereill; *ac a ddywedodd wrtho*—yn rhydd a chyfeillgar;

odd Jeremi, ac a ddywedodd wrtho,
Yr Arglwydd dy Dduw a lefarodd
y drwg yma yn erbyn y lle hwn.
3 A'r Arglwydd a'*i* dyg i ben, ac
a wnaeth megys y llefarodd: am i
chwi bechu yn erbyn yr Arglwydd,
ac na wrandawsoch ar ei lais ef, am
hyny y daeth y peth hyn i chwi.
4 Ac yn awr wele, mi a'th rydd-
heais di heddyw o'r cadwynau *oedd*
am dy ddwylaw: os da genyt ti
ddyfod gyda mi i Babilon, dyred, a
myfi a fyddaf da wrthyt: ond os
drwg y gweli ddyfod gyda mi i Ba-
bilon, paid; wele yr holl dir o'th
flaen di: i'r fan *y byddo* da a bodd-
lon genyt fyned, yno dos.
5 Ac yn awr ac efe eto heb ddy-
chwelyd, *efe a ddywedodd,* Dychwel
at Gedaliah mab Ahicam, mab Sa-
phan, yr hwn a osododd brenin Ba-
bilon ar ddinasoedd Juda, ac aros
gydag ef yn mhlith y bobl: neu
dos lle y gwelech di yn dda fyned.
Felly penaeth y milwyr a roddodd
iddo ef luniaeth a rhodd, ac a'i goll-
yngodd ef ymaith.
6 Yna yr aeth Jeremi at Gedaliah
mab Ahicam i Mispah, ac a arhos-
odd gydag ef yn mysg y bobl a ad-
ewsid yn y wlad.
7 ¶ A phan glybu holl dywysog-
ion y lluoedd, y rhai *oedd* ar hyd y
wlad, hwynt-hwy a'u gwŷr, i frenin
Babilon osod Gedaliah mab Ahicam
ar y wlad, ac iddo roddi dan ei law
ef wŷr, a gwragedd, a phlant, ac o
dylodion y wlad, o'r rhai ni chaeth-
gludesid i Babilon;
8 Yna hwy a ddaethant at Geda-
liah i Mispah, *sef* Ismael mab Ne-
thaniah, a Johanan a Jonathan
meibion Careah, a Seraiah mab
Tanhumeth, a meibion Ephai y Ne-
tophathiad, a Jezaniah mab Maach-
athiad, hwynt-hwy a'u gwŷr.
9 A Gedaliah mab Ahicam mab
Saphan a dyngodd wrthynt hwy, ac
wrth eu gwŷr, gan ddywedyd, Nac
ofnwch wasanaethu y Caldeaid:
trigwch yn y wlad, a gwasanaeth-
wch frenin Babilon, felly y bydd
daioni i chwi.
10 Am danaf finau, wele, mi a

---

*Yr Arglwydd dy Dduw a lefarodd y drwg yma yn erbyn y lle hwn*—hyn a ddysgasai efe oddiwrth yr encilwyr a ddaethent oddiwrth yr Iuddewon at ei fyddin ef; neu ynte, gan fod y cenhedloedd paganaidd yn cydnabod fod gan bob cenedl ei duw neillduol ei hun, gall nad oedd efe yn golygu dim mwy na bod duw amddiffynol yr Iuddewon, pwy bynag ydoedd, wedi digio wrth ei bobl ei hun, a'u rhoddi i fyny i'w dwylaw hwy; canys nid yw yn debyg fod ganddo ef wybodaeth drwyadl am JEHOFA, yr unig wir Dduw.

Adn. 3. *A'r Arglwydd a'i dyg i ben*] Trwy ein hofferynoliaeth ni; *am i chwi bechu yn erbyn yr Arglwydd*—trwy anufyddhau fel cenedl i'w orchymynion ef.

Adn. 4. *Ac yn awr, wele, mi a'th ryddheais di heddyw o'r cadwynau oedd am dy ddwylaw*] Ac felly yr wyt yn ŵr rhydd, i fyned lle y myni. *Os da genyt ti ddyfod gyda mi i Babilon, dyred, a myfi a fyddaf da wrthyt*—ar hyd y ffordd, ac yn mhen y daith hefyd: *ond os drwg y gweli ddyfod gyda mi*—os gwell yw genyt aros yn Judea, dy wlad enedigol; *wele yr holl dir o'th flaen di*—i ymsefydlu ynddo lle y gweli yn dda.

Adn. 5. *Ac yn awr, ac efe eto heb ddychwelyd*] Tra yr oedd Jeremi eto yn petruso, ac heb benderfynu pa beth i'w wneuthur; *efe*—sef Nebuzaradan, a ddywedodd; *Dychwel at Gedaliah*—yr hwn a wnaed yn llywydd ar ddinasoedd Juda; *ac aros gydag ef*—dan ei nawdd a'i gysgod ef: *neu dos lle y gwelech di yn dda fyned*—canys nid oedd ef yn ei rwymo ifyned ato. *Felly penaeth y milwyr*—ar ol i Jeremi benderfynu nad âi efe i Babilon; *a roddodd iddo ef luniaeth a rhodd*—sef digon o fwyd ac arian i'w gynal am hir amser; *ac a'i gollyngodd ef ymaith*—i fyned lle y mynai.

Adn. 6. *Yna yr aeth Jeremi at Gedaliah*] I Mispah, yr hon oedd dref ar derfynau Juda a Benjamin; *ac a arhosodd gydag ef yn mysg y bobl a adewsid yn y wlad*—gan obeithio bod o ryw les iddynt. Yr oedd yn well ganddo ddyoddef adfyd gyda phobl Dduw, na thrigo mewn anrhydedd yn Babilon eilunaddolgar.

Adn. 7. *A phan glybu holl dywysogion y lluoedd*] Sef cadbeniaid byddin yr Iuddewon, y rhai a ffoisant pan ddaliwyd Zedeciah, ac a ymguddiasant yma a thraw ar hyd y wlad, hwynt-hwy a'u gwŷr; *i frenin Babilon osod Gedaliah*—yn rhaglaw ar wlad Juda, a bod yr holl rai na chaethgludesid i Babilon wedi eu gosod dan ei arolygaeth ef.

Adn. 8. *Yna hwy a ddaethant at Gedaliah i Mispah*] Hwynt-hwy a'u gwŷr, fel rhai yn ymostwng i'w arolygaeth ef; *sef Ismael mab Nethaniah*—yr hwn oedd o'r had brenhinol, pen. xli. 1; *a Johanan a Jonathan meibion Careah*—ac ereill, y rhai hefyd oeddynt swyddogion milwraidd.

Adn. 9. *A Gedaliah—a dyngodd wrthynt hwy*] Y rhai a ofnent y byddai i'r Caldeaid, pan glywent pa le yr oeddynt, ddyfod a'u cymeryd hwy i fyny fel pleidwyr Zedeciah; *Nac ofnwch wasanaethu y Caldeaid*—dan fy arolygaeth i: *trigwch yn y wlad*—fel gweision ffyddlon i frenin Babilon; *felly y bydd*

drigaf yn Mispah, i wasanaethu y Caldeaid, y rhai a ddeuant atom ni: chwithau, cesglwch win, a ffrwythydd haf, ac olew, a dodwch *hwynt* yn eich llestri, a thrigwch yn eich dinasoedd, y rhai yr ydych yn eu meddiannu.

11 A phan glybu yr holl Iuddewon y rhai *oedd* yn Moab, ac yn mysg meibion Ammon, ac yn Edom, ac yn yr holl wledydd, i frenin Babilon adael gweddill o Juda, a gosod Gedaliah mab Ahicam mab Saphan yn llywydd arnynt hwy;

12 Yna yr holl Iuddewon a ddychwelasant o'r holl leoedd lle y gyresid hwynt, ac a ddaethant i wlad Juda at Gedaliah i Mispah, ac a gasglasant win a ffrwythydd haf lawer iawn.

13 ¶ Johanan hefyd mab Careah, a holl dywysogion y lluoedd y rhai *oedd* ar hyd y wlad, a ddaethant at Gedaliah i Mispah.

14 Ac a ddywedasant wrtho, A wyddost ti yn hysbys i Baalis, brenin meibion Ammon, anfon Ismael mab Nethaniah i'th ladd di? Ond ni chredodd Gedaliah mab Ahicam iddynt hwy.

15 Yna Johanan mab Careah a ddywedodd wrth Gedaliah yn Mispah yn gyfrinachol, gan ddywedyd, Gad i mi fyned, atolwg, a mi a laddaf Ismael mab Nethaniah, ac ni chaiff neb wybod: paham y lladdai efe di, fel y gwasgerid yr holl Iuddewon y rhai a ymgasglasant atat ti, ac y darfyddai am y gweddill yn Juda?

16 Ond Gedaliah mab Ahicam a ddywedodd wrth Johanan mab Careah, Na wna y peth hyn, canys celwydd yr ydwyt ti yn ei ddywedyd am Ismael.

## PENNOD XLI.

AC yn y seithfed mis daeth Ismael mab Nethaniah mab Elisama o'r had brenhinol, a phendefigion y

---

*daioni i chwi*—cewch fyw mewn heddwch, diogelwch, a phob llawnder.

Adn. 10. *Am danaf finau, wele, mi a drigaf yn Mispah i wasanaethu y Caldeaid*] I dderbyn y trethi, ac i'w talu i'r cenadau a ddeuant i'w ceisio dros frenin Babilon. *Chwithau, cesglwch win, a ffrwythydd haf, ac olew*—neu winrawn, afalau, ac olifaid, &c.; canys yr oedd amser y cynauaf ŷd wedi myned heibio, a'r maesydd ond odid heb eu llafurio yn amser y gwarchaead; *a dodwch hwynt yn eich llestri*—i fod yn gynaliaeth i chwi dros y gauaf; *a thrigwch yn eich dinasoedd*—yma a thraw yn ddiofal.

Adn. 11. *A phan glybu yr holl Iuddewon*] Y rhai oeddynt wedi ffoi i'r gwledydd cymydogaethol ar ddyfodiad cyntaf Nebuchodonosor yn erbyn eu gwlad hwy; *i frenin Babilon adael gweddill o Juda*—yn eu gwlad eu hun dan arolygaeth Gedaliah.

Adn. 12. *Yna yr holl Iuddewon a ddychwelasant*] O'r holl wledydd lle y gyresid hwynt; *ac a ddaethant i wlad Juda at Gedaliah*—i fyw dan ei nawdd ef; *ac a gasglasant win a ffrwythydd haf lawer iawn*—ddigon iddynt dros y gauaf.

Adn. 13. *Johanan hefyd mab Careah, a holl dywysogion y lluoedd*] Y rhai oeddynt wedi bod gyda Gedaliah o'r blaen, adn. 7, 8; *y rhai oeddynt ar hyd y wlad*—yn trigo yn eu gwahanol ddinasoedd, adn. 10; *a ddaethant at Gedaliah i Mispah*—eilwaith, i ddatguddio iddo fradwriaeth ag ydoedd ar droed yn ei erbyn ef.

Adn. 14. *Ac a ddywedasant wrtho*] Gyda gonestrwydd a ffyddlondeb mawr; *A wyddost ti yn hysbys i Baalis, brenin meibion Ammon*—y rhai oeddynt yn elynion greddfol i'r Iuddewon bob amser; *anfon Ismael mab Nethaniah i'th ladd di?*—y mae yn debyg i'r tywysog ieuanc hwn ffoi at frenin yr Ammoniaid pan gymerwyd Jerusalem, ac iddo arwyddo ei anfoddlonrwydd i Gedaliah gael ei ddyrchafu yn uwch nag ef, yr hwn oedd o'r had brenhinol; ac felly yr oedd yn hawdd i Baalis allu ei berswadio ef i'r weithred hon. *Ond ni chredodd Gedaliah mab Ahicam iddynt hwy*—y gallai gŵr o waedoliaeth ac urddas Ismael fod yn euog o'r fath beth. Modd bynag, gan i'r cyhuddiad ddyfod oddiwrth y fath wŷr parchus, dylasai Gedaliah chwilio i'r peth, ac ymbarotoi erbyn y gwaethaf.

Adn. 15. *Yna Johanan*] A ddywedodd wrth Gedaliah yn gyfrinachol, *Gad i mi fyned, atolwg, a mi a laddaf Ismael*—heb i neb wybod. *Paham y lladdai efe di*—ac felly achosi i'r holl Iuddewon ag sydd dan dy ofal gael eu gwasgaru a'u dyfetha?

Adn. 16. *Ond Gedaliah*] A ddywedodd wrth Johanan, *Na wna y peth hyn*—i ŵr diniwed; *canys celwydd yr ydwyt ti yn ei ddywedyd am Ismael*—efe a gasglai fod dyn a fynai fod yn *llofrudd*, yn alluog hefyd i ddywedyd *celwydd;* ac am hyny ni chredai efe yr hyn a ddywedai Johanan wrtho. Yr oedd Gedaliah yn hyn yn dangos mwy o ddiniweidrwydd y golomen nag o gyfrwysdra y sarff; oblegid gan fod diogelwch ei bobl yn ymddibynu ar ei ddiogelwch ei hun, dylasai arfer pob moddion cyfreithlon i ddiogelu ei fywyd.

PEN. XLI. Adn. 1. *Ac yn y seithfed mis*] Yn cyfateb i ran o'n Hydref ni, sef yn mhen

brenin, sef dengwr gydag ef, at Gedaliah mab Ahicam i Mispah: a hwy a fwytasant yno fara yn nghyd yn Mispah.
2 Ac Ismael mab Nethaniah a gyfododd, *efe* a'r dengwr oedd gydag ef, ac a darawsant Gedaliah mab Ahicam mab Saphan â'r cleddyf, ac a'i lladdasant ef, yr hwn a osodasai brenin Babilon yn llywydd ar y wlad.
3 Ismael hefyd a laddodd yr holl Iuddewon oedd gydag ef, *sef* gyda Gedaliah, yn Mispah, a'r Caldeaid y rhai a gafwyd yno, y rhyfelwyr.
4 A'r ail dydd wedi iddo ef ladd Gedaliah, heb neb yn gwybod,
5 Yna y daeth gwŷr o Sichem, o Siloh, ac o Samaria, *sef* pedwar ugeinwr, wedi eillio eu barfau, a rhwygo eu dillad, ac ymdori, âg offrymau ac â thus yn eu dwylaw, i'*w* dwyn i dŷ yr Arglwydd.
6 Ac Ismael mab Nethaniah a aeth allan o Mispah i'w cyfarfod hwynt, gan gerdded rhagddo, ac wylo: a phan gyfarfu efe â hwynt, efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch at Gedaliah mab Ahicam.
7 A phan ddaethant hwy i ganol y ddinas, yna Ismael mab Nethaniah a'u lladdodd hwynt, *ac a'u bwriodd* i ganol y pydew, efe a'r gwŷr *oedd* gydag ef.
8 Ond dengwr a gafwyd yn eu mysg hwynt, y rhai a ddywedasant wrth Ismael, Na ladd ni: oblegid y mae genym ni drysor yn y maes, o wenith, ac o haidd, ac o olew, ac o fêl. Felly efe a beidiodd, ac ni laddodd hwynt yn mysg eu brodyr.

---

dau fis ar ol llosgi Jerusalem, 2 Bren. xxv. 8; *daeth Ismael mab Nethaniah*—i'r hwn y tyngasai Gedaliah lw o ffyddlondeb, pen. xl. 8, 9; *o'r had brenhinol*—wedi disgyn o deulu Dafydd, yr hyn a barai iddo feddwl fod ganddo ef fwy o hawl i lywodraethu nag a feddai Gedaliah; *a phendefigion y brenin*—sef deg o uchel-swyddogion y llywodraeth yn amser Zedeciah; *at Gedaliah mab Ahicam i Mispah*—dan rith o gyfeillgarwch: *a hwy a fwytasant yno fara yn nghyd*—yr hyn a ystyrid yn ngwledydd y dwyrain yn arwydd cysegredig o gyfeillgarwch, a'r un peth mewn effaith a gwneyd cyfammod o heddwch.

Adn. 2. *Ac Ismael mab Nethaniah a gyfododd*] Oddiwrth y bwrdd, efe a'r dengwr oedd gydag ef; *ac a darawsant Gedaliah*—â'r cleddyf, ac a'i lladdasant ef.

Adn. 3. *Ismael hefyd a laddodd yr holl Iuddewon oedd gydag ef*] Oedd yn gwledda gydag ef, neu yn gweini iddo; canys ni laddodd efe yr holl Iuddewon ag oeddynt yn Mispah, fel y dysgwn oddiwrth adn. 10; *a'r Caldeaid*—y rhai a adewsid yno yn warchawdlu i Gedaliah; hyny yw, efe a laddodd rai o'r rhai hyny hefyd wrth fwrdd y wledd.

Adn. 4. *A'r ail dydd wedi iddo ef ladd Gedaliah, heb neb yn gwybod*] Canys efe a ofalodd am gelu y gyflafan hon, fel y gallai fyned yn mlaen â'r rhan arall o'i weithredoedd gwaedlyd yn fwy dirwystr.

Adn. 5. *Yna y daeth gwŷr o Sichem, o Siloh, ac o Samaria*] Dinasoedd yn llwyth Ephraim, yn perthyn gynt i deyrnas y deg llwyth; *sef pedwar ugeinwr wedi eillio eu barfau, &c.*—yn arwydd o alar am ddinystrio y ddinas a'r deml gan y Caldeaid; *âg offrymau ac â thus yn eu dwylaw*—fel, os caent allor i'r Arglwydd yn nghanol adfeilion y deml yn Jerusalem, y byddai ganddynt rywbeth i'w offrymu yno. Ond tybia rhai fod Gedaliah wedi codi rhyw fath ar allor yn Mispah, fel y gwnaethai Samuel yno cyn hyny, 1 Sam. vii. 5, &c., 1 Mac. iii. 46, ac mai tuag yno yr oeddynt hwy yn gwynebu.

Adn. 6. *Ac Ismael*] Wedi iddo glywed eu bod yn dyfod, *a aeth allan o Mispah i'w cyfarfod hwynt*—yn y modd mwyaf ystrywgar a rhagrithiol; *gan gerdded rhagddo, ac wylo*—fel pe buasai dan ddwys deimlad fel hwythau o achos yr hyn a ddygwyddodd i'w frodyr, a'r ddinas, a'r deml. *A phan gyfarfu efe â hwynt*—yn dyfod tua Mispah, neu yn myned heibio tua Jerusalem; *efe a ddywedodd wrthynt, Deuwch at Gedaliah*—i fyw dan ei nawdd a'i amgeledd ef. Fel hyn efe a gymerai arno ei fod yn gyfaill mawr iddynt hwy ac i Gedaliah, neu yn un o'i lyswyr ef, pan yr oedd mewn gwirionedd wedi trochi ei ddwylaw yn ei waed ef er y dydd o'r blaen!

Adn. 7. *A phan ddaethant hwy i ganol y ddinas*] Neu at ddrws tŷ Gedaliah, fel y dywed *Josephus*, ac wedi iddo ef gau porth y cyntedd arnynt hwy i rwystro iddynt ddianc; *yna Ismael mab Nethaniah a'u lladdodd hwynt*—sef 70 o honynt, er eu bod yn ddyeithriaid diniwed, ac heb roddi iddo y tramgwydd lleiaf; *ac a'u bwriodd i ganol y pydew*—gan gael ei gynorthwyo gan y gwŷr a gyflogasai efe i'r gwaith gwaedlyd hwn. Yr oedd hyn yn greulondeb tebyg i'r hwn a ddanghoswyd yn ddiweddar tuag at ein cydwladwyr ni yn yr India Ddwyreiniol.

Adn. 8. *Ond dengwr a gafwyd yn eu mysg hwynt*] A ddadleuasant am eu bywyd trwy weithio nid ar dosturi Ismael, ond ar ei gybydd-dod ef, gan ddywedyd wrtho, *Na ladd ni, oblegid y mae genym ni drysor yn y maes*—yr hwn a roddwn i ti. *Felly efe a beidiodd*—eu lladd hwynt, fel y gallent ddangos iddo eu trysorau cuddiedig; *ac ni laddodd hwynt yn mysg eu brodyr*—neu ar unwaith a'r 70 uchod, beth bynag a ddaeth o honynt ar ol hyny.

Adn. 9. *A'r pydew i'r hwn y bwriodd Ismael holl gelaneddau y gwŷr*] Nid yn unig

9 A'r pydew i'r hwn y bwriodd
Ismael holl gelaneddau y gwŷr, a
laddasai efe er mwyn Gedaliah, *yw*
yr hwn a wnaethai y brenin Asa,
rhag ofn Baasa brenin Israel: hwnw
a ddarfu i Ismael mab Nethaniah ei
lenwi â'r rhai a laddesid.
10 Yna Ismael a gaethgludodd
holl weddill y bobl y rhai *oedd* yn
Mispah, *sef* merched y brenin, a'r
holl bobl y rhai a adewsid yn Mispah,
ar y rhai y gosodasai Nebuzaradan
penaeth y milwyr Gedaliah
mab Ahicam yn llywydd: ac Ismael
mab Nethaniah a'u caethgludodd
hwynt, ac a ymadawodd i fyned
drosodd at feibion Ammon.
11 ¶ Ond pan glybu Johanan
mab Careah, a holl dywysogion y
llu y rhai *oedd* gydag ef, yr holl
ddrwg a wnaethai Ismael mab Nethaniah;
12 Yna hwy a gymerasant *eu*
holl wŷr, ac a aethant i ymladd âg
Ismael mab Nethaniah, ac a'i cawsant
ef wrth y dyfroedd mawrion y
rhai *sydd* yn Gibeon.
13 A phan welodd yr holl bobl, y
rhai *oedd* gydag Ismael, Johanan
mab Careah, a holl dywysogion y
llu y rhai *oedd* gydag ef, yna hwy
a lawenychasant.
14 Felly yr holl bobl, y rhai a
gaethgludasai Ismael ymaith o Mispah,
a droisant ac a ddychwelasant,
ac a aethant at Johanan mab Careah.
15 Ond Ismael mab Nethaniah a
ddiangodd, yn nghydag wythnyn,
oddigan Johanan, ac a aeth at feibion
Ammon.
16 Yna Johanan mab Careah, a
holl dywysogion y llu y rhai *oedd*
gydag ef, a gymerasant holl weddill
y bobl, y rhai a ddygasai efe yn
eu hol oddiar Ismael mab Nethaniah,
o Mispah, (wedi iddo ef ladd
Gedaliah mab Ahicam,) *sef* cedyrn
ryfelwyr, a'r gwragedd, a'r plant,
a'r ystafellyddion, y rhai a ddygasai
efe o Gibeon.
17 A hwy a aethant oddiyno, ac
a eisteddasant yn nhrigfa Cimham,
yn agos at Bethlehem, i fyned i'r
Aifft,
18 Rhag y Caldeaid: o herwydd
eu bod yn eu hofni hwynt, am i Ismael
mab Nethaniah ladd Gedaliah

---

celaneddau y 70 uchod, ond eiddo Gedaliah hefyd, yn nghyda'r Iuddewon a'r Caldeaid ag oeddynt gydag ef, adn. 2, 3; *yw yr hwn a wnaethai y brenin Asa*—pan yn adeiladu Mispah, 1 Bren. xv. 22; *rhag ofn Baasa brenin Israel*—fel na fyddai i'w bobl ef ddyoddef o ddiffyg dwfr mewn achos o warchaead.

Adn. 10. *Yna Ismael a gaethgludodd holl weddill y bobl*] Y rhai ni laddwyd ganddo yn Mispah, adn. 3; ac, yn mysg ereill, merched Zedeciah, y rhai a adawyd dan ofal Gedaliah pan laddwyd ei feibion ef: *ac a ymadawodd i fyned drosodd at feibion Ammon*—i'w gwerthu hwynt ond odid yn gaethion i'r Ammoniaid.

Adn. 11. *Ond pan glybu Johanan mab Careah, a holl dywysogion y llu*] Y rhai oeddynt y pryd hyny wedi myned ymaith oddiwrth Gedaliah i'w dinasoedd eu hunain; *yr holl ddrwg a wnaethai Ismael*—sef lladd Gedaliah a'i gyfeillion, adn. 2, 3, 7.

Adn. 12. *Yna hwy a gymerasant eu holl wŷr*] Sef yr holl filwyr ag oeddynt dan eu llywodraeth hwy; *ac a aethant i ymladd âg Ismael*—sef i ddial y gwaed a dywalltodd efe, ac i ryddhau y caethion a gymerasai efe ymaith, adn. 10; *ac a'i cawsant ef wrth y dyfroedd mawrion y rhai sydd yn Gibeon*—sef wrth 'lyn Gibeon,' 2 Sam. ii. 13.

Adn. 13. *A phan welodd yr holl bobl y rhai oedd gydag Ismael*] Yn cael eu caethgludo at feibion Ammon, adn. 10; *Johanan mab Careah*—a'i lu yn dyfod ar eu hol hwynt; *yna hwy a lawenychasant*—gan edrych arnynt fel gwaredwyr iddynt.

Adn. 14. *Felly yr holl bobl*] Y rhai a gaethgludasai Ismael ymaith o Mispah; *a droisant*—a gefnasant ar Ismael, ac a ymunasant â byddin Johanan.

Adn. 15. *Ond Ismael mab Nethaniah a ddiangodd*] Trwy nad oedd yn ddigon cryf a gwrol i wrthsefyll Johanan; *yn nghydag wythnyn*—o'r deg ag oedd gydag ef ar y cyntaf, adn. 1; canys yr oedd y ddau arall wedi eu lladd ond odid wrth geisio lladd Gedaliah a'i gyfeillion, neu ynte wedi ffoi ymaith; *oddigan Johanan*—rhag ofn Johanan; *ac a aeth at feibion Ammon*—heb ei ysglyfaeth ganddo. Nid oes genym hanes pa beth a ddaeth o hono ef ar ol hyn.

Adn. 16. *Yna Johanan*] A'i wŷr, yn lle ymlid ar ol Ismael; *a gymerasant holl weddill y bobl*—y rhai a ddiangasent oddiwrth Ismael; *sef cedyrn ryfelwyr*—yn perthyn ond odid i'r Caldeaid, adn. 3; *a'r gwragedd a'r plant*—y rhai a adewsid dan ofal Gedaliah, neu ordderchadon Zedeciah a'u plant; *a'r ystafellyddion*—Saes., 'eunuchiaid,' y rhai fe allai a weinyddent i'r gordderchadon hyny.

Adn. 17. *A hwy a aethant oddiyno*] Sef o Gibeon; *ac a eisteddasant yn nhrigfa Cimham, yn agos at Bethlehem*—sef yn y rhandir a roddasai Dafydd i Cimham mab Barsilai, 2 Sam. xix. 38, &c.; *i fyned i'r Aifft*—yr un modd ag y mynai Ismael eu dwyn hwy i wlad yr Ammoniaid.

mab Ahicam, yr hwn a roddasai brenin Babilon yn llywydd yn y wlad.

## PENNOD XLII.

FELLY holl dywysogion y llu, a Johanan mab Careah, a Jezaniah mab Hosaiah, a'r holl bobl, o fychan hyd fawr, a nesasant,
2 Ac a ddywedasant wrth Jeremi y proffwyd, Atolwg, gwrando ein deisyfiad ni, a gweddia drosom ni ar yr Arglwydd dy Dduw, *sef* dros yr holl weddill hyn, (canys nyni a adawyd o lawer yn ychydig, fel y mae dy lygaid yn ein gweled ni,)
3 Fel y danghoso yr Arglwydd dy Dduw i ni y ffordd y mae i ni rodio ynddi, a'r peth a wnelom.
4 Yna Jeremi y proffwyd a ddywedodd wrthynt, Myfi a'*ch* clywais *chwi;* wele, mi a weddiaf ar yr Arglwydd eich Duw yn ol eich geiriau chwi, a pheth bynag a ddywedo yr Arglwydd am danoch, myfi a'*i* mynegaf i chwi: nid attaliaf ddim oddiwrthych.
5 A hwy a ddywedasant wrth Jeremi, Yr Arglwydd fyddo dyst cywir a ffyddlon rhyngom ni, onis gwnawn yn ol pob gair a anfono yr Arglwydd dy Dduw *gyda* thi atom ni.
6 Os da neu os drwg *fydd,* ar lais yr Arglwydd ein Duw (yr hwn yr ydym ni yn dy anfon ato) y gwrandawn ni; fel y byddo da i ni, pan wrandawom ar lais yr Arglwydd ein Duw.
7 ¶ Ac yn mhen y deng niwrnod y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi.
8 Yna efe a alwodd ar Johanan mab Careah, ac ar holl dywysogion y llu y rhai *oedd* gydag ef, ac *ar* yr holl bobl o fychan hyd fawr,
9 Ac a ddywedodd wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel, yr hwn yr anfonasoch fi ato i roddi i lawr eich gweddiau ger ei fron ef;
10 Os trigwch chwi yn wastad yn

---

Adn. 18. *Rhag y Caldeaid*] Canys yr oeddynt yn ofni, os arhosent yn Judea, y byddai i'r Caldeaid ladd holl weddill yr Iuddewon, o herwydd i Ismael ladd Gedaliah, yr hwn a osodwyd gan frenin Babilon yn llywydd yn y wlad. Ond nid oedd un achos i Johanan ofni hyny, yn enwedig gan iddo ef ymdrechu mor wrol yn erbyn Ismael a'i gydlofruddion, fel yr adroddwyd uchod.

PEN. XLII. Adn. 1. *Felly holl dywysogion y llu*] Y rhai oeddynt gyda Johanan a Jezaniah; *a'r holl bobl o fychan hyd fawr*—y rhai a waredwyd oddiwrth Ismael; *a nesasant*—at Jeremi, yr hwn a waredwyd ond odid gan ragluniaeth Duw rhag cynddaredd Ismael.

Adn. 2. *Ac a ddywedasant wrth Jeremi y proffwyd*] A ddeisyfasant iddo ef weddio drostynt hwy am gyfarwyddyd iddynt oddiwrth yr Arglwydd.

Adn. 3. *Fel y danghoso yr Arglwydd dy Dduw i ni y ffordd y mae i ni rodio ynddi*] Hyny yw, pa beth sydd ddoethaf i ni ei wneuthur rhagllaw er diogelwch i ni ein hunain, ac er gogoniant iddo yntau.

Adn. 4. *Yna Jeremi y proffwyd a ddywedodd wrthynt*] Yn barod a diragrith, *Mi a'ch clywais chwi*—hyny yw, mi a wnaf yr hyn a geisiwch. *Wele, mi a weddiaf ar yr Arglwydd eich Duw*—yn adn. 3, dywedent hwy, 'yr Arglwydd *dy* Dduw;' ac yma dywed Jeremi, 'yr Arglwydd *eich* Duw,' i adgofio iddynt eu perthynas gyfammodol âg ef, a'u rhwymedigaethau iddo. *A pheth bynag a ddywedo yr Arglwydd am danoch, myfi a'i mynegaf i chwi*—yn ffyddlon, heb gelu dim.

Adn. 5. *A hwy a ddywedasant wrth Jeremi, Yr Arglwydd fyddo dyst, &c.*] Y maent yn apelio at Dduw, yr hwn oedd dyst cywir a ffyddlon o'r hyn oll a addawent, y byddai iddynt wneyd pa beth bynag a ddywedai efe wrthynt hwy trwy y proffwyd. Ond yn hyn yr oeddynt yn rhagrithiol, adn. 20.

Adn. 6. *Os da neu os drwg fydd*] Os dymunol neu annymunol genym fydd yr hyn a ddywed yr Arglwydd wrthyt o berthynas i ni; *ar lais yr Arglwydd ein Duw*—yr hwn yr ydym ni yn dy anfon ato, *y gwrandawn ni*—i ufyddhau iddo yn hollol; *fel y byddo da i ni*—o wneuthur felly.

Adn. 7. *Ac yn mhen y deng niwrnod*] Cadwyd hwynt cyhyd a hyny mewn petrusder heb atebiad, fe allai i'w cospi hwynt am eu rhagrith, neu i ddangos iddynt mai nid o'i ben ei hun yr oedd Jeremi yn llefaru, ond ei fod yn gorfod dysgwyl am atebiad yn amser Duw; *y daeth gair yr Arglwydd at Jeremi*—sef y gair ag y cyfeiriwyd ato pen. xl. 1, ac a adroddir isod, adn. 10, &c. Nid yw y ddwy bennod flaenorol, a'r rhan gyntaf o'r bennod hon, ddim ond rhagarweiniad hanesyddol i air yr Arglwydd atynt hwy.

Adn. 8. *Yna efe a alwodd ar Johanan, &c.*] Ar ol i'r proffwyd dderbyn atebiad gan yr Arglwydd, efe a gynullodd yr holl bobl yn nghyd i'w glywed ef.

Adn. 9. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel*] Sef eich Duw cyfammodol chwi; *yr hwn yr anfonasoch fi ato*—fel eich

y wlad hon, myfi a'ch adeiladaf
chwi, ac nis tynaf i lawr, myfi a'ch
planaf chwi, ac nis diwreiddiaf:
oblegid y mae yn edifar genyf am y
drwg a wnaethym i chwi.
11 Nac ofnwch rhag brenin Ba-
bilon, yr hwn y mae arnoch ei ofn;
nac ofnwch ef, medd yr Arglwydd:
canys myfi *a fyddaf* gyda chwi i'ch
achub, ac i'ch gwaredu chwi o'i
law ef.
12 A mi a roddaf i chwi drugar-
edd, fel y trugarhao efe wrthych,
ac y dygo chwi drachefn i'ch gwlad
eich hun.
13 ¶ Ond os dywedwch, Ni thrig-
wn ni yn y wlad hon, heb wrando
ar lais yr Arglwydd eich Duw,
14 Gan ddywedyd, Nagê: ond i
wlad yr Aifft yr awn ni, lle ni wel-
wn ryfel, ac ni chlywn sain udgorn,
ac ni bydd arnom newyn bara, ac
yno y trigwn ni:
15 Am hyny, O gweddill Juda,
gwrandewch yn awr air yr Ar-
glwydd, Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd, Duw Israel, Os chwi gan
osod a osodwch eich wynebau i fyn-
ed i'r Aifft, ac a ewch i ymdeithio
yno,
16 Yna y bydd i'r cleddyf, yr
hwn yr ydych yn ei ofni, eich go-
ddiwes chwi yno yn nhir yr Aifft;
a'r newyn yr hwn yr ydych yn
gofalu rhagddo, a'ch dylyn chwi yn
yr Aifft; ac yno y byddwch feirw.
17 Felly y bydd i'r holl wŷr a
osodasant eu hwynebau i fyned i'r
Aifft, i aros yno, hwy a leddir â'r
cleddyf, â newyn, ac â haint: ac ni
bydd un o honynt yn ngweddill,
neu yn ddiangol, gan y dialedd a
ddygaf fi arnynt.
18 Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel,
Megys y tywalltwyd fy llid a'm dig-
ofaint ar breswylwyr Jerusalem;
felly y tywelltir fy nigofaint arnoch
chwithau, pan ddeloch i'r Aifft: a
chwi a fyddwch yn felldith, ac yn
syndod, ac yn rheg, ac yn warth, ac
ni chewch weled y lle hwn mwyach.
19 ¶ O gweddill Juda, yr Ar-
glwydd a ddywedodd am danoch,

---

cenad; *i roddi i lawr eich gweddiau ger ei fron ef*—neu i lawr wrth ei draed.

Adn. 10. *Os trigwch chwi yn wastad yn y wlad hon*] Heb feddwl am fyned i'r Aifft; *myfi a'ch adeiladaf chwi, &c.*—myfi a'ch diogelaf, a'ch llwyddaf, ac a'ch gwnaf yn bobl ddedwydd: *oblegid y mae yn edifar genyf am y drwg a wnaethym i chwi*—hyny yw, efe a dosturiai wrthynt, ac a newidiai ei ymddygiad tuag atynt, fel pe buasai wedi edifarhau am eu cospi: gwel ar pen. xviii. 8. Nid ydym i gasglu oddiyma fod Duw o'r blaen wedi gwneyd cam â hwynt; eithr y meddwl yw, y gwnai efe o hyny allan drugaredd â hwynt, yn lle cyfiawnder manwl.

Adn. 11. *Nac ofnwch rhag brenin Babilon*] Y bydd iddo ef ddial gwaed Gedaliah arnoch chwi, pen. xli. 18; *canys myfi a fyddaf gyda chwi*—i'ch cadw rhag iddo wneuthur niwed i chwi.

Adn. 12. *A mi a roddaf i chwi drugaredd, fel y trugarhao efe wrthych*] Nid yn unig fel y peidio efe â gwneyd niwed i chwi, ond fel ag i'w dueddu i wneyd daioni i chwi; *ac y dygo chwi drachefn i'ch gwlad eich hun*—y meddwl yw, y caent eu rhyddid drachefn yn eu gwlad eu hun, a mwynhau eu hetifeddiaethau a'u breintiau blaenorol; canys yr oeddynt hwy eisioes yn eu gwlad.

Adn. 13. *Ond os dywedwch, Ni thrigwn ni yn y wlad hon*] Er i'r Arglwydd orchymyn i ni drigo ynddi.

Adn. 14. *Ond i wlad yr Aifft yr awn ni, lle ni welwn ryfel*] Oddiwrth unrhyw elynion; *ac ni chlywn sain udgorn*—yn galw i ryfel; *ac ni bydd arnom newyn bara*—yr hyn yn annghrediniol a ofnent os arhosent yn Judea; *ac yno y trigwn ni*—yn ddiogel byth.

Adn. 15. *Am hyny, O gweddill Juda*] Y rhai ni chaethgludwyd i Babilon gyda'ch brodyr; *gwrandewch yn awr air yr Arglwydd*—trwy fy ngenau i: *Os chwi gan osod a osodwch eich wynebau i fyned i'r Aifft*—yn groes i ewyllys Duw.

Adn. 16, 17. *Yna y bydd i'r cleddyf yr hwn yr ydych yn ei ofni*] Yn ngwlad Judea; *eich goddiwes chwi yno yn nhir yr Aifft*—yn nghyda newyn a haint: hyny yw, bydd i'r holl ddrygau ag yr ydych yn eu hofni yn y wlad hon, gyfarfod â chwi yn y wlad hòno, fel na bydd i gymaint ag un o honoch allu dianc rhag marwolaeth.

Adn. 18. *Megys y tywalltwyd fy llid a'm digofaint ar breswylwyr Jerusalem*] Trwy law y Caldeaid; *felly y tywelltir fy nigofaint arnoch chwithau*—yn yr Aifft: *a chwi a fyddwch yn felldith ac yn syndod, &c.*—gwel ar pen. xviii. 16. Yr oedd yr Hebreaid gynt yn ffieidd-dra i'r Aifftiaid, Gen. xliii. 32; ond byddent yn fwy felly yn awr nag erioed: byddai barnedigaethau Duw mor drwm arnynt, nes peri i bawb eu hwfftio, synu wrthynt, a'u gwawdio am eu beiau. *Ac ni chewch weled y lle hwn mwyach*—yr hyn a wnai eu cyflwr yn waeth nag eiddo eu brodyr yn Babilon; canys cai y rhai hyny ddychweiyd i'w gwlad yn mhen 70 mlynedd.

Adn. 19. *O gweddill Juda*] Gwel ar adn. 15; *yr Arglwydd a ddywedodd am danoch*

Nac ewch i'r Aifft: gwybyddwch
yn hysbys i mi eich rhybyddio chwi
heddyw.
20 Canys rhagrithiasoch yn eich
calonau, wrth fy anfon i at yr Ar-
glwydd eich Duw, gan ddywedyd,
Gweddia drosom ni ar yr Arglwydd
ein Duw, a mynega i ni yn ol yr
hyn oll a ddywedo yr Arglwydd ein
Duw, a nyni a'*i* gwnawn.
21 A mi a'*i* mynegais i chwi
heddyw, ond ni wrandawsoch ar
lais yr Arglwydd eich Duw, nac ar
ddim oll a'r y danfonodd efe fi at-
och o'i blegid.
22 Ac yn awr gwybyddwch yn
hysbys, mai trwy y cleddyf, *a* thrwy
newyn, a thrwy haint, y byddwch
chwi feirw yn y lle yr ydych yn
ewyllysio myned i ymdeithio yno.

## PENNOD XLIII.

A PHAN ddarfu i Jeremi lefaru
wrth yr holl bobl holl eiriau yr
Arglwydd eu Duw, am y rhai yr
anfonasai yr Arglwydd eu Duw ef
atynt, *sef* yr holl eiriau hyn:
2 Yna y llefarodd Azariah mab
Hosaiah, a Johanan mab Careah,
a'r holl ddynion beilchion, gan ddy-
wedyd wrth Jeremi, Celwydd yr
wyt ti yn ei ddywedyd; ni anfonodd
yr Arglwydd ein Duw ni mo honot
ti i ddywedyd, Nac ewch i'r Aifft i
ymdeithio yno.
3 Eithr Baruch mab Neriah a'th
annogodd di i'n herbyn ni, i gael
ein rhoddi ni yn llaw y Caldeaid,
i'n lladd, ac i'n caethgludo i Ba-
bilon.
4 Ond ni wrandawodd Johanan
mab Careah, na holl dywysogion y
llu, na'r holl bobl, ar lais yr Ar-
glwydd, i drigo yn nhir Juda:
5 Eithr Johanan mab Careah, a
holl dywysogion y llu, a ddygasant
ymaith holl weddill Juda, y rhai a
ddychwelasent oddiwrth yr holl

—yn ei atebiad uchod, yn gystal ag yn mhob rhan arall o'i air; *Nac ewch i'r Aifft*—a phaham y gwaharddai efe hyny iddynt mor fynych? Yr atebiad yw, rhag iddynt gydymffurfio âg arferion y wlad hòno, a syrthio i eilunaddoliaeth, i'r hyn y gwelai efe ynddynt duedd barhaus: gwel ar Deut. xvii. 16. *Gwybyddwch yn hysbys i mi eich rhybyddio chwi heddyw*—ac am hyny nis gellwch ddadlu anwybodaeth o'r drwg o anufyddhau i air yr Arglwydd, a bydd eich gwaed ar eich penau eich hunain.

Adn. 20. *Canys rhagrithiasoch yn eich calonau*] Hebr., 'arferasoch dwyll yn erbyn eich eneidiau,' wrth anfon o honoch fi i weddio drosoch ar yr Arglwydd, ac wrth addaw trwy lw y gwnaech pa beth bynag a ddywedai efe wrthych, adn. 5, 6.

Adn. 21. *A mi a'i mynegais i chwi heddyw*] A fynegais i chwi atebiad Duw, a'r perygl i chwi anufyddhau iddo: *ond ni wrandawsoch ar lais yr Arglwydd eich Duw*—neu 'ni wrandewch.' Ond pa fodd y gwyddai Jeremi na wrandawent hwy? Efe a wyddai hyny naill ai oddiwrth eu hymadroddion hwy yn ystod y deng niwrnod ag y buwyd yn dysgwyl am atebiad, adn. 7, neu oddiwrth eu hagwedd yn awr tra yr oedd efe yn traddodi cenadwri Duw iddynt, neu ynte trwy ddatguddiad dwyfol.

Adn. 22. *Ac yn awr gwybyddwch yn hysbys mai trwy y cleddyf, &c.*] Fel pe dywedasai, Gan eich bod chwi yn penderfynu anufyddhau i Dduw, y mae Duw yn penderfynu eich cospi chwithau; a lle yr ydych chwi yn dysgwyl cael bywyd dedwydd, yno y cyfarfyddwch â marwolaeth druenus, trwy y cleddyf, a thrwy newyn, a thrwy haint.

PEN. XLIII. Adn. 1. *A phan ddarfu i Jeremi lefaru wrth yr holl bobl*] Yr holl eiriau ag y gorchymynasai yr Arglwydd iddo ef eu llefaru wrthynt, i'r dyben i'w hattal rhag myned i'r Aifft.

Adn. 2. *Yna y llefarodd Azariah mab Hosaiah*] Brawd fe allai i 'Jezaniah mab Hosaiah,' pen. xlii. 1, er y tybia rhai mai enw arall ar yr un gŵr yw 'Azariah,' yr hyn oedd beth tra mynych yr amser hwnw; *a Johanan mab Careah*—yr hwn a waredasai y bobl o feddiant Ismael, pen. xli. 13, &c.; *a'r holl ddynion beilchion*—sef tywysogion y llu ac ereill, y rhai a wrthodasant ufyddhau i Dduw fel yr adroddwyd uchod, pan yr oedd ei orchymyn ef yn croesi eu hewyllys hwy; *gan ddywedyd wrth Jeremi, Celwydd yr wyt ti yn ei ddywedyd*—yw yr hyn oll a draethaist; *ni anfonodd yr Arglwydd ein Duw ni mo honot ti*—i'n hattal ni rhag myned i'r Aifft.

Adn. 3. *Eithr Baruch mab Neriah*] Am yr hwn gwel pen. xxxvi. 4, &c.; *a'th annogodd di i'n herbyn ni*—i'n perswadio ni i aros yn Judea, fel y gallo y Caldeaid ein caethgludo ni oddiyno i Babilon.

Adn. 4. *Ond ni wrandawodd Johanan*] Na neb o'r tywysogion na'r bobl; *ar lais yr Arglwydd, i drigo yn nhir Juda*—a thrwy hyny rhoddasant brawf amlwg mai *rhagrithio* yr oeddynt wrth addaw gwneyd pa beth bynag a orchymynai yr Arglwydd iddynt, fel y dywedodd Jeremi am danynt, pen. xlii. 20.

Adn. 5. *Eithr Johanan mab Careah*] Yr hwn ond odid oedd yn ben ar yr holl dywysogion ereill; *a ddygasant ymaith holl weddill Juda*—y rhai a adawsai Nebuzaradan gynt dan ofal Gedaliah, yn nghyda'r rhai oll a ddychwelasent oddiwrth genhedloedd ereill pan

genhedloedd lle y gyrasid hwynt, i
aros yn ngwlad Juda:
6 Yn wŷr, a gwragedd, a phlant,
a merched y brenin, a phob enaid
a'r a adawsai Nebuzaradan penaeth
y milwyr gyda Gedaliah mab Ahic-
am mab Saphan, y proffwyd Jeremi
hefyd, a Baruch mab Neriah.
7 Felly hwy a ddaethant i wlad
yr Aifft: canys ni wrandawsant ar
lais yr Arglwydd; fel hyn y daeth-
ant i Tapanhes.
8 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth
at Jeremi yn Tapanhes, gan ddy-
wedyd,
9 Cymer yn dy law gerig mawr-
ion, a chuddia hwynt yn y clai yn
yr odyn briddfaen, yr hon *sydd* yn
nrws tŷ Pharao, yn Tapanhes, yn
ngolwg gwŷr Juda;
10 A dywed wrthynt, Fel hyn y
dywed Arglwydd y lluoedd, Duw
Israel, Wele, mi a anfonaf, ac a gy-
meraf Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon fy ngwas, ac a osodaf ei fren-
hinfainc ef ar y cerig hyn y rhai a
guddiais, ac efe a daena ei frenhin-
ol babell arnynt.
11 A phan ddelo, efe a dery wlad
yr Aifft; y rhai *sydd* i angau, âg
angau; a'r rhai *sydd* i gaethiwed, â
chaethiwed; a'r rhai *sydd* i'r cledd-
yf, â'r cleddyf.
12 A mi a gyneuaf dân yn nhai
duwiau yr Aifft, ac efe a'u llysg
hwynt, ac a'u caethgluda hwynt;
ac efe a ymwisg â gwlad yr Aifft fel
y gwisg bugail ei ddillad: ac efe a
â allan oddiyno mewn heddwch.
13 Ac efe a dyr ddelwau tŷ yr
haul, yr hwn *sydd* yn ngwlad yr
Aifft; ac efe a lysg dai duwiau yr
Aifft â thân.

## PENNOD XLIV.

Y GAIR yr hwn a ddaeth at Jere-
mi, am yr holl Iuddewon y rhai

---

glywsant ei fod ef yn llywydd ar y wlad, pen. xl. 11, 12.

Adn. 6. *Yn wŷr, a gwragedd, a phlant*] Sef pawb o bob oedran a gradd yn Judea; *a merched y brenin*—gwel ar pen. xli. 10; *y proffwyd Jeremi hefyd a Baruch*—er fod Jeremi a Baruch, a llawer ereill hefyd ond odid, yn anfoddlon i fyned gyda hwy i'r Aifft, eto gorfodwyd hwynt i fyned gan y tywysogion uchod; ac felly gellir edrych ar y proffwyd a'i gyfeillion duwiol y pryd hyn fel math ar garcharorion gan eu cydwladwyr eu hunain! Eithr goddefodd yr Arglwydd hyn, fel y gallai Jeremi gyhoeddi bygythion yn erbyn yr Aifftiaid yn gystal a'r Iuddewon.

Adn. 7. *Felly hwy a ddaethant i wlad yr Aifft*] Yn groes i ewyllys a gorchymyn yr Arglwydd; *i Tapanhes*—yr un ond odid a *Hanes*, Esay xxx. 4, yr hon oedd ddinas frenhinol, adn. 9. Gelwir hi *Daphne* gan y Groegiaid, ac yr oedd yn sefyll yn nherfyn yr Aifft Isaf, yn agos i Heliopolis. Dywed *Jerome* fod traddodiad yn ei amser ef mai yma y lladdwyd Jeremi, yn fuan wedi hyn, gan ei gydwladwyr drygionus.

Adn. 8. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jeremi yn Tapanhes*] Canys er fod Jeremi yn nghanol paganiaid eilunaddolgar ac Iuddewon bradwrus yn yr Aifft, gwyddai Duw yn mha le yr ydoedd.

Adn. 9. *Cymer yn dy law gerig mawrion*] I fod yn arwyddion; *a chuddia hwynt yn y clai*—o wydd yr Aifftiaid, ac eto yn ngolwg yr Iuddewon, i'r rhai yn unig yr oeddynt i fod yn arwyddion; *yn yr odyn briddfaen yr hon sydd yn nrws tŷ Pharao*—neu ar y ffordd ag sydd yn arwain at ei ddrws ef. Yr oedd palas brenhinoedd mawrion, yn yr hen amseroedd, agos gymaint a thref; a dywed *Diodorus Siculus* fod palas brenin Babilon yn bedair milldir o amgylchedd: felly gallwn feddwl fod yr odyn uchod yn mhell oddiwrth yr ystafelloedd lle y trigai y brenin.

Adn. 10. *A dywed wrthynt*] Sef wrth wŷr Juda, y rhai a ddaethent i'r Aifft i ymddiogelu rhag brenin Babilon; *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*—mewn ffordd o eglurhad ar yr arwydd uchod; *Wele, mi a anfonaf*—am Nebuchodonosor fy ngwas i ddyfod yma i'r Aifft; *ac a osodaf ei frenhinfainc ef ar y cerig hyn*—lle yr eistedda efe mewn rhwysg, dialedd, ac awdurdod. Geilw Duw ef yn *was* iddo, nid am ei fod yn addolwr Jehofa, ond am ei fod yn offeryn yn ei law ef i wneyd ei ewyllys yn y peth hwn.

Adn. 11. *A phan ddelo*] I Tapanhes, *efe a dery wlad yr Aifft*—o'r naill gwr i'r llall; *y rhai sydd i angau, âg angau, &c.*—hyny yw, efe a ladd rai, ac a gaethiwa y lleill: gwel ar pen. xv. 2.

Adn. 12. *A mi a gyneuaf dân yn nhai duwiau yr Aifft*] Nes difa yr eilunod a'u temlau: *ac efe a'u llysg hwynt, ac a'u caethgluda hwynt*—efe a lysg y duwiau coed, ac a ddwg ymaith y duwiau aur ac arian. *Ac efe a ymwisg â gwlad yr Aifft*—â'i holl gyfoeth a'i thrysorau, y rhai a yspeilir ganddo; *fel y gwisg bugail ei ddillad*—mor hawdd a hyny, ac mewn cyn lleied o amser; canys nid yw bugail yn treulio rhyw lawer o amser i ymdrwsio yn harddwych. *Ac efe a â allan oddiyno mewn heddwch*—heb i neb geisio ei attal, na dwyn ei yspail oddiarno.

Adn. 13. *Ac efe a dyr ddelwau tŷ yr haul*] Yr hwn oedd yn Heliopolis; a dywedir fod y delwau yno, trwy ba rai yr addolid yr

oedd yn trigo yn ngwlad yr Aifft, *ac* yn preswylio yn Migdol, ac yn Tapanhes, ac yn Noph, ac yn ngwlad Pathros, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, Chwi a welsoch yr holl ddrwg a ddygais i ar Jerusalem, ac ar holl ddinasoedd Juda; ac wele hwy heddyw yn anghyfanedd, ac heb breswylydd ynddynt:
3 O achos eu drygioni yr hwn a wnaethant i'm digio i, gan fyned i arogldarthu, *ac* i wasanaethu duwiau dyeithr, y rhai nid adwaenent, *na* hwy, *na* chwithau, na'ch tadau.
4 Er i mi anfon atoch fy holl weision y proffwydi, gan fore-godi, ac anfon, i ddywedyd, Na wnewch, atolwg, y ffieiddbeth hyn, yr hwn sydd gas genyf fi:
5 Eto ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clust, i ddychwelyd oddiwrth eu drygioni, fel nad arogldarthent i dduwiau dyeithr.
6 Am hyny y tywalltwyd fy llid a'm digofaint, ac y llosgodd efe yn ninasoedd Juda, ac yn heolydd Jerusalem; ac y maent hwy yn anghyfanedd, *ac* yn ddiffaethwch, fel *y gwelir* heddyw.
7 Ac yn awr fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd, Duw Israel, Paham y gwnewch y mawr ddrwg *hwn* yn erbyn eich eneidiau, i dori ymaith oddiwrthych ŵr a gwraig, plentyn, a'r hwn sydd yn sugno, allan o Juda, fel na adawer i chwi weddill?
8 Gan fy nigio i â gweithredoedd eich dwylaw, gan arogldarthu i dduwiau dyeithr yn ngwlad yr Aifft, yr hon yr aethoch i aros ynddi, i'ch dyfetha eich hunain, ac i fod yn felldith ac yn warth yn mysg holl genhedloedd y ddaear.
9 A annghofiasoch chwi ddrygioni eich tadau, a drygioni brenhinoedd Juda, a drygioni eu gwragedd hwynt, a'ch drygioni eich hunain, a

---

haul, wedi eu gwneuthur o aur cyfan. *Ac efe a lysg dai duwiau yr Aifft â thân*—yr hyn a ail adroddir, i ddangos sicrwydd y weithred.

PEN. XLIV. Adn. 1. *Y gair yr hwn a ddaeth at Jeremi am yr holl Iuddewon*] Y rhai oeddynt bellach wedi ymwasgaru dros holl wlad yr Aifft. *Ac yn preswylio yn Migdol*—neu Magdolus, dinas yn yr Aifft Isaf, nid yn mhell o Pelusium. Y mae y gair yn arwyddo *tŵr*, a dywedir fod amrai ddinasoedd yn yr Aifft yn myned ar yr enw hwn: gwel ar Exod. xiv. 2. *Ac yn Tapanhes*—lle y daethai yr Iuddewon gyntaf, a lle yr ymsefydlodd rhai o honynt, pen. xliii. 7. *Ac yn Noph*—yr un a Memphis, dinas enwog yn nghanol yr Aifft, yn agos i'r hon y mae un o'r beraon yn sefyll hyd heddyw. *Ac yn ngwlad Pathros*—rhan o'r Aifft Uwchaf, a adnabyddir wrth yr enw Thebais.

Adn. 2. *Chwi a welsoch yr holl ddrwg a ddygais i ar Jerusalem, ac ar holl ddinasoedd Juda*] Trwy law y Caldeaid; *ac wele hwy heddyw yn annghyfanedd*—heb breswylydd ynddynt.

Adn. 3. *O achos eu drygioni*] Yn addoli duwiau dyeithr, y rhai nid adwaenai neb o honoch hyd yn ddiweddar.

Adn. 4. *Er i mi anfon atoch fy holl weision y proffwydi*] O oes i oes; *gan fore-godi ac anfon*—gwel ar pen. xxv. 3, 4; *i ddywedyd*—i atolygu arnoch, yn y modd tyneraf, na wnaech y fath ffieiddbeth cas genyf fi.

Adn. 5. *Eto ni wrandawsant, ac ni ogwyddasant eu clust*] Ni ddangosasoch chwi na'ch tadau y duedd leiaf i wrando arnaf fi na'm proffwydi, nac i ddychwelyd oddiwrth eich eilunaddoliaeth: gwel ar pen. xxv. 3, 4.

Adn. 6. *Am hyny y tywalltwyd fy llid a'm digofaint*] Ar ddinasoedd Juda, i'w gwneuthur hwynt yn annghyfanedd ac yn ddiffaethwch, fel y maent heddyw.

Adn. 7. *Ac yn awr fel hyn y dywed Arglwydd Dduw y lluoedd*] Wrth yr Iuddewon hyn yn yr Aifft; *Paham y gwnewch y mawr ddrwg hwn yn erbyn eich eneidiau*—yn eich erbyn eich hunain, yn gystal ag yn erbyn Duw; *i dori ymaith oddiwrthych ŵr a gwraig*—i ddwyn dinystr cyffredinol ar yr holl weddill o honoch, yn fychan a mawr? Yr oedd Duw wedi bwriadu i'r gweddill hyn drigo yn ngwlad *Juda*, a'i meddiannu hi; ond trwy iddynt fyned i'r Aifft, ac ymhalogi âg eilunaddoliaeth yr Aifftiaid, yr oeddynt yn annog Duw i'w llwyr ddyfetha hwynt.

Adn. 8. *Gan fy nigio i â gweithredoedd eich dwylaw*] Trwy wneuthur a gosod i fyny eilunod i'w haddoli; *i'ch dyfetha eich hunain*—yr hyn oedd y canlyniad o'u heilunaddoliaeth, er nad y dyben; *ac i fod yn felldith ac yn warth yn mysg holl genhedloedd y ddaear*—i gael edrych arnynt gan bawb fel wedi eu melldithio a'u gosod yn wawd: gwel ar pen. xlii. 18, Deut. xxviii. 37.

Adn. 9. *A annghofiasoch chwi ddrygioni eich tadau*] Sef eilunaddoliaeth eich tadau o oes i oes, a'r barnedigaethau a ddisgynasant arnynt hwy am hyny; *a drygioni brenhinoedd Juda*—yn cefnogi eilunaddoliaeth; *a drygioni eu gwragedd hwynt*—y rhai, fel gwragedd Solomon, a hudent eu gwŷr i eilunaddoliaeth; neu 'ddrygioni eu *tywysogion* hwynt,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; *a'ch*

drygioni eich gwragedd, y rhai a
wnaethant hwy yn ngwlad Juda, ac
yn heolydd Jerusalem?
10 Nid ydynt wedi ymostwng
hyd y dydd hwn, ac nid ofnasant,
ni rodiasant chwaith yn fy nghyf-
raith, nac yn fy neddfau, y rhai a
roddais i o'ch blaen chwi, ac o flaen
eich tadau.
11 Am hyny fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel;
Wele, myfi a osodaf fy wyneb yn
eich erbyn chwi er niwed, ac i ddy-
fetha holl Juda.
12 A mi a gymeraf weddill Juda,
y rhai a osodasant eu hwynebau i
fyned i wlad yr Aifft i aros yno, a
hwy a ddyfethir oll; yn ngwlad yr
Aifft y syrthiant: trwy y cleddyf *a*
thrwy newyn y dyfethir hwynt: o
fychan hyd fawr, trwy y cleddyf a
thrwy newyn y byddant feirw: a
hwy a fyddant yn felldith, *ac* yn
syndod, ac yn rheg, ac yn warth.
13 Canys myfi a ymwelaf â thrig-
olion gwlad yr Aifft, fel yr ymwel-
ais â Jerusalem, â chleddyf, â new-
yn, ac â haint:
14 Fel na byddo un a ddiango,
nac a adawer o weddill Juda, y rhai
a aethant i ymdeithio yno i wlad yr
Aifft, i ddychwelyd i wlad Juda, yr
hon y mae eu hewyllys ar ddychwel-
yd i aros ynddi; canys ni ddychwel
ond y rhai a ddiangant.
15 ¶ Yna yr holl wŷr y rhai a
wyddent i'w gwragedd arogldarthu
i dduwiau dyeithr, a'r holl wragedd
y rhai oedd yn sefyll yno, cynull-
eidfa fawr, yr holl bobl y rhai oedd
yn trigo yn ngwlad yr Aifft, yn
Pathros, a atebasant Jeremi, gan
ddywedyd,
16 *Am* y gair a lefaraist ti wrth-
ym ni yn enw yr Arglwydd, ni wr-
andawn ni arnat.
17 Ond gan wneuthur y gwnawn
ni bob peth a'r a ddelo allan o'n
genau, gan arogldarthu i frenhines y
nefoedd, a thywallt iddi hi ddiodydd-
offrwm, megys y gwnaethom, nyni
a'n tadau, ein brenhinoedd a'n ty-
wysogion, yn ninasoedd Juda, ac yn
heolydd Jerusalem: canys *yna* yr
oeddem ni yn ddigonol o fara, ac yn
dda, ac heb weled drwg.

---

*drygioni eich hunain*—yn cofleidio eu heilunaddoliaeth hwy; *a drygioni eich gwragedd*—y rhai yr ymddengys eu bod yn brif offerynau yn ngwasanaeth yr eilunod bob amser, gan arogldarthu i dduwiau dyeithr, adn. 15, &c.; *y rhai a wnaethant hwy yn ngwlad Juda, ac yn heolydd Jerusalem*—yr oedd arferyd eilunaddoliaeth mewn unrhyw le yn ddrwg mawr, ond yn llawer mwy felly yn Judea a Jerusalem, sef y lle a neillduasai Duw at ei addoliad santaidd ei hun.

Adn. 10. *Nid ydynt wedi ymostwng hyd y dydd hwn*] Yn eu calonau, er eu bod wedi eu darostwng am hyny dan fy marnedigaethau i; *ac nid ofnasant*—fel ag i ddiwygio, ac ufyddhau i'm gorchymynion i.

Adn. 11. *Wele, mi a osodaf fy wyneb yn eich erbyn chwi er niwed*] Y rhai a osodasoch eich wynebau i fyned i'r Aifft, adn. 12; *ac i ddyfetha holl Juda*—sef holl wŷr Juda, y rhai a ddaethent yn wirfoddol i'r Aifft.

Adn. 12. *Yn ngwlad yr Aifft y syrthiant*] Lle y gobeithient gael hawddfyd a diogelwch: *trwy y cleddyf a thrwy newyn y dyfethir hwynt*—sef trwy yr hyn a ofnent yn eu gwlad eu hunain: *a hwy a fyddant yn felldith, &c.*—gwel ar adn. 8.

Adn. 13. *Canys myfi a ymwelaf â thrigolion gwlad yr Aifft*] Sef â'r Iuddewon yno, yn gystal a'r Aifftiaid; *fel yr ymwelais â Jerusalem*—sef â'r un drygau ag a ddisgynasant ar drigolion Jerusalem.

Adn. 14. *Fel na byddo un a ddiango, nac a adawer o weddill Juda*] Sef neb o'r rhai a aethant yno yn *wirfoddol* gyda Johanan; *i ddychwelyd i wlad Juda*—fel yr oeddynt hwy yn bwriadu gwneuthur pan welent argoel am amserau gwell: *canys ni ddychwel ond y rhai a ddiangant*—sef rhyw ychydig o nifer ag oeddynt yn yr Aifft o'r blaen, neu a orfodwyd i fyned yno yn groes i'w hewyllys, pen. xliii. 6.

Adn. 15. *Yna yr holl wŷr y rhai a wyddent i'w gwragedd arogldarthu i dduwiau dyeithr*] Ac a foddlonent i'w gweithredoedd hwy; *a'r holl wragedd y rhai oedd yn sefyll yno*—ar y pryd; *cynulleidfa fawr*—o bob parth o'r Aifft lle yr oedd Iuddewon, adn. 1; *a atebasant Jeremi*—mewn amddiffyniad iddynt eu hunain, ac i fynegu eu penderfyniad i ymlynu wrth eu heilunaddoliaeth yn barhaus.

Adn. 16. *Am y gair a lefaraist ti wrthym ni yn enw yr Arglwydd*] Yr oeddynt hwy yn awr yn cydnabod dwyfol awdurdod ei genadwri ef; *ni wrandawn ni arnat*—felly yr oeddynt hwy yn fwy rhyfygus na Johanan gynt, yr hwn ni wrandawai ar y proffwyd am ei fod yn credu, neu yn cymeryd arno gredu, na anfonodd Duw mo hono ef i lefaru wrthynt hwy, pen. xliii. 2.

Adn. 17. *Ond gan wneuthur y gwnawn ni bob peth a'r a ddelo allan o'n genau*] O'n genau ein hunain, ac nid o'th enau di; *gan arogldarthu i frenhines y nefoedd*—sef i'r lleuad, neu Venus, pen. vii. 18; *megys y gwnaethom, nyni a'n tadau, &c.*—eu rhesymau dros barhau yn eu heilunaddoliaeth hwn oedd, (1) Ei *henafiaeth:* gwnaeth eu tadau hyny. (2) Ei *barch:* gwnaeth eu brenhin-

18 Ond er pan beidiasom ag ar-
ogldarthu i frenhines y nefoedd, ac
â thywallt diod-offrwm iddi hi, bu
arnom eisiau pob *dim:* trwy gledd-
yf hefyd a thrwy newyn y darfuom
ni.
19 A phan oeddem ni yn arogl-
darthu i frenhines y nefoedd, ac yn
tywallt diod-offrwm iddi; ai heb
ein gwŷr y gwnaethom ni iddi hi
deisenau i'w haddoli hi, ac y ty-
walltasom ddiod-offrwm iddi?
20 ¶ Yna Jeremi a ddywedodd
wrth yr holl bobl, wrth y gwŷr, ac
wrth y gwragedd, ac wrth yr holl
bobl a'i hatebasant ef felly, gan
ddywedyd,
21 Oni chofiodd yr Arglwydd yr
arogldarth a arogldarthasoch chwi
yn ninasoedd Juda, ac yn heolydd
Jerusalem, chwychwi a'ch tadau,
eich brenhinoedd a'ch tywysogion,
a phobl y wlad? ac *oni* ddaeth yn ei
feddwl ef?
22 Fel na allai yr Arglwydd gyd-
ddwyn yn hwy, o achos drygioni
eich gweithredoedd, *a* chan y ffiaidd
bethau a wnaethech: am hyny yr
aeth eich tir yn annghyfanedd, ac
yn syndod, ac yn felldith, heb bres-
wylydd, megys *y gwelir* y dydd
hwn.
23 O herwydd i chwi arogldarthu,
ac am i chwi bechu yn erbyn yr
Arglwydd, ac na wrandawsoch ar
lais yr Arglwydd, ac na rodiasoch
yn ei gyfraith ef, nac yn ei ddeddf-
au, nac yn ei dystiolaethau; am
hyny y dygwyddodd i chwi yr af-
lwydd hwn, fel *y gwelir* heddyw.
24 A Jeremi a ddywedodd wrth
yr holl bobl, ac wrth yr holl wrag-
edd, Gwrandewch air yr Arglwydd,
holl Juda y rhai *ydych* yn ngwlad
yr Aifft.
25 Fel hyn y llefarodd Arglwydd
y lluoedd, Duw Israel, gan ddywed-
yd, Chwychwi a'ch gwragedd a lef-
arasoch â'ch genau, ac a gyflawnas-
och â'ch dwylaw, gan ddywedyd,
Gan dalu ni a dalwn ein hadduned-
au y rhai a addunasom, am arogl-
darthu i frenhines y nefoedd, ac am
dywallt diod-offrwm iddi; llwyr y
cwblhewch eich addunedau, a llwyr
y telwch yr hyn a addunedasoch.
26 Am hyny gwrandewch air yr
Arglwydd, holl Juda y rhai sydd

---

oedd a'u tywysogion yr un peth. (3) Ei *gyhoeddusrwydd:* gwnaed ef yn ninasoedd Juda ac yn heolydd Jerusalem. (4) Ei *fuddioldeb:* yr oeddynt trwy hyny yn cael digon o fara, ac yn dda eu cyflwr, ac heb weled dim drwg.

Adn. 18. *Ond er pan beidiasom âg arogldarthu i frenhines y nefoedd*] Gan gael eu hattal ond odid trwy ddylanwad proffwydi yr Arglwydd, neu trwy gyfyngderau yr amseroedd; *bu arnom eisiau pob dim*—dyma eu rheswm olaf dros arogldarthu a thywallt diodydd-offrwm i frenhines y nefoedd: *trwy gleddyf hefyd a thrwy newyn y darfuom ni*—hwy a gyfeirient ond odid at amser gwarchaead Jerusalem. Eithr dylasent gydnabod mai hyn a fu o herwydd eu heilunaddoliad, ac nid o herwydd iddynt beidio âg ef, neu ei roddi heibio.

Adn. 19. *A phan oeddem ni yn arogldarthu i frenhines y nefoedd*] Hyn a ddywedir gan y gwragedd yn unig; *ai heb ein gwŷr y gwnaethom ni iddi hi deisenau i'w haddoli hi*—ai yn ddiarwybod iddynt hwy, neu heb eu cydsyniad, neu eu cydweithrediad? Ystyrient gydsyniad eu gwŷr fel yn eu hawdurdodi hwy i dori cyfraith Duw

Adn. 20. *Yna Jeremi a ddywedodd*] Wrth bawb a'i hatebasant ef felly.

Adn. 21. *Oni chofiodd yr Arglwydd yr arogldarth, &c.*] Fel ag i'ch cospi chwi oll am dano yn y diwedd, er iddo ef yn ei amynedd eich arbed am hir amser? *ac oni ddaeth yn ei feddwl ef*—eich beiau ysgeler?

Adn. 22. *Fel na allai yr Arglwydd gydddwyn yn hwy*] Er maint ei amynedd a'i hwyrfrydigrwydd i lid; *o achos drygioni eich gweithredoedd*—rhyfygus a ffiaidd: *am hyny yr aeth eich tir yn annghyfanedd*—trwy law y Caldeaid; *ac yn syndod ac yn felldith*—yn ngolwg pawb, adn. 8.

Adn. 23. *O herwydd i chwi arogldarthu, &c.*] O herwydd eich eilunaddoliaeth, a'ch holl bechodau ereill, y daeth yr aflwydd hwn i chwi; ac nid o achos i chwi eu gadael heibio, fel y dywedwch chwi, adn. 18.

Adn. 24. *A Jeremi a ddywedodd*] Yn mhellach wrth yr holl Iuddewon ag oeddynt yn yr Aifft.

Adn. 25. *Chwychwi a'ch gwragedd a lefarasoch â'ch genau*] Yr arogldarthech i frenhines y nefoedd; *ac a gyflawnasoch â'ch dwylaw*—yr hyn a addunedasoch. *Llwyr y cwblhewch eich addunedau*—yr oeddynt yn penderfynu cyflawni eu holl addunedau, gan edrych arnynt fel rhwymau cydwybod, y rhai ni allent eu tori. Yr oeddynt yn hyn yn debyg i Herod wedi hyny gyda'i lw annghyfreithlon, Mat. xiv. 9.

Adn. 26. *Am hyny gwrandewch air yr Arglwydd*] Sef ei benderfyniad yntau. *Wele, myfi a dyngais i'm henw mawr*—gan eu bod hwy wedi gwneuthur llw annuwiol yn erbyn Duw, wele yntau yn gwneuthur llw yn eu herbyn hwythau. *Na elwir fy enw i mwyach o fewn holl wlad yr Aifft*—ymddengys fod yr Iuddewon hyn yn yr Aifft yn tyngu i

yn aros yn ngwlad yr Aifft; Wele,
myfi a dyngais i'm henw mawr,
medd yr Arglwydd, na elwir fy enw
i mwyach, o fewn holl wlad yr
Aifft yn ngenau un gŵr o Juda, gan
ddywedyd, Byw yw yr Arglwydd
Dduw.
27 Wele, mi a wyliaf arnynt hwy
er niwed, ac nid er daioni: a holl
wŷr Juda, y rhai *sydd* yn ngwlad
yr Aifft, a ddyfethir â'r cleddyf, ac
â newyn, hyd oni ddarfyddont.
28 A'r rhai *a* ddiangant gan y
cleddyf, *ac* a ddychwelant o wlad
yr Aifft i wlad Juda, *fyddant* ych-
ydig o nifer: a holl weddill Juda,
y rhai a aethant i wlad yr Aifft i
aros yno, a gânt wybod gair pwy a
saif, ai yr eiddof fi, ai yr eiddynt
hwy.
29 ¶ A hyn *fydd* yn arwydd i
chwi, medd yr Arglwydd, *sef* yr
ymwelaf â chwi yn y lle hwn, fel y
gwypoch y saif fy ngeiriau i'ch er-
byn chwi er niwed.
30 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Wele, myfi a roddaf Pharao-hoph-
ra brenin yr Aifft yn llaw ei elyn-
ion, ac yn llaw y rhai sydd yn ceis-
io ei einioes ef, fel y rhoddais i
Zedeciah brenin Juda yn llaw Ne-
buchodonosor brenin Babilon ei
elyn, a'r hwn oedd yn ceisio ei
einioes.

## PENNOD XLV.

Y GAIR yr hwn a lefarodd Jeremi y proffwyd wrth Baruch mab Neriah, pan ysgrifenasai efe y geiriau hyn o enau Jeremi mewn llyfr, yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim mab Josiah brenin Juda, gan ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Duw Israel, wrthyt ti, Baruch;
3 Tydi a ddywedaist, Gwae fi yn

---

Jehofa, neu yn ei addoli ef mewn rhyw fodd, ar yr un pryd ag yr arogldarthent i eilunod, yr un fath a'r Samariaid o'u blaen hwy, 2 Bren xvii. 33; ond yma tystia Duw trwy lw difrifol, na oddefai efe i'w enw santaidd gael ei halogi yn hwy gan y fath ragrithwyr, eithr y byddai iddo eu dyfetha hwynt. *Byw yw yr Arglwydd Dduw*—gwel ar pen. iv. 2, a v. 2.

Adn. 27. *Wele, mi a wyliaf arnynt hwy er niwed*] Fel dialydd y gwaed yn chwilio am gyfle i ddyfetha ei elyn; *hyd oni ddarfyddont*—yn gwbl o'r wlad, trwy y cleddyf neu trwy ddianc.

Adn. 28. *A'r rhai a ddiangant gan y cleddyf*] Neu *rhag* y cleddyf; *ac a ddychwelant o wlad yr Aifft i wlad Juda*—ar ddyfodiad Nebuchodonosor i mewn i'r Aifft; *fyddant ychydig o nifer*—mewn cymhariaeth i'r rhai a ddychwelant o Babilon i wlad Juda yn niwedd y 70 mlynedd: gwel ar adn. 14. *A holl weddill Juda*—y rhai a aethant i'r Aifft yn *wirfoddol* gyda Johanan; *a gânt wybod gair pwy a saif*—ai eiddo Duw yr hwn sydd yn eu bygwth, ynte yr eiddynt hwy y rhai a addawant iddynt eu hunain lwyddiant a diogelwch. Myn Duw fod yn eirwir, er i bob dyn fod yn gelwyddog; canys pa fwriadau bynag fyddo yn nghalon dyn, 'cynghor yr Arglwydd, hwnw a saif,' Diar. xix. 21.

Adn. 29. *A hyn fydd yn arwydd i chwi*] Y saif fy ngeiriau i i'ch erbyn chwi er niwed, sef yr hyn a grybwyllir yn yr adnod nesaf.

Adn. 30. *Wele, myfi a roddaf Pharao-hophra brenin yr Aifft*] Neu 'Pharao-Apries,' fel y gelwir ef gan awduron cyffredin, yr hwn a ddaeth i'r orsedd ar ol Pharao-necho, 2 Bren. xxiv. 29—35; *yn llaw ei elynion, y rhai sydd yn ceisio ei einioes ef*—sef ei ddeiliaid ei hun, y rhai o'r diwedd a'i llindagasant ef yn ei balas, fel yr adroddir gan *Herodotus*, llyfr ii. pen. 169, a chan *Diodorus Siculus*, llyfr i. dal. 43; *fel y rhoddais i Zedeciah brenin Juda yn llaw Nebuchodonosor*—megys yr adroddir pen. xxxix. 1—10. Yr oedd Pharao-hophra yn ddyn balch iawn, yr hwn a ymffrostiai ddarfod iddo ef sefydlu ei deyrnas mor gadarn, fel nad oedd yn bosibl i un duw ei ddifeddiannu ef o honi. Ond ei ddeiliaid, yn cael eu blaenori gan *Amasis* ei gadfridog, a wrthryfelasant i'w erbyn ef: ac yn ystod y rhyfel cartrefol hwn y daeth Nebuchodonosor i anrheithio y wlad, pryd y dyfethwyd yr Iuddewon yn yr Aifft yn ol rhagfynegiad Jeremi: gwel *Rollin's Ancient Hist.*, cyf. i; a gwel *Newton* ar y Proffwydoliaethau, cyf. i. dal. 362.

PEN. XLV. Adn. 1. *Y gair yr hwn a lefarodd Jeremi y proffwyd*] Nid o'i ben ei hun, eithr o enau yr Arglwydd; *wrth Baruch fab Neriah*—am yr hwn gwel pen. xxxvi. 4, &c.; *pan ysgrifenasai efe y geiriau hyn o enau Jeremi mewn llyfr*—hyny yw, ar ol iddo eu hysgrifenu, a chyn iddo eu darllen yn gyhoeddus, yr hyn a wnaed ar y nawfed mis o'r bummed flwyddyn i Jehoiacim, pen. xxxvi. 9, 10; *yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim*—ymddengys y dylasai y pum adnod hyn gael eu dodi i mewn ar ol adn. 4 yn pen. xxxvi; canys gwelsom o'r blaen fod annhrefn hynod yn ngosodiad pennodau a brawddegau y llyfr hwn: gwel y rhagarweiniad.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Duw Israel*] Sef Duw cyfammodol Israel; *wrthyt ti, Baruch*—i'r dyben i'th wroli i ddarllen bygythion y llyfr hwn yn erbyn gwŷr Israel a Juda.

Adn. 3. *Tydi a ddywedaist, Gwae fi yn awr!*] Efe a ddywedodd hyn yn ei galon, os

awr! canys yr Arglwydd a chwan-
egodd dristwch ar fy ngofid; myfi
a ddiffygiais yn fy ochain, ac nid
wyf yn cael gorphwysdra.
4 ¶ Fel hyn y dywedi wrtho ef,
Yr Arglwydd a ddywed fel hyn,
Wele, myfi a ddystrywiaf yr hyn a
adeiledais, a mi a ddiwreiddiaf yr
hyn a blenais, nid amgen yr holl
wlad hon.
5 Ac a geisi di fawredd i ti dy
hun? Na chais: canys wele, myfi
a ddygaf ddrwg ar bob cnawd,
medd yr Arglwydd: ond mi a rodd-
af i ti dy einioes yn ysglyfaeth yn
mha le bynag yr elych di.

## PENNOD XLVI.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a
ddaeth at Jeremi y proffwyd,
yn erbyn y cenhedloedd,
2 Yn erbyn yr Aifft, yn erbyn
llu Pharao-necho brenin yr Aifft, yr
hwn oedd wrth afon Euphrates yn
Carchemis, yr hwn a ddarfu i Ne-
buchodonosor brenin Babilon ei
daraw, yn y bedwaredd flwyddyn i

---

nid mewn geiriau; *canys yr Arglwydd a chwanegodd dristwch ar fy ngofid*—yr oedd Baruch yn *gofidio* o herwydd y barnedigaethau ag oeddynt i ddisgyn ar ei wlad; ac yn awr yr oedd y peryglon ag y gosodasai efe ei hun yn agored iddynt wrth ysgrifenu y bygythion hyny mewn llyfr, yn peri *tristwch* i'w feddwl yn chwanegol at y *gofid* hwnw. *Myfi a ddiffygiais gan fy ochain*—yn y rhagolwg ar y drygau hyny; *ac nid wyf yn cael gorphwysdra*—i fy meddwl, na dydd na nos.

Adn. 4. *Fel hyn y dywedi wrtho ef*] Yn fy enw i, i'r dyben i ddyddanu ei feddwl, ac i'w wroli i ddarllen y bygythion hyny lle y clywo yr holl bobl; *Wele, myfi a ddystrywiaf yr hyn a adeiledais*—myfi a gyflawnaf yn ddiau yr holl fygythion a gyhoeddais yn eu herbyn hwy, a'r rhai a ysgrifenaist tithau yn dy lyfr; *a mi a ddiwreiddiaf yr hyn a blenais*—gwel ar pen. xviii. 7—10; *nid amgen yr holl wlad hon*—hyny yw, mi a roddaf yr holl wlad hon a'i thrigolion, y rhai a fuont cyhyd yn wrthddrychau fy ngofal rhagluniaethol, i fyny i ddwylaw y Caldeaid i gael eu dyfetha.

Adn. 5. *Ac a geisi di fawredd i ti dy hun*] Sef anrhydedd, dedwyddwch, a diogelwch mewn gwlad fel hon, yr hon a ofwyir â'r fath drallodion? *Na chais*—na feddwl am y fath beth. *Canys wele, myfi a ddygaf ddrwg ar bob cnawd*—ar bob gradd o ddynion yn y wlad hon, o'r brenin i lawr hyd y cardotyn. *Ond mi a roddaf i ti dy einioes yn ysglyfaeth*—arbedir dy fywyd di yn nghanol yr holl chwyldroadau hyn, hyd nes y daw yr amser i ti farw yn ol trefn natur; *yn mha le bynag yr elych di*—pa un bynag ai yn yr Aifft ai yn Nghanaan y byddi.

ADFEDDYLIADAU.—Nid ydym i feddwl fod gofid Baruch yn tarddu oddiar ymgais y brenin i'w ddyfetha ef, fel yr adroddir yn pen. xxxvi. 26; canys ni chymerodd hyny le hyd ar ol hyn, sef ar ol iddo ef ddarllen y llyfr a ysgrifenasai, tua diwedd y *bummed* flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim: eithr efe a darddai oddiar olwg ar y trallodau nesaol, y peryglon ag y byddai yntau yn agored iddynt, a'r siomedigaeth a gawsai. Fe allai fod Baruch yn ŵr ieuanc y pryd hyn, a'i fod yn dysgwyl rhyw ddyrchafiad ac anrhydedd iddo ei hun ar gyfrif ei ddysg, ei athrylith, a'i dalentau; ac os felly, gwnai hyn i'r gofid ag yr oedd efe ynddo fod yn fwy annyoddefol, ac yn anhawddach i'w ddwyn. Ni flinid ni mor fawr gan ŵg y byd, pe byddai ein serch yn llai at wên y byd; canys bod yn rhy chwannog i hawddfyd sydd yn ein gwneuthur ni mor ddiamynedd mewn adfyd. Ond yma dangosir i Baruch mai ofer oedd iddo ef ddysgwyl bod yn uchel, pan y dygid pawb o'i amgylch ef i iselder: ac y dylasai fod ganddo ef rywbeth pwysicach i feddwl am dano ar y fath amser, na cheisio mawredd daearol iddo ei hun; canys yr oedd hyny fel dyn yn paentio ei gaban ei hun tra yr oedd y llong yn suddo. Ond er na chai Baruch fod yn fawr, y mae Duw yn addaw y cai efe fod yn ddiogel: ni chai yr Iuddewon na'r Caldeaid ei roddi ef i farwolaeth. Ac er i'w fywyd fod yn y perygl mwyaf, eto cedwid ef yn rhyfedd pa le bynag y byddai, ac arbedid ei einioes fel ysglyfaeth yn cael ei gipio o safn y llew.

PEN. XLVI. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Jeremi y proffwyd, yn erbyn y cenhedloedd*] Hyn sydd deitl cyffredinol i'r casgliad o broffwydoliaethau cynwysedig yn y bennod hon a'r pump canlynol. Y cenhedloedd hyn yw y rhai a nodir pen. xxv. 19—26, y rhai oeddynt oll yn dal rhyw gysylltiad â'r Iuddewon, fel gelynion, cymydogion, neu gyngheirwyr. Ni thraddodwyd yr holl broffwydoliaethau hyn ar yr un pryd: ac y mae amseriad rhai o honynt yn cael eu nodi, tra y mae dyddiad y lleill yn dra ansicr. Y maent oll wedi eu traethu mewn iaith fawreddog a phrydferth.

Adn. 2. *Yn erbyn yr Aifft*] Y mae yma ddwy broffwydoliaeth yn erbyn yr Aifft, sef yr hon a grybwyllir yma, a'r hon a grybwyllir adn. 13. *Yn erbyn llu Pharao-necho brenin yr Aifft*—hwn oedd yr un a darawodd Josiah brenin Juda yn Megido, fel y bu efe farw, 2 Bren. xxiii. 29; ac ar ol y fuddugoliaeth hono ar yr Iuddewon, efe a orchfygodd y Babiloniaid, ac a ennillodd Carchemis; ac wedi iddo gadarnhau y lle hwnw, efe a ddychwelodd i'w wlad ei hun. Wedi hyny anfonodd Nabopolassar ei fab Nebuchodonosor gyda byddin gref yn ei erbyn ef, yr hwn a'i gorchfygodd ef gyda lladdfa fawr ar lanau yr Euphrates, ac a ennillodd Carchemis yn ol, ac a ddarostyngodd yr holl daleithiau gwrthryfel-

Jehoiacim mab Josiah brenin Juda.

3 Teclwch y darian a'r astalch, a nesewch i ryfel.

4 Cenglwch y meirch, ac ewch arnynt, farchogion; sefwch yn *eich* helmau, gloewch y gwaewffyn, gwisgwch y llurigau.

5 Paham y gwelais hwynt yn ddychrynedig, wedi cilio yn eu hol, a'u cedyrn wedi eu curo i lawr, a ffoi ar ffrwst, ac heb edrych yn eu hol? dychryn *sydd* o amgylch, medd yr Arglwydd.

6 Na chaed y buan ffoi, na'r cadarn ddianc; tua'r gogledd, gerllaw afon Euphrates, y tripiant ac y syrthiant.

7 Pwy *yw* hwn *sydd* yn ymgodi fel afon, a'i ddyfroedd yn dygyfor fel yr afonydd?

8 Yr Aifft sydd fel afon yn ymgodi, a'*i* dyfroedd sydd yn dygyfor fel yr afonydd: a hi a ddywed, Mi a âf i fyny, *ac* a orchuddiaf y ddaear; myfi a ddyfethaf y ddinas, a'r rhai sydd yn trigo ynddi.

9 O feirch, deuwch i fyny; a chwithau gerbydau, ymgynddeiriogwch; a deuwch allan y cedyrn; yr Ethiopiaid, a'r Libiaid, y rhai sydd yn dwyn tarian; a'r Lydiaid, y rhai sydd yn teimlo *ac* yn annelu bwa.

10 Canys dydd Arglwydd Dduw y lluoedd *yw* hwn, dydd dial, fel yr ymddialo efe ar ei elynion: a'r cleddyf a ysa, ac a ddigonir, ac a feddwir â'u gwaed hwynt: canys aberth sydd i Arglwydd Dduw y lluoedd yn nhir y gogledd wrth afon Euphrates.

11 O forwyn merch yr Aifft, dos i fyny i Gilead, a chymer driagl: yn ofer yr arferi lawer o feddyginiaethau; canys ni *bydd* iachâd i ti.

12 Y cenhedloedd a glywsant dy

---

gar o afon yr Aifft hyd afon Euphrates, 2 Bren. xxiv. 7. *Yn y bedwaredd flwyddyn i Jehoiacim*—dyna yr amser pryd y traddodwyd y broffwydoliaeth hon.

Adn. 3. *Teclwch y darian a'r astalch*] Cyfeirir yma at barotoadau yr Aifftiaid i ryfel. Yr un arfogaeth oedd y darian a'r astalch, ond fod un yn llai ac yn ysgafnach na'r llall, neu wedi ei gwneuthur o wahanol ddefnydd: gwel ar Eph. vi. 13.

Adn. 4. *Cenglwch y meirch*] Neu cyfrwywch hwynt, ac eisteddwch arnynt; *sefwch yn eich helmau*—bydded eich helmau am eich penau i'w hamddiffyn hwynt; *gloewch y gwaewffyn*—i'w blaen-llymu; *gwisgwch y llurigau*—y rhai oeddynt wisgoedd o bres neu haiarn i ddiogelu y corff: gwel ar 1 Sam. xvii. 5.

Adn. 5. *Paham y gwelais hwynt yn ddychrynedig, &c.*] Yma dannodir i'r Aifftiaid eu llwfrdra. Pa beth! byddin gadarn, luosog, ac arfog, wedi eu curo i lawr, ac yn ffoi ar ffrwst, ac heb edrych yn ol! Y mae yr Arglwydd yn ateb, *Dychryn sydd o amgylch*—wedi eu gordoi hwynt oll; a dyna paham y gwelaist hwynt yn ffoi.

Adn. 6. *Na chaed y buan ffoi, na'r cadarn ddianc*] Eithr dalier a gorchfyger hwy; neu, 'ni chaiff y buan ffoi,' &c. *Tua'r gogledd, gerllaw afon Euphrates*—yr hon oedd yn ogleddol o'r Aifft a Judea; *y tripiant ac y syrthiant*—ac yno y drylliwyd yr Aifftiaid â lladdfa fawr, adn. 2.

Adn. 7. *Pwy yw hwn sydd yn ymgodi fel afon*] A fyddo yn chwyddo dros ei glanau, ac yn bygwth gorlifo dros yr holl wlad; *a'i ddyfroedd yn dygyfor fel yr afonydd*—neu 'fel y llifogydd?' Felly yr oedd brenin yr Aifft a'i luoedd y pryd hyn.

Adn. 8. *A hi a ddywed*] Sef yr Aifft, neu ynte ei brenin balch; *Mi a âf i fyny, ac a orchuddiaf y ddaear*—â'm byddinoedd lluosog; *myfi a ddyfethaf y ddinas*—sef Babilon neu Carchemis a'i thrigolion.

Adn. 9. *O feirch, deuwch i fyny, &c.*] Y rhai hyn ydynt eiriau Pharao, yn galw ei feirch-filwyr, ei gerbydwyr, a'i gedyrn i'r rhyfel; *yr Ethiopiaid, a'r Libiaid, a'r Lydiaid*—y rhai oeddynt mewn cynghrair â'r Aifftiaid, ac yn rhyfelwyr dewr, Ezec. xxx. 5. Efe a'u galwai oll yn nghyd yn hyderus, gan feddwl fod dydd ei fuddugoliaeth ef wedi gwawrio.

Adn. 10. *Canys dydd Arglwydd Dduw y lluoedd yw hwn*] Y rhai hyn ydynt eiriau y proffwyd, i ddangos mai dydd dialedd Duw ydoedd efe, ac nid dydd buddugoliaeth Pharao; *fel yr ymddialo efe ar ei elynion*—sef ar eilunaddolwyr cyndyn yr Aifft. *A'r cleddyf a ysa, ac a ddigonir, ac a feddwir â'u gwaed hwynt*—geiriau yn arwyddo mawredd y dinystr a syrthiai ar fyddin yr Aifft. *Canys aberth sydd i Arglwydd Dduw y lluoedd*—i'w gyfiawnder dialeddol ef yn Carchemis, adn. 2.

Adn. 11. *O forwyn merch yr Aifft*] Felly y gelwir teyrnas yr Aifft, yr hon oedd fel morwyn foethus yn byw mewn rhwysg, ac heb ei darostwng yn iawn hyd yma: *dos i fyny i Gilead, a chymer driagl*—sef balm rhinweddol i iachâu clwyfau: gwel ar pen. viii. 22. Hon sydd wawdiaith gref. *Yn ofer yr arferi lawer o feddyginiaethau*—i geisio iachâu dy glwyf cenedlaethol; *canys ni bydd iachâd i ti*—mwyach; hyny yw, ni adferid yr Aifft i'w chyflwr blaenorol.

Adn. 12. *Y cenhedloedd a glywsant dy waradwydd*] A glywsant ddarfod dy orchfygu gan y Caldeaid; *a'th waedd a lanwodd y wlad*—sef gwaedd y clwyfedigion, a galarnad-

waradwydd, a'th waedd a lanwodd y
wlad; canys cadarn wrth gadarn a
dramgwyddodd, *a* hwy ill dau a
gydsyrthiasant.
13 ¶ Y gair yr hwn a lefarodd yr
Arglwydd wrth Jeremi y proffwyd,
y deuai Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon, *ac* y tarawai wlad yr Aifft.
14 Mynegwch yn yr Aifft, cy-
hoeddwch yn Migdol, hysbyswch
yn Noph, ac yn Tapanhes: dywed-
wch, Saf, a bydd barod; oblegid y
cleddyf a ysa dy amgylchoedd.
15 Paham y syrthiodd dy rai
cryfion? ni safasant, am i'r Ar-
glwydd eu gwthio hwynt.
16 Efe a wnaeth i lawer syrthio,
ïe, pawb a syrthiodd ar eu gilydd;
a hwy a ddywedasant, Cyfodwch, a
dychwelwn at ein pobl i wlad ein
genedigaeth, rhag cleddyf y gor-
thrymwr.
17 Yno y gwaeddasant, Pharao
brenin yr Aifft *nid yw ond* trwst;
aeth dros yr amser nodedig.
18 *Fel mai* byw fi, medd y Bren-
in, enw yr hwn *yw* Arglwydd y llu-
oedd, cyn sicred *a bod* Tabor yn y
mynyddoedd, a Charmel yn y môr,
efe a ddaw.
19 O ferch drigianol yr Aifft,
gwna i ti offer caethglud; canys
Noph a fydd anghyfanedd, ac a
ddyfethir heb breswylydd.
20 Yr Aifft *sydd* anner brydferth,
y mae dinystr yn dyfod: o'r gogledd
y mae yn dyfod.
21 Ei gwŷr cyflog hefyd *sydd* o'i
mewn hi fel lloi pasgedig: canys
hwythau hefyd a droisant eu hwyn-

---

au eu perthynasau: *canys cadarn wrth gadarn a dramgwyddodd*—yr oedd un ran o'r fyddin luosog a chadarn yn gorwedd yn gelanneddau meirwon, a'r rhan arall yn cwympo ar eu traws hwy wrth geisio ffoi. Fel hyn y mae y proffwyd yn terfynu ei broffwydoliaeth gyntaf yn erbyn yr Aifft.

Adn. 13. *Y gair yr hwn a lefarodd yr Arglwydd wrth Jeremi, &c.*] Y mae hon yn broffwydoliaeth newydd am darawiad holl wlad yr Aifft gan Nebuchodonosor. Y mae amser ei thraddodiad yn ansicr. Meddylir i'r hyn a ddywedir yma gael ei gyflawni yn mhen 16 mlynedd ar ol dinystr Jerusalem.

Adn. 14. *Mynegwch yn yr Aifft*] Fod brenin Babilon yn dyfod i'w goresgyn hi; *cyhoeddwch yn Migdol*—yr un geiriau; *hysbyswch yn Noph, ac yn Tapanhes*—sef yn y rhanau hyny o'r Aifft lle yr oedd yr Iuddewon wedi ymsefydlu, pen. xliv. 1. *Dywedwch, Saf, a bydd barod*—i'th amddiffyn dy hun, ac i wrthwynebu dy elynion cedyrn; *oblegid y cleddyf a ysa dy amgylchoedd*—sef yr holl wledydd o amgylch iddi. Yr oedd y Pheniciaid, y Philistiaid, yr Ammoniaid, y Moabiaid, yr Edomiaid, y Syriaid, a'r Iuddewon, wedi eu darostwng eisioes gan gleddyf y Caldeaid.

Adn. 15. *Paham y syrthiodd dy rai cryfion?*] Wrth y rhai hyn y deallir eilunod yr Aifft, neu ei thywysogion hi. Yma atebir, *Ni safasant, am i'r Arglwydd eu gwthio hwynt i lawr*—o flaen eu gelynion.

Adn. 16. *Efe a wnaeth i lawer syrthio*] Ar draws eu gilydd, fel y crybwyllwyd adn. 12. *Cyfodwch, a dychwelwn at ein pobl i wlad ein genedigaeth*—hyn a ddywedir gan gyngbreirwyr Pharao, wrth ei weled ef a'i gedyrn yn cael eu baeddu.

Adn. 17. *Pharao brenin yr Aifft nid yw ond trwst*] Ymddengys ei fod ef cyn y frwydr yn llefaru yn ymffrostgar, fel pe buasai yn sicr o fuddugoliaeth; ond nid oedd y cyfan ddim ond sŵn heb sylwedd. *Aeth dros yr amser nodedig*—efe a gollodd y cyfleusdra i'w amddiffyn ei hun.

Adn. 18 *Fel mai byw fi, medd y Brenin*] Yma y mae Brenin mawr yr holl frenhinoedd, *enw yr hwn yw Arglwydd y lluoedd*—yr hwn y mae pawb a phob peth dan ei lywodraeth, yn tyngu iddo ei hun y cyflawnid y farn fygythiedig hon ar yr Aifft. *Cyn sicred a bod Tabor yn y mynyddoedd*—yn mhlith y mynyddoedd; *a Charmel yn y môr*—Saes., '*wrth* y môr,' sef ar lan Môr-y-canoldir; *efe a ddaw*—hyny yw, cyn sicred a bod Tabor a Charmel yn sefyll lle y maent, daw brenin Babilon yn mlaen i daro a gorchfygu yr Aifft.

Adn. 19. *O ferch drigianol yr Aifft*] Sef preswylwyr gwlad yr Aifft, y rhai a arddangosir yma dan y gyffelybiaeth o fenyw foethus; *gwna i ti offer caethglud*—sef meni a chistiau i gladdu dy eiddo: hyny yw, ymbarotoa erbyn dy symudiad ymaith fel caethforwyn. *Canys Noph a fydd anghyfanedd*—enwir Noph yma, yr un a Memphis ond odid, am ei bod yn ddinas frenhinol a phoblogaidd, yr hon a ddinystrid mor lwyr fel na adewid preswylydd o'i mewn; a byddai dinystr hon yn arwydd sier o ddinystr y dinasoedd ereill.

Adn. 20. *Yr Aifft sydd anner brydferth*] Meddylir fod yma gyfeiriad at y dduwies *Isis* neu *Juno*, yr hon a addolid yn yr Aifft ar lun anner hardd. *Y mae dinystr yn dyfod*—y fath ddinystr ag a wneir gan y cigydd wrth ddarnio cig. *O'r gogledd y mae yn dyfod*—sef o wlad y Caldeaid.

Adn. 21. *Ei gwŷr cyflog hefyd sydd o'i mewn hi fel lloi pasgedig*] Sef milwyr cyflogedig o wledydd ereill, neu uchel-swyddogion y llywodraeth, y rhai a dderbynient gyflogau mawrion, ac a oeddynt yn byw yn foethus a diofal: *canys hwythau hefyd a droisant eu hwynebau*—i ffoi ymaith gyda'u gilydd; *ac ni safasant*—i amddiffyn yr Aifft yn ei chyfyngder; *o herwydd dydd eu gofid ac amser*

ebau, *ac* a gyd[f]foisant ; *ac* ni safas-
ant, o herwydd dydd eu gofid, *ac*
amser eu gofwy a ddaethai arnynt.
22 Ei llais hi a â allan fel sarff :
canys â llu yr ânt hwy, ac â bwyill
y deuant yn ei herbyn hi, fel cy-
mynwyr coed.
23 Hwy a gymynant i lawr ei
choed hi, medd yr Arglwydd, er na
ellir ei chwilio : canys amlach fydd-
ant na'r ceiliogod rhedyn, ac heb
rifedi arnynt.
24 Merch yr Aifft a gywilyddir ;
hi a roddir yn llaw pobl y gogledd.
25 Arglwydd y lluoedd, Duw Is-
rael, sydd yn dywedyd, Wele, myfi
a ymwelaf â lluaws No, ac â Pharao,
ac â'r Aifft, ac â'i duwiau hi, ac â'i
brenhinoedd, sef â Pharao, ac â'r
rhai sydd yn ymddiried ynddo.
26 A mi a'u rhoddaf hwynt yn
llaw y rhai sydd yn ceisio eu hein-
ioes, ac yn llaw Nebuchodonosor
brenin Babilon, ac yn llaw ei weis-
ion ef ; ac wedi hyny hi a gyfanedd-
ir megys y dyddiau gynt, medd yr
Arglwydd.
27 ¶ Ond nac ofna di, O fy ngwas
Jacob ; a thithau Israel, na ddy-
chryna; canys wele, myfi a'th gadw-
af di o bell, a'th had o wlad eu caeth-
iwed ; a Jacob a ddychwel, ac a
orphwys, ac a fydd esmwyth arno,
ac heb neb a'*i* dychryno.
28 O fy ngwas Jacob, nac ofna,
medd yr Arglwydd ; canys *yr yd-
wyf* fi gyda thi ; canys mi a wnaf
ddiben ar yr holl genhedloedd y
rhai y'th fwriais atynt ; ond ni
wnaf fi ddiben arnat ti ; eithr mi
a'th gospaf di mewn barn, ac ni'th
doraf ymaith yn llwyr.

## PENNOD XLVII.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Jeremi y proffwyd, yn erbyn y Philistiaid, cyn i Pharao daro Gaza.
2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Wele, dyfroedd a gyfodant o'r
gogledd, ac a fyddant fel afon lif-
eiriol, a hwy a lifant dros y wlad,
a'r hyn sydd ynddi ; y ddinas,

---

*eu gofwy a ddaethai arnynt*—pryd yr oedd Duw yn ymweled â hwy i'w cospi am eu pechodau.

Adn. 22. *Ei llais hi a â allan fel sarff*] 'Fel *si* sarff,' yn ol y LXX, sef yn isel ac ofnus ; neu 'fel *swynwr*,' yn llefaru o'r ddaear, fel y mae rhai yn ei ddeall : gwel ar Esay xxix. 4. *Canys â llu yr ânt hwy*—yr â y Caldeaid allan yn erbyn yr Aifft ; *ac â bwyill, &c.*—sef â nerth mawr, fel dynion yn myned i gwympo coed.

Adn. 23. *Hwy a gymynant i lawr ei choed hi*] Ei dinasoedd a'i thrigolion lluosog ; *er na ellir ei chwilio*—er eu bod yn rhy luosog i allu eu rhifo : *canys amlach fyddant na'r ceiliogod rhedyn*—neu y locustiaid dirifedi. Tybia rhai fod hyn yn cael ei ddywedyd am yr Aifftiaid lluosog; ac ereill, am fyddin y Caldeaid. Dywed *Grotius* fod mil ac ugain o ddinasoedd yn yr Aifft y pryd hyn.

Adn. 24. *Merch yr Aifft a gywilyddir*] Dygir teyrnas yr Aifft i warth ; *hi a roddir yn llaw pobl y gogledd*—sef y Caldeaid.

Adn. 25. *Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, sydd yn dywedyd*] Yr hwn a *all* gyflawni ei fygythion, pen. xxxi. 23 ; *Wele, myfi a ymwelaf â lluaws No*—Hebr., 'âg *Amon* No.' With *No* yma y dealla rhai Memphis, ac ereill Thebes. *Amon* y galwai yr Aifftiaid *Jupiter*, i ba un yr oedd teml enwog yn Thebes, yr hon oedd yn glodfawr am ei chant o byrth yn amser *Homer*, ac a elwid gan y Groegiaid *Diospolis*, neu 'ddinas Jupiter.' *Ac â Pharao, ac â'r Aifft, &c.*—byddai i'r un dialedd dwyfol ag a syrthiai ar yr eilun *Amon* a'i addolwyr yn *No*, ddisgyn hefyd ar yr holl wlad, ac ar ei brenin, a'r rhaglawiaid dano ef.

Adn. 26. *A mi a'u rhoddaf hwynt yn llaw y rhai sydd yn ceisio eu heinioes*] Sef yn llaw y Caldeaid : *ac wedi hyny hi a gyfaneddir megys y dyddiau gynt*—sef yn mhen deugain mlynedd : gwel ar Ezec. xxix. 13.

Adn. 27, 28. *Ond nac ofna di, O fy ngwas Jacob, &c.*] Cawsom y geiriau hyn o'r blaen yn pen. xxx. 10. 11, o ba le y codwyd hwynt yma: gwel y sylwadau yno. Cynwysant addewid gysurus i'r Iuddewon, na fyddai i Dduw eu llwyr ddyfetha hwy, fel y gwnai efe â chenhedloedd ereill ; ond y byddai iddo adael gweddill o honynt hwy yn fyw, i'r rhai y cyflawnai efe yr addewidion a wnaed i'w tadau : gwel hefyd ar pen. xxx. 16, 17.

PEN. XLVII. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Jeremi y proffwyd yn erbyn y Philistiaid*] Gelynion parhaus pobl Dduw ; *cyn i Pharao daro Gaza*—un o bum dinas y Philistiaid, 1 Sam. vi. 17. Gan na feddwn hanesam hyn mewn un awdwr cysegredig na chyffredin, y mae yn anmhosibl sicrhau yr amser pryd y traethwyd y broffwydoliaeth hon ; ac nid yw pob ymgais i'w sicrhau ddim amgen na dychymyg disail. Modd bynag, tybia rhai i hyn gymeryd lle yn amser Pharaohophra, pen. xxxvii. 5, 7 ; ac ereill, yn amser Pharao-necho, 2 Bren. xxiii. 29.

Adn. 2. *Wele, dyfroedd a gyfodant o'r gogledd*] O wlad y Caldeaid. Y mae 'dyfroedd,' weithiau, yn arwyddo pobloedd a chen-

a'r rhai sydd yn aros ynddi; yna y
dynion a waeddant, a holl breswyl-
wyr y wlad a udant.
3 Rhag swn twrf carnau ei *feirch*
cryfion, rhag trwst ei gerbydau, *a*
thrwst ei olwynion ef, y tadau nid
edrychant yn ol ar *eu* plant, gan
wendid dwylaw:
4 O achos y dydd sydd yn dyfod
i ddystrywio yr holl Philistiaid, *ac*
i ddinystrio o Tyrus a Sidon bob
cynorthwywr ag y sydd yn wedd-
ill: oblegid yr Arglwydd a ddi-
nystria y Philistiaid, gweddill ynys
Caphtor.
5 Moelni a ddaeth ar Gaza, tor-
wyd ymaith Ascelon, *gyda*'r rhan
arall o'u dyffrynoedd hwynt: pa
hyd yr ymrwygi di?
6 O cleddyf yr Arglwydd, pa hyd
ni lonyddi? dychwel i'th wain,
gorphwys a bydd ddystaw.
7 Pa fodd y llonydda efe, gan i'r
Arglwydd ei orchymyn ef yn erbyn
Ascelon, ac yn erbyn glan y môr?
yno y gosododd ef.

## PENNOD XLVIII.

FEL hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, Duw Israel, yn erbyn
Moab, Gwae Nebo, canys hi a an-
rheithiwyd: gwaradwyddwyd Cir-
iathaim, *ac* ennillwyd hi; Misgab a
waradwyddwyd, ac a ddychrynwyd.
2 Ni *bydd* ymffrost Moab mwy:
yn Hesbon hwy a ddychymygasant
ddrwg i'w herbyn hi; Deuwch, di-
nystriwn hi i lawr, fel na *byddo* yn
genedl. Tithau Madmen a dorir i
lawr, y cleddyf a'th erlid.

---

hedloedd lawer, Dat. xvii. 15; ac, waith arall, trallodau mawrion a bygythiol, Salm lxix. 1: ond yma arwyddant y naill a'r llall. *A hwy a lifant dros y wlad*—fel dylif dinystriol, nes y bydd yr holl drigolion yn gwaeddi ac yn udo yn y cyffro mwyaf.

Adn. 3. *Rhag swn twrf carnau ei feirch cryfion, &c.*] Yn arwyddo nesâd gelynion lluosog a chedyrn; *y tadau*—wrth ffoi rhagddynt hwy, *nid edrychant yn ol ar eu plant*—ni fydd ynddynt nerth na gwroldeb i ddychwelyd i achub eu plant a adawsent ar ol.

Adn. 4. *O achos y dydd sydd yn dyfod*] Sef yr amser a benodasai Duw i ddystrywio yr holl Philistiaid; *ac i ddinystrio o Tyrus a Sidon bob cynorthwywr ag y sydd yn weddill*—Tyrus a Sidon oeddynt ddinasoedd yn Phenicia, ar gyffiniau gwlad y Philistiaid, ac mewn cynghrair a hwynt i'w cynorthwyo; ond byddai i'r Arglwydd ddinystrio yr holl weddill o honynt hwythau gyda'r Philistiaid; *gweddill ynys Caphtor*—tybia rhai mai talaeth ar lan Môr y canoldir a olygir yma; ereill, mai Creta neu Cyprus; ac ereill, mai Cappadocia: gwel ar Esay xxiii. 1, &c.

Adn. 5. *Moelni a ddaeth ar Gaza*] Trwy i'w thrigolion eillio eu penau yn arwydd o'u galar; *torwyd ymaith Ascelon*—neu, fel y mae *Blayney* yn ei ddarllen, '*dystawyd* Ascelon,' yr hyn oedd arwydd arall o alar trwm, Job ii. 13; *gyda'r rhan arall o'u dyffrynoedd hwynt*—'gyda gweddill yr *Anaciaid*.'—LXX. *Pa hyd yr ymrwygi di?*—Saes., 'pa hyd y tori di dy hun?' hyny yw, pa hyd y torent eu cnawd yn arwydd o'u gofid?

Adn. 6. *O gleddyf yr Arglwydd*] Fe allai mai Nebuchodonesor a feddylir yma, yr hwn oedd offeryn dinystriol yn llaw yr Arglwydd, yr un modd ag y gelwid brenin Assyria yn 'wialen llid Duw,' Esay x. 5. *Pa hyd ni lonyddi?*—pa hyd y byddi heb beidio a thywallt gwaed? *Dychwel i'th wain, &c.*—dos adref i'th wlad dy hun, a gad lonydd i'r Philistiaid bellach. Fel hyn y mae y proffwyd, mewn modd teimladwy iawn, yn mynegu ei awydd am derfyniad ar y rhyfel waedlyd.

Adn. 7. *Pa fodd y llonydda efe, gan i'r Arglwydd ei orchymyn ef*] Yma y mae y proffwyd yn ateb ei ofyniad ei hun, gan awgrymu fod y galanasdra a wneid gan y cleddyf yn effaith bwriad penderfynol Duw i gospi y bobl ddrygionus hyn, y rhai yr oedd cwpan eu hanwiredd yn llawn. *Yn erbyn Ascelon*—un arall o ddinasoedd y Philistiaid, 1 Sam. vi. 17; *ac yn erbyn glan y môr*—sef holl diriogaethau arforawl y Philistiaid. *Yno y gosododd ef*—y gosododd Duw ei gleddyf i ddinystrio y trigolion anedifeiriol.

PEN. XLVIII. Adn. 1. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel, yn erbyn Moab*] Meddylir i'r broffwydoliaeth hon yn erbyn Moab gael ei chyflawni ar ol dinystr Jerusalem. Benthycwyd llawer o'r ymadroddion a geir yn y bennod hon o Esay xv. xvi. *Gwae Nebo, canys hi a anrheithiwyd*—gan y Caldeaid. Cafodd y ddinas hon ei henw oddiwrth Nebo, un o brif dduwiau y Moabiaid. *Ciriathaim*—un arall o ddinasoedd y Moabiaid. *Misgab*—meddylir mai rhyw amddiffynfa gadarn oedd hon yn ngwlad Moab. Dywedir yma fod y lleoedd hyn wedi eu hanrheithio, eu hennill, a'u gwaradwyddo eisoes, i osod allan sierwydd y weithred.

Adn. 2. *Ni bydd ymffrost Moab mwy*] Yn ei milwyr, ei chyfoeth, na'i gogoniant, Esay xvi. 14. *Yn Hesbon*—prifddinas y Moabiaid, *hwy a ddychymygasant ddrwg i'w herbyn hi*—yno y cydymgynghorai y Caldeaid pa fodd i orchfygu a dyfetha y rhanau ereill o'r wlad, fel na byddai y Moabiaid yn genedl mwyach. *Tithau Madmen a dorir i lawr*—neu 'a ddystewir.' Madmen, neu Madmena, oedd ddinas arall yn Moab.

Adn. 3. *Llef yn gwaeddi a glywir o Horonaim*] O herwydd anrheithio ei chyfoeth a

3 Llef yn gwaeddi *a glywir* o
Horonaim; anrhaith, a dinystr
mawr.
4 Moab a ddystrywiwyd, gwnaeth
ei rhai bychain glywed gwaedd.
5 Canys yn rhiw Luith, galar a
â i fyny mewn ŵylofain, ac yn ngor-
iwaered Horonaim, y gelynion a
glywsant waedd dinystr.
6 Ffowch, achubwch eich einioes;
a byddwch fel y grug yn yr anial-
wch.
7 ¶ O herwydd am i ti ymddir-
ied yn dy weithredoedd a'th drysor-
au dy hun, tithau a ddelir: Cemos
hefyd a â allan i gaethiwed, *a'i* off-
eiriaid a'i dywysogion yn nghyd.
8 A'r anrheithiwr a ddaw i bob
dinas, ac ni ddianc un ddinas: eithr
derfydd am y dyffryn, a'r gwastad
a ddifwynir, megys y dywedodd yr
Arglwydd.
9 Rhoddwch adenydd i Moab, fel
yr ehedo ac yr elo ymaith: canys
ei dinasoedd hi a fyddant annghyf-
anedd, heb breswylydd ynddynt.
10 Melldigedig *fyddo* yr hwn a
wnelo waith yr Arglwydd yn dwyll-
odrus, a melldigedig *fyddo* yr hwn
a attalio ei gleddyf oddiwrth waed.
11 ¶ Moab a fu esmwyth arni er
ei hieuenctid, a hi a orphwysodd ar
ei gwaddod, ac ni thywalltwyd hi o
lestr i lestr, ac nid aeth hi i gaeth-
iwed: am hyny y safodd ei blas
arni, ac ni newidiodd ei harogl.
12 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd, pan an-

---

dinystrio ei thrigolion. Hon oedd ddinas arall yn Moab, a chartref Sanbalat, Neh. ii. 10.

Adn. 4. *Gwnaeth ei rhai bychain glywed gwaedd*] Gwaeddodd y plant nes peri eu clywed, wrth iddynt weled eu rhieni wedi eu lladd, a hwythau wedi eu gadael yn ddiamddiffyn yn nghanol eu gelynion gwaedlyd.

Adn. 5. *Canys yn rhiw Luith, &c.*] Gwel ar Esay xv. 5.

Adn. 6. *Ffowch, achubwch eich einioes*] Chwi Foabiaid; *a byddwch fel y grug*—neu yn ymguddio yn mhlith y grug yn yr anialwch.

Adn. 7. *O herwydd am i ti ymddiried yn dy weithredoedd a'th drysorau*] Yn dy amddiffynfeydd y rhai a adeiledaist, ac yn dy gyfoeth yr hwn a gesglaist; *tithau a ddelir*—gan dy elynion. *Cemos hefyd a â allan i gaethiwed*—sef un o brif dduwiau y Moabiaid, Num. xxi. 29; *a'i offeiriaid a'i dywysogion yn nghyd*—sef y rhai a weinyddent wrth ei allor, yn gystal a'r rhai a ddygent draul ei addoliad. Arferai yr hen eilunaddolwyr gymeryd eu duwiau gyda hwy i ryfel, mewn efelychiad o'r Israeliaid yn dwyn yr arch i faes y gwaed.

Adn. 8. *A'r anrheithiwr a ddaw i bob dinas*] Sef Nebuchodonosor a'i fyddin; *ac ni ddianc un ddinas*—trwy holl wlad Moab: *eithr derfydd am y dyffryn*—y lleoedd hyfryd yn y wlad; *a'r gwastad a ddifwynir*—dyfethir yr holl wastadedd ffrwythlon yn gystal a'r dinasoedd.

Adn. 9. *Rhoddwch adenydd i Moab*] Y meddwl yw, nad oedd un gobaith i'r Moabiaid allu sefyll yn erbyn y Caldeaid, ac mai y peth doethaf iddynt hwy ei wneuthur oedd ffoi gyda'r brys mwyaf: *canys ei dinasoedd hi a fyddant annghyfanedd*—trwy i'w preswylwyr ffoi o honynt, neu gael eu lladd ynddynt.

Adn. 10. *Melldigedig fyddo yr hwn a wnelo waith yr Arglwydd yn dwyllodrus*] Y mae hon yn rheol gyffredinol, i'w chymhwyso at bawb ag sydd yn gwneyd rhyw wasanaeth i Dduw: rhaid iddynt wneuthur gwaith yr Arglwydd yn ffyddlon a didwyll, onidê hwy a ddygant felldith Duw arnynt eu hunain. Ond cyfeirir yma yn neillduol at y Caldeaid, y rhai a anfonwyd i weinyddu dialedd Duw ar y Moabiaid. Yr oeddynt i wneuthur hyny nid yn hannerog neu yn esgeulus, ond yn llwyr ac yn effeithiol. Nid oeddynt i arbed neb o honynt, megys y gwnaethai Saul â'r Amaleciaid, neu Ahab â Benhadad, onidê byddent yn agored i felldith Duw: gwel ar 1 Sam. xv. 8, &c., 1 Bren. xx. 42. *A melldigedig fyddo yr hwn a attalio ei gleddyf oddiwrth waed*—oddiwrth dywallt gwaed y Moabiaid, ar ol i Dduw beri iddo eu lladd. Duw yw Awdwr bywyd, ac y mae ganddo hawl i wneuthur âg ef fel y gwelo yn dda; ac yr oedd y rhai hyn wedi fforffetio eu bywyd er's hir amser, trwy eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill.

Adn. 11. *Moab a fu esmwyth arni er ei hieuenctid*] Cafodd fwynhau llonyddwch a llwyddiant er pan yr oedd yn genedl: *a hi a orphwysodd ar ei gwaddod, ac ni thywalltwyd hi o lestr i lestr*—cymhariaeth wedi ei chymeryd oddiwrth win, yr hwn, pa hwyaf y gadewir ef ar ei waddod, cryfach a phereiddiach y bydd; canys y mae yn agored i gael ei niweidio wrth ei dywallt yn rhy fuan i lestr arall. *Ac nid aeth hi i gaethiwed*—hyny yw, gan ddylyn y gymhariaeth, ni thywalltwyd hi o lestr i lestr. *Am hyny y safodd ei blas arni, ac ni newidiodd ei harogl*—fel gwin yn cael gorphwys ar ei waddod. Trwy y gyffelybiaeth hon arddanghosir y Moabiaid fel yn mwynhau manteision mawrion wrth gael aros yn eu gwlad er pan oeddynt yn bobl, yn lle cael eu caethgludo i wledydd ereill. Ond, ysywaeth, bu eu hesmwythyd a'u llwyddiant yn achos o'u heilunaddoliaeth, eu balchder, a'u moethusrwydd cnawdol, am yr hyn y daeth dinystr arnynt.

Adn. 12. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod*] Medd yr Arglwydd, *pan anfonwyf fudwyr*—sef y Caldeaid, *y rhai a'i mudant hi*—a symudant ei thrigolion i wledydd ereill,

fonwyf fudwyr, y rhai a'i mudant
hi, ac a waghant ei llestri hi, ac a
ddrylliant eu costrelau.
13 A Moab a gywilyddia oblegid
Cemos, fel y cywilyddiodd tŷ Is-
rael oblegid Bethel eu hyder hwynt.
14 ¶ Pa fodd y dywedwch chwi,
Cedyrn *ydym* ni, a gwŷr nerthol i
ryfel?
15 Moab a anrheithiwyd, ac a
aeth i fyny *o'i* dinasoedd, a'i dewis
wŷr ieuainc a ddisgynasant i'r
lladdfa, medd y Brenin, a'i enw Ar-
glwydd y lluoedd.
16 Agos *yw* dinystr Moab i ddy-
fod, a'i dialedd hi sydd yn brysio
yn ffest.
17 Alaethwch drosti hi, y rhai
ydych o'i hamgylch; a phawb a'r
a edwyn ei henw hi, dywedwch, Pa
fodd y torwyd y ffon gref *a'r* wial-
en hardd!
18 O breswylferch Dibon, disgyn
o'*th* ogoniant, ac eistedd mewn
syched; canys anrheithiwr Moab a
ddaw i'th erbyn, *ac* a ddinystria dy
amddiffynfeydd.
19 Preswylferch Aroer, saf ar y
ffordd, a gwylia; gofyn i'r hwn a
fyddo yn ffoi, ac i'r hon a ddiango,
*a* dywed, Beth a ddarfu?
20 Gwaradwyddwyd Moab, canys
hi a ddinystriwyd: udwch a gwaedd-
wch; mynegwch yn Arnon an-
rheithio Moab;
21 A barn a ddaw ar y tir gwas-
tad, ar Holon, ac ar Jahasah, ac ar
Methaath,
22 Ac ar Dibon, ac ar Nebo, ac
ar Beth-diblathaim,
23 Ac ar Ciriathaim, ac ar Beth-
gamul, ac ar Beth-meon,
24 Ac ar Cerioth, ac ar Bosra, ac
ar holl ddinasoedd gwlad Moab, yn
mhell ac yn agos.
25 Corn Moab a ysgythrwyd, a'i
braich hi a dorwyd, medd yr Ar-
glwydd.
26 ¶ Mèddwch hi, oblegid hi a
*ym*-fawrygodd yn erbyn yr Ar-

---

fel symud neu dywallt gwin o lestr i lestr; *ac a waghant ei llestr hi*—sef ei dinasoedd mawrion; *ac a ddrylliant eu costrelau*—neu '*ei* chostrelau,' sef ei phentrefi llai. Y mae yr un gymhariaeth yn cael ei pharhau o hyd.

Adn. 13. *A Moab a gywilyddia oblegid Cemos*] Ei heilun-dduw, adn. 7; *fel y cywilyddiodd tŷ Israel*—sef y deg llwyth, *oblegid Bethel*—oblegid y llo aur a addolent hwy yn Bethel, ar yr hwn yr hyderent.

Adn. 14. *Pa fodd y dywedwch chwi*] Yn malchder eich calon, *Cedyrn ydym ni, a gwŷr nerthol i ryfel*—pan yr ydych wedi dangos eich gwendid wrth ffoi o flaen eich gelynion?

Adn. 15. *Moab a anrheithiwyd, ac a aeth i fyny o'i dinasoedd*] Ar ffo rhag ei gelynion; neu, 'Moab a anrheithiwyd, a'r dinasoedd i'r rhai yr aeth i fyny;' *a'i dewis wŷr ieuainc a ddisgynasant i'r lladdfa*—sef y rhai a ystyrid ganddynt yn gadarn a nerthol i ryfel, adn. 14; *medd y Brenin*—gwel ar pen. xlvi. 18.

Adn. 16. *Agos yw dinystr Moab i ddyfod*] Ie, mor agos, nes y llefarir am dano uchod fel wedi cymeryd lle eisioes: *a'i dialedd hi sydd yn brysio yn ffest*—yn gyflym iawn.

Adn. 17. *Alaethwch drosti hi*] Yma gelwir ar yr holl genhedloedd o amgylch gwlad Moab, a phawb a wyddent rywbeth am ei henwogrwydd blaenorol hi, i gwynfan yn alaethus o herwydd ei dinystr: *dywedwch*—gyda syndod, *Pa fodd y torwyd y ffon gref a'r wialen hardd!*—wrth y rhai hyn y golygir ei hawdurdod a'i gogoniant hi fel teyrnas gadarn.

Adn. 18. *O breswylferch Dibon*] Dibon oedd un o brif ddinasoedd Moab, yr hon a safai oddeutu 15 milldir o du y dwyrain i'r môr marw; *disgyn o'th ogoniant, ac eistedd mewn syched*—yn lle byw yn foethus fel o'r blaen, rhaid i ti ddyoddef eisiau holl angenrheidiau bywyd: *canys anrheithiwr Moab a ddaw i'th erbyn*—sef Nebuchodonosor a'i fyddin: *ac a ddinystria dy amddiffynfeydd*—er cadarned ydynt.

Adn. 19. *Preswylferch Aroer*] Dinas yn sefyll oddeutu 4 milldir o du y deau i Dibon; *saf ar y ffordd, a gwylia*—i edrych a elli di weled rhai yn ffoi o faes y gwaed: *gofyn i'r hwn a fyddo yn ffoi, ac i'r hon a ddiango*—i bob mab a merch a weli yn dianc rhag cleddyf y gelynion: *Beth a ddarfu?*—pa fodd y mae pethau yn debyg o droi allan?

Adn. 20. *Gwaradwyddwyd Moab*] Dyma yr atebiad a roddir i'r gofyniad uchod: *canys hi a ddinystriwyd*—o'r naill gŵr i'r llall: *udwch a gwaeddwch*—mewn galar a dychryn: *mynegwch yn Arnon*—ar hyd glanau yr afon hòno, ddarfod anrheithio holl ddinasoedd uchel Moab.

Adn. 21—24. *A barn a ddaw ar y tir gwastad, &c.*] Sef ar yr holl ddinasoedd a enwir yma, y rhai oeddynt yn ngwastadoedd Moab.

Adn. 25. *Corn Moab a ysgythrwyd*] Sef ei gallu ymosodol hi. Ymadrodd cyffelybiaethol wedi ei gymeryd oddiwrth anifeiliaid corniog, y rhai y mae eu gallu i niweidio ereill yn gorwedd yn benaf yn eu cyrn. *A'i braich hi a dorwyd*—sef ei gallu amddiffynol. Cyffelybiaeth wedi ei chymeryd oddiwrth fraich dyn, trwy yr hon y datguddia efe ei nerth i'w amddiffyn ei hun.

Adn. 26. *Mèddwch hi*] Y mae barnedigaethau Duw yn cael eu gosod allan yn fynych dan y gyffelybiaeth o phiol lawn o ddiodydd meddwol: gwel ar pen. xxv. 15. *Oblegid hi*

glwydd: ïe, Moab a ymdrybaedda
yn ei chwydfa, am hyny y bydd hi
hefyd yn watwargerdd.
27 Ac oni bu Israel yn watwar-
gerdd i ti? a gafwyd ef yn mysg
lladron? canys er pan soniaist am
dano, yr ymgynhyrfaist.
28 Trigolion Moab, gadewch y
dinasoedd, ac arhoswch yn y graig,
a byddwch megys colomen *yr hon* a
nytha yn yr ystlysau ar fin y twll.
29 Nyni a glywsom falchder
Moab, (*y mae hi* yn falch iawn,) ei
huchder, ei rhyfyg, a'i hymchwydd,
ac uchder ei chalon.
30 Myfi a adwaen ei llid hi, medd
yr Arglwydd; ond nid felly *y bydd;*
ei chelwyddau hi ni wnant felly.
31 Am hyny yr udaf fi dros Moab,
ac y gwaeddaf dros holl Moab: *fy
nghalon* a riddfana dros wŷr Cir-
hares.
32 Myfi a ŵylaf drosot ti, gwin-
wydden Sibmah, âg ŵylofain Ja-
zer; dy gangau a aethant dros y
môr, hyd fôr Jazer y cyrhaeddant:
yr anrheithiwr a ruthrodd ar dy
ffrwythydd haf, ac ar dy gynauaf
gwin.
33 A dygir ymaith lawenydd a
gorfoledd o'r doldir, ac o wlad Moab,
a mi a wnaf i'r gwin ddarfod o'r cafn-
au: ni sathr neb trwy floddest; *eu*
bloddest ni *bydd* bloddest.
34 O floedd Hesbon hyd Elealeh,
*a* hyd Jahaz, y llefasant, o Soar hyd
Horonaim, *fel* anner deirblwydd:
canys dyfroedd Nimrim a fyddant
annghyfanedd.
35 Mi a wnaf hefyd ballu yn
Moab, medd yr Arglwydd, yr hwn
sydd yn offrymu mewn uchelfeydd,
a'r hwn sydd yn arogldarthu i'w
dduwiau.
36 Am hyny y lleisia fy nghalon
am Moab fel pibellau, ac am wŷr
Cir-hares y lleisia fy nghalon fel
pibellau: oblegid darfod y golud a
gasglodd.
37 Oblegid pob pen *a fydd* moel,
a phob barf a dorir; ar bob llaw *y
bydd* rhwygiadau, ac am y llwynau,
sach-lian.
38 Ar holl benau tai Moab, a'i
heolydd oll, *y bydd* alaeth: oblegid
myfi a doraf Moab fel llestr heb hoff-
der ynddo, medd yr Arglwydd.
39 Hwy a udant, *gan ddywedyd,*

---

*a ymfawrygodd yn erbyn yr Arglwydd*—gosododd ei hun yn falch a thrahaus yn erbyn Duw a'i bobl. *Ie, Moab a ymdrybaedda yn ei chwydfa, &c.*—hi a osodir yn wawd i'w gelynion yn ei chyflwr alaethus, fel y mae y meddwyn yn wrthddrych gwawd a chwerthiniad pawb a'i gwelant.

Adn. 27. *Ac oni bu Israel yn watwargerdd i ti*] Yn eu cyfyngderau a'u trallodau? *A gafwyd ef yn mysg lladron?*—a ddarfu i Israel dy yspeilio di? neu a oedd yn iawn i ti ei watwar a'i ddirmygu ef fel pe buasai yn lleidr? *Canys er pan soniaist am dano, yr ymgynhyrfaist* — yr ymysgydwaist mewn chwerthiniad gwawdlyd.

Adn. 28. *Trigolion Moab, gadewch y dinasoedd*] Muriau pa rai ni allant eich diogelu rhag cleddyf eich gelynion; *ac arhoswch yn y graig*—ymguddiwch yn holltau y creigiau, fel y nytha y golomen mewn craig er diogelwch rhag adar ysglyfaethus: gwel ar Can. ii. 14.

Adn. 29. *Nyni a glywsom falchder Moab*] Ei bod yn falch, rhyfygus, ac ymchwyddgar iawn: gwel ar Esay xvi. 6.

Adn. 30. *Myfi a adwaen ei llid hi*] Yn fy erbyn i a'm pobl: *ond nid felly y bydd*—ni fydd ei nerth yn gyfatebol i'w malais: *ei chelwyddau hi ni wnant felly*—ni fydd hi yn alluog i gyflawni ei bygythiadau, eithr hwy a droant allan yn gelwyddau.

Adn. 31. *Am hyny yr udaf fi dros Moab*] O herwydd y trueni ag sydd yn dyfod ar yr holl wlad, Esay xv. 5; *fy nghalon a riddfana dros wŷr Cir-hares*—gwel ar Esay xvi. 7, 11. Hyn a ddywed y proffwyd yn yr olwg ar drueni nesaol y Moabiaid.

Adn. 32—34. *Myfi a ŵylaf drosot ti, gwinwydden Sibmah, &c.*] Gwel ar Esay xvi. 8—10. *Fel anner deirblwydd*—yn brefu am ei llo: gwel ar Esay xv. 5, 6.

Adn. 35. *Mi a wnaf hefyd ballu yn Moab, &c.*] Paraf i'r rhai sydd yn offrymu ac yn arogldarthu i'w heilunod ddarfod o'r wlad.

Adn. 36. *Am hyny y lleisia fy nghalon am Moab fel pibellau*] A genir ar achlysuron o alar trwm; *oblegid darfod y golud a gasglodd*—trwy i'r anrheithwyr eu hyspeilio o hono.

Adn. 37. *Oblegid pob pen a fydd moel*] Trwy iddynt eillio eu gwallt a'u barfau yn arwydd o'u galar: *ar bob llaw y bydd rhwygiadau*—neu 'doriadau,' yr hyn a arferid yn mhlith y paganiaid ar achosion o alar, yn gystal a gwisgo sach-lian: gwel ar 1 Bren. xviii. 28.

Adn. 38. *Ar holl benau tai Moab, a'i heolydd oll*] Gwel ar Esay xv. 3; *y bydd alaeth*—neu alarnadau dwysion: *oblegid mi a doraf Moab fel llestr heb hoffder ynddo*—yr hwn na byddo da i ddim ond ei ddryllio.

Adn. 39. *Hwy a udant*] Yn y gofid mwyaf; *gan ddywedyd, Pa fodd y bwriwyd hi i lawr!*—pa fodd y bwriwyd gwlad Moab i lawr o'i mawredd! *Pa fodd y trodd Moab ei gwar trwy gywilydd*—gan ffoi o flaen eu

Pa fodd y bwriwyd hi i lawr! pa fodd y trôdd Moab *ei* gwar trwy gywilydd! Felly Moab a fydd yn watwargerdd, ac yn ddychryn i bawb o'u hamgylch.

40 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele, efe a eheda fel eryr, ac a leda ei adenydd dros Moab.

41 Y dinasoedd a oresgynir, a'r amddiffynfeydd a ennillir, a chalon cedyrn Moab fydd y dydd hwnw fel calon gwraig wrth esgor.

42 A Moab a ddyfethir o fod yn bobl, am iddi *ym*-fawrygu yn erbyn yr Arglwydd.

43 Ofn, a ffos, a magl *a ddaw* arnat ti, trigianol Moab, medd yr Arglwydd.

44 Y neb a ffŷ rhag yr ofn, a syrth yn y ffos; a'r hwn a gyfyd o'r ffos, a ddelir yn y fagl: canys myfi a ddygaf arni, *sef* ar Moab, flwyddyn eu hymweliad, medd yr Arglwydd.

45 Yn nghysgod Hesbon y safodd y rhai a ffoisant rhag y cadernid: eithr tân a ddaw allan o Hesbon, a fflam o ganol Sihon, ac a ysa gongl Moab, a choryn y meibion trystfawr.

46 Gwae di, Moab; darfu am bobl Cemos: canys cymerwyd ymaith dy feibion yn gaethion, a'th ferched yn gaethion.

47 ¶ Etto myfi a ddychwelaf gaethiwed Moab yn y dyddiau diweddaf, medd yr Arglwydd. Hyd yma *y mae* barn Moab.

## PENNOD XLIX.

AM feibion Ammon, fel hyn y dywed yr Arglwydd, Onid oes meibion i Israel? onid oes etifedd iddo? paham y mae eu brenin

---

gelynion, yn lle eu gwynebu yn hyf a gwrol! *Felly Moab a fydd yn watwargerdd ac yn ddychryn i bawb o'i hamgylch*—eu gelynion a'u gwawdiant hwy yn eu cyfyngder, a'u cymydogion cyfeillgar a ddychrynant rhag cyfarfod â'r un driniaeth oddiar law y Caldeaid creulon.

Adn. 40. *Wele efe*] Sef brenin Babilon; *a eheda fel eryr*—yn gyflym a gwancus, *ac a leda ei adenydd dros Moab*—ei fyddin luosog a ymdaena dros yr holl wlad.

Adn. 41. *Y dinasoedd a oresgynir, a'r amddiffynfeydd a ennillir*] Yn y rhai yr ymguddia y Moabiaid; *a chalon cedyrn Moab*—sef eu swyddogion a'u milwyr dewraf, *fydd y dydd hwnw fel calon gwraig wrth esgor*—fydd yn llwfr ac ofnus yn ngwyneb perygl mor fawr.

Adn. 42. *A Moab a ddyfethir o fod yn bobl*] Ni bydd iddi frenin o'i heiddo ei hun i'w llywodraethu, ac ni chyfrifir hi yn genedl annibynol byth mwyach; *am iddi ymfawrygu yn erbyn yr Arglwydd*—yr hwn sydd yn gwrthwynebu y beilchion yn mhob oes a gwlad: gwel ar adn. 26.

Adn. 43, 44. *Ofn, a ffos, a magl a ddaw arnat ti*] Gwel yr un geiriau, Esay xxiv. 17, 18; *canys myfi a ddygaf arni*—sef ar y Moabiaid, *flwyddyn eu hymweliad*—dygaf arnynt y barnedigaethau trymion a fygythiwyd yn eu herbyn, pan ddaw yr amser i wneuthur hyny oddiamgylch: gwel ar pen. xi. 23.

Adn. 45. *Yn nghysgod Hesbon y safodd y rhai a ffoisant rhag y cadernid*] Rhag grym eu gelynion; neu y rhai a ffoisant iddi o ddiffyg cadernid i wrthsefyll eu gelynion, fel y mae rhai yn ei ddeall. *Eithr tân a ddaw allan o Hesbon, a fflam o ganol Sihon*—Hesbon oedd ddinas Sihon, neu Sehon. Gan fod Hesbon yn ddinas gadarn, yr oedd y rhai a gollent y frwydr ar y maes, yn ffoi yno am noddfa: eithr byddai i'r Caldeaid ennill Hesbon hefyd, ac wedi hyny aent allan oddiyno fel fflam dân. *Ac a ysa gongl Moab*—sef cyrau eithaf y wlad, yn gystal a'i chanol hi; *a choryn y meibion trystfawr*—sef prif ddynion y genedl. Ymddengys i'r proffwyd fenthyca yr ymadroddion hyn o waith yr hen ddiarebwyr neu y beirdd a ddyfynwyd gan Moses, Num. xxi. 27—29: gwel y sylwadau yno.

Adn. 46. *Gwae di, Moab*] Yn ngwyneb y fath ymweliad dychrynllyd; *darfu am bobl Cemos*—sef addolwyr y duw hwnw: *canys cymerwyd ymaith dy feibion yn gaethion*—gan y Caldeaid yn awr, fel y cymerwyd hwynt gynt gan yr Amoriaid, Num. xxi. 29.

Adn. 47. *Eto myfi a ddychwelaf gaethiwed Moab yn y dyddiau diweddaf*] Neu 'yn nyddiau y Messia,' fel y mae yr Iuddewon yn ei ddeall. Y mae yn debyg i lawer o'r Moabiaid gael eu rhyddhau o Babilon, trwy orchymyn Cyrus, ar yr un pryd a'r Iuddewon, ac iddynt ddychwelyd i'w gwlad; ond nid yw yn eglur iddynt erioed gael eu dychwelyd i'w pwysigrwydd cenedlaethol megys gynt, adn. 42. Gan hyny rhaid mai addewid sydd yma yn benaf o'u dychweliad hwy i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf, yr hyn sydd yn aros eto i'w gyflawni. *Hyd yma y mae barn Moab*—hyd yma y cyrhaedda y broffwydoliaeth am eu barn neu eu cosp hwy.

PEN. XLIX. Adn. 1. *Am feibion Ammon, fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Y mae y bennod hon yn dechreu gyda phroffwydoliaeth yn erbyn yr Ammoniaid, yr hon a draddodwyd ond odid ar ol dinystr Jerusalem. *Onid oes meibion i Israel*—i ddyfod yn ol o'u caethiwed i etifeddu rhandir Gad? *Paham y mae eu brenin hwynt*—sef brenin meibion Ammon, *yn etifeddu Gad*—yr hon yw eti-

hwynt yn etifeddu Gad, a'i bobl yn
aros yn ei ddinasoedd ef?
2 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd, pan
wnelwyf glywed trwst rhyfel yn
Rabbah meibion Ammon; a hi a
fydd yn garnedd annghyfaneddol,
a'i merched hi a losgir â thân: yna
Israel a feddianna y rhai a'i medd-
iannasant ef, medd yr Arglwydd.
3 Uda, Hesbon, am anrheithio
Ai: gwaeddwch, chwi merched
Rabbah, ymwregyswch mewn sach-
lian; alaethwch, a gwibiwch gan y
gwrychoedd: oblegid eu brenin a
â i gaethiwed, ei offeiriaid a'i ben-
aethiaid yn nghyd.
4 Paham yr ymffrosti di yn y
dyffrynoedd? llifodd dy ddyffryn
di ymaith, O ferch wrthnysig, yr
hon a ymddiriedodd yn ei thry-
sorau, *gan ddywedyd*, Pwy a ddaw
ataf fi?
5 Wele, myfi a ddygaf arswyd
arnat ti, medd Arglwydd Dduw y
lluoedd, rhag pawb o'th amgylch:
a chwi a yrir allan bob un o'i flaen,
ac ni *bydd* a gasglo y crwydriad.
6 Ac wedi hyny myfi a ddy-
chwelaf gaethiwed meibion Am-
mon, medd yr Arglwydd.
7 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd am Edom, Onid *oes* doeth-
ineb mwy yn Teman? a fethodd
cynghor gan y rhai deallgar? a
fethodd eu doethineb hwynt?
8 Ffowch, trowch eich cefnau,
ewch yn isel i drigo, preswylwyr
Dedan: canys mi a ddygaf ddinystr
Esau arno, amser ei ofwy.

---

feddiaeth Israel; *a'i bobl yn aros yn ei ddinasoedd ef*—fel trigianwyr a pherchenogion y lle? Ond yn lle *brenin*, y mae rhai yn darllen yma, ac yn adn. 3, *Malcom* neu *Milcom*, yr hwn oedd prif dduw yr Ammoniaid. Y mae yn debyg i'r Ammoniaid gymeryd meddiant o wlad Gad ar ol i frenin Assyria gaethgludo ymaith y llwyth hwnw, 1 Cron. v. 26.

Adn. 2. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod*] Y rhai sydd heb fod yn mhell iawn; *pan wnelwyf glywed trwst rhyfel*—trwy ymosodiad y Caldeaid; *yn Rabbah meibion Ammon*—eu prifddinas hwy; *a'i merched hi a losgir â thân*—sef ei dinasoedd llai, y rhai a ymddibynent ar Rabbah y famddinas: *yna Israel a feddianna y rhai a'i meddiannasant ef*—cyflawnwyd hyn mewn rhan ar ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, ac hefyd yn amser y Maccabeaid, pryd y gorchfygasant hwy yr Ammoniaid, ac y cymerasant eu trefi, 1 Mac. v. 5—8. Y mae yn debyg mai amcan Nebuchodonosor wrth ryfela â'r Ammoniaid oedd dial arnynt am annog Ismael i ladd Gedaliah, pen. xl. 14.

Adn. 3. *Uda, Hesbon, am anrheithio Ai*] Nid yr Ai a gymerwyd gan Josua, yr hon oedd o du y gorllewin i'r Iorddonen, Jos. viii. 1, &c.; eithr Ai arall o du y dwyrain i'r Iorddonen, yn agos i Hesbon, yr hon a elwir *Gaia* gan Ptolemy. *Gwaeddwch, chwi merched Rabbah*—gwel ar adn. 2; *ymwregyswch mewn sach-lian*—yn arwydd o ddirfawr alaeth a gofid; *alaethwch, a gwibiwch gan y gwrychoedd*—neu '*oddifewn* i'r gwrychoedd,' sef tufewn i'r cloddiau ag oeddynt o amgylch eu gerddi, neu yr amgaerau ag oeddynt oddeutu eu mân-ddinasoedd. *Oblegid eu brenin*—neu *Milcom* eu duw, adn. 1, *a â i gaethiwed*—gan y Caldeaid; *ei offeiriaid a'i benaethiaid yn nghyd*—sef y rhai a gymerent y rhan benaf yn ei addoliad.

Adn. 4. *Paham yr ymffrosti di yn y dyffrynoedd*] Sef yn eu ffrwythlondeb neu eu diogelwch? *Llifodd dy ddyffryn di ymaith*—sef ffrwyth dy ddyffryn, neu y noddfa a gait ynddo; neu, fel y mae yr Iuddewon yn ei ddeall, 'llifa dy ddyffryn di gan waed y lladdedigion.' *O ferch wrthnysig*—Saes., 'O ferch wrthgiliedig.' Tybia rhai fod yr Ammoniaid yn cael eu galw felly, am iddynt wrthgilio oddiwrth grefydd eu tad Lot. *Yr hon a ymddiriedodd yn ei thrysorau*—neu yn ei chyfoeth, â'r hwn y cyflogai hi filwyr i'w chynorthwyo, gan feddwl nad allai neb wedi hyny nesâu ati i'w drygu.

Adn. 5. *Wele, myfi a ddygaf arswyd arnat ti*] Rhag pawb o'th amgylch: *a chwi a yrir allan bob un o'i flaen*—i rywle lle y galloch ddianc; *ac ni bydd a gasglo y crwydriad*—ni fydd i neb dosturio wrthych yn eich ffoedigaeth, na'ch derbyn i'w tai.

Adn. 6. *Ac wedi hyny myfi a ddychwelaf gaethiwed meibion Ammon*] Er y dichon fod rhai o'r Ammoniaid wedi dychwelyd o Babilon, trwy orchymyn Cyrus, ar yr un pryd a'r Moabiaid a'r Iuddewon; eto meddylir mai at eu dychweliad ysbrydol hwy, dan yr efengyl, y cyfeirir yma yn benaf: gwel ar pen. xlviii. 47.

Adn. 7. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd am Edom*] Neu yr Edomiaid, hiliogaeth Esau, a gelynion greddfol Israel. *Onid oes doethineb mwy yn Teman?*—Teman oedd ran o Edom, yr hon a elwid felly oddiwrth Teman ŵyr Esau, Gen. xxxvi. 11. Un o'r Temaniaid oedd Eliphaz, cyfaill Job, pen. ii. 11; a dywedir fod y Temaniaid yn gyffredin yn enwog am eu doethineb a'u gwybodaeth. Ond yr oedd eu holl ddoethineb a'u deall hwy yn methu yn ngwyneb ymweliad barnol Duw, fel na wyddent pa gynghor i'w roddi, na pha fodd i ddyfod allan o'u cyfyngder.

Adn. 8. *Ffowch, trowch eich cefnau*] Ar eich gelynion; *ewch yn isel i drigo*—tybia rhai fod hyn yn arwyddo encilio i ogofau a thyllau dyfnion yn y ddaear; tybia ereill fod

9 Pe deuai cynauafwyr gwin
atat ti, oni weddillent hwy loffion
grawn ? pe lladron liw nos, hwy a
anrheithient nes cael digon.
10 Ond myfi a ddynoethais Esau,
*ac* a ddatguddiais ei lochesau ef, fel
na allo lechu : ei had ef a ddyfeth-
wyd, a'i frodyr a'i gymydogion, ac
nid *yw* efe.
11 Gad dy amddifaid, myfi a'u
cadwaf *hwynt* yn fyw : ac ymddir-
ieded dy weddwon ynof fi.
12 Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Wele, y rhai nid *oedd*
eu barn i yfed o'r phiol, gan yfed a
yfasant, ac a ddiengi di yn ddiger-
ydd ? na ddiengi, eithr tithau a yfi
yn sicr.
13 Canys i mi fy hun y tyngais,
medd yr Arglwydd, mai yn an-
nghyfanedd, yn warth, yn anialwch,
ac yn felldith, y bydd Bozrah ; a'i
holl ddinasoedd yn ddiffaethwch
tragwyddol.
14 Myfi a glywais chwedl oddi-
wrth yr Arglwydd, bod cenad wedi
ei anfon at y cenhedloedd, *yn dy-
wedyd*, Ymgesglwch, a deuwch yn
ei herbyn hi, a chyfodwch i'r
rhyfel.
15 O herwydd wele, myfi a'th
wnaf di yn fychan yn mysg y cen-
hedloedd, *ac* yn wael yn mhlith
dynion.
16 Dy erwindeb a'th dwyllodd, *a*
balchder dy galon, ti yr hon ydwyt
yn aros yn nghromlechydd y graig,
ac yn meddiannu uchelder y bryn:

---

yma gyfeiriad at arferiad yr Arabiaid, pan yn cael eu herlid gan eu gelynion, o ffoi i eithafion yr anialwch, lle nad allai neb eu dylyn. *Preswylwyr Dedan*—y Dedaniaid oeddynt Arabiaid o hiliogaeth Dedan, ŵyr Abraham o Cetura, Gen. xxv. 3. Ymddengys eu bod y pryd hyn wedi eu darostwng gan yr Edomiaid, ac wedi ymgorffori â hwynt. *Canys mi a ddygaf ddinystr Esau arno*—yr hwn a haeddodd efe trwy ei bechodau.

Adn. 9. *Pe deuai cynauafwyr gwin atat ti, &c.*] Y meddwl yw, fod y rhai hyny yn gyffredin yn gadael rhywfaint o loffion grawn ar eu hol, Esay xvii. 6 ; a bod lladron yn y nos yn gadael peth gweddill heb ei anrheithio.

Adn. 10. *Ond myfi a ddynoethais Esau*] A'i dyosgais ef o'i gwbl trwy ddwylaw y Caldeaid : hyny yw, byddai y dinystr a ddisgynai ar yr Edomiaid mor drylwyr, fel na byddai cymaint ag un wedi ei adael ar ol. *Ac a ddatguddiais ei lochesau ef, fel na allo lechu*—ei hun, na chuddio ei drysorau. *Ei had ef a ddyfethwyd*—sef ei deulu, a phawb ag oeddynt mewn cysylltiad âg ef ; *ac nid yw efe*—nid oes dim o hono wedi ei adael.

Adn. 11. *Gad dy amddifaid*] Dan fy ngofal i ; *myfi a'u cadwaf hwynt yn fyw*—pan fyddo eu tadau yn cael eu dyfetha : *ac ymddirieded dy weddwon ynof fi*—ar ol iddynt golli eu gwŷr. Y mae llawer o wahanol farnau ar ystyr y geiriau hyn. (1) Y mae rhai yn eu darllen yn holiadol : 'A gadwaf fi dy amddifaid yn fyw ? neu a gaiff dy weddwon ymddiried ynof fi ?' (2) Tybia ereill mai addewid ydynt i blant a gweddwon yr Edomiaid, y byddai i'r gelynion, ar ol lladd y tadau a'r gwŷr, gadw y gwragedd a'r plant yn fyw. (3) Tybia ereill mai addewid Duw i Israel yw y geiriau hyn, i goffa iddynt eu breintiau hwy a'u plant ragor yr Edomiaid. (4) Modd bynag, y mae amrai addewidion cyffelyb i hyn yn cael eu gwneuthur i'r duwiolion yn yr ysgrythyrau, y rhai sydd wedi bod yn gysur cryf i lawer tad a gŵr wrth farw, wrth gofio fod yr Arglwydd wedi addaw bod yn 'Dad yr amddifaid, a Barnwr y gweddwon,' Salm lxviii. 5 : gwel hefyd Deut. x. 18, Salm lxxxii. 3, 4, a cxlvi. 9, Diar. xxiii. 10, 11, Mal. iii. 5, Iago i. 27.

Adn. 12. *Wele, y rhai nid oedd eu barn i yfed o'r phiol*] Sef llawer o dduwiolion a phlant yn mhob oes, y rhai nid oeddynt mewn rhyw ystyr, neu mewn cymhariaeth i ereill, yn haeddu y gosp a ddisgynodd arnynt ; *gan yfed a yfasant*—yn ddwfn o phiol win y digofaint dwyfol, pen. xxv. 15 : *ac a ddiengi di yn ddigerydd*—tydi Edom, yr hon y mae cwpan dy anwiredd yn llawn ? *Na ddiengi, eithr tithau a yfi yn sicr*—gwel ar pen. xxv. 29.

Adn. 13. *Canys i mi fy hun y tyngais*] Gan gadarnhau fy mygythiad trwy lw, fel y cadarnheais lawer gwaith fy addewidion : *mai yn annghyfanedd*—heb breswylydd ; *yn warth*—i bawb a elo heibio ; *yn anialwch*—wedi ei melldithio ; *y bydd Bozrah*—un o brif ddinasoedd yr Edomiaid, yn gystal a'u holl ddinasoedd ereill hwy.

Adn. 14. *Myfi a glywais chwedl*] Hebr., 'adroddiad neu hysbysiad,' sef datguddiad oddiwrth yr Arglwydd trwy ddwyfol ysbrydoliaeth ; *bod cenad wedi ei anfon at y cenhedloedd*—fod Duw wedi cynhyrfu meddyliau y Caldeaid i fyned allan i ryfel yn erbyn Edom.

Adn. 15. *Myfi a'th wnaf di yn fychan, &c.*] Yn wan a gwael, a hawdd dy orchfygu, yn ngolwg y rhai a ddeuant i'th erbyn.

Adn. 16. *Dy erwindeb*] Dy nerth arswydus, yn yr hwn yr oeddit yn ymddiried : neu erwindeb creigiau eu gwlad ; *a'th dwyllodd*—trwy beri i ti feddwl dy fod yn gryfach a diogelach nag yr ydwyt ; *ti yr hon ydwyt yn aros yn nghromlechydd y graig*—y mae holl wlad Idumea yn llawn o fynyddoedd, creigiau, ac ogofau, yn y rhai yr ymguddiai y trigolion mewn amseroedd o ryfel neu wres mawr. *Er i ti osod dy nyth cyn uched a'r eryr*—yr hwn a arfera nythu yn y creigiau uchaf, Job xxxix. 27, 28 ; *myfi a wnaf i ti ddisgyn.*

er i ti osod dy nyth cyn uched a'r
eryr, myfi a wnaf i ti ddisgyn oddi-
yno, medd yr Arglwydd.
17 Edom hefyd a fydd yn an-
nghyfanedd : pawb a'r a elo heibio
iddi a synna, ac a chwibana am ei
holl ddialeddau hi.
18 Fel yn ninystr Sodom a Go-
morra, a'i chymydogesau, medd yr
Arglwydd; ni phreswylia neb yno,
ac nid erys mab dyn ynddi.
19 Wele, fel llew y daw i fyny
oddiwrth ymchwydd yr Iorddonen,
i drigfa y cadarn; eithr mi a wnaf
iddo redeg yn ddisymwth oddiwrthi
hi: a phwy *sydd ŵr* dewisol, a osod-
wyf fi arni hi? canys pwy *sydd* fel
myfi? a phwy a esyd i mi amser? a
phwy *yw* y bugail hwnw a saif o'm
blaen i?
20 Am hyny gwrandewch gyng-
hor yr Arglwydd, yr hwn a gymer-
odd efe yn erbyn Edom, a'i fwriadau
a fwriadodd efe yn erbyn preswyl-
wyr Teman : yn ddiau y rhai lleiaf
o'r praidd a'u llusgant hwy ; yn
ddiau efe a wna yn annghyfanedd
eu trigleoedd gyda hwynt.
21 Gan lef eu cwymp hwynt y
cryn y ddaear: llais eu gwaedd
hwynt a glybuwyd yn y môr
coch.
22 Wele, fel eryr y daw i fyny, ac
efe a eheda ac a leda ei adenydd
dros Bozrah : yna y bydd calon ced-
yrn Edom y dydd hwnw fel calon
gwraig wrth esgor.
23 ¶ Am Damascus. Hamath
ac Arphad a waradwyddwyd ; o
herwydd hwy a glywsant chwedl

---

*oddiyno*—pan y rhuthra y Caldeaid i'th wlad.

Adn. 17. *Edom hefyd a fydd yn annghyfanedd, &c.*] Gwel ar pen. xviii. 16.

Adn. 18. *Fel yn ninystr Sodom a Gomorra*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo llwyr ddinystr; *a'i chymydogesau*—sef y dinasoedd ereill yn y gwastadedd hwnw, y rhai y dywed *Strabo* eu bod oll yn dair-ar-ddeg: gwel ar Gen. xix. 24, 25. *Ni phreswylia neb yno*—yn Edom, mwy nag yn Sodom a Gomorra.

Adn. 19. *Wele, fel llew y daw i fyny oddiwrth ymchwydd yr Iorddonen*] Hyn sydd ddarluniad o Nebuchodonosor yn dyfod i fyny gyda'i fyddin yn erbyn Edom, fel llew yn cael ei yru allan o'i loches ar lanau yr Iorddonen, gan orlifiad yr afon hòno. *I drigfa y cadarn*—sef i fynydd Seir, lle yr oedd brenin Edom yn cartrefu. *Eithr mi a wnaf iddo redeg yn ddisymwth oddiwrthi hi*—paraf i frenin cadarn Edom ffoi ar frys o'i drigfa ar ddynesiad Nebuchodonosor; neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Mi a wnaf iddo redeg yn ddisymwth *arni* hi,' hyny yw, paraf i Nebuchodonosor ruthro yn ddisymwth i wlad Edom. *A phwy sydd ŵr dewisol, a osodwyf fi arni hi*—i'w dinystrio hi, neu i fod yn rhaglaw arni dan Nebuchodonosor? *Canys pwy sydd fel myfi*—yn gallu parotoi offerynau i gario allan fy nghynlluniau? *A phwy a esyd i mi amser*—i gyflawni fy mwriadau, neu i gyfarfod âg ef mewn rhyfel? *A phwy yw y bugail hwnw a saif o'm blaen i*—a all ddiogelu yr Edomiaid rhag y *llew* a anfonaf fi i'w hysglyfaethu?

Adn. 20. *Am hyny gwrandewch gynghor yr Arglwydd*] Sef y bwriadau a ffurfiodd efe yn erbyn gwlad Edom a phreswylwyr Teman. *Yn ddiau y rhai lleiaf o'r praidd a'u llusgant hwy*—byddai i'r rhai gwanaf yn myddin y Caldeaid orchfygu y rhai cryfaf o'r Edomiaid, a'u llusgo hwy allan o'u llochesau: *yn ddiau efe a wna yn annghyfanedd eu trigleoedd gyda hwynt*—trwy gaethgludo neu ddyfetha y trigolion.

Adn. 21. *Gan lef eu cwymp hwynt y cryn y ddaear*] Y dychryna yr holl wledydd o'u hamgylch: *llais eu gwaedd hwynt a glybuwyd yn y môr coch*—yr hwn oedd yn bell oddiyno.

Adn. 22. *Wele, fel eryr y ddaw i fyny*] Y daw Nebuchodonosor i fyny i Edom; *ac efe a eheda*—yn gyflym; *ac a leda ei adenydd*—sef ei fyddin luosog, *dros Bozrah*—yr hon a enwir yma am yr holl ddinasoedd ereill: *yna y bydd calon cedyrn Edom, &c.*—gwel ar pen. xlviii. 40, 41.

Adn. 23. *Am Damascus*] Hwn yw teitl proffwydoliaeth arall. Damascus oedd un o brif ddinasoedd Syria. Cymerwyd hi gan Dafydd, 2 Sam. viii. 6; eithr dygwyd hi yn ol dan deyrnasiad Solomon, 1 Bren. xi. 24, &c., ac adennillodd ei hannibyniaeth. Yr oedd ei brenhinoedd hi mewn rhyfel yn fynych â'r deg llwyth, ac ymunodd un o honynt â hwynt unwaith i ddyfetha Juda. I'w amddiffyn ei hun rhag y gelynion cedyrn hyn, ymgynghreiriodd Ahaz â brenin Assyria, yr hwn a aeth i fyny i Damascus, ac a'i hennillodd hi, ac a gaethgludodd ei thrigolion, 2 Bren. xvi. 9. O'r pryd hyny ni chlywn ddim am Damascus hyd y broffwydoliaeth hon. Ymddengys iddi gael ei hailadeiladu, a'i hadferi gryn enwogrwydd. Hi a wnaeth wrthsafiad cryf yn erbyn Nebuchodonosor; ond o'r diwedd efe a'i gorchfygodd hi. Y mae yn awr yn ddinas fawr a phoblog, a'i masnach yn helaeth. *Hamath ac Arphad a waradwyddwyd*—dwy ddinas yn Syria, nid yn mhell o Damascus, yn ol rhai; ond tybia ereill mai yr ynys *Aradus*, yn Môr-y-canoldir, oedd yr *Arphad* hon. *O herwydd hwy a glywsant chwedl ddrwg*—am ddynesiad y Caldeaid i'w herbyn: *llesmeiriasant*—gan ofn: *y mae gofal ar y môr heb fedru gorphwys*—'y maent fel y môr aflonydd yr hwn nas gall or-

ddrwg; llesmeiriasant; *y mae* gofal
ar y môr heb fedru gorphwys.
24 Damascus a lesgaodd, *ac* a
ymdry i ffoi, ond dychryn a'*i* goddi-
weddodd *hi;* gwasgfa a phoenau a'i
daliodd hi fel gwraig yn esgor.
25 Pa fodd na adewir dinas mol-
iant, caer fy llawenydd?
26 Am hyny ei gwŷr ieuainc a
syrthiant yn ei heolydd, a'r holl ry-
felwyr a ddyfethir y dydd hwnw,
medd Arglwydd y lluoedd.
27 A mi a gyneuaf dân yn mur
Damascus, ac efe a ddifa lysoedd
Benhadad.
28 ¶ Am Cedar, ac am deyrnas-
oedd Hazor, y rhai a ddinystria Ne-
buchodonosor brenin Babilon, fel
hyn y dywed yr Arglwydd; Cyfod-
wch, ewch i fyny yn erbyn Cedar,
ac anrheithiwch feibion y dwyrain.
29 Eu lluestai a'u deadellau a gy-
merant ymaith; eu lleni, a'u holl
lestri, a'u camelod, a gymerant idd-
ynt eu hunain; a hwy a floeddiant
arnynt, *Y mae* ofn o amgylch.
30 ¶ Ffowch, ciliwch yn mhell,
ewch yn isel i drigo, preswylwyr
Hazor, medd yr Arglwydd: o her-
wydd Nebuchodonosor brenin Babi-
lon a gymerodd gynghor yn eich
erbyn chwi, ac a fwriadodd fwriad
yn eich erbyn chwi.
31 Cyfodwch, ac ewch i fyny at
y genedl oludog, yr hon sydd yn
trigo yn ddiofal, medd yr Arglwydd,
heb ddorau na barau iddi; wrthynt
eu hunain *y maent* yn trigo.
32 A'u camelod a fydd yn an-
rhaith, a'u minteioedd anifeiliaid
yn yspail, a mi a wasgaraf tua phob
gwynt y rhai *sydd* yn y conglau
eithaf; a myfi a ddygaf o bob
ystlys iddi eu dinystr hwynt, medd
yr Arglwydd.
33 Hazor hefyd fydd yn drigfa

---

phwys.'—*Clarke.* Neu 'toddwyd hwynt i fôr o bryder.'—*Blayney.*

Adn. 24. *Damascus a lesgaodd, ac a ymdry i ffoi*] Yn lle myned allan i wrthsefyll y Caldeaid; *ond dychryn a'i goddiweddodd hi*—cyn iddi allu myned yn mhell: *gwasgfa a phoenau a'i daliodd hi fel gwraig yn esgor*—fel gwewyr gwraig yn esgor.

Adn. 25. *Pa fodd na adewir dinas moliant, caer fy llawenydd?*] Hyny yw, paham na adewir llonydd iddi? Hon yw iaith brenin Damascus ond odid, wrth iddo ganfod nad oedd ei ddinas ef, yr hon a ganmolid mor fawr gan bawb, ac a barai y fath lawenydd iddo yntau, yn cael ei harbed gan y gelyn, mwy na dinasoedd ereill o lai enwogrwydd.

Adn. 26. *Am hyny ei gwŷr ieuainc a syrthiant yn ei heolydd*] Trwy gleddyf eu gelynion; *a'r holl ryfelwyr a ddyfethir y dydd hwnw*—pan ddaw y Caldeaid i mewn.

Adn. 27. *A mi a gyneuaf dân yn mur Damascus*] Yn y tai a'r tyrau ag oeddynt ar ei muriau hi; *ac efe a ddifa lysoedd Benhadad*—Benhadad oedd enw tri o frenhinoedd Syria, y rhai a grybwyllir yn nau lyfr y Brenhinoedd; ac arwydda *fab Hadad.*

Adn. 28. *Am Cedar, ac am deyrnasoedd Hazor*] Dyma deitl proffwydoliaeth arall. *Cedar* oedd enw un o feibion Ismael, Gen. xxv. 13, yr hwn a ymsefydlodd yn Arabia, ac a roddes enw i lwyth cryf o Arabiaid. Yr oedd *Hazor* hefyd yn Arabia, ac wedi ei rhanu yn fân deyrnasoedd dan wahanol frenhinoedd, ac felly yr oedd yn wahanol i Hazor yn ngwlad Canaan, Jos. xi. 1. *Y rhai a ddinystria Nebuchodonosor*—trwy orchymyn pendant Duw. *Anrheithiwch feibion y dwyrain*—sef yr Arabiaid, y rhai a elwir felly yn fynych yn yr ysgrythyrau.

Adn. 29. *Eu lluestai a'u deadellau a gymerant ymaith*] A gymerai y Caldeaid ymaith: *eu lleni a'u holl lestri*—sef lleni prydferth eu pebyll, a'r llestri gwerthfawr ag oeddynt ynddynt; *a'u camelod*—y rhai oeddynt luosog iawn yn Arabia; *a gymerant iddynt eu hunain*—yn anrhaith rhyfel: *a hwy a floeddiant arnynt, Y mae ofn o amgylch*—neu, 'dygent arnynt ofn o bob tu:' gwel *Blayney.*

Adn. 30. *Ffowch, ciliwch yn mhell*] O'ch trigfanau presenol; *ewch yn isel i drigo*—gwel ar adn. 8. Yr oedd yn bryd i breswylwyr Hazor ffoi fel hyn, trwy fod gelyn mor rymus a Nebuchodonosor wedi bwriadu ymosod arnynt.

Adn. 31. *Cyfodwch*] Y rhai hyn ydynt eiriau yr Arglwydd wrth Nebuchodonosor a'i wŷr; *ac ewch i fyny at y genedl oludog*—*goi sheleiv*, 'y genedl heddychol,' canys nid oedd yr Arabiaid yn oludog; *yr hon sydd yn trigo yn ddiofal*—gan feddwl na fyddai o werth i neb ymosod ar y fath bobl dylodion; *heb ddorau na barau iddi*—nid oedd ganddynt ddinasoedd na thai, ac felly nid oedd arnynt eisiau dorau na barau: *wrthynt eu hunain y maent yn trigo*—mewn pebyll, a'r rhai hyny yn mhell oddiwrth eu gilydd, er mwyn cyfleusdra i borthi eu hanifeiliaid.

Adn. 32. *A'u camelod a fydd yn anrhaith*] I'r Caldeaid, adn. 29: *a mi a wasgaraf tua phob gwynt*—tua phedwar chwarter y nefoedd; *y rhai sydd yn y conglau eithaf*—hyd yn nod y rhai mwyaf anhygyrch: *a myfi a ddygaf o bob ystlys iddi eu dinystr hwynt*—trwy y Caldeaid, y rhai a amgylchynant yr holl wlad.

Adn. 33. *Hazor hefyd fydd yn drigfa dreigiau*] Yn gartrefle i bob math o fwystfilod

dreigiau, *ac* yn annghyfanedd byth:
ni phreswylia neb yno, ac nid erys
mab dyn ynddi.
34 ¶ Gair yr Arglwydd yr hwn
a ddaeth at Jeremi y proffwyd yn
erbyn Elam, yn nechre teyrnasiad
Zedeciah brenin Juda, gan ddy-
wedyd,
35 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd: Wele fi yn tori bwa Elam,
eu cadernid penaf hwynt.
36 A mi a ddygaf ar Elam bed-
war gwynt o bedwar eithaf y nef-
oedd, a mi a'u gwasgaraf hwynt
tua'r holl wyntoedd hyn; ac ni
bydd cenedl at yr hon ni ddelo
*rhai* o grwydriaid Elam.
37 Canys mi a yraf ar Elam ofn
eu gelynion, a'r rhai a geisiant eu
heinioes; a myfi a ddygaf arnynt
aflwydd, *sef* angerdd fy nigofaint,
medd yr Arglwydd; a mi a anfonaf
y cleddyf ar eu hol, nes i mi eu
dyfetha hwynt.
38 A mi a osodaf fy nheyrn-gadair
yn Elam, a mi a ddyfethaf oddiyno
y brenin a'r tywysogion, medd yr
Arglwydd.
39 ¶ Ond yn y dyddiau diweddaf,
myfi a ddychwelaf gaethiwed Elam,
medd yr Arglwydd.

## PENNOD L.

Y GAIR a lefarodd yr Arglwydd
yn erbyn Babilon, *ac* yn erbyn
gwlad y Caldeaid, trwy Jeremi y
proffwyd.
2 Mynegwch yn mysg y cenhedl-
oedd, a chyhoeddwch, a chodwch
arwydd; cyhoeddwch, na chelwch:
dywedwch, Goresgynwyd Babilon,

---

rheibus ac ymlusgiaid gwenwynig, yn lle bod yn drigfa i ddynion a'u deadellau: *ni phreswylia neb yno*—er y gallai dynion ymweled â'r wlad hono weithiau, byddai yn rhy ddiffaeth i neb aros ynddi yn hir.

Adn. 34. *Gair yr Arglwydd—yn erbyn Elam*] Cawn yma broffwydoliaeth newydd, yr hon a draethwyd yn nechre teyrnasiad Zedeciah, oddeutu deng mlynedd cyn cymeryd Jerusalem; ac am hyny rhaid ei bod yn flaenorol i'r proffwydoliaethau uchod, ac yn annghysylltiol â hwy. Tybia rhai mai *Persia* a feddylir bob amser yn yr ysgrythyrau wrth *Elam;* ond nid yw hyny yn debygol. Yr oedd hi yn rhan o'r amherodraeth Fabilonaidd yn amser Daniel, pen. viii. 2; ac y mae yn dra thebyg mai Elam yw *Elymais* y Groegiaid. Darostyngwyd Elam a Susiana gan Nebuchodonosor, yr hwn a'i cymerodd hi oddiar Astyages brenin Media. Modd bynag, pan sefydlwyd unbenaeth Persia dan Cyrus, yr oedd Elam yn gwneyd i fyny ran o honi.

Adn. 35. *Wele fi yn tori bwa Elam*] Yn eu hanalluogi hwy i ddefnyddio eu bwa mewn rhyfel, trwy ladd rhai a chaethiwo y lleill; *eu cadernid penaf hwynt*—eu prif offeryn i'w hamddiffyn eu hunain trwy niweidio ereill. Addefir gan *Strabo*, *Livy*, ac ysgrifenwyr paganaidd ereill, fod yr Elamiaid, neu yr Elamitiaid fel eu gelwir weithiau, yn fedrus iawn mewn saethu â bwa: gwel ar Esay xxi. 2, a xxii. 6.

Adn. 36. *A mi a ddygaf ar Elam bedwar gwynt*] Sef gelynion gwaedlyd o'r pedwar parth o'u hamgylch, y rhai a wnaent i fyny fyddin Nebuchodonosor, ac a wasgarent yr Elamiaid i bob parth: *ac ni bydd cenedl at yr hon ni ddelo rhai o grwydriaid Elam*—yn gaethion. Yr oedd 127 o wahanol daleithiau yn perthyn i'r amherodraeth Fabilonaidd, at y rhai y cyfeirir yma: gwel ar Esther i. 1.

Adn. 37. *Canys mi a yraf ar Elam ofn eu gelynion*] Nes y ceisiant ffoi rhagddynt, yn lle eu gwrthsefyll mewn rhyfel: *a myfi a ddygaf arnynt aflwydd*—sef angerdd y digofaint dwyfol: *a mi a anfonaf y cleddyf ar eu hol*—i'w dyfetha yn y lleoedd i'r rhai y ffoant.

Adn. 38. *A mi a osodaf fy nheyrn-gadair yn Elam*] Byddai i Dduw ei llywodraethu ei hunan, trwy ei was Nebuchodonosor, neu Cyrus, neu trwy bob un o'r ddau: *a mi a ddyfethaf oddiyno y brenin a'r tywysogion* —y rhai a'i llywodraethent hi gynt.

Adn. 39. *Ond yn y dyddiau diweddaf myfi a ddychwelaf gaethiwed Elam*] Sef dan deyrnasiad Cyrus, pryd yr adferwyd y gweddill o honynt i'w hetifeddiaethau blaenorol. Ond diamau fod hyn i'w ddeall yn benaf am eu rhyddid ysbrydol hwy, yr hwn a fwynhäent dan yr efengyl: gwel ar pen. xlviii. 47.

PEN. L. Adn. 1. *Y gair a lefarodd yr Arglwydd yn erbyn Babilon*] Ymddengys i'r broffwydoliaeth hon gael ei thraethu, a'i hanfon i'r Iuddewon yn Babilon, yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, pen. li. 59, &c. *Ac yn erbyn gwlad y Caldeaid* —yr oedd y Caldeaid wedi bod yn fflangell drom ar yr Iuddewon a chenhedloedd ereill, fel y gwelsom eisioes; ac yn awr, gan fod cwpan eu hanwiredd hwythau yn llawn, yr oeddynt hwythau hefyd i gael eu cospi trwy y Mediaid a'r Persiaid: gwel ar Esay xxi. 2.

Adn. 2. *Mynegwch*] Chwi Iuddewon, blaenffrwyth y gaethglud dan Joacin; *yn mysg y cenhedloedd*—benderfyniad Duw o berthynas i Babilon; *a chodwch arwydd*—i gynull y bobl yn nghyd i glywed y newydd: *dywedwch*—gyda'r un sicrwydd a phe buasai y peth wedi ei gyflawni eisioes; *Goresgynwyd Babilon*—gan ei gelynion cedyrn; *gwaradwyddwyd Bel*—un o brif eilunod Babilon, trwy nas gallai ef waredu ei ddinas ei hun; *drylliwyd*

gwaradwyddwyd Bel, drylliwyd
Merodach: ei heilunod a gywilydd-
iwyd, a'i delwau a ddrylliwyd.
3 Canys o'r gogledd y daw cenedl
yn ei herbyn hi, yr hon a wna ei
gwlad hi yn annghyfanedd, fel na
byddo preswylydd ynddi: yn ddyn
ac yn anifel y mudant, ac y ciliant
ymaith.
4 ¶ Yn y dyddiau hyny, ac yn
yr amser hwnw, medd yr Arglwydd,
meibion Israel a ddeuant, hwy a
meibion Juda yn nghyd, dan gerdd-
ed ac ŵylo yr ânt, ac y ceisiant yr
Arglwydd eu Duw.
5 Hwy a ofynant y ffordd i Seion,
tuag yno *y bydd* eu hwynebau
hwynt: Deuwch, *meddant,* a glyn-
wn wrth yr Arglwydd, *trwy* gyfam-
mod tragwyddol *yr hwn* nid an-
nghofir.
6 Fy mhobl a fu *fel* praidd coll-
edig; eu bugeiliaid a'u gyrasant
hwy ar gyfeiliorn, *ar* y mynyddoedd
y troisant hwynt ymaith: aethant o
fynydd i fryn, annghofiasant eu gor-
weddfa.
7 Pawb a'r a'u cawsant a'u difas-
ant, a'u gelynion a ddywedasant, Ni
wnaethom ni ar fai; canys hwy a
bechasant yn erbyn yr Arglwydd,
trigle cyfiawnder; sef yr Arglwydd,
gobaith eu tadau.
8 Ciliwch o ganol Babilon, ac
ewch allan o wlad y Caldeaid; a
byddwch fel bychod o flaen y praidd.
9 ¶ O herwydd wele, myfi a gy-
fodaf ac a ddygaf i fyny yn erbyn
Babilon gynulleidfa cenhedloedd
mawrion o dir y gogledd: a hwy a
ymfyddinant yn ei herbyn; oddiyno
y goresgynir hi: eu saethau *fydd*
fel *saethau* cadarn cyfarwydd; ni
ddychwelant yn ofer.

---

*Merodach*—un arall o'i phrif eilunod, yr hwn nis gallai ei waredu ei hun: *ei heilunod a gywilyddiwyd, a'i delwau a ddrylliwyd*—sef ei holl eilunod a'i delwau ereill, o arian ac aur, o goed ac o faen.

Adn. 3. *Canys o'r gogledd y daw cenedl yn ei herbyn hi*] Sef y Mediaid, y rhai a orweddent o du y gogledd i Caldea; *yr hon a wna ei gwlad hi yn annghyfanedd*—hyny yw, yr hon a ddechreua ei dinystrio; canys nid ar unwaith y cwblhawyd ei llwyr ddinystr hi.

Adn. 4. *Yn y dyddiau hyny*] Pan ddechreuo Duw dywallt ei farn ar Babilon; *meibion Israel a ddeuant, hwy a meibion Juda yn nghyd*—sef y rhai hyny o'r deg llwyth ag oeddynt yn mhlith yr Iuddewon yn Babilon; neu, byddai i lawer o'r rhai a gaethgludesid i Assyria, wrth glywed fod Cyrus wedi rhoddi gorchymyn i ryddhau eu brodyr yn Babilon, ymgysylltu â hwy, a dychwelyd i Ganaan. *Dan gerdded ac ŵylo yr ânt*—dan ŵylo o ofid am y pechodau a ddygasent arnynt drallodau eu caethiwed, ac ŵylo o lawenydd am fod Duw yn awr yn eu dwyn hwynt yn ol i'w gwlad eu hunain. *Ac y ceisiant yr Arglwydd*—sef ei ffafr, ei nodded, a'i gymhorth ef.

Adn. 5. *Hwy a ofynant y ffordd i Seion*] Hen ddinas eu Duw: *tuag yno y bydd eu hwynebau hwynt*—lle y penderfynant fyned, ar ol i Cyrus rwyddhau eu ffordd. *Deuwch, meddant*—y naill wrth y llall, gan annog eu gilydd i'r daith; *a glynwn wrth yr Arglwydd trwy gyfammod tragwyddol, yr hwn nid annghofir*—yr oeddynt wedi tori y cyfammod a wnaethai Duw â'u tadau, a'r hwn a adnewyddwyd ganddynt hwythau yn amser Josiah, ychydig cyn y caethiwed; ond yma y maent yn annog eu gilydd i ymgyflwyno i'r Arglwydd o'r newydd, a hyny trwy gyfammod tragwyddol *nad annghofir*; canys byddai i'r goffadwriaeth o hono barhau y gadwraeth o hono. Y mae yr Iuddewon yn parhau i gadw y cyfammod hwn hyd heddyw cyn belled ag i beidio bod yn eilunaddolwyr; canys ar ol eu dychweliad hwy o Babilon, ni ddarfu iddynt erioed fel cenedl addoli duwiau dyeithr.

Adn. 6. *Fy mhobl a fu fel praidd colledig*] Wedi eu gyru o'r wlad a roddais i iddynt, fel defaid wedi crwydro o'u porfa; neu aethant ar goll trwy eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill; *eu bugeiliaid a'u gyrasant hwy ar gyfeiliorn*—sef eu llywodraethwyr gwladol ac eglwysig. *Aethant o fynydd i fryn*—i ddylyn eu heilunaddoliaeth: *annghofiasant eu gorweddfa*—eu corlan briodol fel fy mhraidd neillduol i.

Adn. 7. *Pawb a'r a'u cawsant a'u difasant*] Yr oedd pawb a allent yn eu hysglyfaethu ar bob llaw; *a'u gelynion a ddywedasant, Ni wnaethom ni ar fai*—wrth eu gorthrymu a'u caethiwo fel hyn: *canys hwy a bechasant yn erbyn yr Arglwydd*—am yr hyn y rhoddwyd hwynt yn ein dwylaw ni i'w cospi: *trigle cyfiawnder*—sef y Duw hwnw ag sydd yn '*noddfa* i'r cyfiawnion,' ac a fu yn *obaith* i'w tadau hwynt yn mhob oes. Neu gall mai yr ystyr yw, 'pechasant yn erbyn yr Arglwydd *yn nhrigle cyfiawnder*,' sef yn y wlad hòno a ddylasai fod yn drigle cyfiawnder.

Adn. 8. *Ciliwch o ganol Babilon*] Yr hon a ddiofrydwyd i ddinystr: *ac ewch allan o wlad y Caldeaid*—gyda'r brys mwyaf; *a byddwch fel bychod o flaen y praidd*—hyn sydd alwad ar benaethiaid yr Iuddewon, megys Zorobabel, Ezra, ac ereill, i gefnogi eu brodyr i fyned ymaith, ac i fod yn siamplau iddynt fel bychod o flaen y praidd.

Adn. 9. *O herwydd wele, myfi a gyfodaf ac a ddygaf i fyny yn erbyn Babilon*] Yr oedd dinystr Babilon yn dyfod oddiwrth yr

10 A Chaldea fydd yn yspail:
pawb a'r a'i hyspeiliant hi a ddigon-
ir, medd yr Arglwydd.
11 Am i chwi fod yn llawen, am
i chwi fod yn hyfryd, chwi fathrwyr
fy etifeddiaeth, am i chwi frasâu fel
anner *mewn* glaswellt, a beichio fel
teirw;
12 Eich mam a gywilyddir yn
ddirfawr, a'r hon a'ch ymddyg a
waradwyddir: wele, yr olaf o'r cen-
hedloedd yn anialwch, yn grasdir
ac yn ddiffaethwch.
13 O herwydd digofaint yr Ar-
glwydd nis preswylir hi, eithr hi a
fydd i gyd yn anghyfanedd: pawb
a el heibio i Babilon a syna, ac a
chwibana am ei holl ddialeddau hi.
14 Ymfyddinwch yn erbyn Babi-
lon o amgylch; yr holl berchen bwa-
au, saethwch ati, nac arbedwch
saethau: oblegid hi a bechodd yn
erbyn yr Arglwydd.
15 Bloeddiwch yn ei herbyn hi o
amgylch; hi a roddes ei llaw: ei
sylfeini hi a syrthiasant, ei muriau
a fwriwyd i lawr; o herwydd dial
yr Arglwydd *yw* hyn: dielwch arni:
fel y gwnaeth, gwnewch iddi.
16 Torwch ymaith yr hauwr o
Babilon, a'r hwn a ddalio gryman
ar amser cynauaf: rhag cleddyf y
gorthrymwr y troant bob un at ei
bobl ei hun, ac y ffoant bob un i'w
wlad.
17 ¶ Fel dafad ar wasgar *yw*

---

Arglwydd, yr hwn a gynhyrfai feddyliau cenhedloedd mawrion i ddyfod yn ei herbyn hi; *o dir y gogledd*—gwel ar adn. 3: *a hwy a ymfyddinant yn ei herbyn*—i'w dinystrio yn llwyr: *oddiyno y goresgynir hi*—Hebr., '*yn ddiatreg* y goresgynir hi.' *Eu saethau fydd fel saethau cadarn cyfarwydd*—pob un yn cyraedd ei nôd yn effeithiol; *ni ddychwelant yn ofer*—heb beri dinystr. Gwelsom o'r blaen fod y Mediaid a'r Persiaid yn saethyddion rhagorol.

Adn. 10. *A Chaldea fydd yn yspail*] I ereill, megys y bu ereill lawer gwaith iddi hithau: *pawb a'r a'i hyspeiliant hi, a ddigonir*—a gânt gymaint ag a ddymunant. Ystyrid Caldea y pryd hyny y wlad gyfoethocaf yn y byd.

Adn. 11. *Am i chwi fod yn llawen*] Wrth yspeilio a mathru etifeddiaeth Duw, sef yr Iuddewon a'u gwlad: *am i chwi frasâu fel anner mewn glaswellt*—sef mewn porfa fras; *a beichio fel teirw*—nwyfus yn buguned ar ol y gwartheg; neu, yn ol y LXX, 'am i chwi neidio fel anner mewn glaswellt, a'u cornio fel teirw.' Er mai gweinyddu barnedigaethau Duw ar yr Iuddewon yr oedd y Caldeaid, eto yr oedd yn gyfiawn iddynt hwy gael eu cospi fel y nodwyd uchod, gan mai porthi eu huchelgais a'u malais eu hunain yn unig oedd eu hamcan hwy, a darfod iddynt arfer llawer o greulondeb tuag at yr Iuddewon, uwchlaw yr hyn oedd angenrheidiol: gwel ar Esay x. 7.

Adn. 12. *Eich mam*] Sef amherodraeth Caldea, neu Babilon y fam-ddinas; *a gywilyddir yn ddirfawr*—wrth ganfod ei meibion wedi eu darostwng i iselder a gwarth. *Wele yr olaf o'r cenhedloedd yn anialwch*—sef Babilon neu 'Sesach,' yr olaf a ddyfarnwyd i yfed o phiol win y digofaint, pen. xxv. 26; *yn grasdir ac yn ddiffaethwch*—rhagddywedasai Esay, pen. xiv. 23, y byddai Babilon yn 'byllau dyfroedd;' ond dywedir yma y bydd hi yn 'grasdir ac yn ddiffaethwch.' Yr oedd gorlifiad yr Euphrates, pan drôdd Cyrus hi o'i rhedle, wedi gwneyd y wlad o amgylch Babilon yn gors leidiog; eithr yn mhen oesoedd daeth yn ddiffaethwch sych: ac y mae yr olwg ag sydd arni yn awr, fel y dywed ymdeithwyr, yn gyflawniad llythyrenol o'r broffwydoliaeth hon.

Adn. 13. *O herwydd digofaint yr Arglwydd nis preswylir hi*] Gwel ar Esay xiii. 19—22: *pawb a el heibio i Babilon a syna*—wrth weled ôl y fath ddialedd arni; *ac a chwibana*—arni mewn gwawd.

Adn. 14. *Ymfyddinwch yn erbyn Babilon o amgylch*] Chwi Fediaid a Phersiaid: *nac arbedwch saethau*—eithr gollyngwch hwynt oddiar eich bwäau gyda nerth ac mewn lluosogrwydd: *oblegid hi a bechodd yn erbyn yr Arglwydd*—trwy ei heilunaddoliaeth, a'i chreulondeb tuag at ei bobl ef.

Adn. 15. *Bloeddiwch yn ei herbyn hi o amgylch*] Fel milwyr yn calonogi eu gilydd i ryfel: *hi a roddes ei llaw*—hyny yw, hi a ymostyngodd, neu a'i rhoddes ei hun i fyny i'ch dwylaw, fel yr arwydda yr ymadrodd, 1 Cron. xxix. 24, Galar. v. 6. *Ei sylfeini hi*—neu ei 'chanllawiau,' a syrthiasant; *ei muriau a fwriwyd i lawr*—nes y mae y fuddugoliaeth yn sicr o fod yn eiddoch chwi. *O herwydd dial yr Arglwydd yw hyn*—am ei chreulondeb tuag at ereill. *Dielwch arni*—dros Dduw: *fel y gwnaeth, gwnewch iddi*—cymhwysir yr ymadroddion hyn at y Fabilon gyfriniol: gwel ar Dat. xviii. 2, 6, &c.

Adn. 16. *Torwch ymaith yr hauwr o Babilon*] 'Yr oedd muriau Babilon, yn ol Herodotus, yn 60 milldir o amgylchedd; ac o fewn y cylch mawr hwn yr oedd llawer o dir yn cynyrchu ŷd, nes yr oedd digon yn tyfu o fewn ei muriau i gynal y trigolion yn ystod hir warchaead.'—PRIDEAUX. *Rhag cleddyf y gorthrymwr*—sef cleddyf Cyrus, arweinydd byddinoedd y Mediaid a'r Persiaid; *y troant bob un at ei bobl ei hun*—hyn a ddywedir am gynghreirwyr milwraidd y Babiloniaid, neu am y dyeithriaid a gartrefent neu a fasnachent yn Babilon, Esay xiii. 14.

Adn. 17. *Fel dafad ar wasgar yw Israel, &c.*] Cafodd holl hiliogaeth Jacob eu hymlid a'u hanrheithio; y deg llwyth gan yr Assyr-

Israel; llewod a'*i* hymlidiasant
ymaith: brenin Assyria yn gyntaf
a'i hysodd, a'r Nebuchodonosor
yma brenin Babilon yn olaf a'i dies-
gyrnodd.
18 Am hyny fel hyn y dywed
Arglwydd y lluoedd, Duw Israel;
Wele, myfi a ymwelaf â brenin
Babilon, ac â'i wlad, fel yr ymwel-
ais â brenin Assyria.
19 A mi a ddychwelaf Israel i'w
drigfa, ac efe a bawr *ar* Carmel a
Basan; ac ar fynydd Ephraim a
Gilead y digonir ei enaid ef.
20 Yn y dyddiau hyny, ac yn yr
amser hwnw, medd yr Arglwydd,
y ceisir anwiredd Israel, ac ni *bydd;*
a phechodau Juda, ond nis ceir
hwynt: canys myfi a faddeuaf i'r
rhai a weddillwyf.
21 ¶ Dos i fyny yn erbyn gwlad
Merathaim, *ïe,* yn ei herbyn hi, ac
yn erbyn trigolion Pecod: anrheith-
ia hi a difroda ar eu hol hwynt,
medd yr Arglwydd, a gwna yn ol
yr hyn oll a orchymynais i ti.
22 Trwst rhyfel *sydd* yn y wlad,
a dinystr mawr.
23 Pa fodd y drylliwyd ac y tor-
wyd gordd yr holl ddaear! pa fodd
yr aeth Babilon yn ddiffaethwch yn
mysg y cenhedloedd!
24 Myfi a osodais fagl i ti, a
thithau Babilon a ddaliwyd, a heb
wybod i ti: ti a gafwyd ac a ddal-
iwyd, o herwydd i ti ymryson yn
erbyn yr Arglwydd.
25 Yr Arglwydd a agorodd ei
drysor, ac a ddyg allan arfau ei
ddigofaint: canys gwaith Arglwydd

---

iaid, a Juda a Benjamin gan y Caldeaid. Ymddygasant tuag atynt fel y gwna llew tuag at ddafad a ddelir ganddo; yn gyntaf efe a ysa neu a ddifa yr holl gig, ac yn olaf efe a ddryllia yr holl esgyrn i gael allan y mêr.

Adn. 18. *Wele, myfi a ymwelaf â brenin Babilon, ac â'i wlad*] I'w gospi am ei uchelgais, ei drais, a'i greulondeb tuag at Juda; *fel yr ymwelais â brenin Assyria*—i'w gospi yntau am ei greulondeb tuag at y deg llwyth: gwel ar adn. 11. Cyfeirir yma nid at ddinystr byddin Senacherib yn amser Hezeciah, fel y tybia rhai; ond at ddymchweliad diweddaf yr Assyriaid gan y Mediaid a'r Caldeaid, pryd y llyncwyd yr amherodraeth Assyriaidd yn yr un Fabilonaidd.

Adn. 19. *A mi a ddychwelaf Israel i'w drigfa*] Mi a ofalaf am Israel, fel y gofala bugail am ei braidd, ac a'u dygaf hwynt yn ol i'w hen drigfanau, lle y cânt borfa dda. *Ac efe a bawr ar Carmel a Basan*—gan fod y lleoedd hyn yn nhiriogaethau y deg llwyth, tybia rhai mai atynt hwy yn unig y cyfeirir yma; ond tybia ereill mai Juda a Benjamin a feddylir yma wrth 'Israel,' y rhai a ddychwelid o Babilon; a barna ereill mai ymadroddion Iuddewig yw y rhai hyn, yn gosod allan fendithion ysbrydol dan yr efengyl: gwel ar pen. xxxiii. 9, a xxxv. 2, Esay lvi. 7.

Adn. 20. *Yn y dyddiau hyny, ac yn yr amser hwnw*] Pan ddechreuai Duw dywallt ei farnau ar Babilon, a gwaredu ei bobl ei hun oddiyno, adn. 4; *y ceisir anwiredd Israel, ac ni bydd*—byddaf wedi llwyr ymgymodi â hwynt, ac ymddygaf tuag atynt fel pe na buasent erioed wedi fy nigio i trwy eu hanwiredd; *a phechodau Juda*—hyny yw, ceisir neu chwilir am eu pechodau hwythau; *ond nis ceir hwynt*—am y byddant oll wedi eu dileu trwy faddeuant: *canys myfi a faddeuaf i'r rhai a weddillwyf*—sef i'r rhai a fyddant yn fyw yn amser y dychweliad o Babilon. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio yn benaf at y rhai a fyddant yn fyw yn nechre y milflwyddiant.

Adn. 21. *Dos i fyny yn erbyn gwlad Merathaim*] Tybia rhai mai gwlad *Mardi*, yn Assyria ac Armenia, a olygir yma; *ac yn erbyn trigolion Pecod*—barnant hefyd mai lle arall yn Assyria a feddylir yma, yr hwn a grybwyllir hefyd yn Ezec. xxiii. 23. Ond tybia ereill nad enwau *lleoedd* yw y geiriau hyn, eithr fod *merathaim* yn arwyddo 'chwerwderau;' a *pecod* yn arwyddo 'ymweliad.' Dywed *Blayney* fod *Babilon* yn cael ei galw yn 'wlad y chwerwderau,' am iddi fod yn gyfryw i'r Iuddewon, y rhai a gaethiwyd ynddi, ar ol i'w gwlad gael ei hanrheithio; ac efe a gyfieitha yr holl adnod fel hyn: 'Dos i fyny yn erbyn gwlad y *chwerwderau;* â hi ac â'i thrigolion *ymwel*, O gleddyf: a llwyr ddifroda eu hiliogaeth hwynt, medd Jehofa, a gwna yn ol yr hyn oll a orchymynais i ti.' Ymddengys fod y gorchymyn yn cael ei gyfeirio at Cyrus a'i gynghreiriaid.

Adn. 22. *Trwst rhyfel sydd yn y wlad*] Sef yn ngwlad Caldea; *a dinystr mawr*—ar fywydau a meddiannau.

Adn. 23 *Pa fodd y drylliwyd ac y torwyd gordd yr holl ddaear!*] Sef teyrnas Babilon, yr hon a fuasai fel gordd yn chwilfriwio yr holl deyrnasoedd oddiamgylch. *Pa fodd yr aeth Babilon yn ddiffaethwch yn mysg y cenhedloedd*—yn waeth ei chyflwr nag un o honynt oll!

Adn. 24. *Myfi a osodais fagl i ti*] Fel y gosodir magl i ddala anifeiliaid gwylltion; *a thithau Babilon a ddaliwyd, a heb wybod i ti*—cyfeirir yma at waith Cyrus yn myned i mewn i'r ddinas yn ddiarwybod i'w thrigolion, trwy sychu rhedle yr Euphrates pryd yr oedd y muriau yn gyfain, a'r ddinas yn llawn o bob lluniaeth, a'r bobl yn hollol ddiofal: *o herwydd i ti ymryson yn erbyn yr Arglwydd*—gwel ar adn. 14.

Adn. 25. *Yr Arglwydd a agorodd ei*

Dduw y lluoedd *yw* hyn yn ngwlad
y Caldeaid.
26 Deuwch yn ei herbyn o'r cwr
eithaf, agorwch ei hysguboriau hi;
dyrnwch hi fel pentwr *ŷd*, a llwyr
ddinystriwch hi: na fydded gwedd-
ill o honi.
27 Lleddwch ei holl fustych hi;
disgynant i'r lladdfa: gwae hwynt;
canys eu dydd a ddaeth, *ac* amser
eu hymweliad.
28 Llef y rhai a ffoant ac a ddi-
angant o wlad Babilon, i ddangos
yn Seion ddial yr Arglwydd ein
Duw ni, dial ei deml ef.
29 Gelwch y saethyddion yn
nghyd yn erbyn Babilon; y perchen
bwâau oll, gwersyllwch i'w herbyn
hi o amgylch; na chaffed neb ddi-
anc o honi; telwch iddi yn ol ei
gweithred; ac yn ol yr hyn oll a
wnaeth hi, gwnewch iddi: o her-
wydd hi a fu falch yn erbyn yr
Arglwydd, yn erbyn Sant Israel.
30 Am hyny ei gwŷr ieuainc a
syrthiant yn ei heolydd hi; a'i holl
ryfelwyr a ddyfethir y dydd hwnw,
medd yr Arglwydd.
31 Wele fi yn dy erbyn di, *O* falch,
medd Arglwydd Dduw y lluoedd:
o herwydd dy ddydd a ddaeth, yr
amser yr ymwelwyf â thi.
32 A'r balch a dramgwydda ac a
syrth, ac ni *bydd* a'i cyfodo: a mi
a gyneuaf dân yn ei ddinasoedd,
ac efe a ddifa ei holl amgylchoedd
ef.
33 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd; Meibion Israel a meib-
ion Juda a orthrymwyd yn nghyd;
a phawb a'r a'u caethiwodd hwynt
a'u daliasant yn dŷn, ac a wrthod-
asant eu gollwng hwy ymaith.
34 Eu Gwaredwr *sydd* gryf; Ar-
glwydd y lluoedd *yw* ei enw; efe a
lwyr ddadleu eu dadl hwynt, i beri
llonydd i'r wlad, ac aflonyddwch i
breswylwyr Babilon.
35 ¶ Cleddyf *sydd* ar y Caldeaid,
medd yr Arglwydd, ac ar drigolion

---

*drysor*] Saes., 'ei arfdy,' yn debyg i frenin, wrth fyned i ryfel, yn dwyn allan bob math o arfau milwraidd: *canys gwaith Arglwydd Dduw y lluoedd yw hyn*—i gospi y Caldeaid eilunaddolgar.

Adn 26. *Deuwch yn ei herbyn o'r cwr eithaf*] Oddiwrth gulfor Persia a môr Caspia, wrth ba rai yr oedd gwlad y Mediaid a'r Persiaid yn terfynu; *agorwch ei hysguboriau hi*—gall fod yma gyfeiriad at lawnder y lluniaeth ag oedd yn y ddinas ar y pryd, yr hwn y dywedir ei fod yn ddigon i'r trigolion oll dros lawer o flynyddoedd; *dyrnwch hi fel pentwr ŷd*—nes ei llwyr ddinystrio.

Adn. 27. *Lleddwch ei holl fustych hi*] Neu ei 'gwŷr cryfion,' fel y mae y *Vulgate* a'r *Galdeaeg* yn ei ddarllen, y rhai a gyffelybir i fustych wedi eu pesgi i'r lladdfa: *gwae hwynt, canys eu dydd a ddaeth*—sef yr amser i ymweled â hwynt mewn barn.

Adn. 28. *Llef y rhai a ffoant ac a ddiangant o wlad Babilon*] Sef yr Iuddewon, y rhai, ar ol eu rhyddhau o'u caethiwed, a gyhoeddent yn Jerusalem ddialedd yr Arglwydd ar y Babiloniaid am halogi a llosgi ei deml santaidd ef.

Adn. 29. *Gelwch y saethyddion yn nghyd yn erbyn Babilon*] Sef y Mediaid a'r Persiaid, adn. 9, 14; *telwch iddi yn ol ei gweithred*—megys y gwnaeth hi i ereill: *o herwydd hi a fu falch*—gwel ar Esay xlvii. 7, 8.

Adn. 30. *Am hyny ei gwŷr ieuainc a syrthiant yn ei heolydd hi*] Gwel ar pen. xlix. 26.

Adn. 31. *Wele fi yn dy erbyn di, O falch*] Gall fod yma gyfeiriad penodol at Belsassar brenin Babilon, yr hwn a barhaodd i ymfalchïo yn erbyn Duw hyd nes y danghoswyd iddo trwy y darn llaw yn ysgrifenu ar galchiad y pared fod dydd ei ddinystr ef wedi dyfod: gwel ar Dan. v. 5, &c.

Adn. 32. *A'r balch a dramgwydda ac a syrth*] Bydd i Belsassar golli ei deyrnas a'i fywyd ar unwaith: *a mi a gyneuaf dân yn ei ddinasoedd*—byddai i farn Duw ddisgyn ar Caldea oll fel tân cyneuedig, yr hwn ni ddiffoddai nes difa yr holl wlad. Ond tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at ddifrodiadau Cyrus yn y tiriogaethau hyny am ugain mlynedd cyn iddo gymeryd Babilon.

Adn. 33. *Meibion Israel a meibion Juda a orthrymwyd yn nghyd*] Nid yn nghyd o ran amser, canys yr oedd 134 o flynyddau rhwng y pryd y caethiwyd Israel gan yr Assyriaid, a'r pryd y caethiwyd Juda gan y Caldeaid; eithr yn nghyd o ran cyffelybrwydd eu caethiwed, neu yr un fath a'u gilydd: *a phawb a'r a'u caethiwodd hwynt, a'u daliasant yn dŷn*—a arferasant eu holl gryfder a'u cyfrwysdra i'w cadw yn eu caethiwed.

Adn. 34. *Eu Gwaredwr sydd gryf*] Ond er cryfed oedd eu gorthrymwyr, yr oedd eu Gwaredwr yn gryfach: *Arglwydd y lluoedd yw ei enw*—yr hwn y mae holl luoedd nef a daear dan ei lywodraeth. *Efe a lwyr ddadleu eu dadl hwynt*—efe a amddiffyn eu hachos hwy yn erbyn eu gelynion; *i beri llonydd i'r wlad*—oddiwrth ormes y Caldeaid; *ac aflonyddwch i breswylwyr Babilon*—y rhai a fuont mor hir yn aflonyddu ac yn dychrynu pawb o'u hamgylch. 'Cyfiawn yw gerbron Duw dalu cystudd i'r rhai sydd yn cystuddio' ei bobl ef, 2 Thes. i. 6, 7.

Adn. 35. *Cleddyf sydd ar y Caldeaid*] Ar

Babilon, ac ar ei thywysogion, ac
ar ei doethion.
36 Cleddyf *sydd* ar y celwyddog;
a hwy a ynfydant: cleddyf *sydd* ar
ei chedyrn; a hwy a ddychrynant.
37 Cleddyf *sydd* ar ei meirch, ac
ar ei cherbydau, ac ar yr holl werin
*sydd* yn ei chanol hi; a hwy a fydd-
ant fel gwragedd: cleddyf *sydd* ar
ei thrysorau; a hwy a yspeilir.
38 Sychder *sydd* ar ei dyfroedd
hi; a hwy a sychant: o herwydd
gwlad delwau cerfiedig *yw* hi, ac
mewn eilunod y maent yn ynfydu.
39 Am hyny anifeiliaid gwylltion
yr anialwch, a chathod a arhosant
*yno*, a chywion yr estrys a drigant
ynddi: ac ni phreswylir hi mwyach
byth; ac nis cyfaneddir hi o gen-
edlaeth i genedlaeth.
40 Fel yr ymchwelodd Duw So-
dom a Gomorra, a'i chymydogesau,
medd yr Arglwydd; *felly* ni phres-
wylia neb yno, ac ni erys mab dyn
ynddi.
41 Wele, pobl a ddaw o'r gogledd,
a chenedl fawr, a brenhinoedd lawer
a godir o eithafoedd y ddaear.
42 Y bwa a'r waewffon a ddaliant;
creulon *ydynt*, ac ni thosturiant: eu
llef fel môr a rua, ac ar feirch y
marchogant yn daclus i'th erbyn di,
merch Babilon, fel gŵr i ryfel.
43 Brenin Babilon a glywodd son
am danynt, a'i ddwylaw ef a lesgas-
ant: gwasgfa a'i daliodd ef, *a* gwew-
yr fel gwraig wrth esgor.
44 Wele, fel llew y daw i fyny
oddiwrth ymchwydd yr Iorddonen
i drigfa y cadarn: eithr mi a wnaf
iddo ef redeg yn ddisymwth oddi-
wrthi hi: a phwy *sydd ŵr* dewisol a
osodwyf fi arni hi? canys pwy *sydd*
fel myfi? a phwy a esyd i mi yr am-
ser? a phwy *yw* y bugail hwnw a
saif o'm blaen i?
45 Am hyny gwrandewch chwi
gynghor yr Arglwydd, yr hwn a gy-
merodd efe yn erbyn Babilon, a'i
fwriadau a fwriadodd efe yn erbyn
gwlad y Caldeaid: yn ddiau y rhai
lleiaf o'r praidd a'u llusgant hwy;

---

bob gradd o honynt. Y mae y gair 'cleddyf,' yn yr adnodau hyn, yn arwyddo rhyfel, a'r holl ddrygau a'r gofidiau ag sydd yn wastadol yn ei dylyn hi. *Ac ar drigolion Babilon*—sef pobl y brifddinas; *ac ar ei thywysogion, ac ar ei doethion*—y rhai a laddwyd gyda Belsassar yn y wledd, pen. li. 39.

Adn. 36 *Cleddyf sydd ar y celwyddog*] Sef ar eu dewiniaid celwyddog: *a hwy a ynfydant*—dan effeithiau y cleddyf; neu dangosir eu bod yn ynfyd ac anwybodus trwy i bethau droi allan yn hollol groes i'r hyn a ddysgwylient ac a ddywedent hwy. *Cleddyf sydd ar ei chedyrn*—sef ar ei milwyr cedyrn; *a hwy a ddychrynant*—nes methu sefyll o flaen eu gelynion.

Adn. 37. *Cleddyf sydd ar ei meirch, ac ar ei cherbydau*] Sef ar eu gwŷr meirch, a'r rhyfelwyr ag oeddynt mewn cerbydau; *ac ar yr holl werin sydd yn ei chanol hi*—sef y bobl gyffredin, neu ynte ei chynghreiriaid o wledydd ereill, Ezec. xxx. 5. *A hwy a fyddant fel gwragedd*—yn llwfr ac ofnus, ac yn analluog i'w hamddiffyn eu hunain. *Cleddyf sydd ar ei thrysorau*—byddai i'r gelynion afaelyd ei hyspeilio hi o'i chyfoeth a'i thrysorau. Pan oedd Croesus gyfoethog yn dangos ei drysorau i Solon, dywedodd yntau wrth y brenin ymffrostgar hwnw, 'Syr, os daw unrhyw un atat a fedd well *haiarn* na thi, efe fydd perchenog dy holl *aur*.'

Adn. 38. *Sychder sydd ar ei dyfroedd hi*] Cyfeirir yma at waith Cyrus yn sychu rhedle yr Euphrates: *o herwydd gwlad delwau cerfiedig yw hi*—i'r rhai y rhoddant y gogoniant a berthyn i Dduw yn unig: *ac mewn eilunod y maent yn ynfydu*—da y gellir dywedyd eu bod hwy yn ynfydu, y rhai a addolant dduwiau a wnaed ganddynt â'u dwylaw eu hunain!

Adn. 39. *Am hyny anifeiliaid gwylltion yr anialwch, &c.*] Gwel ar Esay xiii. 19–22.

Adn. 40. *Fel yr ymchwelodd Duw Sodom a Gomorra*] A llwyr ddinystr; *a'i chymydogesau*—y dinasoedd ereill o amgylch iddynt; *felly ni phreswylia neb yno*—gwel ar pen. xlix. 18, 33

Adn. 41. *Wele, pobl a ddaw o'r gogledd*] Sef y Mediaid, y rhai sydd yn genedl fawr; *a brenhinoedd lawer a godir o eithafoedd y ddaear*—sef brenhinoedd y Persiaid, yr Armeniaid, yr Hyrcaniaid, y Caduciaid, ac ereill, y rhai a ryfelant dan faner Cyrus fel ei gynghreiriaid ef.

Adn. 42. *Y bwa a'r waewffon a ddaliant, &c.*] Gwel yr un geiriau yn pen. vi. 23: ond eu bod yma yn cyfeirio at elynion yn dyfod yn erbyn *Babilon*, ac yno yn erbyn *Jerusalem*.

Adn. 43. *Brenin Babilon a glywodd son am danynt, &c.*] Cafodd Belsassar hysbysiad am ddyfodiad y Mediaid a'r Persiaid trwy yr ysgrifen ar galchiad y pared, a deongliad Daniel o honi; nes y datododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei liniau y naill wrth y llall, Dan. v. 6, &c.

Adn. 44, 45. *Wele, fel llew y daw i fyny oddiwrth ymchwydd yr Iorddonen, &c.*] Cawsom y geiriau hyn o'r blaen, pen. xlix. 19, 20; ond eu bod yma yn cyfeirio at *Cyrus* yn gweinyddu barnau Duw ar *Babilon*, ac yno at *Nebuchodonosor* yn gwneyd yr un peth ar *Edom*.

Adn. 46. *Gan drwst goresgyniad Babi-*

yn ddiau efe a wna yn annghyfan-
edd *eu* trigleoedd gyda hwynt.
46 Gan drwst goresgyniad Babi-
lon y cynhyrfa y ddaear, ac y clyw-
ir y waedd yn mysg y cenhedloedd.

## PENNOD LI.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd,
Wele myfi a godaf wynt dinystr-
iol yn erbyn Babilon, ac yn erbyn y
rhai sydd yn trigo yn nghanol y rhai
a godant yn fy erbyn i.
2 A mi a anfonaf i Babilon nith-
wyr, a hwy a'i nithiant hi, ac a wag-
hânt ei thir hi ; o herwydd hwy a
fyddant yn ei herbyn hi o amgylch
ar ddydd blinder.
3 Yn erbyn *yr hwn* a anelo, anel-
ed y saethydd ei fwa, ac yn erbyn
*yr hwn* sydd yn ymddyrchafu yn ei
lurig; nac arbedwch ei gwŷr ieu-
ainc, difrodwch ei holl lu hi.
4 Felly y rhai lladdedig a syrth-
iant yn ngwlad y Caldeaid, a'*r rhai*
a drywanwyd yn ei heolydd hi.
5 Canys Israel ni adawyd, na Ju-
da, gan ei Dduw, gan Arglwydd y
lluoedd : er bod eu gwlad hwynt yn
llawn o gamwedd yn erbyn Sant yr
Israel.
6 Ffowch o ganol Babilon, ac ach-
ubwch bawb ei enaid ei hun : na
adewch eich dyfetha yn ei hanwir-
edd hi : oblegid amser dial *yw* hwn
i'r Arglwydd ; efe a dâl y pwyth
iddi hi.
7 Phiol aur *oedd* Babilon yn llaw
yr Arglwydd, yn meddwi pob gwlad,
yr holl genhedloedd a yfasant o'i
gwin hi ; am hyny y cenhedloedd a
ynfydasant.
8 Yn ddisymwth y syrthiodd Ba-
bilon, ac y drylliwyd hi : udwch
drosti, cymerwch driagl i'w dolur
hi, i edrych a iachâ hi.

---

*lon y cynhyrfa y ddaear*] Sef yr holl wledydd oddiamgylch, pen. xlix. 21 ; *ac y clywir y waedd yn mysg y cenhedloedd*—yn mhell ac agos *Blayney* a'i cyfieitha, 'Gan y llef, BABILON A ORESGYNWYD ! y cynhyrfa y ddaear,' &c.

PEN. LI. Adn. 1. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yn mhellach am ddinystr Babilon ; *Wele myfi a godaf wynt dinystriol yn erbyn Babilon*—neu, fel y mae yn y LXX, 'yn erbyn y *Caldeaid*.' Byddai i'r Arglwydd anfon y Mediaid a'r Persiaid yn erbyn y Caldeaid, yn debyg i wyntoedd heintus y dwyrain, y rhai a ysgubent ac a ddifrodent y cwbl o'u blaen. *Ac yn erbyn y rhai sydd yn trigo yn nghanol y rhai a godant yn fy erbyn i*—sef yn erbyn trigolion Babilon, canolbwynt gwlad gelynion yr Arglwydd.

Adn. 2. *A mi a anfonaf i Babilon nithwyr*] Y rhai a'i nithiant hi a'i thrigolion, fel y nithir ûs â'r wyntyll oddiwrth y gwenith: *o herwydd hwy a fyddant yn ei herbyn hi o amgylch ar ddydd blinder*—sef yn amser ei gwarchaead.

Adn. 3. *Yn erbyn yr hwn a anelo*] Sef y Caldeaid, y rhai a ymddiriedent yn eu llurig; *aneled y saethydd ei fwa*—sef y Mediaid a'r Persiaid : *nac arbedwch ei gwŷr ieuainc*—sef y milwyr Caldeaidd, eithr difrodwch hwynt oll.

Adn. 4. *Felly y rhai lladdedig a syrthiant yn ngwlad y Caldeaid*] Neu, 'felly y Caldeaid a syrthiant yn lladdedig ar y ddaear ;' *a'r rhai a drywanwyd*—ond heb eu lladd, a syrthiant yn ei heolydd hi.

Adn. 5. *Canys Israel ni adawyd, na Juda, gan ei Dduw*] Fel pe dywedasai, Er i Israel a Juda gael eu ceryddu yn drwm am eu camweddau, cai eu gelynion weled nad oeddynt hwy wedi eu llwyr adael, fel gwraig ysgaredig, gan eu Duw cyfammodol ; neu wedi eu rhoddi i fyny i'w gelynion eu gorthrymu hwynt yn ddigosp. *Er bod eu gwlad hwynt yn llawn o gamwedd yn erbyn Sant yr Israel*—am yr hyn yn wir yr anfonwyd hwy dros ychydig amser i gaethiwed. Ond y mae rhai yn deall y geiriau olaf hyn am wlad y Caldeaid, gan eu darllen, '*Ond* y mae eu gwlad hwy yn llawn o gamwedd,' &c. Fel pe dywedasai, Tra nad yw Israel a Juda wedi eu hollol wrthod gan Dduw, y mae y Caldeaid wedi cyflawni mesur eu hanwiredd, ac i gael eu dinystrio yn hollol ac anadferol.

Adn. 6. *Ffowch o ganol Babilon*] Gyda'r brys mwyaf, fel y ffodd Lot o Sodom ; *na adewch eich dyfetha yn ei hanwiredd hi*—nac arhoswch ynddi i gael eich dyfetha yn nghospedigaeth ei hanwiredd hi : *oblegid amser dial yw hwn i'r Arglwydd*—neu gan yr Arglwydd, yr hwn a dâl y pwyth iddi hi am ei drygioni.

Adn. 7. *Phiol aur oedd Babilon yn llaw yr Arglwydd*] Yr oedd mawredd a gwychder Babilon yn denu cenhedloedd ereill i fod yn gyfranog o'i pechodau hi : yr oedd fel gwenwyn yn cael ei dywallt o phiol aur, yn denu dynion i'w yfed, heb ystyried y perygl o hyny : neu ynte y mae y dinystr a wneid gan frenin Babilon yn cael ei osod allan fel phiol o win digofaint yn llaw yr Arglwydd, i feddwi ac ynfydu yr holl genhedloedd.

Adn. 8. *Yn ddisymwth y syrthiodd Babilon, ac y drylliwyd hi*] Sef pan nad oedd y trigolion yn meddwl dim am hyny. *Udwch drosti*—o herwydd mawredd ei chwymp, yr un modd ag y gwna dynion am gwymp y Babilon gyfriniol, Dan. xviii. 9, 11. 17—19. *Cymerwch driagl i'w dolur hi*—neu falm meddyginiaethol, pen. viii. 22 ; *i edrych a iachâ hi*—tybia rhai mai gwawdiaith yw y

9 Nyni a iachasom Babilon, ond nid aeth hi yn iach; gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad: canys ei barn a gyraedd i'r nefoedd, ac a ddyrchafwyd hyd yr wybrau.

10 Yr Arglwydd a ddyg allan ein cyfiawnder ni: deuwch a thraethwn yn Seion waith yr Arglwydd ein Duw.

11 Gloewch y saethau; cesglwch y tarianau: yr Arglwydd a gyfododd yspryd brenhinoedd Media: oblegid *y mae* ei fwriad ef yn erbyn Babilon, i'w dinystrio hi; canys dial yr Arglwydd *yw* hyn, dial ei deml ef.

12 Dyrchefwch faner ar furiau Babilon; cadarnhewch y wyliadwriaeth; gosodwch i fyny y gwylwyr; darperwch y cynllwynwyr: canys yr Arglwydd a fwriadodd, ac efe a wnaeth hefyd yr hyn a lefarodd yn erbyn trigolion Babilon.

13 Tydi yr hon ydwyt yn aros ar ddyfroedd lawer, yn aml dy drysorau, dy ddiwedd di a ddaeth, *sef* mesur dy gybydd-dod.

14 Arglwydd y lluoedd a dyngodd iddo ei hun, *gan ddywedyd*, Diau y'th lanwaf â dynion megys â lindys; a hwy a ganant floddest i'th erbyn.

15 Efe a wnaeth y ddaear trwy ei nerth, *ac* a sicrhaodd y byd trwy ei ddoethineb, ac a daenodd y nefoedd trwy ei ddeall.

16 Pan roddo efe *ei* lef, *y mae* twrf dyfroedd yn y nefoedd, ac y mae efe yn codi y niwloedd o eithaf y ddaear: ac efe sydd yn

---

geiriau hyn, i arwyddo fod ei dolur yn anfeddyginiaethol, a'i hiachâd yn anobeithiol.

Adn. 9. *Nyni a iachasom Babilon*] Neu a gymhwysasom falm ati i geisio ei hiachâu; *ond nid aeth hi yn iach*—tybia rhai mai iaith yr Iuddewon duwiol yn Babilon yw hon, y rhai a dystient yn erbyn ei heilunaddoliaeth a'i phechodau ereill hi; ond y mae ereill yn meddwl mai iaith cynghreirwyr y Babiloniaid ydyw, y rhai a wnaethant eu goraf i ddiogelu y wlad, ond yn ofer. *Gadewch hi, ac awn bawb i'w wlad*—ffown adref er diogelwch i ni ein hunain, gan na allwn wneyd dim i'w diogelu hi: *canys ei barn a gyraedd i'r nefoedd, &c.*—y mae ei phechodau wedi dyrchafu i'r nefoedd, a dwyn barn Duw i lawr am ei phen.

Adn. 10. *Yr Arglwydd a ddyg allan ein cyfiawnder ni*] Hyn a ddywedir gan yr Iuddewon, fel rheswm dros gwymp Babilon. Amlygodd Duw fel hyn gyfiawnder ein hachos ni, trwy ddial y cam a dderbyniasom gan y Babiloniaid. *Deuwch*—adref i'n gwlad ein hunain; *a thraethwn yn Seion*—yn ei eglwys ef yn Jerusalem; *waith yr Arglwydd ein Duw*—yr hyn a wnaeth efe mewn ffordd o drugaredd i ni, ac o ddialedd ar ein gelynion.

Adn. 11. *Gloewch y saethau*] Yma y mae y proffwyd yn galw ar y Babiloniaid i barotoi eu harfau i ryfel, gan gymeryd y dull hwn i hysbysu dyfodiad y gelyn i'w herbyn: *cesglwch y tarianau*—i'ch amddiffyn eich hunain; neu, yn ol y LXX, 'llenwch y cawellau,' sef â saethau i'w taflu at y gelynion. *Yr Arglwydd a gyfododd ysbryd brenhinoedd Media*—i ddyfod allan i'ch erbyn. Efe a gyfeiria at *Cyaxares* brenin Media, yr hwn a elwir 'Darius y Mediad' yn yr ysgrythyr; ac at Cyrus brenin Persia, etifedd gorsedd Cyaxares ei ewythr. Anfonodd Cambyses ei fab Cyrus gyda byddin o 30,000 o Bersiaid i gynorthwyo y Mediaid, dan ei ewythr Cyaxares, yn erbyn brenin Babilon; a chan y rhai hyn y dymchwelwyd Babilon. *Oblegid y mae ei fwriad ef*—sef Duw, *yn erbyn Babilon, i'w dinystrio hi*—am i'r Caldeaid halogi a llosgi ei deml ef yn Jerusalem.

Adn. 12. *Dyrchefwch faner ar furiau Babilon*] Neu '*o flaen* muriau Babilon;' *cadarnhewch y wyliadwriaeth*—i'r dyben i'w hennill hi yn hawddach, trwy osod i fyny wylwyr a darparu cynllwynwyr. Dengys hyn mai galwad sydd yma ar y Mediaid a'r Persiaid i wneuthur hyny, ac nid ar y Babiloniaid eu hunain fel y tybiodd rhai. *Canys yr Arglwydd a fwriadodd*—wneuthur yr hyn a lefarodd efe yn erbyn trigolion Babilon; *ac efe a wnaeth hefyd*—y mae y peth mor sicr a phe buasai wedi ei wneuthur eisioes.

Adn. 13. *Tydi yr hon ydwyt yn aros ar ddyfroedd lawer*] Yr oedd yr afon Euphrates yn rhedeg trwy ganol Babilon, ac yr oedd llyn mawr un ochr iddi, ac afonydd llai gerllaw iddi. Ond tybia rhai fod 'dyfroedd lawer' yma yn arwyddo cenhedloedd lawer, y rhai a berthynent i'r ymherodraeth eang hon: gwel ar Dat. xvii. 15. *Yn aml dy drysorau*—y rhai a gyrhaeddodd hi nid yn unig trwy ei masnach, ond hefyd trwy yspeilio cenhedloedd ereill. *Dy ddiwedd di a ddaeth, sef mesur dy gybydd-dod*—y mae Duw wedi gosod terfyn i'th gybydd-dod a'th drachwant, dros yr hwn nis gelli di tyned.

Adn. 14. *Arglwydd y lluoedd a dyngodd iddo ei hun*] Y byddai iddo gyflawni yr hyn a ddywedir yma; *Diau y'th lanwaf â dynion megys â lindys*—neu locustiaid dirifedi; hyny yw, byddai i fyddin Cyrus lenwi y ddinas a difa y cwbl o'u blaen: *a hwy a ganant floddest i'th erbyn*—neu gân o fuddugoliaeth arnat.

Adn. 15—19. *Efe a wnaeth y ddaear trwy ei nerth, &c.*] Ac o ganlyniad y mae efe yn ddigon galluog i wneyd i Babilon yr hyn a fygythir yma. Y mae y pum adnod hyn wedi eu dyfynu o pen. x. 12—16: gwel y sylwadau yno.

gwneuthur y mellt gyda'r gwlaw,
ac yn dwyn y gwynt allan o'i dry-
sorau.
17 Ynfyd yw pob dyn o wybod-
aeth; gwaradwyddwyd pob todd-
ydd gan y ddelw gerfiedig: canys
celwyddog *yw* ei ddelw dawdd, ac
nid *oes* chwythad ynddynt.
18 Ofer*edd* *ydynt*, gwaith cyfeil-
iorni: yn amser eu hymweliad y
dyfethir hwynt.
19 Nid fel y rhai hyn, eithr Llun-
iwr y cwbl oll, *yw* rhan Jacob; ac
*Israel yw* gwialen ei etifeddiaeth ef.
Arglwydd y lluoedd *yw* ei enw ef.
20 Ti *wyt* forthwyl i mi, *ac* arfau
rhyfel: canys â thi y drylliaf y cen-
hedloedd, ac â thi y dinystriaf
deyrnasoedd.
21 A thi hefyd y gwasgaraf y
march a'r marchwr; ac â thi y
drylliaf y cerbyd a'i farchog;
22 A thi y drylliaf fi ŵr a gwraig;
ac â thi y drylliaf hen ac ieuanc;
ac â thi y drylliaf y gŵr ieuanc a'r
forwyn;
23 A thi hefyd y drylliaf fi y
bugail a'i braidd; ac â thi y drylliaf
yr arddwr a'i iau ychen; ac â thi y
drylliaf y tywysogion a'r penaeth-
iaid.
24 A mi a dalaf i Babilon, ac i
holl breswylwyr Caldea, eu holl
ddrwg a wnaethant yn Seion, yn
eich golwg chwi, medd yr Ar-
glwydd.
25 Wele fi i'th erbyn di, O fynydd
dinystriol, yr hwn *wyt* yn dinystrio
yr holl ddaear, medd yr Arglwydd;
a myfi a estynaf fy llaw arnat, ac
a'th dreiglaf di i lawr o'r creigiau,
ac a'th wnaf di yn fynydd llosg.
26 Ac ni chymerant o honot faen
congl, na sylfaen; ond diffaethwch
tragwyddol a fyddi di, medd yr
Arglwydd.
27 Dyrchefwch faner yn y tir;
lleisiwch udgorn yn mysg y cen-
hedloedd; darperwch y cenhedl-
oedd yn ei herbyn hi; gelwch yn
nghyd deyrnasoedd Ararat, Minni,
ac Aschenaz, yn ei herbyn hi; gos-
odwch dywysog yn ei herbyn hi;
gwnewch i feirch ddyfod i fyny cyn
amled a'r lindys blewog.
28 Darperwch y cenhedloedd yn
ei herbyn hi, gyda brenhinoedd
Media, a'i thywysogion, a'i holl

---

Adn. 20. *Ti wyt forthwyl i mi, ac arfau rhyfel*] I ddryllio cenhedloedd a dinystrio teyrnasoedd. Tybia *Lowth*, *Blayney*, ac ereill, mai *Cyrus* a'i fyddin a gyferchir yn yr adnodau hyn; ond barna *Clarke* ac ereill mai *Nebuchodonosor* a olygir, yr hwn a elwir 'gordd yr holl ddaear,' pen. l. 23; ac efe a chwanega, y gellir cyfieithu yr holl ferfau yma yn yr amser gorphenol: 'Canys â thi y *drylliais* y cenhedloedd,' &c., &c.

Adn. 21—23. *A thi hefyd y gwasgaraf y march a'r marchwr, &c.*] Neu y 'gwasgerais.' Gwelwn mor lwyr yr oedd barnau Duw i gael eu gweinyddu trwy yr offeryn hwn, pwy bynag ydoedd. Byddai i'r rhyfelwyr o bob math gael eu gorchfygu ganddo; a dynion o bob rhyw, gradd, oed, a galwedigaeth, gael eu dryllio ganddo.

Adn. 24. *A mi a dalaf i Babilon, &c.*] Er i'r Arglwydd ddefnyddio Babilon i gospi ereill, ni adawai efe mohoni hithau yn ddigosp; eithr ar ol iddo gyflawni ei amcan trwyddi hi, efe a ddialai arni am ei drygioni, ac yn enwedig am ei dirmyg a'i chreulondeb tuag at y deml a'i haddolwyr: gwel ar pen. l. 11, Esay x. 7. *Yn eich golwg chwi*—dywedir hyn naill ai am y *drwg* a wnaethai y Caldeaid yn ngolwg yr Iuddewon yn Jerusalem, neu am y *gosp* a ddisgynai arnynt yn eu golwg hwy yn Babilon.

Adn. 25. *Wele fi i'th erbyn di, O fynydd dinystriol*] Yr oedd Babilon yn sefyll ar wastadedd; ond gelwir hi yma yn *fynydd*, o herwydd ei rhagoriaeth uwchlaw pob lle arall; ac yn fynydd *dinystriol*, o herwydd iddi fod yn offeryn dinystr i'r holl genhedloedd o'i hamgylch. *A myfi a estynaf fy llaw arnat, ac a'th dreiglaf di i lawr o'r creigiau*—sef o'th gadernid presenol; *ac a'th wnaf di yn fynydd llosg*—myfi a'th losgaf di â thân, adn. 58, fel na byddi mwyach dda i ddim.

Adn. 26. *Ac ni chymerant o honot faen congl na sylfaen*] Ni adewir ynot faen addas i'w ddefnyddio mewn adeilad, yn enwedig fel maen congl neu sylfaen, trwy y bydd iddynt oll gael eu llosgi yn lludw; *ond diffaethwch tragwyddol a fyddi di*—gwel ar pen. l. 39, 40. Ond dealla rhai yr adnod hon yn gyffelybiaethol, fel yn arwyddo na chaent hwy mwyach frenhinoedd a llywodraethwyr o'u cenedl eu hunain, ond mai dan lywodraeth estroniaid y byddent o hyn allan.

Adn. 27. *Dyrchefwch faner yn y tir, lleisiwch udgorn*] Y rhai hyn oeddynt arwyddion cyffredin i gasglu byddinoedd yn nghyd: *gelwch yn nghyd deyrnasoedd Ararat, Minni, ac Aschenaz*—y rhai hyn oeddynt wledydd dan lywodraeth y Mediaid; a bernir mai y ddwy Armenia a feddylir wrth Ararat a Minni, ac mai Phrygia a olygir wrth Aschenaz. *Gosodwch dywysog yn ei herbyn hi*—sef Cyrus, arweinydd y fyddin. *Gwnewch i feirch ddyfod i fyny cyn amled a'r lindys blewog*—dywed *Bochart* fod un math o locust-

benaethiaid, a holl wlad ei lywodr-
aeth ef.
29 Y ddaear hefyd a gryna ac a
ofidia: oblegid fe gyflawnir bwriad-
au yr Arglwydd yn erbyn Babilon,
i wneuthur gwlad Babilon yn an-
nghyfanedd heb drigianol *ynddi.*
30 Cedyrn Babilon a beidiasant
âg ymladd, *ac* y maent hwy yn aros
o fewn *eu* hamddiffynfeydd: pallodd
eu nerth hwynt; aethant yn wrag-
eddos: ei haneddau hi a losgwyd,
*a*'i barau a dorwyd.
31 Rhedegwr a red i gyfarfod â
rhedegwr, a chenad i gyfarfod â
chenad, i fynegu i frenin Babilon
oresgyn ei ddinas ef o'*i* chwr,
32 Ac ennill y rhydau, a llosgi o
honynt y cyrs â thân, a synu ar y
rhyfelwyr.
33 Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd, Duw Israel;
Merch Babilon *sydd* fel llawr-dyrnu;
amser ei dyrnu hi *a ddaeth:* ac
ar fyrder y daw amser cynauaf
iddi.
34 Nebuchodonosor Brenin Babi-
lon a'm hysodd, *ac* a'm hysigodd i;
efe a'm gwnaeth fel llestr gwâg; efe
a'm llyncodd fel draig, ac a lanwodd
ei fol o'm danteithion; efe a'm bwr-
iodd i allan.
35 Y cam a wnaed i mi ac i'm
cnawd *a ddelo* ar Babilon, medd
preswylferch Seion; a'm gwaed i
ar drigolion Caldea, medd Jerusa-
lem.
36 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd; Wele, myfi a ddadleuaf
dy ddadl di, ac a ddialaf drosot ti;

---

iaid yn flewog, a bod eu penau o'r un llun a phenau meirch, Joel ii. 4.

Adn. 28. *Darperwch y cenhedloedd yn ei herbyn hi*] O bob gwlad; *gyda brenhinoedd Media*—sef holl raglawiaid y taleithiau a wnaent i fyny ymherodraeth Media.

Adn. 29. *Y ddaear hefyd a gryna ac a ofidia*] Dan gerddediad y fath fyddin luosog, a phranciad eu meirch; neu byddai i drigolion y gwledydd cymydogaethol fod yn y cyffro a'r gofid mwyaf wrth eu gweled hwy yn myned i fyny yn erbyn Babilon: *oblegid fe gyflawnir bwriadau yr Arglwydd*—ei holl fwriadau ef i wneyd Babilon yn annghyfanedd.

Adn. 30. *Cedyrn Babilon a beidiasant âg ymladd*] Pan welsant y Mediaid a'r Persiaid wedi dyfod eisioes tufewn i'r muriau: *ac y maent hwy yn aros o fewn eu hamddiffynfeydd*—wedi i Cyrus fyned i mewn i'r ddinas, efe a roddes orchymyn i bawb aros yn eu tai, gan fygwth y byddai i bwy bynag a gellid allan gael ei roddi i farwolaeth. *Pallodd eu nerth hwynt, aethant yn wrageddos*—sef yn llwfr ac ofnus: gwel ar pen. l. 37. *Ei haneddau hi a losgwyd*—llosgodd y gelynion rai o honynt, er dychryn i'r lleill; *a'i barau a dorwyd*—sef barau pyrth a phalasau y ddinas.

Adn. 31. *Rhedegwr a red i gyfarfod â rhedegwr*] Byddai i genadau redeg o un cwr lle yr oedd y dinystr wedi dechreu, a chyfarfod âg ereill o gyrau ereill, oll yn myned â'r newydd i'r brenin fod y gelynion wedi dyfod i mewn: ond darfu i feirch-filwyr Cyrus gyraedd at y palas cyn y gallodd y cenadau gyraedd i hysbysu i'r brenin ei berygl.

Adn. 32. *Ac ennill y rhydau*] Sef y mynedfeydd i'r ddinas oddiwrth yr afon, y rhai a ddiogelid gan byrth cryfion: eithr gadewsid y pyrth hyny yn agored trwy ddiofalwch a gloddest y gwylwyr, ac aeth y gelynion i mewn ar eu gwarthaf hwynt yn ddiarwybod iddynt. *A llosgi o honynt y cyrs â thân*—deallir hyn gan rai am losgi y gweithfeydd a'r tyrau oddiallan, y rhai oeddynt ar y tiroedd corsiog oddeutu yr Euphrates; ond gan nad yw yn debyg iddynt losgi dim cyn myned i mewn i'r ddinas, gall mai llosgi rhai o'r aneddau coed yn y ddinas a feddylir, adn. 30. *A synu ar y rhyfelwyr*—sef y rhyfelwyr Caldeaidd, fel na allent wrthsefyll y gelynion.

Adn. 33. *Merch Babilon*] Neu 'y ferch Babilon,' *sydd fel llawr-dyrnu*—ar draws yr hon yr aeth meirch ddaneddog y dyrnwyr gelyniaethus: *amser ei dyrnu hi a ddaeth*—pryd y teimla hithau y trueni ag y gwnaethai hi i ereill ei ddyoddef: *ac ar fyrder y daw amser cynauaf iddi*—pryd y symudir ymaith ei thrigolion a'i thrysorau, fel y symudir ŷd o'r maesydd yn amser cynauaf.

Adn. 34. *Nebuchodonosor brenin Babilon a'm hysodd ac a'm hysigodd i*] Hon yw iaith preswylferch Seion a Jerusalem, yn cwyno wrth yr Arglwydd o herwydd y camwri a ddyoddefasai oddiwrth frenin Babilon: *efe a'm gwnaeth fel llestr gwâg*—trwy fy yspeilio o'm trysorau, a llenwi ei fol â'm danteithion: *efe a'm llyncodd fel draig*—fel sarff neu forfil mawr yn llyncu creaduriaid llai, yn fyw a chyfan: *efe a'm bwriodd i allan*—o'm dinas a'm gwlad. Ond tybia rhai mai cyfeiriad sydd yn y frawddeg ddiweddaf at waith y Caldeaid yn eu hadfer yn ol, fel un yn chwydu yr hyn a lyncasai.

Adn. 35. *Y cam a wnaed i mi ac i'm cnawd a ddelo ar Babilon*] Taled Duw i Babilon yr hyn a wnaeth hi i mi ac i'm plant: *a'm gwaed i ar drigolion Caldea*—hyny yw, dialed Duw arni am iddi dywallt ein gwaed.

Adn. 36. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Mewn atebiad i breswylferch Seion a Jerusalem: *Wele, myfi a ddadleuaf dy ddadl di, ac a ddialaf drosot ti*—ar y Babiloniaid hyn; *a mi a ddyhysbyddaf ei môr hi, ac a sychaf ei ffynnonau hi*—tybia rhai fod hyn yn cael ei ddywedyd yn gyffelybiaethol am ddifrodi ei thrigolion lluosog, a sychu i

a mi a ddyhysbyddaf ei môr hi, ac
a sychaf ei ffynnonau hi.
37 A bydd Babilon yn garneddau,
yn drigfa dreigiau, yn syndra, ac yn
chwibaniad, heb breswylydd.
38 Cyd-ruant fel llewod; bloedd-
iant fel cenawon llewod.
39 Yn eu gwres hwynt y gosodaf
wleddoedd iddynt, a mi a'u meddwaf
hwynt, fel y llawenychont ac y cysg-
ont hûn dragwyddol, ac na ddeff-
rônt, medd yr Arglwydd.
40 Myfi a'u dygaf hwynt i waered
fel ŵyn i'r lladdfa, fel hyrddod a
bychod.
41 Pa fodd y goresgynwyd Ses-
ach! pa fodd yr ennillwyd gogoniant
yr holl ddaear! pa fodd yr aeth Ba-
bilon yn syndod yn mysg y cenhedl-
oedd!

42 Y môr a ddaeth i fyny ar Ba-
bilon; hi a orchuddiwyd âg amlder
ei dònau ef.
43 Ei dinasoedd hi a aethant yn
annghyfanedd, yn grasdir, ac yn
ddiffaethwch; gwlad ni thrig un
gŵr ynddi, ac ni thramwya mab dyn
trwyddi.
44 A mi a ymwelaf â Bel yn Ba-
bilon, a mi a dynaf o'i safn ef yr hyn
a lyncodd; a'r cenhedloedd ni ddy-
lifant ato mwyach; ïe, mur Babi-
lon a syrth.
45 Deuwch allan o'i chanol, O fy
mhobl, ac achubwch bob un ei enaid
rhag llid digofaint yr Arglwydd.
46 A rhag llwfrhau eich calonau,
ac ofni rhag y chwedl a glywir yn y
wlad: a'r *naill* flwyddyn y daw
chwedl newydd, ac ar ol hyny

---

fyny ffynnonau ei chyfoeth a'i gallu. Modd bynag, cyflawnwyd hyn yn llythyrenol pan sychodd Cyrus yr afon wrth fyned i mewn i'r ddinas; canys y mae pob casgliad mawr o ddyfroedd yn cael ei alw yn 'fôr' yn yr Hebraeg.

Adn. 37. *A bydd Babilon yn garneddau, yn drigfa dreigiau*] Gwel ar Esay xiii. 19—22; *yn syndra ac yn chwibaniad*—gwel ar pen. xviii. 16.

Adn. 38. *Cyd-ruant fel llewod*] Meddylir fod yma gyfeiriad at ddadwrdd a bloddest y Babiloniaid yn ngwledd ddiweddaf Belsassar, y noson y cymerwyd eu dinas.

Adn. 39. *Yn eu gwres hwynt*] Pan fyddont wedi gwresogi gan win; *y gosodaf wleddoedd iddynt*—neu, fel y mae *Blayney* yn ei gyfieithu, 'y rhoddaf *ddiod* iddynt,' sef diod o natur arall, neu phiol win digofaint. *A mi a'u meddwaf hwynt fel y llawenychont*—mewn llawenydd cnawdol. Dywedir yn fynych yn yr ysgrythyr fod Duw yn gwneyd y pethau ag y *goddefa* efe iddynt gael eu gwneuthur. *Ac y cysgont hûn dragwyddol*—sef hûn o'r hon ni ddihunant ond yn nhragwyddoldeb; *ac na ddeffrônt*—mwyach ar y ddaear. Gan mai yn y *nos* yr aeth y gelynion i mewn i'r ddinas, gallwn feddwl i lawer o'r trigolion gael eu lladd yn eu cwsg, ac felly gysgu hûn dragwyddol; ac fe allai fod rhai o'r mil tywysogion wedi cysgu yn eu meddwdod yn ngwledd Belsassar, y rhai hefyd a laddwyd yn eu cwsg.

Adn. 40. *Myfi a'u dygaf hwynt i waered*] I'r bedd, *fel ŵyn i'r lladdfa*—mi a wnaf ebyrth o honynt i'm cyfiawnder dialeddol, fel yr aberthir ŵyn, hyrddod, a bychod.

Adn. 41. *Pa fodd y goresgynwyd Sesach!*] Dywedir mai un o dduwiau Babilon oedd *Sesach*, a bod y ddinas yn cael ei galw yma ar ei enw ef mewn gwawd; a meddylir mai ar ŵyl y duw hwn yr aeth Cyrus i mewn i'r ddinas: gwel ar pen. xxv. 26. *Pa fodd yr ennillwyd gogoniant yr holl ddaear!*—yr oedd Babilon yn un o saith ryfeddod y byd, a mawrygid hi ar gyfrif hyd a lled ac uwchder ei muriau; helaethrwydd ac amledd ei phalasau; ei gerddi crogedig, a'i heolydd llydain; teml fawreddog Belus, a'i thyrau; ei hafon, ei chamlasau, a'i llynoedd; ei hawdurdod, ei nerth milwraidd, a'i chyfoeth, &c. *Pa fodd yr aeth Babilon yn syndod yn mysg y cenhedloedd!*—nes y mae pawb yn synu yn fwy wrth ei gwaeledd presenol, nag y gwnaent gynt wrth ei mawredd a'i gogoniant.

Adn. 42. *Y môr a ddaeth i fyny ar Babilon*] Torf o elynion a orlifasant yr holl ddinas, gan ysgubo y cwbl o'u blaen fel tònau chwyddedig.

Adn. 43. *Ei dinasoedd hi a aethant yn annghyfanedd*] Sef yr holl fân-ddinasoedd o'i hamgylch, yn gystal a Babilon ei hun: gwel ar Esay xiii. 20, &c.

Adn. 44. *A mi a ymwelaf â Bel yn Babilon*] Bel, neu Belus, oedd eu prif dduw hwynt; ac yr oedd melldith a dinystr i ddisgyn ar eu heilunod a'u temlau. *A mi a dynaf o'i safn ef yr hyn a lyncodd*—sef yr offrymau a wnaed iddo o yspail y gwledydd gorchfygedig; ac yn enwedig llestri tŷ yr Arglwydd, y rhai a roddasai Nebuchodonosor yn nheml ei dduw yn Babilon, Dan. i. 2, ac a adferwyd gan Cyrus, Ezra i. 7. Dywedir fod gwerth ugain miliwn o bunnau o'n harian ni yn nheml Bel yn unig. *A'r cenhedloedd ni ddylifant ato mwyach*—i addoli Bel, nac i roddi anrhegion iddo. *Ie, mur Babilon a syrth*—yr hyn a lwyr gyflawnwyd, nid ar unwaith, ond yn raddol.

Adn. 45. *Deuwch allan o'i chanol, O fy mhobl*] Hon sydd alwad ar yr Iuddewon i ymadael o Babilon; *ac achubwch bob un ei enaid*—neu ei einioes, *rhag llid digofaint yr Arglwydd*—yr hwn sydd ar ddisgyn ar y Babiloniaid.

Adn. 46. *A rhag llwfrhau eich calonau, ac ofni rhag y chwedl a glywir yn y wlad*] Sef

chwedl newydd y flwyddyn *arall;* a
thrais yn y wlad, llywodraethwr yn
erbyn llywodraethwr.
47 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, yr ymwelwyf â delwau Babi-
lon; a'i holl wlad hi a waradwyddir,
a'i holl rai lladdedig hi a syrthiant
yn ei chanol.
48 Yna y nefoedd a'r ddaear, a'r
hyn oll *sydd* ynddynt, a ganant o
herwydd Babilon: oblegid o'r gog-
ledd y daw yr anrheithwyr ati,
medd yr Arglwydd.
49 Fel *y gwnaeth* Babilon i'r rhai
lladdedig o Israel syrthio, felly yn
Babilon y syrth lladdedigion yr holl
ddaear.
50 Y rhai a ddiangasoch gan y
cleddyf, ewch ymaith; na sefwch:
cofiwch yr Arglwydd o bell, a deu-
ed Jerusalem yn eich cof chwi.
51 Gwaradwyddwyd ni, am i ni
glywed cabledd: gwarth a orchudd-
iodd ein hwynebau; canys daeth es-
troniaid i gysegroedd tŷ yr Ar-
glwydd.
52 Am hyny wele y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd, pan ym-
welwyf fi â'i delwau hi; a thrwy ei
holl wlad hi yr archolledig a ridd-
fan.
53 Er i Babilon ddyrchafu i'r nef-
oedd, ac er iddi gadarnhau ei ham-
ddiffynfa yn uchel; *eto* anrheithwyr
a ddaw ati oddiwrthyf fi, medd yr
Arglwydd.
54 Sain gwaedd *a glywir* o Babi-
lon, a dinystr mawr o wlad y Calde-
aid.
55 O herwydd yr Arglwydd a an-
rheithiodd Babilon, ac a ddinystr-
iodd y mawrair allan o honi hi, er
rhuo o'i thonau fel dyfroedd lawer,
*a* rhoddi twrf eu llef hwynt.

---

fod y Mediaid a'r Persiaid yn dyfod i fyny yn erbyn Babilon. *A'r naill flwyddyn y daw chwedl newydd, ac ar ol hyny chwedl newydd y flwyddyn arall*—hyny yw, y flwyddyn gyntaf deuai y newydd am fwriad a pharotoadau rhyfelgar y gelynion; yr ail flwyddyn clywid am ddyfodiad Cyrus i Asia, a'i fuddugoliaethau yno; a'r drydedd flwyddyn cymerid Babilon. *A thrais yn y wlad, llywodraethwr yn erbyn llywodraethwr*—sef Cyrus yn erbyn Belsassar, fel y mae rhai yn ei ddeall. Ond tybia *Berosus*, yr hanesydd Caldeaidd, fod y *trais* hwn yn cyfeirio yn hytrach at y creulonderau a ddanghoswyd yn Babilon yn fuan ar ol marwolaeth Nebuchodonosor, pryd y lladdwyd Efil-merodach, ei fab a'i olynydd ef, gan un o'i ddeiliaid, yr hwn a deyrnasodd yn ei le ef; ac y lladdwyd mab ac olynydd hwnw drachefn, i'r dyben i adfer yr orsedd i'w gwir etifedd.

Adn. 47. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod yr ymwelwyf â delwau Babilon*] Nid yn unig â Bel ei phrif dduw, adn. 44, ond hefyd â'i holl fân-dduwiau hi, y rhai a ddryllir ac a yspeilir o bob peth gwerthfawr perthynol iddynt: *a'i holl wlad hi a waradwyddir*—am ymddiried o honi mewn duwiau nad allent eu gwaredu eu hunain: *a'i holl rai lladdedig hi a syrthiant yn ei chanol*—dinystrir nid yn unig ei duwiau, ond eu haddolwyr hwynt hefyd.

Adn. 48. *Yna y nefoedd a'r ddaear*] Sef angylion a dynion, a phob peth arall megys yn ei iaith; *a ganant o herwydd Babilon*—a lawenychant, ac a foliannant Dduw am y gosp gyfiawn hon ar Babilon, yr hon a osodai derfyn ar ei gormes a'i chreulondeb hi: *oblegid o'r gogledd y daw yr anrheithwyr ati*—sef o wlad Media, pen. l. 3.

Adn. 49. *Fel y gwnaeth Babilon i'r rhai lladdedig o Israel syrthio*] Gynt yn Jerusalem a gwlad Judea; *felly yn Babilon y syrth lladdedigion yr holl ddaear*—sef rhai o bob talaeth yn yr amherodraeth eang hono, y rhai a ddaethent yno er diogelwch iddynt eu hunain, neu i geisio amddiffyn y brifddinas. Ond y mae rhai yn cyfieithu y frawddeg olaf, 'Felly trwy Babilon y syrthiodd lladdedigion yr holl ddaear,' yr un modd ag Israel.

Adn. 50. *Y rhai a ddiangasoch gan y cleddyf*] Chwi Iuddewon, y rhai ni laddwyd gan gleddyf y Mediaid a'r Persiaid; *ewch ymaith*—tua'ch gwlad eich hunain; *na sefwch*—ar y ffordd: *cofiwch yr Arglwydd o bell*—pan yn mhell o'ch gwlad, ac ofnwch ef ar hyd yr holl ffordd; *a deued Jerusalem yn eich cof*—i ddychwelyd iddi, a gwasanaethu yr Arglwydd ynddi.

Adn. 51. *Gwaradwyddwyd ni, am i ni glywed cabledd*] Darlunir yma deimladau yr Iuddewon duwiol wrth iddynt glywed y Babiloniaid yn llefaru yn gableddus am Jehofa, megys pe buasent yn eu gwarthruddo hwy am addoli un nas gallasai, yn ol eu barn hwy, waredu Jerusalem a'r deml o'u dwylaw hwy. *Canys daeth estroniaid* i *gysegroedd tŷ yr Arglwydd*—daeth y Caldeaid dienwaededig i mewn i'r deml a'i chynteddau santaidd.

Adn. 52. *Am hyny wele y dyddiau yn dyfod, &c.*] Gwel ar adn. 47; *a thrwy ei holl wlad hi yr archolledig a riddfan*—o herwydd eu harcholli yn angeuol gan y gelyn.

Adn. 53. *Er i Babilon ddyrchafu i'r nefoedd*] O ran uchder a chadernid ei chaerau; *eto anrheithwyr a ddaw ati oddiwrthyf fi*—y rhai a lwyddant i fyned i mewn i'r ddinas.

Adn. 54. *Sain gwaedd a glywir o Babilon, &c.*] O achos y dinystr a wneir yno gan y gelyn.

Adn. 55. *O herwydd yr Arglwydd a anrheithiodd Babilon*] A roddodd awdurdod a gallu i'r gelyn wneuthur hyny; *ac a ddinystriodd y mawrair allan o honi hi*—Saes., 'a ddinystriodd y *fawrlef*.' Tybia rhai mai

56 Canys yr anrheithiwr a ddaeth
yn ei herbyn hi, *sef* yn erbyn Babi-
lon, a'i chedyrn hi a ddaliwyd; eu
bwa a dorwyd: canys Arglwydd
Dduw y gwobr a wobrwya yn sicr.
57 A myfi a feddwaf ei thywysog-
ion hi, a'i doethion, ei phenaethiaid,
a'i swyddogion, a'i chedyrn: a
hwy a gysgant hûn dragwyddol, ac
ni ddeffroant, medd y Brenin, enw
yr hwn *yw* Arglwydd y lluoedd.
58 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Gan ddryllio y dryllir lly-
dain furiau Babilon, a'i huchel byrth
a losgir â thân; a'r bobl a ymboen-
ant mewn oferedd, a'r cenhedloedd
mewn tân, a hwy a ddiffygiant.
59 ¶ Y gair yr hwn a orchym-
ynodd Jeremi y proffwyd i Seraiah
fab Nerïah, mab Maaseiah, pan
oedd efe yn myned gyda Zedeciah
brenin Juda i Babilon, yn y bed-
waredd flwyddyn o'i deyrnasiad ef.
A Seraiah *oedd* dywysog llonydd.
60 Felly Jeremi a ysgrifenodd
yr holl aflwydd oedd ar ddyfod yn
erbyn Babilon, mewn un llyfr; *sef*
yr holl eiriau a ysgrifenwyd yn er-
byn Babilon.
61 A Jeremi a ddywedodd wrth
Seraiah, Pan ddelych i Babilon, a
gweled, a darllen yr holl eiriau hyn;

---

swn neu drwst mawr y bobl a feddylir yma, yr hwn a ddarfyddodd trwy i'r trigolion gael eu lladd; tybia ereill mai y bloeddiadau uchel yn ngwledd Belsassar a olygir; tra y barna ereill mai balchder a bost mawr y Babiloniaid yw yr hyn y cyfeirir ato. *Er rhuo o'i thònau fel dyfroedd lawer, &c.*—fe allai mai y meddwl yw, i'w 'mawrlef' gael ei dystewi er uched ydoedd. Ond tybia rhai fod yn niwedd yr adnod gyfeiriad at ruad a thwrf ei gelynion aml oddifewn, y rhai a ddystawent floeddiadau gorhoenus y Babiloniaid, adn. 42. Bygythir yr un peth i'r Fabilon gyfriniol, Dat. xviii. 22, 23.

Adn. 56. *Canys yr anrheithiwr a ddaeth yn ei herbyn hi*] Sef Cyrus a'i fyddin; *a'i chedyrn hi a ddaliwyd*—sef ei swyddogion gwladol a milwraidd: *eu bwa a dorwyd*—sef eu nerth i ryfel: *canys Arglwydd Dduw y gwobr*—neu y taledigaeth, i'r hwn y perthyn dial; *a wobrwya yn sicr*—a dâl iddynt yn ol eu gweithredoedd.

Adn. 57. *A myfi a feddwaf ei thywysogion hi, &c.*] A oddefaf iddynt feddwi a syfrdanu, fel ag i esgeuluso gwneyd yr hyn fydd angenrheidiol er amddiffyniad iddynt eu hunain: *a hwy a gysgant hûn dragwyddol*—gwel ar adn. 39; *medd y Brenin*—enw yr hwn yw 'Brenin y brenhinoedd,' yn gystal ag 'Arglwydd y lluoedd.'

Adn. 58. *Gan ddryllio y dryllir llydain furiau Babilon*] Dywed haneswyr fod muriau Babilon yn 60 milldir o gwmpas, yn 100 llath o uchder, ac yn 50 llath o led, yn y rhai yr oedd 100 o byrth pres. Yr oedd y ddinas a'r muriau yn bedair-ochrog, a phob ochr yn 15 milldir o hyd. *A'i huchel byrth a losgir â thân*—yr oedd tyrau uchel wedi eu hadeiladu wrth bob porth, ac ar gonglau y muriau, i'r dyben i'w hamddiffyn: ond er cadarned oeddynt, dywedir yma y byddai iddynt gael eu llosgi i'r llawr. *A'r bobl a ymboenant mewn oferedd*—yr oeddynt wedi bod yn ymboeni yn ofer wrth adeiladu y fath furiau a thyrau cedyrn; a gwnaent felly drachefn wrth geisio eu hamddiffyn hwy rhag y fflamau: *a'r cenhedloedd mewn tân*—hwy a ymboenent mewn tân wrth geisio ei ddiffodd ef: *a hwy a ddiffygiant*—hwy a fethant gyraedd eu hamcan, neu a losgir eu hunain wrth geisio diogelu eu dinas.

Adn. 59. *Y gair yr hwn a orchymynodd Jeremi y proffwyd*] Sef y cyfarwyddyd a adroddir adn. 61—64; *i Seraiah fab Nerïah*—yr hwn oedd yn frawd i Baruch yr ysgrifenydd, cyfaill ffyddlon Jeremi, pen. xxxii. 12; *pan oedd efe yn myned gyda Zedeciah brenin Juda i Babilon*—pan oedd yn myned *oddiwrth* Zedeciah, neu *drosto* ef, i Babilon, fel y mae y LXX yn ei ddarllen; canys nid yw yn debyg i'r brenin ei hun fyned i Babilon, yr hon oedd oddeutu 800 o filldiroedd o Jerusalem; *yn y bedwaredd flwyddyn o'i deyrnasiad ef*—yr hyn a grybwyllir yma i nodi amseriad y broffwydoliaeth yn y ddwy bennod flaenorol. *A Seraiah oedd dywysog llonydd*—yn caru byw mewn heddwch â'r Babiloniaid a phawb ereill. Ond yn lle 'tywysog *llonydd*,' y LXX a'i cyfieithant 'tywysog y *rhoddion*,' neu y swyddog ag oedd i ofalu fod i'r dreth flynyddol gael ei thalu yn rheolaidd i frenin Babilon, fel cydnabyddiad o ddarostyngiad Zedeciah a'i wlad iddo ef: gwel ar 2 Bren. xxiv. 17—20.

Adn. 60. *Felly Jeremi a ysgrifenodd yr holl aflwydd oedd ar ddyfod yn erbyn Babilon*] Fel ei rhagfynegwyd yn y bennod hon a'r un flaenorol; *mewn un llyfr*—yr hwn a ddygid gan Seraiah i'r Babiloniaid, fel y gallent hwy wybod, saith mlynedd cyn iddynt ddinystrio Jerusalem, y gosp a ddeuai arnynt am hyny yn mhen oddeutu 70 mlynedd ar ol iddynt wneuthur felly.

Adn. 61. *A Jeremi a ddywedodd wrth Seraiah*] Mewn ffordd o gyfarwyddyd iddo cyn cychwyn ar ei daith; *Pan ddelych i Babilon, a gweled*—cadernid, gorwychedd, ac annuwioldeb y ddinas fawr hòno; *a darllen yr holl eiriau hyn*—sef cynwysiad y ddwy bennod yma. Y mae yn debyg ei fod ef i ddarllen y broffwydoliaeth hon yn nghlyw yr Iuddewon a gaethgludesid yno yn nyddiau Joacim a Joacin, i'w cysuro hwy yn eu caethiwed; ac yn nghlyw rhai o'r Babiloniaid hefyd, i'w rhybyddio hwythau o'r farn ag ydoedd i ddisgyn arnynt hwy.

62 Yna dywed, O Arglwydd, ti
a leferaist yn erbyn y lle hwn, am
ei ddinystrio, fel na byddai ynddo
breswylydd, na dyn nac anifel,
eithr ei fod yn annghyfanedd tra-
gwyddol.
63 A phan ddarfyddo i ti ddar-
llen y llyfr hwn, rhwym faen wrtho,
a bwrw ef i ganol Euphrates:
64 A dywed, Fel hyn y soddir
Babilon, ac ni chyfyd hi, gan y
drwg a ddygaf fi arni: a hwy a ddi-
ffygiant. Hyd hyn *y mae* geiriau
Jeremi.

## PENNOD LII.

MAB un mlwydd ar hugain *oedd*
Zedeciah pan ddechreuodd efe
deyrnasu; ac un mlynedd ar ddeg
y teyrnasodd efe yn Jerusalem: ac
enw ei fam ef *oedd* Hamutal, merch
Jeremiah o Libnah.
2 Ac efe a wnaeth *yr hyn oedd*
ddrwg yn ngolwg yr Arglwydd, yn
ol yr hyn oll a wnaethai Jehoiacim.
3 O herwydd *gan* ddigofaint yr
Arglwydd y bu yn Jerusalem ac yn
Juda, hyd oni fwriodd efe hwynt
allan o'i olwg, wrthryfela o Zedec-
iah yn erbyn brenin Babilon.
4 ¶ Ac yn y nawfed flwyddyn
o'i deyrnasiad ef, yn y degfed mis,
ar y degfed *dydd* o'r mis, y daeth
Nebuchodonosor brenin Babilon,
efe a'i holl lu, yn erbyn Jerusalem,
ac a wersyllasant yn ei herbyn hi,
ac a adeiladasant gyferbyn â hi am-
ddiffynfa o amgylch ogylch.
5 Felly y ddinas a fu yn ngwar-
chae hyd yr unfed flwyddyn ar
ddeg i'r brenin Zedeciah.
6 Yn y pedwarydd mis, yn y
nawfed *dydd* o'r mis, y newyn a
drymhaodd yn y ddinas, fel nad
oedd bara i bobl y wlad.
7 Yna y torwyd y ddinas; a'r
holl ryfelwyr a ffoisant, ac a aeth-
ant allan o'r ddinas liw nos, ar hyd
ffordd y porth rhwng y ddau fur, yr
hwn *oedd* wrth ardd y brenin, (a'r
Caldeaid *oedd* wrth y ddinas o am-
gylch,) a hwy a aethant ar hyd
ffordd y rhos.
8 ¶ Ond llu y Caldeaid a ymlid-
iasant ar ol y brenin, ac a oddi-
weddasant Zedeciah yn rhosydd
Jericho, a'i holl lu ef a wasgarwyd
oddiwrtho.
9 Yna hwy a ddaliasant y brenin,
ac a'i dygasant ef at frenin Babilon
i Riblah, yn ngwlad Hamath; ac
efe a roddodd farn arno ef.
10 A brenin Babilon a laddodd
feibion Zedeciah yn ngwydd ei lyg-
aid ef: efe a laddodd hefyd holl dy-
wysogion Juda yn Riblah.
11 Yna efe a dynodd lygaid Ze-
deciah, ac a'i rhwymodd ef â chad-
wyni: a brenin Babilon a'i har-
weiniodd ef i Babilon, ac a'i rhodd-
odd ef mewn carchardy hyd ddydd
ei farwolaeth.
12 ¶ Ac yn y pummed mis, ar y
degfed *dydd* o'r mis, (hon *oedd* y
bedwaredd flwyddyn ar bymtheg i'r
brenin Nebuchodonosor brenin Ba-
bilon,) y daeth Nebuzaradan pen-
aeth y milwyr, (*yr hwn* a safai ger

---

Adn. 62. *Yna dywed*] Gan edrych i fyny at Dduw, ac ardystio yn ddifrifol ddwyfol awdurdod yr hyn a ddarllenaist, a'th grediniaeth ddiysgog yn ei wirionedd: *O Arglwydd, ti a leferaist yn erbyn y lle hwn, &c.*—dy eiriau di yw y geiriau hyn am ddinystr Babilon, ac am ei hannghyfanedd-dra tragwyddol hi, ac felly rhaid eu bod yn wir.

Adn. 63. *A phan ddarfyddo i ti ddarllen y llyfr hwn*] A'i blygu neu ei rolio yn nghyd; *rhwym faen wrtho, a bwrw ef i ganol Euphrates*—i'r man lle y mae y dyfroedd ddyfnaf, i fod yn arwydd gweledig o suddiad bythol Babilon yn y dinystr a gyhoeddwyd i'w herbyn hi. Darlunir cwymp y Babilon gyfriniol, neu Rufain Babaidd, yn yr un modd: gwel Dat. xviii. 21.

Adn. 64. *A dywed*] Fel genau dros Dduw; *Fel hyn y soddir Babilon, ac ni chyfyd hi*—ddim mwy na'r llyfr a'r maen yma; *gan y drwg a ddygaf fi arni*—trwy offerynoliaeth Cyrus ac eraill. *A hwy a ddiffygiant*—y rhai hyn ydynt eiriau Jeremi, i ddangos na fyddai gan y Babiloniaid nerth i amddiffyn eu dinas, nac i wrthsefyll eu gelynion. *Hyd hyn y mae geiriau Jeremi*—y mae yn debyg i hyn gael ei chwanegu gan ysgrifenydd y bennod ganlynol, sef Ezra ond odid. Nid hon oedd proffwydoliaeth olaf Jeremi, canys traethwyd hi yn y bedwaredd flwyddyn i Zedeciah, adn. 59; a bu ef yn proffwydo am lawer o flynyddau wedi hyn: eithr hon a roddir i lawr yn olaf o'i holl broffwydoliaethau ef. Ymddengys mai Ezra, neu ryw ŵr ysbrydoledig arall, a ysgrifenodd y bennod nesaf, i'r dyben i ddangos cyflawniad proffwydoliaethau Jeremi am drallodau yr Iuddewon, neu fel rhagarweiniad i lyfr y Galarnad, yr hwn sydd yn canlyn; a thybia *Clarke* mai yn nechre y llyfr hwnw y dylasai y bennod olaf fod.

PEN. LII. Adn. 1—3. *Mab un mlwydd*

bron brenin Babilon,) i Jerusalem;
13 Ac efe a losgodd dŷ yr Ar-
glwydd, a thŷ y brenin; a holl dai
Jerusalem, a phob tŷ mawr, a losg-
odd efe â thân.
14 A holl lu y Caldeaid y rhai
*oedd* gyda phenaeth y milwyr, a
ddrylliasant holl furiau Jerusalem
o amgylch.
15 Yna Nebuzaradan penaeth y
milwyr a gaethgludodd *rai* o'r bobl
wael, a'r gweddill o'r bobl a adew-
sid yn y ddinas, a'r ffoaduriaid a
giliasent at frenin Babilon, a'r
gweddill o'r bobl.
16 Ond Nebuzaradan penaeth y
milwyr a adawodd *rai* o dylodion y
wlad yn winllanwyr ac yn arddwyr.
17 A'r Caldeaid a ddrylliasant y
colofnau pres y rhai *oedd* yn nhŷ yr
Arglwydd, a'r ystolion, a'r môr
pres yr hwn *oedd* yn nhŷ yr Ar-
glwydd; a hwy a ddygasant eu holl
bres hwynt i Babilon.
18 A hwy a ddygasant ymaith y
crochanau, a'r rhawiau, a'r psalt-
ringau, a'r cawgiau, a'r thuserau,
a'r holl lestri pres, y rhai yr oedd-
id yn gwasanaethu â hwynt.
19 A'r phiolau, a'r pedyll tân, a'r
cawgiau, a'r crochanau, a'r can-
wyllbrenau, a'r thuserau, a'r cwp-
anau, y rhai *oedd* o aur *yn* aur, a'r
rhai *oedd* o arian *yn* arian, a gy-
merodd penaeth y milwyr ymaith.
20 Y ddwy golofn, un môr, a
deuddeg o ychain pres, y rhai *oedd*
dan yr ystolion, y rhai a wnaethai
y brenin Solomon, yn nhŷ yr Ar-
glwydd: nid oedd pwys ar bres yr
holl lestri hyn.
21 Ac *am* y colofnau, deunaw cuf-
ydd *oedd* uchder un golofn, a llin-
yn o ddeuddeg cufydd oedd yn ei
hamgylchu: a'i thewdwr yn bedair
modfedd; *ac* yn gau *yr oedd.*
22 A chnap pres *oedd* arni, a
phum cufydd *oedd* uchder un cnap;
a rhwydwaith a phomgranadau ar
y cnap o amgylch, yn bres i gyd:
ac fel hyn *yr oedd* yr ail golofn a'*i*
phomgranadau.
23 A'r pomgranadau oeddynt,
onid pedwar, cant ar ystlys: yr holl
bomgranadau ar y rhwydwaith o
amgylch *oedd* gant.
24 ¶ A phenaeth y milwyr a gy-
merodd Seraiah yr archoffeiriad, a
Sephaniah yr ail offeiriad, a'r tri
oedd yn cadw y drws.
25 Ac efe a gymerodd o'r ddinas
ystafellydd, yr hwn oedd swyddog
ar y rhyfelwyr; a seith-wŷr o weis-
ion penaf y brenin, y rhai a gafwyd
yn y ddinas: a phen-ysgrifenydd y
llu, yr hwn a fyddai yn byddino pobl
y wlad; a thri ugeinwr o bobl y wlad,
y rhai a gafwyd yn nghanol y ddinas.
26 A Nebuzaradan penaeth y mil-
wyr a gymerodd y rhai hyn, ac a
aeth â hwynt i Riblah, at frenin Ba-
bilon.
27 A brenin Babilon a'u tarawodd
hwynt, ac a'u lladdodd hwynt yn
Riblah, yn ngwlad Hamath. Fel hyn
y caethgludwyd Juda o'i wlad ei hun.
28 Dyma y bobl a gaethgludodd
Nebuchodonosor yn y seithfed
flwyddyn, tair mil a thri ar hugain
o Iuddewon.
29 Yn y ddeunawfed flwyddyn i
Nebuchodonosor efe a gaethglud-

---

*ar hugain oedd Zedeciah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxiv. 13—20, lle y cawn yr un geiriau, ond fod yr hwn a elwir yma *Jehoiacim*, adn. 2, yn cael ei alw yno *Joacin.* Gwelsom eisioes, pen. li. 64, fod yn debygol mai nid Jeremi a ysgrifenodd y bennod hon.

Adn. 4—20. *Ac yn y nawfed flwyddyn o'i deyrnasiad ef, &c.*] Cawn yr un geiriau yn 2 Bren. xxv. 1—16: gwel y sylwadau yno.

Adn. 21. *A llinyn o ddeuddeg cufydd oedd yn ei hamgylchu*] Neu a oedd yn ofynol i'w hamgylchu, gan mor brâff ydoedd; ac felly yr oedd tryfesur pob colofn oddeutu pedwar cufydd, neu yn nghylch dwy lath. *A'i thewdwr yn bedair modfedd*—yr oedd y golofn yn gau neu wâg oddifewn, ac yr oedd y plisgyn ag ydoedd o amgylch y ceuedd hwnw yn bedair modfedd o drwch: gwel ar 1 Bren. vii. 15—20.

Adn. 22. *A chnap pres oedd arni*] Fel coron addurnawl ar ben pob colofn.

Adn. 23. *A'r pomgranadau oeddynt, onid pedwar, cant*] Oeddynt 96 o rifedi: gwel ar 1 Bren. vii. 20.

Adn. 24—27. *A phenaeth y milwyr a gymerodd Seraiah, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxv. 18—21.

Adn. 28—30. *Dyma y bobl a gaethgludodd Nebuchodonosor*] Nid yw yr adnodau hyn i'w cael yn 2 Bren. xxv. *Yn y seithfed flwyddyn, tair mil a thri-ar-hugain o Iuddewon, &c.*—wrth gymharu yr hanes ysgrythyrol, ymddengys i chwech caethgludiad o'r Iuddewon gymeryd lle dan Nebuchodonosor. Yn y flwyddyn gyntaf, a'r wythfed, a'r bedwaredd-ar-bymtheg o'i deyrnasiad, symudwyd ymaith niferoedd lluosog o'r Iuddewon; eithr yn y seithfed, y ddeunawfed, a'r drydedd flwyddyn ar hugain o'i deyrnasiad, sef y tri chyfnod ag y cyfeirir atynt yn yr adnodau hyn, nid oedd

odd o Jerusalem wyth gant a deu-
ddeg ar hugain o ddynion.
30 Yn y drydedd flwyddyn ar
hugain i Nebuchodonosor, Nebu-
zaradan penaeth y milwyr a gaeth-
gludodd saith gant a phump a deu-
gain o Iuddewon: yr holl ddynion
hyn *oedd* bedair mil a chwe chant.
31 ¶ Ac yn y ddwyfed flwyddyn
ar bymtheg ar hugain wedi caeth-
gludo Jehoiacin brenin Juda, yn y
deuddegfed mis, ar y pummed *dydd*
ar hugain o'r mis, Efil-merodach
brenin Babilon, (yn y flwyddyn
*gyntaf* o'i deyrnasiad,) a ddyrchaf-
odd ben Jehoiacin brenin Juda, ac
a'i dyg ef allan o'r carchardy.
32 Ac a ddywedodd yn dêg wrtho,
ac a osododd ei frenhinfainc ef uwch
law gorseddfeinciau y brenhinoedd,
y rhai *oedd* gydag ef yn Babilon.
33 Ac efe a newidiodd ei garch-
arwisg ef: ac efe a fwytaodd fara
ger ei fron ef yn wastad, holl ddydd-
iau ei einioes.
34 Ac *am* ei luniaeth ef, lluniaeth
gwastadol a roddwyd iddo gan fren-
in Babilon, dogn dydd yn ei ddydd
hyd ddydd ei farwolaeth, holl
ddyddiau ei einioes.

---

eu nifer mor luosog, ddim ond 4,600 yn unig: gwel *Usher*, *Blayney*, *&c.*

Adn. 31. *Ac yn y ddwyfed flwyddyn ar bymtheg ar hugain wedi caethgludo Jehoiacin*] Sef Joacin neu Jeconiah, fel y gelwir ef weithiau; *ar y pummed dydd ar hugain o'r mis*—rhoddwyd y gorchymyn i ryddhau Jehoiacin ar y 25ain o'r deuddegfed mis, fel y dywedir yma; a dygwyd ef allan o'r carchardy ar y 27ain, fel y dywedir yn 2 Bren. xxv. 27.

Adn. 32—34. *Ac a ddywedodd yn dêg wrtho, &c.*] Gwel ar 2 Bren. xxv. 28—30, lle y mae yr adnodau hyn wedi eu hegluro eisioes.

---

# GALARNAD JEREMI.

---

NID oes un teitl i'r llyfr hwn yn yr *Hebraeg*, eithr, fel pum llyfr Moses, gelwir ei enw ef *Eicah*, 'Pa fodd,' oddiwrth y gair cyntaf ynddo; ac weithiau *Kinnoth*, 'Galarnadau,' oddiwrth ei destyn a'i gynwysiad. Yn nghyfieithiad y LXX gelwir ef *Thrênoi tou Ieremiou*, 'Galarnadau Jeremi,' am yr un rheswm; ac felly y gwneir yn y *Syriaeg*, yr *Arabaeg*, a'r *Vulgate*, yn nghydag amrai gyfieithiadau diweddar.—Ystyrir ef yn un o lyfrau y *Megilloth*, neu 'Rol,' yn mhlith yr Iuddewon; a chan ei fod yn cyfeirio at ddinystr eu hamgylchiadau, ac yn cynwys gobeithion o adferiad iddynt, gwerthfawrogant ef yn fawr, a darllenant ef yn fynych. Y pum llyfr a elwir *Megilloth*, yw llyfrau *Ruth*, *Esther*, y *Pregethwr*, y *Caniadau*, a'r *Galarnadau* hyn.—Addefir yn gyffredin mai JEREMI yw awdwr y llyfr hwn, yr hyn yn wir a brofir yn ddigonol oddiwrth ei eiriadaeth, ei redDiad, a'i arddull; ac er i *Herman Van der Hardt* geisio profi i'r pum pennod hyn gael eu hysgrifenu gan *Daniel*, *Sadrach*, *Mesach*, *Abednego*, a *Jeremiah*, nid ymddengys iddo ennill cymaint ag un i'w gredu.—Y mae yn debyg mai yn ystod ei arhosiad yn yr Aifft, ar ol i Jerusalem a'r deml gael eu llosgi, ac ar ol i'r Iuddewon gael eu lladd neu eu caethgludo, yr ysgrifenodd Jeremi y Galarnadau hyn; canys sonir ynddynt am yr holl bethau hyn fel wedi cymeryd lle eisioes.—Darfu i rai, megys *Josephus*, *Jerome*, *Junius*, *Michaelis*, &c., feddwl mai *marwolaeth Josiah* a fu yn achlysur i Jeremi gyfansoddi y llyfr hwn; ond y farn debycaf, a'r hon a dderbynir amlaf, yw, mai *dinystr Jerusalem* gan y Caldeaid, yn nghyda'r *trueni* a'r *galanastra* cysylltedig â hyny, oedd testyn ei Alarnad. Y mae yn wir i'r proffwyd alarnadu ar ol marwolaeth Josiah, 2 Cron. xxxv. 25; ond ymddengys fod y cyfansoddiad hwnw wedi ei golli er's llawer o oesoedd: gwel y sylwadau yno.—Fe allai na bu dyn erioed yn fwy galluog i ganu ar destyn alaethus na Jeremi; ac yn ninystr Jerusalem a'r Iuddewon efe a gafodd destyn digon alaethus i beri iddo arllwys allan deimladau ei galon dduwiol a gwladgarol yn holl nerth ei awen ddwyfol. Nid rhyfedd gan hyny, fel y sylwa *Dr. South*, fod pob llythyren yn yr Alarnad hon fel pe byddai wedi ei hysgrifenu â dagrau, a phob gair ynddi fel ewynfaniad calon ar dori; a bod yr awdwr fel pe byddai wedi ei wneyd i fyny o flinderau, a'i gynefino â gofid o'i fabandod; yr hwn ni anadlodd erioed ond mewn ocheneidiau, ac ni lefarodd ond mewn griddfanau. Nid oes gan ofid, tristwch, na thosturi, unrhyw deimlad, profiad, nac ymadrodd a'r na ddefnyddiwyd gan awdwr yr Alarnad hon; ac y mae ei eiriau, ei weithredoedd, a'i ddagrau yn dangos yn y modd amlycaf ei fod yn caru ei wlad, ei genedl, a'i grefydd i'r graddau helaethaf.—Y mae y pennodau hyn yn fath ar alareb wedi ei chyfansoddi ar ddull *trawsgerdd*, oddieithr yr olaf; hyny yw, y mae pob adnod neu bennill yn dechreu gyda llythyrenau y wyddor Hebreig yn olynol, y rhai sydd 22 mewn rhifedi, yr hyn a fwriadwyd i gynorthwyo y cof, fel y sylwyd eisioes yn nheitl Salm xxv. Yn y drydedd bennod ceir tri phennill yn dechreu gyda'r lythyren *aleph*, a thri yn dechreu gyda'r *beth*, &c., fel ag i gynwys y wyddor drosodd deirgwaith, yr hyn a wna nifer yr holl adnodau yn 66. Y mae yn hynod fod y lythyren *pe* yn cael ei dodi o flaen yr *ain* yn pen. ii, iii, a iv, yn lle ar ei hol hi, fel y saif yn y wyddor Hebreig: a thybia *Lightfoot* i hyny gael ei wneuthur yn fwriadol, i'r dyben i ddwyn ar gof i'r Iuddewon y byddai i Dduw ddychwelyd eu caethiwed hwynt yn mhen y 70 mlynedd, trwy fod yr *ain* yn lythyren rifawl yn sefyll am 70.

## PENNOD I.

PA fodd y mae y ddinas aml *ei* phobl yn eistedd ei hunan! *pa fodd* y mae y luosog yn mhlith y cenhedloedd megys yn weddw! *pa fodd* y mae tywysoges y taleithiau dan deyrnged!

2 Y mae hi yn ŵylo yn hidl liw nos, ac *y mae* ei dagrau ar ei gruddiau, heb *neb* o'i holl gariadau yn ei chysuro: ei holl gyfeillion a fuont annghywir iddi, *ac* a aethant yn elynion iddi.

3 Juda a fudodd ymaith gan flinder, a chan faint caethiwed; y mae hi yn aros yn mysg y cenhedloedd, heb gael gorphwysdra: ei holl erlidwyr a'u goddiweddasant hi mewn lleoedd cyfyng.

4 Y mae ffyrdd Seion yn galaru, o eisiau rhai yn dyfod i'r ŵyl arbenig: ei holl byrth hi *sydd* annghyfanedd, ei hoffeiriaid yn ucheneidio, ei morwynion yn ofidus, a hithau yn flin arni.

5 Ei gwrthwynebwyr ydynt benaf, y mae ei gelynion yn ffynu: canys yr Arglwydd a'i gofidiodd hi am amlder ei chamweddau; ei phlant a aethant i gaethiwed o flaen y gelyn.

---

PEN. I. Adn. 1. *Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl yn eistedd ei hunan!*] Sef Jerusalem, yr hon oedd unwaith yn llawn o drigolion. Yr oedd eistedd i lawr mewn unigedd, â'r pen yn pwyso ar y llaw, a'r penelin ar y glin, yn arwydd o alar a gofid: gwel ar Esay iii. 26. *Pa fodd y mae y luosog yn mhlith y cenhedloedd*—neu yr un oedd *fawr* yn mhlith y cenhedloedd, *megys yn weddw!*—darlunir *dinasoedd* yn gyffredin fel *mamau* i'w trigolion, a'u brenhinoedd a'u tywysogion fel eu *gwŷr;* ac felly, pan eu hamddifadir o'r rhai hyn, arddanghosir hwynt fel *gweddwon*, ac yn *ddiblant.* Fel hyn, ar ol i Jerusalem golli ei brenin a'i phobl, a chael ei gadael gan ei Duw, yr hwn oedd mewn ystyr neillduol yn briod cyfammodol iddi, arddanghosir hi yma fel yn eistedd ei hunan yn y cyflwr prudd ac alaethus hwnw. *Pa fodd y mae tywysoges y taleithiau*—yr hon yr oedd Philistia, Syria, Moab, ac Edom, yn ei chydnabod fel tywysoges iddynt yn nyddiau Dafydd a Solomon, ac yn talu teyrnged iddi; *dan deyrnged*—ei hunan, neu yn talu treth i frenin Babilon! Y mae y proffwyd wrth ofyn '*Pa fodd!*' yn dangos ei syndod wrth y cyfnewidiad galarus, a'i ofid dwys o herwydd yr unrhyw. Yn nghyfieithiad y LXX, y *Vulgate*, a'r *Arabaeg*, cawn y geiriau canlynol fel rhagarweiniad i'r llyfr hwn: 'A bu wedi i Israel gael eu caethgludo, ac i Jerusalem gael ei gwneuthur yn annghyfanedd, i Jeremi eistedd i ŵylo: ac efe a alarodd yr alarnad hon uwchben Jerusalem, ac a ddywedodd, *Pa fodd y mae y ddinas aml ei phobl, &c.*

Adn. 2. *Y mae hi yn ŵylo yn hidl liw nos*] Yma darlunir Jerusalem fel benyw drallodus yn ŵylo yn barhaus: ïe 'liw nos,' pryd yr oedd ereill yn cael eu hadfywio gan gwsg, yr oedd hi yn cael ei chadw yn effro gan ddagrau. *Heb heb o'i holl gariadau yn ei chysuro*—sef o'r cenhedloedd hyny a garent fod mewn cynghrair â hi yn amser ei llwyddiant. *Ei holl gyfeillion a fuant annghywir iddi*—a ymunasant â'i gelynion i'w maeddu.

Adn. 3. *Juda a fudodd ymaith gan flinder, a chan faint caethiwed*] Symudwyd yr Iuddewon o'u gwlad, yr hyn oedd yn eithafion eu blinder, neu caethgludwyd hwy i Babilon yn gosp am eu gwaith yn gorthrymu ereill; neu aethant ymaith i ryw wledydd ereill yn wirfoddol, rhag y gormes a ddyoddefent oddiwrth eu penaethiaid yn eu gwlad eu hunain, neu a ddysgwylient yno oddiwrth y Caldeaid. *Y mae hi yn aros yn mysg y cenhedloedd, heb gael gorphwysdra*—sef yn Babilon lle y caethgludwyd hwy, neu yn yr Aifft a gwledydd ereill i'r rhai y ffoisent. *Ei holl erlidwyr a'i goddiweddasant hi mewn lleoedd cyfyng*—mewn amgylchiadau cyfyng, neu pan mewn anhawsderau o'r rhai nis gallent ddianc.

Adn. 4. *Y mae ffyrdd Seion yn galaru, &c.*] Yma, mewn dull barddonol prydferth, darlunir y ffyrdd i Jerusalem, y rhai a arferent fod yn llawn o bobl yn cyrchu i'r tair gŵyl flynyddol, fel yn galaru am nad oedd dynion yn tramwyo ar hyd'ddynt mwyach i'r gŵyliau hyny. *Ei holl byrth hi sydd annghyfanedd*—heb neb yn myned trwyddynt i'r deml i addoli, nac yn cynal ynddynt eu llysoedd barn; *ei hoffeiriaid yn ucheneidio*—am nad oedd yno aberthu nac offrymu mwyach; *ei morwynion yn ofidus*—am na chaent ganu eu tympanau ar y gŵyliau arbenig, na chymeryd rhan yn nghaniadau cyffredin y cysegr; *a hithau yn flin arni*—yr oedd Seion ei hun, neu gynulleidfa Israel, mewn mawr ofid a chystudd ysbryd.

Adn. 5. *Ei gwrthwynebwyr ydynt benaf*] Ydynt ben arnynt, a hwythau yn gynffon, fel y bygythiwyd mewn achos o anufydd-dod, Deut. xxviii. 44: *canys yr Arglwydd a'i gofidiodd hi am amlder ei chamweddau*—a hyny trwy offerynoliaeth y Caldeaid ac ereill: *ei phlant a aethant i gaethiwed o flaen y gelyn*—fel defaid yn cael eu gyru yn ddeadelloedd o flaen y rhai a'u prynasent.

Adn. 6. *A holl harddwch merch Seion a ymadawodd â hi*] Yr oedd y frenhiniaeth wedi ei diddymu, yr offeiriadaeth wedi ei symud, y deml wedi ei llosgi, a phalasau y brenin a'i bendefigion wedi ei dinystrio. *Y mae ei thywysogion hi fel hyddod heb gael porfa*—yn weiniaid a digalon; *ac yn myned yn ddinerth o flaen yr ymlidiwr*—nid oedd

6 A holl harddwch merch Seion a ymadawodd â hi; y mae ei thywysogion hi fel hyddod heb gael porfa, ac yn myned yn ddinerth o flaen yr ymlidiwr.

7 Y mae Jerusalem, yn nyddiau ei blinder a'i chaledi, yn cofio ei holl hyfrydwch oedd *iddi* yn y dyddiau gynt, pan syrthiodd ei phobl hi yn llaw y gelyn, heb *neb* yn ei chynorthwyo hi: y gelynion a'i gwelsant *hi, ac* a chwarddasant am ben ei sabbothau.

8 Jerusalem a bechodd bechod; am hyny y symudwyd hi: yr holl rai a'i hanrhydeddent sydd yn ei diystyru hi, o herwydd iddynt weled ei noethni hi: ïe, y mae hi yn ucheneidio, ac yn troi yn ei hol.

9 Ei haflendid *sydd* yn ei godre, nid yw hi yn meddwl am ei diwedd; am hyny y syrthiodd hi yn rhyfedd, heb *neb* yn ei chysuro: edrych, Arglwydd, ar fy mlinder; canys *ym*-fawrygodd y gelyn.

10 Y gwrthwynebwr a estynodd ei law ar ei holl hoff-bethau hi: hi a welodd y cenhedloedd yn dyfod i mewn i'w chysegr, i'r rhai y gorchymynasit ti na ddelent i'th gynulleidfa.

11 Y mae ei holl bobl hi yn ucheneidio, yn ceisio bwyd: hwy a roddasant eu hoff-bethau am fwyd i ddadebru yr enaid: edrych, Arglwydd, a gwel; canys dirmygus ydwyf fi.

12 ¶ Onid gwaeth genych chwi,

---

ganddynt wroldeb i wrthsefyll y gelyn, na nerth i ffoi rhagddo.

Adn. 7. *Y mae Jerusalem yn nyddiau ei blinder a'i chaledi*] Yn amser ei hadfyd a'i darostyngiad presenol, pan y mae ei phobl wedi syrthio yn llaw y gelyn, heb neb yn ei chynorthwyo hi; *yn cofio ei holl hyfrydwch oedd iddi yn y dyddiau gynt*—yn amser ei llwyddiant gwladol a chrefyddol; ac yr oedd cofio hyny yn mwyhau ei dyoddefiadau presenol. *Y gelynion a'i gwelsant hi*—yn ei chyfyngder a'i chaledi dirfawr; *ac a chwarddasant am ben ei sabbothau*—arferai y paganiaid wawdio yr Iuddewon am gadw o honynt eu sabbothau, yr hyn a ystyrient hwy yn arwydd o segurdod a diogi, ac yn golled o'r seithfed ran o'u hamser. Neu, yr oeddynt yn eu gwawdio y pryd hyn, am na thyciodd eu cadwraeth o'r sabbothau i'w cadw hwynt rhag caethiwed.

Adn. 8. *Jerusalem a bechodd bechod*] Yr hwn y mae yr Arglwydd yn ei ffieiddio uwchlaw pob un arall, sef godineb ysbrydol, neu eilunaddoliaeth; *am hyny y symudwyd hi*—y symudwyd ei thrigolion i Babilon; neu am hyny y neillduwyd hi fel gwraig aflan a halogedig. *Yr holl rai a'i hanrhydeddent*—hi gynt, pryd yr oedd yn ffyddlon i'w chyfammod priodasol; *sydd yn ei diystyru hi, o herwydd iddynt weled ei noethni*—fe allai fod yma gyfeiriad at yr arferiad o ddyosg dillad gwragedd godinebus yn noethion i olwg y byd: gwel ar Jer. xiii. 22. *Ie, y mae hi yn ucheneidio*—o herwydd ei dynoethi felly; *ac yn troi yn ei hol*—yn troi ei gwyneb yn ol mewn cywilydd a gofid, gan faint ei gorchwyledd.

Adn. 9. *Ei haflendid sydd yn ei godre*] Y mae hi yn dwyn arwyddion o'i haflendid moesol yn mawredd ei chosp; *nid yw hi yn meddwl am ei diwedd*—am y trueni chwanegol ag sydd yn ei haros. Neu, er fod arwyddion amlwg o'i halogrwydd i'w gweled arni, a bod yr holl dir wedi ei halogi trwy ei phechadurusrwydd hi, ni feddyliodd hi erioed beth fyddai y canlyniad o hyn yn y diwedd. *Am hyny y syrthiodd hi yn rhyfedd*—o'i huwchder a'i mawredd, i'r trueni dyfnaf; *heb neb yn ei chysuro*—nac yn meddwl am geisio ei chodi. *Edrych, Arglwydd, ar fy mlinder*—yma dygir Seion i mewn yn brydferth fel yn gweddïo am i Dduw dosturio wrthi yn ei chyfyngder, gan fod ei gelynion yn ymfawrygu i'w herbyn.

Adn. 10. *Y gwrthwynebwr*] Arweinydd byddin y Caldeaid, *a estynodd ei law ar ei holl hoff-bethau hi*—a'i hyspeiliodd hi nid yn unig o'i gwisgoedd, ei thlysau, a'i chyfoeth, ond hefyd o lestri a dodrefn gwerthfawr y deml. *Hi a welodd y cenhedloedd*—sef y Caldeaid dienwaededig, *yn dyfod i mewn i'w chysegr*—ie, i'w chysegr santeiddiolaf, lle na oddefid i neb o'r Israeliaid fyned iddo, oddieithr yr archoffeiriad yn unig ar ddydd y cymod: *i'r rhai y gorchymynasit ti na ddelent i'th gynulleidfa*—gwel ar Deut. xxiii. 1—3, Neh. xiii. 1.

Adn. 11. *Y mae ei holl bobl hi yn ucheneidio, yn ceisio bwyd*] Cyfeirir yma ond odid at amser gwarchaead Jerusalem gan y Caldeaid, Jer. lii. 4—6: *hwy a roddasant eu hoff-bethau*—sef eu cyfoeth, eu tlysau, a'u gwisgoedd; *am fwyd i ddadebru yr enaid*—am fara i dori eu newyn, a'u cadw yn fyw. *Edrych, Arglwydd, a gwel*—fy nhruenus gyflwr: *canys dirmygus ydwyf fi*—neu wael a thruenus: gwel ar adn. 9.

Adn. 12. *Onid gwaeth genych chwi, y fforddolion oll?*] Yma darlunir Jerusalem, neu Seion, fel benyw druenus yn eistedd ar fin y ffordd, ac yn galw ar y rhai a aent heibio i edrych arni a thosturio wrthi. *Gwelwch ac edrychwch, a oes y fath ofid a'm gofid i*—o ran ei fawredd a'i chwerwedd: *yr hwn a wnaethpwyd i mi*—neu a osodwyd arnaf yn gyfiawn am fy mhechodau: *â'r hwn y gofidiodd yr Arglwydd fi yn nydd angerdd ei ddigder*—neu yn nydd ei ddigder mawr ac angherddol. Dyfynir y geiriau hyn yn fynych wrth son am ddyoddefiadau mawrion ein Har-

y fforddolion oll? gwelwch ac edrychwch, a oes y fath ofid a'm gofid i, yr hwn a wnaethpwyd i mi, â'r hwn y gofidiodd yr Arglwydd *fi* yn nydd angerdd ei ddigder.

13 O'r uchelder yr anfonodd efe dân i'm hesgyrn i, yr hwn a aeth yn drech na hwynt: efe a ledodd rwyd o flaen fy nhraed, ac a'm dychwelodd yn *fy* ol; efe a'm gwnaeth yn anrheithiedig, *ac* yn ofidus ar hyd y dydd.

14 Rhwymwyd iau fy nghamweddau â'i law ef: hwy a blethwyd, *ac* a ddaethant i fyny am fy ngwddf: efe a wnaeth i'm nerth syrthio; yr Arglwydd a'm rhoddodd mewn dwylaw, *odditan y rhai* ni allaf gyfodi.

15 Yr Arglwydd a fathrodd fy holl rai grymus o'm mewn; efe a gyhoeddodd i'm herbyn gymanfa, i ddyfetha fy ngwŷr ieuainc: *fel* gwinwrŷf y sathrodd yr Arglwydd y forwyn, merch Juda.

16 Am hyn yr ydwyf yn ŵylo; y mae fy llygad, fy llygad yn rhedeg gan ddwfr, o herwydd pellhau oddiwrthyf ddyddanwr a ddadebrai fy enaid: fy meibion sydd anrheithiedig, am i'r gelyn orchfygu.

17 Seion a ledodd ei dwylaw, heb neb yn ei dyddanu: yr Arglwydd a orchymynodd am Jacob, *fod* ei elynion yn ei gylch: Jerusalem sydd fel gwraig fisglwyfus yn eu mysg hwynt.

18 ¶ Cyfiawn yw yr Arglwydd; oblegid myfi a fûm anufydd i'w air ef: gwrandewch, atolwg, bobloedd oll, a gwelwch fy ngofid: fy morwynion a'm gwŷr ieuainc a aethant i gaethiwed.

19 Gelwais am fy nghariadau, *a* hwy a'm twyllasant; fy offeiriaid a'm henafgwyr a drengasant yn y ddinas, tra oeddynt yn ceisio iddynt fwyd i ddadebru eu henaid.

20 Gwel, O Arglwydd; canys y

---

glwydd bendigedig; ond pa faint bynag o gymhwysder a all fod ynddynt i'w defnyddio felly, y mae yn amlwg mai nid at ei ddyoddefiadau ef y cyfeirir yma.

Adn. 13. *O'r uchelder yr anfonodd efe dân i'm hesgyrn i*] Hi a deimlai ddigofaint Duw fel tân o'r nefoedd yn treiddio trwy ei holl esgyrn; *yr hwn a aeth yn drech na hwynt*—fel ag i'w llwyr ysu. *Efe a ledodd rwyd o flaen fy nhraed, ac a'm dychwelodd yn fy ol*—yr oedd barnau Duw yn ei maglu fel na allai ddianc; ac os cynygiai hi wneuthur hyny, yr oedd efe yn ei dwyn yn ol drachefn dan awdurdod ei herlidwyr. *Efe a'm gwnaeth yn anrheithiedig, ac yn ofidus ar hyd y dydd*—fel hyn y mae y proffwyd yn dysgu Jerusalem i gydnabod llaw Duw yn ei holl ddyoddefiadau, ac nad oedd y Caldeaid ddim ond gwialen ei lid ef yn ei law ei hun.

Adn. 14. *Rhwymwyd iau fy nghamweddau â'i law ef*] Sef cospedigaethau am fy nghamweddau: *hwy a blethwyd*—fel plethiad amrywiol geinciau mewn rhaff drwchus, sef y cleddyf, newyn, haint, a chaethiwed; *ac a ddaethant i fyny am fy ngwddf*—fel nas gallaf ymryddhau oddiwrthynt: *efe a wnaeth i'm nerth syrthio*—dan bwys fy ngherydd: *yr Arglwydd a'm rhoddodd mewn dwylaw, odditan y rhai ni allaf gyfodi*—sef yn nwylaw y Caldeaid; neu, fel y mae *Blayney* yn ei ddarllen, 'yr Arglwydd a'm taflodd ar fy nwylaw; ni allaf gyfodi.'

Adn. 15. *Yr Arglwydd a fathrodd fy holl rai grymus*] Sef ei thywysogion a'i rhyfelwyr cedyrn: *efe a gyhoeddodd i'm herbyn gymanfa*—nid cymanfa grefyddol fel ar y gŵyliau gynt, ond cymanfa o Galdeaid ac ereill i ddyfetha fy ngwŷr ieuainc: *fel gwinwrŷf y sathrodd yr Arglwydd y forwyn, merch Juda*—fel sathru gwinrawn yn y cafnau gwin.

Adn. 16. *Am hyn yr ydwyf yn ŵylo*] Ddydd a nos; *y mae fy llygad, fy llygad yn rhedeg gan ddwfr*—sef ei 'dau lygad,' fel y mae y *Targum* yn ei ddarllen; neu gall fod dybliad y gair yn arwyddo mawredd yr ŵylofain; *o herwydd pellhau oddiwrthyf ddyddanwr a ddadebrai fy enaid*—â'i gysuron, sef yr Arglwydd yr hwn a'i gadawsai. *Fy meibion sydd anrheithiedig, am i'r gelyn orchfygu*—yr oedd ei phlant wedi eu dwyn i gaethiwed trwy oruchafiaeth y Caldeaid.

Adn. 17. *Seion a ledodd ei dwylaw*] Fel un yn gweddio am ymwared; *heb neb yn ei dyddanu*—heb neb yn gallu ei dyddanu trwy wrando ei gweddi. *Yr Arglwydd a orchymynodd am Jacob*—am yr Iuddewon, had Jacob, *fod ei elynion yn ei gylch*—fod i'r Caldeaid eu hamgylchu a'u hanrheithio. *Jerusalem sydd fel gwraig fisglwyfus yn eu mysg hwynt*—at yr hon nis gallai neb nesâu i'w chynorthwyo, o herwydd ei haflendid: gwel ar Lef. xv. 19—27.

Adn. 18. *Cyfiawn yw yr Arglwydd*] Wrth fy nghospi fel hyn; *oblegid myfi a fûm anufydd i'w air ef*—trwy yr hyn yr haeddais ei soriant. *Gwrandewch, atolwg, bobloedd oll*—fy nghyfaddefiad o'm pechodau; *a gwelwch fy ngofid*—fy nghosp gyfiawn am danynt. *Fy morwynion a'm gwŷr ieuainc a aethant i gaethiwed*—a ddygwyd ymaith i Babilon.

Adn. 19. *Gelwais am fy nghariadau*] Am fy nghyngreirwyr, megys yr Aifftiaid ac ereill, y rhai a addawsant fy nghynorthwyo; *a hwy a'm twyllasant*—ni buont ffyddlon i'w haddewid: gwel ar adn. 2. *Fy offeiriaid a'm henafgwyr*—sef henuriaid Israel, neu eu swyddogion gwladol ac eglwysig: *a drengas-*

mae yn gyfyng arnaf: fy ymysgaroedd a gyffroisant, fy nghalon a drôdd ynof; o herwydd fy mod yn rhy anufydd: y mae y cleddyf yn dyfetha oddiallan, megys marwolaeth *sydd* gartref.

21 Clywsant fy mod i yn ucheneidio: nid *oes* a'm dyddano: fy holl elynion, *pan* glywsant fy nrygfyd, a lawenychasant am i ti wneuthur *hyny: ond* ti a ddygi i ben y dydd a gyhoeddaist, a hwy a fyddant fel finau.

22 Deued eu holl ddrygioni hwynt o'th flaen di; a gwna iddynt hwy fel y gwnaethost i minau, am fy holl gamweddau: oblegid *y mae* fy ucheneidiau yn aml, a'm calon yn ofidus.

## PENNOD II.

PA fodd y dyg yr Arglwydd gwmwl ar ferch Seion yn ei soriant, *ac* y bwriodd degwch Israel i lawr o'r nefoedd, ac na chofiodd leithig ei draed yn nydd ei ddigofaint!

2 Yr Arglwydd a lyncodd, heb arbed, holl aneddau Jacob; efe a ddifrododd yn ei ddigder amddiffynfeydd merch Juda; efe a'*u* tynodd *hwynt* i lawr, *ac* a ddifwynodd y deyrnas a'i thywysogion.

3 Mewn soriant digllon y torodd efe holl gorn Israel: efe a dynodd *ei* ddeheulaw yn *ei* hol oddiwrth y gelyn; ac yn erbyn Jacob y cyneuodd megys fflam danllyd, *yr hon* a ddifa o amgylch.

---

*ant yn y ddinas*—o eisiau bwyd i gynal natur: gwel ar adn. 11.

Adn. 20. *Gwel, O Arglwydd; canys y mae yn gyfyng arnaf*] Edrych yn drugarog ar fy nhruenus gyflwr, a defnyddia ryw foddion i'm gwaredu o hono. *Fy ymysgaroedd a gyffroisant, fy nghalon a drôdd ynof*—fel pe dywedasai, Er cymaint yw fy nhrueni oddiallan, y mae fy nhrallod oddifewn yr un mor fawr; *o herwydd fy mod yn rhy anufydd*—Saes., 'o herwydd mi a wrthryfelais yn ddirfawr.' *Y mae y cleddyf yn dyfetha oddiallan*—sef cleddyf y Caldeaid tufaes i furiau Jerusalem; *megys marwolaeth sydd gartref*—sef newyn a haint yn y ddinas. Neu, 'oddiallan, y cleddyf a ddyfetha; oddifewn, marwoldeb.'—*Coke.* Meddylir fod hyn yn ddarluniad o drueni Jerusalem yn amser ei gwarchaead.

Adn. 21. *Clywsant fy mod i yn ucheneidio*] Hyny yw, clywodd yr Aifftiaid ac ereill am ei gofidiau, y rhai a addawsent ei chynorthwyo: *nid oes a'm dyddano*—nid oes un o honynt a all fy nyddanu. *Fy holl elynion*—o'r tu arall, *pan glywsant fy nrygfyd, a lawenychasant am i ti wneuthur hyny*—am i ti droi yn fy erbyn, yr hwn yr ymffrostiwn gymaint ynot fel fy Nuw cyfammodol. *Ond ti a ddygi i ben y dydd a gyhoeddaist*—yn yr hwn yr ymweli mewn barn â hwythau hefyd; *a hwy a fyddant fel finau*—yn ucheneidio dan yr un fath drueni a cheryddon ag a ddisgynasai ar Jerusalem a'r Iuddewon: gwel ar Jer. li. 1, &c.

Adn. 22. *Deued eu holl ddrygioni hwynt o'th flaen di*] Neu, eu holl ddrygioni hwy a *ddaw* o'th flaen di, ac a gofir genyt; *a gwna iddynt hwy*—neu, ti a *wnei* iddynt hwy: canys *datganiad* yw y geiriau, yn hytrach nag *erfyniad;* gwel ar Salm v. 10; *fel y gwnaethost i minau am fy holl gamweddau*—hyny yw, ti a ymweli â hwynt â chleddyf, newyn, haint, a chaethiwed, am eu holl ddrygioni a'u heilunaddoliaeth fel yr ymwelaist â minau. Er fod barnedigaethau Duw, o herwydd ei amynedd, yn cerdded yn araf; eto y maent, o herwydd ei gyfiawnder, yn cerdded yn sicr. *Oblegid y mae fy ucheneidiau yn aml*—o herwydd mawredd fy nyoddefiadau; *a'm calon yn ofidus*—am nad wyf yn gallu gweled un gobaith am waredigaeth oddiwrthynt.

PEN. II. Adn. 1. *Pa fodd y dyg yr Arglwydd gwmwl ar ferch Seion yn ei soriant*] Gan droi goleuni ei llwyddiant yn dywyllwch adfyd? *ac y bwriodd degwch Israel*—eu gogoniant gwladol ac eglwysig, *i lawr o'r nefoedd*—o'r enwogrwydd uwchaf i'r iselder mwyaf? *ac na chofiodd leithig ei draed*—yr arch a'r drugareddfa, uwchlaw y rhai yr eisteddai efe rhwng y cerubiaid; *yn nydd ei ddigofaint*—sef yn y dydd yr anfonodd efe y Caldeaid i gospi ei bobl?

Adn. 2. *Yr Arglwydd a lyncodd, heb arbed, holl aneddau Jacob*] Eu tai, eu palasau, a'u dinas; *efe a ddifrododd yn ei ddigder amddiffynfeydd merch Juda*—sef eu tyrau, eu cestyll, a'u caerau; *efe a'u tynodd hwynt i lawr*—hyd eu sylfaeni; *ac a ddifwynodd y deyrnas a'i thywysogion*—trwy eu gosod yn ysglyfaeth i'w gelynion.

Adn. 3. *Mewn soriant digllon y torodd efe holl gorn Israel*] Eu holl nerth a'u gogoniant hwy: *efe a dynodd ei ddeheulaw yn ei hol oddiwrth y gelyn*—oddiwrth fod yn ei erbyn ef: *ac yn erbyn Jacob y cyneuodd megys fflam danllyd, yr hon a ddifa o amgylch*—o bob tu ar unwaith.

Adn. 4. *Efe a anelodd ei fwa fel gelyn*] Gan estyn allan ei ddeheulaw i ollwng ymaith ei saethau fel gwrthwynebwr; *ac a laddodd bob dim hyfryd i'r golwg*—eu gwŷr ieuainc a'u morwynion, blodau eu cenedl a hyfrydwch eu gwlad; *yn mhabell merch Seion*—hyd yn nod yn y deml, yr hon a arferai fod yn noddfa rhag y dialydd: *fel tân y tywalltodd efe ei ddigofaint*—yr hwn a ysai y cwbl o'i flaen. Ond myn rhai ei ddarllen, 'Yn mhabell merch

4 Efe a anelodd ei fwa fel gelyn;
safodd â'i ddeheulaw fel gwrthwyn-
ebwr, ac a laddodd bob dim hyfryd
i'r golwg, yn mhabell merch Seion:
fel tân y tywalltodd efe ei ddigof-
aint.
5 Yr Arglwydd sydd megys gel-
yn: efe a lyncodd Israel, efe a
lyncodd ei holl balasau hi: efe a
ddifwynodd ei hamddiffynfeydd, ac
a wnaeth gwynfan a galar yn aml
yn merch Juda.
6 Efe a anrheithiodd ei babell fel
gardd; efe a ddinystriodd leoedd ei
gymanfa; yr Arglwydd a wnaeth
annghofio yn Seion yr uchel-ŵyl a'r
sabboth, ac yn llidiogrwydd ei sor-
iant y dirmygodd efe y brenin a'r
offeiriad.
7 Yr Arglwydd a wrthododd ei
allor; a ffieiddiodd ei gysegr;
rhoddodd gaerau ei phalasau hi yn
llaw y gelyn: rhoddasant floedd yn
nhŷ yr Arglwydd, megys ar ddydd
uchel-ŵyl.
8 Yr Arglwydd a fwriadodd ddi-
fwyno mur merch Seion; efe a
estynodd linyn, ac nid attaliodd ei
law rhag dyfetha: am hyny y
gwnaeth efe i'r rhagfur ac i'r mur
alaru; cydlesgasant.
9 Ei phyrth a soddasant i'r
ddaear; efe a ddyfethodd ac a dryll-
iodd ei bàrau hi: ei brenin a'i
thywysogion *ydynt* yn mysg y cen-
hedloedd: heb gyfraith *y mae;* a'i
phroffwydi heb gael gweledigaeth
gan yr Arglwydd.
10 Henuriaid merch Seion a eist-
eddant ar lawr, a dawant â son;
gosodasant lwch ar eu penau; ym-
wregysasant â sach-lian: gwyryf-
on Jerusalem a ostyngasant eu pen-
au i lawr.
11 Fy llygaid sydd yn pallu gan
ddagrau, fy ymysgaroedd a gyffroi-

---

Seion y tywalltodd efe ei ddigofaint fel tân.'

Adn. 5. *Yr Arglwydd sydd megys gelyn*] Hyd yn nod i'w bobl ei hun: *efe a lyncodd Israel*—efe a ddinystriodd eu palasau a'u hamddiffynfeydd, gan beri i'r holl genedl gwynfan a galaru o herwydd y galanasdra cyffredinol.

Adn. 6. *Efe a anrheithiodd ei babell fel gardd*] Efe a ddinystriodd y deml cyn hawdded, neu mor ddibris, ag y tynir i lawr fwthyn y gwyliwr mewn gardd, Job xxvii. 18; *efe a ddinystriodd leoedd ei gymanfa*—sef y cynteddau neu y synagogau lle yr ymgynullai y bobl i addoli: *yr Arglwydd a wnaeth annghofio yn Seion yr uchel-ŵyl a'r sabboth*—y rhai ni chedwid mwyach; *ac yn llidiogrwydd ei soriant y dirmygodd efe y brenin a'r offeiriad*—y ddau swyddog uwchaf ac anrhydeddusaf. Neu gall fod y 'brenin a'r offeiriad' yn arwyddo yma y frenhiniaeth a'r offeiriadaeth, neu yr eglwys a'r wladwriaeth.

Adn. 7. *Yr Arglwydd a wrthododd ei allor*] Trwy oddef i'r gelyn ei thynu i lawr; *a ffieiddiodd ei gysegr*—am yr hwn y dywedasai, 'Dyma fy ngorphwysfa yn dragywydd,' Salm cxxxii. 14: *rhoddodd gaerau ei phalasau hi yn llaw y gelyn*—i'w chwilfriwio: *rhoddasant floedd yn nhŷ yr Arglwydd, megys ar ddydd uchel-ŵyl*—bloeddiai y milwyr Caldeaidd wrth halogi a dryllio y deml, cyfuwch ag y gwnai yr offeiriaid a'r bobl yno gynt wrth ganu clodydd i'r Arglwydd: gwel ar Salm lxxiv. 4

Adn. 8. *Yr Arglwydd a fwriadodd ddifwyno mur merch Seion*] Fel y caffai y gelynion le i fyned i mewn: *efe a estynodd linyn, ac nid attaliodd ei law rhag dyfetha*—yr oedd yr holl ddinystr yn cael ei ddwyn yn mlaen mor fanwl yn ol bwriad a chynghor Jehofa, a phe gwnaethid y cwbl wrth linyn mesur: gwel ar 2 Bren. xxi. 13, Esay xxxiv. 11, Amos vii. 7, 8. *Am hyny y gwnaeth efe i'r rhagfur ac i'r mur alaru*—ymadrodd barddonol, yn arwyddo fod yr holl gaerau wedi syrthio yn anadferadwy; ac am hyny dywedir eu bod fel yn galaru ac yn cydlesgâu: gwel ar pen. i. 4.

Adn. 9. *Ei phyrth a soddasant i'r ddaear, &c.*] Yr oedd pyrth Jerusalem wedi syrthio i'r llawr, a chael eu cuddio dan yr adfeilion, ac yr oedd eu bàrau a'u cloau wedi cael eu dryllio. *Ei brenin a'i thywysogion ydynt yn mysg y cenhedloedd*—yn gaethion yn Babilon. *Heb gyfraith y mae*—ni ddarllenid ac ni ddeonglid y gyfraith mwyach yn Jerusalem, ac nid oedd yno broffwydi wedi eu gadael i gael gweledigaeth gan yr Arglwydd. Bernir fod Jeremi ei hun y pryd hyn yn yr Aifft: gwel y rhagarweiniad.

Adn. 10. *Henuriaid merch Seion*] Sef barnwyr a swyddogion Jerusalem, y rhai a arferent eistedd ar orseddfeinciau barn yn y pyrth; *a eisteddant ar lawr*—mewn dystawrwydd yn y llwch: *gosodasant lwch ar eu penau*—fel galarwyr, gan ymwregysu â sachlian. *Gwyryfon Jerusalem*—y rhai ni wnaethent achos i gywilyddio, *a ostyngasant eu penau i lawr*—mewn gwarth a gofid.

Adn. 11. *Fy llygaid sydd yn pallu gan ddagrau*] Nes yr wyf yn methu gweled: *fy ymysgaroedd a gyffroisant, fy afu a dywalltwyd ar y ddaear*—fe allai mai y meddwl yw, fod ei alar yn peri poen ddirfawr yn ei ymysgaroedd, yr hyn a drôdd yn glefyd geriawl, neu ymarllwysiad helaeth o fustl o'r afu: gwel ar Job xvi. 13. Ond y LXX a'i darllenant, 'Fy *ngogoniant* a fwriwyd i lawr ar y ddaear.' *O herwydd dinystr merch fy mhobl*—pryd yr oedd y gwŷr a'r gwragedd a'r plant yn llewygu yn yr heolydd o eisiau bwyd, a'r

sant, fy afu a dywalltwyd ar y
ddaear; o herwydd dinystr merch
fy mhobl, pan lewygodd y plant a'r
rhai yn sugno yn heolydd y ddinas.
12 Hwy a ddywedant wrth eu
mamau, Pa le *y mae* ŷd a gwin?
pan lewygent fel yr archolledig yn
heolydd y ddinas, pan dywalltent
eu heneidiau yn mynwes eu mamau.
13 Pa beth a gymeraf yn dyst i
ti? beth a gyffelybaf i ti, O ferch
Jerusalem? beth a gystadlaf â thi,
fel y'th ddyddanwyf, O forwyn,
merch Seion? canys *y mae* dy ddi-
nystr yn fawr fel y môr; pwy a'th
iachâ di?
14 Dy broffwydi a welsant i ti
gelwydd a diflasrwydd; ac ni ddat-
guddiasant dy anwiredd, i droi
ymaith dy gaethiwed: eithr hwy a
welsant i ti feichiau celwyddog, ac
achosion deol.
15 Y rhai oll a dramwyent y
ffordd, a gurent *eu* dwylaw arnat ti:
chwibanent, ac ysgydwent eu pen-
au ar ferch Jerusalem, *gan ddy-
wedyd,* Ai dyma y ddinas a alwent
yn berffeithrwydd tegwch, yn lla-
wenydd yr holl ddaear!
16 Dy holl elynion a ledasant eu
safnau arnat ti; a chwibanasant, ac
a esgyrnygasant ddannedd, ac a
ddywedasant, Llyncasom *hi:* yn
ddiau dyma'r dydd a ddysgwyliasom
ni; ni a'*i* cawsom, ni a'*i* gwel-
som.
17 Yr Arglwydd a wnaeth yr hyn
a ddychymygodd; ac a gyflawnodd
ei air yr hwn a orchymynodd efe er
y dyddiau gynt: efe a ddifrododd,
ac nid arbedodd; efe a wnaeth i'r
gelyn lawenychu yn dy erbyn di;
efe a ddyrchafodd gorn dy wrth-
wynebwyr di.

---

babanod yn trengu ar y fron o eisiau llaeth, yr hwn ni allent ei gael gan eu mamau newynllyd.

Adn. 12. *Hwy a ddywedant wrth eu mamau*] Pan yn trengu yn eu mynwesau; *Pa le y mae ŷd a gwin?*—yr oedd y plant bychain, yn eu diniweidrwydd, yn methu gwybod paham na chaent angenrheidiau a chysuron bywyd megys gynt. *Pan lewygent*—hyny yw, yr oeddynt yn gofyn am fwyd a diod pan yn llewygu, neu pan yn trengu fel y rhai a archollesid ar yr heol gan gleddyf y gelynion. *Pan dywalltent eu heneidiau yn mynwes eu mamau*—hyny yw, pan yn marw wrth geisio sugno llaeth y fron.

Adn. 13. *Pa beth a gymeraf yn dyst i ti?*] Pa siampl a ddygaf o drueni mor fawr a thrueni Jerusalem; *fel y'th ddyddanwyf?*—gŵyr pawb trwy brofiad fod clywed am rywrai wedi bod yn yr un trallodau a ninau, yn dwyn rhyw esmwythâd i'r teimlad; ond yr oedd y proffwyd yn methu gwybod am neb a ddyoddefodd gymaint a merch Seion. *Canys y mae dy ddinystr yn fawr fel y môr*—yn eang, dwfn, a chwyddedig: *pwy a'th iachâ di*—trwy ddwyn yn mlaen siampl gyffelyb o ddyoddefiadau? neu, pwy ond Duw a allai ei hadfer hi i'w mawredd cyntefig yn wladol ac eglwysig?

Adn. 14. *Dy broffwydi*] Sef eu gau-broffwydi, ar y rhai y dewisent wrandaw; *a welsant i ti gelwydd a diflasrwydd*—a draethasant i ti eu dychymygion celwyddog eu hunain, gan dy dwyllo â gobeithion gau o gael aros yn dy wlad, yr hyn a drodd allan yn 'ddiflasrwydd:' *ac ni ddatguddiasant dy anwiredd, i droi ymaith dy gaethiwed*—ni'th argyhoeddasant di o'th bechodau, fel, trwy edifarhau am danynt, y rhagflaenesid dy gaethiwed: *eithr hwy a welsant i ti feichiau celwyddog*—traethasant i ti broffwydoliaethau celwyddog, sef y byddai heddwch a diogelwch i ti: *ac achosion deol*—gwenieithasant i ti yn dy bechodau, yr hyn a fu yn achos o'th ddeoliad o'th wlad, neu o'th gaethiwed. Fod proffwydoliaeth yn cael ei galw yn *faich*, gwel ar Esay xiii. 1, Jer. xxiii. 33.

Adn. 15. *Y rhai oll a dramwyent y ffordd*] Ac a welent Jerusalem yn garneddau; *a gurent eu dwylaw arnat ti*—mewn llawenydd, dirmyg, a gwawd wrth dy weled felly; *gan ddywedyd, Ai dyma'r ddinas a alwent yn berffeithrwydd tegwch?*—felly y galwai yr Iuddewon Jerusalem ar gyfrif ei phalasau aml, ei theml odidog, a'i gwasanaeth ddwyfol; *yn llawenydd yr holl ddaear*—neu yr hon y dylasai pawb lawenychu ynddi: gwel ar Salm xlviii. 2, a l. 2.

Adn. 16. *Dy holl elynion a ledasant eu safnau arnat ti*] Fel pe buasent yn barod i'th lyncu, neu mewn cabledd a sarhad; *a chwibanasant, ac a esgyrnygasant ddannedd*—mewn casineb a chynddaredd i'th erbyn; *ac a ddywedasant, Llyncasom hi*—hon ond odid oedd iaith y Caldeaid. *Yn ddiau dyma'r dydd a ddysgwyliasom ni*—yr hwn yr hiraethem am ei weled: *ni a'i cawsom, ni a'i gwelsom*—buom byw yn ddigon hir i'w weled, ac i gael ein dymuniad o berthynas i Jerusalem a'i thrigolion.

Adn. 17. *Yr Arglwydd a wnaeth yr hyn a ddychymygodd*] Yr oedd y gelynion yn yr adnod flaenorol yn priodoli dinystr Jerusalem iddynt eu hunain, 'Llyncasom hi;' ond y mae y proffwyd yma yn sicrhau mai o'r Arglwydd yr oedd hyny: *ac a gyflawnodd ei air, yr hwn a orchymynodd efe er y dyddiau gynt*—sef y gair a fygythiodd efe trwy Moses, Lef. xxvi. 16, &c., Deut. xxviii. 15, &c. *Efe a wnaeth i'r gelyn lawenychu yn dy erbyn di*—trwy dy ddifrodi yn ddiarbed: *efe a ddyrchafodd gorn dy wrthwynebwyr di*—a chwanegodd eu nerth a'u gogoniant hwy, yr hyn a barodd iddynt ymfalchio.

18 Eu calon hwynt a waeddodd
ar yr Arglwydd, O fur merch Seion,
tywallt ddagrau ddydd a nos fel
afon: na orphwys, ac na pheidied
canwyll dy lygad.
19 Cyfod, cyhoedda liw nos; yn
nechre y wyliadwriaeth tywallt dy
galon fel dwfr gerbron yr Arglwydd:
dyrchafa dy ddwylaw ato ef am ein-
ioes dy blant, y rhai sydd yn lle-
wygu o newyn yn mhen pob heol.
20 ¶ Edrych, Arglwydd, a gwel
i bwy y gwnaethost fel hyn: a fwy-
ty y gwragedd eu ffrwyth eu hun,
plant o rychwant o hyd? a leddir
yr offeiriad a'r proffwyd yn nghy-
segr yr Arglwydd?
21 Ieuanc a hen sydd yn gorwedd
ar lawr *yn* yr heolydd: fy morwyn-
ion a'm gwŷr ieuainc a syrthiasant
trwy y cleddyf: ti a'*u* lleddaist
*hwynt* yn nydd dy soriant, lleddaist
*hwy* heb arbed.
22 Gelwaist megys ar ddydd
uchel-ŵyl fy nychryn o amgylch,
fel na ddiangodd ac na adawyd neb
yn nydd soriant yr Arglwydd: y
gelyn a ddyfethodd y rhai a faeth-
ais ac a fegais i.

## PENNOD III.

MYFI *yw* y gŵr a welodd flinder
gan wialen ei ddigofaint ef.
2 *I* dywyllwch, ac nid *i* oleuni,
yr arweiniodd ac y tywysodd efe fi.

---

Adn. 18. *Eu calon hwynt a waeddodd ar yr Arglwydd*] Sef calon trigolion adfydus Jerusalem; neu, yn ol *Blayney*, calon y 'rhai a dramwyent y ffordd,' adn. 15. *O fur merch Seion, tywallt ddagrau ddydd a nos fel afon*—yn llifeiriant parhaus. Fel y dywedir fod y rhagfur a'r mur yn galaru ac yn cydlesgâu, adn. 8, o herwydd fod eu llwyr ddrylliad hwy yn achos o alar; felly gelwir yma ar y rhai ystyriol o'r Iuddewon i ŵylo mewn gweddi gerbron Duw yn achos y drylliad, fel pe buasai y mur drylliedig ei hun yn ymbil ar i Dduw dosturio wrth ei druenus gyflwr. Ond gadewir *mur merch Seion* allan o un ysgriflyfr *Hebreig;* ac y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, 'Eu calon hwynt a waeddodd ar yr Arglwydd yn achos muriau merch Seion, Tywallt ddagrau ddydd a nos fel afon,' &c. *Na orphwys*—rhag gwaeddi felly; *ac na pheidied canwyll dy lygad*—â thywallt dagrau yn barhaus.

Adn. 19. *Cyfod, cyhoedda liw nos*] Saes., '*llefa* allan liw nos,' sef mewn gweddi daer: *yn nechre y wyliadwriaeth*—gwel ar Mat. xiv. 25, *tywallt dy galon fel dwfr gerbron yr Arglwydd*—gweddia arno ef mewn dagrau gwirioneddol: *dyrchafa dy ddwylaw ato ef am einioes dy blant*—gweddia am arbediad eu heinioes hwy, y rhai oeddynt yn marw o newyn ar hyd yr heolydd, adn. 11, 12.

Adn. 20. *Edrych, Arglwydd, a gwel i bwy y gwnaethost fel hyn*] Yma arddanghosir Jerusalem yn llefaru wrth Dduw; fel pe dywedasai, Ystyria mai dy bobl gyfammodol dy hun yw y rhai a ddyoddefant fel hyn oddiwrthyt ti trwy law y Caldeaid. *A fwyty y gwragedd eu ffrwyth eu hun, plant o rychwant o hyd*—sef rhai newydd eu geni? Ni a welwn oddiwrth pen. iv. 10, fod Duw wedi goddef i'r farn ddychrynllyd hon syrthio yn llythyrenol arnynt, yr hon a fygythiesid i'w herbyn os parhäent i'w ddigio ef: gwel ar Lef. xxvi. 29, Deut. xxviii. 53—57. *A leddir yr offeiriad a'r proffwyd yn nghysegr yr Arglwydd?*—nid oedd y Caldeaid creulon yn talu dim parch i swyddau na lleoedd cysegredig; eithr ymlidient yr offeiriaid a'r proffwydi hyd gysegr Duw, a lladdent hwy yno!

Adn. 21. *Ieuanc a hen sydd yn gorwedd ar lawr yn yr heolydd, &c.*] Sef plant a hen bobl, gwŷr ieuainc a gwyryfon, wedi eu lladd trwy y cleddyf, y newyn, a'r haint. *Ti a'u lleddaist hwynt yn nydd dy soriant*—sef yn nydd dy ddigder cyfiawn wrthynt o herwydd eu pechodau. Er mai y Caldeaid oeddynt offerynau eu lladdedigaeth, eto y mae Seion yn cydnabod llaw yr Arglwydd yn hyn oll.

Adn. 22. *Gelwaist megys ar ddydd uchel-ŵyl fy nychryn o amgylch*] Sef byddin y Caldeaid, y rhai a barent ddychryn iddi; ac yr oedd y rhai hyny, o ran eu lluosogrwydd, yn gyffelyb i'r torfeydd mawrion a ymgynullent i Jerusalem i addoli ar y tair gŵyl arbenig: *fel na ddiangodd ac na adawyd neb*—heb eu lladd, eu caethiwo, neu eu darostwng. *Y gelyn a ddyfethodd y rhai a faethais ac a fegais i*—yn anwyl a thyner fel fy mhlant fy hun.

PEN. III. Adn. 1. *Myfi yw y gŵr a welodd flinder*] Ymddengys i mi fod Jeremi yn llefaru yma, hyd adn. 21, am ei ddyoddefiadau ei hun yn bersonol yn amser dinystr Jerusalem, a chyn hyny; er y tybia rhai ei fod yn personoli ei gydwladwyr yn eu trallodion chwerwon: *gan wialen ei ddigofaint ef*—gan geryddon cyfiawn Duw; neu gan Nebuchodonosor ac ereill, y rhai, fel Assur, oeddynt wialen ei lid ef, Esay x. 5.

Adn. 2. *I dywyllwch, ac nid i oleuni, yr arweiniodd ac y tywysodd efe fi*] Y mae 'tywyllwch' yn cael ei arfer yn fynych yn yr ysgrythyrau am adfyd a thrueni, fel y mae 'goleuni' am hawddfyd a chysur. Ond tybia rhai ei fod yn cyfeirio at dywyllwch y daeardy, i'r hwn y bwriwyd ef, Jer. xxxviii. 6, &c.

Adn. 3. *Yn fy erbyn i yn ddiau y trôdd efe*] Y trôdd Duw yn ei ragluniaeth; *ac y mae efe yn troi ei law ar hyd y dydd*—yn barhaus.

3 Yn fy erbyn i yn ddiau y trôdd
efe, *ac* y mae efe yn troi ei law ar
hyd y dydd.
4 Efe a wnaeth fy nghnawd a'm
croen yn hen; efe a ddrylliodd fy
esgyrn.
5 Efe a adeiladodd i'm herbyn,
ac a'*m* hamgylchodd â bustl ac â
blinder.
6 Efe a'm gosododd mewn tywyll
leoedd, fel y rhai sydd wedi marw
er ys talm.
7 Efe a gauodd o'm hamgylch,
fel nad elwyf allan: efe a wnaeth
fy llyffethair i yn drom.
8 Pan lefwyf, a *phan* floeddiwyf,
efe a gau allan fy ngweddi.
9 Efe a gauodd fy ffyrdd â cherig
nâdd; efe a ŵyrodd fy llwybrau.
10 *Yr oedd* efe i mi *fel* arth yn
cynllwyn, *neu* lew mewn llochesau.
11 Efe a ŵyrodd fy ffyrdd, ac
a'm drylliodd; yn anrheithiedig y
gwnaeth fi.
12 Efe a anelodd ei fwa, ac a'm
gosododd fel nôd i saeth.
13 Efe a wnaeth i saethau ei
gawell fyned i'm harenau.
14 Gwatwargerdd oeddwn i'm
holl bobl, *a*'u cân ar hyd y dydd.
15 Efe a'm llanwodd â chwerw-
der; *efe* a'm meddwodd i â'r wer-
mod.
16 Efe a dorodd fy nannedd â
cherig, ac a'm trybaeddodd yn y
llwch.
17 A phelleaist fy enaid oddiwrth
heddwch; annghofiais ddaioni.
18 A mi a ddywedais, Darfu am
fy nerth a'm gobaith oddiwrth yr
Arglwydd.
19 Cofia fy mlinder a'm gofid, y
wermod a'r bustl.
20 Fy enaid gan gofio a gofia, ac
a ddarostyngwyd ynof fi.
21 Hyn yr ydwyf yn ei adgofio;
am hyny y gobeithiaf.
22 ¶ Trugareddau yr Arglwydd

---

Adn. 4. *Efe a wnaeth fy nghnawd a'm croen yn hen*] I edrych yn hen a chrebachlyd gan fy nhrallodau mawrion; *efe a ddrylliodd fy esgyrn*—y mae fy mhoenau gymaint a phe buasai fy esgyrn wedi eu dryllio.

Adn. 5. *Efe a adeiladodd i'm herbyn*] Efe a osododd rwystrau a gofidiau fel clawdd o'm deutu, fel nas gallaf ddianc rhagddynt; *ac a'm hamgylchodd â bustl ac â blinder*—â blinder meddwl ag sydd mor chwerw a bustl i'r genau.

Adn. 6. *Efe a'm gosododd mewn tywyll leoedd*] Meddylir ei fod yn cyfeirio yma at garchardy Jonathan a daeardy Malchiah; *fel y rhai sydd wedi marw er ys talm*—a'u cuddio yn y bedd o olwg y rhai byw.

Adn. 7. *Efe a gauodd o'm hamgylch, fel nad elwyf allan*] Fel nad allwn ddianc o'm carchar: *efe a wnaeth fy llyffethair i yn drom*—gellir casglu oddiyma fod Jeremi mewn cadwynau pryd yr oedd efe yn y daeardy: gwel hefyd Jer. xl. 4.

Adn. 8. *Pan lefwyf, a phan floeddiwyf*] Mewn gweddi daer am waredigaeth; *efe a gau allan fy ngweddi*—heb fy ngwrando yn ol fy nghais.

Adn. 9. *Efe a gauodd fy ffyrdd â cherig nâdd*] Fel â mur o gerig llyfnion, trwy yr hwn nis gallaf gloddio, a thros yr hwn nis gallaf ddringo: *efe a ŵyrodd fy llwybrau*—nes yr wyf fel un mewn dyrys drofa *(maze)*, heb wybod pa fodd i ddyfod allan.

Adn. 10. *Yr oedd efe i mi fel arth yn cynllwyn, &c.*] Fel arth neu lew yn chwilio am gyfleusdra i'm dyfetha.

Adn. 11. *Efe a ŵyrodd fy ffyrdd*] Neu 'a rwystrodd fy ffyrdd;' *ac a'm drylliodd*—fel arth neu lew wedi dal ei ysglyfaeth: *yn anrheithiedig y gwnaeth fi*—efe a'm hyspeiliodd o'm holl gysuron.

Adn. 12. *Efe a anelodd ei fwa*] Tuag ataf, *ac a'm gosododd fel nôd i saeth*—yr hon ni fetha daro ei gwrthddrych.

Adn. 13. *Efe a wnaeth i saethau ei gawell fyned i'm harenau*] Sef i'w ranau bywydol.

Adn. 14. *Gwatwargerdd oeddwn i'm holl bobl*] Y rhai a ddylasent dosturio wrthyf; *a'u cân ar hyd y dydd*—neu destyn eu gwawd a'u digrifwch.

Adn. 15. *Efe a'm llanwodd â chwerwder*] A theimlad chwerw o'm trallodau; *efe a'm meddwodd i â'r wermod*—sef â gofid chwerw, fel nas gwyddwn pa beth yr oedd yr oeddwn yn ei wneyd na'i ddywedyd.

Adn. 16. *Efe a dorodd fy nannedd â cherig*] Neu 'â graian,' yr hwn a gymysgesid â'r bara a fwytäai efe yn y daeardy ond odid; *ac a'm trybaeddodd yn y llwch*—Saes., 'a'm gorchuddiodd â lludw,' fel un yn galaru yn ddwys.

Adn. 17. *A phelleaist fy enaid oddiwrth heddwch*] Fel nas gallwn gael gafael ynddo; *annghofiais ddaioni*—trwy hir brofiad o orthrymder.

Adn. 18. *A mi a ddywedais*] Mewn llwyr anobaith; *Darfu am fy nerth a'm gobaith oddiwrth yr Arglwydd*—yr hwn a'm hannghofiodd yn dragywydd.

Adn. 19. *Cofia fy mlinder a'm gofid*] Y rhai sydd fel wermod a bustl. Tybia rhai mai wrth Dduw y dywed y proffwyd hyn; ond y mae yn debycach mai wrth ei enaid ei hun y llefara. *Blayney* a'i cyfieitha, 'Coffadwriaeth fy nghystudd a'm darostyngiad sydd wermod a bustl.'

Adn. 20. *Fy enaid gan gofio a gofia*] Fy mlinder a'm gofid hwn; *ac a ddarostyng-*

*yw* na ddarfu am danom ni: o her-
wydd ni phalla ei dosturiaethau ef.
23 Bob bore *y deuant* o newydd:
mawr *yw* dy ffyddlondeb.
24 Yr Arglwydd *yw* fy rhan i,
medd fy enaid; am hyny y gobeith-
iaf ynddo.
25 Daionus *yw* yr Arglwydd i'r
rhai a ddysgwyliant wrtho, *ac* i'r
enaid a'i ceisio.
26 Da *yw* gobeithio a dysgwyl yn
ddystaw am iachawdwriaeth yr Ar-
glwydd.
27 Da *yw* i ŵr ddwyn *yr* iau yn
ei ieuenctid.
28 *Efe* a eistedd ei hunan, ac a
daw â son; am iddo *ei* dwyn *hi*
arno.
29 Efe a ddyry ei enau yn y llwch,
*i edrych* a oes obaith.
30 Efe a ddyry ei gern i'r hwn
a'i tarawo: efe a lenwir â gwarad-
wydd.
31 Oblegid nid yn dragywydd y
gwrthyd yr Arglwydd:
32 Ond er iddo gystuddio, eto
efe a dosturia, yn ol amlder ei dru-
gareddau.
33 Canys nid o'i fodd y blina efe,
nac y cystuddia blant dynion.

---

*wyd ynof fi*—gan adgofiad parhaus o hono.

Adn. 21. *Hyn yr ydwyf yn ei adgofio*] Yn barhaus, sef ei ofid a'i flinder, am yr hyn y soniwyd uchod, yn ol rhai. Ond fe allai mai cyfeirio y mae efe at yr hyn a ganlyn: fel pe dywedasai, Yr wyf yn gweled nad oedd genyf sail i ddywedyd fod fy nerth a'm gobaith wedi darfod oddiwrth yr Arglwydd, adn. 18; canys ni phalla ei drugareddau a'i dosturiaethau ef, adn. 22: *am hyny y gobeithiaf*—ynddo ef yn barhaus.

Adn. 22. *Trugareddau yr Arglwydd yw na ddarfu am danom ni*] Y mae trugareddau yr Arglwydd tuag atom i'w gweled yn ei waith yn arbed ein bywyd o ddydd i ddydd; *o herwydd ni phalla ei dosturiaethau ef*—neu nid oes diwedd arnynt. Gallasai Jeremi gael ei dori i lawr fel pechadur, a'i fwrw i'r pydew diwaelod; a gallasai ei genedl gael eu llwyr ddyfetha, heb adael un yn weddill: ond o drugaredd yr Arglwydd arbedwyd ef, ac ni lwyr ddyfethwyd hwythau.

Adn. 23. *Bob bore y deuant o newydd*] I'n dihuno o'n cwsg adfywiol, ac i estyn i ni iechyd, synwyrau, a bendithion gwerthfawr ereill: *mawr yw dy ffyddlondeb*—yn rhoddi i ni y trugareddau hyn bob dydd; neu y mae dy ffyddlondeb yn eu hestyn hwynt i ni, yn gymaint a'th ddaioni yn eu haddaw.

Adn. 24. *Yr Arglwydd yw fy rhan i*] Yr hyn sydd yn fwy na digon i wrthbwyso fy holl drallodau, a gwneyd i fyny fy holl golledion; *medd fy enaid*—hyny yw, y mae genyf dystiolaeth fewnol o'm hawl ynddo: *am hyny y gobeithiaf ynddo*—yn ngwyneb pob trallod, cystudd, a gelyn.

Adn. 25. *Daionus yw yr Arglwydd i'r rhai a ddysgwyliant wrtho*] Y mae yn amlwg fod y proffwyd yn dywedyd hyn i'r dyben i annog ei gydwladwyr profedigaethus i ddylyn ei siampl ef, a cheisio cysur yn Nuw, pan yr oeddynt wedi colli eu holl gysuron tymhorol; *ac i'r enaid a'i ceisio*—mewn gweddi daer a chywir.

Adn. 26. *Da yw gobeithio a dysgwyl yn ddystaw*] Yn amyneddgar, difrifol, a dirwgnach; *am iachawdwriaeth yr Arglwydd*—yn dymhorol ac ysbrydol.

Adn. 27. *Da yw i ŵr ddwyn yr iau yn ei ieuenctid*] Sef iau *cystudd*, at yr hon y cyfeirir yn neillduol yma; canys bydd i hyny ei wneuthur ef yn fwy gostyngedig, amyneddgar, a hawdd ei drin. Ond gellir cymhwyso y geiriau hefyd at iau *gorchymynion Duw*, neu iau *crefydd;* a bydd i hyny ein cynefino yn well at ein dyledswyddau, a pheri i'r cyflawniad o honynt fod yn fwy esmwyth a naturiol i ni, ac yn fwy cymeradwy gan Dduw. Anfynych y gwelwyd neb yn ddefnyddiol iawn mewn gwlad nac eglwys, heb iddo ddechreu yn ieuanc.

Adn. 28. *Efe a eistedd ei hunan, ac a daw â son*] Ar ol ymgynefino yn fore â chystudd, bydd i'r dyoddefydd gael ei dueddu i garu ymneillduaeth oddiwrth y byd a'i bethau, heb redeg o'r naill dŷ i'r llall i adrodd ei gŵyn wrth bawb: *am iddo ei dwyn hi arno*—yn ei ieuenctid; neu am ei fod yn gweled mai oddiwrth yr Arglwydd y daethai ei iau neu ei gystudd arno.

Adn. 29. *Efe a ddyry ei enau yn y llwch*] Yn arwydd o ofid, cywilydd, a hunan-ffieiddiad; neu, ni feiddia efe agor ei enau mewn grwgnachrwydd yn erbyn Duw a'i ragluniaeth; *i edrych a oes obaith*—am waredigaeth, neu mewn dysgwyliad amyneddgar am dani.

Adn. 30. *Efe a ddyry ei gern i'r hwn a'i tarawo*] Gan ymostwng yn amyneddgar dan bob sarhad, yn hytrach na thalu drwg am ddrwg: *efe a lenwir â gwaradwydd*—yr hwn a ddyoddefa efe yn ddirwgnach.

Adn. 31. *Oblegid nid yn dragywydd y gwrthyd yr Arglwydd*] Un enaid edifeiriol a ymddiriedo ynddo; na chwaith 'ei bobl, yr hwn a adnabu efe o'r blaen,' Rhuf. xi. 2. Er y gall efe ymddyeithrio oddiwrthynt dros ychydig, a gadael iddynt gael eu cernodio a'u llenwi â gwaradwydd, eto efe a ddychwel atynt drachefn, ac a'u gwared hwynt.

Adn. 32. *Ond er iddo gystuddio*] Ei blant am dro, fel y byddont 'gyfranogion o'i santeiddrwydd ef,' Heb. xii. 10; *eto efe a dosturia yn ol amlder ei drugareddau*—ac a'u gwared hwy, neu a bair i'w cystudd hwynt weithio er eu lles: gwel ar Rhuf. viii. 28, Heb. xii. 6—10.

Adn. 33. *Canys nid o'i fodd y blina efe, nac y cystuddia blant dynion*] Nid oddiar hyfrydwch yn ein dyoddefiadau, llai o lawer

34 I fathru holl garcharorion y ddaear dan ei draed,

35 I ŵyro barn gŵr o flaen wyneb y Goruchaf.

36 Nid yw yr Arglwydd yn gweled *yn dda* wneuthur cam â gŵr yn ei fater.

37 ¶ Pwy a ddywed y bydd dim, heb i'r Arglwydd *ei* orchymyn?

38 Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da?

39 Paham y grwgnach dyn byw, gŵr am gospedigaeth ei bechod?

40 Ceisiwn a chwiliwn ein ffyrdd, a dychwelwn at yr Arglwydd.

41 Dyrchafwn ein calonau a'*n* dwylaw at Dduw yn y nefoedd.

42 Nyni a wnaethom gamwedd, ac a fuom anufydd; tithau nid arbedaist.

43 Gorchuddiaist *ni* â soriant, ac erlidiaist ni: lleddaist, nid arbedaist.

44 Ti a'th guddiaist dy hun â chwmwl, fel na ddeuai *ein* gweddi trwyodd.

---

oddiar fympwy, nwyd, neu ddigofaint diachos. Pan y mae Duw yn ein cystuddio, gallwn fod yn sicr ei fod ef yn gwneuthur hyny fel ein Tad doeth, daionus, a chyfiawn; a'i fod yn defnyddio y wialen i ateb dybenion doeth a da, sef i'n puro a'n hachub.

Adn. 34—36. *I fathru holl garcharorion y ddaear dan ei draed*] Cyfeirir yn yr adnodau hyn at weithredoedd o greulondeb ac anghyfiawnder arferedig yn fynych yn mhlith dynion ar y ddaear, y rhai nid yw yr Arglwydd yn eu cefnogi a'u cymeradwyo trwy ymddwyn yn gyffelyb iddynt. Nis gall ef gael dim hyfrydwch mewn mathru y rhai sydd eisioes yn garcharorion dyoddefus. *I ŵyro barn gŵr o flaen wyneb y Goruchaf*—sef yn ngwydd y Goruchaf, yr hwn y cymerir yn ganiataol ei fod yn bresenol bob amser mewn llysoedd barn. Ond tybia rhai mai yr ynad gwladol a feddylir yma wrth y 'goruchaf,' o flaen wyneb yr hwn y gŵyrwyd barn lawer gwaith. Eithr nid yw yr Arglwydd yn cymeradwyo hyny, nac yn ymddwyn un amser yn debyg i hyny. *Gwneuthur cam â gŵr yn ei fater*—trwy ommedd cyfiawnder iddo yn y llys gwladol, neu roddi dedfryd yn ei erbyn pan y dylai fod o'i blaid. Os yw dynion yn gwneuthur felly, nid yw Duw; ac am hyny dywedir, *Nid yw yr Arglwydd yn gweled yn dda*—Saes., 'yn *cymeradwyo*,' y gwneuthuriad o bethau felly. Y mae y geiriau hyn yn sefyll yn ddiweddaf yn yr Hebraeg a'r Saesonaeg, ac yn cyfeirio at yr hyn a ddywedir yn y tair adnod dan sylw; a gellir eu darllen fel hyn: 'Nid yw yr Arglwydd yn gweled yn dda fathru holl garcharorion y ddaear dan ei draed, gŵyro barn gŵr o flaen wyneb y Goruchaf, *na* gwneuthur cam â gŵr yn ei fater.'

Adn. 37. *Pwy a ddywed y bydd dim*] Neu a bair i unrhyw beth fod, *heb i'r Arglwydd ei orchymyn*—neu ei oddef? Neu ynte, pwy a fwriada beth, ac a'i dyg i ben, os bydd yr Arglwydd yn ei erbyn?

Adn. 38. *Oni ddaw o enau y Goruchaf ddrwg a da?*] Hyny yw, onid yw adfyd, yn gystal a hawddfyd, yn dygwydd yn ol ewyllys Duw? Nid oes dim yn cymeryd lle yn y byd ond yn ol trefniad neu oddefiad dwyfol ragluniaeth, yr hon a weithreda bob amser yn ol cyfarwyddyd anfeidrol ddoethineb, cyfiawnder, a daioni. Nid ydym i feddwl oddi-yma fod Duw yn awdwr drwg moesol, neu yn achos o bechod. Amcan y proffwyd yn yr adnodau hyn yw cymhell yr Iuddewon i ymostwng i ewyllys Duw dan eu cystuddiau presenol, wrth ystyried fod llaw yr Arglwydd ynddynt oll.

Adn. 39. *Paham y grwgnach dyn byw*] Yr hwn sydd eto yn *fyw*, ac felly yn cael amser i edifarhau, er iddo filwaith haeddu *marw?* 'canys i'r rhai sydd yn nghymdeithas y rhai *byw* oll, y mae *gobaith*,' Preg. ix. 4. *Gŵr am gospedigaeth ei bechod?*—hyny yw, paham y grwgnach gŵr *byw* am gospedigaeth ei bechod, pan y mae y gosp hòno yn llawer *llai* na'i haeddiant, a phan y mae wedi ei bwriadu er *llesâd* iddo? Os rhaid i rywun rwgnach, na rwgnached *dyn*, ac yn enwedig dyn *byw*, ac am yr hyn a fwriadwyd er *lles* iddo.

Adn. 40. *Ceisiwn a chwiliwn ein ffyrdd*] Saes., '*chwiliwn* a *phrofwn* ein ffyrdd,' fel y gallom weled mor ŵyrgam ydynt, ac ymostwng o'u herwydd gerbron Duw, yr hyn sydd yn llawer mwy priodol i ni na grwgnach: *a dychwelwn at yr Arglwydd*—mewn edifeirwch gwirioneddol, gan lwyr ymroddi i'w wasanaeth ef.

Adn. 41. *Dyrchafwn ein calonau a'n dwylaw*] Nid yn unig ein dwylaw mewn agwedd gweddi, ond hefyd ein calon mewn gwir ysbryd gweddi, heb yr hyn ni fydd ein gweddi yn gymeradwy; *at Dduw yn y nefoedd*—yr hwn sydd yn y nefoedd, a'r hwn yn unig a all ateb ein gweddi.

Adn. 42. *Nyni a wnaethom gamwedd, ac a fuom anufydd*] Saes., 'a fuom wrthryfelgar; *tithau nid arbedaist*—ni rhag ein cospi: neu, fel y mae yn y Saesonaeg, 'tithau ni faddeuaist.' Yn adn. 41, y mae y proffwyd yn annog ei frodyr i weddio; ac yma y mae efe yn rhoddi geiriau yn eu genau i'w defnyddio ar yr achos mewn ffordd o gyffesiad, adn. 42—47.

Adn. 43. *Gorchuddiaist ni â soriant, ac erlidiaist ni*] Trwy offerynoliaeth y Caldeaid; *lleddaist, nid arbedaist*—nac ieuanc na hen, gwryw na benyw, pen. ii. 21.

Adn. 44. *Ti a'th guddiaist dy hun â chwmwl*] Neu megys â chwmwl tew a du; *fel na ddeuai ein gweddi trwyodd*—ymadrodd cyffelybiaethol, yn arwyddo na ddarfu i Dduw wrando arnynt yn eu cyfyngder

45 Ti a'n gwnaethost yn sorod ac
yn ysgubion yn nghanol y bobl.
46 Ein holl elynion a ledasant eu
safnau yn ein herbyn.
47 Dychryn a magl a ddaeth ar-
nom, anrhaith a dinystr.
48 Fy llygad a ddyferodd ffrydiau
o ddwfr, o herwydd dinystr merch
fy mhobl.
49 Fy llygad a ddyferodd, ac ni
pheidiodd, am nad oes gorphwys-
dra:
50 Hyd oni edrycho, ac *oni* ystyr-
io yr Arglwydd o'r nefoedd.
51 Y mae fy llygad yn blino fy
enaid, o herwydd holl ferched fy
ninas.
52 Fy ngelynion gan hela a'm
heliasant yn ddiachos, fel aderyn.
53 Torasant ymaith fy einioes yn
y pwll, a bwriasant gerig arnaf.
54 Y dyfroedd a lifasant dros fy
mhen; dywedais, Torwyd fi ymaith.
55 ¶ Gelwais ar dy enw di, O Ar-
glwydd, o'r pwll isaf.
56 Ti a glywaist fy llef: na chudd
dy glust rhag fy uchenaid a'm
gwaedd.
57 Ti a ddaethost yn nes y dydd
y gelwais arnat: dywedaist, Nac
ofna.
58 Ti, O Arglwydd, a ddadleu-
aist gyda'm henaid: gwaredaist fy
einioes.
59 Ti, O Arglwydd, a welaist fy
ngham: barn di fy marn i.
60 Ti a welaist eu holl ddial
hwynt, *a*'u holl amcanion i'm her-
byn i.
61 Clywaist eu gwaradwydd, O
Arglwydd, *a*'u holl fwriadau i'm
herbyn;

---

Adn. 45. *Ti a'n gwnaethost yn sorod ac yn ysgubion yn nghanol y bobl*] Sef yn ffiaidd a dirmygus yn ngolwg yr holl genhedloedd.

Adn. 46. *Ein holl elynion a ledasant eu safnau yn ein herbyn*] I'n gwawdio, a'n cablu, a'n dirmygu.

Adn. 47. *Dychryn a magl a ddaeth arnom*] Sef pob math o drueni a dinystr, fel adar yn cael eu rhwydo gan yr helwyr, Esay xxiv. 17.

Adn. 48. *Fy llygad a ddyferodd ffrydiau o ddwfr, &c.*] Yma y mae y proffwyd yn darlunio ei deimladau gofidus ei hun o achos dinystr ei gydwladwyr.

Adn. 49. *Fy llygad a ddyferodd, ac ni pheidiodd*] Gwel ar pen. i. 16, a ii. 11; *am nad oes gorphwysdra*—i mi oddiwrth fy nagrau, hyd oni thrugarhao yr Arglwydd wrthym.

Adn. 50. *Hyd oni edrycho, ac oni ystyrio yr Arglwydd o'r nefoedd*] Hyd oni edrychai yr Arglwydd yn ffafriol ar ei bobl, fel ag i'w gwaredu o'u trallodau.

Adn. 51. *Y mae fy llygad yn blino fy enaid*] Y mae yr olwg ofidus ar drueni fy mhobl yn treulio fy iechyd a'm nerth; *o herwydd holl ferched fy ninas*—o herwydd cyflwr adfydus y pentrefi o amgylch Jerusalem, yn nghyda'u trigolion.

Adn. 52. *Fy ngelynion gan hela a'm heliasant yn ddiachos*] Heb i mi wneuthur dim i haeddu hyny; *fel aderyn*—yn cael ei hela gan yr adarwyr. Efe a gyfeiria yma at ei gyflwr ei hun pan y rhoddwyd ef yn y daeardy.

Adn. 53. *Torasant ymaith fy einioes yn y pwll*] Eu hamcan hwy wrth ei fwrw i'r daeardy, oedd gadael iddo drengu yno, Jer. xxxviii. 6; *a bwriasant gerig arnaf*—i gau i fyny enau y daeardy, fel pe buasent yn fy nghladdu yn fyw.

Adn. 54. *Y dyfroedd*] Sef trallodau a chystuddiau mawrion, *a lifasant dros fy mhen*—cymhariaeth wedi ei chymeryd oddiwrth gyflwr dyn ar foddi, i osod allan y perygl a'r cyfyngder mwyaf: *dywedais*—yn fy meddwl, *Torwyd fi ymaith*—hyny yw, yr wyf yn sicr o drengu.

Adn. 55. *Gelwais ar dy enw di, O Arglwydd*] Neu 'arnat ti,' fel yr unig un a allai fy ngwaredu; *o'r pwll isaf*—o waelod y daeardy, fel y gwnaethai Jonah o fol y pysgodyn.

Adn. 56. *Ti a glywaist fy llef*] Y pryd hyny: *na chudd dy glust rhag fy uchenaid a'm gwaedd*—ar unrhyw bryd arall. Neu, 'ti a glywaist fy llef, sylwedd yr hon oedd, Na chudd dy glust rhag fy uchenaid a'm gwaedd.'

Adn. 57. *Ti a ddaethost yn nes y dydd y gelwais arnat*] Hyny yw, neseaist ataf mewn trugaredd yn y fan: *dywedaist, Nac ofna*—ti a dawelaist ar unwaith fy holl ofnau a'm hocheneidiau.

Adn. 58. *Ti, O Arglwydd, a ddadleuaist gyda'm henaid*] Sef o blaid ei enaid, neu ei fywyd: *gwaredaist fy einioes*—o safn marwolaeth, trwy roddi yn nghalon Ebedmelech i eiriol ar fy rhan: gwel Jer. xxxviii. 7, &c.

Adn. 59. *Ti, O Arglwydd, a welaist fy ngham*] Y pryd hyny; *barn di fy marn i*—neu dadleua o blaid fy achos eto yn fy nghyfyngder presenol.

Adn. 60. *Ti a welaist eu holl ddial hwynt*] Sef llid fy ngelynion presenol; *a'u holl amcanion i'm herbyn i*—er mor guddiedig oeddynt.

Adn. 61. *Clywaist eu gwaradwydd, O Arglwydd*] Sef eu henllibiau celwyddog: *a'u holl fwriadau i'm herbyn*—i'm herlid a'm lladd.

Adn. 62. *Gwefusau y rhai a gyfodant i'm herbyn*] Hyny yw, clywaist ymadroddion eu gwefusau, neu eu geiriau caledion a dirmygus

62 Gwefusau y rhai a godant i'm
herbyn, a'u myfyrdod i'm herbyn
ar hyd y dydd.
63 Edrych ar eu heisteddiad a'u
cyfodiad; myfi *yw* eu cân hwynt.
64 ¶ Tâl y pwyth iddynt, O Ar-
glwydd; yn ol gweithred eu dwy-
law.
65 Dod iddynt ofid calon, dy fell-
dith iddynt.
66 Erlid hwynt â digofaint, a dy-
fetha hwy odditan nefoedd yr Ar-
glwydd.

## PENNOD IV.

PA fodd y tywyllodd yr aur! y
newidiodd yr aur coeth da!
taflwyd cerig y cysegr yn mhen
pob heol.
2 Gwerthfawr feibion Seion, a
chystal ag aur pur, pa fodd y cyfrif-
wyd hwynt fel ystenau pridd, gwaith
dwylaw y crochenydd!
3 Y dreigiau a dynant allan eu
bronau, a roddant sugn i'w cenaw-
on: merch fy mhobl *a aeth* yn
greulon, fel yr estrysiaid yn yr
anialwch.
4 Tafod y plentyn sugno sydd yn
glynu wrth daflod ei enau gan
syched: y plant a ofynant fara, *ond*
nid *oedd* a dorai iddynt.
5 Y rhai a ymborthent yn foethus,
a ddyfethwyd yn yr heolydd: y rhai
a feithrinwyd mewn ysgarlad, a
gofleidiant y tomenydd.
6 Canys mwy yw anwiredd merch
fy mhobl na phechod Sodom, yr hon

---

*a'u myfyrdod i'm herbyn ar hyd y dydd*—sef eu bwriadau gwaedlyd, y rhai a ddychymygant i'm herbyn yn eu calonau yn barhaus.

Adn. 63. *Edrych ar eu heisteddiad*] I lunio fy ninystr, *a'u cyfodiad*—i'w gyflawni: *myfi yw eu cân hwynt*—neu destyn eu gwawd a'u digrifwch.

Adn. 64. *Tâl y pwyth iddynt*] Neu, 'ti a'i *teli*;' *yn ol gweithred eu dwylaw*—mewn modd cyfiawn a llawn. Y mae y berfau yn yr adnod hon a'r ddwy ganlynol yn y ffurf ddyfodol, ac yn cynwys *rhagfynegiadau* proffwydol, ac nid *gweddi* am eu cosp; ac felly y darllenir hwynt mewn rhai o'r cyfieithiadau hen a diweddar, a chan y rhan fwyaf o'r esbonwyr: gwel ar Salm v. 10.

Adn. 65. *Dod iddynt ofid calon*] 'Ti a *roddi* iddynt ofid calon;' *dy felldith iddynt*—deuai melldith arnynt trwy gyfiawn farn Duw, yr hyn a'u darostyngai hwynt i'r gofid mwyaf.

Adn. 66. *Erlid hwynt â digofaint, a dyfetha hwy*] 'Ti a'u *herlidi* ac a'u *dyfethi* hwynt;' *odditan nefoedd yr Arglwydd*—neu, fel y mae y LXX, y *Vulgate*, a'r *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'odditan y nefoedd, O Arglwydd.'

PEN. IV. Adn. 1. *Pa fodd y tywyllodd yr aur*] Yn ei liw a'i ddysgleirdeb! *y newidiodd yr aur coeth da*—yn ei ansawdd a'i werth! Ymddengys mai ymadroddion diarebol yw y rhai hyn, i osod allan ddirywiad neu waethygiad unrhyw beth gwerthfawr. Tybia rhai fod Jeremi yn cyfeirio yma at yr aur â pha un y gwisgwyd y cysegr santeiddiolaf, 2 Cron. iii. 8, yr hwn oedd yn awr wedi tywyllu a gwaethygu gan effeithiau y tân a'r mwg; tra y tybia ereill ei fod yn cyfeirio at amgylchiadau y genedl Iuddewig yn gyffredinol, yn enwedig cyflwr Jerusalem a'r deml, yr offeiriaid a'r tywysogion, adn. 2. *Taflwyd cerig y cysegr*—Hebr., *abney kodesh*, y 'cerig santaidd,' *yn mhen pob heol*—sef yr Iuddewon duwiol, meddai *Clarke*, 'y rhai oeddynt y meini bywiol o'r rhai yr adeiladodd Duw ei eglwys:' yr oedd y rhai hyn yn awr wedi eu gwasgaru ar led. Neu gall mai y meddwl yw, fod meini gwerthfawr y deml wedi cael eu taflu yn mysg y malurion cyffredin, a'u cymysgu âg adfeilion adeiladau ereill.

Adn. 2. *Gwerthfawr feibion Seion*] Sef y gwir dduwiolion yno, neu ynte y swyddogion gwladol ac eglwysig; *a chystal ag aur pur*—o ran eu defnyddioldeb a'u gwerth unwaith: *pa fodd y cyfrifwyd hwynt fel ystenau pridd, gwaith dwylaw y crochenydd!*—pa fodd yr aethant fel llestri pridd cyffredin, yn ddiwerth ac anmharchus! Neu, pa fodd y dirywiasant trwy eu pechodau, ac yr aethant yn ddirmygedig yn ngolwg pawb!

Adn. 3. *Y dreigiau a dynant allan eu bronau*] I roddi sugn i'w cenawon. Y mae y gair *tannin*, a gyfieithir yma 'dreigiau,' yn arwyddo unrhyw greadur *mawr* a *chreulon*, pa un bynag ai ar y tir neu yn y môr. *Merch fy mhobl a aeth yn greulon*—tuag at ei phlant, *fel yr estrysiaid yn yr anialwch*—y rhai sydd yn ddiarebol am eu diofalwch am eu hwyau, a'u hesgeulusdod o'u cywion: gwel ar Job xxxix. 13—18. Y meddwl yw, tra nad yw y creaduriaid mwyaf creulon mor ddideimlad ac annaturiol fel ag i beidio gofalu am eu rhai bach, fod merched Jerusalem wedi eu darostwng dan yr angenrheidrwydd truenus o esgeuluso eu plant, fel y gwna yr estrys ei chywion.

Adn. 4. *Tafod y plentyn sugno sydd yn glynu wrth daflod ei enau gan syched, &c.*] Y fath oedd y prinder ymborth, fel nad oedd y mamau yn cael digon o faeth i gynyrchu llaeth i'w babanod: a phan lefai y plant hynach am fara, ni feddai y rhieni ddim i'w roddi iddynt.

Adn. 5. *Y rhai a ymborthent yn foethus*] Yn yr amser gynt; *a ddyfethwyd yn yr heolydd*—a drengent wrth grwydro am fwyd o'r naill heol i'r llall, a methu cael dim. *Y rhai a feithrinwyd mewn ysgarlad*—megys

a ddinystriwyd megys yn ddisym-
wth, ni safodd llaw arni.
7 Purach oedd ei Nazareaid hi
na'r eira, gwỳnach oeddynt na'r
llaeth, gwridocach oeddynt o gorff
na'r cwrel, *a'u* trwsiad *oedd* o
saphir.
8 Duach yw yr olwg arnynt na'r
glöyn; nid adwaenir hwynt yn yr
heolydd; eu croen a lŷn wrth eu
hesgyrn; gwywodd, aeth yn debyg
i bren.
9 Gwell yw y rhai a laddwyd â
chleddyf, na'r rhai a laddwyd â
newyn; oblegid y rhai hyn a ddi-
hoenant, wedi eu trywanu o *eisiau*
cnwd y maes.
10 Dwylaw gwragedd tosturiol a
ferwasant eu plant eu hun: eu
hymborth oeddynt yn ninystr merch
fy mhobl.
11 Yr Arglwydd a gyflawnodd ei
ddigder, a dywalltodd lidiogrwydd
ei soriant, ac a gyneuodd dân yn
Seion, yr hwn a ddifaodd ei seiliau
hi.
12 Ni choeliasai brenhinoedd y
ddaear, na holl drigolion y byd, y
deuai y gwrthwynebwr a'r gelyn i
mewn i byrth Jerusalem.
13 ¶ Am bechodau ei phroffwydi,
*ac* anwiredd ei hoffeiriaid, y rhai a
ollyngasant waed y rhai cyfiawn o'i
mewn hi;

---

plant y pendefigion a'r mawrion; *a gofleidiant y tomenydd*—a chwiliant am rywbeth yno i dori eu newyn, fel y gwna cwn ac adar.

Adn. 6. *Canys mwy yw anwiredd merch fy mhobl na phechod Sodom*] Gan fod manteision a breintiau pobl Jerusalem yn fwy nag eiddo pobl Sodom, rhaid fod eu heuogrwydd yn fwy. Y mae y wreiddiol yn arwyddo y gosp am anwiredd, yn gystal a'r anwiredd ei hun; a'r Saesonaeg yw, 'Canys mwy yw *cosp* anwiredd merch fy mhobl, na *chosp* pechod Sodom.' *Yr hon a ddinystriwyd megys yn ddisymwth*—yr oedd trueni Sodom yn llai na thrueni Jerusalem ar ryw gyfrif. Dinystriwyd Sodom mewn moment; eithr bu Jerusalem yn dyoddef hir warchaead, a holl drueni newyn, haint, a chleddyf. Yn Sodom dyfethwyd pawb ar unwaith, heb adael neb i alaru mewn chwerwder enaid ar ol eu cyfeillion eu; eithr yn Jerusalem gadawyd llawer yn fyw i alaru o herwydd dinystr eu cyfeillion a thrueni eu gwlad, ac i ddyoddef gwarth a chaledi caethiwed blin eu hunain. *Ni safodd llaw arni*—fe allai mai y meddwl yw, i Sodom gael ei dinystrio mewn moment heb unrhyw lafur dynol, sef trwy dân Duw o'r nefoedd, Gen. xix. 24.

Adn. 7. *Purach oedd ei Nazareaid hi na'r eira*] Dywed *Clarke* nad yw *nazir* bob amser yn arwyddo un wedi ei *neillduo* dan adduned grefyddol: canys y mae weithiau yn dynodi yr hyn sydd *enwog* neu *benaf*: ac felly y cymhwysir y gair at *Joseph*, Gen. xlix. 26. *Blayney* a'i cyfieitha, 'Purach oedd ei *phendefigion* hi na'r eira,' sef o ran lliw eu crwyn. *Gwỳnach oeddynt na'r llaeth*—yn flaenorol i'r newyn a'r trallod blin hwn. *Gwridocach oeddynt o gorff na'r cwrel*—hyny yw, yr oeddynt yn wỳn a gwridog, yr hyn oedd yn arwydd o iechyd a hapusrwydd. *A'u trwsiad oedd o saphir*—yr oedd llyfnder eu crwyn, prydferthwch eu gwedd, neu harddwch eu gwisg, yn peri iddynt ymddangos mor brydweddol a phe buasent wedi eu gwneuthur o saphir caboledig. Eu hedrychiad yn ganlynol i'r newyn a osodir allan yn yr adnod nesaf.

Adn. 8. *Duach yw yr olwg arnynt na'r glöyn*] Yr oedd eu lliw gwỳn a gwridog wedi troi yn ddû gan y newyn trwm; *nid adwaenir hwynt yn yr heolydd*—gan fel y mae eu gwedd wedi cyfnewid. *Eu croen a lŷn wrth eu hesgyrn*—trwy fod eu cnawd wedi curio ymaith: *gwywodd*—neu grebachodd eu croen; *aeth yn debyg i bren*—sychodd a chrinodd i fyny.

Adn. 9. *Gwell yw y rhai a laddwyd â chleddyf*] A laddwyd ar unwaith â chleddyf y Caldeaid; *na'r rhai a laddwyd â newyn*—megys bob yn fodfedd: *oblegid y rhai hyn a ddihoenant*—ymaith yn araf, mewn poenau corfforol ac ing meddwl annhraethadwy; *wedi eu trywanu o eisiau cnwd y maes*—yr oedd y teimlad o newyn, neu eisiau bara, yn eu rhwygo yn barhaus fel cleddyf.

Adn. 10. *Dwylaw gwragedd tosturiol*] Sef mamau tosturiol a thyner-galon; *a ferwasant eu plant eu hun*—pan na fedrent gael dim ymborth arall. Dywedasai Moses mai fel hyn y byddai, a dywed Jeremi yma mai fel hyn y bu: gwel ar Deut. xxviii. 53—57. *Eu hymborth oeddynt yn ninystr merch fy mhobl*—sef yn amser gwarchaead Jerusalem.

Adn. 11. *Yr Arglwydd a gyflawnodd ei ddigder*] Yr hwn a fygythiasai efe ar y bobl anufydd hyn; *a dywalltodd lidiogrwydd ei soriant*—yn helaeth arnynt hwy a'u gwlad; *ac a gyneuodd dân yn Seion*—yn Jerusalem a'r deml, *yr hwn a ddifaodd ei seiliau hi*—a'i llosgodd hi i lawr hyd ei gwaelodion.

Adn. 12. *Ni choeliasai brenhinoedd y ddaear, a holl drigolion y byd*] Wrth weled fel yr oedd Jerusalem wedi ei hamgylchynu gan fynyddoedd, a'i chadarnhau â muriau a gwrthgloddiau uchel a chryfion, ac yn enwedig wrth ystyried fod Jehofa ei hun wedi bod yn amddiffynwr iddi hyd yma; *y deuai y gwrthwynebwr a'r gelyn i mewn*—y llwyddasai y Caldeaid i'w hennill hi. Sylwodd Titus, pan gymerodd efe Jerusalem yn amser y gwarchaead Rhufeinig, mai Duw yn unig a yrasai yr Iuddewon allan o'u hamddiffynfeydd; 'canys pa beth,' meddai efe, 'a allasai dwylaw dynion, nac unrhyw beiriannau, ei wneuthur tuag at ddymchwelyd y tyrau hyn?'

Adn. 13. *Am bechodau ei phroffwydi*] Sef

14 Gwibiasant *fel* deillion yn yr heolydd, *ac* ymddifwynasant gan waed, fel na ellid cyffwrdd â'u dillad hwynt.

15 Gwaeddasant arnynt, Ciliwch; aflan *yw;* ciliwch, ciliwch, na chyffyrddwch; pan ffoisant, ac yr aethant ymaith. Dywedent yn mysg y cenhedloedd, Ni thrigant hwy *yma* mwyach.

16 Soriant yr Arglwydd a'u gwasgarodd hwynt; nid edrych efe arnynt mwy: ni pharchent hwy yr offeiriaid, ni thosturient wrth yr henafgwyr.

17 Ninau hefyd, ein llygaid a ballasant am ein cynorthwy ofer: gan ddysgwyl dysgwyl yr oeddym ni wrth genhedlaeth ni allai *ein* hachub.

18 Hwy a olrheiniant ein cerddediad, fel na allwn fyned ar hyd ein heolydd: y mae ein diwedd ni yn agos, ein dyddiau ni a gyflawnwyd; canys daeth ein diwedd ni.

19 Buanach yw ein herlidwyr nag eryrod yr awyr: y maent yn ein herlid ni ar y mynyddoedd, yn ein cynllwyn yn yr anialwch.

20 Anadl ein ffroenau, eneiniog yr Arglwydd, a ddaliwyd yn eu rhwydau hwynt, *am* yr hwn y dywedasem, Dan ei gysgod ef y byddwn ni byw yn mysg y cenhedloedd.

---

twyll a chelwydd ei gau-broffwydi; *ac anwiredd ei hoffeiriaid*—y rhai 'a lywodraethent trwy eu gwaith hwynt,' Jer. v. 31; a'r rhai, yn lle ceryddu pechodau y bobl, oeddynt eu hunain yn euog o anghyfiawnder, trais, a chreulondeb; *y rhai a ollyngasant waed y rhai cyfiawn o'i mewn hi*—sef gwaed y gwir broffwydi, a'r duwiolion a wrandawent arnynt hwy: gwel ar 2 Bren. xxi. 16, a xxiv. 4, Mat. xxiii. 34, 35.

Adn. 14. *Gwibiasant fel deillion yn yr heolydd, &c.*] Yr oedd y proffwydi a'r offeiriaid uchod wedi bod yn achos o lofruddiaeth y fath nifer o weision yr Arglwydd, fel, pan rodient yn yr heolydd, na allent ymgadw rhag cael eu halogi â'u gwaed hwy; neu ynte yr oeddynt, trwy y farn a ddaethai arnynt am eu pechodau, yn gwibio fel deillion ar hyd yr heolydd, ac yn cyfarfod ar bob llaw â'r fath nifer o gelaneddau meirwon, fel na allent fyned heibio heb gyffwrdd â rhai o honynt, ac felly gael eu halogi gan eu dillad gwaedlyd; neu nis gallai ereill gyffwrdd â dillad gwaedlyd y llofruddion hyn, heb gael eu halogi eu hunain.

Adn. 15. *Gwaeddasant arnynt, Ciliwch; aflan yw, &c.*] Pan ffoai y llofruddion hyn i blith y cenhedloedd, yr oedd y rhai hyny yn eu ffieiddio ac yn eu hwtio ymaith megys rhai gwahanglwyfus; gan ddefnyddio yr un iaith uwch eu penau ag a ddefnyddiai y gwahangleifion eu hunain: gwel ar Lef. xiii. 45.

Adn. 16. *Soriant yr Arglwydd a'u gwasgarodd hwynt*] Allan o'u gwlad eu hunain; *nid edrych efe arnynt mwy*—fel ei bobl ei hun. *Ni pharchent hwy yr offeiriaid, ni thosturient wrth yr henafgwyr*—hyny yw, nid [illegible] y llofruddion uchod yn parchu yr offe[illegible]r hena'gwyr duwiol yn Jerusalem, eithr [illegible] lladd yn ddidostur, am yr hyn y cosp[illegible]yr Arglwydd hwynt fel hyn, adn. 13. Neu [illegible] 'nai yr ystyr yw, nad oedd y cenhedloedd i blith y rhai y ffodd yr offeiriaid a'r he[illegible]gwyr drygionus hyn, yn eu parchu nac [illegible] tosturio wrthynt.

Adn. 17. *Ninau hefyd*] Y mae y proffwyd yma, ar ol crybwyll am ddrygioni y rhai a fuont y prif achos o'r dinystr cenedlaethol, yn troi drachefn i roddi dysgrifiad galarus o'r trychineb tost hwnw. *Ein llygaid a ballasant am ein cynorthwy ofer*—sef am gynorthwy oddiwrth yr Aifftiaid, yr hwn a ddysgwyliasant yn ofer: *gan ddysgwyl, dysgwyl yr oeddym ni*—yn y modd mwyaf pryderus am fisoedd lawer. *wrth genhedlaeth ni allai ein hachub*—o ddwylaw y Caldeaid, sef yr Aifftiaid, â'r rhai yr ymgyngbreiriasent.

Adn. 18. *Hwy*] Sef y Caldeaid, *a olrheiniant ein cerddediad, fel na allwn fyned ar hyd ein heolydd*—heb fod yn y perygl mwyaf oddiwrth eu saethau a'u harfau ereill. *Y mae ein diwedd ni yn agos*—sef diwedd ein heinioes: *ein dyddiau ni a gyflawnwyd*—y rhai a osodwyd i ni i fyw ar y ddaear: *canys daeth ein diwedd ni*—i'n hymyl: neu y mae diwedd ein gwladwriaeth a'n bodaeth genedlaethol wedi cymeryd lle eisioes.

Adn. 19. *Buanach yw ein herlidwyr nag eryrod yr awyr*] Bygythiasai Duw y byddai iddo ddwyn ar yr Iuddewon anufydd 'genedl mor gyflym ag yr eheda yr eryr,' Deut. xxviii. 49; ac y maent hwythau yn cydnabod yn awr fod hyny wedi dyfod i ben. *Y maent yn ein herlid ni ar y mynyddoedd*—os ffown yno: *yn ein cynllwyn yn yr anialwch*—neu y dyffrynoedd, os diangwn yno. Cyfeirir yma ond odid at feirch-filwyr y Caldeaid.

Adn. 20. *Anadl ein ffroenau, eneiniog yr Arglwydd*] Sef eu brenin Zedeciah, yr hwn oedd atteg eu bywyd gwladwriaethol, fel y mae yr anadl yn atteg y bywyd naturiol; *a ddaliwyd yn eu rhwydau hwynt*—ac a yrwyd i Babilon ar ol tynu ei lygaid ef, 2 Bren. xxv. 6, 7; *am yr hwn y dywedasem*—yn yr amser a aethai heibio, *Dan ei gysgod ef y byddwn ni byw yn mysg y cenhedloedd*—mewn diogelwch. Trwy fod Zedeciah wedi cael ei ddyrchafu i'r orsedd gan frenin Babilon, yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl cael eu diogelu ganddo ef rhag trais y cenhedloedd paganaidd o'u hamgylch. Y mae y nawdd a ddyry brenin i'w ddeiliaid yn cael ei gymharu yn fynych yn yr ysgrythyr i gysgod pren mawr: gwel ar Ezec. xvii. 23, a xxxi. 6, Dan. iv. 12.

21 Bydd lawen a hyfryd, merch Edom, yr hon wyt yn trigo yn nhir Us: daw y cwpan atat tithau hefyd; ti a feddwi, ac a ymnoethi.

22 ¶ Gorphenwyd dy gospedigaeth di, merch Seion; ni chaethgluda efe di mwy: efe a ymwel â'th anwiredd di, merch Edom; efe a ddatguddia dy bechodau.

## PENNOD V.

COFIA, O Arglwydd, beth a ddaeth i ni: edrych a gwel ein gwaradwydd.

2 Ein hetifeddiaeth ni a drowyd i estroniaid, a'n tai i ddyeithriaid.

3 Amddifaid ydym heb dadau; ein mamau *sydd* megys gweddwon.

4 Yr ydym yn yfed ein dwfr am arian; ein coed sydd yn dyfod am werth.

5 Ein gwarau sydd dan erlid; llafurio yr ydym, nid oes gorphwysdra i ni.

6 Rhoisom ein llaw i'r Aifftiaid, i'r Assyriaid, i gael digon o fara.

7 Ein tadau a bechasant, ac nid *ydynt:* ninau sydd yn dwyn eu cosp hwynt.

---

Adn. 21. *Bydd lawen a hyfryd, merch Edom, yr hon wyt yn trigo yn nhir Us*] Sef gwlad Job gynt, Job i. 1. Yr oedd yr Edomiaid yn llawenychu yn fawr yn nhrallodau yr Iuddewon, Salm lxxxiii. 3—6, a cxxxvii. 7; ond y mae y proffwyd yma, mewn gwawdiaith, yn peri iddynt lawenhau yn mlaen os mynent, am na byddai i'w llawenydd barhau nemawr yn hwy. *Daw y cwpan atat tithau hefyd*—sef cwpan digofaint Duw, fel y daeth at yr Iuddewon: *ti a feddwi*—mewn gwallgofrwydd barnol; *ac a ymnoethi*—ti a ddyosgir o bob amddiffyniad ag sydd genyt yn awr: gwel ar Jer. xlix. 7, &c.

Adn. 22. *Gorphenwyd dy gospedigaeth di, merch Seion*] Arferai y proffwydi, wrth gyhoeddi barnedigaethau Duw yn erbyn rhyw genedl baganaidd, roddi addewidion grasol i Israel ar yr un pryd; i arwyddo na byddai i Dduw byth eu bwrw hwy oddiwrtho yn llwyr, eithr y byddai iddo mewn amser dyladwy estyn iddynt ei drugaredd. *Ni chaethgluda efe di mwy*—bernir mai at gyflwr yr Iuddewon ar ol eu dychweliad at Gristionogaeth y cyfeirir yma yn benaf. *Efe a ymwel â'th anwiredd di, merch Edom*—ond wrth addaw dychwelyd caethiwed yr Iuddewon, y mae efe yn sicrhau llwyr ddymchweliad yr Edomiaid o herwydd eu hanwiredd. *Efe a ddatguddia dy bechodau*—trwy y barnedigaethau dychrynllyd â pha rai y cospa efe di am danynt. Pan y mae Duw yn madden pechodau, dywedir ei fod yn eu *cuddio;* ond wrth gospi am danynt, y mae yn eu *datguddio.*

PEN. V. Adn. 1. *Cofia, O Arglwydd, beth a ddaeth i ni*] Oddiwrth y Caldeaid dienwaededig: *edrych a gwel ein gwaradwydd*—yr hwn a deflir arnom gan ein holl elynion. Y bennod hon sydd weddi ddifrifol o eiddo y proffwyd yn enw yr holl bobl, yn yr hon y maent yn gosod allan eu dyoddefiadau trymion yn holl amser eu gofwy. Er ei bod yn cynwys 22 o adnodau, sef rhif y llythyrenau yn y wyddor Hebreig, eto nid yw ffurf *trawsgerdd* yn cael ei chadw yma. Fe allai nad oedd trefn gelfyddydol felly yn cael ei hystyried yn briodol pan yr oedd y genedl, dan y teimlad dwysaf o soriant Duw, yn ymostwng mewn ing a chyfyngder i ofyn am drugaredd.

Adn. 2. *Ein hetifeddiaeth ni a drowyd i estroniaid, &c.*] Yr oedd gwlad Canaan, yr hon a roddasai Duw yn etifeddiaeth iddynt, a'r tai a adeiladasant hwythau ynddi, yn cael eu meddiannu gan y Caldeaid ac estroniaid ereill.

Adn. 3. *Amddifaid ydym heb dadau*] Y rhai a fuont feirw trwy y cleddyf, y newyn, a'r haint: *ein mamau sydd megys gweddwon*—yr oedd llawer o honynt yn weddwon gwirioneddol, trwy fod eu gwŷr wedi marw; ac yr oedd ereill *megys* gweddwon, trwy nad oedd eu gwŷr mwyach yn gallu bod o un cymhorth na chysur iddynt hwy. Ond fe allai y gellir deall hyn am eu brenin a'u tywysogion wedi eu cymeryd oddiarnynt, a'u dinasoedd wedi eu gadael yn annghyfanedd.

Adn. 4. *Yr ydym yn yfed ein dwfr am arian, &c.*] Pan yr oedd eu gwlad yn eu meddiant, yr oeddynt yn cael digon o ddwfr a thanwydd am ddim; ond yn awr yr oedd eu dwfr a'u tân, a holl angenrheidiau bywyd, yn cael eu trethu yn drwm gan y Caldeaid. Hyn ond odid a osodir allan fel iaith yr ychydig Iuddewon tylodion a adewsid ar ol yn nhir Juda.

Adn. 5. *Ein gwarau sydd dan erlid, &c.*] Yr ydym wedi cael ein gwneuthur yn gaethweision i'n gelynion, y rhai a'n gorfodant ni i lafurio yn galed a diorphwys, fel ŷch yn cael ei symbylu dan yr iau.

Adn. 6. *Rhoisom ein llaw i'r Aifftiaid, &c.*] Cyfeirir yma at yr Iuddewon a ddiangasent i'r Aifft ac i Assyria, y rhai a'u gwerthasant eu hunain yn gaethion yno er mwyn cael angenrheidiau bywyd.

Adn. 7. *Ein tadau a bechasant*] Sef y genedl Iuddewig trwy yr holl oesau; *ac nid ydynt*—y maent wedi marw, ac felly y maent allan o gyraedd barnau gwladol neu dymhorol: *ninau sydd yn dwyn eu cosp hwynt*—y mae yr holl euogrwydd gwladol, yr hwn a fu yn croni trwy yr holl oesau, yn gorwedd yn llwyth trwm arnom ni. Nis gall cenedl, fel *cenedl*, gael ei chospi yn y byd arall; canys ymddygir tuag at bob un yno yn ei gymeriad *personol* ei hun: gan hyny rhaid cospi dynion, fel cenedl, yn y byd hwn: a'r un yw y genedl, pa un bynag ai y plant ynte y tadau a gospir. Yn yr ystyr yma gall y plant ddwyn anwiredd

8 Gweision sydd yn llywodraethu
arnom ni, heb *fod* a'*n* gwaredo o'u
llaw hwynt.
9 *Mewn enbydrwydd* am ein hein-
ioes y dygasom ein bara i mewn, o
herwydd cleddyf yr anialwch.
10 Ein croen a dduodd fel ffwrn
gan y newyn tost.
11 Hwy a dreisiasant y gwragedd
yn Seion, *a*'r morwynion yn ninas-
oedd Juda.
12 Crogasant dywysogion â'u
dwylaw; ni pherchid wynebau yr
henafgwyr.
13 Hwy a gymerasant y gwŷr
ieuainc i falu; a'r plant a syrthias-
ant dan y coed.
14 Yr henafgwyr a beidiasant â'r
porth; y gwŷr ieuainc â'u cerdd.
15 Darfu llawenydd ein calon:
ein dawns a drôdd yn alar.
16 Syrthiodd y goron *oddiam* ein
pen: gwae ni yn awr bechu o honom.
17 Am hyn y mae ein calon yn
ofidus; am hyn y tywyllodd ein
llygaid.
18 O herwydd mynydd Seion, yr
hwn a anrheithiwyd, y mae y llwyn-
ogod yn rhodio ynddo.
19 Ti, Arglwydd, a barhei byth;
dy orseddfainc yn oesoesoedd.
20 Paham yr annghofi ni byth, *ac*
y gadewi ni dros hir ddyddiau?

---

y tadau, sef mewn barnedigaethau *tymhorol;* eithr mewn ystyr *ysbrydol*, neu gyda golwg ar gosp *dragwyddol*, 'y mab ni ddwg anwiredd y tad, a'r tad ni ddwg anwiredd y mab:' gwel ar Exod. xx. 5, Jer. xxxi. 29, 30, Ezec. xviii. 20.

Adn. 8. *Gweision sydd yn llywodraethu arnom ni*] Fe allai mai at y *milwyr* Caldeaidd y cyfeirir yma, y rhai a adewsid gyda Gedaliah, Jer. xli. 3, 16; *heb fod a'n gwaredo o'u llaw hwynt*—sef oddiwrth eu gorthrwm, eu trais, a'u creulondeb.

Adn. 9. *Mewn enbydrwydd am ein heinioes y dygasom ein bara i mewn*] O'r maesydd; *o herwydd cleddyf yr anialwch*—yr hwn oedd yn yr anialwch, neu yn y dyffrynoedd o amgylch Jerusalem. Cyfeirir yma at gleddyf y *Caldeaid*, pryd yr oedd y ddinas yn cael ei gwarchae; neu ynte at gleddyf yr *Arabiaid* ysbeilgar, pryd yr oedd rhai o'r Iuddewon wedi eu gadael dan ofal Gedaliah.

Adn. 10. *Ein croen a dduodd fel ffwrn*] Gan y newyn tost a'n daliasai, pen. iv. 8.

Adn. 11. *Hwy a dreisiasant y gwragedd yn Seion*] Sef yn Jerusalem; *a'r morwynion yn ninasoedd Juda*—hyn a wneid gan y milwyr Caldeaidd ond odid, yn ol rhagfynegiad Duw, Deut. xxviii. 30, Jer. vi. 12.

Adn. 12. *Crogasant dywysogion â'u dwylaw*] Saes., '*gerfydd* eu llaw,' fel ag i drengu felly gan newyn, neu gael eu rhwygo gan adar ysglyfaethus; neu ynte crogid hwy â dwylaw eu gelynion. *Ni pherchid wynebau yr henafgwyr*—sef henafgwyr o ran oedran, neu henuriaid o ran swydd.

Adn. 13. *Hwy a gymerasant y gwŷr ieuainc i falu*] Yr hyn oedd gwaith y caethforwynion distadlaf, Exod. xi. 5; neu i falu yn y carchardy, fel Samson, Barn. xvi. 21: *a'r plant a syrthiasant dan y coed*—dan beirianwaith y felin, ar ol i'w nerth ballu; neu ynte dan feichiau trymion o goed, y rhai yr oeddynt yn gorfod eu cario.

Adn. 14. *Yr henafgwyr a beidiasant â'r porth*] Nid oedd yr henuriaid yn ymddangos mwyach yn mhorth y ddinas i weinyddu cyfiawnder, eithr yr oeddynt eu hunain yn cael eu llywodraethu yn dost gan ormes eu gelynion: *y gwŷr ieuainc â'u cerdd*—nid oedd y gwŷr ieuainc yn eu difyru eu hunain nac ereill mwyach â'u cerddoriaeth bêr.

Adn. 15. *Darfu llawenydd ein calon*] Yn hollol o'n plith: *ein dawns a drôdd yn alar*—yn lle llamu o lawenydd, fel ar y gwyliau neu yn y gwleddoedd gynt, yr ydym yn ymdrybaeddu yn y llwch mewn gofid a galar.

Adn. 16. *Syrthiodd y goron oddiam ein pen*] Arferent gynt wisgo coron o ddail a blodau ar amseroedd o briodasau, gwleddoedd, a chyfeddach, Esay xxviii. 1, 3; ond yr oedd hyny bellach wedi darfod: neu gall mai yr ystyr yw, fod holl ogoniant eu brenhiniaeth, eu hoffeiriadaeth, a'u cenedl, yn awr wedi syrthio oddiwrthynt. *Gwae ni yn awr bechu o honom*—fel ag i dynu trwy hyny y trueni hwn arnom ein hunain.

Adn. 17. *Am hyn y mae ein calon yn ofidus*] Sef am fod y trueni hwn wedi syrthio arnynt, ac yn enwedig am eu bod wedi ei dynu ef yn wirfoddol am eu penau eu hunain. *Am hyny y tywyllodd ein llygaid*—wrth wylo yn barhaus: gwel ar pen. i. 16, a ii. 11, a iii. 48, 49.

Adn. 18. *O herwydd mynydd Seion*] Sef Jerusalem a'r deml: *yr hwn a anrheithiwyd*—gan y Caldeaid gwaedlyd: *y mae y llwynogod yn rhodio ynddo*—neu fwystfilod rheibus, i ysglyfaethu y celaneddau a adawyd yno heb eu claddu: gwel ar Salm lxxii. 10.

Adn. 19. *Ti, Arglwydd, a barhei byth*] Heb unrhyw gyfnewidiad yn dy natur, dy briodoliaethau, na'th ogoniant, er fod ein pechodau wedi dwyn cyfnewidiad mawr ar ein hamgylchiadau ni: *dy orseddfainc yn oesoesoedd*—a bery yn oesoesoedd, er fod dy gysegr wedi ei losgi i'r llawr. Yn nghanol yr holl gyfnewidiadau hyn, yr oedd duwiolion y genedl yn ymgysuro yn annghyfnewidioldeb Duw a'i orsedd.

Adn. 20. *Paham yr annghofi ni byth*] Yr ymddygi tuag atom fel pe byddit wedi ein hannghofio am byth? *ac y gadewi ni dros hir ddyddiau*—yn ysglyfaeth i'n gelynion? Dywedant 'hir ddyddiau,' am fod ganddynt

21 Dychwel ni, O Arglwydd, atat ti, a ni a ddychwelir: adnewydda ein dyddiau megys cynt.

22 Eithr ti a'n llwyr wrthodaist ni: ti a ddigiaist wrthym ni yn ddirfawr.

---

obaith am waredigaeth yn mhen y 70 mlynedd.

Adn. 21. *Dychwel ni, O Arglwydd, atat ti*] Mewn gwir edifeirwch; *a ni a ddychwelir*—yn effeithiol a pharhaus: *adnewydda ein dyddiau megys cynt*—gad i ni eto fwynhau dy ffafr, ein gwlad, a'n breintiau gwladol a chrefyddol, fel yr oeddym yn eu mwynhau yn y dyddiau gynt.

Adn. 22. *Eithr ti a'n llwyr wrthodaist ni*] Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Canys ti yn ddiau a'n bwriaist ni ymaith;' ac felly y mae y geiriau yn rheswm am yr erfyniadau yn adn. 21. *Ti a ddigiaist wrthym ni yn ddirfawr*—am hyny maddeu, a dychwel ni. Ond y mae *Pareau* ac ereill yn darllen yr adnod hon yn holiadol, fel Jer. xiv. 19: 'A lwyr wrthodaist di ni? a ddigiaist ti wrthym ni yn ddirfawr?' Mewn un o'r hen ysgriflyfrau Hebreig hynaf y mae adn. 21 yn cael ei hailadrodd yma.

---

# LLYFR Y PROFFWYD EZECIEL.

---

YR oedd Ezeciel yn fab i *Buzi*, ac yn offeiriad yn gystal ag yn broffwyd, pen. i. 3. Ganed ef yn *Saresa*; ac ystyr ei enw yw 'nerth Duw,' neu 'gynaliedig gan Dduw,' neu 'Duw yw fy nerth.' Dygwyd ef yn gaeth gydag ereill, gan frenin Babilon, yn amser Joacin neu Jeconiah, oddeutu 11 mlynedd cyn y caethgludiad diweddaf yn amser Zedeciah; a sefydlwyd ef a'i frodyr wrth afon Cebar, neu *Khabour*, yr hon sydd yn ymarllwys i'r Euphrates ger Carchemis neu *Circesium*, oddeutu 250 o filldiroedd i'r gogledd-orllewin o Babilon, ac oddeutu 400 o filldiroedd i'r gogledd-ddwyrain o Jerusalem. Meddylir fod Ezeciel oddeutu 25 mlwydd oed pryd y caethgludwyd ef o Judea, ac iddo ddechreu proffwydo pan yn 30 mlwydd oed, sef yn mhen pum mlynedd wedi iddo fyned i gaethiwed; ac iddo barhau i broffwydo am oddeutu 21 o flynyddoedd, sef o'r flwyddyn O. B. 3409, (C. C. 595,) hyd O. B. 3430, neu am 14 o flynyddoedd ar ol dinystr Jerusalem gan y Caldeaid. Dywed hanesydd Arabaidd iddo gael ei ladd yn Babilon trwy orchymyn y brenin, o herwydd iddo ei geryddu ef am ei eilunaddoliaeth; ac iddo gael ei gladdu yn maes *Maur*, yn meddrod Sem ac Arphaxad.—Ymddengys mai Ezeciel a Daniel yw yr unig broffwydi a ysgrifenasant eu proffwydoliaethau allan o wlad Israel, oddieithr y chwanegwn Jonah, yr hwn a anfonwyd i Ninefe i broffwydo. Yr oedd Ezeciel yn proffwydo yn nechre y caethiwed Babilonaidd, a Daniel tua'i ddiwedd ef.—Y mae rhai rhanau o'r llyfr hwn yn dra thywyll ac anhawdd ei hegluro, yn enwedig yn ei ddechre a'i ddiwedd ef; ac am hyny gwaharddai y rabbiniaid Iuddewig i ddynion ieuainc ei ddarllen ef hyd nes y byddent yn 30 mlwydd oed, rhag iddynt, trwy yr anhawsderau a gyfarfyddent ynddo, gael eu llenwi â rhagfarn yn erbyn yr ysgrythyrau yn gyffredinol. Ond os bydd i ni ddarllen y rhanau tywyllion hyn gyda gostyngeiddrwydd a gweddi, a'u chwilio yn fanwl, dyfal, a pharhaus, er na fyddwn o bosibl yn alluog i ddattod yr holl gylymau a gyfarfyddwn, mwy nag y medrwn egluro holl ranau llyfr natur; eto gallwn gasglu oddiwrthynt hwy, fel oddiwrth lyfr natur, lawer iawn o bethau i gadarnhau ein ffydd, ac i grythau ein gobaith yn y Duw a addolwn.—Dywed yr *Esgob Lowth*, 'fod Ezeciel yn îs na Jeremi mewn tlysni, ond ei fod yn gyfartal i Esay mewn arddduniant, er mai mewn math arall o arddduniant. Y mae yn hyf, angherddol, echrys, ac yn llawn o or-eangiad. Ei syniadau ydynt uchel, bywiog, llym, a llawn o ddigllonedd. Ei ddelweddau ydynt doreithiog, mawreddog, ac weithiau yn nesâu braidd at annethlusrwydd. Y mae ei arddull yn fawreddog, pwysig, gerwin, sarug, ac weithiau yn drwsgl. Y mae efe yn llawn o ail-adroddiadau, nid er mwyn prydferthwch neu goethder, ond o herwydd ei angherddolrwydd a'i ddigllonedd. Pa beth bynag fyddo ei destyn, y mae efe yn cadw ei olwg arno yn barhaus, heb y gŵyriad lleiaf; ac y mae wedi ei lyncu i'r fath raddau ganddo, fel mai prin y sylwa efe ar drefn na chysylltiad. Mewn pethau ereill gall y proffwydi ereill fod yn rhagori arno; eithr yn y pethau ag y mae efe yn neillduol yn dueddol iddynt, hyny yw, mewn grym, yni, pwys, ac ardderchogrwydd, ni bu un ysgrifenydd erioed yn gyffelyb iddo. Y mae ei arddull yn ddigon eglur; ac y mae agos ei holl aneglurder yn cyfodi oddiwrth ei destynau. Y mae ei weledigaethau yn dra aneglur, y rhai, modd bynag, fel yn Hosea, Amos, a Zechariah, a draddodir mewn dull diaddurn a hanesyddol. Y mae y rhan fwyaf o'r llyfr hwn, yn enwedig ei ganol ef, yn *farddonol* o ran y mater a'r iaith; ond y mae rhai rhanau mor drwsgl a diaddurn, nes yr ydym yn methu gwybod yn fynych i ba ddull o gyfansoddiad y dylem eu priodoli. O ran iaith, gellir yn ddigon priodol osod *Esay*, *Jeremi*, ac *Ezeciel* yn yr un rhestr yn mhlith yr *Hebreaid*, ag y gosodir *Homer*, *Simonides*, ac *Æschylus* yn mhlith y *Groegiaid*.'—Fod Ezeciel yn ysgrifenydd tra *thywyll*, a addefir gan bawb a geisiasant egluro ei broffwydoliaethau. Yr oedd yr Iuddewon yn ei ystyried ef yn annegluradwy. Y mae traddodiad ddarfod i'r rabbiniaid gynal ymgynghoriad, pa un a dderbynient hwy Ezeciel i'r ganon gysegredig; a phan yr oeddynt yn debyg o'i wrthod, ddarfod i'r Rabbi Ananias godi i fyny, a dywedyd yr ymgymerai efe â symud pob anhawsder o hanes *cerbyd Jehofa*, pen. i, yr hon yr addefir ei bod y rhan anhawddaf yn yr holl lyfr. Derbyniwyd ei gynygiad; ac i'w gynorthwyo ef yn ei waith, ac fel y gallai ei orphen er anrhydedd iddo ei hun, rhoddasant iddo 300 barilaid o *olew* i oleuo ei lamp tra y byddai efe yn ceisio egluro y rhan yma o'i orchwyl! Yr oedd y rhodd helaeth hon yn profi ar unwaith argyhoeddiad y rabbiniaid o anhawsder y gwaith. Ni ddywedir i ni pa un a lwyddodd y Rabbi Ananias yn ei orchwyl, os darfu iddo yn wir ymgymeryd â'r gwaith; ac y mae yr Iuddewon yn credu nad eglurwyd hyd heddyw y *cerbyd* a grybwyllir yn pen. i, na hanes y *deml* a ddarlunir yn niwedd y llyfr. Modd bynag, traddodwyd y broffwydoliaeth fel y

gallai gael ei deall, a bod o les; a diamau ei bod yn cael ei llawn amgyffred gan y rhai ag y rhoddwyd hi iddynt yn wreiddiol, ac er mwyn pa rai yr anfonwyd hi o'r nef. Gyda golwg ar y rhanau ag sydd yn cyfeirio at *ddyfodiant, ell*, hwy a ddeallir pan y cymero y dygwyddiadau le; yr hyn a fydd y pryd hyny yn rheswm chwanegol o blaid dwyfol ddatguddiad. pan y gwelir gyda'r fath fanylwch a chywirdeb yr oedd y proffwydi yn rhagweled ac yn darlunio y fath ddygwyddiadau pellenig, a damweiniol i olwg dyn.—Prif amcan y proffwyd yn y llyfr hwn yw cadarnhau yr hyn a ddywedasai ei gyd-broffwyd Jeremi rai blynyddau cyn hyny, ac ymhelaethu a manylu ar yr un pynciau. (1) Efe a ddarlunia weledigaeth ryfeddol, trwy yr hon yr oedd Duw yn ei sierhau ac yn ei addysgu ef yn ei swydd broffwydol, pen. i—iii. (2) Efe a ddarlunia bechodau erchyll yr Iuddewon yn Jerusalem a Judea, a'u cospedigaethau nesaol, pen. iv—xxiv. (3) Efe a ragfynega ddinystr llawer o'r cenhedloedd cymydogaethol, y rhai oeddynt elynol i'r Iuddewon; megys yr Ammoniaid, y Moabiaid, yr Edomiaid, y Philistiaid, gwŷr Tyrus a Sidon, a'r Aifftiaid, pen. xxv—xxxii. (4) Efe a gerydda yn llym ywgnachrwydd a rhagrith yr Iuddewon ag oeddynt yn gaethion yn Caldea, gan eu hannog i wir edifeirwch, ac i ddysgwyliad diysgog am waredigaeth, nid yn unig o gaethiwed Babilon, ond o un llawer mwy, sef o gaethiwed pechod a Satan trwy Iesu Grist, pen. xxxiii—xxxix. (5) Rhagweled-iad o'r Jerusalem newydd a'i theml, fel arwyddlun o ogoniant yr eglwys dan yr oruchwyliaeth newydd, pen. xl—xlviii. Y mae traddodiad fod bedd Ezeciel yn adnabyddus yn amser Epiphanius, a bod yr Iuddewon yn cadw lamp i losgi yn barhau ynddo: ac iddynt gael copi o'r broffwydoliaeth hon yn llaw-ysgrifen y proffwyd ei hun, yr hwn a ddarllenent bob blwyddyn ar ddydd y cymod.

---

## PENNOD I.

A DARFU yn y ddegfed flwyddyn
ar hugain, yn y pedwerydd *mis*,
ar y pummed *dydd* o'r mis, (a mi yn
mysg y gaethglud wrth afon Cebar,)
agoryd y nefoedd; a gwelwn weled-
igaethau Duw.

2 Yn y pummed *dydd* o'r mis,
(hòno *oedd* y bummed flwyddyn o
gaethgludiad y brenin Jehoiacin,)
3 Y daeth gair yr Arglwydd yn
eglur at Ezeciel yr offeiriad, mab
Buzi, yn nhir y Caldeaid, wrth afon
Cebar; ac yno y bu llaw yr Ar-
glwydd arno ef.

---

PEN. I. Adn. 1. *A darfu yn y ddegfed flwyddyn ar hugain*] Tybia rhai mai y 30 flwyddyn o oedran y proffwyd a feddylir: tybia ereill mai y 30 flwyddyn er pan adnewyddwyd y cyfammod â'r bobl yn amser Josiah, 2 Bren. xxii. 3, &c.; o'r hon y mae *Usher*, *Prideaux*, a *Calmet* yn cyfrif y deugain mlynedd o anwiredd Juda, a grybwyllir pen. iv. 6. Ond barna *Newcome* fod camgymeriad yn y testyn, ac y dylid darllen y '*bummed* flwyddyn,' fel yn adn. 2. Eithr ni phleidir y darlleniad hwn gan ûn o'r hen gyfieithiadau, na'r ysgriflyfrau Hebreig. Y Galdeaeg a aralleiria yr adnod, 'A darfu yn y ddegfed flwyddyn ar hugain wedi i Hilciah yr archoffeiriad gael llyfr y gyfraith yn y cysegr, &c.' Y mae y 30 mlynedd, wrth eu cyfrif fel hyn, yn cyraedd i O.B. 3409, sef i'r bummed flwyddyn o gaethgludiad Jehoiacin ac o deyrnasiad Zedeciah, yr hyn oedd oddeutu chwe blynedd cyn dinystr Jerusalem. *Yn y pedwerydd mis*—sef *Tammuz*, yn cyfateb i ran o'n Mehefin a'n Gorphenhaf ni. *Ar y pummed dydd o'r mis*—tybia rhai mai y dydd sabboth oedd hwn, gan y dywedir, pen. iii. 16, i air yr Arglwydd ddyfod ato ef drachefn yn mhen y saith niwrnod. *A mi yn mysg y gaethglud wrth afon Cebar*—gwel y rhagarweiniad uchod. Yma, meddai *Newcome*, yr oedd efe yn bresenol o ran ei gorff, er ei fod yn ei weledigaethau yn cael ei gario weithiau i Jerusalem. Tybia rhai i'r gaethglud gael ei gyru yno i arloesi y tir gwyllt, neu i ddwyn yn mlaen ryw law-weithyddiaeth er budd i'w gorchfygwyr. *Agoryd y nefoedd*—ymadrodd a ddefnyddid gan yr Iuddewon pan fyddai rhyw ymddanghosiad dysglaer anughyffredin yn cymeryd lle yn y cymylau. *A gwelwn weledigaethau Duw*—neu arwyddion neillduol o gyfryngiad a datguddiad y Mawrhydi Dwyfol, fel yr adroddir isod.

Adn. 2. *Hòno oedd y bummed flwyddyn o gaethgludiad y brenin Jehoiacin*] A'r bummed hefyd o deyrnasiad Zedeciah, yr hwn a'i dylynodd ef ar yr orsedd; a chan i'r ddinas a'r deml gael eu dinystrio yn yr unfed flwyddyn ar ddeg i Zedeciah, 2 Bren. xxv. 2, y mae yn amlwg i Ezeciel gael y weledigaeth hon chwe blynedd cyn i hyny gymeryd lle. Gelwir y Jehoiacin hwn weithiau yn Jeconiah, Coniah, a Joacin.

Adn. 3. *A daeth gair yr Arglwydd yn eglur at Ezeciel yr offeiriad*] Hyny yw, efe a lanwyd â gallu a dylanwad ysbryd proffwydol; neu efe a ddisgynodd arno mor rymus ac argyhoeddiadol, fel nas gallai efe amau ei ddwyfol awdurdodiad ei hun, na chamgymeryd ei natur, na phetruso o berthynas i'w benodiad i'r swydd broffwydol. *Mab Buzi*—dywed rhai o'r rabbiniaid Iuddewig mai mab *Jeremi* oedd Ezeciel; a bod Jeremi yn cael ei alw *Buzi* ('fy nirmyg,') am ei fod yn ddirmygedig gan ei gydwladwyr: eithr nid yw hyn ddim ond dychymyg. *Yn nhir y Caldeaid, wrth afon Cebar*—gwel ar adn. 1. *Ac yno y bu llaw yr Arglwydd arno ef*—efe a deimlodd ddylanwad dwyfol yn cloi i fyny ei synwyrau yn erbyn gwrthddrychau allanol; ac yn agor ei olygon i ganfod y gweledigaethau, a'i glustiau i glywed y swn, a'i galon i dderbyn y naill a'r llall.

Adn. 4. *Yna yr edrychais*] Sylwais yn fanwl ar y pethau a ddanghosid i mi yn y weledigaeth: *ac wele yn dyfod o'r gogledd gorwynt*—yn arwyddo barnedigaethau trymion

4 ¶ Yna yr edrychais, ac wele
yn dyfod o'r gogledd gorwynt, *a*
chwmwl mawr, a thân yn ymgy-
meryd, a dysgleirdeb o amgylch
iddo; ac o'i ganol, *sef* o ganol y tân,
fel lliw amber.
5 Hefyd o'i ganol *y daeth* cyffel-
ybrwydd i bedwar peth byw. A
dyma eu hagwedd hwynt, Dull dyn
oedd iddynt.
6 A phedwar wyneb *i bob* un, a
phedair aden *i bob* un o honynt.
7 A'u traed yn draed uniawn; a
gwadn eu traed fel gwadn troed llo;
a gwreichioni yr oeddynt fel lliw
efydd gloew.
8 Ac *yr oedd* dwylaw dyn odditan
eu hadenydd, ar eu pedwar ystlys;
eu hwynebau hefyd a'u hadenydd
*oedd* ganddynt ill pedwar.
9 Eu hadenydd hwynt *oedd* wedi
eu cysylltu y naill wrth y llall: pan
gerddent ni thröent; aent bob un yn
uniawn rhag ei wyneb.
10 Dyma ddull eu hwynebau
hwynt; Wyneb dyn, ac wyneb llew,
*oedd* ar y tu deau iddynt ill ped-
war: ac wyneb ŷch o'r tu aswy
iddynt ill pedwar, ac wyneb eryr
iddynt ill pedwar.
11 Dyma eu hwynebau hwynt;
a'u hadenydd *oedd* wedi eu dos-

---

ar yr Iuddewon yn Judea oddiwrth y Caldeaid fe allai; *a chwmwl mawr*—yn arwyddo naill ai tywyllwch y gorchwyliaethau dwyfol, neu ynte luosogrwydd byddin y Caldeaid; *a thân yn ymgymeryd*—neu yn cyneu ynddo ei hun; *a dysgleirdeb o amgylch iddo*—yn arwyddo dadleniad eglur o santeiddrwydd a chyfiawnder Duw yn y cwbl: *ac o'i ganol, sef o ganol y tân, fel lliw amber*—i arwyddo ond odid fod gras a thrugaredd Duw yn ymddysgleirio yn nghanol profedigaethau tanllyd ei eglwys. *Amber* oedd fettel cymysg o aur ac arian, neu aur a phres; ac fel nad oedd hwn yn cael ei ysu yn nghanol y tân, gall ei fod yn arwyddo na fyddai i'r Iuddewon gael eu llwyr ddifa trwy y trallodau hyn, ond y byddai iddynt ddyfod allan yn burach o ffwrn cystudd, fel aur a phres o'r tân.

Adn. 5. *Hefyd o'i ganol y daeth cyffelybrwydd i bedwar peth byw*] Y rhai a elwir *cerubiaid*, pen. ix. 3, a x. 1, &c, Tybir yn gyffredin mai arddanghosiad arwydd-luniol o'r *angylion* santaidd oedd y rhai hyn, sef gweision Brenin y gogoniant, a gweinidogion ei RAGLUNIAETH ef yn nghyflawniad ei farnedigaethau ar bechaduriaid, yn gystal ag yn ngweinyddiad ei ffafrau i'w bobl. Yr oeddynt yn *bedwar* mewn rhifedi, i arwyddo ond odid eu bod ar waith yn mhedwar chwarter y byd. *A dyma eu hagwedd hwynt, Dull dyn oedd iddynt*—o ran llun neu ranau eu cyrff. Tybia rhai mai arddanghosiad o *ddynion* oeddynt yn gyffredin, y rhai a weinyddent dros Dduw fel offerynau ei ddialedd, neu weinidogion ei ras: gwel ar Gen. iii. 24, Dat. iv. 6—8. Eithr dywed *Greenhill* fod deuddeg o wahanol farnau o berthynas i'r *cerubiaid* hyn.

Adn. 6. *A phedwar wyneb i bob un*] Gwel ar adn. 10; *a phedair aden*—i arwyddo eu bod yn cyflawni eu gorchwylion gyda chyflymder a bywiogrwydd.

Adn. 7. *A'u traed yn draed uniawn*] Neu, yn ol y LXX, yr oedd eu 'coesau' yn uniawn fel coesau dyn, ac nid yn geimion fel coesau anifeiliaid; yr hyn, fe allai, a osodai allan uniondeb eu cyflawniadau. *A gwadn eu traed fel gwadn troed llo*—yn *fforchi* fel troed anifel glân, i nodi eu santeiddrwydd a'u purdeb; neu yn *grwn* fel troed llo, yn ol y *Galdeaeg*, i ddangos eu bod yn barod i ysgogi tuag unrhyw barth. *A gwreichioni yr oeddynt fel lliw efydd gloew*—i arwyddo eu sel a'u tanbeidrwydd yn ngwasanaeth Duw.

Adn. 8. *Ac yr oedd dwylaw dyn odditan eu hadenydd*] Yr oedd ganddynt nid yn unig *adenydd* i ehedeg, ond hefyd *dwylaw* i weithio; ac yr oedd y dwylaw hyny *dan* eu hadenydd, i arwyddo eu bod yn gwneyd y cwbl yn ddirgel a diymffrost. *Ar eu pedwar ystlys*—felly yr oedd ganddynt lawer o ddwylaw, am fod ganddynt lawer o waith i'w gyflawni. *Eu hwynebau hefyd a'u hadenydd oedd ganddynt ill pedwar*—yr hyn a adroddir eilwaith, fel y byddai iddo gael mwy o sylw: gwel ar adn. 6.

Adn. 9. *Eu hadenydd hwynt oedd wedi eu cysylltu*] I arwyddo eu perffaith gydgordiad yn nghyflawniad yr oll o ewyllys Duw. *Pan gerddent*—ar negesau pwysig dros eu Brenin; *ni thröent*—o'u llwybr at ryw orchwylion ereill nes eu cyflawni.

Adn. 10. *Dyma ddull eu hwynebau hwynt*] Nid oedd ond un corff i bob un; eithr yr oedd gan bob corff bedwar wyneb. *Wyneb dyn*—i arwyddo gwybodaeth, synwyr, a thosturi; *wyneb llew*—i arwyddo gwroldeb a hyfder diarswyd; *wyneb ŷch*—i arwyddo amynedd a diwydrwydd diflino; *ac wyneb eryr*—i arwyddo grym, bywiogrwydd, a chyflymdra. Fe allai fod wyneb *dyn* yn mlaen, wyneb *llew* ar y ddeau, wyneb *ŷch* ar yr aswy, ac wyneb *eryr* yn ol.

Adn. 11. *A'u hadenydd oedd wedi eu dosbarthu oddiarnodd*] Mewn agwedd hedegog, i arwyddo eu bod bob amser ar waith yn ngwasanaeth Duw. *Dwy i bob un wedi eu cysylltu â'u gilydd*—i ehedeg â hwynt; neu, yr oedd aden ddeau y cyntaf yn cyffwrdd âg aden aswy yr ail, ac aden ddeau yr ail yn cyffwrdd âg aden aswy y trydydd, &c. *A dwy oedd yn cuddio eu cyrff*—tra yr oedd pob un yn defnyddio dwy o'i adenydd i ehedeg, yr oeddynt a'r ddwy ereill yn cuddio eu cyrff: i arwyddo ond odid nad ydym ni ddynion yn alluog i ddeall natur angylion; neu i arwyddo eu bod yn cydnabod eu hanmher-

barthu oddiarnodd, dwy i bob un
wedi eu cysylltu â'u gilydd, a dwy
oedd yn cuddio eu cyrff.
12 Aent hefyd bob un yn uniawn
rhag ei wyneb; i'r lle y byddai yr
ysbryd ar fyned, yno yr aent; ni
thröent pan gerddent.
13 Dyma ddull y pethau byw;
Eu gwelediad oedd fel marwor tân
yn llosgi, *ac* fel gwelediad ffaglau:
yr oedd efe yn ymgerdded rhwng y
pethau byw, a dysglaer oedd y tân,
a mellt yn dyfod allan o'r tân.
14 Rhedai hefyd, a dychwelai y
pethau byw, fel gwelediad mellten.
15 ¶ Edrychais hefyd ar y pethau
byw: ac wele, ar lawr yn ymyl y
pethau byw un olwyn, gyda'i bed-
war wyneb.
16 Dull yr olwynion a'u gwaith
*oedd* fel lliw beryl: a'r un dull oedd
iddynt ill pedair; a'u gwedd hwynt
a'u gwaith fel pe byddai olwyn yn
nghanol olwyn.
17 Pan elent, aent ar eu pedwar
ochr: ni thröent pan gerddent.
18 Eu cantau hefyd oedd gyfuwch
ag yr oeddynt yn ofnadwy: a'u cant-

---

ffeithrwydd eu hunain fel creaduriaid yn mhresenoldeb gogoneddus eu Creawdwr.

Adn. 12. *Aent hefyd bob un yn uniawn rhag ei wyneb*] Neu ar ei gyfer, i'r fan lle yr oedd ganddo neges i'w chyflawni. *I'r lle y byddai yr ysbryd ar fyned*—sef Ysbryd Duw, yr hwn a gyfarwyddai eu holl symudiadau hwy; *yno yr aent*—yn ddioedi a diŵyrni: *ni thröent pan gerddent*—gwel ar adn. 9.

Adn. 13. *Dyma ddull y pethau byw*] Neu eu hymddanghosiad. *Eu gwelediad oedd fel marwor tân yn llosgi, ac fel gwelediad ffaglau*—yr hyn a all fod yn gosod allan eu sel angherddol yn ngwasanaeth Duw, neu eu digofaint tanllyd yn erbyn pechaduriaid anedifeiriol. *Yr oedd efe yn ymgerdded rhwng y pethau byw*—neu, 'fel lampau yn ymsymud i fyny ac i waered.'—LXX. *A dysglaer oedd y tân, a mellt yn dyfod allan o'r tân*—i arwyddo ond odid effeithiau dinystriol a chyflym eu gweinidogaeth ar wrthddrychau y dialedd dwyfol.

Adn. 14. *Rhedai hefyd, a dychwelai y pethau byw, fel gwelediad mellten*] Neu mor gyflym a mellten. Nid yw eu bod yn 'dychwelyd,' yn anghyson â'r hyn a ddywedir yn adn. 9, 12, 'pan gerddent ni thröent.' Yr oeddynt yn rhedeg yn union ar eu cyfer i'r fan lle yr oeddynt i wneuthur ewyllys Duw; ac yna yr oeddynt yn dychwelyd mor gyflym a mellten i roddi cyfrif o'u gwaith, ac i dderbyn gorchymyn newydd.

Adn. 15. *Edrychais hefyd ar y pethau byw*] Gan ystyried yn ddifrifol pa beth a allent fod yn ei arwyddo: *ac wele ar lawr yn ymyl y pethau byw un olwyn*—hyny yw, efe a welai yn ymyl pob un o'r pedwar peth byw un olwyn, yn gwneyd i fyny yn y cwbl bedair olwyn yn perthyn i'r un cerbyd mawreddog; *gyda'i bedwar wyneb*—sef naill ai wynebau y cerubiaid, adn. 10; neu ynte wynebau hanner-gylch yr olwynion: gwel ar adn. 16. Bernir yn gyffredin fod yr olwynion hyn hefyd yn arwyddo RHAGLUNIAETH DUW yn ei gweithrediadau dirgelaidd a'i chwyldroadau amrywiol. Y mae rhagluniaeth yn cynyrchu symudiadau parhaus: weithiau y mae un fraich i'r olwyn tuag i fyny, a phryd arall y llall; a'r rhai sydd yn ddyrchafedig heddyw, a allant fod erbyn y fory wedi eu darostwng i iselder.

Yr oedd y proffwyd yn gweled yr olwyn 'yn *ymyl* y pethau byw;' canys y mae yr angylion yn cael eu defnyddio fel gweinidogion rhagluniaeth, i gyfeirio ysgogiadau ail-achosion i wasanaethu bwriadau yr Anfeidrol.

Adn. 16. *Dull yr olwynion a'u gwaith*] Sef eu lliw a'u gwneuthuriad: *oedd fel lliw beryl*—sef gem prydferth o liw gwyrddlas y ffurfafen: *a'r un dull oedd iddynt ill pedair*—o ran llun, maintioli, a gwneuthuriad: *a'u gwedd hwynt a'u gwaith fel pe byddai olwyn yn nghanol olwyn*—gellir egluro hyn ddwy ffordd: (1) Yr oedd olwyn lai yn nghanol olwyn fwy, ac yn cael ei hysgogi neu ei throi ganddi; yr hyn a allai fod yn arwyddo y cysylltiad ag sydd rhwng achosion ac effeithiau. Neu, (2) Yr oedd olwyn wedi ei dodi yn *groes* yn nghanol olwyn, fel dau gylch cyfartal wedi eu dodi yn eu gilydd ar *draws;* a gall mai y pedwar hanner-cylch a ffurfid fel hyn, y rhai a wynebent ar groes tua phedwar chwarter y byd, a elwir yn *bedwar wyneb*, adn. 15. Os hwn oedd dull yr olwynion, gall ei fod yn arwyddo yr hyn a ymddengys i ni fel croes-ragluniaethau, neu ddyrysweh ymddangosiadol ffyrdd Duw yn nygiad yn mlaen achosion y byd. Yr oedd yr olwynion yn croesi eu gilydd, ac eto yn ymsymud dan lywodraethiad anfeidrol ddoethineb, cyfiawnder, a daioni.

Adn. 17. *Pan elent*] Pan fyddai yr olwynion mewn ysgogiad; *aent ar eu pedwar ochr*—hyny yw, *gallent* fyned ar eu pedair ochr; sef un cylch tua'r deau neu y gogledd: a'r cylch arall, ag ydoedd ar draws ynddo, tua'r dwyrain neu y gorllewin: neu ynte, pan fyddai un olwyn yn ymsymud tuag unrhyw bwynt, yr oedd yr olwyn draws ag ydoedd trwy ei chanol hi yn ymsymud hefyd. *Ni thröent pan gerddent*—ni thröent yn ol, neu ni ŵyrent oddiar eu llwybr, nes cyraedd pen eu taith; i arwyddo nad yw rhagluniaeth Duw byth yn methu cyraedd ei nôd, neu gyflawni ei hamcan a'i neges.

Adn. 18. *Eu cantau hefyd oedd gyfuwch ag yr oeddynt yn ofnadwy*] Yr oedd camegau neu gylch allanol yr olwynion mor uchel, nes yr oedd yn ddychryn edrych arnynt; i arwyddo uchder a dyfnder ffyrdd Duw, Rhuf. xi. 33. *A'u cantau oedd yn llawn llygaid*

au *oedd* yn llawn llygaid oddiam-
gylch ill pedwar.
19 A phan gerddai y pethau byw,
yr olwynion a gerddent wrthynt; a
phan ymgodai y pethau byw oddiar
y ddaear, yr ymgodai yr olwynion.
20 I'r lle *y byddai* yr ysbryd i
fyned, yr aent, yno yr *oedd* eu
hysbryd ar fyned; a'r olwynion a
ymgodent ar eu cyfer hwynt: canys
ysbryd y peth byw *oedd* yn yr ol-
wynion.
21 Cerddent pan gerddent hwyth-
au, a safent pan safent hwythau;
a phan ymgodent hwy oddiar y
ddaear, yr olwynion a ymgodent ar
eu cyfer hwythau: canys ysbryd y
peth byw *oedd* yn yr olwynion.
22 Ac *yr oedd* ar benau y pethau
byw ddull y ffurfafen, fel lliw gris-
ial ofnadwy, wedi ei hestyn dros eu
penau hwynt oddiarnodd.
23 A than y ffurfafen *yr oedd* eu
hadenydd hwynt yn uniawn, y naill
tuag at y llall: dwy i bob un, yn
eu cuddio o'r naill du, a dwy i bob
un yn cuddio eu cyrff, o'r tu arall.
24 A mi a glywn swn eu hadenydd
hwynt, fel swn dyfroedd lawer, fel
swn yr Hollalluog, pan gerddent:
swn lleferydd, fel swn llu: pan
safent, llaesent eu hadenydd.
25 Ac yr oedd llais oddiar y ffurf-
afen yr hon *oedd* ar eu penau
hwynt pan safent, *ac* y llaesent eu
hadenydd.
26 ¶ Ac oddiar y ffurfafen yr
hon *oedd* ar eu penau hwynt, *yr*

---

*oddiamgylch ill pedwar*—i arwyddo fod holl drefniadau rhagluniaeth Duw yn cael eu dwyn yn mlaen gan anfeidrol wybodaeth a doethineb, pa un bynag ai gyda golwg ar bersonau unigol, ynte cenhedloedd neu deyrnasoedd lluosog. Nid oes un troad neu ysgogiad o eiddo yr olwynion yn effaith damwain ddall, eithr y mae holl weithrediadau rhagluniaeth Duw yn meddu eu hamcan a'u dyben: y mae y *llygaid* yno. Ond tybia *Clarke* fod y llygaid hyn yn cyfeirio at yr ymddanghosiad o hoelion yn y cantau, i sicrhau modrwy a breichiau yr olwynion wrth eu gilydd.

Adn. 19. *A phan gerddai y pethau byw*] Sef y cerubiaid, adn. 5; *yr olwynion a gerddent wrthynt*—trwy eu bod mewn cysylltiad â'u gilydd, a bod ysbryd y peth byw yn yr olwynion hefyd, adn. 20: *a phan ymgodai y pethau byw oddiar y ddaear*—pan y byddent yn cael eu defnyddio at ryw wasanaeth uwchlaw trefn gyffredin naturiaeth; *yr ymgodai yr olwynion*—a hyny yn groes i'w tueddiad naturiol at y ddaear. Fe allai fod hyn yn arwyddo fod pob dygwyddiad daearol yn gysylltedig â dybenion nefol; neu fod effeithiau gweledig yn cael eu llywodraethu gan achosion anweledig.

Adn. 20. *I'r lle y byddai yr ysbryd i fyned*] Sef Ysbryd Duw, fel ei deallir yn gyffredin; *yr aent*—yr âi y pethau byw hefyd: *yno yr oedd eu hysbryd ar fyned*—trwy fod eu hewyllysiau hwy yn cael eu cyfarwyddo gan ewyllys Duw. *A'r olwynion a ymgodent ar eu cyfer hwynt*—trwy eu bod mewn cysylltiad â'u gilydd, ac yn cael eu cyfarwyddo gan yr un dylanwad dwyfol. *Canys ysbryd y peth byw oedd yn yr olwynion*—yr oedd bywyd ynddynt hwythau hefyd.

Adn. 21. *Cerddent pan gerddent hwythau, &c.*] Pan y byddai i'r pethau byw, neu y cerubiaid, gerdded, sefyll, neu ymgodi, gwnai yr olwynion yr un peth, trwy eu bod dan ddylanwad yr un ysbryd.

Adn. 22. *Ac yr oedd ar benau y pethau byw*] Sef uwch eu penau, ac uwchben yr olwynion hefyd; *ddull y ffurfafen*—sef ymddanghosiad tebyg i'r ffurfafen; *fel lliw grisial ofnadwy*—mor ddysglaer, llachar, a gogoneddus, nes yr oedd yr olygfa yn ddigon i ddallu a dychrynu yr edrychydd. Gallai hyn fod yn arwyddo, pa mor dywyll ac aneglur bynag y gall pethau rhagluniaeth ymddangos i ni ar y ddaear, fod y cwbl yn oleu gyda Duw.

Adn. 23. *A than y ffurfafen yr oedd eu hadenydd hwynt yn uniawn*] Wedi eu hestyn allan yn barod i ehedeg; *y naill tuag at y llall*—yn barod i ymsymud mewn cydgordiad â'u gilydd, neu yn cyflwrdd â'u gilydd: gwel ar adn. 11. *Dwy i bob un yn eu cuddio o'r naill du, a dwy i bob un yn cuddio eu cyrff o'r tu arall*—casgla rhai oddiyma fod gan bob un chwech o adenydd, fel y seraphiaid a grybwyllir Esay vi. 2, a Dat. iv. 8: ond y mae yn debycach mai cyfeiriad sydd yma at eu hagwedd pan safent, ac y llaesent eu hadenydd; canys dywedir mai pedair aden oedd i bob un, adn. 6.

Adn. 24. *A mi a glywn swn eu hadenydd hwynt*] Pan yn ehedeg i gyflawni ewyllys Duw; *fel swn dyfroedd lawer*—yn rhuthro dros greigiau yn rhaiadr ffrochwyllt; *fel swn yr Hollalluog*—yn taranu yn y nefoedd; *swn lleferydd, fel swn llu*—yn bloeddio mewn rhyfel; yr hyn a all arwyddo lluosogrwydd byddin y Caldeaid, neu amledd yr ysbrydion gwasanaethgar hyn. *Pan safent*—gerbron Duw ar ol cyflawni eu neges; *llaesent eu hadenydd*—sef y ddwy aden â pha rai yr ehedent, i ddysgwyl am orchymyn newydd gan eu Brenin.

Adn. 25. *Ac yr oedd llais oddiar y ffurfafen yr hon oedd ar eu penau hwynt, pan safent, &c.*] Yn datgan cymeradwyaeth y Goruchaf o'u gwasanaeth hwynt, neu yn rhoddi cenadwri newydd iddynt drachefn; neu ynte, fel y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, 'Pan fyddai llais uwch eu penau, hwy a safent, ac a

*oedd* cyffelybrwydd gorseddfainc, fel
gwelediad maen saphir, ac ar gy-
ffelybrwydd yr orseddfainc *yr oedd*
oddiarnodd arno ef gyffelybrwydd
megys gwelediad dyn.
27 Gwelais hefyd megys lliw
amber, fel gwelediad tân o'i fewn o
amgylch: o welediad ei lwynau ac
uchod, ac o welediad ei lwynau ac
isod, y gwelais megys gwelediad
tân, a dysgleirdeb iddo oddiam-
gylch.
28 Fel gweledisd y bwa a fydd
yn y cwmwl ar ddydd gwlawog, fel
hyn *yr oedd* gweledisd y dysgleirdeb
o amgylch. Dyma welediad cyffel-
ybrwydd gogoniant yr Arglwydd.
A phan welais, syrthiais ar fy
wyneb, a chlywais lais un yn llef-
aru.

PENNOD II.

AC efe a ddywedodd wrthyf, Mab
dyn, saf ar dy draed, a mi a
lefaraf wrthyt.
2 A'r ysbryd a aeth ynof, pan
lefarodd efe wrthyf, ac a'm gosod-
odd ar fy nhraed, fel y clywais yr
hwn a lefarodd wrthyf.
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Mab dyn, yr ydwyf fi yn dy ddanfon
di at feibion Israel, at genedl wrth-

---

laesent eu hadenydd,' sef mewn agwedd wrandawgar ar y llais hwnw.

Adn. 26. *Ac oddiar y ffurfafen*] Yr hon oedd uwch eu penau hwynt, adn. 22; *yr oedd cyffelybrwydd gorseddfainc*—yn arwydd ond odid o lywodraeth benarglwyddiaethol Duw dros ei holl greaduriaid yn y nefoedd ac ar y ddaear; *fel gweledisd maen saphir*—yr hwn sydd o liw glas dysglaer a phrydferth. *Ac ar gyffelybrwydd yr orseddfainc yr oedd oddiarnodd arno ef*—neu arni *hi*, sef ar yr orseddfainc; *gyffelybrwydd megys gwelediad dyn*—hwn yn ddiamau oedd Mab y dyn, yr ail Berson yn y Drindod Santaidd, yr hwn 'yn nghyflawnder yr amser' a gymerodd arno natur dyn, ac a gaed 'mewn dull fel dyn,' Gal. iv. 4, Phil. ii. 8; ac i'r hwn y 'rhoddwyd pob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear,' Mat. xxviii. 18. Yr oedd hwn yn ddelw weledig o'i Dad anweledig; canys 'ni welodd neb Dduw erioed,' Ioan i. 18, 1 Tim. vi. 16.

Adn. 27. *Gwelais hefyd megys lliw amber*] Gwel ar adn. 4; *fel gwelediad tân o'i fewn o amgylch*—sef o fewn yr amber: *o welediad ei lwynau ac uchod*—hyny yw, yr oedd gwelediad yr hwn oedd ar yr orseddfainc, o'i lwynau i fyny, yn gyffelyb i lewyrch yr aur dysgleiriaf yn nghanol y goleuni tanbeidiaf; yr hyn a arwyddai, yn ol rhai, ei natur DDWYFOL ef: *ac o welediad ei lwynau ac isod, y gwelais megys gwelediad tân*—hyny yw, yr oedd ei aelodau, o'i lwynau i waered, yn debyg yr olwg arnynt i golofnau o dân: yr hyn a allai fod yn arwyddo ei natur DDYNOL ef. Neu gallai hyn oll fod yn arwyddion o'i ddialedd difaol ef, fel Duw-dyn, yn erbyn ei elynion. *A dysgleirdeb iddo oddiamgylch*—megys dysgleirdeb enfys: gwel isod.

Adn. 28. *Fel gwelediad y bwa a fydd yn y cwmwl ar ddydd gwlawog*] Sef yr enfys, yr hon a elwir yn *fwa* oddiwrth ei ffurf hannercrwn; *fel hyn yr oedd gwelediad y dysgleirdeb o amgylch*—oddiwrth Gen. ix. 12—16, nyni a ddysgwn fod yr enfys wedi ei gosod yn arwydd o *gyfammod* Duw â dynion; gan hyny yr oedd ymddanghosiad yr enfys yn y weledigaeth hon yn arwydd y byddai i Dduw yn nghanol ei farnedigaethau trymion gofio trugaredd, a'i gyfammod âg Abraham, Isaac, a Jacob, rhan o ba un oedd, y byddai i weddill o'u had hwy barhau o hyd. *Dyma welediad cyffelybrwydd gogoniant yr Arglwydd*—ni ddywed y proffwyd 'gwelediad *gogoniant* yr Arglwydd,' ond, 'gwelediad *cyffelybrwydd* ei ogoniant;' am nad yw y llawn ddatguddiad o ogoniant digrëedig Duw yn beth posibl i ni yn y cyflwr marwol hwn, Exod. xxxiii. 20—23; eithr cedwir ef oddiwrthym hyd y bywyd dyfodol, 1 Cor. xiii. 12, 1 Ioan iii. 2. *A phan welais, syrthiais ar fy wyneb*—wedi ei lwyr orchfygu gan yr olwg a gawsai ar gyffelybrwydd gogoniant Jehofa, neu ynte mewn teimlad gostyngedig o'i waeledd ei hun, ac mewn addoliad i Dduw oddiar barchedig ofn. *A chlywais lais un yn llefaru*—sef y Person gogoneddus ag ydoedd yn eistedd ar yr orseddfainc, adn. 26. Yr hyn oll a *welsai* y proffwyd, oedd i'w barotoi ef erbyn yr hyn a *glywai*, fel ei mynegir yn y pennodau canlynol.

PEN. II. Adn. 1. *Ac efe a ddywedodd wrthyf*] Sef y Person gogoneddus ag ydoedd yn eistedd ar yr orseddfainc, pen. i. 26. *Mab dyn*—hyny yw, 'mab *Addaf*,' yr hwn wyt dy hunan yn bechadur wrth natur; neu 'fab *daear*,' yr hwn wyt frau a marwol. Gelwir Ezeciel fel hyn oddeutu 95 o weithiau yn y llyfr hwn, i ddwyn ar gof iddo nad oedd efe, er yr holl ddatguddiadau gogoneddus hyn a wneid iddo, ddim ond 'mab dyn,' sef creadur gwael, egwan, marwol, a phechadurus: gwel ar Salm viii. 4, 5. *Saf ar dy draed*—yr oedd y weledigaeth a gawsai wedi peri iddo syrthio ar ei wyneb, pen. i. 28; ond yma gorchymynir iddo sefyll ar ei draed, mewn agwedd addas i wrando a gweithredu. *A mi a lefaraf wrthyt*—y pethau ag y rhaid i ti eu gwneuthur.

Adn. 2. *A'r ysbryd a aeth ynof pan lefarodd efe wrthyf*] Sef yr un Ysbryd dwyfol ag a ydoedd yn y pethau byw ac yn yr olwynion, pen. i. 20; *ac a'm gosododd ar fy nhraed*—yr oedd gallu i sefyll yn cael ei roddi iddo ar unwaith a'r gorchymyn: a galluogwyd ef hefyd i glywed yr hyn a leferid wrtho, ac i ufyddhau iddo.

ryfelgar, y rhai a wrthryfelasant
i'm herbyn; hwynt-hwy a'u tadau
a droseddasant i'm herbyn, hyd
gorff y dydd hwn.
4 Meibion wyneb-galed hefyd a
chadarn-galon yr wyf fi yn dy ddan-
fon atynt: dywed dithau wrthynt,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw.
5 A pha un bynag a wnelont ai
gwrandaw ai peidio, (canys tŷ
gwrthryfelgar *ydynt,*) eto cânt wyb-
od fod proffwyd yn eu mysg hwynt.
6 ¶ Tithau, fab dyn, nac ofna
rhagddynt, ac na arswyda er eu
geiriau hwynt, er *bod* gwrthryfel-
wyr a drain gyda thi, a tithau yn
trigo yn mysg ysgorpionau: nac
ofna rhag eu geiriau hwynt, ac na
ddychryna gan eu hwynebau hwynt,
er mai tŷ gwrthryfelgar *ydynt.*
7 Eto llefara di fy ngeiriau wrth-
ynt, pa un bynag a wnelont ai
gwrandaw ai peidio; canys gwrth-
ryfelgar *ydynt.*
8 Tithau fab dyn, gwrando yr hyn
yr ydwyf fi yn ei lefaru wrthyt, Na
fydd di wrthryfelgar fel y tŷ gwrth-
ryfelgar hwn: lleda dy safn, a
bwyta yr hyn yr ydwyf fi yn ei
roddi i ti.
9 ¶ Yna yr edrychais, ac wele
law wedi ei hanfon ataf, ac wele
ynddi blyg llyfr.
10 Ac efe a'i dadblygodd o'm
blaen i: ac *yr oedd* efe wedi ei
ysgrifenu wyneb a chefn; ac *yr
oedd* wedi ysgrifenu arno, galar, a
griddfan, a gwae.

## PENNOD III.

AC efe a ddywedodd wrthyf, Mab
dyn, bwyta yr hyn a gaffych,
bwyta y llyfr hwn, a dos *a* llefara
wrth dŷ Israel.

---

Adn. 3. *Mab dyn, yr ydwyf fi yn dy ddanfon di at feibion Israel*] Yn bersonol at y rhai hyny ag oeddynt yn awr yn gaethion wrth afon Cebar, ac hefyd yn weinidogaethol at holl blant Israel yn mhob man, y rhai a gyrhaeddai efe yn fuan neu yn hwyr trwy ei ysgrifeniadau. *At genedl wrthryfelgar*—Hebr., 'at genhedloedd gwrthryfelgar,' sef yr Iuddewon a phlant Israel. *Hwynt-hwy a'u tadau a droseddasant i'm herbyn hyd gorff y dydd hwn*—o'r Aifft hyd yma.

Adn. 4. *Meibion wyneb-galed hefyd a chadarn-galon*] Rhai digywilydd ac ystyfnig. *Dywed dithau wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—dangos iddynt mai cenadwri oddiwrth Dduw sydd genyt atynt.

Adn. 5. *A pha un bynag a wnelont ai gwrandaw ai peidio*] Ar fy nghenadwri i trwyot ti; *canys tŷ gwrthryfelgar ydynt*—ac felly nid oes fawr o obaith y gwrandawant: *eto cânt wybod fod proffwyd yn eu mysg hwynt*—wrth weled dy ragfynegiadau yn dyfod i ben: neu, cai y rhai a wrandawent wybod hyny, trwy y daioni a wneid iddynt; a chai y rhai ni wrandawent ei wybod, trwy y drygau a ddygid arnynt hwythau. Fel hyn byddent yn hollol ddiesgus, heb ganddynt le i achwyn na rybyddiwyd hwy o'u perygl.

Adn. 6. *Tithau, fab dyn, nac ofna rhagddynt*] Rhag eu camdriniaeth o honot; *ac na arswyda er eu geiriau hwynt*—sef eu gwawd a'u bygythion; *er bod gwrthryfelwyr a drain gyda thi*—Saes., 'er bod *mieri* a drain gyda thi,' sef dynion pigog a chas fel mieri a drain; *a thithau yn trigo yn mysg ysgorpionau*—neu ddynion mor wenwynig a pheryglus ag ysgorpionau. *Na ddychryna gan eu hwynebau hwynt*—wrth weled eu hedrychiad sarig a milcinig; *er mai tŷ gwrthryfelgar ydynt*—neu bobl anufydd, gwrthnysig, a chreulon.

Adn. 7. *Eto llefara di fy ngeiriau wrthynt*] Pa beth bynag fyddo y canlyniad: gwel ar adn 5.

Adn. 8. *Na fydd di wrthryfelgar fel y tŷ gwrthryfelgar hwn*] Trwy beidio myned atynt pan yr wyf fi yn dy anfon, neu trwy wrthod llefaru wrthynt fy holl eiriau i yn ddidderbyn wyneb. *Lleda dy safn, a bwyta yr hyn yr ydwyf fi yn ei roddi i ti*—derbyn fy holl eiriau i i'th feddwl a'th galon, a myfyria arnynt a deall hwynt, fel y byddot barod at dy waith.

Adn. 9. *Yna yr edrychais, ac wele law wedi ei hanfon ataf*] Oddiwrth yr hwn a eisteddai ar yr orseddfaine; *ac wele ynddi blyg llyfr*—neu leni o femrwn wedi eu gwnïo yn nghyd, a'u rholio i fyny o amgylch rhol o bren neu ifori, yn cynwys y broffwydoliaeth ganlynol.

Adn. 10. *Ac efe a'i dadblygodd o'm blaen i*] Fel y gallwn ddarllen ei gynwysiad: *ac yr oedd efe wedi ei ysgrifenu wyneb a chefn*—hyny yw, yr oedd ysgrifen ar bob tu i'r leni hyny, trwy fod y broffwydoliaeth yn hir a llawn; tra nad oedd ysgrifen yn y cyffredin ond ar un tu i'r cyfryw leni. *Ac yr oedd wedi ysgrifenu arno, galar, a griddfan, a gwae*—neu ragfynegiadau o farnedigaethau trymion, y rhai a barent i'r genedl Iuddewig alar, griddfan, a gwae. Mor ddiolchgar y dylem ni fod am yr EFENGYL, yr hon sydd 'newyddion da o lawenydd mawr i'r holl bobl!'

PEN. III. Adn. 1. *Mab dyn, bwyta yr hyn a gaffych*] Sef y llyfr hwnw a ddadblygwyd o'i flaen, pen. ii. 10; hyny yw, derbyn ei gynwysiad i'th feddwl a'th galon fel gwir-

2 Yna mi a agorais fy safn, ac efe
a wnaeth i mi fwyta y llyfr hwnw.
3 Dywedodd hefyd wrthyf, Bwyda
dy fol, a llanw dy berfedd, fab dyn,
â'r llyfr hwn yr ydwyf fi yn ei roddi
atat. Yna y bwyteais; ac yr oedd
efe yn fy safn fel mêl o felysder.
4 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Mab dyn, cerdda, dos at dŷ Israel,
a llefara â'm geiriau wrthynt.
5 Canys nid at bobl o iaith ddy-
eithr ac o dafodiaith galed y'th
anfonir di, *ond* at dŷ Israel;
6 Nid at bobloedd lawer o iaith
ddyeithr ac o dafodiaith galed, y
rhai ni ddealli eu hymadroddion.
Oni wrandawsai y rhai hyny arnat,
*pe* y'th anfonaswn atynt?
7 Eto tŷ Israel ni fynant wrandaw
arnat ti; canys ni fynant wrandaw
arnaf fi: oblegid tal-gryfion a chal-
ed-galon *ydynt* hwy, holl dŷ Israel.
8 Wele, gwnaethym dy wyneb yn
gryf yn erbyn eu hwynebau hwynt,
a'th dal yn gryf yn erbyn eu talcenau
hwynt.
9 Gwnaethym dy dalcen fel ada-
mant, yn galetach na'r gallestr:
nac ofna hwynt, ac na ddychryna
rhag eu hwynebau, er mai tŷ gwrth-
ryfelgar *ydynt*.
10 Dywedodd hefyd wrthyf, Ha
fab dyn, derbyn â'th galon, a chlyw
â'th glustiau, fy holl eiriau a lefar-
wyf wrthyt.
11 Cerdda hefyd, *a* dos at y
gaethglud, at feibion dy bobl, a llef-
ara hefyd wrthynt, a dywed wrthynt,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; pa un bynag a wnelont ai
gwrandaw ai peidio.
12 Yna yr ysbryd a'm cymerodd,

---

ionedd pwysig a sicr: *a dos a lefara wrth dŷ Israel*—y pethau a ysgrifenwyd ynddo.

Adn. 2. *Yna mi a agorais fy safn*] Mewn ufydd-dod iddo; *ac efe a wnaeth i mi fwyta y llyfr hwnw*—efe a'i rhoddodd yn fy safn. Hyn oll ydoedd weledigaethol, ac nid llythyrenol; neu osodiad arwyddocaol o Ezeciel yn ei swydd, fel y gosodwyd Esay trwy gyffyrddiad y marworyn â'i enau, pen. vi. 7, a Jeremi trwy gyffyrddiad Duw, pen. i. 9.

Adn. 3. *Bwyda dy fol, a llanw dy berfedd, fab dyn, â'r llyfr hwn*] Nid oedd yn ddigon i'r proffwyd archwaethu y llyfr, eithr yr oedd yn rhaid iddo ei lyncu a'i dreulio; hyny yw, yr oedd yn rhaid iddo fyfyrio arno, ei ddeall, a'i gofio. *Ac yr oedd efe yn fy safn fel mêl o felysder*—yr oedd yn felys ganddo feddwl ei fod wedi cael ei osod yn y swydd broffwydol, ac ymhyfrydai yn y gobaith o allu bod yn offerynol i ddiwygio a dychwelyd rhai o'i frodyr: gwel ar Dat. x. 10.

Adn. 4. *Mab dyn, cerdda, dos at dŷ Israel*] Sef at dy frodyr, pobl o'r un iaith a thithau, pen. ii. 3; *a llefara â'm geiriau wrthynt*—y rhai sydd ysgrifenedig yn y llyfr hwn, a'r rhai a fynegaf i ti eto.

Adn. 5. *Canys nid at bobl o iaith ddyeithr ac o dafodiaith galed*] Megys y Caldeaid, y Mediaid, a'r Persiaid; *y'th anfonir di*—fel yr anfonwyd Jonah at y Ninefeaid: *ond at dŷ Israel*—dy genedl dy hun, a phobl o'r un iaith a thithau.

Adn. 6. *Nid at bobloedd lawer o iaith ddyeithr ac o dafodiaith galed, y rhai ni ddealli eu hymadroddion*] Fel yr anfonwyd yr apostolion wedi hyn 'i'r holl fyd, i bregethu yr efengyl i bob creadur.' *Oni wrandawsai y rhai hyny arnat, pe y'th anfonaswn atynt?*—hyny yw, buasai i Dduw ddysgu i'r proffwyd eu tafodiaith hwy, neu ynte buasai iddynt hwy eu hunain chwilio am gyfieithydd i egluro iddynt ei ymadroddion. Ymddengys fod hyn yn cael ei ddywedyd wrth y proffwyd i'w galonogi ef yn ei waith, neu ynte i nodi allan galedrwydd ac ystyfnigrwydd ei genedl ei hun ragor pawb ereill.

Adn. 7. *Eto tŷ Israel ni fynant wrandaw arnat ti*] Er eu bod yn deall dy iaith; *canys ni fynant wrandaw arnaf fi*—yr hyn sydd yn fwy rhyfeddod. Ni wrandawant ar fy addewidion na'm bygythion i, fy nghynghor na'm cerydd. *Oblegid tal-gryfion a chaled-galon ydynt hwy*—pobl o dalcen a chalon galed a digywilydd: gwel ar pen. ii. 4.

Adn. 8. *Wele, gwnaethym dy wyneb yn gryf*] Yn hyf a gwrol i wynebu arnynt; *a'th dal*—sef ei dalcen, *yn gryf yn erbyn eu talcenau hwynt*—cynysgaeddais di â phob cymhwysder i lefaru yn ddewr a diarswyd wrthynt. Fel hyn rhaid i bechaduriaid hyfion gael argyhoeddwyr hyfion.

Adn. 9. *Gwnaethym dy dalcen fel adamant*] Yn rhy galed i'w bygythion hwy allu gwneyd argraff arno: *nac ofna hwynt, &c.*—gwel ar pen. ii. 6.

Adn. 10. *Ha fab dyn, derbyn â'th galon, a chlyw â'th glustiau*] Sylwa yn fanwl ar fy holl eiriau, a thrysora hwynt yn dy feddwl a'th gof. Y mae y geiriau hyn o'r un ystyr a'r gorchymyn yn adn. 3.

Adn. 11. *Cerdda hefyd, a dos at y gaethglud*] Sydd yn aros wrth afon Chebar, adn. 15; *a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—nid yn unig rhaid iddo ddywedyd wrthynt eiriau yr Arglwydd, ond rhaid iddo ddywedyd hefyd mai geiriau yr Arglwydd ydynt, neu mai efe a'u llefarodd: *pa un bynag a wnelont ai gwrandaw ai peidio*—gwel ar pen. ii. 4—7.

Adn. 12. *Yna yr ysbryd a'm cymerodd*] Darfu i Ysbryd Duw ei gyfodi ef o'r fan lle yr ydoedd, a'i gymeryd ymaith i Tel-abib, adn. 14, 15: *a chlywais swn cynhwrf mawr o'm hol*—sef swn adenydd y pethau byw a'r ol-

a chlywn swn cynhwrf mawr o'm
hol, *yn dywedyd,* Bendigedig *fyddo*
gogoniant yr Arglwydd o'i le.
13 A swn adenydd y pethau byw
oedd yn cyffwrdd â'u gilydd, a swn
yr olwynion ar eu cyfer hwynt, a
swn cynhwrf mawr.
14 A'r yspryd a'm cyfododd, ac
a'm cymerodd ymaith, a mi a aeth-
ym yn chwerw yn angerdd fy
ysbryd; ond llaw yr Arglwydd *oedd*
gref arnaf.
15 ¶ A mi a ddaethym i Tel-abib,
at y gaethglud oedd yn aros wrth
afon Cebar, a mi a eisteddais lle
yr oeddynt hwythau yn eistedd, ïe,
eisteddais yno saith niwrnod yn syn
yn eu plith hwynt.
16 Ac yn mhen y saith niwrnod
y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan
ddywedyd,
17 Mab dyn, mi a'th wnaethym
di yn wyliedydd i dŷ Israel: am
hyny gwrandaw y gair o'm genau, a
rhybyddia hwynt oddiwrthyf fi.
18 Pan ddywedwyf wrth y dryg-
ionus, Gan farw y byddi farw; oni
rybyddi ef, ac oni lefari i rybyddio
y drygionus oddiwrth ei ddryg-
ffordd, fel y byddo byw; y drygion-

---

wonion, fel y dywedir yn yr adnod nesaf; *yn dywedyd*—felly yr oedd y pethau byw, neu y cerubiaid, nid yn unig yn swnio â'u hadenydd, ond hefyd yn dywedyd â'u lleisiau, *Bendigedig fyddo gogoniant yr Arglwydd*—ymddengys mai cydgân yr angylion santaidd hyny yw y geiriau hyn, yn moliannu ac yn bendithio Duw am ei farnedigaethau cyfiawn; *o'i le*—rhoddir tri ystyr i'r ymadrodd hwn: (1) O'r *nefoedd,* lle yr oedd ei ogoniant ef yn ymddangos yn awr fel yn disgyn o hono, neu yn esgyn iddo. (2) O'r *deml* yn Jerusalem, lle yr oedd ei ogoniant ef yn awr ar ymadael o hono: felly, tra yr oedd yr angylion fel yn galaru o herwydd ymadawiad y gogoniant o'i le hwnw, y maent ar yr un pryd yn bendithio Duw o herwydd cyfiawnder ei farnedigaethau. (3) Neu *yn ei le;* hyny yw, bendithier ef yn mhob man o'i lywodraeth eang.

Adn. 13. *A swn adenydd y pethau byw, &c.*] Yr oedd y pethau byw a'r olwynion yn awr mewn ysgogiad i gyflawni bwriadau Duw, ac yn peri swn cynhwrf mawr: gwel ar pen. i. 24.

Adn. 14. *A'r ysbryd a'm cyfododd, ac a'm cymerodd ymaith*] Fel y cipiwyd Philip oddiwrth yr eunuch, Act. viii. 39; *a mi a aethym yn chwerw yn angerdd fy ysbryd*—pan y derbyniodd efe y genadwri ddwyfol ar y cyntaf, yr oedd yn ei theimlo yn hyfryd fel y mêl, adn. 3; ond pan yn cael ei anfon i'w thraethu i'r rhai ni wnaent ond ymddigio wrth ei gwrandaw, a dangos pob anmharch iddo yntau, y mae ei ysbryd yn ymgynhyrfu mewn chwerwedd ac anfoddlonrwydd; neu yr oedd ef yn anfoddlon i gyhoeddi y blinderau trymion a ddeuent ar ei frodyr. Yma y gwelwn nad yw y goraf o ddynion ddim ond dynion ar y goraf. *Ond llaw yr Arglwydd oedd gref arnaf*—yn fy ngorfodi i fyned yn mlaen, er mor anfoddlon oeddwn.

Adn. 15. *A mi a ddaethym i Tel-abib*] Lle neu dref yn uwch i fyny yn Mesopotamia, ond eto ar lan yr afon Cebar; a barna rhai ei bod yn drefedigaeth wahanol i'r hon a grybwyllwyd pen. i. 1, 3: gwel adn. 23 o'r bennod hon. *A mi a eisteddais lle yr oeddynt hwythau yn eistedd*—hyny yw, efe a arhosodd yno yn mhlith ei frodyr; *ïe, eisteddais yno saith niwrnod yn syn yn eu plith hwynt*—heb draethu iddynt fy nghenadwri. Yr oedd yn naturiol iddo fod mewn *syndod,* o herwydd y pethau a welsai ac a glywsai, a chan deimlad o'r pethau brawychus ag oeddynt ganddo i'w traethu. Ond paham yr eisteddodd efe yno saith niwrnod? Tybia rhai mai i aros i'r sabboth wawrio, fel y gallai efe ddechreu ar ei weinidogaeth ar y dydd hwnw; tybia ereill mai dysgwyl am hysbysrwydd pellach oddiwrth Dduw yr ydoedd; tra y barna ereill mai ei amcan ydoedd aros yn ddystaw am yr yspaid hwnw, fel y gallai wybod yn fanylach am gyflwr y bobl yn mysg pa rai yr oedd i broffwydo, a'u parotoi i wrandaw gyda mwy o ddifrifwch. Neu gall fod yr Arglwydd yn attal ei ddatguddiadau pellach oddiwrtho dros saith niwrnod, i'r dyben i ddarostwng a cheryddu y chwerwder a'r angerdd ysbryd ag yr addefa efe ei fod ynddo, fel y byddai iddo draethu ei genadwri yn ysbryd a chariad y gwirionedd.

Adn. 16. *Ac yn mhen y saith niwrnod*] Ar ol iddo ddyfod i Tel-abib, canys efe a ddaethai yno ond odid ar yr un dydd ag y gwelsai efe weledigaethau Duw, pen. i. 1; *y daeth gair yr Arglwydd ataf*—fel yr adroddir isod. Ar ddydd yr Arglwydd y cafodd Ioan ei weledigaethau wedi hyn, Dat. i. 10.

Adn. 17. *Mab dyn, mi a'th wnaethym di yn wyliedydd i dŷ Israel*] Y mae y proffwydi yn cael eu galw yn 'wyliedyddion,' am eu bod, fel y gwyliedyddion a osodid ar y tyrau i wylio dyfodiad y gelyn, yn cael eu galluogi i ragweled y drygau a ddeuent ar yr annuwiolion, ac i roddi rhybydd prydlon i'r bobl, fel y gallent eu gochelyd hwy trwy wir edifeirwch a diwygiad. *Am hyny gwrandaw y gair o'm genau, a rhybyddia hwynt oddiwrthyf fi*—yn gyntaf cymer rybydd dy hunan, ac yna dyro rybydd i'r bobl yn fy enw i.

Adn. 18. *Pan ddywedwyf wrth y drygionus*] Trwy fygythion fy ngair, neu trwy fy Ysbryd yn dy gynhyrfu di i roddi rhybydd prydlon iddo; *Gan farw y byddi farw*—yn dymhorol ac ysbrydol, oddieithr i'th wir edifeirwch ragflaenu y dinystr hwnw. *Oni rybyddi ef*—gan ei annog i adael ei ffordd ddrygionus, ac edifarhau am dani; *fel y byddo byw*

us hwn a fydd marw yn ei anwir-
edd: ond ei waed ef a ofynaf fi ar
dy law di.
19 Ond os rhybyddi y drygionus,
ac yntau heb droi oddiwrth ei ddryg-
ioni, na'i ffordd ddrygionus, efe a
fydd marw yn ei ddrygioni; ond ti
a achubaist dy enaid.
20 Hefyd pan ddychwelo y cyf-
iawn oddiwrth ei gyfiawnder, a
gwneuthur camwedd, a rhoddi o
honof dramgwydd o'i flaen ef, efe
fydd marw: am na rybyddiaist ef,
am ei bechod y bydd efe marw, a'i
gyfiawnder yr hwn a wnaeth efe ni
chofir; ond ei waed ef a ofynaf ar dy
law di.
21 Ond os tydi a rybyddi y cyf-
iawn, rhag pechu o'r cyfiawn, ac na
phecho efe; gan fyw y bydd efe
byw, am ei rybyddio: a thithau a
achubaist dy enaid.
22 ¶ Ac yno y bu llaw yr Ar-
glwydd arnaf, ac efe a ddywedodd
wrthyf, Cyfod, dos i'r gwastadedd,
ac yno y llefaraf wrthyt.
23 Yna y cyfodais, ac a aethym
i'r gwastadedd: ac wele ogoniant
yr Arglwydd yn sefyll yno, fel y
gogoniant a welswn wrth afon
Cebar: a mi a syrthiais ar fy
wyneb.
24 Yna yr aeth yr yspryd ynof,
ac a'm gosododd ar fy nhraed, ac a

---

—fel yr arbedid ei fywyd ac yr achubid ei enaid: *y drygionus hwn a fydd marw yn ei anwiredd*—dan yr holl lwyth a'r euogrwydd o hono: *ond ei waed ef a ofynaf fi ar dy law di*—ystyriaf di fel llofrudd ei enaid ef, a bydd i tithau golli dy enaid am esgeuluso y ddyledswydd o geisio cadw ei enaid ef. Mor druenus y rhaid fod uffern y gweinidog esgeulus a diofal hwnw, yr hwn a â i'r farn â gwaed mil o'i wrandawyr yn cael ei ofyn ar ei law ef!

Adn. 19. *Ond os rhybyddi y drygionus*] O'i bechod a'i berygl, gan ddangos iddo ffordd o ddiangfa, a'i annog i ffoi rhag y llid a fydd; *ac yntau heb droi oddiwrth ei ddrygioni, na'i ffordd ddrygionus*—ond myned yn mlaen yn gyndyn yn ei bechodau; *efe a fydd marw yn ei ddrygioni*—yn anocheladwy: *ond ti a achubaist dy enaid*—oddiwrth yr euogrwydd o fod yn llofrudd ei enaid ef, adn. 18.

Adn. 20. *Hefyd*] Gallaf ddywedyd i ti wirionedd arall: *pan ddychwelo y cyfiawn*—sef un gwir gyfiawn, yr hwn y byddo ei berson wedi ei gyfiawnhau, ei natur wedi ei hadnewyddu trwy olchiad yr adenedigaeth, a'i holl fuchedd mewn cydymffurfiad âg ewyllys santaidd Duw; *oddiwrth ei gyfiawnder*—greddfol ac ymarferol hwnw; *a gwneuthur camwedd*—yr hyn y tystia yr holl ysgrythyr ei fod yn dra phosibl, a'r hyn y dengys profiad a siamplau ei fod yn dygwydd yn fynych: *a rhoddi o honof dramgwydd o'i flaen ef*—neu '*oddef* o honof i dramgwydd gael ei roddi o'i flaen ef,' yr hwn y gallasai efe er hyny fyned drosto yn ddigwymp; neu *ddinystr*, fel y mae y gair yn cael ei gyfieithu weithiau: hyny yw, a dwyn o honof *ddinystr* arno o herwydd iddo 'ddychwelyd oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur camwedd.' *Efe fydd marw*—yn ei bechod yn anocheladwy, os nad edifarha efe am dano. *Am na rybyddiaist ef, am ei bechod y bydd efe marw*—Saes., 'am na rybuddiaist ef, efe a fydd farw *yn* ei bechod.' *A'i gyfiawnder yr hwn a wnaeth efe ni chofir*—ni fydd o un lles iddo i'w gadw rhag cospedigaeth, gan iddo 'ddychwelyd oddiwrtho,' fel y dywedir uchod. *Ond ei waed ef a ofynaf ar dy law di*—am na rybyddiaist ef o'i berygl cyn iddo gwympo, ac na ddanghosaist iddo y ffordd a'i adferyd ar ol iddo gwympo: gwel ar pen. xviii. 24, 26, a xxxiii. 12, 13, 18. 'Oddiwrth y geiriau hyn,' ebai *Clarke*, 'ni a welwn y gall y *cyfiawn* syrthio oddiwrth ras, a marw yn dragwyddol. Os dywedir ei fod yn meddwl un *hunan-gyfiawn*, yr wyf yn ateb, fod hyny yn afresymol; canys y mae hunan-gyfiawnder yn *syrthiad* ynddo ei hun; a pha gyntaf y syrthio dyn oddiwrtho, goraf yw iddo. Cyfiawnder gwirioneddol a diffuant mewn calon a buchedd yw yr hyn a feddylir.' 'Am hyny yr hwn sydd yn tybied ei fod yn sefyll, (Groeg, 'yn sefyll yn fwyaf hyderus,') edryched na syrthio:' gwel ar 1 Cor. x. 12.

Adn. 21. *Ond os tydi a rybyddi y cyfiawn, rhag pechu o'r cyfiawn*] Rhag iddo 'ddychwelyd oddiwrth ei gyfiawnder,' fel y soniwyd uchod; *ac na phecho efe*—ond, yn hytrach, fod iddo barhau i rodio yn gydwybodol 'yn holl orchymynion a deddfau yr Arglwydd yn ddiargyhoedd,' Luc i. 6. *Gan fyw y bydd efe byw, am ei rybyddio*—efe a gaiff fyw yn ffafr Duw yma, ac yn ei nefoedd ef ar ol myned oddiyma: *a thithau a achubaist dy enaid*—gwel ar adn. 19.

Adn. 22. *Ac yno y bu llaw yr Arglwydd arnaf*] Sef yn mysg y gaethglud yn Tel-abib, adn. 15; hyny yw, efe a deimlodd allu dwyfol yn dylanwadu yn adnewyddol arno fel o'r blaen, pen. i. 3. *Ac efe a ddywedodd wrthyf, Cyfod, dos i'r gwastadedd*—ymneillduа oddiwrth y lluaws i le mwy dirgel: *ac yno y llefaraf wrthyt*—y rhoddaf i ti hysbysrwydd pellach o'm hewyllys, ac y danghosaf i ti fy ngogoniant.

Adn. 23. *Yna y cyfodais, ac a aethym i'r gwastadedd*] Megys y gorchymynwyd i mi: *ac wele ogoniant yr Arglwydd yn sefyll yno, fel y gogoniant a welswn wrth afon Cebar*—gwel ar pen. i. 26—28. *A mi a syrthiais ar fy wyneb*—fel y tro o'r blaen; canys y mae golwg ar ogoniant yr Arglwydd yn sier o ddwyn y neb a'i caffo i'r llwch.

Adn. 24. *Yna yr aeth yr yspryd ynof, ac a'm gosododd ar fy nhraed*] Gwel ar pen. ii. 2; *ac a ymddyddanodd â mi*—gan hyny nid

ymddyddanodd â mi, ac a ddywedodd wrthyf, Dos, a chau arnat o fewn dy dŷ.

25 Tithau fab dyn, wele, hwy a roddant rwymau arnat, ac a'th rwymant â hwynt, ac na ddos allan yn eu plith.

26 A mi a wnaf i'th dafod lynu wrth daflod dy enau, a thi a wneir yn fud, ac ni byddi iddynt yn geryddwr: canys tŷ gwrthryfelgar *ydynt*.

27 Ond pan lefarwyf wrthyt, yr agoraf dy safn, a dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Yr hwn a wrandawo, gwrandawed; a'r hwn a beidio, peidied: canys tŷ gwrthryfelgar *ydynt*.

## PENNOD IV.

TITHAU fab dyn, cymer it' briddlech, a dod hi o'th flaen, a llunia arni ddinas Jerusalem:

2 A gwarchae yn ei herbyn hi, ac adeilada wrthi warchglawdd, a bwrw o'i hamgylch hi wrthglawdd; dod hefyd wersylloedd wrthi, a gosod offer rhyfel yn ei herbyn o amgylch.

3 Cymer it' hefyd badell haiarn, a dod hi *yn* fur haiarn rhyngot a'r ddinas; a chyfeiria dy wyneb ati, a bydd mewn gwarchäedigaeth, a gwarchae di arni. Arwydd *fydd* hyn i dŷ Israel.

4 Gorwedd hefyd ar dy ystlys

---

y *gwynt* a grybwyllwyd pen. i. 4 oedd yr *ysbryd* a grybwyllir yn y gweledigaethau hyn, fel y tybiodd rhai; eithr Ysbryd y Duw byw. *Dos, a chau arnat o fewn dy dŷ*—naill ai i fod yn arwydd o gauedigaeth yr Iuddewon yn Jerusalem yn amser ei gwarchaead hi, ac o'u caethiwed ar ol hyny; neu i ddysgwyl hyfforddiadau pellach yno yn nghylch ewyllys Duw; neu er diogelwch iddo ei hun rhag ei elynion.

Adn. 25. *Tithau fab dyn, wele hwy*] Sef y gaethglud yn Tel-abib, y rhai sydd elynion i ti; *a roddant rwymau arnat*—os âi di allan i'w plith; *ac a'th rwymant â hwynt*—i'th gospi am broffwydo o honot yn eu herbyn hwy; *ac na ddos allan yn eu plith*—neu, 'fel nad elech allan yn eu plith,' i'w rhybyddio mwyach. Ond tybia rhai mai ei deulu ei hun a'i rhwyment ef, gan feddwl ei fod allan o'i bwyll; a thybia *Newcome* eu bod i wneuthur hyn trwy ei orchymyn ef, i arwyddo caethiwed yr Iuddewon yn Judea, fel yn pen. iv. 1—8.

Adn. 26. *A mi a wnaf i'th dafod lynu wrth daflod dy enau*] Dros ychydig amser; *a thi a wneir yn fud*—fel Zacharias ar ol hyn, tad Ioan Fedyddiwr, Luc i. 20; *ac ni byddi iddynt yn geryddwr*—am ryw yspaid, gan mor wrthryfelgar ydynt. Ond tybia rhai na ddylid deall y mudandod hwn yn llythyrenol; ac mai y meddwl yw, Mi a attaliaf fy natguddiadau oddiwrthyt dros beth amser, fel na byddo genyt ddim i'w ddywedyd wrth y bobl hyn mewn ffordd o gerydd na chynghor, mwy na phe byddit fudan.

Adn. 27. *Ond pan lefarwyf wrthyt*] Ryw genadwri neillduol i'w thraddodi iddynt hwy; *yr agoraf dy safn*—galluogaf di i'w thraethu gyda hyfdra; *a dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—hyny yw, pan leferi wrth y bobl hyn, llefara wrthynt yn fy enw a thrwy fy awdurdod i; neu cyfarch hwynt fel creaduriaid moesol, a rhydd-orchwylwyr, yn y geiriau hyn: *Yr hwn a wrandawo, gwrandawed*—'a bydd byw ei enaid,' Esay lv. 3; *a'r hwn a beidio, peidied*—a chymered y canlyniad iddo ei hun. *Canys tŷ gwrthryfelgar ydynt*—felly, yn lle rhoddi i'r proffwyd sicrwydd am lwyddiant, y mae Duw yn gadael y peth yn dra amheus, gan mor gyndyn a gwrthryfelgar oeddynt.

PEN. IV. Adn. 1. *Tithau fab dyn, cymer it' briddlech*] Yr oedd priddlechau y dwyrain yn fawrion iawn, yn ddwy droedfedd o hyd, a throedfedd o led, a phedair modfedd o drwch; ond gallai hon fod yn llawer mwy, ac wedi ei gwneuthur at y pwrpas. *A llunia arni ddinas Jerusalem*—fel yn cael ei gwarchae.

Adn. 2. *A gwarchae yn ei herbyn hi*] Gwna ddarlun o'i gwarchaead hi, ac o'r fath wrthgloddiau, gwersylloedd, a pheiriannau ag a ddefnyddir ar y fath achos. *A gosod offer rhyfel yn ei herbyn o amgylch*—Saes., *battering rams*, neu 'hyrddod dinystriol.' Y rhai hyn oeddynt drawstiau neu baladrau trymion o dderw, ac iddynt ben mawr o haiarn neu bres, ar lun pen *hwrdd*, oddiwrth yr hyn y cawsant eu henw. Codid y pen hwn â rhaffau gan lawer o wŷr cryfion, weithiau gant; a gollyngid ef i ddisgyn ar y mur ag y bwriedid ei ddryllio. Meddylir mai Nebuchodonosor oedd y cyntaf a'i harferodd; ond defnyddiwyd ef wedi hyny gan y Carthaginiaid, y Rhufeiniaid, ac ereill.

Adn. 3. *Cymer it' hefyd badell haiarn*] Neu *radell*, y fath ag a ddefnyddir i grasu teisenau arni; *a dod hi yn fur haiarn rhyngot a'r ddinas*—i arwyddo ond odid bob peth a ddefnyddid gan y gwarchaewyr i'w hamddiffyn eu hunain rhag y gwarchäedigion oddifewn; *a chyfeiria dy wyneb ati*—i arddangos ymosodiad ei gelynion arni; *a bydd mewn gwarchäedigaeth*—hyny yw, bydd y ddinas felly; *a gwarchae di arni*—i arddangos yr hyn a wna y Caldeaid. *Arwydd fydd hyn i dŷ Israel*—o'r hyn a gymer le mewn gwirionedd.

Adn. 4. *Gorwedd hefyd ar dy ystlys aswy*] Yr oedd yr 'ystlys aswy,' fel y leiaf anrhydeddus, yn gosod allan deyrnas *Israel*, neu y deg llwyth; a'r 'ystlys ddeau,' adn. 6, fel yr un fwyaf anrhydeddus, yn gosod allan deyrnas

aswy, a gosod anwiredd tŷ Israel
arni; *wrth* rifedi y dyddiau y gor-
weddych arni, y dygi eu hanwiredd
hwynt.
5 Canys rhoddais arnat ti flyn-
yddoedd eu hanwiredd hwynt, wrth
rifedi y dyddiau, tri chan niwrnod
a deg a phedwar ugain: felly y
dygi anwiredd tŷ Israel.
6 A phan orphenych y rhai hyny,
gorwedd eilwaith ar dy ystlys dde-
au, a thi a ddygi anwiredd tŷ Juda
ddeugain niwrnod: pob diwrnod
am flwyddyn a roddais i ti.
7 A chyfeiria dy wyneb at war-
chäedigaeth Jerusalem, a'th fraich
yn noeth; a thi a broffwydi yn ei
herbyn hi.
8 Wele hefyd, rhoddais rwymau
arnat, fel na thröech o ystlys i yst-
lys, nes gorphen o honot ddyddiau
dy warchäedigaeth.
9 ¶ Cymer it' hefyd wenith, a
haidd, a ffa, a ffacbys, a milet, a
chorbys, a dod hwynt mewn un
llestr, a gwna hwynt it' yn fara,
*dros* rifedi y dyddiau y gorweddych
ar dy ystlys: tri chan niwrnod a

---

*Juda,* neu ddau lwyth Juda a Benjamin. *A gosod anwiredd tŷ Israel arno*—sef ar Israel trwy yr arwydd hwn. *Wrth rifedi y dyddiau y gorweddych arno*—sef ar dy ystlys aswy; *y dygi eu hanwiredd hwynt*—y dyoddefi yn arwyddocaol am eu hanwiredd, trwy orwedd cyhyd ar dy ystlys aswy; neu yr arddanghosi y gosp a ddyoddefant hwy.

Adn. 5. *Canys rhoddais arnat ti flynyddoedd eu hanwiredd hwynt*] Neu danghosais ynot neu trwyot ti y nifer o flynyddoedd ag y bu Israel wrthgiliedig yn pechu yn fy erbyn i; *wrth rifedi y dyddiau, tri chan niwrnod a deg a phedwar ugain*—sef diwrnod am bob blwyddyn, yn ol y cyfrifiad proffwydoliaethol o amser, adn. 6. 'Bydd i'r nifer hwn o flynyddoedd,' ebai yr *Archesgob Newcome*, 'ein dwyn yn ol, gyda chywirdeb digonol, o'r flwyddyn yr anrheithiwyd Jerusalem gan Nebuchodonosor, i'r flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Jeroboam, pryd y dechreuodd yr eilunaddoliad cenedlaethol yn Israel.' Ond tybia ereill mai y blynyddoedd hyny a olygir, y rhai oeddynt rhwng syrthiad Solomon i eilunaddoliaeth a chaethgludiad y deg llwyth gan Salmaneser, pryd y peidiasant â bod yn genedl neu bobl wrthynt eu hunain, ac y cymysgwyd hwynt â chenhedloedd ereill.

Adn. 6. *A phan orphenych y rhai hyny*] Sef gorwedd am 390 o ddiwrnodau ar ei ystlys aswy dros dŷ Israel: *gorwedd eilwaith ar dy ystlys ddeau*—i arddangos tŷ Juda. *A thi a ddygi anwiredd tŷ Juda ddeugain niwrnod*—bernir fod y deugain niwrnod hyn yn arddangos y deugain mlynedd, o amser y diwygiad dan Josiah, hyd amser dinystr y ddinas a'r deml; yn ystod pa amser yr oedd gwŷr Juda yn ymroddi i eilunaddoliaeth, a phob math o bechodau ereill: neu ynte, a gadael allan gyfnod teyrnasiad duwiol Josiah, yr oedd nifer blynyddoedd yr eilunaddoliaeth, o deyrnasiad Manasseh hyd ddiwedd teyrnasiad Zedeciah, yn 40 mlynedd cymhwys: gwel *Newcome.*

Adn. 7. *A chyfeiria dy wyneb at warchäedigaeth Jerusalem*] Sef at y darlun o honi ar y briddlech, adn. 1, a hyny gydag edrychiad bygythiol, fel yr arfera dynion edrych ar ddinas ag y byddont yn gwarchae arni; *a'th fraich yn noeth*—neu 'yn estynedig,' fel y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, i arddangos parodrwydd y Caldeaid at eu gwaith dinystriol: *a thi a broffwydi yn ei herbyn hi*—ti a ddanghosi trwy yr arwyddion yma yr hyn a ddygwydd i'r ddinas.

Adn. 8. *Wele hefyd, rhoddais rwymau arnat*] Tybia *Benson* fod y rhai hyn yn cyfeirio at y rhwymau yn pen. iii. 25; ac y dywedir yma fod Duw yn gwneyd yr hyn a wnaed gan ereill yn ganlynol i'w orchymyn neu ei oddefiad ef; *fel na thröech o ystlys i ystlys*—yr hyn nad oedd weddus iddo ei wneuthur, trwy fod y naill ystlys yn arwyddo tŷ Israel, a'r llall tŷ Juda, adn. 4. Gan hyny gallwn feddwl fod y proffwyd wedi ei gadwyno wrth ei orweddfa fel na allai droi; a bod hyny yn arwyddo y byddai i'r Caldeaid gael eu cefnogi yn y gwarchaead gan allu a rhagluniaeth Duw. *Nes gorphen o honot ddyddiau dy warchäedigaeth*—nid ydym i feddwl fod y proffwyd i orwedd fel hyn ddydd a nos yn ddibaid am 430 o ddyddiau; ond yr oedd ef i orwedd felly am ran o bob diwrnod, a hyny yn ddiamau yn ngolwg y bobl; canys heb hyny nis gallai fod yn arwydd iddynt.

Adn. 9. *Cymer it' hefyd wenith a haidd*] O'r rhai yr arferid gwneyd bara yn Palestina; *a ffa a ffacbys*—y rhai a roddid yn gyffredin yn fwyd i anifeiliaid; *a milet a chorbys*—rhyw ddefnyddiau gwael, ar ba rai yr arferai yr Arabiaid ymborthi, er y tybia rhai mai *rhŷg* a feddylir wrth yr olaf; *a dod hwynt mewn un llestr*—i'w cymysgu yn fara i ti. Mewn amseroedd o brinder arfera dynion gymysgu llawer o'r defnyddiau gwaelaf gydag ychydig o'r blawd goraf, i beri i'w lluniaeth barhau yn hwy: ac yma gorchymynir i'r proffwyd wneuthur hyny, i arwyddo prinder a gwaelder yr ymborth a gai y trigolion yn amser gwarchaead Jerusalem. *Tri chan niwrnod a deg a phedwar ugain y bwytei ef*—ymddengys fod y diwrnodau hyn i'w deall yn llythyrenol yma am yspaid y gwarchaead, fel y maent i'w deall yn arwyddocaol yn adn. 5 am flynyddoedd anwiredd Israel. Parhaodd y gwarchae o'i ddechre i'w ddiwedd am flwyddyn a hanner cymhwys, 2 Bren. xxv. 1—4: ac os tynwn 157 o ddyddiau allan o hyny, sef yr amser ag y gallasai y Caldeaid fod ymaith yn ymladd â llu Pharao, Jer. xxxvii. 5, ni a gawn

deg a phedwar ugain y bwytêi ef.
10 A'th fwyd a fwytêi *a fydd*
wrth bwys, ugain sicl yn y dydd: o
amser i amser y bwytêi ef.
11 Y dwfr hefyd a yfi wrth fesur;
chweched *ran* hin a yfi, o amser i
amser.
12 Ac *fel* teisen haidd y bwytêi
ef; ti a'i cresi hi *hefyd* wrth dail
tom dyn, yn eu gwydd hwynt.
13 A dywedodd yr Arglwydd,
Felly y bwyty meibion Israel eu
bara halogedig yn mysg y Cenhedl-
oedd y rhai y gyraf hwynt atynt.
14 Yna y dywedais, O Arglwydd
Dduw, Wele, ni halogwyd fy enaid,
ac ni fwyteais furgyn neu ysglyf-
aeth o'm hieuenctid hyd yr awr hon;
ac ni ddaeth i'm safn gig ffiaidd.
15 Yntau a ddywedodd wrthyf,
Wele, mi a roddais it' fiswail
gwartheg yn lle tom dyn, ac â
hwynt y gwnei dy fara.
16 Dywedodd hefyd wrthyf, Mab
dyn, wele fi yn tori ffon bara yn Je-
rusalem, fel y bwytaont fara dan
bwys, ac mewn gofal; ac yr yfont
ddwfr dan fesur, ac mewn syndod.
17 Fel y byddo arnynt eisiau bara
a dwfr, ac y synont un gydag arall,
ac y darfyddont yn eu hanwiredd.

## PENNOD V.

TITHAU fab dyn, cymer it' gyllell lem, cymer it' ellyn eillio, ac eillia dy ben a'th farf: yna y cy-

---

nifer dyddiau y gwarchaead yn 390, fel y dywedir yma. Nid yw y 40 niwrnod a ddynodent y 40 mlynedd o anwiredd tŷ Juda, adn. 6, yn cael eu cynwys yn y cyfrif hwn, am y gallai y rhai hyny gael eu cyflawniad llythyrenol yn yr amser a dreuliwyd ar ol y gwarchaead i anrheithio y ddinas a'r deml, ac i ddyfetha a chaethgludo y trigolion.

Adn. 10. *A'th fwyd a fwytêi a fydd wrth bwys*] A bwysir i ti yn ddognau bychain, fel y galler nid yn unig ei estyn yn mhellach, ond hefyd wybod dros ba hyd y parha efe; *ugain sicl yn y dydd*—sef 10 wns o'r bara cymysg uchod, neu dorth ychydig dros hanner pwys: *o amser i amser y bwytêi ef*—hyny fydd dy ddogn dyddiol o fara dros 390 o ddiwrnodau. Yr oedd hyn yn arwyddo y prinder ymborth a fyddai yn mhlith y trigolion yn amser y gwarchaead.

Adn. 11 *Y dwfr hefyd a yfi wrth fesur*] Arferai y gelynion droi y dwfr oddiwrth y ddinas a warchaeid ganddynt, yr hyn a barai brinder mawr o hono: *chwechwed ran hin a yfi*—sef oddeutu peint a hanner o'n mesur ni; a dyna y cwbl a gaent i'w yfed, i'w ferwi, ac at olchi a phobi: *o amser i amser*—hyny fyddai eu dogn dyddiol o fara a dwfr dros yr holl amser hwnw.

Adn. 12. *Ac fel teisen haidd y bwytêi ef*] Yr hon a wneid ar ffrwst heb ei lefeinio, Exod. xii. 39: *ti a'i cresi hi hefyd wrth dail tom dyn*—i arwyddo y prinder o bob math ar danwydd. Peth cyffredin mewn rhai parthau o'r dwyrain, lle nad oedd fawr o danwydd, oedd sychu biswail gwartheg a chamelod i wneyd tân at bob achos; ac y mae y gorchymyn a roddir yma yn dangos prinder hyd yn nod y defnyddiau hyny.

Adn. 13. *Felly y bwyty meibion Israel eu bara halogedig*] Neu ffiaidd, *yn mysg y Cenhedloedd y rhai y gyraf hwynt atynt*—ar ol dangos gwaelder eu llnniaeth yn amser y newyn yn Jerusalem, y mae y proffwyd yn dangos yma y bwydydd aflan a fwytäai plant Israel yn mhlith y Cenhedloedd hefyd yn ystod eu caethiwed; canys ni oddefai eu hamgylchiadau iddynt gadw eu deddfau perthynol i'w bwydydd glân ac aflan y pryd hyny: gwel ar Dan. i. 8, Hos. ix. 3, 4. Y mae *bara* yma yn arwyddo unrhyw fath o fwyd.

Adn. 14. *Yna y dywedais, O Arglwydd Dduw, wele, ni halogwyd fy enaid*] Mewn ystyr seremonïol; *ac ni fwyteais furgyn neu ysglyfaeth*—yr hwn ni ollyngwyd ei waed wrth ei ladd; *o'm hieuenctid hyd yr awr hon*—fel pe dywedasai, Yr wyf bob amser wedi cadw dy gyfraith di yn fanwl gyda golwg ar fwydydd glân ac aflan; ac yr wyf yn atolygu arnat na byddo i mi yn awr orfod bwyta pethau mor wahanol i'm harferiad gwastadol: *ac ni ddaeth i'm safn gig ffiaidd*—gwaharddedig gan dy gyfraith di, neu wedi ei [illegible] wrth y fath dân ffiaidd.

Adn. 15. *Wele, mi a roddais it' fiswail gwartheg yn lle tom dyn*] I grasu dy fara wrtho; hyny yw, efe a gai dân llai ffiaidd, yn lle un mwy ffiaidd. Dengys hyn na fyddai fawr o wahaniaeth rhwng y cyfiawn a'r drygionus ar y fath amserau, ac y byddai i'r dynion goraf ddyoddef caledi mawr.

Adn. 16. *Mab dyn, wele fi yn tori ffon bara yn Jerusalem*] Trwy drymhau y newyn yno, 2 Bren. xxv. 3; *fel y bwytaont fara dan bwys*—gwel ar adn. 10, *ac mewn gofal*—rhag iddo ddarfod; *ac yr yfont ddwfr dan fesur*—gwel ar adn. 11, *ac mewn syndod*—neu 'mewn gofid,' fel yn y *Vulgate*; neu mewn pryder mawr rhag iddo ddarfod.

Adn. 17. *Fel y byddo arnynt eisiau bara a dwfr*] Hyd yn nod tra yn cael y dognau uchod, ac yn enwedig wedi iddynt ddarfod; *ac y synont un gydag arall*—y naill wrth edrych yn ngwyneb gwelw y llall, neu y ddau yn nghyd wrth feddwl am fawredd eu hadfyd; *ac y darfyddont yn eu hanwiredd*—y trengont o newyn a syched o herwydd eu pechodau ysgeler yn fy erbyn i.

PEN. V. Adn. 1. *Tithau fab dyn, cymer it' gyllell lem*] Sef ellyn eillio; *ac eillia dy*

meri it' glorianau pwys, ac y rheni
hwynt.
2 Traian a losgi yn tân yn nghanol
y ddinas, pan gyflawner dyddiau y
gwarchae; traian a gymeri hefyd,
*ac* a'*i* tarewi â'r gyllell o'i amgylch;
a thraian a daeni gyda'r gwynt: a
mi a dynaf gleddyf ar eu hol hwynt.
3 Cymer hefyd oddiyno ychydig
o nifer, a chylyma hwynt yn dy
odre.
4 A chymer eilwaith *rai* o honynt
hwy, a thafl hwynt i ganol y tân, a
llosg hwynt yn tân: o hono y daw
allan dân i holl dŷ Israel.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Jerusalem *yw* hon:
gosodais hi yn mysg y cenhedloedd
a'r tiroedd o'i hamgylch.
6 A hi a newidiodd fy marnedig-
aethau i ddrygioni yn fwy na'r cen-
hedloedd, a'm deddfau yn fwy na'r
gwledydd *sydd* o'i hamgylch: canys
gwrthodasant fy marnedigaethau,
a'm deddfau, ni rodiasant ynddynt.
7 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Am i chwi aml-
hau yn fwy na'r cenhedloedd *sydd*
o'ch amgylch, heb rodio o honoch
yn fy neddfau, na gwneuthur fy
marnedigaethau, ac na wnaethoch
yn ol barnedigaethau y cenhedloedd
*sydd* o'ch amgylch;
8 Am hyny fel hyn y dywed yr

---

*ben a'th farf*—sef gwallt ei ben a'i farf. Trwy fod y gwallt yn cael ei gyfrif yn addurn, a bod moelni yn arwydd o ofid a gwarth, gan hyny yr oedd eillio y pen yn dynodi trallod neu annghyfanedd-dra. *Yna y cymeri it' glorianau pwys*—y rhai oeddynt yn arwydd o gyfiawnder Duw, fel yr oedd yr *ellyn* o'i ddigofaint ef; *ac y rheni hwynt*—sef y blew neu y gwallt, yn dair rhan. Mewn geiriau ereill, (1) Meddylir fod y *proffwyd* yn gysgod o'r genedl Iuddewig. (2) Ei *ben*, y brifddinas Jerusalem. (3) Ei *wallt*, ei thrigolion. (4) *Eillio* y gwallt, y dialedd dwyfol yn disgyn ar y bobl trwy y Caldeaid. (5) *Pwyso* y gwallt, cyfiawnder dwyfol yn rhoddi i bob un yr hyn fyddai uniawn. (6) *Rhanu* y gwallt, y gwahanol gospedigaethau a ddisgynent ar wahanol bersonau.

Adn. 2. *Traian*] Neu y drydedd ran o'r gwallt; *a losgi yn tân yn nghanol y ddinas*—sef yn nghanol yr arlun o honi, pen. iv. 1, canys yr oedd y proffwyd y pryd hyn yn Caldea; yr hyn a arddanghosai ddinystr y trigolion trwy haint, newyn, &c.; *pan gyflawner dyddiau y gwarchae*—sef yn niwedd gorweddiad y proffwyd o'i blaen hi. *Traian a gymeri hefyd, ac a'i tarewi â'r gyllell o'i amgylch*—sef o amgylch y darlun; i ddangos y byddai i'r drydedd ran o'r trigolion gael eu lladd â chleddyf y Caldeaid wrth iddynt amddiffyn muriau y ddinas, neu geisio ffoi o honi. *A thraian a daeni gyda'r gwynt*—i arwyddo y rhai a gaethgludid allan o'r wlad, neu a ffoent i wledydd ereill am nodded. *A mi a dynaf gleddyf ar eu hol hwynt*—bydd i'm dialedd eu dylyn hwynt i leoedd eu gwasgariad, a bydd i lawer o honynt syrthio yn ebyrth i gynddaredd eu gelynion.

Adn. 3. *Cymer hefyd oddiyno ychydig o nifer*] Sef o'r drydedd ran o'r blew a'r gwallt; *a chylyma hwynt yn dy odre*—bwriedid y rhai hyn i arwyddo yr ychydig o'r bobl dylodion a adewid ar ol dan ofal Gedaliah, Jer. xl. 7.

Adn. 4. *A chymer eilwaith rai o honynt*] Sef o'r blew a eilliasai; *a thafl hwynt i ganol y tân*—cyflawnid hyn yn ngwaith Ismael yn lladd Gedaliah, a'r Iuddewon ag oeddynt gydag ef, ac yn ffoad y gweddill i'r Aifft, fel yr adroddir yn Jer. xl—xliv. *O hono y daw allan dân i holl dŷ Israel*—byddai i'r rhan fwyaf a fföent i'r Aifft feirw yn druenus; a'r Caldeaid, wedi eu cynhyrfu o herwydd llofruddiad Gedaliah, ac enciliad yr Iuddewon at yr Aifftiaid, a ymddygent yn fwy llymdost tuag at yr Iuddewon ereill o herwydd hyny, ac a lwyr anghyfaneddent Judea, Jer. lii. 30.

Adn. 5. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Mewn ffordd o eglurhad ar yr arwydd uchod; *Jerusalem yw hon*—y mae yr oll a ddywedwyd uchod yn cyfeirio at Jerusalem a'i thrigolion. *Gosodais hi yn mysg y cenhedloedd a'r tiroedd o'i hamgylch*—fel y byddai yn siampl o grefydd a rhinwedd iddynt oll; neu fel y gallai yr Aifftiaid, y Syriaid, yr Arabiaid, ac ereill, gymeryd siamplau da oddiwrthi. Yr oedd Jerusalem wedi ei gosod yn nghanol y cenhedloedd, fel y galon yn nghanol y corff dynol, i roddi bywyd dwyfol i'r byd marw, a goleuni dwyfol i'r byd tywyll.

Adn. 6. A *hi a newidiodd fy marnedigaethau i ddrygioni*] Yn lle rhodio yn fy marnedigaethau a'm deddfau, ac felly roddi siamplau da i'r rhai o'i hamgylch, hi a ymwerthodd i bob math ar ddrygioni; *yn fwy na'r cenhedloedd*—hi a bechodd yn erbyn mwy o oleuni a manteision crefyddol na'r cenhedloedd sydd o'i hamgylch, ac am hyny aeth yn fwy euog na hwynt-hwy, ac yn agored i drymach cosp.

Adn. 7. *Am i chwi amlhau yn fwy na'r cenhedloedd sydd o'ch amgylch*] Sef amlhau mewn *drygioni*; canys nid oedd amlhau mewn *rhifedi* yn bechod ynddynt, eithr yn fendith a addewsid iddynt; *ac na wnaethoch yn ol barnedigaethau y cenhedloedd*—sef dangos yr un sel dros y wir grefydd ag a ddanghosai y cenhedloedd dros eu gau grefydd. Ond yn lle '*ac na* wnaethoch,' y mae *Luther* yn ei ddarllen fel yn y Syriaeg, '*Eithr chwi a* wnaethoch yn ol barnedigaethau y cenhedloedd,' sef syrthio i eilunaddoliaeth fel hwythau.

Adn. 8. *Am hyny*] Sef am dy bechodau hyn; *wele fi, ie myfi, ydwyf yn dy erbyn*—yr hyn a adroddir ddwywaith, i ddangos y sicrwydd o

Arglwydd Dduw; Wele fi, ïe myfi,
*ydwyf* yn dy erbyn, a gwnaf yn dy
ganol di farnedigaethau yn ngolwg
y cenhedloedd.
9 A gwnaf ynot yr hyn ni wnaethym,
ac nis gwnaf ei fath mwy; am
dy holl ffieidd-dra.
10 Am hyny y tadau a fwytânt y
plant yn dy fysg di, a'r plant a fwyty
eu tadau; a gwnaf ynot farnedigaethau,
a mi a daenaf dy holl
weddill gyda phob gwynt.
11 Am hyny, *fel mai* byw fi, medd
yr Arglwydd Dduw, Yn ddiau am
halogi o honot fy nghysegr â'th holl
ffieidd-dra ac â'th holl frynti, am
hyny hefyd y prinhaf finau *di;* ac
nid arbed fy llygad, ac ni thosturiaf
chwaith.
12 ¶ Dy draian fyddant feirw o'r
haint, ac a darfyddant o newyn, yn
dy ganol; a thraian a syrthiant ar
y cleddyf o'th amgylch; a thraian
a daenaf gyda phob gwynt: a thynaf
gleddyf ar eu hol hwynt.
13 Felly y gorphenir fy nig, ac y
llonyddaf fy llidiogrwydd yn eu
herbyn hwynt, ac ymgysuraf: a
hwy a gânt wybod mai myfi yr Arglwydd
a'*i* llefarais yn fy ngwŷn,
pan orphenwyf fy llid ynddynt.
14 A rhoddaf di hefyd yn anrhaith,
ac yn warth yn mysg y cenhedloedd
*sydd* o'th amgylch, yn
ngolwg pawb a êl heibio.
15 Yna y bydd y gwaradwydd a'r
gwarthrudd yn ddysg ac yn syndod
i'r cenhedloedd *sydd* o'th amgylch,
pan wnelwyf ynot farnedigaethau
mewn dig a llidiogrwydd, a cherydd
llidiog. Myfi yr Arglwydd a'*i* llefarais.
16 Pan anfonwyf arnynt ddrwg
saethau newyn, y rhai fyddant i'*w*
dyfetha, y rhai a ddanfonaf i'ch
dyfetha: casglaf hefyd newyn arnoch,
a thoraf eich ffon bara:
17 Anfonaf hefyd arnoch newyn,
a bwystfil drwg; ac efe a'th ddiblanta
di: haint hefyd a gwaed a
dramwya trwyot ti; a dygaf gleddyf
arnat. Myfi yr Arglwydd a'*i*
llefarais.

---

hono; *a gwnaf yn dy ganol di farnedigaethau*—y fath ag a ddanghosant i'r holl genhedloedd mai fy llaw i a'u gwnaeth hwynt.

Adn. 9. *A gwnaf ynot yr hyn ni wnaethym*] I neb erioed o'r blaen; *ac nis gwnaf ei fath mwy*—i un genedl arall. Nid yw hyn yn dangos nad allai cosp gyffelyb, neu un fwy, ddisgyn ar yr Iuddewon eu hunain wedi hyn, sef trwy y Rhufeiniaid.

Adn. 10. *Am hyny y tadau a fwytânt y plant yn dy fysg di, a'r plant a fwyty eu tadau*] Er na chrybwyllir am hyn yn benodol mewn hanesyddiaeth, eto gallwn gredu, ar sail y dystiolaeth yma, i hyn gael ei wneuthur yn nhrymder y newyn; a dywedir, Galar. iv. 10, i 'ddwylaw gwragedd tosturiol ferwi eu plant eu hun!' *A gwnaf ynot farnedigaethau*—'mewn dig a llidiogrwydd, a cherydd llidiog,' adn. 15; *a mi a daenaf dy holl weddill gyda phob gwynt*—gwasgaraf hwynt i bob rhan o'r ddaear, Deut. xxviii. 64.

Adn. 11. *Am hyny, fel mai byw fi, &c.*] Yma y mae yr Arglwydd yn cadarnhau ei fygythiad trwy lw; *Yn ddiau am halogi o honot fy nghysegr â'th holl ffieidd-dra*—trwy osod o honot eilunod yno, a'u haddoli hwynt, 2 Bren. xxi. 4, 5; *am hyny hefyd y prinhaf finau di*—o ran dy freintiau, dy gysuron, a'th gynaliaeth; *ac nid arbed fy llygad*—ni fydd i'r olwg ar dy drueni beri i mi dosturio wrthyt.

Adn. 12. *Dy draian fyddant feirw o'r haint, &c.*] Ac o'r newyn, fel y dywedwyd o'r blaen, adn. 2—4.

Adn. 13. *Felly y gorphenir fy nig, ac y llonyddaf fy llidiogrwydd*] Trwy y gosp drom a ddisgyn ar yr Iuddewon oddiwrth y Caldeaid; *ac ymgysuraf*—ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth deimlad dynion pan fyddont wedi cael eu gwynfyd ar eu gelynion trwy ddial arnynt: *a hwy a gânt wybod mai myfi yr Arglwydd a'i llefarais yn fy ngwŷn*—Saes., 'yn fy *sel*,' neu ei eiddigedd dros ei anrhydedd a'i ogoniant, yr hwn a ddirmygasant hwy.

Adn. 14. *A rhoddaf di hefyd yn anrhaith*] I'r Caldeaid; *ac yn warth*—yn ngolwg pawb a elo heibio.

Adn. 15. *Yna y bydd y gwaradwydd a'r gwarthrudd yn ddysg*] Bydd i'r holl genhedloedd sydd o'th amgylch ddysgu fy ofni i a'm barnedigaethau, pan welant y fath siamplau o'm digofaint cyfiawn wedi disgyn arnat: *ac yn syndod*—hwy a synant wrth ganfod fy ngallu a'm cyfiawnder yn dy ddinystr.

Adn. 16. *Pan anfonwyf arnynt*] Neu 'arnoch,' fel y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen *ddrwg saethau newyn*—neu newyn fel saethau angeuol, i'ch dyfetha. *Casglaf hefyd newyn arnoch*—fel byddin gref o saethyddion; *a thoraf eich ffon bara*—ar ba un yr ydych yn ymbwyso am gynaliaeth.

Adn. 17. *Anfonaf hefyd arnoch newyn, a bwystfil drwg*] Yr oedd bwystfilod ysglyfaethus yn lluosogi yn ddirfawr mewn gwlad lle y byddai newyn, haint, neu gleddyf yn lladd y trigolion, Exod. xxiii. 29; *ac efe a'th ddiblanta di*—gwneid hyn gan y newyn a'r bwystfilod. *Haint hefyd a gwaed a dramwyant trwyot ti*—neu haint yn peri marwolaethau aml; *a dygaf gleddyf arnat*—yn llaw

## PENNOD VI.

ADAETH gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Mab dyn, gosod dy wyneb tua mynyddoedd Israel, a phroffwyda yn eu herbyn;

3 A dywed, Mynyddoedd Israel, gwrandewch air yr Arglwydd Dduw: Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth y mynyddoedd ac wrth y bryniau, wrth y nentydd ac wrth y dyffrynoedd; Wele fi, *ïe* myfi, yn dwyn cleddyf arnoch, a mi a ddinystriaf eich uchel-leoedd.

4 Eich allorau hefyd a ddifwynir, a'ch haul-ddelwau a ddryllir: a chwympaf eich archolledigion o flaen eich eilunod.

5 A rhoddaf gelanedd meibion Israel gerbron eu heilunod, a thaenaf eich esgyrn o amgylch eich allorau.

6 Yn eich holl drigfeydd y dinasoedd a anrheithir, a'r uchelfeydd a ddifwynir; fel yr anrheithier ac y difwyner eich allorau, ac y torer ac y peidio eich eilunod, ac y torer ymaith eich haul-ddelwau, ac y dilëer eich gweithredoedd.

7 Yr archolledig hefyd a syrth yn eich canol; a chewch wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

8 ¶ Eto gadawaf weddill, fel y byddo i chwi *rai* wedi dianc gan y cleddyf yn mysg y cenhedloedd, pan wasgarer chwi trwy y gwledydd.

9 A'ch rhai diangol a'm cofiant i yn mysg y cenhedloedd y rhai y caethgludir hwynt atynt, am fy nryllio â'u calon buteinllyd, yr hon a giliodd oddiwrthyf; ac â'u llygaid, y rhai a buteiniasant ar ol eu heilunod: yna yr ymffieiddiant ynddynt eu hun am y drygioni a wnaethant yn eu holl ffieidd-dra.

10 A chânt wybod mai myfi *yw*

---

y Caldeaid. *Myfi yr Arglwydd a'i llefarais*—yr hwn a allaf ddwyn arnat yr holl bethau hyn. Duw oedd yma yn llefaru, ac nid oedd Ezeciel ddim ond udgorn wrth ei enau ef.

PEN. VI. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Ond odid ar ol iddo fod yn gorwedd 430 o ddyddiau ar ei ystlysau, sef yn yr ail flwyddyn ar ol iddo ddechreu proffwydo: gwel ar pen. viii. 1.

Adn. 2. *Mab dyn, gosod dy wyneb tua mynyddoedd Israel*] Hyny yw, tro dy wyneb tua gwlad fynyddig Judea; *a phroffwyda yn eu herbyn*—wrth *Israel* yma y meddylir *Juda*, ac nid y deg llwyth; canys yr oeddynt hwy y pryd hyn wedi eu caethgludo i Assyria er's hir amser bellach.

Adn. 3. *A dywed, Mynyddoedd Israel, gwrandewch air yr Arglwydd*] Yr oedd y proffwydi weithiau yn llefaru wrth ranau difywyd y greadigaeth, i'r dyben i gywilyddio y trigolion o herwydd eu hanystyriaeth. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth y mynyddoedd, &c.*—sef y rhanau hyny o'r wlad a halogesid trwy eilunaddoliaeth. Yr oedd eu hallorau yn gyffredin ar y mynyddoedd a'r bryniau, ac yr oedd eu llwyni aflan wrth y nentydd ac yn y dyffrynoedd: gwel Esay lvii. 5, Jer. vii. 31. *Wele fi, ïe myfi, yn dwyn cleddyf arnoch*—i ddyfetha yr eilunaddolwyr a gyrchent i'r lleoedd hyny; *a mi a ddinystriaf eich uchel-leoedd*—fel nad â neb yno mwyach.

Adn. 4. *Eich allorau hefyd a ddifwynir*] Neu a dynir i lawr; *a'ch haul-ddelwau a ddryllir*—trwy y rhai yr addolent yr haul; *a chwympaf eich archolledigion o flaen eich eilunod*—at y rhai y ffoisent am iachâd.

Adn. 5. *A rhoddaf gelanedd meibion Israel gerbron eu heilunod*] Yn y rhai yr ymddiriedent; *a thaenaf eich esgyrn o amgylch eich allorau*—heb neb yno i'w claddu.

Adn. 6. *Yn eich holl drigfeydd y dinasoedd a anrheithir, &c.*] Gan fod eu holl ddinasoedd wedi eu halogi trwy eilunaddoliaeth, yr oedd yn rhaid iddynt gael eu hanrheithio a'u difwyno, i'r dyben i roddi terfyn ar eu heilunaddoliaeth.

Adn. 7. *Yr archolledig hefyd a syrth yn eich canol*] Sef yn nghanol y wlad, yn gystal ag yn y dinasoedd, ac o amgylch eu hallorau.

Adn. 8. *Eto gadawaf weddill*] Heb eu lladd gan y cleddyf yn mysg y cenhedloedd: *pan wasgarer chwi trwy y gwledydd*—dywedwyd yn pen. v. 2, y byddai i gleddyf gael ei anfon ar ol y rhai a wasgerid; ond yma addewir y byddai i rai o honynt gael eu cadw yn eu halltudiaeth, i'r rhai y cyflawnai Duw yr addewidion a wnaed i'w tadau.

Adn. 9. *A'ch rhai diangol a'm cofiant i yn mysg y cenhedloedd*] Bydd i'w cystuddiau eu dwyn hwy i'w hadnabod eu hunain, ac i deimlad o'u dyledswydd tuag ataf finau; *am fy nryllio â'u calon buteinllyd*—neu gan eu tueddiadau eilunaddolgar hwynt. Y mae Duw yma yn llefaru yn ol dull dynion, gan ei arddangos ei hun fel wedi tori ei galon oblegid eu heilunaddoliaeth hwy. Ond y mae y *Syriaeg* a'r *Galdeaeg* yn rhoddi ystyr arall i'r geiriau: '*pan ddrylliwyf eu* calon buteinllyd.' *Yna yr ymffieiddiant ynddynt eu hun am y drygioni a wnaethant*—bydd yn ffiaidd ganddynt feddwl iddynt erioed fod mor ffol a drygionus a chilio oddiwrth y Duw byw i fyned ar ol eilunod meirwon.

Adn. 10. *A chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Unig wrthddrych addoliad, neu yr hwn a gyflawnaf fy holl addewidion a'm by-

yr Arglwydd, *ac* na lefarais yn ofer
am wneuthur iddynt y drwg hwn.
11 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Taro â'th law, a
chur â'th droed, a dywed, Oh rhag
holl ffieidd-dra drygioni tŷ Israel!
canys trwy gleddyf, trwy newyn, a
thrwy haint, y syrthiant.
12 Y pellenig a fydd marw o'r
haint, a'r cyfagos a syrth gan y
cleddyf; y gweddilledig hefyd a'r
gwarchäedig a fydd marw o newyn:
fel hyn y gorphenaf fy llidiogrwydd
arnynt.
13 A chewch wybod mai myfi *yw*
yr Arglwydd, pan fyddo eu har-
cholledigion hwynt yn mysg eu hei-
lunod o amgylch eu hallorau, ar
bob bryn uchel, ar holl benau y
mynyddoedd, a than bob pren îr, a
than bob derwen gauadfrig, lle y
rhoddasant arogl peraidd i'w holl
eilunod.
14 Felly yr estynaf fy llaw ar-
nynt, a gwnaf y tir yn anrhaith; ïe,
yn fwy anrheithiol na'r anialwch
*tua* Diblath, trwy eu holl drigfeydd:
a chânt wybod mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd.

## PENNOD VII.

A DAETH gair yr Arglwydd ataf,
gan ddywedyd,
2 Tithau, fab dyn, fel hyn y dy-
wed yr Arglwydd Dduw wrth dir
Israel; Diwedd, diwedd a ddaeth
ar bedair congl y tir.
3 *Daeth* yr awr hon ddiwedd ar-
nat, a mi a anfonaf fy nig arnat ti;
barnaf di *hefyd* yn ol dy ffyrdd, a
rhoddaf dy holl ffieidd-dra arnat.
4 Fy llygad *hefyd* ni'th arbed di,
ac ni thosturiaf: eithr rhoddaf dy
ffyrdd arnat ti, a'th ffieidd-dra fydd
yn dy ganol di: fel y gwypoch mai
myfi *yw* yr Arglwydd.

---

gythion; *ac na lefarais yn ofer am wneuthur iddynt y drwg hwn*—ond ei fod wedi ateb dyben daionus; neu, 'na lefarais yn *ddiachos*,' neu 'yn *ddieffaith*,' fel y mae rhai yn ei ddeall.

Adn. 11. *Taro â'th law, a chur â'th droed*] Dangos holl arwyddion anfoddlonrwydd, galar, a gofid meddwl; *a dywed, Oh rhag holl ffieidd-dra drygioni tŷ Israel!*—hyny yw, cysyllta â'th eiriau holl ystumiau dyn yn teimlo yr ing mwyaf wrth feddwl am erchylldod drygioni y bobl hyn, a'r trallodau dirfawr a ddisgynant arnynt mewn canlyniad i hyny: *canys trwy gleddyf, trwy newyn, a thrwy haint, y syrthiant*—y rhai yw y drygau mwyaf ag y mae dynion yn agored iddynt yn y byd hwn, 2 Sam. xxiv. 13.

Adn. 12. *Y pellenig a fydd marw o'r haint*] Sef yr hwn a ffoai i wledydd ereill, ac a dybiai ei fod allan o berygl, trwy ei fod yn mhell oddiwrth ei elynion; *a'r cyfagos a syrth gan y cleddyf*—sef yr hwn a fyddai yn nghanol ei elynion, neu a geisiai ymguddio yn ei wlad ei hun; *y gweddilledig a'r gwarchäedig hefyd a fydd marw o newyn*—sef y gweddill a arhosent yn y ddinas, ac a warchëid yno gan y gelynion. *Fel hyn y gorphenaf fy llidiogrwydd arnynt* — neu y cyflawnaf fy holl fygythion dialeddol i'w herbyn.

Adn. 13. *A chewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Agorir eich llygaid trwy y barnedigaethau hyn i weled nad oes Duw ond myfi, er i chwi o'r blaen wasanaethu duwiau dyeithr; *pan fyddo eu harcholledigion hwynt yn mysg eu heilunod, &c.*—fel y bygythiwyd yn adn. 4—7; *lle y rhoddasant arogl peraidd*—neu 'lle y *rhoddasoch*,' &c. Y mae y LXX yn ei ddarllen yn yr ail berson trwy yr holl adnod.

Adn. 14. *Felly yr estynaf fy llaw arnynt*] Sef llaw ei ddialedd cyfiawn; *a gwnaf y tir yn anrhaith*—trwy ladd a chaethgludo ei drigolion; *ïe, yn fwy anrheithiol na'r anialwch tua Diblath*—neu 'Diblathaim,' fel ei gelwir yn Num. xxxiii. 46; sef y diffaethwch ar gyffiniau Moab ond odid, neu yr 'anialwch mawr ac ofnadwy, lle yr ydoedd seirff tanllyd ac ysgorpionau,' Deut. viii. 15. *A chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—trwy gyflawniad fy marnedigaethau arnynt, adn. 13.

PEN. VII. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Yn ebrwydd ar ol yr hyn a adroddwyd uchod.

Adn. 2. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth dir Israel*] Sef wrth drigolion gwlad Judea: gwel ar pen. vi. 2. *Diwedd, diwedd a ddaeth ar bedair congl y tir*—sef ar yr oll o dir Judea. Y mae yr ail-adroddiadau mynych a geir yn y broffwydoliaeth hon, yn dangos fod y proffwyd mewn braw mawr yn yr olwg ar y trallodau nesaol ar yr Iuddewon, fel dyn yn gwaeddi 'Tân, tân!' wrth weled tŷ neu eiddo yn dechreu llosgi. Yr oedd y 'diwedd' hwn yn ddiwedd ar amynedd Duw tuag atynt, ac ar eu heddwch, eu llwyddiant, a'u cysuron hwythau.

Adn. 3. *Daeth yr awr hon ddiwedd arnat*] Hyny yw, y mae efe yn ymyl: *a mi a anfonaf fy nig arnat ti*—yr hwn a fydd yn ddig cyfiawn, yn ol haeddiant dy ffyrdd; *a rhoddaf dy holl ffieidd-dra arnat*—sef cosp dy eilunaddoliaeth ffiaidd.

Adn. 4. *Fy llygad hefyd ni'th arbed di, ac ni thosturiaf*] Pan fyddot yn ochain dan dy ddyoddefiadau; *a'th ffieidd-dra fydd yn dy ganol di*—bydd i gosp dy bechodau ffiaidd ddisgyn arnat yn mhob man trwy y wlad; *fel y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—trwy

5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Drwg, drwg unig, wele, a ddaeth.

6 Diwedd a ddaeth, daeth diwedd: y mae yn gwylio am danat; wele, efe a ddaeth.

7 Daeth y boregwaith atat, preswylydd y tir: daeth yr amser, agos *yw* y dydd terfysg, ac nid adsain mynyddoedd.

8 Weithian ar fyrder y tywalltaf fy llid arnat, ac y gorphenaf fy nig wrthyt: barnaf di hefyd yn ol dy ffyrdd, a rhoddaf dy holl ffieidd-dra arnat.

9 A'm llygad nid arbed, ac ni thosturiaf: rhoddaf arnat yn ol dy ffyrdd, a'th ffieidd-dra a fydd yn dy ganol di; a chewch wybod mai myfi yr Arglwydd sydd yn taro.

10 Wele y dydd, wele *efe* yn dyfod: y boregwaith a aeth allan; blodeuodd y wialen, blagurodd balchder.

11 Cyfododd traha yn wialen drygioni: ni *bydd un* o honynt, nac o'u lluaws, nac o'r eiddynt, na galar drostynt.

12 Yr amser a ddaeth, y dydd a nesaodd: na lawenyched y prynwr, ac na thristäed y gwerthwr: canys *y mae* digllonedd ar ei holl luaws hi.

13 Canys y gwerthydd ni ddychwel at yr hyn a werthwyd, er eu bod eto yn fyw: oblegid y weledigaeth *sydd* am ei holl luaws, *y rhai* ni ddychwelant: ac nid ymgryfha neb yn anwiredd ei fuchedd.

14 Udganasant yr udgorn, i barotoi pawb: eto nid â neb i'r rhyfel;

---

y farn gyfiawn a roddaf arnat: gwel ar pen. vi. 13, 14.

Adn. 5. *Drwg, drwg unig, wele, a ddaeth*] Sef drwg digymysg â daioni, neu ddim ond drwg. Ond y mae rhai o'r ysgriflyfrau Hebreig yn ei ddarllen, 'drwg *ar ol* drwg;' y naill ddrwg yn dylyn y llall; neu y drwg o gosp, ar ol y drwg o bechod.

Adn. 6. *Diwedd a ddaeth, daeth diwedd*] Gwel ar adn. 2. *Y mae yn gwylio am danat* —Hebr., 'y mae wedi *deffro* i'th erbyn.' Y mae eu *diwedd*, neu eu dinystr olaf, yn cael ei bersonoli yma, a'i arddangos fel *dienyddwr* wedi codi yn fore, ac yn dysgwyl am orchymyn i wneuthur barn ar y troseddwyr hyn. *Wele, efe a ddaeth*—yr oedd eu dinystr yn awr wrth y drws, ac mor sicr o ymweled â hwy, nes y dywedir am dano fel wedi dyfod.

Adn. 7. *Daeth y boregwaith atat*] Y mae yr ymadrodd hwn yn cyfeirio at yr amser y byddai y barnwyr yn cyhoeddi dedfryd marwolaeth ar y troseddwyr, sef yn y bore: *daeth yr amser*—i gyhoeddi y ddedfryd, ac i'w chyflawni: *agos yw y dydd terfysg, ac nid adsain mynyddoedd*—nid sŵn gwâg yn darfod yn ebrwydd ydyw, ond trwst gwirioneddol yn cyfodi oddiwrth ddynesiad byddin y Caldeaid; neu, nid adsain gorfoledd o'r mynyddoedd yn amser y cynauaf gwin ydyw, eithr trwst rhyfelgar y gelynion, a bloeddiadau torcalonus preswylwyr y tir.

Adn. 8. *Weithian ar fyrder y tywalltaf fy llid arnat*] Trwy offerynoliaeth y Caldeaid hyn: *barnaf di hefyd yn ol dy ffyrdd, &c.*—gwel ar adn. 3.

Adn. 9. *A'm llygad nid arbed, &c.*] Gwel ar adn. 4.

Adn. 10. *Wele y dydd, wele efe yn dyfod*] Sef dydd y terfysg a'r dinystr: *y boregwaith a aeth allan*—gwel ar adn. 7: *blodeuodd y wialen, blagurodd balchder*—gellir deall hyn naill ai am Nebuchodonosor, yr hwn oedd wialen llid Duw, a thywysog balch, a pharod i daraw; neu ynte am wŷr Juda, y rhai oeddynt 'wialen drygioni,' adn. 11.

Adn. 11. *Cyfododd traha yn wialen drygioni*] Yr oedd trais ac annghyfiawnder yr Iuddewon wedi myned yn gryf yn y wlad; ond yr oedd eu drygioni wedi myned yn awr yn wialen i'w cospi hwy eu hunain. Neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'cyfododd trais i fyny yn erbyn gwialen drygioni;' hyny yw, cyfododd byddin greulon y Caldeaid yn erbyn llwyth Juda, yr hwn a elwir yma yn 'wialen drygioni,' i'w dori i lawr. *Ni bydd un o honynt, nac o'u lluaws, nac o'r eiddynt*—bydd y dinystr mor gyffredinol, fel na fydd braidd neb o'u lluaws, na dim o'u cyfoeth, yn aros yn y wlad; *na galar drostynt*—ni fydd neb i alaru ar ol y rhai a leddir, neu a ddygir i gaethiwed.

Adn. 12. *Yr amser a ddaeth*] Sef dydd y dinystr. *Na lawenyched y prynwr*—canys ni chaiff efe fwynhau yr hyn a brynodd; *ac na thristäed y gwerthwr*—oblegid ni chawsai yntau ddal ei feddiannau, pe buasai heb eu gwerthu: *canys y mae digllonedd ar ei holl luaws hi*—ar yr holl genedl, y cyfoethog a'r tylawd; neu, 'ar eu holl *gyfoeth* hwynt.'—*Houbigant.*

Adn. 13. *Canys y gwerthydd ni ddychwel at yr hyn a werthwyd*] Sef i feddiant o hono eilwaith, fel yr arferid gwneyd ar flwyddyn y jubili, Lef. xxv. 13, &c.: *er eu bod eto yn fyw*—er i'r gwerthydd fod ar dir y rhai byw pan ddeuai y jubili; oblegid gan nad oedd efe yn nhir Juda, eithr yn gaeth yn Babilon, nis gallai gael ei etifeddiaeth yn ol. *Oblegid y weledigaeth sydd am ei holl luaws*—y mae y broffwydoliaeth yn cyfeirio at bawb fel eu gilydd; *y rhai ni ddychwelant*—i wlad eu genedigaeth nes cyflawni y 70 mlynedd: neu, yn ol *Newcome*, 'yr *hon* ni ddychwel:' hyny yw, ni ddychwelai y weledigaeth, neu ni phallai gael ei chyflawni. *Ac nid ymgryfha neb yn anwiredd ei fuchedd*—ni fydd i neb allu ei

am *fod* fy nigllonedd yn erbyn eu
holl luaws.
15 Y cleddyf *fydd* oddiallan, yr
haint hefyd a'r newyn o fewn: yr
hwn *fyddo* yn y maes, a fydd farw
gan gleddyf; a'r hwn *a fyddo* yn y
ddinas, newyn a haint a'i difa ef.
16 ¶ Eto eu rhai diangol hwy a
ddiangant, ac ar y mynyddoedd y
byddant hwy i gyd fel colomenod y
dyffryn yn griddfan, bob un am ei
anwiredd.
17 Yr holl ddwylaw a laesant, a'r
holl liniau a ânt yn ddwfr.
18 Ymwregysant hefyd mewn
sach-lian, ac arswyd a'u toa hwynt;
a *bydd* cywilydd ar bob wyneb, a
moelni ar eu holl benau hwynt.
19 Eu harian a daflant i'r heolydd,
a'u haur a roir heibio: eu harian
na'u haur ni ddichon eu gwared
hwynt yn nydd digder yr Arglwydd;
eu henaid ni ddiwallant, a'u col-
uddion ni lanwant: o herwydd tram-
gwydd eu hanwiredd ydyw.
20 ¶ A thegwch ei harddwch ef
a osododd efe yn rhagoriaeth:
ond gwnaethant ynddo ddelwau eu
ffieidd-dra *a'u* brynti: am hyny y
rhoddais ef yn mhell oddiwrthynt.
21 Ac mi a'i rhoddaf yn llaw
dyeithriaid yn yspail, ac yn an-
rhaith i rai drygionus y tir; a hwy
a'i halogant ef.
22 Troaf hefyd fy wyneb oddi-
wrthynt, a halogant fy nirgelfa: ïe,
anrheithwyr a ddaw iddi, ac a'i
halogant.

---

ddiogelu ei hun trwy ei fuchedd annuwiol, neu trwy ymgaledu yn ei bechodau.

Adn. 14. *Udganasant yr udgorn*] Blaenoriaid yr Iuddewon a wnaethant hyny; *i barotoi pawb*—o'u brodyr erbyn dyfodiad y Caldeaid, Jer. vi. 1: *eto nid â neb i'r rhyfel*—yn erbyn y gelynion cedyrn hyn; *am fod fy nigllonedd yn erbyn eu holl luaws*—trwy fod Duw yn penderfynu eu dyfetha hwynt, am hyny ni chaent nerth na gwroldeb i'w hamddiffyn eu hunain.

Adn. 15. *Y cleddyf fydd oddiallan*] Yn difa y neb fyddo yn y maes; *yr haint hefyd a'r newyn o fewn*—yn difa yr hwn fyddo yn y ddinas.

Adn. 16. *Eto eu rhai diangol hwy a ddiangant*] Byddai i ychydig weddill ddianc rhag cael eu difa gan y cleddyf, y newyn, a'r haint; *ac ar y mynyddoedd y byddant hwy i gyd fel colomenod y dyffryn*—Hebr., 'fel colomenod cwynfanus' wedi eu hymlid o'u ffenestri, ac yn cwynfan am eu cymheiriaid; *yn griddfan bob un am ei anwiredd*—sef am y trallodau a ddygwyd arnynt trwy eu hanwiredd.

Adn. 17. *Yr holl ddwylaw a laesant*] Trwy lwfrdra a dychryn; *a'r holl liniau a ânt yn ddwfr*—yn wan fel dwfr; neu, fel y mae *Jerome* yn ei ddeall: 'Pavoris magnitudine, urina polluet genua, nec valebit profluentes aquas vesica prohibere.' Y mae hyn yn effaith naturiol dirfawr ddychryn.

Adn. 18. *Ymwregysant hefyd mewn sach-lian*] Yn arwydd o alar a gofid; *ac arswyd a'u toa hwynt*—rhag iddynt gael eu dal gan eu gelynion: *a bydd cywilydd ar bob wyneb*—sef arwyddion amlwg o ddyryswch a thrueni; *a moelni ar eu holl benau hwynt*—trwy iddynt dynu eu gwallt yn eu gofid, neu ei eillio ef ymaith yn arwydd o alar, Jer. xlviii. 37.

Adn. 19. *Eu harian a daflant i'r heolydd, a'u haur a roir heibio*] Trwy eu bod yn ddiwerth iddynt yn amser newyn, neu yn rhwystr iddynt ffoi: *eu harian na'u haur ni ddichon eu gwared hwynt yn nydd digder yr Arglwydd*—er eu bod o'r blaen yn ymddiried ynddynt, ac yn eu caru fel eu duw. *Eu henaid ni ddiwallant, a'u coluddion ni lanwant*—nis gallant brynu â hwynt gysur i'w meddwl, nac ymborth i'w corff: ac y maent yn awr yn canfod nad yw *pwys* o aur yn werth *owns* o fara. *O herwydd tramgwydd eu hanwiredd ydyw*—yr oedd eu haur a'u harian wedi bod yn achlysur i feithrin eu cybydd-dod, eu han-nghyfiawnder, a'u trais, neu ynte yn borthiant i'w balchder, eu gloddest, a'u rhysedd, fel ag i'w suddo hwynt mewn anwiredd, a'u cospi yn awr â dinystr o'i herwydd. Ond y mae rhai yn ei ddarllen, 'A'u coluddion ni lanwant, ar ol i'w hanwiredd ddwyn arnynt ddinystr.'

Adn. 20. *A thegwch ei harddwch ef*] Sef y *deml*, fel ei deallir yn gyffredin; *a osododd efe yn rhagoriaeth*—gorchymynodd Duw fod i'r deml gael ei gwneuthur yn adeilad hardd a mawreddog. *Ond gwnaethant ynddo ddelwau eu ffieidd-dra a'u brynti*—darfu i'r Iuddewon halogi y deml, trwy osod delwau yno, pen. v. 11, 2 Bren. xxi. 4, 5. *Am hyny y rhoddais ef yn mhell oddiwrthynt*—trwy eu symud hwy yn mhell oddiwrth y deml. Ond fe allai mai at yr *aur*, ag y soniwyd am dano adn. 19, y cyfeirir yma; canys y mae y LXX yn darllen yr adnod fel hyn: 'Gwnaethant o hono addurniad têg er balchder; a gwnaethant o hono ddelwau eu ffieidd-dra a'u brynti: am hyny y rhoddais ef yn mhell oddiwrthynt.'

Adn. 21. *A mi a'i rhoddaf yn llaw dyeithriaid yn yspail*] Sef yn llaw y Caldeaid; *ac yn anrhaith i rai drygionus y tir*—Saes., 'rhai drygionus y *ddaear*;' neu '*bleiddiau* y ddaear,' yn ol y LXX, fel y gellir galw y Caldeaid yn briodol: *a hwy a'i halogant ef*—sef y *deml*, trwy fyned i mewn iddi a'i llosgi; neu ynte a halogant yr *aur*, trwy wneuthur delwau o hono iddynt eu hunain: gwel ar Dan. iii. 1. Modd bynag, cyfeirir at y *deml* yn eglur yn yr adnod nesaf.

Adn. 22. *Troaf hefyd fy wyneb oddiwrth-*

23 ¶ Gwna gadwyn; canys llanwyd y tir o farn waedlyd, a'r ddinas sydd lawn o drais.

24 Am hyny y dygaf rai gwaethaf y cenhedloedd, fel y meddiannont eu tai hwynt: gwnaf hefyd i falchder y cedyrn beidio; a'u cysegroedd a halogir.

25 Y mae dinystr yn dyfod: a hwy a geisiant heddwch, ac nis *cânt.*

26 Daw trychineb ar drychineb, a bydd chwedl ar chwedl: yna y ceisiant weledigaeth gan y proffwyd, ond cyfraith a gyll gan yr offeiriad, a chynghor gan yr henuriaid.

27 Y brenin a alara, a'r tywysog a wisgir âg anrhaith, a dwylaw pobl y tir a drallodir: gwnaf â hwynt yn ol eu ffordd, ac â'u barnedigaethau y barnaf hwynt; fel y gwybyddont mai myfi *yw* yr Arglwydd.

## PENNOD VIII.

A BU yn y chweched flwyddyn, yn y chweched *mis*, ar y pummed *dydd* o'r *mis*, a mi yn eistedd yn fy nhŷ, a henuriaid Juda yn eistedd ger fy mron, syrthio o law yr Arglwydd Dduw arnaf yno.

2 Yna yr edrychais, ac wele gyffelybrwydd fel gwelediad tân; o weledlad ei lwynau ac isod, yn dân; ac o'i lwynau ac uchod, fel gweled-iad dysgleirdeb, megys lliw amber.

---

*ynt*] Sef oddiwrth y Caldeaid, fel un difater neu anystyriol o'r hyn a wneir ganddynt; *a halogant fy nirgelfa*—sef y deml, ac hyd yn nod y cysegr santeiddiolaf: *ïe, anrheithwyr a ddaw iddi*—ac a'i hyspeiliant hi o bob peth gwerthfawr ynddi, megys yr arch, y drugareddfa, a'r cerubiaid aur arni; *ac a'i halogant*—trwy fyned iddi, a'i llosgi.

Adn. 23. *Gwna gadwyn*] I arwyddo y caethiwed nesaol, pryd y bydd i'r brenin a'i bobl gael eu dwyn mewn cadwynau i Babilon, 2 Bren. xxv. 7, Jer. xl. 1; *canys llanwyd y tir o farn waedlyd*—o droseddau gwaedlyd, neu farn annghyfiawn yn peri tywallt gwaed gwirion; *a'r ddinas sydd lawn o drais*—sef gorthrymder ac ysgelerder o bob math.

Adn. 24. *Am hyny y dygaf rai gwaethaf y cenhedloedd*] Sef y Caldeaid, y rhai mwyaf creulon ac eilunaddolgar o'r holl genhedloedd; *fel y meddiannont eu tai hwynt*—a'u holl gyfoeth: *gwnaf hefyd i falchder y cedyrn beidio*—sef tywysogion Juda, y rhai a ymfalchïent yn eu mawredd, eu cyfoeth, a'u gwlad; *a'u cysegroedd a halogir*—sef eu teml a'i chynteddau.

Adn. 25. *Y mae dinystr yn dyfod*] Ar y wlad a'i thrigolion: *a hwy a geisiant heddwch*—trwy ymofyn â'r proffwyd a'r offeiriad, adn. 26, neu trwy geisio ffafr gan y Caldeaid; *ac nis cânt*—am iddynt bechu yn erbyn y Caldeaid, trwy dori eu cyfammod â hwynt, ac attal y deyrnged oddiwrthynt.

Adn. 26. *Daw trychineb ar drychineb*] Sef y naill ddrwg i ganlyn y llall nes eu dyfetha; *a bydd chwedl ar chwedl*—y naill newydd drwg ar ol y llall yn cyraedd eu clustiau. *Yna y ceisiant weledigaeth gan y proffwyd*—neu wybodaeth pa bryd y derfydd eu trallodau. *Ond cyfraith a gyll gan yr offeiriad*—ni fydd ganddo yntau, mwy na'r proffwyd, ddim cysur i'w roddi iddynt; *a chynghor gan yr henuriaid*—ni fydd gan eu seneddwyr doethaf, na'r henafgwyr mwyaf profiadol, un cynghor i'w roddi iddynt a all eu llesâu.

Adn. 27. *Y brenin a alara*] Wrth iddo gael ei ddedfrydu i golli ei lygaid, a'i ddwyn mewn cadwynau i Babilon; *a'r tywysog a wisgir âg anrhaith*—bydd i holl benaethiaid y genedl gael eu hyspeilio o'r cwbl a feddant; *a dwylaw pobl y tir a drallodir*—neu, yn ol y LXX, 'a wanychir,' fel ag i fod yn analluog i'w hamddiffyn eu hunain. *Gwnaf â hwynt yn ol eu ffordd*—ddrygionus eu hunain; *ac â'u barnedigaethau y barnaf hwynt*—gwnaf iddynt fel y gwnaethant hwy i ereill; *fel y gwybyddont mai myfi yw yr Arglwydd*—gwel ar pen. vi. 13, 14.

PEN. VIII. Adn. 1. *A bu yn y chweched flwyddyn*] O gaethiwed Ezeciel a Jehoiacin; *yn y chweched mis, ar y pummed dydd o'r mis*—yr oedd hyn bedwar mis ar ddeg ar ol y weledigaeth gyntaf a gawsai y proffwyd, pen. i. 1, ac felly o fewn yspaid y 430 o ddyddiau ag yr oedd efe i orwedd ar ei ystlysau, pen. iv. 4—6. Eithr barna *Vignoles* ac ereill mai eu 'blwyddyn naid' hwy oedd hon, yr hon a ddygwyddai bob tair blynedd, at yr hon y chwanegid y mis *Feadar*, neu y trydydd-ar-ddeg; ac felly yr oedd y 430 o ddyddiau hyny yn awr ar ben. *A mi yn eistedd yn fy nhŷ*—wrth afon Cebar; *a henuriaid Juda yn eistedd ger fy mron*—sef y gwŷr penaf o'r rhai a gaethgludesid ar yr un pryd a'r proffwyd a'r brenin. Fe allai mai y dydd sabboth oedd hwn, a'u bod wedi dyfod ato i'w dŷ i wrandaw ar ei addysgiadau, neu i ymgynghori âg ef yn nghylch eu hamgylchiadau presenol, neu gyflwr eu brodyr yn Judea a Jerusalem. *Syrthio o law yr Arglwydd Dduw arnaf yno*—yn eu gwydd hwynt oll, yr un modd ag ar y cyntaf: gwel ar pen. i. 3.

Adn. 2. *Yna yr edrychais, ac wele gyffelybrwydd*] Neu lun dyn, yr hwn a welsai efe gynt ar yr orseddfaine: *fel gweledlad tân*—yn ddysglaer a gogoneddus: *o weledlad ei lwynau ac isod, yn dân*—megys ag y gwelsai efe ef o'r blaen; *ac o'i lwynau ac uchod, fel gweledlad dysgleirdeb, megys lliw amber*—yn edrych yn debyg i lewyrch yr aur dysgleiriaf. Yn pen. i. 26, 27, cawsom yr un darluniad o'r blaen o'r Person gogoneddus hwn: gwel y sylwadau yno.

3 Ac efe a estynodd lun llaw, ac
a'm cymerodd erbyn cudyn o'm pen;
a chododd yr ysbryd fi rhwng y
ddaear a'r nefoedd, ac a'm dyg i
Jerusalem mewn gweledigaethau
Duw, hyd ddrws y porth nesaf i
mewn, yr hwn sydd yn edrych tua'r
gogledd, lle yr *ydoedd* eisteddfa
delw yr eiddigedd, yr hon a wna
eiddigedd.
4 Ac wele yno ogoniant Duw
Israel, fel y weledigaeth a welswn
yn y gwastadedd.
5 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Mab dyn, cyfod yn awr dy lygaid *tua*
ffordd y gogledd. Felly y cyfodais
fy llygaid *tua* ffordd y gogledd, ac
wele, tua'r gogledd, wrth borth yr
allor, ddelw yr eiddigedd hon yn y
cyntedd.
6 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Mab dyn, a weli di beth y maent
hwy yn ei wneuthur, y ffieidd-dra
mawr y mae tŷ Israel yn ei wneuthur
yma, i'm gyru yn mhell oddiwrth
fy nghysegr? ac eto dychwel, cei
weled ffieidd-dra mwy.
7 ¶ Ac efe a'm dyg i ddrws y
cyntedd: a phan edrychais, wele
dwll yn y pared.
8 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Mab dyn, cloddia yn y pared: a
phan gloddiais yn y pared, wele
ddrws.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Dos i mewn, ac edrych y ffieidd-dra
drygionus y maent hwy yn eu
gwneuthur yma.
10 Felly mi a aethym, ac a
edrychais; ac wele bob llun ym-
lusgiad, ac anifel ffiaidd, a holl
eilunod tŷ Israel, wedi eu portreio
ar y pared o amgylch ogylch:
11 A dengwr a thriugain o henur-

---

Adn. 3. *Ac efe a estynodd lun llaw, ac a'm cymerodd erbyn cudyn o'm pen*] Neu gerfydd gwallt ei ben, i ddangos ei awdurdod drosto. *A chododd yr ysbryd fi rhwng y ddaear a'r nefoedd*—fel y tybiai efe ar y pryd; *ac a'm dyg i Jerusalem mewn gweledigaethau Duw*—neu mewn arddanghosiad meddyliol; hyny yw, dygwyd ef i Jerusalem, nid yn wirioneddol, ond yn weledigaethol, tra yr oedd efe yn bersonol gyda henuriaid Juda yn ei dŷ ei hun: gwel siamplau cyffelyb, Jer. xiii. 4, a xxv. 15—29. *Hyd ddrws y porth nesaf i mewn*—trwy yr hwn yr aent i'r cyntedd nesaf i mewn, a elwid 'cyntedd yr offeiriaid,' yn yr hwn yr oedd allor y poeth-offrwm yn sefyll. *Lle yr ydoedd eisteddfa delw yr eiddigedd*—sef delw Baal, Mars, neu Tammuz, adn. 14; *yr hon a wna eiddigedd*—yr hon a gyffry yr Arglwydd i eiddigedd, yr un modd ag y gwnai godineb cyhoedd gwraig yn nhŷ ei gŵr gyffroi eiddigedd ei phriod.

Adn. 4. *Ac wele yno ogoniant Duw Israel*] Yn ymddangos o'm blaen; *fel y weledigaeth a welswn yn y gwastadedd*—gwel ar pen. iii. 22, 23.

Adn. 5. *Mab dyn, cyfod yn awr dy lygaid tua ffordd y gogledd*] Canys yr oedd drws y porth hwn yn 'edrych tua'r gogledd,' adn. 3. Ac wedi iddo edrych tuag yno, efe a welai 'ddelw yr eiddigedd hon' yn y cyntedd hwnw, wrth borth yr allor.

Adn. 6. *A weli di beth y maent hwy yn ei wneuthur*] Sef y ffieidd-dra ag y mae tŷ Israel yn ei wneuthur yma, *i'm gyru i yn mhell oddiwrth fy nghysegr?*—fe allai mai nid hyny oedd eu hamcan hwy; eto yr oedd y fath gythruddiadau yn ddigon i beri iddo ymadael, a rhoddi ei gysegr i fyny i ddwylaw y Caldeaid dienwaededig, i gael ei halogi a'i ddystrywio ganddynt. *Ac eto dychwel, cei weled ffieidd-dra mwy*—yr hwn oedd yn fwy, am ei fod yn cael ei gyflawni gan wŷr mwy, sef henuriaid tŷ Israel, adn. 11.

Adn. 7. *Ac efe a'm dyg i ddrws y cyntedd*] Tybia *Lightfoot* mai porth dwyreiniol y cyntedd nesaf i mewn oedd hwn, a elwir 'Porth Nicanor,' uwchben yr hwn yr oedd y gynghorfa, lle yr arferai y sanhedrim gyfarfod. *A phan edrychais, wele dwll yn y pared*—trwy yr hwn y gallai y proffwyd weled ychydig o'r ffieidd-dra, ond nid y cwbl.

Adn. 8. *Ac efe a ddywedodd wrthyf, Mab dyn, cloddia yn y pared*] I wneuthur y twll yn fwy. *A phan gloddiais yn y pared, wele ddrws*—gwelwn ddrws ar fy nghyfer, trwy yr hwn y deuai yr henuriaid i mewn i'r ystafell ddirgel hòno i gyflawni eu ffieidd-dra eilunaddolgar.

Adn. 9. *Dos i mewn*] Nid trwy y drws a welsai, canys yr oedd hwnw yr ochr arall i'r ystafell; ond trwy y twll a gloddiasai efe ei hun: *ac edrych y ffieidd-dra drygionus y maent hwy yn eu gwneuthur yma*—dan gronglwyd fy nghysegr i!

Adn. 10. *Felly mi a aethym*] Fel y gorchymynwyd i mi; *ac wele bob llun ymlusgiad, ac anifel ffiaidd*—megys seirff, crocodiliaid, llyffaint, cwn, &c., y rhai a addolid gan yr Aifftiaid; *a holl eilunod tŷ Israel*—megys llun Baal, Astaroth, Moloch, a'r holl dduwiau ereill a dderbyniasai Israel oddiwrth eilunaddoliaeth y cenhedloedd o'u hamgylch; *wedi eu portreio ar y pared o amgylch ogylch*—sef wedi eu paentio neu eu cerfio ar barwydydd yr ystafell, yn ol arferiad yr Aifftiaid ac ereill. Y mae yn debyg eu bod yn meddwl ysgoi llythyren y gyfraith a waharddai osod i fyny ddelwau i'w haddoli, wrth gael y lluniau hyn wedi eu portreiadu neu eu paentio yn unig ar y parwydydd.

Adn. 11. *A dengwr a thriugain o henuriaid tŷ Israel*] Aelodau y cynghor, y rhai a

iaid tŷ Israel yn sefyll ar eu cyfer hwynt, a Jaazaniah mab Saphan yn sefyll yn eu canol: pob un â'i thuser yn ei law, a chwmwl tew o fwg-darth oedd yn dyrchafu.
12 Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli di, fab dyn, yr hyn y mae henuriaid Israel yn ei wneuthur yn y tywyllwch, bob un o fewn ei ddelw-gelloedd? canys dywedant, Nid yw yr Arglwydd yn ein gweled; gadawodd yr Arglwydd y ddaear.
13 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, Tro eto, cei weled ffieidd-dra mwy, y rhai y maent hwy yn eu gwneuthur.
14 Ac efe a'm dyg i ddrws porth tŷ yr Arglwydd, yr hwn *oedd* tua'r gogledd, ac wele yno wragedd yn eistedd yn ŵylo am Tammuz.
15 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli di *hyn*, fab dyn? dychwel eto, cei weled ffieidd-dra mwy na hyn.
16 Ac efe am dyg i gyntedd tŷ yr Arglwydd oddifewn, ac wele *wrth* ddrws teml yr Arglwydd, rhwng y porth a'r allor, yn nghylch pumwr ar hugain, â'u cefnau tuag at deml yr Arglwydd, a'u hwynebau tua'r dwyrain; ac yr oeddynt hwy yn ymgrymu i'r haul tua'r dwyrain.

---

ddylasent roddi siamplau o wir grefydd i'r bobl, yn lle eu harwain hwynt i eilunaddoliaeth; *yn sefyll ar eu cyfer hwynt*—sef ar gyfer y lluniau hyny i'w haddoli: *a Jaazaniah mab Saphan yn sefyll yn eu canol*—yr oedd Saphan yn ysgrifenydd neu gofiadur y llywodraeth yn amser Josiah, ac yn ŵr selog yn nygiad y diwygiad crefyddol yn mlaen y pryd hyny, 2 Bren. xxii. 3, &c.; ond yr oedd ei fab ef yn awr yr un mor selog i lygru y bobl: *pob un â'i thuser yn ei law*—fel offeiriad cysegredig; *a chwmwl tew o fwg-darth oedd yn dyrchafu*—o'r thuserau hyny, yr hyn a ddengys eu bod yn arogldarthu i'r lluniau hyny ar y pryd.

Adn. 12. *A weli di, fab dyn, yr hyn y mae henuriaid Israel*] Sef y gwŷr mwyaf yn y wladwriaeth, *yn ei wneuthur yn y tywyllwch*—neu yn ddirgel, *bob un o fewn ei ddelw-gelloedd*—neu 'yn nyfais ei ddychymygion ei hun!' Casgla rhai oddiyma fod ganddynt luniau cyffelyb yn ystafelloedd eu tai eu hunain hefyd. *Canys dywedant, Nid yw yr Arglwydd yn ein gweled*—fel hyn yr oeddynt yn gwadu holl-wybodaeth a hollbresenoldeb Duw, yr hyn yw un achos o ymadawiad dynion oddiwrtho. *Gadawodd yr Arglwydd y ddaear*—neu wlad Judea, gan ei rhoddi i fyny yn ysglyfaeth i'w gelynion; ac am hyny, fel pe dywedasent, y mae yn bryd i ni edrych am ryw dduwiau ereill i'w hamddiffyn hi. Felly aethant i addoli duwiau eu cymydogion, y rhai a dybient yn fwy llwyddiannus na hwy eu hunain.

Adn. 13. *Ac efe a ddywedodd wrthyf, Tro eto*] Sef tua'r gogledd, adn. 14; *cei weled ffieidd-dra mwy*—nag a welaist eto.

Adn. 14. *Ac efe a'm dyg i ddrws porth tŷ yr Arglwydd, yr hwn oedd tua'r gogledd*] Tybia *Lightfoot* fod hwn yn wahanol i'r un a grybwyllwyd adn. 5: ac mai hwn oedd y porth gogleddol uwchaf, yn edrych tua'r deml; a hwnw y porth isaf, yn edrych tua'r allor. *Ac wele yno wragedd yn eistedd, yn wylo am Tammuz*—sef ar ol y duw hwnw, yr hwn a addolid gyda phutteindra ac aflendid o'r fath fwyaf gwaradwyddus. Pwy a dybiasai y gwelsid merched Seion, y rhai a ddygwyd i fyny ar fronau gwir grefydd, yn ymroddi i'r fath ffieidd-dra erchyll, a hyny yn nheml y gwir Dduw! Meddylir mai yr un oedd *Tammuz* ac *Adonis*, ac felly y cyfieithir ef yn y *Vulgate*. Tybia rhai fod *Tammuz* yn meddwl yr *haul* yn mherffeithrwydd ei wres a'i oleuni ganol yr haf; a bod y traddodiad am *Adonis* yn cael ei ladd gan y baedd, yn arwyddo lleihad ei wres a'i oleuni ef gan y gauaf. Ond yn ol y chwedlau paganaidd, arddanghosir *Tammuz* neu *Adonis* fel gŵr ieuanc hardd, yr hwn a gerid yn wresog gan *Venus*; a dywedir i *Mars*, gan 'eiddigeddu' wrthi, anfon baedd gwyllt ar ei ol ef i fynydd Libanus, yr hwn a'i lladdodd ef yno wrth darddiad yr afon *Adonis*, yr hon y dywedir ei bod yn llifo o *waed* ar ei ŵyl flynyddol ef, sef tua dechre mis Awst bob blwyddyn, mewn cydymdeimlad â'i farwolaeth ef. Y pryd hyny arferai y gwragedd Phenicaidd ac Assyriaidd alaru am dano gyda'r dwysder mwyaf; ac wedi hyny, o barch i *Venus*, torent allan mewn llawenydd a gorfoledd gorwyllt, pryd yr ymwerthent i bob aflendid a phutteindra er anrhydedd iddo ef a *Venus*. Cyfeiria Milton at hyn yn Ngholl Gwynfa, llyfr i. llin. 446. Dywed *Maundrell* iddo ef weled yr afon *Adonis* yn goch tua'r amser hwnw: ond rhoddir cyfrif am ei chochni trwy ddangos ei bod yn ymgodi gan wlawogydd y pryd hyny o'r flwyddyn, ac yn llifo dros dir coch, yr hyn a roddai liw coch i'w dyfroedd.

Adn. 15. *A weli di hyn, fab dyn?*] A sylwaist ti yn ddifrifol arno? *Dychwel eto, cei weled ffieidd-dra mwy na hyn*—yr hwn a wneir mewn lle mwy cysegredig, ac hyd yn nod gan yr offeiriaid eu hunain!

Adn. 16. *Ac efe a'm dyg i gyntedd tŷ yr Arglwydd oddifewn*] Ac nid i ddrws y cyntedd a'r porth fel o'r blaen, adn. 7, 14. *Ac wele wrth ddrws teml yr Arglwydd, rhwng y porth a'r allor*—lle yr arferai yr offeiriaid weddio am arbediad i'r bobl, Joel ii. 17; *yn nghylch pumwr ar hugain*—i arddangos y 24 dosbarth o offeiriaid, a'r archoffeiriad yn ben arnynt, 1 Cron. xxiv. 19; *â'u cefnau tuag at deml yr Arglwydd*—tuag at y cysegr sancteiddiolaf, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa,

17 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf, A weli di *hyn*, fab dyn? ai peth ysgafn gan dŷ Juda wneuthur y ffieidd-dra a wnant yma? canys llanwasant y tir â thrais, a gwrthdroisant i'm cyffroi i: ac wele hwy yn gosod blaguryn wrth eu trwyn.
18 Minau hefyd a wnaf mewn llid: nid arbed fy llygad, ac ni thosturiaf: ac er iddynt lefain yn fy nghlustiau â llef uchel, ni wrandawaf hwynt.

## PENNOD IX.

LLEFODD hefyd â llef uchel lle y clywais, gan ddywedyd, Gwnewch i swyddogion y ddinas nesâu, a phob un â'i arf dinystr yn ei law.
2 Ac wele chwech o wŷr yn dyfod o ffordd y porth uchaf, yr hwn sydd yn edrych tua'r gogledd, a phob un â'i arf dinystr yn ei law: ac *yr oedd*

---

a'r Secina dwyfol yn aros rhwng y cerubiaid; *a'u hwynebau tua'r dwyrain*—lle y dylasai eu cefnau fod: *ac yr oeddynt hwy yn ymgrymu i'r haul tua'r dwyrain*—i'w addoli ef ar ei gyfodiad, yn ol arferiad y Caldeaid, y Persiaid, a chenhedloedd ereill. Nid troi eu gwyneb i'r dwyrain yn unig oedd yn gwneyd i fyny eu pechod hwy, eithr ei droi yno i addoli yr *haul*, gan gefnu felly ar *Jehofa* a'i gysegr. Yr oedd Duw wedi gorchymyn i'r arch a'r drugareddfa fod yn mhen *gorllewinol* y tabernacl, mewn gwrthwynebiad i'r math yma o eilunaddoliaeth: gwel ar Ecsod. xxvi. 36. Yr oedd yr Iuddewon duwiol yn troi eu *gwyneb* tua'r *deml* bob amser wrth addoli; a phechod y rhai hyn oedd troi eu *cefnau* ati.

Adn. 17. *A weli di hyn, fab dyn?*] Sef yr holl ffieidd-dra yma; y modd y gosodasant ddelw yr eiddigedd yn y cyntedd, adn. 5; ac y gwnaethant luniau ffiaidd i arogldarthu iddynt yn yr ystafell, adn. 10, 11; ac y gosodasant eu *Tammuz* allan yn nrws y porth, lle yr ŵyla y gwragedd am dano, adn. 14; a'r modd y cefna yr offeiriaid ar fy nghysegr, i addoli yr haul, adn. 16. *Ai peth ysgafn gan dŷ Juda*—y rhai a broffesant ac a wyddant well pethau, *wneuthur y ffieidd-dra a wnant yma?*—ai peth dibwys yw hyn oll, neu beth ag y gellir ei esgusodi ynddynt? *Canys llanwasant y tir â thrais*—yn chwanegol at eu holl bechodau ereill; *a gwrthdroisant*—neu 'troisant yn ol,' *i'm cyffroi i*—Saes., 'i'm hannog i ddigofaint;' hyny yw, ar ol iddynt fyned allan i lenwi y tir â thrais, daethant yn ol i'r deml i gyflawni y pethau ffiaidd uchod. Ar ol bod yn gwneuthur aughyfiawnder yn erbyn dyn, troisant at annuwioldeb yn erbyn yr Arglwydd; ac fel hyn, trwy ffieidd-dra adnewyddol, chwanegasant eu heuogrwydd yn ddirfawr. *Ac wele hwy yn gosod blaguryn wrth eu trwyn*—meddylir yn gyffredin fod yma gyfeiriad at arferiad rhai cenhedloedd paganaidd o ddal yn eu llaw gangen o lawryf, neu o ryw bren cysegredig arall, yr hon a aroglent yn addoliad eu duwiau, neu â dail yr hon y cuddient eu hwynebau. Barna ereill mai cyfeiriad sydd yma at arferiad rhai eilunaddolwyr o gyffwrdd â'r eilun â gwialen, yr hon wedi hyny a roddent wrth eu trwyn a'u genau mewn ffordd o addoliad neu anrhydedd i'r eilun. Ond dywed y rabbiniaid mai y darlleniad mwyaf gwreiddiol yw, nid '*eu* trwyn,' ond '*fy* nhrwyn;' ac mai y meddwl yw, eu bod yn estyn gwiail tuag at wyneb yr Arglwydd, i'w watwar a'i gythruddo ef. *Lightfoot* a'i cyfieitha: 'Y maent yn gosod y gangen at fy llid;' hyny yw, y maent yn chwanegu tanwydd at fy llid, yr hwn a dyr allan fel fflam i'w hysu hwynt. *Newcome:* 'Ac wele, y maent yn anfon allan swn dirmygus trwy eu ffroenau.' Rhoddir ystyron ereill i'r geiriau hyn gan rai, y rhai nid ydynt deilwng o'u coffâu.

Adn. 18. *Minau hefyd a wnaf mewn llid*] A ymddygaf tuag atynt hwythau mewn llid. *Nid arbed fy llygad, ac ni thosturiaf*—ni fydd i'r olwg ar eu trueni beri i mi eu harbed, na thosturio wrthynt. *Ac er iddynt lefain yn fy nghlustiau â llef uchel*—gan waeddi yn daer am arbediad; *ni wrandawaf hwynt*—am fod eu pechodau ffiaidd yn gwaeddi yn uwch am ddialedd, nag y mae eu gweddi yn llefain am drugaredd.

PEN. IX. Adn. 1. *Llefodd hefyd â llef uchel lle y clywais*] Fel ag i beri i mi glywed. Hwn oedd yr un Person gogoneddus ag a arweiniai y proffwyd yn y bennod flaenorol; canys y mae y bennod hon, a'r ddwy ganlynol, yn barhad o'r un broffwydoliaeth. *Gwnewch i swyddogion y ddinas nesâu*—y rhai hyn oeddynt angylion yn cysgodi swyddogion byddin y Caldeaid, y rhai a weinyddent farnedigaethau Duw ar Jerusalem a'i thrigolion. *A phob un â'i arf dinystr yn ei law*—yn barod at ei waith.

Adn. 2. *Ac wele chwech o wŷr yn dyfod o ffordd y porth uchaf*] Ymddanghosent yn y weledigaeth fel *gwŷr*, ac y mae y proffwyd yn eu galw yn ol eu hymddangosiad. Fe allai fod y rhif *chwech* yn cyfateb i chwe phorth y ddinas, trwy y rhai y deuai y Caldeaid i mewn; neu i chwe cadfridog y Babiloniaid; neu gall ei fod yn rhif penodol am nifer amhenodol. *Yr hwn sydd yn edrych tua'r gogledd*—gwelsom yn fynych mai ar hyd ffordd y gogledd y daeth y Caldeaid i Judea: gwel Jer. iv. 15, a x. 22. *A phob un â'i arf dinystr yn ei law*—fel milwyr dan arfau. *Ac yr oedd un gŵr yn eu mysg hwynt wedi ei wisgo â lliain*—yn debycach i offeiriad nag i filwr; *a chorn du ysgrifenydd wrth ei glûn*—set dûgorn, neu *inkhorn*, yn crogi wrth ei wregys, yn barod i nodi y rhai a arbedid yn nghanol y gyflafan gyffredinol, adn. 4. Yr oedd yr angel hwn yn gysgod o ofal rhagluniaethol Duw am

un gŵr yn eu mysg hwynt wedi ei
wisgo â llian, a chorn dû ysgrifen-
ydd wrth ei glûn: a hwy a aethant
i mewn, ac a safasant wrth yr allor
bres.
3 A gogoniant Duw Israel a gy-
fododd oddiar y cerub yr ydoedd
efe arno, hyd riniog y tŷ. Ac efe a
lefodd ar y gŵr oedd wedi ei wisgo
â llian, yr hwn *yr oedd* corn dû ys-
grifenydd wrth ei glûn:
4 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrtho, Dos trwy ganol y ddinas,
trwy ganol Jerusalem, a noda nôd
ar dalcenau y dynion sydd yn uch-
eneidio ac yn gwaeddi am y ffieidd-
dra oll a wneir yn ei chanol hi.
5 ¶ Ac wrth y lleill y dywedodd efe
lle y clywais, Ewch trwy y ddinas
ar ei ol ef, a tharewch; nac arbed-
ed eich llygad, ac na thosturiwch.
6 Lleddwch yn farw yr henwr, y
gŵr ieuanc, a'r forwyn, y plant hef-
yd a'r gwragedd; ond na ddeuwch
yn agos at un gŵr *y byddo* y nôd
arno: ac ar fy nghysegr y dechreu-
wch. Yna y dechreuasant ar y
gwŷr hen, y rhai *oedd* o flaen y tŷ.
7 Dywedodd wrthynt hefyd, Hal-
ogwch y tŷ, a llenwch y cyntedd-
oedd o rai lladdedig; ewch allan.
Felly hwy a aethant allan, ac a
darawsant yn y ddinas.
8 ¶ A bu, a hwy yn lladd, a'm gado

---

ei bobl. *A hwy a aethant i mewn*—i gyntedd y deml; *ac a safasant wrth yr allor bres*—i arwyddo fod y rhai a leddid i gael eu haberthu i gyfiawnder dialeddol Duw.

Adn. 3. *A gogoniant Duw Israel a gyfododd oddiar y cerub*] Sef y Secina dwyfol, yr hwn oedd yn eistedd rhwng y cerubiaid ar y drugareddfa, Exod. xxv. 17, 22, Salm lxxx. 1; *hyd riniog y tŷ*—hyny yw, efe a aeth o'r cysegr santeiddiolaf at drothwy y deml; i arwyddo y byddai i Dduw ar fyrder adael ei dŷ, a chilio oddiwrth yr Iuddewon o herwydd eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill. *Ac efe*—sef y Person gogoneddus ag ydoedd yn eistedd ar yr orseddfainc, pen. i. 26, a viii. 2; *a lefodd ar y gŵr oedd wedi ei wisgo â llian*—sef ar yr angel oedd â'r corn dû ganddo.

Adn. 4. *Dos trwy ganol y ddinas*] O'r naill ben i'r llall, sef trwy bob rhan o ddinas Jerusalem; *a noda nôd ar dalcenau y dynion sydd yn ucheneidio ac yn gwaeddi am y ffieidd-dra oll a wneir yn ei chanol hi*—fel y byddo iddynt gael eu harbed yn nydd dinystr, yr un modd â'r Israeliaid hyny ag oeddynt dan arwydd y gwaed yn yr Aifft gynt, Exod. xii. 22, 23. Yr oedd y rhai hyn nid yn unig yn lân oddiwrth ffieidd-dra tŷ Juda, ond hefyd yn galaru yn ddwys wrth weled cyfraith Duw yn cael ei mathru, ei enw santaidd ef yn cael ei gablu, a'i gysegr yn cael ei halogi; ac am hyny gorchymynir eu *nodi*, fel y byddai iddynt gael eu harbed. Ni ddywedir i ni pa beth oedd y nôd hwn; ond dywed y Pabyddion mai *llun croes* ydoedd; ac y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, 'A noda T ar dalcenau y dynion,' &c. Yr oedd llawer o'r hen dadau yn meddwl mai y lythyren T oedd y nôd hwn, am ei bod, yn y wyddor Samaritanaidd, yn debyg iawn i'r groes; a thybient fod hyn yn arwyddo, nad oedd gwaredigaeth i bechadur ond trwy Grist a'i groes.

Adn. 5. *Ac wrth y lleill y dywedodd efe*] Sef wrth y chwech ereill, y rhai yr oedd arfau dinystr yn eu dwylaw, adn. 2; *Ewch trwy y ddinas ar ei ol ef*—nid o'i flaen, canys rhaid nodi y galarwyr duwiol i'w harbed, cyn taraw y gwrthryfelwyr i'w lladd; *a tharewch*—yr holl rai a fuont gyfranog o'i ffieidd-dra hi. *Nac arbeded eich llygad, ac na thosturiwch*—wrth neb a fyddo heb y nôd hwn ar ei dalcen, mwy nag y gwnaf finau, adn. 10. Y mae gwaith gras yn yr enaid yr un peth yn ngolwg Duw ag ydoedd y nôd hwnw ar y talcen, wrth yr hwn yr edwyn efe eto y rhai sydd eiddo ef, a'r hwn a arddela efe fyth fel ei nôd ei hun.

Adn. 6. *Lleddwch yn farw yr henwr, y gŵr ieuanc, &c.*] Heb wneuthur dim gwahaniaeth rhwng oedran na rhyw; ac felly y bu: gwel ar 2 Cron. xxxvi. 17. *Ond na ddeuwch yn agos at un gŵr y byddo y nôd arno*—y meddwl yw, y byddai i ragluniaeth ofalu na leddid neb o'r rhai ag y bwriadai Duw eu cadw, megys Jeremi, Baruch, Ebedmelech, ac ereill ag oeddynt yn ofni yr Arglwydd yn amser dinystr Jerusalem. *Ac ar fy nghysegr y dechreuwch*—yr hwn a halogwyd mor fawr trwy y ffieidd-dra a ddarluniwyd yn y bennod flaenorol. Yn wir, pan fyddo barnedigaethau Duw ar y ddaear, y maent yn gyffredin yn 'dechreu ar dŷ Dduw,' 1 Pedr iv. 17, am fod y cyfryw rai yn pechu yn erbyn mwy o oleuni, ac yn camddefnyddio manteision uwch nag ereill: gwel ar Amos iii. 2. *Yna y dechreuasant ar y gwŷr hen*—sef ar yr henuriaid, y rhai a addolent y lluniau ffiaidd, pen. viii. 11; *y rhai oedd o flaen y tŷ*—neu '*yn* y tŷ,' fel y mae gan y LXX.

Adn. 7. *Dywedodd wrthynt hefyd, Halogwch y tŷ, &c.*] Fel na byddai iddynt ofni lladd dynion yn y deml, na phetruso yn nghylch gwasgar celaneddau meirwon ar hyd ei chynteddoedd rhag ofn ei halogi, gorchymynir yma yn benodol fod iddynt ei halogi hi; canys yr oedd y weithred hon o gyfiawnder yn buredigaeth foesol i'r deml a'i chynteddoedd, er ei bod yn halogiad seremonïol. *Ewch allan*—eto i'r ddinas, i ladd pob gradd o'i thrigolion. *Felly hwy a aethant allan, ac a darawsant yn y ddinas*—hyny yw, danghosid i'r proffwyd mewn gweledigaeth, y pethau a gymerent le cyn hir mewn gwirionedd.

Adn. 8. *A bu, a hwy yn lladd, a'm gado inau*] Yn fyw, trwy ofal rhagluniaethol Duw am danaf; *i mi syrthio ar fy wyneb*—mewn

inau, i mi syrthio ar fy wyneb,
a gwaeddi, a dywedyd, O Arglwydd
Dduw, a dyfethi di holl weddill
Israel, wrth dywallt dy lid ar Jeru-
salem?
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Anwiredd tŷ Israel a thŷ Juda *sydd*
fawr dros ben; a llawn yw y tir o
waed, a llanwyd y ddinas o gam-
wedd: o herwydd dywedant, Gwrth-
ododd yr Arglwydd y ddaear, ac
nid yw yr Arglwydd yn gweled.
10 Ac am danaf fi, nid erbyd fy
llygad, ac ni thosturiaf; rhoddaf eu
ffordd eu hun ar eu penau.
11 Ac wele y gŵr wedi ei wisgo
â llian, yr hwn *yr oedd* y corn dû
wrth ei glûn, yn dwyn gair dra-
chefn, gan ddywedyd, Gwnaethym
fel y gorchymynaist i mi.

## PENNOD X.

YNA yr edrychais, ac wele yn y
ffurfafen, yr hon *oedd* uwchben
y cerubiaid, megys maen saphir,
fel dull cyffelybrwydd gorseddfa, a
welid arnynt hwy.
2 Ac efe a lefarodd wrth y gŵr a
wisgesid â llian, ac a ddywedodd,
Dos i mewn rhwng yr olwynion,
hyd dan y cerub, a llanw dy ddwy-
law o farwor tanllyd oddirhwng y
cerubiaid, a thaena ar y ddinas.
Ac efe a aeth o flaen fy llygaid.
3 A'r cerubiaid oedd yn sefyll o
du deau y tŷ, pan aeth y gŵr i
mewn; a'r cwmwl a lanwodd y
cyntedd nesaf i mewn.
4 Yna y cyfododd gogoniant yr

---

agwedd erfyniol; *a gwaeddi*—gyda difrifoldeb, ac mewn dychryn mawr; *O Arglwydd Dduw, a ddyfethi di holl weddill Israel, wrth dywallt dy lid ar Jerusalem?*—yr oedd y deg llwyth wedi eu caethgludo o'r blaen, ac nid oedd ond Juda a Benjamin ar ol; ac ofnai y proffwyd y byddai i'r rhai hyn yn awr gael eu llwyr ddyfetha.

Adn. 9. *Ac efe a ddywedodd wrthyf*] I gyfiawnhau ei ymddygiadau tuag atynt; *Anwiredd tŷ Israel a thŷ Juda sydd fawr dros ben*—yr oedd Duw mor awyddus i ddangos trugaredd i ddynion a'r proffwyd, ac yn fwy felly; ond yn yr achos hwn nis gellid gwneyd hyny heb sarnu hawliau cyfiawnder. *A llawn yw y tir o waed*—sef o waed gwirion wedi ei dywallt ganddynt yn ddiachos; *a llanwyd y ddinas o gamwedd*—trwy fod ei barnwyr yn gwneuthur annghyfiawnder, yr offeiriaid wedi troi yn eilunaddolwyr, a'r henuriaid a'r holl werin wedi myned yn anffyddwyr. *O herwydd dywedant, Gwrthododd yr Arglwydd y ddaear*—gwel ar pen. viii. 12; *ac nid yw yr Arglwydd yn gweled*—ond yr oedd hyn yn anwiredd, canys yr oedd yr Arglwydd yn gweled; ie, yn gweled nid yn unig eu pechod, ond hefyd eu cosp, adn. 10.

Adn. 10. *Ac am danaf fi*] Fy mhenderfyniad i yw; *nid erbyd fy llygad, ac ni thosturiaf*—wrth drueni y fath bechaduriaid cyndyn ac anedifeiriol: *rhoddaf eu ffordd eu hun ar eu penau* — sef cospedigaeth eu ffyrdd a'u gweithredoedd ysgeler.

Adn. 11. *Ac wele y gŵr wedi ei wisgo â llian*] Yr hwn y gorchymynwyd iddo nodi y duwiolion, adn. 4; *yn dwyn gair drachefn*—yn dyfod yn mlaen i roddi cyfrif o'i oruchwyliaeth i'r hwn a'i hanfonasai: *Gwnaethym fel y gorchymynaist i mi*—nodais y cyfiawnion mewn trefn i'w cadw. Nid ydym yn cael i'r chwech ereill ddyfod yn mlaen i adrodd y dinystr a wnaed ganddynt hwy; ac y mae y rheswm yn eglur, am fod yn well gan Dduw a'i broffwyd glywed am gadw dynion, nag am eu dyfetha.

PEN. X. Adn. 1. *Yna yr edrychais*] Y mae y rhan fwyaf o'r bennod hon wedi ei hegluro yn y sylwadau ar pen. i. *Ac wele yn y ffurfafen, yr hon oedd uwchben y cerubiaid, megys maen saphir, &c.*—gwel ar pen. i. 26. Y mae ail ymddanghosiad y weledigaeth yn arwyddo yma fod barnedigaethau dychrynllyd Duw yn nesâu yn agosach o hyd.

Adn. 2. *Ac efe*] Yr hwn a eisteddai ar yr orseddfa, sef Mab Duw, yr hwn yr oedd ei gyffelybrwydd megys gweledìad dyn; *a lefarodd wrth y gŵr a wisgesid â llian*—yr hwn yr oedd y corn dû wrth ei glûn, pen. ix. 2; *Dos i mewn rhwng yr olwynion, hyd dan y cerub*—canys yr oedd un cerub wrth bob olwyn; *a llanw dy ddwylaw o farwor tanllyd oddirhwng y cerubiaid*—sef o'r tân ag ydoedd yn ymgerdded rhwng y pethau byw, pen. i. 13: *a thaena ar y ddinas*—i arwyddo ei llosgiad hi gan y Caldeaid. Yma y mae y gŵr a ddefnyddid i waredu y duwiolion, pen. ix. 4, yn cael ei anfon eilwaith yn offeryn dinystr i'r annuwiolion. *Ac efe a aeth o flaen fy llygaid*—hyny yw, efe a ymddanghosai i'r proffwyd yn y weledigaeth fel yn myned.

Adn. 3. *A'r cerubiaid oedd yn sefyll o du deau y tŷ*] Yn y cyntedd nesaf i mewn, sef cyntedd yr offeiriaid: *a'r cwmwl a lanwodd y cyntedd*—hwnw. Trwy ymddanghosiad cwmwl y cymerasai Duw feddiant o'i deml, 1 Bren. viii. 10, 11; a thrwy yr un arwydd y danghosa efe yn awr ei fod ar ymadael o honi.

Adn. 4. *Yna y cyfododd gogoniant yr Arglwydd oddiar y cerub*] Sef oddiwrth y cerubiaid ag oeddynt ar y drugareddfa yn y cysegr santeiddiolaf; *ac a safodd oddiar riniog y tŷ*—neu uwchben y trothwy, pen. ix. 3: *a'r tŷ a lanwyd â'r cwmwl*—yn arwydd o'r dallineb barnol ag oedd yn dyfod ar yr Iuddewon; *a llanwyd y cyntedd o ddysgleirdeb gogoniant*

Arglwydd oddiar y cerub, *ac a*
*safodd* oddiar riniog y tŷ; a'r tŷ a
lanwyd â'r cwmwl, a llanwyd y
cyntedd o ddysgleirdeb gogoniant
yr Arglwydd.
5 A swn adenydd y cerubiaid
a glybuwyd hyd y cyntedd nesaf
allan, fel swn Duw Hollalluog pan
lefarai.
6 Bu hefyd, wedi iddo orchymyn
i'r gŵr a wisgesid â llian, gan ddy-
wedyd, Cymer dân oddirhwng yr
olwynion, oddirhwng y cerubiaid;
fyned o hono ef a sefyll wrth yr
olwynion.
7 Yna yr estynodd *un* cerub ei
law oddirhwng y cerubiaid i'r tân
yr hwn *oedd* rhwng y cerubiaid, ac
a gymerth, ac a roddodd *beth* yn
nwylaw yr *hwn a* wisgesid â llian:
yntau a'*i* cymerodd, ac a aeth allan.
8 ¶ A gwelid yn y cerubiaid
lun llaw dyn dan eu hadenydd.
9 Edrychais hefyd, ac wele bed-
air olwyn wrth y cerubiaid, un ol-
wyn wrth un cerub, ac un olwyn
wrth y cerub arall: a gwelediad
yr olwynion *oedd* fel lliw maen beryl.
10 A'u gwelediad, un wedd oedd
iddynt ill pedair, fel pe byddai ol-
wyn yn nghanol olwyn.
11 Pan gerddent, ar eu pedwar
ochr y cerddent; ni thröent pan
gerddent, ond lle yr edrychai'r pen,
y cerddent ar ei ol ef; ni thröent
pan gerddent.
12 Eu holl gnawd hefyd, a'u cefn-
au, a'u dwylaw, a'u hadenydd, a'r
olwynion *oedd* yn llawn llygaid
oddiamgylch; *sef* yr olwynion oedd
iddynt ill pedwar.
13 Galwyd hefyd lle y clywais
arnynt hwy, *sef* ar yr olwynion, O
olwyn.
14 A phedwar wyneb *oedd* i bob
un; y wyneb cyntaf yn wyneb
cerub, a'r ail wyneb yn wyneb
dyn, a'r trydydd yn wyneb llew, a'r
pedwarydd yn wyneb eryr.
15 A'r cerubiaid a ymddyrchaf-
asant. Dyma y peth byw a welais
wrth afon Cebar.
16 A phan gerddai y cerubiaid,
y cerddai yr olwynion wrthynt; a
phan godai y cerubiaid eu haden-
ydd i ymddyrchafu oddiar y ddaear,

---

*yr Arglwydd*—tybia rhai mai y 'cyntedd nesaf allan' oedd hwn; ac iddo gael ei lenwi o ddysgleirdeb gogoniant yr Arglwydd fel hyn, i arwyddo yr anfonid goleuni y datguddiad i'r Cenhedloedd, tra y byddai yr Iuddewon mewn tywyllwch.

Adn. 5. *A swn adenydd y cerubiaid a glybuwyd hyd y cyntedd nesaf allan*] I arwyddo, fe allai, y cyrhaeddai y son am y barnau a weinyddid trwy eu hofferynoliaeth hwy i fysg y Cenhedloedd pellenig; *fel swn Duw Hollalluog pan lefarai*—neu pan daranai efe yn y nefoedd, pen. i. 24.

Adn. 6, 7. *Bu hefyd, &c.*] Hyny yw, ufyddhaodd y gŵr a wisgesid â llian i'r gorchymyn a roddwyd iddo, adn. 2.

Adn. 8. *A gwelid yn y cerubiaid*] Sef dan eu hadenydd, *lun llaw dyn*—gwel ar pen. i. 8.

Adn. 9, 10. *Edrychais hefyd, ac wele bedair olwyn, &c.*] Gwel ar pen. i. 15, 16.

Adn. 11. *Pan gerddent, ar eu pedwar ochr y cerddent, &c.*] Gwel ar pen. i. 17: *ond lle yr edrychai'r pen, y cerddent ar ei ol ef*—heb droi yma na thraw nes cyflawni eu gorchwyl. Wrth y *pen* hwn y meddylir naill ai y cerub ag oedd yn nglŷn â phob olwyn, neu ynte ysbryd y peth byw ag ydoedd yn yr olwynion, pen. i. 20.

Adn. 12. *Eu holl gnawd hefyd, &c.*] Sef holl ranau cyrff y cerubiaid; *oedd yn llawn llygaid oddiamgylch*—yr un modd a'r olwynion a berthynent i'r pedwar: gwel ar pen. i. 18. Y mae yr hyn a ddywedir yma am y cerubiaid yn brawf eglur nad 'hoelion' a olygid wrth y 'llygaid' yn pen. i. 18; ac yn dangos fod holl symudiadau y cerubiaid hefyd yn cael eu llywodraethu gan wybodaeth a doethineb.

Adn. 13. *Galwyd hefyd lle y clywais*] Hyny yw, galwyd ar yr olwynion fel ag i beri i mi glywed yr alwad; *O olwyn*—neu, 'Treiglwch yn mlaen,' fel y mae rhai yn cyfieithu *haggalgal* yma. Ond dywedir y gellir cyfieithu yr holl adnod, 'Ac am yr olwynion, galwyd hwynt yn fy nghlywedigaeth, *Y cerbyd.*

Adn. 14. *A phedwar wyneb oedd i bob un*] Nid i bob un o'r olwynion, fel y barna rhai, ond i bob un o'r cerubiaid, neu y pethau byw, adn. 15. *Y wyneb cyntaf yn wyneb cerub*—neu 'wyneb *ych*,' fel y darllenir ef pen. i. 10; canys y mae y gair *cerub*, yn wreiddiol, yn arwyddo *ych*: gwel *Benson*. Y mae y gwahanol wynebau yn cael eu rhoddi yma mewn trefn wahanol i'r un yn pen. i. 10; canys yno yr oedd y proffwyd yn eu gweled yn ymsymud o'r gogledd tua'r deau, pryd yr oedd wyneb *dyn* yn ymddangos iddo yn gyntaf; ond yma yr oeddynt yn ymsymud tua'r dwyrain, pryd yr oedd wyneb *ych* yn ymddangos iddo yn gyntaf.

Adn. 15. *A'r cerubiaid a ymddyrchafasant*] Oddiar y ddaear, adn. 16, 19. *Dyma y peth byw a welais wrth afon Cebar*—gwel ar adn. 20, a pen. i. 5, 13, 14.

Adn. 16, 17. *A phan gerddai y cerubiaid, y cerddai yr olwynion wrthynt, &c.*] Gwel ar pen. i. 19—21. *Canys ysbryd y peth byw*

yr olwynion hwythau ni thröent chwaith oddiwrthynt.

17 Safent, pan safent hwythau; a chodent gyda hwy, pan godent hwythau; canys ysbryd y peth byw *oedd* ynddynt.

18 Yna gogoniant yr Arglwydd a aeth allan oddiar riniog y tŷ, ac a safodd ar y cerubiaid.

19 A'r cerubiaid a godasant eu hadenydd, ac a ymddyrchafasant oddiar y ddaear o flaen fy llygaid: a'r olwynion *oedd* yn eu hymyl, pan aethant allan: a safodd *pob un* wrth ddrws porth y dwyrain i dŷ yr Arglwydd; a gogoniant Duw Israel *oedd* arnynt oddiarnodd.

20 Dyma y peth byw a welais dan Dduw Israel, wrth afon Cebar: a gwybûm mai y cerubiaid *oeddynt*.

21 Pedwar wyneb oedd i bob un, a phedair aden i bob un, a chyffelybrwydd dwylaw dyn dan eu hadenydd.

22 Cyffelybrwydd eu hwynebau *oedd* yr un wynebau ag a welais wrth afon Cebar, eu dull hwynt a hwythau: cerddent bob un yn uniawn rhag ei wyneb.

## PENNOD XI.

YNA y'm cyfododd yr ysbryd, ac y'm dyg hyd borth dwyrain tŷ yr Arglwydd, yr hwn sydd yn edrych tua'r dwyrain: ac wele bumwr ar hugain yn nrws y porth; *ac* yn eu mysg y gwelwn Jaazaniah fab Azur, a Phelatiah mab Benaiah, tywysogion y bobl.

2 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Ha fab dyn, dyma y gwŷr *sydd* yn dychymygu anwiredd, ac yn cynghori drwg gynghor yn y ddinas hon:

3 Y rhai a ddywedant, Nid *yw* yn agos, adeiladwn dai; hi *yw* y crochan, a ninau y cig.

---

*oedd ynddynt*—yr hyn a arwydda fod pob dygwyddiad a gymer le ar y ddaear yn cael ei lywodraethu nid gan olwyn damwain ddall, ond gan olwynion rhagluniaeth, y rhai sydd yn llawn llygaid.

Adn. 18. *Yna gogoniant yr Arglwydd a aeth allan oddiar riniog y tŷ*] Lle y daethai efe o'r cysegr santeiddiolaf, pen. ix. 3; *ac a safodd ar y cerubiaid*—wrth ddrws porth y dwyrain, adn. 19. Fel hyn yr oedd Duw yn ymadael yn raddol o'r deml, gan sefyll yn gyntaf ar riniog y tŷ, ac yna wrth borth y dwyrain, fel pe buasai yn anfoddlon i ymadael, ac yn dysgwyl iddynt ei alw ef yn ol; ac wedi hyny aeth i ben y mynydd: gwel ar pen. xi. 23.

Adn. 19. *A gogoniant Duw Israel oedd arnynt oddiarnodd*] Sef uwchben y cerubiaid a'r olwynion.

Adn. 20. *Dyma y peth byw a welais dan Dduw Israel, wrth afon Cebar*] Canys yr oedd y pethau byw dan y ffurfafen, a'r ffurfafen a hwythau dan y Person gogoneddus a eisteddai ar yr orseddfa, adn. 1, a pen. i. 22—26; *a gwybûm mai y cerubiaid oeddynt*—hyny yw, deallodd y proffwyd yn eglur mai yr un bodau gogoneddus oedd y cerubiaid hyn, a'r pethau byw a welsai efe wrth afon Cebar.

Adn. 21. *Pedwar wyneb oedd i bob un, a phedair aden*] Gwel ar pen. i. 6; *a chyffelybrwydd dwylaw dyn dan eu hadenydd*—gwel ar pen. i. 8.

Adn. 22. *Cyffelybrwydd eu hwynebau oedd yr un*] Sef yr un fath ag a welsai efe wrth afon Cebar, pen. i. 10; *eu dull hwynt a hwythau*—yr oedd y pethau byw a'r cerubiaid o'r un dull ac ymddanghosiad a'u gilydd, yr hyn a brofai mai yr un rhai oeddynt mewn gwirionedd. *Cerddent bob un yn uniawn rhag ei wyneb*—neu ar ei gyfer, pen. i. 12.

PEN. XI. Adn. 1. *Yna y'm cyfododd yr ysbryd*] Sef Ysbryd Duw; *ac y'm dyg hyd borth dwyrain tŷ yr Arglwydd*—felly o leiaf yr ymddanghosai pethau i'r proffwyd yn ei weledigaeth. *Ac wele bumwr ar hugain yn nrws y porth*—y rhai a welsai efe o'r blaen yn addoli yr haul, fe allai, pen. viii. 16. *Ac yn eu mysg y gwelwn Jaazaniah fab Azur*—yn pen. viii. 11, yr ydym yn darllen am 'Jaazaniah fab *Saphan*;' ac os yr un oedd Saphan ac Azur, yr un hefyd oedd y Jaazaniah hwn a hwnw. *A Phelatiah fab Benaiah, tywysogion y bobl*—neu brif swyddogion y ddinas, yn cynwys fe allai feibion Zedeciah.

Adn. 2. *Ha fab dyn, dyma y gwŷr sydd yn dychymygu anwiredd*] Sef y pumwr ar hugain uchod; *ac yn cynghori drwg gynghor yn y ddinas hon*—naill ai trwy annog y bobl i addoli duwiau y Caldeaid, er mwyn ennill eu ffafr hwy; neu ynte trwy eu darbwyllo i gredu nad oes perygl iddynt oddiwrth y Caldeaid.

Adn. 3. *Y rhai a ddywedant, Nid yw yn agos*] Nid yw dinystr y ddinas yn agos, os daw byth: *adeiladwn dai*—awn yn mlaen â'n galwedigaethau arferol. *Hi yw y crochan*—Saes., 'y *ddinas hon* yw y crochan;' *a ninau y cig*—yr oedd Jeremi wedi rhagfynegu dinystr Jerusalem dan y gyffelybiaeth o 'grochan berwedig,' Jer. i. 13; ac y mae y gwatwarwyr hyn yn defnyddio yr un ymadrodd i wawdio bygythion y proffwyd. Fel pe dywedasent, Os yw y ddinas hon i fod yn grochan, yr ydym ni

4 Am hyny proffwyda i'w herbyn
hwynt, proffwyda, fab dyn.
5 Yna y syrthiodd ysbryd yr Ar-
glwydd arnaf, ac a ddywedodd
wrthyf, Dywed; Fel hyn y dywed
yr Arglwydd; Tŷ Israel, fel hyn y
dywedasoch: canys mi a wn y peth-
au sydd yn dyfod i'ch meddwl chwi
bob un *o honynt.*
6 Amlhasoch eich lladdedigion o
fewn y ddinas hon, a llanwasoch ei
heolydd hi â chelaneddau.
7 Am hyny, fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Eich lladdedig-
ion, y rhai a osodasoch yn ei chanol
hi, *yw* y cig; a hithau *yw* y croch-
an: chwithau a ddygaf allan o'i
chanol.
8 Y cleddyf a ofnasoch, a'r cledd-
yf a ddygaf arnoch, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
9 Dygaf chwi hefyd allan o'i
chanol hi, a rhoddaf chwi yn llaw
dyeithriaid, a gwnaf farn yn eich
mysg.
10 Ar y cleddyf y syrthiwch, ar
derfyn Israel y barnaf chwi; fel y
gwypoch mai myfi *yw* yr Arglwydd.
11 *Y ddinas* hon ni bydd i chwi
yn grochan, ni byddwch chwithau
yn gig o'i mewn; *ond* ar derfyn Is-
rael y barnaf chwi:
12 A chewch wybod mai myfi *yw*
yr Arglwydd: canys ni rodiasoch
yn fy neddfau, ac ni wnaethoch fy
marnedigaethau; ond yn ol defod-
au y cenhedloedd o'ch amgylch y
gwnaethoch.
13 ¶ A phan broffwydais, bu
farw Pelatiah mab Beniah: yna
syrthiais ar fy wyneb, a gwaeddais
â llef uchel, a dywedais, O Ar-
glwydd Dduw, a wnai di dranc ar
weddill Israel?

---

yn foddlon i fod y cig a ferwir ynddo: mynwn sefyll neu syrthio ynddi neu gyda hi: gwel hefyd ar pen. xxiv. 3, &c.

Adn. 4. *Am hyny proffwyda i'w herbyn hwynt*] Fel y caffont wybod fod eu dinystr gerllaw; *proffwyda, fab dyn*—ail orchymynir hyn iddo, nid yn unig i gynhyrfu y proffwyd at ei waith, ond hefyd i ddangos digofaint penderfynol yr Arglwydd i'w herbyn, a'r sicrwydd o'i weinyddiad.

Adn. 5. *Yna y syrthiodd ysbryd yr Arglwydd arnaf*] I roddi iddo genadwri at y cynghorwyr drygionus hyn. *Dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd*—hyny yw, dywed wrthynt mai fy ngeiriau i yw y rhai a ganlyn. *Tŷ Israel, fel hyn y dywedasoch*—yn adn. 3, 'Y ddinas hon yw y crochan, a ninau yw y cig.' *Canys mi a wn y pethau sydd yn dyfod i'ch meddwl chwi, bob un o honynt*—nid yn unig y pethau yr ydych yn eu dywedyd, ond hefyd y pethau yr ydych yn eu meddwl wrth ddywedyd felly. Fel pe dywedasai, Bydd i'r hyn a ddywedasoch gael ei gyflawni, ond nid yn hollol fel yr ydych chwi yn meddwl. Gwir y bydd i lawer drengu yn y ddinas, yr hon a fydd iddynt hwy fel crochan, a byddant hwythau fel cig yn y crochan hwnw: ond ni chewch chwi fod yn gig ynddo; eithr chwi a ddygir allan o ganol y ddinas, ac a leddir â'r cleddyf mewn lle arall, adn. 7—11.

Adn. 6. *Amlhasoch eich lladdedigion o fewn y ddinas hon*] Trwy dywallt ynddi waed gwirion heb gyfraith na chyfiawnder: *a llanwasoch ei heolydd hi â chelaneddau*—nid yn unig buoch yn llofruddion eich hunain, ond gellir priodoli y dinystr a wneir gan y Caldeaid i chwi, trwy i chwi annog y bobl i'w gwrthsefyll hwy, yr hyn yw yr achos o'r fath alanasdra.

Adn. 7. *Eich lladdedigion, y rhai a osodasoch yn ei chanol hi, yw y cig*] Y rhai a ddarnir fel cig ar hyd heolydd y ddinas; *a hithau yw y crochan*—sydd yn cynwys y cig hwnw: *chwithau a ddygaf allan o'i chanol*—nid mewn trugaredd, eithr mewn barn, i'ch lladd neu eich caethiwo mewn lle arall.

Adn. 8. *Y cleddyf a ofnasoch*] Pan yr oeddych yn cynghori y bobl i addoli duwiau y Caldeaid i'r dyben i'w ysgoi ef, adn. 2, neu yn anfon i'r Aifft am gynorthwy rhagddo; *a'r cleddyf a ddygaf arnoch*—yn anocheladwy, sef yr un cleddyf, eiddo y Caldeaid.

Adn. 9. *Dygaf chwi hefyd o'i chanol hi*] Sef o ganol Jerusalem; *a rhoddaf chwi yn llaw dyeithriaid*—sef yn llaw y Caldeaid; *a gwnaf farn yn eich mysg*—tywalltaf fy marnedigaethau arnoch. Tybia *Clarke* fod hyn yn cyfeirio yn benaf at y farn a ddaeth ar Zedeciah a'i deulu, 2 Bren. xxv. 6, 7.

Adn. 10. *Ar y cleddyf y syrthiwch*] Rai o honoch; *ar derfyn Israel y barnaf chwi*—yr oedd *Riblah*, lle y tynwyd llygaid Zedeciah, ac y lladdwyd ei feibion ef, yn Syria, ar derfyn gogleddol gwlad Israel; *fel y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—wrth weled fy mygythion yn cael eu cyflawni.

Adn. 11. *Y ddinas hon ni bydd i chwi yn grochan*] Neu yn eisteddle eich cosp; *ni byddwch chwithau yn gig o'i mewn*—fel y dywedasoch, adn. 3, er y bydd eich brodyr felly, adn. 7; *ond ar derfyn Israel y barnaf chwi*—gwel ar adn. 10.

Adn. 12. *Canys ni rodiasoch yn fy neddfau*] Yn ol rheolau fy ngair a'm crefydd i; *ond yn ol defodau y cenhedloedd o'ch amgylch y gwnaethoch*—gan addoli eu duwiau hwynt, a dylyn eu siamplau halogedig. Enwir hyn fel y rheswm am eu cosp. adn. 8.

Adn. 13. *A phan broffwydais, bu farw Pelatiah*] Un o'r tywysogion, adn. 1. Y mae yn debyg mai mewn ymddanghosiad yn unig y bu ef farw yn awr, yr un modd a'r henur-

14 A daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

15 Ha fab dyn, dy frodyr, dy frodyr, dynion dy geraint, a holl dŷ Israel yn gwbl, *ydyw* y rhai y dywedodd preswylwyr Jerusalem wrthynt, Ymbellhewch oddiwrth yr Arglwydd; i ni y rhodded y tir hwn yn etifeddiaeth.

16 Dywed am hyny, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Er gyru o honof hwynt yn mhell yn mysg y cenhedloedd, ac er gwasgaru o honof hwynt trwy y gwledydd, eto byddaf yn gysegr bychan iddynt yn y gwledydd lle y deuant.

17 Dywed gan hyny, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Casglaf chwi hefyd o fysg y bobloedd, a chynullaf chwi o'r gwledydd y'ch gwasgarwyd ynddynt, a rhoddaf i chwi dir Israel.

18 A hwy a ddeuant yno, ac a symudant ei holl frynti hi a'i holl ffieidd-dra allan o honi hi.

19 A rhoddaf iddynt un galon, ac ysbryd newydd a roddaf ynoch; tynaf hefyd y galon gareg o'u cnawd hwynt, a rhoddaf iddynt galon gig:

20 Fel y rhodiont yn fy neddfau, ac y cadwont fy marnedigaethau, ac y gwnelont hwynt: a hwy a fyddant yn bobl i mi, a minnau a fyddaf Dduw iddynt hwy.

21 Ond *am y rhai* y mae eu calon yn myned ar ol meddwl eu brynti

---

iaid, pen. ix. 7; ond yr oedd hyny yn sicrwydd y byddai iddo ef farw mewn gwirionedd pan gyhoeddid y broffwydoliaeth hon, yr hyn a fyddai yn wystl o gyflawniad yr oll o honi. *Yna syrthiais ar fy wyneb*—yr oedd y proffwyd yn ei weled ei hun fel pe buasai yn syrthio; *a gwaeddais â llef uchel*—mewn dychryn wrth feddwl fod marwolaeth Pelatiah yn arwydd a gwystl o'r dinystr ag ydoedd i ddisgyn ar y lleill; *O Arglwydd Dduw, a wnai di dranc ar weddill Israel!*—fel pe dywedasai, A leddi di hwynt oll! gwel ar pen. ix. 8.

Adn. 14. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] I gysuro y proffwyd yn ngwyneb ei ddychryn am ei frodyr, ac i gysuro ei frodyr hefyd trwyddo ef.

Adn. 15. *Ha fab dyn, dy frodyr, dy frodyr, dynion dy geraint*] Neu 'dy gydgaethion,' fel y mae *Newcome* a'r LXX yn ei ddarllen; *a holl dŷ Israel yn gwbl*—yn cynwys fe allai y rhai a gaethgludesid i Assyria, yn gystal a'r rhai a gymerasid i Caldea ar unwaith a'r proffwyd a Jeconiah; *ydyw y rhai y dywedodd preswylwyr Jerusalem wrthynt*— neu am danynt, *Ymbellhewch oddiwrth yr Arglwydd*—neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'hwy a *ymbellhasant* oddiwrth yr Arglwydd;' hyny yw, hwy a'i digiasant ef trwy eu pechodau yn llawer mwy nag y gwnaethom ni. *I ni y rhodded y tir hwn yn etifeddiaeth*—ein heiddo ni fydd yr holl wlad o hyn allan, ac ni chânt hwy byth mwyach etifeddu troedfedd o honi. Ni chânt hwy byth ddychwelyd iddi, ac ni chawn ninau byth ein gyru allan o honi.

Adn. 16. *Dywed am hyny*] Er cysur i'r gaethglud oddiwrthyf fi; *Er gyru o honof hwynt yn mhell yn mysg y cenhedloedd*—yn mhell o'u gwlad, ac oddiwrth fy nghysegr i yn Jerusalem; *eto byddaf yn gysegr bychan iddynt yn y gwledydd lle y deuant*—efe a ddywed 'cysegr bychan,' naill ai mewn gwrthgyferbyniad i'r cysegr mawr yn Jerusalem, neu ynte byddai yn gysegr iddynt dros 'amser bychan,' sef am 70 mlynedd eu caethiwed, fel y mae *Newcome* yn ei ddeall. Byddaf iddynt yr hyn a ddysgwylia preswylwyr siomedig Jerusalem oddiwrth eu teml, sef yn amddiffyniad, cynaliaeth, a chysur iddynt.

Adn. 17. *Casglaf chwi hefyd o fysg y bobloedd*] Nid yn unig cewch fi yn 'gysegr bychan' i chwi tra yn Caldea, ond dygaf chwi yn y diwedd o'ch caethiwed, i fwynhau breintiau fy nghysegr yn Jerusalem; *a rhoddaf i chwi dir Israel*—er i'ch gelynion ddywedyd mai eiddynt hwy ydyw, adn. 15.

Adn. 18. *A hwy a ddeuant yno*] Yn sicr, rhai o honynt yn bersonol, ac ereill yn eu hiliogaeth; *ac a symudant ei holl frynti hi*—diwreiddiant eilunaddoliaeth a phob ffieidd-dra arall allan o'r wlad.

Adn. 19. *A rhoddaf iddynt un galon*] A hono yn galon dyner o gig, yn lle y galon gareg sydd ynddynt yn awr: bydd iddynt oll garu ac addoli yr un Duw, yn lle rhanu eu serchiadau rhwng Duw a'u heilunod. *Ac ysbryd newydd a roddaf ynoch*—neu 'ynddynt,' fel y mae y prif gyfieithiadau yn ei ddarllen; hyny yw, cânt duedd newydd i weithredu oddiar egwyddor newydd, sef cariad at Dduw; i rodio wrth reol newydd, sef gair Duw; ac i gyfeirio at ddyben newydd, sef gogoniant Duw. *Tynaf hefyd y galon gareg ymaith o'u cnawd hwynt*—sef ystyfnigrwydd, caledwch, ac anhheimladrwydd eu cyflwr natur. *A rhoddaf iddynt galon gig*—sef cydwybod dyner a theimladwy fel cig byw, alluog i dderbyn argraffiadau dwyfol, ysbrydol, a santeiddiol.

Adn. 20. *Fel y rhodiont yn fy neddfau*] Yn eu holl ymddygiadau allanol; *ac y cadwont fy marnedigaethau*—gyda golwg ar eu haddoliad a'u crefydd; *ac y gwnelont hwynt*—y naill a'r llall yn barhaus. *A hwy a fyddant yn bobl i mi*—ar yr ammodau hyn; *a minau a fyddaf Dduw iddynt hwy*—yn Noddwr ac Achubwr iddynt: gwel ar Heb. viii. 10. Meddylir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio yn benaf at eu cyflwr dan yr efengyl, ar ol iddynt gofleidio Cristionogaeth.

Adn. 21. *Ond am y rhai y mae eu calon yn myned ar ol meddwl eu brynti a'u ffieidddra*] Sef yr eilunaddolwyr ag sydd yn awr yn Jerusalem, adn. 15, a'r rhai a barhant i wrth-

a'u ffieidd-dra, rhoddaf eu ffordd
hwynt ar eu penau eu hun, medd yr
Arglwydd Dduw.
22 ¶ Yna y cerubiaid a gyfodas-
ant eu hadenydd, a'r olwynion yn
eu hymyl, a gogoniant Duw Israel
*oedd* arnynt oddiarnodd.
23 A gogoniant yr Arglwydd a
ymddyrchafodd oddiar ganol y ddi-
nas, ac a safodd ar y mynydd *sydd*
o'r tu dwyrain i'r ddinas.
24 ¶ Yna yr ysbryd a'm cododd
i, ac a'm dyg hyd Caldea at y gaeth-
glud mewn gweledigaeth trwy ys-
bryd Duw. A'r weledigaeth a wel-
swn a ddyrchafodd oddiwrthyf.
25 Yna y llefarais wrth y rhai o'r
gaethglud holl eiriau yr Arglwydd,
y rhai a ddangosasai efe i mi.

## PENNOD XII.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
2 Trigo yr wyt ti, fab dyn, yn
nghanol tŷ gwrthryfelgar, y rhai *y*
*mae* llygaid iddynt i weled, ac ni
welant; clustiau iddynt i glywed,
ac ni chlywant: canys tŷ gwrth-
ryfelgar *ydynt.*
3 A thithau, fab dyn, gwna it'
offer caethglud, a muda liw dydd o
flaen eu llygaid hwynt; ïe, muda
o'th le dy hun i le arall yn ngwydd
eu llygaid hwynt: nid hwyrach y
gwelant, er eu *bod* yn dŷ gwrthry-
felgar.
4 A dwg allan dy ddodrefn liw
dydd yn ngwydd eu llygaid, fel
dodrefn caethglud: a dos allan yn
yr hwyr yn ngwydd eu llygaid, fel
rhai yn myned allan i gaethglud.
5 Cloddia i ti o flaen eu llygaid
hwynt trwy y mur, a dwg allan
trwy hwnw.
6 Ar *dy* ysgwydd y dygi yn
ngwydd eu llygaid hwynt, yn y ty-
wyll y dygi allan: dy wyneb a

---

od Crist yn y dyddiau diweddaf; *rhoddaf eu ffordd hwynt ar eu penau eu hun*—cospir hwynt oll yn ol drygioni eu gweithredoedd.

Adn. 22. *Yna y cerubiaid a gyfodasant eu hadenydd*] I ehedeg ymaith yn mhellach; *a'r olwynion yn eu hymyl*—yn ymsymud gyda hwy; *a gogoniant Duw Israel oedd arnynt*—yn ymsymud uwch eu penau.

Adn. 23. *A gogoniant yr Arglwydd a ymddyrchafodd oddiar ganol y ddinas*] Yr oedd ef o'r blaen wedi gadael y cysegr, a symud at riniog y tŷ, ac wedi hyny at borth y dwyrain, pen. x. 18, 19; *ac a safodd ar y mynydd sydd o'r tu dwyrain i'r ddinas*—sef mynydd yr Olewwydd, oddiar yr hwn yr esgynodd ein Harglwydd wedi hyn i'r nef. Wrth gilio oddiwrthynt fel hyn yn raddol, yr oedd Duw yn rhoddi iddynt amser i ystyried eu ffyrdd, ac edifarhau am danynt, ac i'w alw ef yn ol; a danghosai hefyd mor anewyllysgar ydoedd ef i ymadael â had Abraham ei gyfaill.

Adn. 24. *Yna yr ysbryd a'm cododd i, ac a'm dyg hyd Caldea at y gaethglud*] Nid yn wirioneddol, canys yr oedd efe yn ei dŷ ei hun yn Caldea eisioes; eithr 'mewn *gweledigaeth*,' fel y dywedir yma: gwel ar pen. viii. 3. *A'r weledigaeth a welswn a ddyrchafodd oddiwrthyf*—hyny yw, efe a ddadebrodd o'i lewyg oruwchnaturiol, ac a'i cafodd ei hun gyda'r henuriaid yn ei dŷ ei hunan, pen. viii. 1. Fe allai na pharhaodd ei lewyg yn faith, ac i'r holl bethau a grybwyllwyd yn y pedair pennod flaenorol gael eu dangos iddo mewn llai na hanner awr.

Adn. 25. *Yna y llefarais wrth y rhai o'r gaethglud*] Sef wrth henuriaid Juda, pen. viii. 1; *holl eiriau yr Arglwydd, y rhai a ddangosasai efe i mi*—sef yr oll a glywsai ac a welsai, fel y darluniwyd hwynt uchod, pen. viii—xi.

PEN. XII. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Meddylir i'r holl broffwydoliaethau oddiyma hyd pen. xx, gael eu traethu tua diwedd y chweched flwyddyn o deyrnasiad Zedeciah, ac oddeutu pum mlynedd cyn dinystr Jerusalem.

Adn. 2. *Trigo yr wyt ti, fab dyn, yn nghanol tŷ gwrthryfelgar*] Sef yn mhlith y gaethglud yn Caldea, y rhai a rwgnachent oblegid eu cyflwr, ac a ystyrient eu brodyr yn Judea yn well arnynt na hwynt-hwy; *y rhai y mae llygaid iddynt i weled*—y rhai y mae deall a synwyr ganddynt i wybod eu hamgylchiadau eu hunain a'u brodyr; *ac ni welant*—eithr cauant eu llygaid a'u clustiau yn wirfoddol, gan mor wrthryfelgar ydynt: gwel ar Esay vi. 9, a xlii. 19, 20, Jer. v. 21, Mat. xiii. 13, 14.

Adn. 3. *Gwna it' offer caethglud*] Sef mèni neu gludeiriau i gario ymaith dy ddodrefn; *a muda liw dydd o flaen eu llygaid hwynt*—i arwyddo caethgludiad eu brodyr o Judea i Babilon: *nid hwyrach y gwelant*—fe allai y bydd iddynt ddefnyddio eu synwyrau i ddeall yr arwydd hwnw.

Adn. 4. *A dos allan yn yr hwyr yn ngwydd eu llygaid*] Yn arwydd o ffoedigaeth Zedeciah a'i wŷr liw nos, 2 Bren. xxv. 4. Yr oedd y proffwyd i fudo ymaith ei ddodrefn liw dydd, i arwyddo eu caethgludiad hwy gan y Caldeaid; ac yr oedd ef i fyned allan ei hunan yn yr hwyr, fel un yn ceisio dianc rhag caethiwed, i arwyddo y gwnai rhai o honynt yr un peth.

Adn. 5. *Cloddia i ti o flaen eu llygaid hwynt trwy y mur*] I arwyddo y byddai i Zedeciah a'i wŷr ffoi trwy foddion cyffelyb; a

guddi, fel na welech y ddaear:
canys *yn* arwydd y'th roddais i dŷ
Israel.
7 Ac mi a wnaethym felly fel y'm
gorchymynwyd: dygais fy offer
allan liw dydd, fel offer caethglud;
ac yn yr hwyr y cloddiais trwy y
mur â'm llaw: yn y tywyll y dyg-
ais allan, ar *fy* ysgwydd y dygais o
flaen eu llygaid hwynt.
8 ¶ A'r bore y daeth gair yr
Arglwydd ataf, gan ddywedyd,
9 Ha fab dyn, oni ddywedodd tŷ
Israel, y tŷ gwrthryfelgar, wrthyt,
Beth yr wyt ti yn ei wneuthur?
10 Dywed ti wrthynt, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw, I'r
tywysog yn Jerusalem *y mae* y baich
hwn, ac i holl dŷ Israel y rhai *sydd*
yn eu mysg.
11 Dywed, Eich arwydd chwi
*ydwyf* fi: fel y gwnaethym i, felly y
gwneir iddynt hwy: mewn caeth-
glud yr ânt i gaethiwed.
12 A'r tywysog yr hwn *sydd* yn
eu canol a ddwg ar *ei* ysgwydd yn
y tywyll, ac a â allan: cloddiant
trwy y mur, i ddwyn allan trwyddo:
ei wyneb a guddia fel na welo efe y
ddaear â'*i* lygaid.
13 A mi a daenaf fy rhwyd arno
ef, fel y dalier ef yn fy rhwyd: a
dygaf ef i Babilon, tir y Caldeaid;
ac ni wel efe hi, eto yno y bydd efe
marw.
14 A gwasgaraf yr holl rai *sydd*
yn ei gylch ef i'w gynorthwyo, a'i
holl fyddinoedd, tua phob gwynt;
a thynaf gleddyf ar eu hol hwynt.
15 A hwy a gânt wybod mai myfi
*yw* yr Arglwydd, wedi gwasgaru o
honof hwynt yn mysg y cenhedl-
oedd, a'u taenu ar hyd y gwled-
ydd.
16 Eto gweddillaf o honynt ych-
ydig ddynion oddiwrth y cleddyf,
oddiwrth y newyn, ac oddiwrth yr
haint; fel y mynegont eu holl

---

*dwg allan trwy hwnw*—ychydig luniaeth a dillad, fel un yn ffoi gyda brys rhag y gelyn.

Adn. 6. *Ar dy ysgwydd y dygi*] Y baich hwnw o luniaeth a dillad; *yn y tywyllwch y dygi allan*—neu yn y cyfnos, rhwng tywyll a goleu; canys yr oedd ef i gario ei faich ar ei ysgwydd 'yn ngwydd eu llygaid hwynt. *Dy wyneb a guddi, fel na welech y ddaear*—yn arwydd o ddallineb Zedeciah, ar ol iddynt dynu ei lygaid ef. *Canys yn arwydd y'th roddais i dŷ Israel*—yr oedd y proffwyd i ddangos iddynt mewn gweithred, yn gystal ag ar air, y pethau a ddeuent i'w cyfarfod, yr hyn a adawai argraff dwysach ar eu meddyliau.

Adn. 7. *Ac mi a wnaethym felly*] Yn fanwl yn mhob peth, *fel y'm gorchymynwyd*—trwy air yr Arglwydd. *Dygais fy offer allan liw dydd, &c.*—yr oedd yr holl bethau hyn yn cael eu gwneuthur ganddo yn wirioneddol o flaen eu llygaid hwynt, ac nid yn weledigaethol iddo ei hun fel o'r blaen, pen. viii. 3, 8, &c.

Adn. 8. *A'r bore y daeth gair yr Arglwydd ataf*] Sef dranoeth wedi iddo wneuthur yr arwyddion uchod.

Adn. 9. *Ha fab dyn, oni ddywedodd tŷ Israel*] Sef y gaethglud wrthryfelgar yn Caldea; *Beth yr wyt ti yn ei wneuthur?*—oni ofynasant i ti yn gellweirus, beth oedd meddwl yr arwyddion hyny?

Adn. 10. *Dywed di wrthynt*] Oddiwrthyf fi, *I'r tywysog yn Jerusalem y mae y baich hwn*—y mae yr arwydd proffwydol hwn yn cyfeirio at Zedeciah, ac at yr holl Iuddewon ag sydd eto yn Judea.

Adn. 11. *Dywed*] Wrthynt yn mhellach, *Eich arwydd chwi ydwyf fi*—i arwyddo i chwi yr hyn a wneir iddynt hwy: gwel ar adn. 6. *Fel y gwnaethym i, felly y gwneir iddynt hwy*—symudir hwynt yn gaethion i Babilon, fel y mudais i yn ngwydd eich llygaid chwi i le arall, &c.: gwel ar adn. 3—6.

Adn. 12. *A'r tywysog yr hwn sydd yn eu canol*] Sef Zedeciah, yr hwn sydd yn frenin arnynt; *a ddwg ar ei ysgwydd yn y tywyll, &c.*—gwel ar adn. 5, 6.

Adn. 13. *A mi a daenaf fy rhwyd arno ef*] Fel y bydd ei ymdrech i ffoi yn aflwyddiannus; *a dygaf ef i Babilon*—mewn gefynau pres: *ac ni wel efe hi*—er ei fod ynddi, trwy y bydd ei lygaid wedi eu tynu allan o'i ben: *eto yno y bydd efe marw*—sef yn Babilon, o ofid calon: gwel ar 2 Bren. xxv. 7. Yr oedd Jeremi wedi rhagddywedyd y cai ei lygaid ef weled llygaid brenin Babilon, Jer. xxxiv. 3; ac eto y mae Ezeciel yn dywedyd yma na chai efe weled Babilon: ac am hyny, fel y dywed *Josephus*, yr oedd Zedeciah yn edrych ar y ddwy broffwydoliaeth fel yn gwrthddywedyd eu gilydd, yr hyn a barodd iddo anghredu y naill a'r llall. Eithr cyflawnwyd pob un o honynt yn fanwl; canys efe a welodd lygaid brenin Babilon yn Riblah, lle y tynwyd ei lygaid ef; ac oddiyno dygwyd ef yn ddall i Babilon.

Adn. 14. *A gwasgaraf yr holl rai sydd yn ei gylch ef*] Naill ai yr Aifftiaid, y rhai a fwriadent ddyfod i'w gynorthwyo; neu ynte y rhyfelwyr, y rhai a ffoisent gyda ef; *tua phob gwynt*—neu yn mhob cyfeiriad: *a thynaf gleddyf ar eu hol hwynt*—i'w dyfetha yn mhob man lle yr elont, pen. v. 2.

Adn. 15. *A hwy a gânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Trwy gyflawniad fy rhagddywediadau i'w herbyn.

Adn. 16. *Eto gweddillaf o honynt ychydig ddynion*] Heb gael eu lladd gan y cleddyf, y newyn, na'r haint; *fel y mynegont eu holl ffieidd-dra*—fel y cyfaddefont eu bod wedi

ffieidd-dra yn mysg y cenhedloedd,
lle y delont: a gwybyddant mai
myfi *yw* yr Arglwydd.
17 ¶ Gair yr Arglwydd hefyd a
ddaeth ataf, gan ddywedyd,
18 Ha fab dyn, bwytêi dy fara
dan grynu, a'th ddwfr a yfi mewn
dychryn a gofal:
19 A dywed wrth bobl y tir, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw am
drigolion Jerusalem, *ac* am wlad
Israel, Eu bara a fwytânt mewn
gofal, a'u dwfr a yfant mewn syn-
dod, fel yr anrheithr ei thir o'i
chyflawnder, am drais y rhai oll a
drigant ynddi.
20 A'r dinasoedd cyfaneddol a
annghyfaneddir, a'r tir a fydd an-
rheithiol; felly y gwybyddwch mai
myfi *yw* yr Arglwydd.
21 ¶ A daeth gair yr Arglwydd
ataf, gan ddywedyd,
22 Ha fab dyn, beth *yw* y ddiar-
eb hon genych am dir Israel, gan
ddywedyd, Y dyddiau a estynwyd,
a darfu am bob gweledigaeth?
23 Am hyny dywed wrthynt, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Gwnaf i'r ddiareb hon beidio, fel
nad arferont hi yn ddiareb mwy yn
Israel: ond dywed wrthynt, Y dydd-
iau sydd agos, a sylwedd pob gwel-
edigaeth.
24 Canys ni bydd mwy un weled-
igaeth ofer, na dewiniaeth wenieith-
us o fewn tŷ Israel.
25 Canys myfi *yw* yr Arglwydd:
mi a lefaraf, a'r gair a lefarwyf a
wneir; nid oedir ef mwy: o her-
wydd yn eich dyddiau chwi, O dŷ
gwrthryfelgar, y dywedaf y gair, ac
a'i gwnaf, medd yr Arglwydd
Dduw.
26 ¶ A gair yr Arglwydd a
ddaeth ataf, gan ddywedyd,
27 Ha fab dyn, wele dŷ Israel yn
dywedyd, Y weledigaeth a wel efe
*fydd* wedi dyddiau lawer, a phroff-

---

cael eu cospi yn gyfiawn am eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill: *a gwybyddant mai myfi yw yr Arglwydd*—dealla y cenhedloedd oddiwrth yr hanes a glywant ganddynt, mai myfi yw JEHOFA. Fel hyn byddai i'r rhai a ddianrhydeddent Dduw yn eu gwlad eu hunain, ddwyn gogoniant iddo mewn gwledydd paganaidd.

Adn. 17. *Gair yr Arglwydd hefyd a ddaeth ataf*] I'w gyfarwyddo ef i addysgu y bobl hyn trwy arwydd arall.

Adn. 18. *Ha fab dyn, bwytêi dy fara dan grynu*] Rhag iddo ddarfod; *a'th ddwfr a yfi mewn dychryn a gofal*—o herwydd ei brinder: gwel ar pen. iv. 10, 11, 16.

Adn. 19. *A dywed wrth bobl y tir*] Wrth dy gydgaethion yn Caldea, yr hyn a ddywed yr Arglwydd am eu brodyr yn Judea yn amser y gwarchae, fel y gwelont nad yw eu cyflwr hwy cyn waethed a chyflwr eu brodyr hyny: *Eu bara a fwytânt mewn gofal, &c.*—gwel ar adn. 18; *fel yr anrheithr ei thir*—yn hytrach, 'am fod ei thir wedi ei anrheithio,' sef tir Jerusalem neu Judea, o herwydd eu trais a'u gorthrwm tuag at eu gilydd.

Adn. 20. *A'r dinasoedd cyfaneddol a annghyfaneddir*] Y rhai sydd yn awr yn llawn o drigolion: *felly y gwybyddwch mai myfi yw yr Arglwydd*—wrth y farn a wnaf.

Adn. 21. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Drachefn, i fynegu fod y dinystr hwnw yn ymyl.

Adn. 22. *Ha fab dyn, beth yw y ddiareb hon genych*] Neu y gair hwn, yr hwn a ddaeth yn ddiarebol trwy ei fynychder? *Y dyddiau a estynwyd*—neu a ohiriwyd, sef dyddiau y dinystr bygythiedig ar dir Israel; *a darfu am bob gweledigaeth*—nid yw yr hyn a ddywedir gan y proffwydi yn ddatguddiad oddiwrth Dduw: nid oes sylwedd ynddo. Yr oedd y rhai hyn yn debyg i'r gwatwarwyr hyny yn 2 Pedr iii. 4.

Adn. 23. *Gwnaf i'r ddiareb hon beidio*] Trwy beri iddynt wybod yn amgenach trwy brofiad chwerw. *Y dyddiau sydd agos*—pryd y cyflawnir fy holl fygythion i; *a sylwedd pob gweledigaeth*—pryd y byddai i'r holl weledigaethau o berthynas i ddinystr Jerusalem gael eu sylweddoli. Yr oedd y gaethglud yn Caldea yn meddwl mai swn disylwedd oedd y son am ddisgyniad y farn ar Judea; ac felly hiraethent am ddychwelyd yno at eu brodyr, i fwynhau heddwch a phob daioni.

Adn. 24. *Canys ni bydd mwy un weledigaeth ofer*] Ni bydd un a gyfrifir yn ofer; neu, ni bydd un ofer mwyach o eiddo y gau-broffwydi: *na dewiniaeth wenieithus*—yr oedd y gau-broffwydi yn gwenieithio i'r Iuddewon y caent aros yn eu gwlad mewn heddwch, Jer. xxiii. 17; ond byddai i gyflawniad rhagddywediadau Duw trwy ei wir broffwydi roddi terfyn yn fuan ar gelwyddau y gau-broffwydi, a pheri iddynt ddystewi mewn gwarth.

Adn. 25. *Canys myfi yw yr Arglwydd*] Y Duw geirwir a hollalluog, yr hyn oedd yn ddigon o sicrwydd y cyflawnid ei holl fygythion ef yn ddiffeth. *O herwydd yn eich dyddiau chwi*—y rhai a glywsoch air y bygythiad, y cyflawnaf y gair hwnw.

Adn. 26. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] I beri i mi wasgu y gwirionedd uchod yn ddwysach ar eu meddyliau hwynt.

Adn. 27. *Ha fab dyn, wele dŷ Israel yn dywedyd*] Am danat ti a'th weledigaethau; *Y weledigaeth a wel efe fydd wedi dyddiau lawer*—o'r blaen dywedent, 'Darfu am bob gweledigaeth,' adn. 22; ond yn awr y maent yn addef fod y proffwyd yn cael gweledigaeth-

wydo y mae efe am amseroedd pell.

28 Am hyny dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Nid oedir dim o'm geiriau mwy, ond y gair a ddywedais a wneir, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XIII.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

2 Proffwyda, fab dyn, yn erbyn proffwydi Israel, y rhai sydd yn proffwydo, a dywed wrth y rhai a broffwydant o'u calon eu hun, Gwrandewch air yr Arglwydd.

3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Gwae y proffwydi ynfyd, y rhai a rodiant yn ol eu hysbryd eu hun, ac heb weled *dim.*

4 Dy broffwydi, Israel, ydynt fel llwynogod yn yr anialwch.

5 Ni safasoch yn yr adwyau, ac ni chauasoch y cae i dŷ Israel, i sefyll yn y rhyfel ar ddydd yr Arglwydd.

6 Gwagedd a gau-ddewiniaeth a welsant, y rhai a ddywedant, Dywedodd yr Arglwydd; a'r Arglwydd heb eu hanfon hwynt: a pharasant i *ereill* ddysgwyl am gyflawni y gair.

7 Onid ofer weledigaeth a welsoch, a gau-ddewiniaeth a draethasoch, pan ddywedasoch, Yr Arglwydd a ddywedodd; a minau heb ddywedyd?

8 Am hyny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Am lefaru o honoch wagedd, a gweled o honoch gelwydd; am hyny wele fi i'ch erbyn, medd yr Arglwydd Dduw.

9 A bydd fy llaw yn erbyn y proffwydi sydd yn gweled gwagedd, ac yn dewinio celwydd; yn nghyfrinach fy mhobl ni byddant, ac o fewn ysgrifen tŷ Israel ni ysgrifenir hwynt, i dir Israel hefyd ni ddeu-

---

au o bethau a gymerent le mewn gwirionedd, ond nid yn ebrwydd; *a phroffwydo y mae efe am amseroedd pell*—am bethau a gymerant le yn mhen llawer o oesoedd ar ol hyn.

Adn. 28. *Am hyny dywed wrthynt*] Oddiwrthyf fi; *Nid oedir dim o'm geiriau mwy*—am ddinystr Jerusalem a chaethgludiad ei thrigolion, trwy fod fy amynedd wedi blino yn dysgwyl am eu diwygiad; *ond y gair a ddywedais a wneir*—yr hwn a gyflawnwyd yn mhen pedair neu bum mlynedd wedi hyny.

PEN. XIII. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Tua'r un amser ag y traethwyd cynwysiad y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Proffwyda, fab dyn, yn erbyn proffwydi Israel*] Sef eu gau-broffwydi, y rhai oeddynt yn adrodd dychymygion eu calon eu hun. *Gwrandewch air yr Arglwydd*—gelwid arnynt i wrando, fel y byddai iddynt gywilyddio am eu ffyrdd drygionus.

Adn. 3. *Gwae y proffwydi ynfyd*] Y rhai a addawent heddwch i Israel, tra yr oedd gwae Duw uwch eu penau hwy eu hunain; *y rhai a rodiant yn ol eu hysbryd eu hun*—heb eu hysbrydoli na'u hanfon genyf fi; *ac heb weled dim*—er eu bod yn haeru eu bod yn gweled gweledigaethau yr Arglwydd.

Adn. 4. *Dy broffwydi, Israel*] Nid fy rhai i, *ydynt fel llwynogod yn yr anialwch*—yn gyfrwys i dwyllo, hudo, ac ysglyfaethu.

Adn. 5. *Ni safasoch yn yr adwyau*] Y fath ag a wneir yn muriau dinas warchäedig; *ac ni chauasoch y cae i dŷ Israel*—i rwystro y gelynion i mewn; *i sefyll yn y rhyfel ar ddydd yr Arglwydd*—sef dydd ei ddigofaint ef, pryd y deuai y Caldeaid i ymosod ar y ddinas. Y rhai hyn ydynt ymadroddion milwraidd; a'u hystyr yw, nad oedd y proffwydi drwg hyn wedi gwneyd dim i attal cynydd drygioni, neu i droi ymaith farnedigaethau cyfiawn Duw.

Adn. 6. *Gwagedd à gau-ddewiniaeth a welsant, &c.*] Traethent broffwydoliaethau celwyddog, gan gymeryd arnynt eu bod wedi cael eu hanfon gan yr Arglwydd, a'i fod ef yn llefaru trwyddynt hwy: *a pharasant i ereill ddysgwyl am gyflawni y gair*—y byddai iddynt gael heddwch a diogelwch, fel yr addawent hwy iddynt.

Adn. 7. *Onid ofer weledigaeth a welsoch, &c.*] Yma y mae yr Arglwydd yn apelio at y gau-broffwydi eu hunain, i farnu pa un a oedd efe yn dywedyd y gwir am danynt.

Adn. 8. *Am lefaru o honoch wagedd, a gweled o honoch gelwydd*] Pethau heb sylwedd ynddynt, na sail iddynt; *am hyny wele fi i'ch erbyn, medd yr Arglwydd*—a phwy gan hyny a'ch gwared chwi o'm llaw i?

Adn. 9. *A bydd fy llaw yn erbyn y proffwydi*] Celwyddog hyn, i'w taraw â rhyw farn amlwg, fel Pelatiah, pen. xi. 13, a Hananiah, Jer. xxviii. 15. *Yn nghyfrinach fy mhobl ni byddant*—ni chânt unrhyw ddatguddiad o gynghor ac ewyllys Duw, fel a roddid i'r gwir broffwydi, neu ni chânt fod yn nghymdeithas fy mhobl yn fy eglwys, eithr esgymunir hwynt. *Ac o fewn ysgrifen tŷ Israel ni ysgrifenir hwynt*—cyfeiriad at y cofrestrau a gedwid o aelodau unrhyw ddinas neu gorfforaeth, trwy y rhai y diogelid iddynt eu breintiau: gwel ar Exod. xxxii. 32, Luc x. 20. *I dir Israel hefyd ni ddeuant*—ar ddychweliad y gaethglud; eithr byddant feirw yn y gwarchae, trwy y cleddyf, y newyn, neu yr haint. *A gwybyddwch*—Saes., 'a chewch wybod,' trwy y barnedigaethau hyn, mai myfi yw yr Arglwydd.

ant; a gwybyddwch mai myfi *yw*
yr Arglwydd Dduw.
10 ¶ O achos, ïe, o achos hudo o
honynt fy mhobl, gan ddywedyd,
Heddwch; ac nid *oedd* heddwch;
un a adeiladai bared, ac wele ereill
yn ei briddo â *chlai* heb ei dymheru.
11 Dywed wrth y rhai a'i pridd-
ant â *phridd* rhydd, y syrth efe:
canys curwlaw a fydd, a chwithau
gerig cenllusg a syrthiwch; a
gwynt tymhestlog a'i rhwyga.
12 Wele, pan syrthio y pared,
oni ddywedir wrthych, *Mae* y clai
â'r hwn y priddasoch *ef?*
13 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Minau a'*i* rhwyg-
af â gwynt tymhestlog yn fy llid; a
churwlaw fydd yn fy nig, a cherig
cenllusg yn fy llidiogrwydd, i'w
ddyfetha.
14 Felly y bwriaf i lawr y pared
a briddasoch â *phridd* heb ei dym-
heru, ac a'i tynaf hyd lawr, fel y
dynoether ei sylfaen, ac efe a syrth,
a chwithau a ddyfethir yn ei ganol
ef: a chewch wybod mai myfi *yw*
yr Arglwydd.
15 Fel hyn y gorphenaf fy llid
ar y pared, ac ar y rhai a'i priddas-
ant â *phridd* heb dymheru, a dy-
wedaf wrthych, Y pared nid *yw,*
na'r rhai a'i priddasant:
16 *Sef* proffwydi Israel, y rhai a
broffwydant am Jerusalem, ac a
welant iddi weledigaethau hedd-
wch, ac nid *oes* heddwch, medd yr
Arglwydd Dduw.
17 ¶ Tithau fab dyn, gosod dy
wyneb yn erbyn merched dy bobl,
y rhai a broffwydant o'u calon eu
hun; a proffwyda yn eu herbyn
hwynt.
18 A dywed, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Gwae y gwnïad-
yddesau clustogau dan holl benelin-
oedd fy mhobl, a'r rhai a weithiant
foledau am ben pob corffolaeth, i
hela eneidiau. Ai eneidiau fy
mhobl a heliwch chwi, ac a gedwch
chwi yn fyw yr eneidiau *a ddel*
atoch?

---

Adn. 10. *O achos, ïe, o achos hudo o honynt fy mhobl*] I gredu y byddai iddynt heddwch, pryd nad oedd heddwch. Ac yr oedd hyny fel *un a adeiladai bared*—â cherig rhyddion heb eu pridd-galchu, neu â phridd yn lle cerig; *ac wele ereill yn ei briddo â chlai heb ei dymheru*—yn ei ddwbio ar ei wyneb â chymrwd heb ei gymysgu yn briodol, fel y byddai iddo ymddangos oddiallan yn dêg a chadarn. Yr hyn a ddywedid wrth y bobl gan y naill broffwyd celwyddog, a gadarnheid gan y lleill, er nad oedd sail iddo.

Adn. 11. *Dywed wrth y rhai a'i priddant â phridd rhydd*] Neu a'i dwbiant ar ei wyneb yn unig, a hyny â chymrwd anmhriodol; *y syrth efe*—yn anocheladwy, trwy nad yw wedi ei weithio trwy galch. *Canys curwlaw a fydd*—sef barnedigaethau Duw, y rhai a gyffelybir yn fynych i wlawogydd trymion, Mat. vii. 27; *a chwithau gerig cenllusg a syrthiwch*—ar y pared hwnw; *a gwynt tymhestlog a'i rhwyga*—cyfeiria hyn oll at fyddinoedd cryfion y Caldeaid yn dryllio Jerusalem a'i thrigolion, er i'r gau-broffwydi ddywedyd y byddai heddwch iddynt.

Adn. 12. *Wele, pan syrthio y pared*] Pan ddryllir eich dinas; *oni ddywedir wrthych*—onid allai un yn rhesymol ofyn i chwi, *Mae y clai â'r hwn y priddasoch ef?*—hyny yw, yn mhla le y mae yr heddwch a'r diogelwch a addawsoch i'r bobl hyn? Yn mha le y mae cryfder eich pared, yr hwn y dywedech y byddai iddo sefyll byth?

Adn. 13. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Wrth y gau-broffwydi hyny; *Minau a'i rhwygaf â gwynt tymhestlog, &c.*—gwel ar adn. 11. Yr alleirydd Caldeaidd a'i deongla, 'Dygaf frenin cadarn gyda nerth corwynt, a phobl ddinystriol fel gwlawogydd gorlifawl, a thywysogion cryfion fel cenllusg mawrion.'

Adn. 14. *Felly y bwriaf i lawr y pared*] Hyd ei sylfaen; *a chwithau a ddyfethir yn ei ganol ef*—yn nghanol y dinystr hwnw: *a chewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—wrth y farn a wnaf.

Adn. 15. *Fel hyn y gorphenaf fy llid ar y pared*] Neu y cyflawnaf y dialedd a ragfynegwyd gan fy ngwir broffwydi yn erbyn Jerusalem; *ac ar y rhai a'i priddasant â phridd heb dymheru*—sef y gau-broffwydi celwyddog, adn. 10: *a dywedaf wrthych, Y pared nid yw, na'r rhai a'i priddasant*—neu dywedaf 'am danoch;' hyny yw, danghosaf i bawb, trwy y dygwyddiad dychrynllyd, eich bod chwi a'r ddinas wedi eich dyfetha.

Adn. 16. *Sef proffwydi Israel, &c.*] Hyn yw y cymhwysiad neu y deongliad a ddyry yr Arglwydd ei hun o'r adnodau blaenorol.

Adn. 17. *Tithau fab dyn, gosod dy wyneb yn erbyn merched dy bobl*] Yr oedd Duw yn rhoddi dawn proffwydoliaeth weithiau i ferched, Exod. xv. 20, Barn. vi. 4, 2 Bren. xxii. 14, Neh. vi. 14, Luc ii. 36, Act. xxi. 9; ac yr oedd hyny yn cefnogi ereill o'r un rhyw i hòni eu bod wedi cael yr un dawn. *Y rhai a broffwydant o'u calon eu hun*—yr un modd a'r gau-broffwydi, adn. 2.

Adn. 18. *A dywed*] O'm genau i; *Gwae y gwnïadyddesau clustogau dan holl benelinoedd fy mhobl*—y rhai a berswadiant fy mhobl i esmwythder a diofalwch yn eu cyflwr

19 Ac a halogwch chwi fi yn mysg fy mhobl er dyrneidiau o haidd, ac am dameidiau o fara, i ladd yr eneidiau ni ddylent farw, a chadw yn fyw yr eneidiau ni ddylent fyw, gan ddywedyd o honoch gelwydd wrth fy mhobl, y rhai a wrandawent gelwydd?

20 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn erbyn eich clustogau chwi, â'r rhai yr ydych yno yn hela eneidiau, i beri *iddynt* ehedeg, a rhwygaf hwynt oddiwrth eich breichiau; a gollyngaf yr eneidiau, *sef* yr eneidiau yr ydych yn eu hela, i beri *iddynt* ehedeg.

21 Rhwygaf hefyd eich moledau chwi, a gwaredaf fy mhobl o'ch llaw, ac ni byddant mwy yn eich llaw chwi yn helfa; a chewch wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

22 Am dristâu calon y cyfiawn trwy gelwydd, a minau heb ei ofidio ef; ac am gadarnhau dwylaw yr annuwiol, fel na ddychwelai o'i ffordd ddrygionus, trwy addaw iddo einioes.

23 O herwydd hyny ni welwch wagedd, ac ni ddewiniwch ddewiniaeth mwy; canys gwaredaf fy mhobl o'ch llaw chwi; a chewch wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

---

peryglus presenol. Fel y mae arferion twyllodrus y gau-broffwydi yn cael eu cyffelybu i ddwbio pared â chlai heb ei dymheru, adn. 10, &c.; felly y mae ystrywiau hudolaidd y merched hyn yn cael eu cyffelybu i wnïo clustogau esmwyth dan benelinoedd y bobl, fel y byddai iddynt orphwys yn dawel a diofal yn eu ffyrdd drwg. Y mae yma gyfeiriad at arferiad boneddigesau y dwyrain o eistedd ar eu glythau, gyda chlustogau danynt, ac wrth eu cefnau, a than bob braich. *A'r rhai a weithiant foledau, am ben pob corffolaeth*—neu 'bersonau o bob oedran;' *i hela eneidiau*—i hudo dynion i ddinystr neu eilunaddoliaeth aflan. Neu fe allai fod y *moledau*, neu y 'pen-addurniadau' hyn, yn arwydd o gyflwr llwyddiannus ac anrhydeddus; a'u bod yn gweithio y rhai hyn, i ddangos y byddai i'w cyflwr llwyddiannus personol barhau; trwy yr hyn yr oeddynt yn maglu dynion yn ysglyfaeth i'w dichell a'u twyll. Dywed *Calmet* nad oedd braidd heresi yn nechread Cristionogaeth, a'r nad oedd yn cael ei chynal a'i chefnogi gan ferched hudol. *Ai eneidiau fy mhobl a heliwch chwi*—i aflendid, dinystr, a cholledigaeth? *ac a gêdwch chwi yn fyw yr eneidiau a ddel atoch?*—a waredwch chwi hwy, trwy eich ystrywiau, rhag y dinystr nesaol?

Adn. 19. *Ac a halogwch chwi fi yn mysg fy mhobl*] Trwy bòni yn gelwyddog fy mod i yn llefaru trwyoch chwi; *er dyrneidiau o haidd, ac am dameidiau o fara*—er mwyn cael ychydig elw i chwi eich hunain; *i ladd yr eneidiau ni ddylent farw, a chadw yn fyw yr eneidiau ni ddylent fyw*—bygythient farwolaeth i'r rhai cyfiawn nad oeddynt yn eu gwobrwyo hwy; ac addawent hir einioes a dedwyddwch i'r rhai drygionus, y rhai yr oedd Duw wedi eu nodi i ddinystr. Neu, bygythient farwolaeth i'r rhai a'u rhoddasant eu hunain i fyny i'r Caldeaid yn amser Jeconiah, y rhai yr oedd Duw yn bwriadu eu cadw yn fyw, Jer. xxix. 5, 6; a gwenieithient i'r rhai ag oeddynt yn aros yn Jerusalem gydag addewid o heddwch a diogelwch, y rhai yr oedd Duw wedi rhagfynegu eu dinystr, Ezec. v. 12. Ac felly yr oeddynt yn dywedyd *celwydd* wrth bobl yr Arglwydd; ac yr oedd llawer o honynt yn *gwrandaw* arnynt, ac yn eu credu.

Adn. 20. *Wele fi yn erbyn eich clustogau chwi*] Eich ystrywiau celwyddog a hudolaidd; *â'r rhai yr ydych yno yn hela eneidiau, i beri iddynt ehedeg*—neu *redeg* i'r maglau a osodir genych o'u blaen: *a rhwygaf hwynt oddiwrth eich breichiau, &c.*—hyny yw, paraf i'ch twyll a'ch gweniaith ymddangos mor eglur, fel na bydd neb mwyach mewn perygl o gael eu hudo genych i'ch maglau.

Adn. 21. *Rhwygaf hefyd eich moledau chwi*] Paraf i'ch holl ystrywiau a'ch dichellion cyfrwys fod yn aneffeithiol i gyraedd eich amcan; *a gwaredaf fy mhobl o'ch llaw*—fel na byddant yn helfa i chwi mwyach: *a chewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—yr hwn y bydd i'm holl fwriadau gael eu cyflawni yn ddifeth.

Adn. 22. *Am dristâu calon y cyfiawn trwy gelwydd*] Yr oedd y gau-broffwydesau hyn, trwy eu celwyddau, yn tristâu calonau y duwiolion yn Jerusalem, wrth iddynt weled y modd yr oedd yr Arglwydd yn cael ei ddianrhydeddu, ac eneidiau y bobl yn cael eu twyllo ganddynt; *a minau heb ei ofidio ef*—ond yn hytrach yn eu dyddanu trwy fy ngwir broffwydi. *Ac am gadarnhau dwylaw yr annuwiol*—trwy addaw iddo einioes a phob llwyddiant yn ei ddrygioni; *fel na ddychwelai o'i ffordd ddrygionus*—fel hyn yr oeddynt yn caledu dynion yn eu pechodau, ac yn rhwystro iddynt ddychwelyd, wrth addaw bywyd a diogelwch iddynt yn eu drygioni.

Adn. 23. *O herwydd hyny ni welwch wagedd, &c.*] Rhoddaf dertyn hollol ac effeithiol ar eich holl ystrywiau a'ch hudoliaethau: *canys gwaredaf fy mhobl o'ch llaw chwi*—trwy beri i chwi syrthio yn ninystr y ddinas; *a chewch wybod*—trwy brofiad chwerw, *mai myfi yw yr Arglwydd*—yr hwn a gyhoeddais y wae hon uwch eich pen, adn. 17. Casgla rhai oddiwrth yr adnod hon eu bod yn arferyd *dewiniaeth*, trwy gyfrwng ysbrydion drwg.

## PENNOD XIV.

YNA y daeth ataf wŷr o henuriaid Israel, ac a eisteddasant o'm blaen.

2 A daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

3 Y gwŷr hyn, O fab dyn, a ddyrchafasant eu heilunod yn eu calonau, ac a roddasant dramgwydd eu hanwiredd ar gyfer eu hwynebau: gan ymofyn, a ymofyn y cyfryw â myfi?

4 Am hyny ymddyddan â hwynt, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Pob un o dŷ Israel, yr hwn a ddyrchafo ei eilunod yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei anwiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddaw at y proffwyd; myfi yr Arglwydd a atebaf yr hwn a ddelo yn ol amlder ei eilunod,

5 I ddal tŷ Israel yn eu calonau, am iddynt ymddyeithrio oddiwrthyf oll trwy eu heilunod.

6 ¶ Am hyny dywed wrth dŷ Israel, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Trowch, a dychwelwch oddiwrth eich eilunod, a throwch eich wynebau oddiwrth eich holl ffieidd-dra.

7 Canys pob un o dŷ Israel, ac o'r dyeithr a ymdeithio o fewn Israel, a ymneillduo oddiar fy ol i, ac a ddyrchafo ei eilunod yn ei galon, ac a osodo dramgwydd ei anwiredd ar gyfer ei wyneb, ac a ddel at broffwyd i ymofyn â myfi trwyddo ef; myfi yr Arglwydd a atebaf iddo trwyof fy hun.

8 Gosodaf hefyd fy wyneb yn erbyn y gŵr hwnw, a gwnaf ef yn arwydd ac yn ddiareb, a thoraf ef ymaith o fysg fy mhobl; fel y gwypoch mai myfi *yw* yr Arglwydd.

9 Ac os twyllir y proffwyd pan lefaro air, myfi yr Arglwydd a dwyllodd y proffwyd hwnw; a mi a estynaf *hefyd* fy llaw arno ef, ac a'i dyfethaf o fysg fy mhobl Israel.

---

PEN. XIV. Adn. 1. *Yna y daeth ataf wŷr o henuriaid Israel*] Yr un rhai ag o'r blaen fe allai, pen. viii. 1; neu rai wedi dyfod o Jerusalem i weled y proffwyd, ac i'w holi ef yn nghylch amgylchiadau y genedl. Modd bynag, ymddengys mai dynion drwg ac eilunaddolgar oeddynt. *Ac a eisteddasant o'm blaen*—i'w holi ef, ac i wrandaw arno.

Adn. 2. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Efe a gafodd gynhyrfiad proffwydol tra yr oeddynt hwy yn eistedd ger ei fron, i hysbysu iddo eu gwir gymeriad hwy.

Adn. 3. *Y gwŷr hyn, O fab dyn, a ddyrchafasant eu heilunod yn eu calonau*] A roddasant eu serch arnynt yn hollol; *ac a roddasant dramgwydd eu hanwiredd*—sef eu delwau, yr achlysur o'u cwymp a'u dinystr, *ar gyfer eu hwynebau*—codasant hwy i fyny yn eu tai, ac mewn lleoedd cyfleus ereill, i'w haddoli. *Gan ymofyn, a ymofyn y cyfryw â myfi?*—fel pe dywedasai, I beth gan hyny yr ymofynant â mi trwyot ti? neu, a roddaf fi atebiad i'r fath ragrithwyr a'r rhai hyn?

Adn. 4. *Am hyny ymddyddan â hwynt*] Dangos iddynt fy mhenderfyniad i yn eglur a ffyddlon. *Pob un o dŷ Israel, yr hwn a ddyrchafo ei eilunod yn ei galon*—fel y gwnaeth y rhai hyn, adn. 3; *ac a ddaw at y proffwyd*—i gael gwybod meddwl Duw ar ryw achos trwyddo ef, fel pe buasai yn addolwr y gwir Dduw: *myfi yr Arglwydd a atebaf yr hwn a ddelo*—yn rhagrithiol a dau-wynebog felly, *yn ol amlder ei eilunod*—yn ol ei wir annuwioldeb, ac nid yn ol ei dduwioldeb honedig. Efe a amlhaodd ei eilunod, a minau a amlhaf ei ofidiau; a dangosaf iddo fawredd ei bechod, trwy fawredd ei gosp.

Adn. 5. *I ddal tŷ Israel yn eu calonau*] I ddangos yr hyn sydd yn eu calonau, neu i'w hargyhoeddi fy mod i yn adnabod eu calonau; *am iddynt ymddyeithrio oddiwrthyf oll trwy eu heilunod*—trwy garu eu heilunod yn hytrach na myfi.

Adn. 6. *Am hyny dywed wrth dŷ Israel*] Gosod o'u blaen yr unig foddion i ochel fy marnedigaethau i. *Trowch*—Saes., 'edifarhewch;' *a dychwelwch oddiwrth eich eilunod*—fel prawf o wirionedd eich edifeirwch; *a throwch eich wynebau oddiwrth eich holl ffieidd-dra*—nid yn unig oddiwrth eich eilunod, ond oddiwrth eich holl bechodau ffiaidd ereill.

Adn. 7. *Canys pob un o dŷ Israel*] Pob Iuddew o had Abraham; *ac o'r dyeithr a ymdeithio o fewn Israel*—sef pob proselyt o blith y cenhedloedd; *a ymneillduo oddiar fy ol i*—i fyned ar ol eilunod; *ac a ddyrchafo ei eilunod yn ei galon, &c.*—gwel ar adn. 3; *ac a ddel at broffwyd i ymofyn â myfi trwyddo ef*—gwel ar adn. 4: *myfi yr Arglwydd a atebaf iddo trwyof fy hun*—cymeraf ei achos ef yn fy llaw fy hun, a thywalltaf arno fy llid yn ddigyfrwng.

Adn. 8. *Gosodaf hefyd fy wyneb yn erbyn y gŵr hwnw*] Fel ei wrthwynebwr penderfynol; *a gwnaf ef yn arwydd ac yn ddiareb*—sef yn siampl amlwg o'm dialedd cyfiawn; *a thoraf ef ymaith o fysg fy mhobl*—trwy farwolaeth ddisymwth: *fel y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—Barnydd cyfiawn yr holl ddaear.

Adn. 9. *Ac os twyllir y proffwyd pan lefaro air*] Sef y gau broffwyd, at yr hwn y cyfeirir yma; canys yr oeddynt yn cyrchu yn fynych at y rhai hyny, y rhai a lefarent hedd-

10 A hwy a ddygant eu hanwir-
edd: un fath fydd anwiredd yr ym-
ofynydd ag anwiredd y proffwyd:
11 Fel na chyfeiliorno tŷ Israel
mwy oddiar fy ol, ac na haloger
hwy mwy â'u holl droseddau; ond
bod o honynt i mi yn bobl, a minau
iddynt hwy yn Dduw, medd yr
Arglwydd Dduw.
12 ¶ A gair yr Arglwydd a
ddaeth ataf drachefn, gan ddy-
wedyd,
13 Ha fab dyn, pan becho gwlad
i'm herbyn trwy wneuthur cam-
wedd, yna yr estynaf fy llaw arni,
a thoraf ffon ei bara hi, ac anfonaf
arni newyn, ac a doraf ymaith o
honi ddyn ac anifel.
14 Pe byddai yn ei chanol y tri
wŷr hyn, Noa, Daniel, a Job,
hwynt-hwy yn eu cyfiawnder a ach-
ubent eu henaid eu hun *yn unig*,
medd yr Arglwydd Dduw.
15 ¶ Os bwystfil niweidiol a yraf
trwy y wlad, a'i difa o hwnw, fel y
byddo yn annghyfanedd, heb gyni-
weirydd rhag ofn y bwystfil:
16 *Pe byddai* y tri wŷr hyn yn ei
chanol, *fel mai* byw fi, medd yr
Arglwydd Dduw, ni waredent na
meibion na merched; hwynt-hwy
yn unig a waredid, a'r tir a fyddai
yn annghyfanedd.
17 ¶ Neu *os* cleddyf a ddygaf ar
y tir hwnw, a dywedyd o honof,
Cyniwair, gleddyf, trwy y tir; fel
y torwyf ymaith o hono ddyn ac
anifel:
18 A'r tri wŷr hyn yn ei ganol,
*fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd

---

wch wrthynt i wenieithio iddynt; *myfi yr Arglwydd a dwyllodd y proffwyd hwnw*—trwy beri i bethau ddygwydd yn groes i'w ragfynegiadau ef: *a mi a estynaf hefyd fy llaw arno ef*—i'w ddyfetha ef o blith fy mhobl, am iddo gymeryd arno ei fod yn llefaru fy ngeiriau i.

Adn. 10. *A hwy a ddygant eu hanwiredd*] Neu 'gosp eu hanwiredd,' fel y mae yn y Saesonaeg: *un fath fydd anwiredd yr ymofynydd ag anwiredd y proffwyd*—yr un peth fydd cosp y ddau, y rhai a dorir ymaith ill dau o fysg fy mhobl, adn. 8, 9.

Adn. 11. *Fel na chyfeiliorno tŷ Israel mwy oddiar fy ol, &c.*] Dyben y gosp arnynt hwy fydd gwaredu ereill oddiwrth eilunaddoliaeth, a'u dwyn i'm haddoli i fel eu Duw cyfammodol.

Adn. 12. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf drachefn*] Ar achos arall.

Adn. 13. *Ha fab dyn, pan becho gwlad i'm herbyn*] I'r fath raddau nes y byddo mesur ei hanwiredd yn llawn; *yna yr estynaf fy llaw arni*—mewn barn benderfynol; *a thoraf ffon ei bara hi*—trwy sychder, gwlybaniaeth, neu locust; *ac anfonaf arni newyn*—mewn canlyniad i hyny, nes trengu o ddyn ac anifel.

Adn. 14. *Pe byddai yn ei chanol y tri wŷr hyn*] I weddio drosti; *Noa, Daniel, a Job*—y rhai oeddynt yn nodedig am lwyddiant eu gweddi; *hwynt-hwy yn eu cyfiawnder a achubent eu henaid eu hun yn unig*—eithr ni byddent, er maint eu duwioldeb, eu dylanwad, a'u taerineb mewn gweddi, yn alluog i achub gwlad neu genedl a fyddai wedi ei rhoddi i fyny yn anocheladwy i ddinystr. Llwyddodd ffydd a gweddi *Noa* i achub ei dŷ yn amser y dylif, er na achubwyd yr hen fyd, Heb. xi. 7; a llwyddodd gweddi *Daniel* i arbed ei fywyd ei hun a'i gyfeillion, gyda'r rhan arall o ddoethion Babilon, er nad allodd waredu ei genedl rhag myned i gaethiwed, Dan. ii. 24; a llwyddodd gweddi *Job* i gael arbediad i'w dri chyfaill, er nad allodd gadw ei blant ei hun rhag cael eu lladd trwy syrthiad y tŷ, Job i. 19, a xlii. 8. Pan fyddo gorchymyn anniddymadwy Duw wedi myned allan yn erbyn cenedl neu wlad a fyddo wedi cyflawni mesur ei hanwiredd, ni fydd i weddiau y dynion duwiolaf lwyddo i'w gwaredu hi; canys ar ran y rhai hyny yn unig a'r na fyddont wedi cyraedd y graddau hyny o ddrygioni, y dichon 'taer weddi y cyfiawn' lwyddo: gwel ar Jer. xv. 1. Ni a ddysgwn oddiyma fod yr hanes am ddwfn dduwioldeb Daniel wedi ymdaenu dros Caldea yn fore iawn, yr hwn nad oedd y pryd hyn ond prin 30 mlwydd oed, er ei fod yn Babilon er's oddeutu 14 mlynedd bellach: cymharer 2 Bren. xxiv. 1 â Dan. i. 1. Gallwn sylwi hefyd, fod y cyfeiriad a wneir yma at *Job*, yn brawf penderfynol o wirionedd ei bersonolaeth yntau yn gystal a Noa a Daniel, y rhai ni amhauodd neb erioed gyda golwg arnynt hwy.

Adn. 15. *Os bwystfil niweidiol a yraf trwy y wlad*] Megys bleiddiaid, llewod, neu eirth; *a'i difa o hwnw, fel y byddo yn annghyfanedd*—trwy i bawb geisio ffoi o honi am eu bywyd.

Adn. 16. *Pe byddai y tri wŷr hyn yn ei chanol*] Yn gweddio am waredigaeth iddi; *fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw*—yr hwn a sicrha wirionedd y peth trwy lw; *ni waredent na meibion na merched*—o'r rhai a ddiofrydwyd felly i ddinystr: *hwynt-hwy yn unig a waredid*—a phawb ereill a leddid gan y bwystfilod ysglyfaethus hyny, neu a ffoent o'r wlad.

Adn. 17. *Neu os cleddyf a ddygaf ar y tir hwnw*] Yn llaw rhyw elynion estronol, megys y Caldeaid; *fel y torwyf ymaith o hono ddyn ac anifel*—a fyddont wedi eu diofrydu felly i ddinystr anocheladwy:

Adn. 18. *A'r tri wŷr hyn yn ei ganol, &c.*] Gwel ar adn. 16.

Adn. 19. *Neu os haint a anfonaf i'r wlad hòno*] I dori ymaith o honi ddyn ac anifel a fyddont wedi eu diofrydu felly; *a thywallt* a

Dduw, ni achubent na meibion na
merched, ond hwynt-hwy yn unig a
achubid.
19 ¶ Neu *os* haint a anfonaf i'r
wlad hòno, a thywallt o honof fy llid
arni mewn gwaed, gan dori ymaith
o honi ddyn ac anifel;
20 A Noa, Daniel, a Job, yn ei
chanol hi: *fel mai* byw fi, medd yr
Arglwydd Dduw, ni waredent na
mab na merch; hwynt-hwy yn eu
cyfiawnder a waredent eu heneidiau
eu hun *yn unig*.
21 Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Pa faint mwy
pan anfonwyf fy mhedair drygfarn,
cleddyf, a newyn, a bwystfil niweid-
iol, a haint, ar Jerusalem, i dori
ymaith o honi ddyn ac anifel?
22 ¶ Eto wele! bydd ynddi wedd-
ill diangol, y rhai a ddygir allan,
yn feibion a merched: wele hwynt
yn dyfod allan atoch, a chewch wel-
ed eu ffyrdd hwynt a'u gweithred-
oedd: fel yr ymgysuroch o herwydd
yr adfyd a ddygais ar Jerusalem,
*sef* yr hyn oll a ddygais arni.
23 Ie, cysurant chwi, pan weloch
eu ffordd a'u gweithredoedd: a
chewch wybod nad heb achos y
gwnaethym yr hyn oll a wnaethym
i'w herbyn hi, medd yr Arglwydd
Dduw.

## PENNOD XV.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
2 Ha fab dyn, beth yw coed y
winwydden *fwy* na phob coed *arall*,
*neu* gainc yr hon sydd yn mysg
prenau y coed?
3 A gymerir o honi goed i
wneuthur gwaith? a gymerant o
honi hoel i grogi un offeryn arni?
4 Wele, yn ymborth i'r tân y
rhoddir hi; difaodd y tân ei deuben
hi, ei chanol a olosgwyd: a wasan-
aetha hi mewn gwaith?

---

*honof fy llid arni mewn gwaed*—neu trwy farwolaeth sydyn ac anamserol, yr hon a elwir yn 'waed' yn yr Hebraeg.

Adn. 20. *A Noa, Daniel, a Job, yn ei chanol hi*] Yn gweddio am arbediad iddi; *fel mai byw fi, &c.*—gwel ar adn. 14, 16.

Adn. 21. *Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Mewn ffordd o gymhwysiad difrifol; *Pa faint mwy pan anfonwyf fy mhedair drygfarn*—hyny yw, pa faint mwy *trwm* fydd y gosp, wrth anfon y *pedair drygfarn* ar unwaith? neu pa faint mwy *sicr* fydd y dinystr, wrth ei anfon ar *Jerusalem* eilunaddolgar, yr hon y mae ei phechod yn fwy, o gymaint ag yr oedd ei manteision crefyddol yn uwch? Os nad allai gweddiau y dynion duwiolaf hyny gadw ymaith *un* o'r barnau hyn, pa faint *mwy* analluog fyddent i gadw ymaith y *pedair* yn nghyd?

Adn. 22. *Eto wele! bydd ynddi weddill diangol!*] Fel pe dywedasai, Syned dynion ac angylion, er na byddai neb diangol mewn gwlad ddiofrydedig ag yr ymwelid â hi gan *un* ddrygfarn; eto byddai llawer yn ddiangol yn Jerusalem, â'r hon yr ymwelid gan y *pedair* drygfarn ar unwaith! *Y rhai a ddygir allan, yn feibion a merched*—yn fyw ac yn iach o ganol y dinystr, i fod yn wraidd cenhedlaeth newydd. *Wele hwynt yn dyfod allan atoch*—i Caldea, i fod yn gaethion yma gyda chwi. *A chewch weled eu ffyrdd hwynt a'u gweithredoedd*—hwy a gyfaddefant wrthych mor annuwiol y bu eu ffyrdd gynt, ac a ddanghosant arwyddion amlwg o wir edifeirwch am danynt. *Fel yr ymgysuroch o herwydd yr adfyd a ddygais ar Jerusalem*—wrth ganfod fod angen am dano, ac nad oedd dim annghyfiawnder ynddo, a'i fod wedi troi allan yn fendith achubol i eneidiau y gweddill hyn.

Adn. 23. *Ie, cysurant chwi*] Y rhai duwiolaf o honoch; *pan weloch eu ffordd a'u gweithredoedd*—gwel ar adn. 22: *a chewch wybod nad heb achos y gwnaethym yr hyn oll a wnaethym i'w herbyn hi*—ond fod y cwbl yn ddialedigaeth gyfiawn am eilunaddoliaeth Jerusalem, yn angenrheidiol er anrhydedd fy enw i, ac wedi ei oruwchlywodraethu er daioni i'r gweddill diangol.

PEN. XV. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yn ebrwydd ar ol yr hyn a adroddwyd uchod.

Adn. 2. *Ha fab dyn, beth yw coed y winwydden fwy na phob coed arall?*] Y mae tŷ Israel yn cael ei gyffelybu yn fynych i winwydden, yr hon, pan yn dwyn ffrwyth, sydd yn dra gwerthfawr; ond, pan yn ddiffrwyth, nid yw dda i ddim: *neu gainc yr hon sydd yn mysg prenau y coed?*—neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'os bydd ei chainc fel prenau y goedwig,' hyny yw, heb ddwyn ffrwyth. Y mae un gainc o'r dderwen yn fwy ei gwerth na'r winwydden gyfan, os yn ddiffrwyth.

Adn. 3. *A gymerir o honi goed i wneuthur gwaith*] I adeiladu tŷ, neu i wneuthur dodrefn? *a gymerant o honi hoel i grogi un offeryn arni*—i'w gwthio i'r pared i ddal dilledyn neu lestr?

Adn. 4. *Wele, yn ymborth i'r tân y rhoddir hi*] Os yw heb ddwyn ffrwyth, nid yw dda i ddim ond ei llosgi. *Difaodd y tân ei deuben hi, ei chanol a olosgwyd*—rhyw ranau yn unig o goed ereill a ddefnyddir yn danwydd, tra y cyfrifir canol y pren yn werth ei gadw at ryw ddyben arall; ond am y winwydden, nid yw ei bôn, ei chanol, na'i brigau hi yn dda i ddim ond eu llosgi.

5 Wele, pan oedd gyfan, nid oedd gymhwys i ddim gwaith: pa faint llai, gan ei difa o dân a'i golosgi, y bydd hi eto gymhwys i waith?

6 ¶ Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Megys pren y winwydden yn mysg prenau y coed, yr hon a roddais yn ymborth i'r tân, felly y rhoddaf drigolion Jerusalem.

7 A gosodaf fy wyneb yn eu herbyn hwynt: o'r *naill* dân y deuant allan, a thân *arall* a'u difa hwynt; fel y gwypoch mai myfi *yw* yr Arglwydd, pan osodwyf fy wyneb i'w herbyn hwynt.

8 Gwnaf hefyd y wlad yn anrhaith, am wneuthur o honynt gamwedd, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XVI.

ADAETH gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Ha fab dyn, gwna i Jerusalem adnabod ei ffieidd-dra,

3 A dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth Jerusalem; Dy drigfa a'th enedigaeth *sydd* o wlad Canaan: dy dad *oedd* Amoriad, a'th fam yn Hittëes.

4 Ac *am* dy enedigaeth, ar y dydd y'th anwyd ni thorwyd dy fogail, ac mewn dwfr ni'th olchwyd i'*th* feddalhau; ni'th gyweiriwyd chwaith â halen, ac ni'th rwymwyd â rhwymyn.

5 Ni thosturiodd llygad wrthyt, i wneuthur it' un o hyn, i dosturio

---

Adn. 5. *Wele, pan oedd gyfan, nid oedd gymhwys i ddim gwaith*] Sef cyn ei darnio i'w llosgi: *pa faint llai, gan ei difa o dân a'i golosgi*—pa faint llai cymhwys i waith ydyw ar ol dechreu llosgi? Ni fydd i neb gan hyny redeg i'w hachub hi o'r tân, er mwyn gwneuthur defnydd arall o honi.

Adn. 6. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Mewn ffordd o gymhwysiad o'r gyffelybiaeth: *Megys pren y winwydden yn mysg prenau y coed, yr hon a roddais yn ymborth i'r tân*—yr hon a drefnais i fod yn danwydd yn unig ar ol ei thori i lawr; *felly y rhoddaf drigolion Jerusalem*—i gael eu dyfetha gan y Caldeaid fel tanwydd fy nigofaint.

Adn. 7. *A gosodaf fy wyneb yn eu herbyn hwynt*] I'w dyfetha yn anocheladwy. *O'r naill dân y deuant allan, a thân arall a'u difa hwynt*—bydd i'r naill farn ddylyn y llall mor gyflym, nes y bydd diwedd y naill yn ddechread i'r llall: neu, os diangant rhag y cleddyf, byddant feirw o'r haint; ac os diangant rhag yr haint, trengant gan y newyn. *Fel y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—mai myfi yw Jehofa, y Duw hollalluog; *pan osodwyf fy wyneb i'w herbyn hwynt*—i'w dyfetha. Fel hyn y mae mawredd a gogoniant Duw yn cael ei amlygu yn ninystr ei elynion, yn gystal ag yn nghadwedigaeth ei bobl.

Adn. 8. *Gwnaf hefyd y wlad yn anrhaith*] Yn anngbyfanedd neu ddidrigolion; *am wneuthur o honynt gamwedd*—am eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill, y rhai a nodir yn y bennod nesaf.

PEN. XVI. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] I'm cyfarwyddo yn mhellach.

Adn. 2. *Ha fab dyn, gwna i Jerusalem adnabod ei ffieidd-dra*] Yr hyn a allasai efe ei wneuthur trwy lythyr at ei thrigolion, yn cynwys yr hyn a ddywedir yn y bennod hon, fel yr anfonasai Jeremi lythyr o Jerusalem i Babilon, Jer. xxix. 1, &c.

Adn. 3. *A dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth Jerusalem*] Sef wrth ei holl drigolion eilunaddolgar hi, yn cynwys, modd bynag, y rhan arall o'r Iuddewon yn Judea. *Dy drigfa a'th enedigaeth*—neu, yn ol y LXX a'r *Vulgate*, 'dy wreiddyn a'th genhedlaeth;' *sydd o wlad Canaan*—byddai dywedyd eich bod wedi deilliaw oddiwrth Abraham, yn ddianrhydedd iddo ef: yr ydych yn fwy o Ganaaneaid nag o Israeliaid. Ceir ymadrodd o'r un ystyr yn Ystori Susanna, adn. 56: 'O hiliogaeth *Canaan*, ac nid *Juda*, tegwch a'th dwyllodd di, a chwant a lygrodd dy galon.' *Dy dad oedd Amoriad, a'th fam yn Hittëes*—y mae yr enwau hyn yn cynrychioli holl genhedloedd eilunaddolgar ereill Canaan.

Adn. 4. *Ac am dy enedigaeth*] Y mae Jerusalem, neu yn hytrach y genedl Iuddewig, yn cael ei harddangos yma fel baban newydd eni, yr hwn a esgeuluswyd gan ddynion, ac a amgeleddwyd gan Dduw; neu ynte cyfeirir yma at gyflwr dechreol y genedl yn yr Aifft. *Ar y dydd y'th anwyd ni thorwyd dy fogail*—nid amgeleddwyd di â'r gofal hwnw a delir i rai bychain newydd eni. *Ac mewn dwfr ni'th olchwyd i'th feddalhau*—neu 'i'th lanhau,' neu 'beri i ti ddysgleirio.' *Ni'th gyweiriwyd chwaith â halen*—dywed *Galen* fod yr henafiaid yn rhoddi halen, neu ddwfr a halen, ar groen y plentyn i'w galedu a'i gryfhau. *Ac ni'th rwymwyd â rhwymyn*—amcan Duw yw dangos cyflwr gwael yr Hebreaid yn yr Aifft, wedi ymsuddo mewn eilunaddoliaeth ac anwybodaeth, ac yn cael eu gorthrymu gan eu meistriaid creulon.

Adn. 5. *Ni thosturiodd llygad wrthyt, i wneuthur it' un o hyn*] O'r pethau a wneir yn amgeleddgar i blentyn newydd eni; *ond ar wyneb y maes y'th daflwyd*—fel un wedi ei adael i drengu; *i ffieiddio dy einioes*—i beri i ti ei ffieiddio; neu, am eu bod hwy yn ei ffieiddio.

Adn. 6. *A phan dramwyais heibio it'*] Y

wrthyt; ond ar wyneb y maes y'th
daflwyd, i ffieiddio dy einioes, ar y
dydd y'th aned.
6 ¶ A phan dramwyais heibio
it', a'th weled yn ymdrybaeddu yn
dy waed, dywedais wrthyt yn dy
waed, Bydd fyw; ïe, dywedais
wrthyt yn dy waed, Bydd fyw.
7 Yn fyrddiwn y'th wnaethym
fel gwellt y maes, a thi a gynydd-
aist ac a aethost yn fawr, ac a
ddaethost i harddwch godidog: *dy*
fronau a chwyddasant, a'th wallt a
dyfodd, a thi yn llom ac yn noeth
*o'r blaen*.
8 Pan aethym heibio it', ac
edrych arnat, wele dy amser yn
amser serchogrwydd: yna lledais
fy aden drosot, a chuddiais dy
noethni: tyngais hefyd it', ac aeth-
ym mewn cyfammod â thi, medd yr
Arglwydd Dduw, a thi a aethost yn
eiddof fi.
9 Yna mi a'th olchais â dwfr; ïe,
golchais dy waed oddiwrthyt, ac
irais di âg olew.
10 Mi a'th wisgais hefyd â gwaith
edau a nodwydd, rhoddais it' hefyd
esgidiau o groen daear-foch, a
gwregysais di â llian main, a gor-
chuddiais di â sidan.
11 Mi a'th harddais hefyd â
harddwch, a rhoddais freichledau
am dy ddwylaw, a chadwyn am dy
wddf.
12 Rhoddais hefyd dlws ar dy
dalcen, a thlysau wrth dy glustiau,
a choron hardd am dy ben.
13 Felly y'th harddwyd âg aur ac
arian; a'th wisg *oedd* lian main, a
sidan, a gwaith edau a nodwydd;
peilliad, a mêl, ac olew a fwyteit:
têg hefyd odiaeth oeddit, a ffynaist
yn frenhiniaeth.
14 Aeth allan *hefyd* it' enw yn
mysg y cenhedloedd, am dy deg-
wch: canys cyflawn *oedd* gan fy
harddwch yr hwn a osodaswn arnat,
medd yr Arglwydd Dduw.
15 ¶ Ond ti a ymddiriedaist i'th
degwch, a phuteiniaist o herwydd
dy enw, a thywelltaist dy buteindra
ar bob cyniweirydd; eiddo ef yd-
oedd.

---

mae Duw yn llefaru yma yn ol dull dynion; *a'th weled yn ymdrybaeddu yn dy waed*—heb dy lanhau oddiwrth aflendid dy enedigaeth; *dywedais wrthyt yn dy waed*—yn dy gyflwr gresynus hwnw, *Bydd fyw!*—hyny yw, penderfynais dy amgeleddu, fel na cheit farw, ond byw. Ailadroddir hyn, i ddangos yn ddwysach ofal Duw am y genedl yn ei dechread.

Adn. 7. *Yn fyrddiwn y'th wnaethym fel gwellt y maes, &c.*] Yma darlunir cynnydd Israel yn yr Aifft, dan y gyffelybiaeth o blentyn benyw yn tyfu i fyny yn llances hardd mewn addfedrwydd oedran: gwel ar Exod. i. 7. *Dy fronau a chwyddasant*—neu megaist fronau.

Adn. 8. *Pan aethym heibio it', ac edrych arnat*] Yr ail waith; *wele dy amser yn amser serchogrwydd*—yr oeddit mewn oedran i ymserchu ynot, neu i gael dy ddyweddïo. *Yna y lledais fy aden drosot*—cymerais di dan fy nawdd amddiffynol, fel y cymer gŵr ei ddyweddi; gwel ar Ruth iii. 9; *a chuddiais dy noethni*—trwy dy ddilladu yn hardd â gwisgoedd yr Aifft a Chanaan, adn. 10, 11. *Tyngais hefyd it', ac aethym mewn cyfammod â thi*—hyn a wnaed ar fynydd Sinai, Exod. xxiv. 8.

Adn. 9. *Yna mi a'th olchais â dwfr*] Cyfeiria hyn ond odid at y gwahanol olchiadau seremonïol; *ac irais di âg olew*—yr hyn yr arferid ei wneyd ar ol ymolchi, Ruth iii. 3, Salm civ. 15. Ond tybia rhai fod yma gyfeiriad at olew cysegriad yr offeiriad.

Adn. 10—13. *Mi a'th wisgais hefyd â gwaith edau a nodwydd, &c.*] Yr oedd yr amrywiol wisgoedd, a'r addurniadau, a'r bwydydd a grybwyllir yma, yn gweddu yn dda i fenyw o'r radd uwchaf yn yr amseroedd a'r gwledydd hyny; a danghosant fod Duw wedi darparu i'r Iuddewon nid yn unig bethau ag oeddynt yn angenrheidiol, ond hefyd addurniadau diangenrhaid, oddieithr er harddwch ac anrhydedd. Ond tybia rhai fod hyn oll yn cyfeirio yn benaf at wisgoedd yr offeiriaid, lleni y tabernacl, &c. *A ffynaist yn frenhiniaeth*—dyrchafwyd di i'r orsedd, fel priodwraig y Brenin mawr.

Adn. 14. *Aeth allan hefyd it' enw yn mysg y cenhedloedd, am dy degwch*] Cyfeirir yma at fawredd a chlod y genedl yn amser Dafydd a Solomon: *canys cyflawn oedd yn dy harddwch yr hwn a osodaswn arnat*—cyfeiria hyn ond odid at ragoroldeb ei chrefydd, uniondeb ei deddfau, mawredd ei buddugoliaethau, a'i llwyddiant, ei chyfoeth, a'i dedwyddwch y pryd hyny.

Adn. 15. *Ond ti a ymddiriedaist i'th degwch*] I'th fawredd, a'th gyfoeth, a'th nerth; *a phuteiniaist o herwydd dy enw*—sef yr enw ag oedd iddi am ei thegwch, adn. 14; *a thywelltaist dy buteindra ar bob cyniweirydd*—hyny yw, puteiniaist gyda phob un a ddelai heibio. Cyfeirir yma at *eilunaddoliaeth* cyffredinol y genedl, yr hwn a elwir yn fynych yn yr ysgrythyrau yn odineb a phuteindra ysbrydol. Yr oedd hyn yn anneddfol yn mhobl Israel ar ol holl garedigrwydd Duw iddynt, fel ei darluniwyd yn yr adnodau blaenorol. Cododd Duw hwynt o'r iselder a'r trueni mwyaf, fel benyw ddiamgeledd, yr hon a addurnodd ac a ddyrchafodd efe yn ddyweddi iddo ei hun; ac yn awr, yn lle bod yn ddiolchgar ac yn

16 Cymeraist *hefyd* o'th ddillad, a gwnaethost it' uchelfeydd brithion, a phuteiniaist arnynt: *y fath* ni ddaw, ac ni bydd *felly*.

17 A chymeraist offer dy harddwch o'm haur ac o'm harian i, y rhai a roddaswn it', a gwnaethost it' ddelwau gwŷr, a phuteiniaist gyda hwynt.

18 Cymeraist *hefyd* dy wisgoedd o waith edau a nodwydd, ac a'u gwisgaist hwynt: fy olew *hefyd* a'm harogldarth a roddaist o'u blaen hwynt.

19 Felly fy mwyd yr hwn a roddaswn i ti, yn beilliad, ac yn olew, ac yn fêl, *â'r rhai* y'th borthaswn di; rhoddaist hyny hefyd o'u blaen hwynt yn arogl peraidd: *fel hyn* y bu, medd yr Arglwydd Dduw.

20 Cymeraist hefyd dy feibion a'th ferched, y rhai a blantesit i mi; y rhai hyn a aberthaist iddynt i'w bwyta. *Ai* bychan *hyn* o'th buteindra di,

21 Lladd o honot fy mhlant, a'u rhoddi hwynt i'w tynu trwy y *tân* iddynt?

22 Ac yn dy holl ffieidd-dra a'th buteindra ni chofiaist ddyddiau dy ieuenctid, pan oeddit lom a noeth, *a'th* fod yn ymdrybaeddu yn dy waed.

23 A bu ar ol dy holl ddrygioni, (Gwae, gwae i ti, medd yr Arglwydd Dduw,)

24 Adeiladu o honot it' uchelfa, a gwneuthur it' uchelfa yn mhob heol.

25 Yn mhen pob ffordd yr adeiledaist dy uchelfa, a gwnaethost dy degwch yn ffiaidd, ac a ledaist dy draed i bob cyniweirydd, ac amlheaist dy buteindra.

26 Puteiniaist hefyd gyda meibion yr Aifft dy gymydogion, mawr eu cnawd; ac amlheaist dy buteindra, i'm digio i.

27 Am hyny wele, estynais fy llaw arnat, a phrinheais dy ran, a rhoddais di wrth ewyllys dy gaseion, merched y Philistiaid, y rhai sydd gywilydd ganddynt dy ffordd ysgeler.

28 Puteiniaist hefyd gyda meibion Assur, o eisiau cael dy ddigon; a hefyd wedi puteinio gyda hwynt, ni'th ddigonwyd.

29 Amlheaist hefyd dy buteindra

---

ffyddlon i'w phriod, wele hi yn troi allan yn butan halogedig!

Adn. 16. *Cymeraist hefyd o'th ddillad, a gwnaethost it' uchelfeydd brithion*] Fel puteinwraig yn cymeryd y dillad drudfawr ac amryliw a ddarparasai ei gŵr iddi, i wneuthur pebyll harddwych i gyfarfod â'i chariadau ynddynt. *Y fath ni ddaw, ac ni bydd felly*—'yr hyn ni ddylesit ei wneuthur, ac nis gwneir ef mwyach;' neu, fel y mae *Houbigant* yn ei gyfieithu, 'A gwrthodaist fod yn eiddof fi.'

Adn. 17. *A chymeraist offer dy harddwch*] Neu 'dy dlysau hardd;' hyny yw, defnyddiaist dy addurniadau aur ac arian a roddaswn i ti; *a gwnaethost it' ddelwau gwŷr*—sef llun rhyw wroniaid paganaidd a godesid i blith y duwiau i'w haddoli. Ond tybia rhai mai lluniau anweddaidd o wŷr a feddylir, megys y *Priapis*, y rhai a ddygid gan y gwragedd yn eu dwylaw er anrhydedd i Baccus: gwel *Herodotus*.

Adn. 18. *Cymeraist hefyd dy wisgoedd*] I'w rhoddi am y delwau hyny: *fy olew hefyd a'm harogldarth a roddaist o'u blaen hwynt*—y rhai a ddylasent gael eu defnyddio yn fy ngwasanaeth i.

Adn. 19. *Felly fy mwyd yr hwn a roddaswn i ti, &c.*] A roddaist tithau yn fwyd-offrwm ac yn arogl peraidd i'r duwiau ffiaidd hyny. *Fel hyn y bu*—nid weithiau, ond yn wastadol.

Adn. 20, 21. *Cymeraist hefyd dy feibion a'th ferched, y rhai a blantesit i mi*] Y rhai oeddynt blant fy nghyfammod i, neu y rhai a gyflwynwyd i mi trwy enwaediad: *y rhai hyn a aberthaist iddynt i'w bwyta*—a aberthwyd trwy dân i Baal neu Moloch: gwel ar Lef. xviii. 21, Jer. vii. 31, a xix. 5. *Ai bychan hyn o'th buteindra di?*—ai peth dibwys ac esgusodol mewn cysylltiad â'th buteindra di, oedd lladd a llosgi o honot fy mhlant i?

Adn. 22. *Ac yn dy holl ffieidd-dra a'th buteindra ni chofiaist ddyddiau dy ieuenctid*] Dy gyflwr isel a thruenus yn yr Aifft, o'r hwn y'th waredais, gan dy ddyweddïo i mi fy hun, adn. 6—8.

Adn. 23—25. *A bu ar ol dy holl ddrygioni*] Uchod, am yr hwn y cyhoeddir gwae ddyblyg uwch ei phen; *adeiladu o honot it' uchelfa*—neu 'buteindy,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu; *a gwneuthur it' uchelfa*—neu allor eilunaddolgar, *yn mhen pob heol*—yn y ddinas, ac *yn mhen pob ffordd*—yn y wlad; *ac a ledaist dy draed*—i buteinio gyda phob un a ddelai heibio.

Adn. 26. *Puteiniaist hefyd gyda meibion yr Aifft*] Ymunaist â'u heilunaddoliaeth hwy; *mawr eu cnawd*—neu eu cnawdolrwydd; sef rhai chwannog i eilunaddoliaeth.

Adn. 27. *Am hyny wele, estynais fy llaw arnat*] I'th geryddu eisioes i ryw raddau; *a phrinheais dy ran*—dy gyfoeth, dy ymborth, a'th drugareddau cyffredin; *a rhoddais di wrth ewyllys dy gaseion*—cynhyrfais y Philistiaid i'th erbyn yn amser Ahaz, 2 Cron.

yn ngwlad Canaan hyd Caldea; ac
eto ni'th ddigonwyd â hyn.
30 Mor llesg yw dy galon, medd
yr Arglwydd Dduw, gan it'
wneuthur hyn oll, *sef* gwaith put-
einwraig yn llywodraethu!
31 Pan adeiledaist dy uchelfa yn
mhen pob fforedd, ac y gwnaethost
dy uchelfa yn mhob heol; ac
nid oeddit fel putan, gan dy fod yn
dirmygu gwobr.
32 *Ond fel* gwraig a dorai ei
phriodas, *ac* a gymerai ddyeithriaid
yn lle ei gŵr.
33 I bob putan y rhoddant wobr;
ond tydi a roddi dy wobr i'th holl
gariadau, ac a'u gwobrwyi hwynt i
ddyfod atat oddiamgylch i'th but-
eindra.
34 Ac ynot ti y mae y gwrthwyn-
eb i wragedd *ereill* yn dy buteindra,
gan na phuteiniodd neb ar dy ol
di: canys lle y rhoddi wobr, ac na
roddir gwobr i ti, yna yr wyt yn y
gwrthwyneb.
35 ¶ Gan hyny, O butan, clyw
air yr Arglwydd:
36 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Am dywallt dy frynti, a
datguddio dy noethni trwy dy but-
eindra gyda'th gariadau, a chyda
holl eilunod dy ffieidd-dra, a thrwy
waed dy feibion y rhai a roddaist
iddynt;
37 Am hyny wele fi yn casglu dy
holl gariadau gyda'r rhai yr ym-
ddigrifaist, a'r rhai oll a geraist,
gyda'r rhai oll a gaseaist; *ie,* casgl-
af hwynt i'th erbyn oddiamgylch,
ac a ddynoethaf dy noethni iddynt,
fel y gwelont dy holl noethni.
38 Barnaf di hefyd â barnedig-
aethau puteiniaid, a'r rhai a dy-
walltant waed; a rhoddaf i ti waed
mewn llidiogrwydd ac eiddigedd.
39 *Ie,* rhoddaf di yn eu dwylaw
hwynt, a hwy a ddinystriant dy
uchelfa, ac a fwriant i lawr dy
uchel-leoedd: dyosgant di hefyd
o'th ddillad, a chymerant ddodrefn

---

xxviii. 16—19; *y rhai sydd gywilydd ganddynt dy ffordd ysgeler*—o ymadael â'th grefydd dy hun.

Adn. 28. *Puteiniaist hefyd gyda meibion Assur*] Trwy ymgyngbreirio â'r Assyriaid, ac addoli eu duwiau, Jer. ii. 18, 36. *Ni'th ddigonwyd*—â'r rhai hyny, ond aethost i chwilio am eilunod newyddion.

Adn. 29. *Amlheaist hefyd dy buteindra yn ngwlad Canaan*] Gyda'r eilunod a gait yno; *hyd Caldea*—gan addoli duwiau y Caldeaid cyn dy gaethgludo i'w gwlad hwy.

Adn. 30. *Mor llesg yw dy galon*] Mor analluog wyt i wrthsefyll dy dueddiadau eilunaddolgar, neu i barhau yn hir gyda'r un fath dduwiau; *gan it' wneuthur hyn oll, sef gwaith puteinwraig yn llywodraethu*—gan it' ymddwyn fel hono, yr hon ni chydnebydd neb yn ben, ond a fyn ei ffordd ei hun yn mhob peth.

Adn. 31, 32. *Pan adeiledaist dy uchelfa yn mhen pob ffordd, &c.*] Gwel ar adn. 23—25. *Ac nid oeddit fel putan*—gyffredin, *gan dy fod yn dirmygu gwobr*—ac felly y mae dy buteindra di yn fwy anesgusodol nag eiddo neb, trwy ei fod yn effaith anlladrwydd yn unig, ac nid yn cael ei achosi gan angen; *ond fel gwraig a dorai ei phriodas*—trwy gymeryd dyeithriaid yn lle ei gŵr.

Adn. 33, 34. *I bob putan y rhoddant wobr*] Er mwyn ei denu i'w hewyllys; *ond tydi a roddi dy wobr i'th holl gariadau*—am ddyfod atat. Cyfeirir yma at yr anrhegion a anfonai yr Iuddewon i'r Aifftiaid, yr Assyriaid, a'r Caldeaid, i brynu eu ffafr a'u cynorthwy; neu at eu gwaith yn cofleidio eu heilunod hwy, er mwyn eu gwneyd yn gyfeillion iddynt. *Ac ynot ti y mae y gwrthwyneb i wragedd ereill yn dy buteindra*—trwy dy fod yn rhoddi gwobr, yn lle ei dderbyn.

Adn. 35. *Gan hyny, O butan*] O genedl eilunaddolgar: *clyw air yr Arglwydd*—yn cyhoeddi dy gosp.

Adn. 36. *Am dywallt dy frynti, &c.*] Am gyflawni o honot dy eilunaddoliaeth, a lladd dy blant yn ebyrth i'th dduwiau, adn. 15—21.

Adn. 37. *Am hyny wele fi yn casglu dy holl gariadau*] Megys yr Aifftiaid, yr Assyriaid, a'r Caldeaid, y rhai yr ymgyngbreiriaist â hwy, gan dderbyn eu heilunod; *gyda'r rhai oll a gaseaist*—megys yr Edomiaid, y Moabiaid, a'r Ammoniaid, y rhai oeddynt bob amser yn wrthwynebol i'r Iuddewon; *ac a ddynoethaf dy noethni iddynt*—cânt dy weled yn cael dy gaethgludo ymaith yn noeth, wedi dy ddyosg o'th holl eiddo. Meddylir fod yma gyfeiriad hefyd at y gosp a weinyddid ar butanod, sef eu dyosg o'u gwisgoedd, a'u gadael yn noethion.

Adn. 38. *Barnaf di hefyd â barnedigaethau puteiniaid, a'r rhai a dywalltant waed*] Y rhai a gospid ill dau â marwolaeth, Gen. ix. 6, Lef. xx. 10; *a rhoddaf i ti waed mewn llidiogrwydd ac eiddigedd*—cyfeiriad at ymddygiad gŵr eiddigeddus tuag at ei wraig, Num. v. 19—28: ond yn lle dwfr eiddigedd, rhoddai Duw 'waed' i Israel mewn llidiogrwydd eiddigus.

Adn. 39. *Ie, rhoddaf di yn eu dwylaw hwynt*] Sef yn nwylaw y Caldeaid, y rhai a yspeilient ac a ddinystrient eu dinas a'u teml, ac a fwrient i lawr holl allorau eu heilunod: *dyosgaf di hefyd o'th ddillad, &c.*—gwel ar adn. 37.

Adn. 40. *Dygaf hefyd dyrfa i'th erbyn*]

dy harddwch, ac a'th adawant yn
llom ac yn noeth.
40 Dygant hefyd dyrfa i'th er-
byn, ac a'th labyddiant â meini, ac
â'u cleddyfau y'th drywanant.
41 Llosgant *hefyd* dy dai â thân,
a gwnant arnat farnedigaethau yn
ngolwg gwragedd lawer: a mi a
wnaf i ti beidio â phuteinio, a hefyd
ni roddi wobr mwy.
42 Felly y llonyddaf fy llid i'th
erbyn, a symud fy eiddigedd oddi-
wrthyt; mi a lonyddaf hefyd, ac ni
ddigiaf mwy.
43 Am na chofiaist ddyddiau dy
ieuenctid, ond annogaist fi i lid yn
hyn oll; am hyny wele, myfi a
roddaf dy ffordd ar *dy* ben, medd yr
Arglwydd Dduw: fel na wnelech
yr ysgelerder hyn am ben dy holl
ffieidd-dra.

44 ¶ Wele, pob diarebydd a ddi-
areba am danat, gan ddywedyd,
Fel y fam *y mae* y ferch.
45 Merch dy fam, yr hon a ffi-
eiddiodd ei gŵr a'i meibion, *ydwyt*
ti; a chwaer dy chwiorydd *ydwyt*,
y rhai a ffieiddiasant eu gwŷr a'u
meibion, eich mam *oedd* Hittëes,
a'ch tad yn Amoriad.
46 A'th chwaer hynaf yw Sa-
maria, hi a'i merched yn trigo ar
dy law aswy: a'th chwaer ieueng-
ach na thi, yr hon sydd yn trigo ar
dy law ddeau, *yw* Sodom a'i merch-
ed.
47 Eto ni rodiaist yn eu ffyrdd
hwynt, ac nid yn ol eu ffieidd-dra
hwynt y gwnaethost: megys *petai
hyny* ychydig bach, ymlygraist yn
fwy na hwy yn dy holl ffyrdd.
48 *Fel mai* byw fi, medd yr Ar-

---

Sef byddin luosog o filwyr; *ac a'th labyddiant â meini*—y rhai a deflid i'r ddinas â pheiriannau rhyfel, Jer. xxxii. 24. Cyfeirir yma at labyddio godinebwyr, Deut. xxii. 24. *Ac â'u cleddyfau y'th drywanant*—wrth it' geisio dianc o'r ddinas.

Adn. 41. *Llosgant hefyd dy dai â thân*] Hon hefyd oedd gosp dinas eilunaddolgar, Deut. xiii. 16, neu fenyw odinebus, Gen. xxxviii. 24; *a gwnant arnat farnedigaethau yn ngolwg gwragedd lawer*—neu 'genhedloedd' ereill, fel yr ofnont ddylyn dy ffyrdd. Gelwir cenhedloedd yma yn 'wragedd,' am fod yr Iuddewon yn cael eu harddangos yma dan y gyffelybiaeth o 'wraig odinebus.' *A mi a wnaf i ti beidio â phuteinio*—trwy dy gospi a'th gaethiwo felly.

Adn. 42. *Felly y llonyddaf fy llid i'th erbyn*] Trwy weinyddu arnat y cospedigaethau cyfiawn hyn: *a symud fy eiddigedd oddiwrthyt*—trwy na byddi mwyach yn briod i mi. *Mi a lonyddaf hefyd, ac ni ddigiaf mwy*—gwna y peth a fynot, trwy fod y cyfammod priodasol wedi ei ddiddymu, a thithau wedi dy ysgaru oddiwrthyf fi.

Adn. 43. *Am na chofiaist ddyddiau dy ieuenctid*] Y trugareddau a ddanghosais i ti, a'r cyfammod a wnaethym â thi yn dy ieuenctid, adn. 6—8; *ond annogaist fi i lid yn hyn oll*—trwy droi yn anffyddlon i'm cyfammod i. *Am hyny wele, myfi a roddaf dy ffordd ar dy ben*—trwy dy gospi yn ol haeddiant dy weithredoedd: *fel na wnelech yr ysgelerder hyn am ben dy holl ffieidd-dra*—'yn anad un o'th holl ffieidd-dra;' neu fel na chwanegech yr eilunaddoliaeth ysgeler hwn at dy holl bechodau ereill.—Y mae llawer o'r cyffelybiaethau uchod wedi eu gwisgo mewn iaith a fernir genym ni islaw yr hyn a elwir yn weddeidd-dra ymadrodd; ond i'r dwyreinwyr y pryd hyny, y rhai nid oeddynt mor goethedig a ni yn awr, buasai y defnyddiad o iaith wahanol yn peri i bethau y proffwyd golli hanner eu grym a'u heffaith.

Adn. 44. *Wele, pob diarebydd a ddiareba am danat*] A arfera yr hen ddiareb hòno, *Fel y fam y mae y ferch*—y mae trigolion eilunaddolgar Jerusalem yn union fel yr oedd yr hen Ganaaneaid eilunaddolgar o'u blaen hwy.

Adn. 45. *Merch dy fam, yr hon a ffieiddiodd ei gŵr a'i meibion, ydwyt ti*] Yr oedd yr hen Ganaaneaid yn mysg yr eilunaddolwyr cyntaf ar ol y dylif, y rhai a adawsant Dduw, eu priod, ac a offrymasant eu plant i eilunod; ac yr oedd yr Iuddewon yn awr yn euog o'r un pethau. *A chwaer dy chwiorydd ydwyt*—yr oedd Jerusalem yn awr wedi ei dangos ei hun yn wir chwaer i Samaria a Sodom, gan ymdebygoli iddynt mewn aflendid ac eilunaddoliaeth. *Eich mam oedd Hittëes, a'ch tad yn Amoriad*—gwel ar adn. 3.

Adn. 46. *A'th chwaer hynaf yw Samaria*] Eilunaddolgar, sef prifddinas y deg llwyth, yr hon oedd yn deyrnas helaethach na Judea: *hi a'i merched*—sef dinasoedd ereill Israel; *yn trigo ar dy law aswy*—felly yr ydoedd wrth edrych tua chodiad haul. *A'th chwaer ieuengach na thi*—felly yr ydoedd Sodom a'r dinasoedd ymddibynol, ar gyfrif eu gradd, neu am eu bod yn llai eu pwysigrwydd cenedlaethol; *yr hon sydd yn trigo ar dy law ddeau*—wrth edrych o Judea tua'r dwyrain. Yr oedd Samaria a Sodom, ar bob llaw iddi, wedi cael eu cospi yn drwm o herwydd eu pechodau; ac yr oedd Judea yn awr i gael ei chospi yn gyffelyb.

Adn. 47. *Eto ni rodiaist yn eu ffyrdd hwynt*] Ni foddlonaist ar fod cynddrwg a hwy; *megys petai hyny ychydig bach*—neu ry fach o ddrwg: *ymlygraist yn fwy na hwy yn dy holl ffyrdd*—trwy bechu yn erbyn mwy o oleuni a manteision crefyddol, adn. 51: gwel ar pen. v. 6, 7.

Adn. 48. *Fel mai byw fi, medd yr Ar-*

glwydd Dduw, ni wnaeth Sodom dy chwaer, na hi na'i merched, fel y gwnaethost ti a'th ferched.
49 Wele, hyn oedd anwiredd dy chwaer Sodom, Balchder, digonedd bara, ac amlder o seguryd oedd ynddi ac yn ei merched, ac ni chryfhaodd hi law yr anghenog a'r tylawd.
50 A hwy a ymddyrchafasant, ac a wnaethant ffieidd-dra o'm blaen i: am hyny y symudais hwynt, fel y gwelais *yn dda.*
51 Samaria hefyd ni phechodd fel hanner dy bechod di; ond tydi a amlheaist dy ffieidd-dra yn fwy na hwynt, ac a gyfiawnheaist dy chwiorydd yn dy holl ffieidd-dra a wnaethost.
52 Tithau yr hon a fernaist ar dy chwiorydd, dwg dy waradwydd am dy bechodau y rhai a wnaethost yn ffieiddiach na hwynt: cyfiawnach ydynt na thi: cywilyddia dithau, a dwg dy waradwydd, gan gyfiawnhau o honot dy chwiorydd.
53 Pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt, caethiwed Sodom a'i merched, a chaethiwed Samaria a'i merched, yna *y dychwelaf* gaethiwed dy gaethion dithau a'th ferched yn eu canol hwynt.
54 Fel y dygech dy warth, ac y'th waradwydder, am yr hyn oll a wnaethost, gan gysuro o honot hwynt:
55 Pan ddychwelo dy chwiorydd, Sodom a'i merched, i'w hen gyflwr, a phan ddychwelo Samaria a'i merched, i'w hen gyflwr, yna tithau a'th ferched a ddychwelwch i'ch hen gyflwr.
56 Canys nid oedd mo'r son am Sodom dy chwaer yn dy enau yn nydd dy falchder:
57 Cyn datguddio dy ddrygioni,

---

*glwydd Dduw, &c.*] Yma y mae Duw yn sicrhau trwy lw, nad oedd Sodom a'i dinasoedd gynt, wedi myned mor halogedig ag yr oedd Jerusalem a'i dinasoedd yn awr.

Adn. 49. *Wele, hyn oedd anwiredd dy chwaer Sodom*] Yr hon oedd yn aros mewn dyffryn bras a ffrwythlon; *Balchder, digonedd bara, ac amlder o seguryd*—yr hyn a barai iddynt ymdroi mewn glythineb a rhysedd; *ac ni chryfhaodd hi law yr anghenog a'r tylawd*—er maint y cyfoeth oedd ganddi.

Adn. 50. *A hwy a ymddyrchafasant*] A aethant yn ffrom a ffroen-uchel trwy eu seguryd a'u gloddest; *ac a wnaethant ffieidd-dra o'm blaen i*—fel y crybwyllir Gen. xiii. 13, a xix. 4, &c. *Am hyny y symudais hwynt*—oddiar wyneb y ddaear; *fel y gwelais yn dda*—sef trwy wlawio arnynt dân a brwmstan o'r nefoedd.

Adn. 51. *Samaria hefyd ni phechodd fel hanner dy bechod di*] Yr oedd pechod Jerusalem yn fwy na phechod Samaria, trwy fod ei manteision crefyddol yn uwch; canys yno yr oedd y deml, yr offeiriadaeth, ac amrai broffwydi a brenhinoedd duwiol yn cartrefu o dro i dro, y rhai a'u haddysgent ac a'u cefnogent yn mhob rhinwedd. *Ond tydi a amlheaist dy ffieidd-dra yn fwy na hwynt*—addolaist fwy o eilunod, a lleddaist fwy o broffwydi; *ac a gyfiawnheaist dy chwiorydd*—peraist i Sodom a Samaria ymddangos yn llai euog o'u cymharu â mawredd dy bechodau di.

Adn. 52. *Tithau yr hon a fernaist ar dy chwiorydd*] Yr hon a gondemniaist eu gwrthgiliad hwy, ac a fernaist eu cosp yn un gyfiawn; *dwg dy waradwydd am dy bechodau*—cywilyddia am dy fod yn euog o fwy o bechodau, ac o bechodau ffieiddiach: *cyfiawnach ydynt na thi*—yn ngolwg Duw a dynion.

Adn. 53. *Pan ddychwelwyf eu caethiwed hwynt*] Sef Sodom a Samaria, a'u dinasoedd ymddibynol; *yna y dychwelaf gaethiwed dy gaethion dithau*—ac nid cynt. Tybia rhai mai *bygythiad* yw hyn, yn arwyddo fod caethiwed Juda yn anadferadwy, trwy na ddychwelwyd corff y bobl a aethent i Babilon, eithr ychydig o'u hiliogaeth yn unig: gwel *Junius, Piscator, Greenhill, &c.* Tybia ereill mai *addewid* yw y geiriau, yn arwyddo dychweliad yr Iuddewon a'r Cenhedloedd i eglwys Crist dan yr efengyl: gwel isod. Yn yr ystyr yma dechreuwyd cyflawni hyn yn oes yr apostolion, pryd yr oedd yr eglwys yn gynwysedig o Iuddewon a Chenhedloedd.

Adn. 54. *Fel y dygech dy warth, &c.*] Cyhyd ag y bydd dy gaethiwed yn aros; neu, fel y darostynger di wrth gael dy osod yn yr un cyflwr a'r rhai a gondemnit gynt mor llym: *gan gysuro o honot hwynt*—wrth iddynt weled eu bod yn yr un cyflwr a thithau.

Adn. 55. *Pan ddychwelo dy chwiorydd, Sodom a'i merched, i'w hen gyflwr, &c.*] Wrth 'Sodom a'i merched' y meddylir yma, naill ai y dinasoedd ag oeddynt yn y parthau hyny, neu hiliogaeth yr ychydig drigolion a ddiangasent o ddinasoedd y gwastadedd, neu ynte ryw genhedloedd ereill ag oeddynt cyn waethed a'r Sodomiaid, ac a elwir am hyny ar eu henw hwy: gwel ar Esay i. 10. *Yna tithau a'th ferched a ddychwelwch i'ch hen gyflwr*—yn rhydd o'ch caethiwed: gwel ar adn. 53.

Adn. 56, 57. *Canys nid oedd mo'r son am Sodom, &c.*] Yr oedd yr Iuddewon, yn nydd eu balchder a'u llwyddiant, yn hollol ddisylw o'r rhybydd a osodid o'u blaen yn nymchweliad y Sodomiaid; *cyn datguddio dy ddrygioni, &c.*—sef cyn i ddrygioni yr Iuddewon

megys *yn* amser *dy* waradwydd gan ferched Syria, a'r holl rai o'i hamgylch, merched y Philistiaid, y rhai a'th ddiystyrant o bob parth.

58 Dy ysgelerder, a'th ffieidd-dra hefyd, ti a'u dygaist hwynt, medd yr Arglwydd.

59 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Felly y gwnaf â thi fel y gwnaethost, yr hon a ddiystyraist lw, i ddiddymu y cyfammod.

60 ¶ Eto mi a gofiaf fy nghyfammod â thi yn nyddiau dy ieuenctid, ac a sicrhaf it' gyfammod tragwyddol.

61 Yna y cofi dy ffyrdd, ac y cywilyddi, pan dderbyniech dy chwiorydd hŷn na thi, gyda'r rhai ieuengach na thi: a rhoddaf hwynt yn ferched it', a *hyny* nid wrth dy ammod di.

62 A mi a sicrhaf fy nghyfammod â thi; a chei wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

63 Fel y cofiech di, ac y cywilyddiech, ac na byddo it' mwy agoryd safn gan dy waradwydd, pan ddyhudder fi tuag atat, am yr hyn oll a wnaethost, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XVII.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

2 Mab dyn, traetha ddychymyg, a diareba ddiareb wrth dŷ Israel,

3 A dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Eryr mawr, mawr ei adenydd, hir ei asgell, llawn plu, yr hwn oedd iddo amryw liwiau, a ddaeth i Libanus, ac a gymerth frigyn uchaf y gedrwydden.

4 Torodd frig ei blagur hi, ac a'i dyg i dir marsiandïaeth: yn ninas

---

gael ei ddatguddio trwy y cospedigaethau a ddygwyd arnynt gan y Syriaid, yr Edomiaid, a'r Philistiaid yn amser Ahaz.

Adn. 58. *Dy ysgelerder, a'th ffieidd-dra hefyd, ti a'u dygaist hwynt*] Neu 'a'u dygi,' yn y gosp am danynt.

Adn. 59. *Felly y gwnaf â thi fel y gwnaethost*] I minau; *yr hon a ddiystyraist lw, i ddiddymu y cyfammod*—sef i dori y cyfammod o ffyddlondeb i mi, yr hwn a gadarnheaist trwy lw, Deut. xxix. 12—14.

Adn. 60. *Eto mi a gofiaf fy nghyfammod â thi yn nyddiau dy ieuenctid*] Yr hwn a wnaed pan ddaethost allan o'r Aifft; *ac a sicrhaf it' gyfammod tragwyddol*—yr hwn ni ddiddymir, sef y cyfammod gras dan yr efengyl: gwel ar Jer. xxxii. 40.

Adn. 61. *Yna y cofi dy ffyrdd, ac y cywilyddi*] Mewn edifeirwch a galar, fel parotoad angenrheidiol erbyn dy ddychweliad; *pan dderbyniech dy chwiorydd hŷn na thi, gyda'r rhai ieuengach*—sef y Cenhedloedd, yn fychain a mawrion, i'r eglwys Gristionogol. *A rhoddaf hwynt yn ferched it'*—wedi eu hennill i ti trwy bregethiad yr efengyl. Yn Jerusalem yr oedd yr eglwys Gristionogol gyntaf, neu y fameglwys, yr hon oedd yn gynwysedig gan mwyaf o Iuddewon; a phan ddychwelid rhywrai yn Jerusalem, hwy a chwanegid at yr eglwys hòno, Act. ii. 41, 47. O ganlyniad, cafodd Jerusalem yr anrhydedd o gael ei galw y 'brif eglwys;' ïe, gelwir yr holl eglwys Gristionogol ar yr enw JERUSALEM, 'yr hon yw ein mam ni oll,' Gal. iv. 26. *A hyny nid wrth dy ammod di*—nid trwy gyfammod cenedlaethol Sinai yn llaw Moses, ond trwy y cyfammod newydd o ras yn llaw y Messia.

Adn. 62. *A mi a sicrhaf fy nghyfammod â thi*] Gwel ar adn. 60; *a chei wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—yr hwn wyf yn maddeu anwiredd, a chamwedd, a phechod, Exod. xxxiv. 6; a'r hwn a fyddaf mor amlwg ac adnabyddus yn fy nhrugaredd, ag y bûm o'r blaen yn fy nghosp.

Adn. 63. *Fel y cofiech di, ac y cywilyddiech*] Fel y byddot deimladwy o fawredd dy bechodau dy hun, a mawredd fy nhrugaredd inau; *ac na byddo it' mwy agoryd safn gan dy waradwydd*—i'th gyfiawnhau dy hun, na chondemnio ereill, na chweryla â minau; *pan ddyhudder fi tuag atat*—pan gymoder fi â thi, neu pan y maddeuwyf dy holl bechodau trwy aberth fy anwyl Fab.

PEN. XVII. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Tua'r un amser ag o'r blaen, pen. xii. 1.

Adn. 2. *Mab dyn, traetha ddychymyg a diareba ddiareb*] Defnyddia aralleg neu ymadrodd dammegol wrth dŷ Israel. Yr oedd y proffwydi yn arfer y dull hwn yn fynych, ac felly ein Harglwydd, Mat. xiii. 34.

Adn. 3. *A dywed*] Oddiwrthyf fi; *Eryr mawr*—sef Nebuchodonosor, fel y mae yn eglur oddiwrth adn. 12; *mawr ei adenydd*—yr hwn y mae iddo amherodraeth eang; *hir ei asgell*—cyflym yn ei fuddugoliaethau; *llawn plu*—deiliaid lluosog; *yr hwn oedd iddo amryw liwiau*—deiliaid o blith gwahanol genhedloedd; *a ddaeth i Libanus*—sef yn erbyn Judea; *ac a gymerth frigyn uchaf y gedrwydden*—sef Jehoiacin, brenin Juda, yn gaeth i Babilon. Cyffelybir brenin Babilon i *eryr* hefyd yn Jer. xlviii. 40, a xlix. 22, Dan. vii. 4.

Adn. 4. *Torodd frig ei blagur hi*] Sef tywysogion Juda; *ac a'i dyg i dir marsiandïaeth*—sef i Caldea: *yn ninas marchnadyddion y gosododd efe ef*—sef yn Babilon, yr hon

marchnadyddion y gosododd efe ef.
5 A chymerth o had y tir, ac a'i
bwriodd mewn maes ffrwythlon;
efe a'*i* gosododd *ef* wrth ddyfroedd
lawer, *ac* a'i planodd *fel* helygen.
6 Ac efe a dyfodd, ac a aeth yn
winwydden wasgarog, isel o dwf,
a'i changau yn troi ato ef; a'i
gwraidd oedd dano ef: felly yr
aeth yn winwydden, ac y dyg geinc-
iau, ac y bwriodd frig.
7 Yr oedd hefyd ryw eryr mawr,
mawr ei esgyll, ac â llawer o blu:
ac wele y winwydden hon yn plygu
ei gwraidd tuag ato ef, ac yn bwrw
ei cheinciau tuag ato, i'w dyfrhau
ar hyd rhigolau ei phlaniad.
8 Mewn maes da wrth ddyfroedd
lawer y planesid hi, i fwrw brig, ac
i ddwyn ffrwyth, fel y byddai yn
winwydden hardd-deg.
9 Dywed, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, A lwydda hi?
oni thyn efe ei gwraidd hi? ac oni
thyr efe ei ffrwyth hi, fel y gwywo?
sych holl ddail ei brig, ac nid trwy
fraich mawr, na thrwy bobl lawer,
i'w thynu hi o'i gwraidd.
10 Ie, wele, wedi ei phlanu, a
lwydda hi? gan wywo oni wywa,
pan gyffyrddo gwynt y dwyrain â
hi? yn rhigolau ei thwf y gwywa.
11 ¶ Daeth hefyd air yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd,
12 Dywed yr awr hon wrth y tŷ
gwrthryfelgar, Oni wyddoch beth
*yw* hyn? dywed, Wele, daeth bren-
in Babilon i Jerusalem, ac efe a gy-
merodd ei brenin hi, a'i thywysog-
ion, ac a'u dyg hwynt gydag ef i
Babilon:
13 Ac a gymerodd o'r had bren-
hinol, ac a wnaeth âg ef gyfammod,
ac a'i dyg ef dan lw; cymerodd
hefyd gedyrn y wlad:
14 Fel y byddai y deyrnas yn is-
el, heb ymddyrchafu, *eithr* sefyll o
honi trwy gadw ei gyfammod ef.

---

oedd yr enwocaf o holl ddinasoedd y dwyrain am ei masnach.

Adn. 5. *A chymerth o had y tir*] Sef Zedeciah brawd Jehoiacin; *ac a'i bwriodd mewn maes ffrwythlon*—gwnaeth ef yn frenin ar Judea yn lle ei frawd. *Efe a'i gosododd ef wrth ddyfroedd lawer*—mewn lle manteisiol i dyfu, sef dan nawdd ac amddiffyniad Babilon; *ac a'i planodd fel helygen*—yr hon sydd yn gofyn lleithder. Y meddwl yw, fod Judea yn lle manteisiol i Zedeciah ddyfod yn mlaen yn llwyddiannus, fel rhaglaw dan frenin Babilon.

Adn. 6. *Ac efe a dyfodd, ac a aeth yn winwydden wasgarog*] Am oddeutu tair blynedd; *isel o dwf*—yn ddarostyngedig, a than deyrnged, i frenin Babilon; *a'i changau yn troi ato ef*—yn cydnabod awdurdod goruchel Nebuchodonosor; *a'i gwraidd oedd dano ef*—yr oedd yn hollol ddarostyngedig i ewyllys brenin Babilon. *Felly yr aeth yn winwydden*—yn bren addfed, er mai gwinwydden ydoedd, ac nid cedrwydden megys gynt, adn. 3; *ac a ddyg geinciau, ac y bwriodd frig*—yr oedd iddo hiliogaeth, y rhai oeddynt yn debyg o ddyfod i'r orsedd ar ei ol ef.

Adn. 7. *Yr oedd hefyd ryw eryr mawr*] Arall, sef Pharao brenin yr Aifft, adn. 15; *mawr ei esgyll, ac â llawer o blu*—yr hwn yr oedd ei lywodraeth yn eang, a'i ddeiliaid yn lluosog: *ac wele y winwydden hon yn plygu ei gwraidd tuag ato ef*—yn tueddu i fyned i gynghrair âg ef; *i'w dyfrhau ar hyd rhigolau ei phlaniad*—i gael ei chynorthwyo yn erbyn brenin Babilon.

Adn. 8. *Mewn maes da wrth ddyfroedd lawer y planesid hi, &c.*] Fel y dywedwyd yn adn. 5. Y meddwl yw, fod cyflwr Zedeciah dan frenin Babilon mor dda, fel nad oedd ganddo reswm digonol dros dori ei gyfammod âg ef, ac ymddwyn mor fradwrus ac anffyddlon.

Adn. 9. *Dywed*] O ddiwrthyf fi; *A lwydda hi?*—a lwydda Zedeciah i dori ymaith iau brenin Babilon, i'r hwn y tyngasai efe lw o ffyddlondeb? *Oni thyn efe ei gwraidd hi, &c.*—oni ddiwreiddia efe ei orsedd ef, gan ladd ei blant a'i dywysogion? gwel 2 Bren. xxv. 7, &c. *Sych holl ddail ei brig, ac nid trwy fraich mawr, &c.*—bydd Duw yn blaid i Nebuchodonosor yn ei erbyn ef, ac felly ni raid iddo wrth nerth mawr, na phobl lawer, i'w gynorthwyo i gyflawni ei fwriad.

Adn. 10. *Gan wywo oni wywa, pan gyffyrdda gwynt y dwyrain â hi?*] Yma cyffelybir byddin y Caldeaid i boethwynt yn deifio ac yn gwywo ffrwyth y coed. Zedeciah fyddai brenin olaf Judea, a byddai i'r frenhiniaeth ddarfod gydag ef.

Adn. 11. *Daeth hefyd air yr Arglwydd ataf*] I egluro y ddammeg flaenorol.

Adn. 12. *Dywed yr awr hon wrth y tŷ gwrthryfelgar*] Wrth dŷ Juda, yr hwn sydd wedi bod bob amser yn gwrthryfela yn fy erbyn i, ac sydd yn awr yn dechreu gwrthryfela yn erbyn Nebuchodonosor hefyd. *Oni wyddoch beth yw hyn*—sef meddwl y ddammeg uchod? *Dywed*—wrthynt, mewn ffordd o eglurhad arni; *Wele, daeth brenin Babilon i Jerusalem, &c.*—gwel ar adn. 3, 4.

Adn. 13. *Ac a gymerodd o'r had brenhinol*] Sef Zedeciah brawd Jehoiacin, adn. 5; *ac a'i dyg ef dan lw*—sef llw o ffyddlondeb fel rhaglaw i frenin Babilon: *cymerodd hefyd gedyrn y wlad*—gydag ef i Babilon, fel gwystlon o gyflawniad yr ammodau ag y cytunwyd arnynt rhyngddo ef a Zedeciah brenin Juda.

Adn. 14. *Fel y byddai y deyrnas yn isel,*

15 Ond gwrthryfelodd i'w erbyn,
gan anfon ei genadau i'r Aifft, fel
y rhoddid iddo feirch, a phobl
lawer. A lwydda efe? a ddianc yr
hwn a wnelo hyn? neu a ddiddyma
efe y cyfammod, ac a waredir ef?
16 *Fel mai* byw fi, medd yr Ar-
glwydd Dduw, yn nghartref y bren-
in yr hwn a'i gwnaeth ef yn frenin,
yr hwn y diystyrodd efe ei lw, a'r
hwn y diddymodd efe ei gyfammod,
gydag ef y bydd efe marw yn
nghanol Babilon.
17 Ac ni wna Pharao â'*i* lu
mawr, ac â'*i* fintai luosog, *ddim*
gydag ef mewn rhyfel, wrth godi
clawdd, ac wrth adeiladu cestyll, i
dori ymaith lawer einioes.
18 Gan ddiystyru o hono y llw,
gan ddiddymu y cynghrair, (canys
wele, efe a roddasai ei law,) a
gwneuthur o hono hyny oll, ni ddi-
anc.
19 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; *Fel mai* byw fi,
fy llw yr hwn a ddiystyrodd efe,
a'm cyfammod yr hwn a ddiddym-
odd efe, hwnw a roddaf fi ar ei ben
ef.
20 Canys taenaf fy rhwyd arno,
ac efe a ddelir yn fy rhwyd, a dyg-
af ef i Babilon, ac yno yr ymddadl-
euaf âg ef *am* ei gamwedd a wnaeth
i'm herbyn.
21 A'i holl ffoaduriaid yn nghyd
â'i holl fyddinoedd a syrthiant gan
y cleddyf, a'r gweddill a wasgerir
gyda phob gwynt; fel y gwypech
mai myfi yr Arglwydd a'i lleferais.
22 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Mi a gymeraf hefyd
frig y gedrwydden uchel, ac a'*i*

---

*&c.*] Dan deyrnged iddo ef, ac yn ffyddlon i'w chyfammod.

Adn. 15. *Ond gwrthryfelodd i'w erbyn*] Sef yn erbyn Nebuchodonosor; *gan anfon ei genadau i'r Aifft, fel y rhoddid iddo feirch*—neu fyddin o wŷr meirch a gwŷr traed i'w gynorthwyo ef yn erbyn y Caldeaid. Yr oedd hyn yn drosedd nid yn unig yn erbyn ei lw a'i gyfammod, ond hefyd yn erbyn cyfraith Dduw, yr hon a waharddai iddo geisio meirch, ac ymgyfathrachu â'r Aifftiaid, Deut. xvii. 16. *A lwydda efe*—yn hyn? *a ddianc yr hwn a wnelo hyn*—rhag barn gyfiawn Duw am y fath frad ac anudoniaeth? *Neu a ddiddyma efe y cyfammod, ac a waredir ef?*—na wneir yn sicr. Yma y gwelwn na ddylai llw gael ei dori, er iddo gael ei wneuthur dan amgylchiadau anffafriol, ac er i'r rhwymiad a wnaed felly fod yn annymunol.

Adn. 16. *Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw*] Yr hwn yr oedd Zedeciah wedi ei alw yn dyst wrth dyngu llw o ffyddlondeb i Nebuchodonosor; *yn nghartref y brenin*—sef yn Babilon, *yr hwn a'i gwnaeth ef yn frenin*—ar Juda, pan y gallasai yr un mor hawdd ei wneuthur ef yn garcharor; *yr hwn y diystyrodd efe ei lw*—trwy wrthryfela yn awr i'w erbyn; *gydag ef y bydd efe marw yn nghanol Babilon*—ac felly y bu: gwel ar pen. xii. 13. Fel y mae addewidion Duw yn cael eu cadarnhau trwy lw, er cysur i'w saint; felly y mae ei fygythion, er dychryn i'r drygionus.

Adn. 17. *Ac ni wna Pharao â'i lu mawr, ac â'i fintai luosog, ddim gydag ef mewn rhyfel*] Ni allai wneyd dim o blaid Zedeciah, neu yn erbyn Nebuchodonosor; *wrth godi clawdd, ac wrth adeiladu cestyll*—wrth i'r Caldeaid godi gwrthgloddiau yn erbyn Jerusalem, neu wrth i'r Iuddewon eu codi i'w chadarnhau hi; *i dori ymaith lawer einioes*—ni wnai hyn oll ddim ond achosi dinystr llawer mwy ar fywydau o bob ochr.

Adn. 18. *Gan ddiystyru o hono y llw, gan ddiddymu y cynghrair*] A wnaethai Zedeciah â brenin Babilon; *canys wele, efe a roddasai ei law*—i frenin Babilon i gadarnhau ei lw, neu efe a'i codasai tua'r nef i apelio at Dduw fel tyst, neu ynte efe a ysgrifenasai â'i law; *ni ddianc*—efe rhag dialedd dwyfol.

Adn. 19. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Gyda golwg ar y teyrnfradwr Zedeciah; *Fel mai byw fi*—gwel ar adn. 16; *fy llw yr hwn a ddiystyrodd efe, a'm cyfammod yr hwn a ddiddymodd efe*—er mai â phagan gorthrymus y gwnaethai Zedeciah y llw a'r cyfammod hwn, eto y mae Duw yn ei alw ei lw a'i gyfammod ei hun, am ei wneuthur yn ei enw ef, ac mewn apeliad difrifol ato: *hwnw a roddaf fi ar ei ben ef*—sef cosp y troseddiad o hono.

Adn. 20. *Canys taenaf fy rhwyd arno, &c.*] Gwel ar pen. xii. 13; *ac yno yr ymddadleuaf âg ef am ei gamwedd*—trwy ei garcharu yn Babilon hyd ei farwolaeth.

Adn. 21. *A'i holl ffoaduriaid*] Y rhai a fföent o Jerusalem gyda Zedeciah; *a'i holl fyddinoedd*—byddai i lawer o filwyr Zedeciah syrthio trwy gleddyf y Caldeaid, a'r lleill gael eu gwasgaru i bob parth; *fel y gwypech mai myfi yr Arglwydd a'i lleferais*—pan weloch fod fy holl eiriau wedi eu cyflawni.

Adn. 22. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] I ddangos nad oedd efe wedi anghofio ei gyfammod â thŷ Dafydd, er ei fod yn myned i gospi Zedeciah fel cangen o hono; *Mi a gymeraf hefyd frig y gedrwydden uchel*—sef un o dŷ Dafydd; *ac a'i gosodaf*—yn y frenhiniaeth. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at Zorobabel, yr hwn a fu yn llywodraethwr ar yr Iuddewon ar ol y dychweliad o Babilon: ond os cyfeirir mewn un modd ato ef, rhaid mai fel *cysgod* o'r Messia y gwneir hyny; canys y mae yn eglur nas gall y broffwydoliaeth allegawl hon gael llwyr gyflawniad ond yn mrenhiniaeth Crist yn unig. *O frig ei*

gosodaf: o frig ei blagur y toraf *un*
tyner, a mi a'*i* planaf ar fynydd
uchel a dyrchafedig.
23 Ar fynydd uchelder Israel y
planaf ef: ac efe a fwrw frig, ac a
ddwg ffrwyth, ac a fydd yn gedr-
wydden hardd-deg: a phob aderyn
o bob ryw asgell a drig dani; dan
gysgod ei changhenau y trigant.
24 A holl brenau y maes a gânt
wybod mai myfi yr Arglwydd a
ostyngais y pren uchel, aç a ddyrch-
efais y pren isel; a sychais y pren
îr, ac a ireiddiais y pren crin: myfi
yr Arglwydd a'*i* lleferais, ac a'*i*
gwnaethym.

## PENNOD XVIII.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
2 Paham genych arferu y ddiareb
hon am dir Israel, gan ddywedyd,
Y tadau a fwytasant rawnwin sur-
ion, ac ar ddannedd y plant y mae
dincod?
3 *Fel mai* byw fi, medd yr Ar-
glwydd Dduw, ni bydd i chwi mwy

---

*blagur y toraf un tyner*—felly yr oedd Crist, o ran ei natur ddynol, yn dyner a gwael, 'heb na phryd na thegwch iddo,' Esay liii. 2. *A mi a'i planaf ar fynydd uchel a dyrchafedig*—sef yn yr eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd mynydd Seion yn gysgod.

Adn. 23. *Ar fynydd uchelder Israel y planaf ef*] Efe a wna ei ymddangbosiad yn y deml, ac a sylfaena ei eglwys yn Jerusalem. *Ac efe a fwrw frig, ac a ddwg ffrwyth*—efe a gyfyd iddo apostolion ac efengylwyr, a llawer o eneidiau a ddychwelir trwy eu pregethiad hwy; neu, efe a ennill lawer o aelodau a deiliaid, y rhai a wnant lawer o les. *Ac a fydd yn gedrwydden hardd-deg*—bydd ei eglwys ef yn ogoniant yr holl ddaear, a'r gymdeithas fwyaf dedwydd yn y byd, Deut. xxxiii. 29, Salm cxliv. 15. *A phob aderyn o bob rhyw asgell a drig dani*—daw pechaduriaid o bob llwyth, iaith, a chenedl i wneyd derbyniad o honi, ac i gartrefu ynddi.

Adn. 24. *A holl brenau y maes*] Sef holl genhedloedd y ddaear, neu dywysogion y byd; *a gânt wybod mai myfi yr Arglwydd a ostyngais y pren uchel*—a ddiorseddais Jehoiacin; *ac a ddyrchefais y pren isel*—sef Zedeciah ei frawd, yr hwn a osodais yn ei le ef: *a sychais y pren îr*—sef Zedeciah, i'r hwn yr oedd amrai feibion, y rhai a laddwyd oll o flaen ei lygaid ef yn Riblah; *ac a ireiddiais y pren crin*—a godais wialen o gyff Jesse, sef y Messia, pryd yr oedd tŷ Dafydd yn ymddangos fel wedi crino i fyny, neu wedi darfod: gwel *Clarke.* Ond tybia *Newcome* fod y pren *uchel* ac *îr* yn cyfeirio at Nebuchodonosor; a'r pren *isel* a *chrin*, at yr Iuddewon. A thybia *Benson* ac ereill fod 'gostwng y *pren uchel*,' yn cyfeirio at ddarostyngiad gelynion ei bobl yn gyffredinol; a bod 'dyrchafu y *pren isel*' yn arwyddo dwyn yn mlaen ei eglwys yn y byd, gan beri iddi flodeuo. *Myfi yr Arglwydd a'i lleferais, ac a'i gwnaethym*—y mae y proffwydi yn son yn fynych am bethau dyfodol fel pe buasent wedi cymeryd lle eisioes, i sicrhau i ni y bydd iddynt gael eu cyflawni yn ddifeth.

PEN. XVIII. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] I ateb gwrthddadleuon yr Iuddewon yn erbyn cyfiawnder ei ymddygiadau ef tuag atynt.

Adn. 2. *Paham genych arferu y ddiareb hon am dir Israel*] Gyda golwg ar y dinystr a wnaed yno gan y Caldeaid, a'ch caethgludiad chwithau oddiyno i'r wlad hon? *Gan ddywedyd, Y tadau a fwytasant rawnwin surion*—neu a bechasant; *ac ar ddannedd y plant y mae dincod*—y plant sydd yn gorfod dyoddef am bechodau eu rhieni, yn enwedig am y pechodau a wnaethant hwy yn amser Manasseh, 2 Bren. xxiii. 26, Jer. xv. 4. Byddai i'r fath athrawiaeth a hon fy ngwneyd i yn ddirmygedig yn ngolwg y paganiaid, ac attal yr holl genhedloedd rhag gwneuthur derbyniad o honof fi na'm crefydd.

Adn. 3. *Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw*] Yma y mae Jehofa yn cadarnhau ei benderfyniad trwy lw; *ni bydd i chwi mwy arferu y ddiareb hon yn Israel*—fel pe dywedasai, Mi a wnaf y fath wahaniaeth amlwg rhwng y cyfiawn a'r drygionus, rhwng y rhai a rodiant yn nghamrau eu tadau, a'r rhai a gymerant rybydd trwy eu siamplau hwy, fel na chewch le mwyach i arferu y ddiareb hon yn eich plith. Rhaid addef fod Duw yn bygwth 'ymweled âg anwiredd y tadau ar y plant,' yn yr Hen Destament a'r Newydd: gwel Exod. xx. 5, Mat. xxiii. 35. Ond y mae hyn i'w ddeall yn unig, (1) Gyda golwg ar gospedigaethau tymhorol y byd hwn, ac nid gyda golwg ar gospedigaethau tragwyddol y byd nesaf. (2) Pan fyddo y plant yn rhodio yn ffyrdd pechadurus eu rhieni, ac felly yn cyflawni yn raddol fesur eu hanwiredd cenedlaethol: gwel ar Jer. xv. 4, a xxxi. 29, 30, lle yr eglurir hyn yn llawnach. Sonia yr ysgrythyr am ryw 'fesur o anwiredd,' yr hwn sydd yn llenwi i fyny o'r naill genhedlaeth i'r llall, nes o'r diwedd y mae yn gwneyd cenedl neu deulu yn addfed i ddinystr. Ac er nad yw y rhai y disgyna y dialedd hwn arnynt yn dyoddef dim mwy nag a haeddodd eu pechodau *personol* hwy eu hunain; eto, gan fod pechodau y cenedlaethau blaenorol, y rhai y maent hwy yn eu hefelychu neu yn gwneyd rhai gwaeth na hwy, yn ei gwneuthur yn bryd i Dduw eu llwyr ddyfetha hwy, gellir dywedyd fod y cospedigaethau a haeddodd pechodau llawer oes yn disgyn arnynt hwy: gwel yr *Esgob Sherlock.* (3) Gellir dywedyd hefyd fod anwiredd y tadau yn disgyn ar y plant, mewn ystyr tymhorol yn unig, ie, tra na bydd-

arferu y ddiareb hon yn Israel.
4 Wele, yr holl eneidiau eiddo fi
ydynt; fel enaid y tad, felly hefyd
enaid y mab, eiddo fi ydynt; yr
enaid a becho, hwnw a fydd marw.
5 ¶ Canys os bydd gŵr yn gyf-
iawn, ac yn gwneuthur barn a chyf-
iawnder,
6 Heb fwyta ar y mynyddoedd,
na chyfodi ei lygaid at eilunod tŷ
Israel, ac heb halogi gwraig ei
gymydog, na nesau at wraig fis-
glwyfus,
7 Na gorthrymu neb, *ond* a rodd-
es ei wystl i'r dyledwr yn ei ol, ni
threisiodd drais, ei fara a roddodd
i'r newynog, ac a ddilladodd y
noeth,
8 Ni roddes ar usuriaeth, ac ni
chymerodd ychwaneg, ei law a
dynodd yn ei hol oddiwrth anwir-
edd, gwir farn a wnaeth rhwng gŵr
a gŵr,
9 Yn fy neddfau y rhodiodd,
a'm barnedigaethau a gadwodd, i
wneuthur gwirionedd: cyfiawn *yw;*
gan fyw efe a fydd byw, medd yr
Arglwydd Dduw.
10 ¶ Os cenhedla efe fab yn
lleidr, *ac* yn tywallt gwaed, ac a

---

ont hwy yn dylyn camrau eu tadau drygionus, pan fyddo y plant yn dyoddef tylodi, dirmyg, neu afiechyd, trwy wastraff neu oferedd eu rhieni. Yr achos fod llawer o blant yn dylodion yw, am fod eu tad wedi gwastraffu yr etifeddiaeth deuluaidd: gwel ar Exod. xx. 5. Ond yn y bennod hon y mae yr achos yn wahanol, canys cyfeirir yma yn benaf at gyflwr moesol dynion, a'u cospedigaethau mewn byd arall.

Adn. 4. *Wele, yr holl eneidiau, eiddof fi ydynt*] Fel Tad ysbrydoedd pob cnawd: y maent yn eiddo i mi fel Creawdwr a Phryniawdwr, ac felly y mae enaid y naill mor werthfawr yn fy ngolwg i ag enaid y llall. *Fel enaid y tad, felly hefyd enaid y mab, eiddof fi ydynt*—a chan eu bod oll yn perthyn yn gyfartal i mi fel eu gilydd, bydd i minau ymddwyn atynt oll yn ddiduedd ac anmhleidgar. *Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw*—sef am ei bechod ei hun yn unig. Ni fydd i neb gael ei gospi â marwolaeth dragwyddol am bechod dyn arall, ac ni fydd i neb gael ei achub am gyfiawnder dyn arall. Wrth y 'farwolaeth' hon y dealla rhai y farwolaeth *dymhorol* ag oedd ar ddisgyn ar yr Iuddewon drygionus trwy y cleddyf, y newyn, a'r haint; a mynant gyfyngu yr holl bennod at y dygwyddiadau hyny. 'Ond,' fel y sylwa *Scott* yn briodol, 'nis gellir profi ddarfod i bob un cyfiawn ddianc rhag y barnedigaethau tymhorol hyny, na bod pawb a ddiangodd rhagddynt, yn gyfiawn; heb yr hyn rhaid i'r holl ddeongliad yma syrthio o ddiffyg sail.' Hefyd, nis gall hon fod yn golygu y farwolaeth *naturiol* a ddaeth ar bob dyn trwy y camwedd cyntaf; canys yn yr ystyr hyny rhaid i bawb farw, pa un bynag a bechont yn weithredol ai peidio: gwel ar Rhuf. v. 14. Gan hyny rhaid fod y farwolaeth hon yn golygu yr ail farwoleth, neu farwolaeth dragwyddol.

Adn. 5. *Canys os bydd gŵr yn gyfiawn*] Wedi ei gyfiawnhau yn efengylaidd; *ac yn gwneuthur barn a chyfiawnder*—fel prawf allanol o'i gyfiawnder mewnol, yn y pethau a enwir isod. Dywed rhai mai 'cyfiawnder deddfol' a olygir yma. Ond pa beth bynag y gelwir ef gan ddynion, yr oedd yn ddigonol, medd yr Arglwydd Dduw, i gadw yn fyw yr *enaid:* gwel ar adn. 9, 21, 27.

Adn. 6. *Heb fwyta ar y mynyddoedd*] O'r aberthau a offrymid yno i eilunod. *Na chyfodi ei lygaid at eilunod tŷ Israel*—mewn gweddi arnynt, neu addoliad iddynt. *Ac heb halogi gwraig ei gymydog*—yr hyn yr oedd eilunaddoliaeth yn arwain yn fynych iddo. *Na nesâu at wraig fisglwyfus*—sef ei wraig ei hun. Yr oedd hyn yn cael ei wahardd gan y gyfraith, Lef. xx. 18; a hyny, meddai *Calmet*, am fod y plant a genhedlid ar y fath amserau yn troi allan yn fynych yn wahanglwyfus, neu yn anghenfilod, yn afluniaidd, neu yn fychain o gorffolaeth.

Adn. 7. *Na gorthrymu neb*] Trwy arfer ei awdurdod i'w gwasgu, eu blino, na'u niweidio. *Ond a roddes ei wystl i'r dyledwr yn ei ol*—yr hwn nas gallai ef fod hebddo yn gyfleus, megys dillad, arfau, &c., Exod. xxii. 26. *Ni threisiodd drais*—trwy yspeilio neb o'i eiddo na'i enw da. *Ei fara a roddodd i'r newynog*—a fyddai yn methu cael digon o fwyd; *ac a ddilladodd y noeth*—a fyddai yn rhynu gan anwyd.

Adn. 8. *Ni roddes ar usuriaeth*] Wrth 'usuriaeth' y deallir llôg annghyfreithlon am arian a fenthycer. Yr oedd codi *unrhyw* lôg yn beth annghyfreithlon oddiar Israeliad; ac yr oedd codi *gormod* o lôg yn beth annghyfreithlon oddiar estron, am y rhesymau a nodwyd ar Deut. xxiii. 19, 20. *Ac ni chymerodd ychwaneg*—na gwir lôg yr arian, neu fwy na'r swm a fenthycasai efe i'r tylawd. *Ei law a dynodd yn ei hol oddiwrth anwiredd*—heb roddi cefnogaeth i annghyfiawnder na drygioni o un math. *Gwir farn a wnaeth rhwng gŵr a gŵr*—bob amser ag y gosodid ef yn farnwr neu gylafareddwr rhwng cymydogion.

Adn. 9. *Yn fy neddfau y rhodiodd*] Mewn ystyr gwladol; *a'm barnedigaethau a gadwodd*—mewn ystyr crefyddol; *i wneuthur gwirionedd*—sef yr hyn sydd uniawn tuag at Dduw a dynion. *Cyfiawn yw*—Hebr., *tsaddik hu*, 'y mae yn ŵr cyfiawn;' y mae ei berson wedi ei gyfiawnhau, a'i natur wedi ei hadnewyddu; heb yr hyn ni fuasai ynddo duedd na gallu i gyflawni y pethau a enwyd. *Gan fyw efe a fydd byw, medd yr Arglwydd Dduw*—gan iddo fyw yma er gogoniant i mi, caiff fyw byth mewn gogoniant gyda mi: gwel ar Salm xv. 1—5.

wna gyffelyb i'r un o'r *pethau* hyn,
11 Ac ni wna yr un o'r *pethau*
hyny, ond ar y mynyddoedd y
bwyty, a gwraig ei gymydog a hal-
oga,
12 Yr anghenus a'r tylawd a or-
thryma, trais a dreisia, gwystl ni
rydd drachefn, ac at eilunod y cyf-
yd ei lygaid, a wnaeth ffieidd-dra,
13 Ar usuriaeth y rhoddes, ac
ychwaneg a gymerth; gan hyny a
fydd efe byw? Ni bydd byw:
gwnaeth yr holl ffieidd-dra hyn;
gan farw y bydd farw; ei waed a
fydd arno ei hun.
14 ¶ Ac wele, *os* cenhedla fab a
wel holl bechodau ei dad y rhai a
wnaeth efe, ac a ystyria, ac ni wna
felly,
15 Ar y mynyddoedd ni fwyty,
a'i lygaid ni chyfyd at eilunod tŷ
Israel, ni haloga wraig ei gy-
mydog,
16 Ni orthryma neb chwaith, ni
attal wystl, ac ni threisia drais, ei
fara a rydd i'r newynog, a'r noeth
a ddillada,
17 *Ni* thry ei law oddiwrth yr
anghenog, usuriaeth na llôg ni
chymer, fy marnau a wna, yn fy
neddfau y rhodia: hwnw ni bydd
farw am anwiredd ei dad; gan fyw
y bydd efe byw.
18 Ei dad, am orthrymu yn dost,
a threisio ei frawd trwy orthrech,
a gwneuthur yr hyn nid *oedd* dda
yn mysg ei bobl, wele, efe a fydd
marw yn ei anwiredd.
19 ¶ Eto chwi a ddywedwch,
Paham? oni ddwg y mab anwiredd
y tad? Pan wnelo y mab farn a
chyfiawnder, *a* chadw fy holl
ddeddfau, a'u gwneuthur hwynt,
gan fyw efe a fydd byw.
20 Yr enaid a becho, hwnw a
fydd marw. Y mab ni ddwg anwir-
edd y tad, a'r tad ni ddwg anwiredd
y mab: cyfiawnder y cyfiawn fydd
arno ef, a drygioni y drygionus
fydd arno yntau.

---

Adn. 10. *Os cenhedla efe*] Sef y gŵr cyfiawn a ddarluniwyd uchod; *fab yn lleidr, ac yn tywallt gwaed, &c.*—canys er i'r tad drosglwyddo ei natur ddynol i'w fab, nis gallai efe drosglwyddo iddo ei ras a'i anian newydd.

Adn. 11. 12. *Ac ni wna yr un o'r pethau hyny*] A orchymynid iddo gan y gyfraith, ac a gyflawnwyd gan ei dad; *ond ar y mynyddoedd y bwyty, &c.*—gwel ar adn. 6—9.

Adn. 13. *Gan hyny a fydd efe byw?*] A ddygir ef trwy angau i fywyd tragwyddol? *Ni bydd byw*—eithr gyrir ef trwy angau i afael marwolaeth dragwyddol. *Gwnaeth yr holl ffieidd dra hyn*—a enwyd adn. 11—13. *Gan farw y bydd farw*—yn anocheladwy: *ei waed a fydd arno ei hun*—ni fydd ganddo neb i'w feio ond ei hunan.

Adn. 14. *Ac wele, os cenhedla fab*] Os cenhedla y dyn drwg hwnw fab; *a wel holl bechodau ei dad y rhai a wnaeth efe*—a fu yn dyst o fywyd annuwiol a marwolaeth druenus ei dad; *ac a ystyria*—ddrygedd y fath fywyd annuwiol, a'r canlyniad alaethus o hono; *ac ni wna felly*—ni rodia yn ffyrdd ei dad:—

Adn. 15, 16. *Ar y mynyddoedd ni fwyty, &c.*] Gan ddylyn o hono rinweddau ei *daid*, adn. 6—9, yn lle pechodau ei *dad*, adn. 10—13.

Adn. 17. *Hwnw ni bydd farw am anwiredd ei dad*] Ni chospir ef am bechodau ei dad, mwy nag yr achubwyd ei dad am gyfiawnder ei daid. *Gan fyw y bydd efe byw*—er i'w dad farw.

Adn. 18. *Ei dad am orthrymu yn dost, &c.*] Am gyflawni o hono y pechodau a enwyd adn. 10—13; *a gwneuthur yr hyn nid oedd dda yn mysg y bobl*—hyd ddiwedd ei oes: *wele, efe a fydd marw yn ei anwiredd*—ac a â trwy farwolaeth naturiol i afael marwolaeth dragwyddol.

Adn. 19. *Eto chwi a ddywedwch, Paham? oni ddwg y mab anwiredd y tad?*] Fel pe dywedasent, Paham yr haeri fel hyn? onid yw ein profiad ni yn dangos fod y mab yn cael ei gospi am anwiredd y tad? I hyn Duw a etyb, nad oedd hi felly ddim pellach nag yr oedd y mab yn euog o'r un pechodau a'i dad: gwel ar adn. 3, a Jer. xxxi. 29, 30. *Pan wnelo y mab farn a chyfiawnder, a chadw fy holl ddeddfau*—gan fyw bywyd o rinwedd a duwioldeb, yr hyn ni wnaeth ei dad: *gan fyw efe a fydd byw*—ni chospir ef, er i'w dad gael ei gospi; a llai o lawer y cospir ef am anwiredd ei dad.

Adn. 20. *Yr enaid a becho, hwnw a fydd marw*] O'r ail farwolaeth. *Y mab ni ddwg anwiredd y tad, a'r tad ni ddwg anwiredd y mab*—mewn cosp ysbrydol a thragwyddol yn y byd a ddaw. *Cyfiawnder y cyfiawn fydd arno ef*—caiff y cyfiawn ei hun dderbyn gwobr ei gyfiawnder; *a drygioni y drygionus fydd arno yntau*—efe ei hun yn unig a dderbyn gosp ei ddrygioni: gwel ar Esay iii. 10, 11. Hyd yma buwyd yn son yn unig am gyflwr yr hwn a fyddai byw a marw yn ddyn *cyfiawn*, a'r hwn a fyddai byw a marw yn ei *anwiredd*; eithr yma dygir o'n blaen *ddau achos* arall, sef cyflwr yr *annuwiol*, yr hwn a *edifarhai*, ac a *ddychwelai* at Dduw; a chyflwr y *cyfiawn*, yr hwn a *wrthgiliai*, ac a fyddai *marw* yn ei bechodau. Ac ar y ddau achos hyn y mae Duw ei hun yn penderfynu fel y canlyn:—

21 Ond os yr annuwiol a ddy-
chwel oddiwrth ei holl bechodau y
rhai a wnaeth, a chadw fy holl
ddeddfau, a gwneuthur barn a chyf-
iawnder, efe gan fyw a fydd byw,
ni bydd efe marw.
22 Ni chofir iddo yr holl gam-
weddau a wnaeth: yn ei gyfiawn-
der a wnaeth y bydd efe byw.
23 Gan ewyllysio a ewyllysiwn i
farw yr annuwiol, medd yr Ar-
glwydd Dduw, *ac* na ddychwelai
oddiwrth ei ffyrdd, a byw?

24 ¶ Ond pan ddychwelo y cyf-
iawn oddiwrth ei gyfiawnder, a
gwneuthur anwiredd, a gwneuthur
yn ol yr holl ffieidd-dra a wnelo yr
annuwiol; a fydd efe byw? ni
chofir yr holl gyfiawnderau a
wnaeth efe: yn ei gamwedd yr hwn
a wnaeth, ac yn ei bechod a bech-
odd, ynddynt y bydd efe marw.
25 ¶ Eto chwi a ddywedwch, Nid
cymhwys yw ffordd yr Arglwydd.
Gwrandewch yr awr hon, tŷ Israel,
onid yw gymhwys fy ffordd i? onid

---

Adn. 21. *Ond os yr annuwiol a ddychwel oddiwrth ei holl bechodau*] Gan edifarhau am danynt, a'u gadael, cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar; *a gwneuthur barn a chyfiawnder*—o hyny allan, fel y nodwyd adn. 5—9: *efe gan fyw a fydd byw*—er maint ei annuwioldeb blaenorol; *ni bydd efe marw*—o'r ail farwolaeth. Fel pe dywedasai, Yr wyf fi mor bell oddiwrth gospi mab dieuog am bechodau ei *dad*, fel na fydd i mi ei gospi ef hyd yn nod am ei bechodau *ei hun*, os bydd iddo edifarhau am danynt, a'u gadael.

Adn. 22. *Ni chofir iddo yr holl gamweddau a wnaeth*] Gymaint ag un o honynt, i'w gospi am dano: *yn ei gyfiawnder a wnaeth y bydd efe byw*—yn fy ffafr i yma, ac yn y nef gyda mi ar ol iddo farw.

Adn. 23. *Gan ewyllysio a ewyllysiwn i farw yr annuwiol, medd yr Arglwydd Dduw?*] A fyddai hyny o ryw ennill, anrhydedd, neu hyfrydwch i mi? *Ac na ddychwelai oddiwrth ei ffyrdd, a byw?*—sef byw bywyd o santeiddrwydd a defnyddioldeb ar y ddaear, a bywyd tragwyddol yn y nef. Fel pe dywedasai, Ai nid fy ewyllys i, yn hytrach, yw i ddynion edifarhau am eu pechodau, a dychwelyd ataf fi, a chael eu hachub? Onid hyn yw swm a sylwedd yr ysgrythyrau? Onid wyf fi yn galw yn ddifrifol ar ol pechaduriaid trwy fy nghenadau, ac yn ymryson â hwy yn barhaus trwy fy Ysbryd, gan addaw bywyd iddynt os dychwelant ataf fi, a'u bygwth â marwolaeth dragwyddol os na ddychwelant? Byddai yn annghyson â natur Duw y cariad, yr hwn sydd yn anfeidrol santaidd a thrugarog, fod iddo ewyllysio pechod a thrueni neb o'i greaduriaid; fod iddo ymhyfrydu wrth weled ei ddeddfau ei hun yn cael eu troseddu, hawliau ei lywodraeth yn cael eu sarnu, a'i greaduriaid ei hun, dros y rhai y bu ei Fab farw, yn cael eu cospi â marwolaeth dragwyddol. I'r gwrthwyneb, y mae efe yn 'ewyllysio bod pob dyn yn *gadwedig*, a'u dyfod i wybodaeth y gwirionedd,' 1 Tim. ii. 4; 'heb ewyllysio bod neb yn *golledig*, ond dyfod o bawb i edifeirwch,' 2 Pedr iii. 9. Yn ngwyneb yr ysgrythyrau hyn, a allwn ni feddwl fod Duw 'wedi arfaethu gadael y rhan fwyaf o ddynolryw i lygredd eu natur,' neu 'wedi arfaethu iddynt bechu, fel y gallai eu damnio hwy yn y diwedd!' Y mae yn wir fod Duw wedi penderfynu cospi pechaduriaid anedifeiriol; y mae ei gyfiawnder a'i santeiddrwydd, yn nghydag uniondeb ei lywodraeth, yn galw am hyny: eto y mae daioni ei natur yn peri iddo ewyllysio, yn hytrach o lawer, fod iddynt ddychwelyd o'u ffyrdd drwg, a byw; ac y mae yn annhraethol fwy dymunol ganddo i'w drugaredd gael ei gogoneddu yn eu hiachawdwriaeth, nag i'w gyfiawnder gael ei ogoneddu yn eu damnedigaeth. Am hyny y dywed, 'Nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw,' adn. 32. 'O na byddai gyfryw galon ynddynt i'm hofni i, ac i gadw fy holl orchymynion bob amser, fel y byddai da iddynt ac i'w plant yn dragwyddol!' gwel ar Deut. v. 29.

Adn. 24. *Ond pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder*] Dyma yr *ail achos*, at yr hwn y cyfeiriwyd yn y sylw ar adn. 20. Profwyd o'r blaen, yn y sylw ar pen. iii. 20, y gall y *cyfiawn* syrthio oddiwrth ras, a marw yn dragwyddol; ac y mae yr adnodau hyn, yn gystal a rhanau ereill o'r Hen Destament a'r Newydd, yn cadarnhau yr un gwirionedd. *A gwneuthur anwiredd*—ar ol bod o'r blaen yn gweithredu cyfiawnder. *A gwneuthur yn ol yr holl ffieidd-dra a wnelo yr annuwiol*—gan ladrata, tywallt gwaed, bwyta ar y mynyddoedd, &c., adn. 10—13. *A fydd efe byw?*—'bydd,' meddai rhai dynion: gwel *Calfin*, *Piscator*, *Toplady*, *&c.* Ond gwrandewch beth a ddywed Duw: *Ni chofir yr holl gyfiawnderau a wnaeth efe*—hyny yw, ni chofir hwynt er llesâd iddo; gan iddo 'ddychwelyd oddiwrthynt,' fel y dywedir uchod. *Yn ei gamwedd yr hwn a wnaeth, ac yn ei bechod a bechodd*—y rhai y parhaodd efe ynddynt hyd angau; *ynddynt y bydd efe marw*—ac o ganlyniad pa fodd y gall efe *fyw?* 'Canys gwell fuasai iddynt fod heb adnabod ffordd cyfiawnder, nag, wedi ei hadnabod, troi oddiwrth y gorchymyn santaidd, yr hwn a draddodwyd iddynt,' 2 Pedr ii. 21. 'Ond i'r fath ddynion cyfiawn,' fel y sylwa *Clarke*, 'bydd i'r diafol bob amser bregethu, 'Ni byddwch feirw ddim!' Cyffyrddwch, archwaethwch, a theimlwch; nis gellwch syrthio ymaith yn hollol!'

Adn. 25. *Eto chwi a ddywedwch, Nid cymhwys yw ffordd yr Arglwydd*] Nid yw yn iawn iddo gospi y *cyfiawn* gwrthgiliedig, nac achub yr *annuwiol* dychweledig. *Gwrandewch yr awr hon, tŷ Israel, onid yw gymhwys fy ffordd i*—neu fy ymddygiadau i

eich ffyrdd chwi nid ydynt gymhwys?

26 Pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, a marw ynddynt; am ei anwiredd a wnaeth y bydd efe marw.

27 A phan ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei ddrygioni yr hwn a wnaeth, a gwneuthur barn a chyfiawnder, hwnw a geidw yn fyw ei enaid.

28 Am iddo ystyried, a dychwelyd oddiwrth ei holl gamweddau y rhai a wnaeth, gan fyw y bydd byw, ni bydd marw.

29 Eto tŷ Israel a ddywedant, Nid cymhwys yw ffordd yr Arglwydd. Tŷ Israel, onid cymhwys fy ffyrdd i? onid eich ffyrdd chwi nid ydynt gymhwys?

30 Am hyny barnaf chwi, tŷ Israel, bob un yn ol ei ffyrdd ei hun, medd yr Arglwydd Dduw. Dychwelwch, a throwch oddiwrth eich holl gamweddau; fel na byddo anwiredd yn dramgwydd i chwi.

31 ¶ Bwriwch oddiwrthych eich holl gamweddau y camweddasoch ynddynt, a gwnewch i chwi galon newydd, ac ysbryd newydd: canys paham, tŷ Israel, y byddwch feirw?

32 Canys nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw, medd yr Arglwydd Dduw. Dychwelwch gan hyny, a byddwch fyw.

## PENNOD XIX.

CYMER dithau alarnad am dywysogion Israel,

---

at ddynion a fyddont yn gyfiawn neu yn ddrygionus yn *niwedd* eu hoes? *Onid eich ffyrdd chwi nid ydynt gymhwys*—sef eich meddyliau cyfeiliornus am uniondeb fy ffordd, a'ch dywediadau cableddus am fy ymddygiadau tuag at ddynion, yn nghyda'ch buchedd anaddas yn gyffredinol? Yr wyf fi yn sefyll eto at yr hyn a ddywedais yn adn. 24, gan chwanegu:—

Adn. 26. *Pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuthur anwiredd, a marw ynddynt*] Ac felly fyned i dragwyddoldeb heb edifarhau am ei bechodau: *am ei anwiredd a wnaeth y bydd efe marw*—yn ddiau, pa beth bynag a feddylioch chwi i'r gwrthwyneb, neu a ddywedoch am annghymhwysder y drefn.

Adn. 27. *A phan ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei ddrygioni yr hwn a wnaeth*] Gwel ar adn. 21; *a gwneuthur barn a chyfiawnder*—'a marw ynddynt,' fel y gellir ei gyflenwi o adn. 26: *hwnw a geidw yn fyw ei enaid*—hwnw a gedwir gan ddaioni a thrugaredd Duw rhag yr ail farwolaeth.

Adn. 28. *Am iddo ystyried*] Neu feddwl yn ddifrifol am ddrygedd ei bechod: *a dychwelyd oddiwrth ei holl gamweddau y rhai a wnaeth*—nid oddiwrth *rai*, ond oddiwrth yr *oll*, mewn edifeirwch am danynt a ffieiddiad o honynt: *gan fyw y bydd byw, ni bydd marw*—o'r ail farwolaeth: gwel ar adn. 21.

Adn. 29. *Eto tŷ Israel a ddywedant*] Gan ddal fyth at yr un golygiadau cyfeiliornus; *Nid cymhwys yw ffordd yr Arglwydd, &c.*—gwel ar adn. 25.

Adn. 30. *Am hyny barnaf chwi, tŷ Israel, bob un yn ol ei ffyrdd ei hun*] Yr hyn a fydd yn hollol yr un peth, gan y bydd i'r cyfiawn gael ei *achub*, a'r drygionus gael ei *golli*, adn. 20, 26, 27. *Dychwelwch*—Saes., 'edifarhewch,' *a throwch oddiwrth eich holl gamweddau*—oddiwrth eich ffyrdd annghymhwys eich hun, adn. 25; *fel na byddo anwiredd yn dramgwydd i chwi*—fel na byddo i chwi syrthio i ddinystr tragwyddol trwy eich anwiredd.

Adn. 31. *Bwriwch oddiwrthych eich holl gamweddau*] Eich tymherau pechadurus, eich geiriau cableddus, a'ch gweithredoedd drygionus oll: bwriwch hwynt oddiwrthych fel y bwriech neidr a fyddai yn dringo i'ch mynwes, neu wenwyn a roddid i chwi i'w yfed: ffieiddiwch a dirmygwch hwynt fel yr unig beth a'ch sudda i ddinystr tragwyddol. *A gwnewch iwch' galon newydd, ac ysbryd newydd*—trwy weddio yn daer ar Dduw am danynt, yr hyn ni wrthoda eu rhoddi i bawb a'u ceisiant yn gywir, difrifol, a ffyddiog: gwel ar pen. xi. 19. Y mae y geiriau hyn o'r un ystyr a'r gorchymyn a roddwyd i'r claf o'r parlys, 'Cyfod, cymer dy wely i fyny, a dos i'th dŷ,' Mat. ix. 6; ac i'r dyn oedd â'i law wedi gwywo, 'Estyn dy law,' Mat. xii. 13. Y dynion hyn, gan gredu y caent gymhorth gan yr hwn a orchymynai iddynt, a wnaethant ymgais i ufyddhau: a galluogwyd hwynt yn y fan i wneyd yr hyn a orchymynwyd iddynt. *Canys paham, tŷ Israel, y byddwch feirw?*—paham yr ewch yn wirfoddol i *uffern*, pan y mae modd i chwi fyned i'r *nef?* Paham y gwrthodwch dderbyn bywyd ar ammodau mor hawdd, ac y dewiswch farwolaeth dragwyddol er mwyn cael mwyniant pechod dros amser?

Adn. 32. *Canys nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw*] Cyfeirir yma nid at y rhai a *gedwir*, ond at y rhai a *gollir*, sef 'y MARW:' gwel ar adn. 23. *Dychwelwch gan hyny*—sef gan nad yw Duw yn ewyllysio eich marwolaeth; *a byddwch fyw*—hyny yw, byddwch fyw bywyd o santeiddrwydd a dedwyddwch yn y byd hwn, a bywyd tragwyddol yn y byd a ddaw.

PEN. XIX. Adn. 1. *Cymer dithau alar-*

2 A dywed, Beth *yw* dy fam?
llewes: gorweddodd yn mysg llew-
od, yn nghanol y llewod ieuainc y
maethodd hi ei chenawon.
3 A hi a ddyg i fyny un o'i
chenawon: efe a aeth yn llew ieu-
anc, ac a ddysgodd ysglyfaethu ys-
glyfaeth; bwytaodd ddynion.
4 Yna y cenhedloedd a glywsant
son am dano; daliwyd ef yn eu ffos
hwynt, a dygasant ef mewn cadwyn-
au i dir yr Aifft.
5 A phan welodd iddi ddysgwyl,
*a* darfod am ei gobaith, hi a gymer-
odd un *arall* o'i chenawon, *ac* a'i
gwnaeth ef yn llew ieuanc.
6 Yntau a dramwyodd yn mysg
y llewod; efe a aeth yn llew ieu-
anc, ac a ddysgodd ysglyfaethu ys
glyfaeth; bwytaodd ddynion.
7 Adnabu hefyd eu gweddwon
hwynt, a'u dinasoedd a anrheith-
iodd efe; *ie*, anrheithiwyd y tir a'i
gyflawnder gan lais ei ruad ef.
8 Yna y cenhedloedd a ymosod-
asant yn ei erbyn ef o amgylch o'r
taleithiau, ac a daenasant eu rhwyd
arno; ac efe a ddaliwyd yn eu ffos
hwynt.
9 A hwy a'i rhoddasant ef yn
ngharchar mewn cadwyni, ac a'i
dygasant at frenin Babilon: dyg-
asant ef i amddiffynfeydd, fel na
chlywid ei lais ef mwy ar fynydd-
oedd Israel.
10 ¶ Dy fam *sydd* fel gwinwydd-

---

*nad*] Y fath ag a genid mewn anghladdau; *am dywysogion Israel*—sef Joachaz, Joacim, Joacin, a Zedeciah.

Adn. 2. *A dywed, Beth yw dy fam?*] Wrth y 'fam' hon y dealla rhai Jerusalem, ac ereill Judea, neu y genedl Iuddewig. *Llewes*—tybia *Grotius* fod yma gyfeiriad at Gen. xlix. 9, lle y danghosir Juda dan y gyffelybiaeth o 'lew:' ac yr oedd Judea yn mysg y cenhedloedd fel llewes yn mysg bwystfilod y goedwig, yn gryf, penadurol, a chreulon. *Gorweddodd yn mysg llewod*—ymgynghreiriodd â brenhinoedd paganaidd, a dysgodd eu harferion hwy. *Yn nghanol y llewod ieuainc y maethodd hi ei chenawon*—y cenawon hyn oeddynt y tywysogion brenhinol, sef meibion Josiah; y rhai, er eu bod wedi disgyn oddiwrth dad rhinweddol, a ddysgasant oddiwrth y cenhedloedd amgylchynol fod yn falch a gorthrymus.

Adn. 3. *A hi a ddyg i fyny un o'i chenawon*] Sef Joachaz, yr hwn a wnaed yn frenin gan bobl y wlad ar ol marwolaeth ei dad Josiah. *Efe a aeth yn llew ieuanc*—yn frenin drygionus ac ysglyfaethus. *Bwytaodd ddynion*—Saes., 'difaodd' neu 'difrododd ddynion;' hyny yw, arferodd ei awdurdod mewn gormes, dinystr, a chreulondeb tuag at ei ddeiliaid.

Adn. 4. *Yna y cenhedloedd a glywsant son am dano*] Sef Pharao-Nechoh, brenin yr Aifft. *Daliwyd ef yn eu ffos hwynt*—fel anifel gwyllt mewn magl; *a dygwyd ef mewn cadwynau i dir yr Aifft*—lle y bu efe farw yn fuan: gwel ar 2 Bren. xxiii. 33.

Adn. 5. *A phan welodd iddi ddysgwyl*] Pan welodd yr Iuddewon iddynt ddysgwyl yn ofer am ddychweliad Joachaz; *a darfod am ei gobaith*—o'i gael ef yn ol i'r orsedd; *hi a gymerodd un arall o'i chenawon*—sef Joacim neu Jehoiacim; *ac a'i gwnaeth ef yn llew ieuanc*—yn frenin ar Judea, trwy gyfarwyddyd brenin yr Aifft, 2 Bren. xxiii. 34.

Adn. 6. *Yntau a dramwyodd yn mysg y llewod*] A efelychodd y brenhinoedd paganaidd creulon o'i amgylch. *Efe a aeth yn llew ieuanc, &c.*—yn frenin creulon fel Joachaz ei frawd, adn. 3.

Adn. 7. *Adnabu hefyd eu gweddwon hwynt*] Ar ol lladd y gwŷr i gael eu heiddo, efe a halogodd eu gweddwon hwynt; neu, yn ol y Saesonaeg, 'ac efe a adnabu eu *palasau* anghyfaneddol hwynt.' *A'u dinasoedd a anrheithiodd efe*—trwy godi trethi trymion i frenin yr Aifft. *Ie, anrheithiwyd y tir a'i gyflawnder gan lais ei ruad ef*—gan ei ddeddfau gorthrymus a'i fygythion llym.

Adn. 8. *Yna y cenhedloedd a ymosodasant yn ei erbyn ef*] Sef torfoedd o'r Caldeaid, y Syriaid, y Moabiaid, a'r Ammoniaid, 2 Bren. xxiv. 2; *ac a daenasant eu rhwyd arno*—i'w faglu a'i ddal.

Adn. 9. *A hwy a'i rhoddasant ef yn ngharchar*] Neu mewn cadwyni, ar ol iddo fod yn teyrnasu yn Jerusalem am un mlynedd ar ddeg; *ac a'i dygasant at frenin Babilon*—nid i Babilon, canys ymddengys iddo farw yn Jerusalem, Jer. xxii. 19; ond ato ef pan yr oedd yn blaenori y fyddin uchod ger Jerusalem; neu ynte rhwymwyd ef gyda bwriad i'w ddwyn i Babilon. *Dygasant ef i amddiffynfeydd*—o'r naill garchar i'r llall; *fel na chlywid ei lais ef mwy ar fynyddoedd Israel*—yn rhuo fel llew creulon. Ar farwol aeth Joacim daeth Joacin ei fab i'r orsedd, yr hwn a ddygwyd i Babilon ar ol bod yn teyrnasu dri mis, 2 Bren. xxiv. 6, &c.; a meddylir ei fod ef a Zedeciah yn cael eu cynwys yn y darluniad dammegol a geir yma, er na enwir hwynt.

Adn. 10. *Dy fam*] Gwel ar adn. 2; *sydd fel gwinwydden yn dy waed di*—hyny yw, yn ol rhai, 'sydd fel gwinwydden wedi ei phlanu wrth ddyfroedd, i gynyrchu *gwaed y gwinrawn*.' Tybia ereill mai cyfeiriad sydd yma at yr arferiad o roddi *gwaed* wrth wraidd y gwinwydd, i frasâu y ddaear. Y LXX a'i darllenant, 'sydd fel blodeuyn ar bomgranadwydd.' *Ffrwythlon a brigog oedd, o herwydd dyfroedd lawer*—fe allai mai yr ystyr yw, fod teyrnas Juda, yn nechre teyrnasiad

en yn dy waed di, wedi ei phlanu wrth ddyfroedd: ffrwythlon a brigog oedd, o herwydd dyfroedd lawer.

11 Ac yr oedd iddi wiail cryfion yn deyrnwiail llywodraethwyr, a'i huchder *oedd* uchel yn mysg y tewfrig: fel y gwelid hi yn ei huchder yn amlder ei changhenau.

12 Ond hi a ddiwreiddiwyd mewn llidiogrwydd, bwriwyd hi i'r llawr, a gwynt y dwyrain a wywodd ei ffrwyth hi: ei gwiail cryfion hi a dorwyd ac a wywasant; tân a'u hysodd.

13 Ac yr awr hon hi a blanwyd mewn anialwch, mewn tir cras a sychedig.

14 A thân a aeth allan o wialen ei changhenau, ysodd ei ffrwyth hi, fel nad oedd ynddi wialen gref yn deyrnwialen i lywodraethu. Galarnad *yw* hwn, ac yn alarnad y bydd.

## PENNOD XX.

YN y seithfed flwyddyn, o fewn y pummed *mis*, ar y degfed *dydd* o'r mis, y daeth gwŷr o henuriaid Israel i ymgynghori â'r Arglwydd, ac a eisteddasant ger fy mron i.

2 Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

3 Ha fab dyn, llefara wrth henuriaid Israel, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Ai i ymofyn â mi yr ydych chwi yn dyfod? *Fel* mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni fynaf genych ymofyn â mi.

4 A ferni di hwynt, mab dyn, a ferni di hwynt? gwna iddynt wybod ffieidd-dra eu tadau:

5 ¶ A dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Ar

---

Zedeciah, yn flodeuog a ffrwythlon, pryd yr oedd y dinasoedd anrheithiedig yn cael eu hadeiladu drachefn, a phob peth yn myned yn mlaen yn llwyddiannus.

Adn. 11. *Ac yr oedd iddi wiail cryfion yn deyrnwiail llywodraethwyr*] Yr oedd gan Zedeciah lawer o feibion grymus, addas i fod yn frenhinoedd; *a'i huchder oedd uchel yn mysg y tewfrig*—sef yn mysg y brenhinoedd a'r tywysogion cymydogaethol; *fel y gwelid hi yn ei huchder yn amlder ei changhenau*—hyny yw, yr oedd yn ymddangos yn fawreddog, uchel, a balch, hi a'i meibion.

Adn. 12. *Ond hi a ddiwreiddiwyd mewn llidiogrwydd, &c.*] Yr oedd Duw wedi digio wrth Zedeciah a'i bobl o herwydd eu pechodau, fel y rhoddodd efe hwynt yn llaw y Caldeaid, nes llwyr ddymchwelyd brenhiniaeth Juda. *Gwynt y dwyrain a wywodd ei ffrwyth hi*—gwel ar pen. xvii. 10. *Ei gwiail cryfion hi a dorwyd*—sef meibion Zedeciah, y rhai a laddwyd gan y Caldeaid, 2 Bren. xxv. 7. *Tân a'u hysodd*—sef y digofaint dwyfol, yr hwn a gyffelybir yn aml i dân yn ysu coed crin.

Adn. 13. *Ac yr awr hon hi a blanwyd mewn anialwch*] Cafodd rhan fawr o'r genedl eu gosod yn Caldea; *mewn tir cras a sychedig*—mewn lle anfanteisiol i gynydd a dedwyddwch yr Iuddewon. Er fod Caldea yn wlad ffrwythlon ynddi ei hun, eto yr oedd i'r Iuddewon megys anialwch erchyll.

Adn. 14. *A thân a aeth allan o wialen ei changhenau, &c.*] Hyn a ddywedir am Zedeciah yn tori ei lw â brenin Babilon, yr hyn a fu yn achos o ddinystr y teulu brenhinol, a llwyr derfyniad y frenhiniaeth a'r wladwriaeth: gwel ar pen. xvii. 15, &c. *Galarnad yw hon*—y mae hyn oll yn destyn galarnad; *ac yn alarnad y bydd*—am oesoedd lawer. Yn wir y mae hyn yn achos o alarnad chwerw i bob Iuddew hyd heddyw.

PEN. XX. Adn. 1. *Yn y seithfed flwyddyn*] O deyrnasiad Zedeciah, ac o gaethiwed Joacin ac Ezeciel; *y daeth gwŷr o henuriaid Israel*—ond odid o Jerusalem i Caldea; *i ymgynghori â'r Arglwydd*—trwy y proffwyd, yn nghylch achosion y genedl; *ac a eisteddasant ger fy mron i*—gwel ar pen. viii. 1, a xiv. 1.

Adn. 2. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] I'm cyfarwyddo pa beth i'w ddywedyd wrthynt.

Adn. 3. *Ha fab dyn, llefara wrth henuriaid Israel*] Oddiwrthyf fi; *Ai i ymofyn â mi yr ydych chwi yn dyfod?*—gwyddai Duw eu neges, eithr gwyddai hefyd am eu drygioni a'u rhagrith hwy; ac am hyny efe a ddywed, *Fel mai byw fi*—cyn sicred a'm bod yn fyw, *ni fynaf genych ymofyn â mi*—ni roddaf un hysbysrwydd i chwi yn nghylch y pethau ag y daethoch ataf o'u plegid; neu, ni chewch y fath atebiad genyf ag a chwennychwch.

Adn. 4. *A ferni di hwynt, mab dyn, a ferni di hwynt?*] Fel pe dywedasai, Os wyt ti, O broffwyd, am ymddyddan â hwynt; *gwna iddynt wybod ffieidd-dra eu tadau*—felly y mae yr holl bennod hon yn ddarluniad o anffyddlondeb, anniolchgarwch, gwrthryfel, ac eilunaddoliaeth yr Iuddewon o'r amseroedd boreaf hyd y dydd hwnw. Ond y mae rhai yn ei ddarllen, 'Oni ferni di hwynt?' hyny yw, oni fydd i ti eu ceryddu a'u condemnio hwynt, a chyhoeddi fy marnedigaethau i arnynt?

Adn. 5. *A dywed wrthynt*] O'm genau i; *Ar y dydd y dewisais Israel*—yn nhir yr Aifft, gan dyngu llw o ffyddlondeb iddynt fel eu Duw cyfammodol; *ac y'm gwnaethym yn hysbys iddynt*—trwy ymddangos i Moses, neu

y dydd y dewisais Israel, ac y
tyngais wrth had tŷ Jacob, ac y'm
gwnaethym yn hysbys iddynt yn
nhir yr Aifft, pan dyngais wrthynt,
gan ddywedyd, Myfi *yw* yr Ar-
glwydd eich Duw chwi;
6 Yn y dydd y tyngais wrthynt
a'r eu dwyn hwynt allan o dir yr
Aifft, i wlad yr hon a ddarparaswn
iddynt, yn llifeirio o laeth a mêl;
yr hon *yw* gogoniant yr holl dir-
oedd:
7 Yna y dywedais wrthynt, Bwr-
iwch ymaith bob un ffieidd-dra ei
lygaid, ac nac ymhalogwch âg ei-
lunod yr Aifft. Myfi *yw* yr Ar-
glwydd eich Duw chwi.
8 Er hyny gwrthryfelasant i'm
herbyn, ac ni fynent wrando arnaf:
ni fwriasant ymaith ffieidd-dra eu
llygaid bob un, ac ni adawsant
eilunod yr Aifft. Yna y dywedais,
Tywalltaf arnynt fy llidiogrwydd, i
gyflawni fy llid arnynt yn nghanol
gwlad yr Aifft.
9 Eto gwnaethym er mwyn fy
enw, rhag ei halogi yn nghanol y
cenhedloedd y rhai *yr oeddynt* hwy
yn eu mysg; yn ngwydd pa rai yr
ymhysbysais iddynt hwy, wrth eu
dwyn hwynt allan o dir yr Aifft.
10 ¶ Am hyny y dygais hwynt
allan o dir yr Aifft, ac a'u dygais
hwynt i'r anialwch.
11 A rhoddais iddynt fy neddfau,
a hysbysais iddynt fy marnedig-
aethau; y rhai y bydd byw ynddynt
y dyn a'u gwna hwynt.
12 Rhoddais hefyd iddynt fy
sabbothau, i fod yn arwydd rhyngof
fi a hwynt, i wybod mai myfi *yw* yr
Arglwydd a'u santeiddiodd hwynt.
13 Er hyny tŷ Israel a wrthryfel-
asant i'm herbyn yn yr anialwch:

---

trwy wneyd gwyrthiau i'w gwaredu oddiyno, a'u dwyn i Ganaan, gwlad yn llifeirio o laeth a mêl.

Adn. 6. *Yr hon yw gogoniant yr holl diroedd*] Ar gyfrif ei ffrwythlondeb, ac yn enwedig ei breintiau gwladol a chrefyddol.

Adn. 7. *Yna y dywedais wrthynt, Bwriwch ymaith bob un ffieidd-dra ei lygaid*] Sef eilunod yr Aifft, ar y rhai y carent edrych, ac ymhalogi â hwynt. *Myfi yw yr Arglwydd eich Duw chwi*—yr hwn yn unig y dylech ei addoli.

Adn. 8. *Er hyny gwrthryfelasant i'm herbyn*] Trwy ymlynu fyth wrth eilunod yr Aifft. *Yna y dywedais*—tra yr oeddynt hwy eto yn yr Aifft, *Tywalltaf arnynt fy llidiogrwydd*—nid oes genym hanes am y bygythiad hwn yn yr ysgrythyrau, ond y mae yn eglur oddiyma ddarfod ei gyhoeddi.

Adn. 9. *Eto gwnaethym er mwyn fy enw*] Arbedais hwynt er mwyn fy ngogoniant fy hun; *rhag ei halogi yn ngolwg y cenhedloedd*—rhag i'r Aifftiaid feddwl nad oeddwn yn alluog i gyflawni yr hyn a addawswn i'm pobl.

Adn. 10. *Am hyny y dygais hwynt allan o dir yr Aifft*] Trwy hollti y môr coch o'u blaen; *ac y dygais hwynt i'r anialwch*—i roddi iddynt yno ddeddfau a barnedigaethau uniawn a da.

Adn. 11. *Y rhai y bydd byw ynddynt y dyn a'u gwna hwynt*] A'u cadwo yn fanwl a pherffaith trwy ei holl oes. Ond pa fodd y cysonir hyn â'r hyn a ddywed yr apostol, Rhuf. iii. 20, 'Trwy weithredoedd y ddeddf ni chyfiawnheir un cnawd yn ei olwg ef?' Gellir cysoni hyn amrai ffyrdd: (1) Y mae yr apostol yn sylfaenu ei haeriad ef ar y tir fod pawb yn *bechaduriaid*, adn. 23; ac o ganlyniad nis gallai ufydd-dod i'r ddeddf o hyn allan, gyfiawnhau dyn oddiwrth y pechodau a wnaethid o'r blaen, adn. 25: tra y mae y proffwyd yma yn son am gadwraeth fanwl o'r ddeddf o ddechre oes dyn i'w diwedd, heb iddo ballu mewn un pwnc; ac felly nid allai y ddeddf gondemnio yr hwn ni throseddodd hi erioed, pe byddai un felly i'w gael. Neu, (2) Gan fod pawb yn *bechaduriaid*, fel y dywed yr apostol, rhaid i ni edrych ar eiriau y proffwyd fel yn cyfeirio at ufydd-dod i'r ddeddf seremonïol yn gystal a'r ddeddf foesol, yr hon oedd eu 'hathraw hwynt at Grist,' a'r hon a'u dysgai hwynt i edrych trwy ffydd arno ef, gan ymddiried ynddo, a chael bywyd trwyddo ef yn unig: gwel ar Lef. xviii.5. Neu ynte, (3) Y mae y proffwyd yn cyfeirio at fywyd o ddedwyddwch, digonoldeb, a llwyddiant yn ngwlad Canaan, yr hyn a addewid iddynt ar yr ammod o ufydd-dod i ddeddfau Duw: gwel ar Lef. xxvi. 3, &c., Deut. iv. 40, a vi. 3, 18.

Adn. 12. *Rhoddais hefyd iddynt fy sabbothau*] Cyfeirir yn benaf at y sabbothau wythnosol, er y tybia rhai y gallant fod yn cynwys hefyd y flwyddyn sabbothol, a'r gŵyliau gosodedig, ar y rhai ni wneid dim gwaith; *i fod yn arwydd rhyngof fi a hwynt*—eu bod hwy yn bobl i mi, a minau yn Dduw iddynt hwythau; neu i fod yn arwydd coffaol o greadigaeth y byd mewn chwe diwrnod, o'u dygiad hwy o'r Aifft, ac o'r orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw: gwel ar Deut. v. 15. *I wybod mai myfi yw yr Arglwydd a'u santeiddiodd hwynt*—neu a'u neillduodd hwynt i'm gwasanaethu i mewn santeiddrwydd a chyfiawnder holl ddyddiau eu bywyd.

Adn. 13. *Er hyny tŷ Israel a wrthryfelasant i'm herbyn yn yr anialwch*] Trwy anufyddhau i'm deddfau, a diystyru fy marnedigaethau, a halogi fy sabbothau. *Yna y dywedais y tywalltwn fy llid arnynt*—i'w dyfetha yn yr anialwch.

ni rodiasant yn fy neddfau, ond diystyrasant fy marnedigaethau, y rhai y bydd byw ynddynt y dyn a'u gwnelo hwynt; fy sabbothau hefyd a halogasant yn ddirfawr. Yna y dywedais y tywalltwn fy llid arnynt yn yr anialwch, i'w dyfetha hwynt.

14 Eto, gwnaethym er mwyn fy enw, fel na halogid ef yn ngolwg y cenhedloedd, y rhai y dygais hwynt allan yn eu gwydd.

15 Ac eto mi a dyngaswn iddynt yn yr anialwch, na ddygwn hwynt i'r wlad a roddaswn *iddynt*, yn llifeirio o laeth a mêl; hòno *yw* gogoniant yr holl wledydd:

16 O herwydd iddynt ddiystyru fy marnedigaethau, ac na rodiasant yn fy neddfau, ond halogi fy sabbothau: canys eu calon oedd yn myned ar ol eu heilunod.

17 Eto tosturiodd fy llygaid wrthynt rhag eu dinystrio, ac ni wnaethym ddiben am danynt yn yr anialwch.

18 Ond mi a ddywedais wrth eu meibion hwynt yn yr anialwch, Na rodiwch yn neddfau eich tadau, ac na chedwch eu barnedigaethau hwynt, nac ymhalogwch chwaith â'u heilunod hwynt.

19 Myfi *yw* yr Arglwydd eich Duw chwi; rhodiwch yn fy neddfau, a chedwch fy marnedigaethau, a gwnewch hwynt:

20 Santeiddiwch hefyd fy sabbothau; fel y byddont yn arwydd rhyngof fi a chwithau, i wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd eich Duw chwi.

21 Y meibion hwythau a wrthryfelasant i'm herbyn: yn fy neddfau ni rodiasant, a'm barnedigaethau ni chadwasant trwy eu gwneuthur hwynt, y rhai y bydd byw ynddynt y dyn a'u gwnelo hwynt: halogasant fy sabbothau: yna y dywedais y tywalltwn fy llid arnynt, i gyflawni fy nig wrthynt yn yr anialwch.

22 Eto troais heibio fy llaw, a gwnaethym er mwyn fy enw, fel na halogid ef yn ngolwg y cenhedloedd y rhai y dygaswn hwynt allan yn eu gwydd.

23 Hefyd mi a dyngaswn wrthynt yn yr anialwch, ar eu gwasgaru hwynt yn mysg y cenhedloedd, a'u taenu hwynt ar hyd y gwledydd;

24 O herwydd fy marnedigaethau ni wnaethent, ond fy neddfau a ddiystyrasent, fy sabbothau hefyd a halogasent, a'u llygaid oedd ar ol eilunod eu tadau.

25 Minau hefyd a roddais iddynt ddeddfau nid *oeddynt* dda, a barnedigaethau ni byddent fyw ynddynt:

---

Adn. 14. *Eto gwnaethym er mwyn fy enw*] Gwnaethym eu harbed hwynt, neu beidio eu dyfetha: gwel ar adn. 9.

Adn. 15. *Ac eto mi a dyngaswn iddynt yn yr anialwch*] Er na ddyfethwn hwynt y pryd hyny, *na ddygwn hwynt i'r wlad a roddaswn iddynt*—hyny yw, efe a dyngodd y difeddiannai efe hwynt o Ganaan, er na ddyfethai efe eu bywydau. *Gogoniant yr holl wledydd*—gwel ar adn. 6.

Adn. 16. *Canys eu calon oedd yn myned ar ol eu heilunod*] Yr hyn oedd yr achos o'u diystyrwch o'm barnedigaethau, a'u halogiad o'm sabbothau.

Adn. 17. *Eto tosturiodd fy llygaid wrthynt rhag eu dinystrio*] Fel ag i roddi iddynt ddienoediad, hyd yn nod ar ol cyhoeddi eu dedfryd.

Adn. 18. *Ond mi a ddywedais wrth eu meibion hwynt*] I'r rhai y bwriadwn roddi yr etifeddiaeth a fforffetiasai eu tadau; *Na rodiwch yn neddfau eich tadau*—sef yn ol eu pechodau a'u heilunaddoliaeth hwy.

Adn. 19. *Rhodiwch yn fy neddfau, &c.*] Cyfeirir yma at y gynghorion a'r addysgiadau pwysig a roddwyd i blant Israel yn Deut. xxix—xxxii, y rhai a draethwyd ar ol i'r genhedlaeth wrthryfelgar hòno gwympo yn yr anialwch.

Adn. 20. *Santeiddiwch hefyd fy sabbothau, &c.*] Gwel ar adn. 12.

Adn. 21. *Y meibion hwythau a wrthryfelasant i'm herbyn, &c.*] Yn union fel y gwnaethai eu tadau, adn. 13.

Adn. 22. *Eto troais heibio fy llaw*] Yr hon a godaswn i'w taraw hwynt; *a gwnaethym er mwyn fy enw*—arbedais hwynt er gogoniant i'm henw: gwel ar adn. 9, 14.

Adn. 23. *Hefyd mi a dyngaswn wrthynt yn yr anialwch*] Pan oeddynt ar fin myned i Ganaan; *ar eu gwasgaru hwynt yn mysg y cenhedloedd*—y byddai i mi eu gwasgaru hwynt i blith y cenhedloedd os byddai iddynt bechu i'm herbyn: gwel ar Deut. xxxii. 20—27. Cyflawnwyd hyn mewn rhan yn eu caethgludiad hwy i Assyria a Babilon, ac yn llwyrach yn eu gwasgariad olaf hwynt gan y Rhufeiniaid.

Adn. 24. *O herwydd fy marnedigaethau ni wnaethent, &c.*] Gwel ar adn: 13, 16.

Adn. 25. *Minau hefyd a roddais iddynt ddeddfau nid oeddynt dda, &c.*] Fel gosp gyfiawn am eu hanufydd-dod i'm deddfau i, rhoddais hwynt i fyny i feddyliau a defodau

26 Ac a'u halogais hwynt yn eu
hoffrymau, wrth dynu *trwy dân*
bob peth a agoro y groth, fel y di-
nystriwn hwynt; fel y gwybyddent
mai myfi *yw* yr Arglwydd.
27 ¶ Am hyny, fab dyn, llefara
wrth dŷ Israel, a dywed wrthynt,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Eto yn hyn y'm cablodd
eich tadau, gan wneuthur o honynt
gamwedd i'm herbyn.
28 Canys dygais hwynt i'r tir a
dyngaswn ar ei roddi iddynt, a
gwelsant bob bryn uchel, a phob
pren brigog; ac aberthasant yno
eu hebyrth, ac yno y rhoddasant eu
hoffrymau digllonedd: yno hefyd
y gosodasant eu harogl peraidd, ac
yno y tywalltasant eu diod-offrym-
au.
29 Yna y dywedais wrthynt,
Beth *yw* yr uchelfa yr ydych chwi
yn myned iddi? a Bamah y galwyd
ei henw hyd y dydd hwn.
30 Am hyny dywed wrth dŷ Is-
rael, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Ai ar ffordd eich tadau yr
ymhalogwch chwi? ac a buteiniwch
chwi ar ol eu ffieidd-dra hwynt.
31 Canys pan offrymoch eich off-
rymau, gan dynu eich meibion trwy
y tân, yr ymhalogwch wrth eich
holl eilunod hyd heddyw: a fynaf
fi genych ymofyn â mi, tŷ Israel?
*Fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd
Dduw, nid ymofynir â mi genych.
32 Eich bwriad hefyd ni bydd
ddim, yr hyn a ddywedwch, Bydd-
wn fel y cenhedloedd, fel teuluoedd
y gwledydd, i wasanaethu pren a
maen.
33 ¶ *Fel mai* byw fi, medd yr
Arglwydd Dduw, yn ddiau â llaw
gadarn, ac â braich estynedig, ac â
llidiogrwydd tywalltedig, y teyrn-
asaf arnoch.
34 A dygaf chwi allan yn mysg
y bobloedd, a chasglaf chwi o'r
gwledydd y rhai y'ch gwasgarwyd
ynddynt, â llaw gadarn, ac â braich

---

annghymeradwy, gan *oddef* iddynt gael eu dallu gan arferion eilunaddolgar y cenhedloedd o'u hamgylch, a hyny am iddynt wrthod fy neddfau a'm barnedigaethau daionus i, trwy y rhai y gallasent fyw yn ddedwydd yn Nghanaan: gwel ar adn. 11.

Adn. 26. *Ac a'u halogais hwynt yn eu hoffrymau*] Goddefais iddynt ymhalogi trwy eu hoffrymau gwaedlyd; *wrth dynu trwy dân bob peth a agoro y groth*—wrth iddynt offrwm eu cyntafanedigion yn ebyrth i Moloch, y rhai a ddylasent gael eu cysegru i mi, Exod. xiii. 2; *fel y dinystriwn hwynt*—lawer o honynt yn y ffordd hòno, ac fel y byddent yn fwy addfed i ddinystr cyffredinol os nad edifarhäent; *fel y gwybyddent mai myfi yw yr Arglwydd*—felly amcan Duw yn ninystr rhai o honynt oedd llesâd cyffredinol y genedl; neu fel y byddai iddynt weled fy rhagoriaeth i ar eu duwiau dyeithr eu hunain.

Adn. 27. *Eto yn hyn y'm cablodd eich tadau*] Neu y 'dianrhydeddasant' fi; *gan wneuthur o honynt gamwedd i'm herbyn*—trwy eu heilunod.

Adn. 28. *Canys dygais hwynt i'r tir*] Sef i Ganaan; *a gwelsant bob bryn uchel*—fel lleoedd cyfaddas i offrymu eu hebyrth, yn ol arferion y cenhedloedd paganaidd; *ac aberthasant yno eu hebyrth*—os ebyrth i'r Arglwydd a feddylir, yr oedd hyny yn feius ynddynt, am y dylasent eu dwyn i gynteddau y tabernacl; ond y mae yn debyg mai ebyrth i'w duwiau a feddylir: *ac yno y rhoddasant eu hoffrymau digllonedd*—trwy y rhai y cynhyrfent yr Arglwydd i ddigllonedd yn eu herbyn.

Adn. 29. *Beth yw yr uchelfa yr ydych chwi yn myned iddi?*] Neu beth yr ydych chwi yn ei feddwl wrth fyned iddi? *A Bamah*—hyny yw, 'yr uchelfa,' *y galwyd ei henw hyd y dydd hwn*—i'r dyben i'w nodi â gwarth.

Adn. 30. *Ai ar ffordd eich tadau yr ymhalogwch chwi*] Neu yn yr un ffordd a'ch tadau? *ac a buteiniwch chwi yn ol eu ffieidd-dra hwynt*—sef trwy yr un fath eilunaddoliaeth ffiaidd?

Adn. 31. *Canys pan offrymoch eich offrymau*] I'ch eilunod; *gan dynu eich meibion trwy'r tân*—i Baal neu Moloch, pen. xvi. 20, 21; *yr ymhalogwch wrth eich holl eilunod hyd heddyw*—yr ydych yn eich gwneuthur eich hunain yn halogedig a ffiaidd yn fy ngolwg i. *A fynaf fi genych ymofyn â mi?*—a ydyw yn weddus i chwi ddyfod i ymofyn â mi, yr hwn a wrthodir genych mor ddigywilydd? *Fel mai byw fi, &c.*—gwel ar adn. 3.

Adn. 32. *Eich bwriad hefyd*] Sef eu bwriad o ymgorffori â'r cenhedloedd fel un bobl, ac o addoli yr un duwiau; *ni bydd ddim*—a ddaw i'r dim, neu a rwystrir rhag cymeryd lle.

Adn. 33. *Yn ddiau â llaw gadarn, &c.*] Fel pe dywedasai, Ni cheisiaf eich adfer chwi mwyach trwy foddion tyner, ond bydd i mi eich dysgyblu neu eich llywodraethu â cheryddon llym, fel y gwna meistr â'i weision ystyfnig, i'r dyben i'ch gwaredu oddiwrth eich tueddiadau eilunaddolgar.

Adn. 34. *A dygaf chwi allan yn mysg y bobloedd, &c.*] Neu '*o'u* mysg.' Yr oedd llawer o'r Iuddewon wedi ffoi at yr Aifftiaid, yr Ammoniaid, a'r Moabiaid, cyn y caethiwed Babilonaidd, gan feddwl y byddent yn ddiogel yno trwy ymuno yn addoliad eu duwiau hwy; ond dygai Duw hwynt allan oddiyno, i'w gyru i Babilon.

estynedig, ac â llidiogrwydd ty-
walltedig.
35 A dygaf chwi i anialwch y
bobloedd, ac ymddadleuaf â chwi
yno wyneb yn wyneb.
36 Fel yr ymddadleuais â'ch tad-
au yn anialwch tir yr Aifft, felly yr
ymddadleuaf â chwithau, medd yr
Arglwydd Dduw.
37 A gwnaf i chwi fyned dan y
wialen, a dygaf chwi i rwym y cyf-
ammod.
38 A charthaf o honoch y rhai
gwrthryfelgar, a'r rhai a drosedd-
ant i'm herbyn: dygaf hwynt o
wlad eu hymdaith, ac i wlad Israel
ni ddeuant: a chewch wybod mai
myfi *yw* yr Arglwydd.
39 Chwithau, tŷ Israel, fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Ewch,
gwasanaethwch bob un ei eilunod,
ac ar ol hyn *hefyd,* oni wrandewch
arnaf fi: ond na halogwch mwy fy
enw santaidd â'ch offrymau ac â'ch
eilunod.
40 Canys yn fy mynydd santaidd,
yn mynydd uchelder Israel, medd
yr Arglwydd Dduw, yno y'm gwas-
anaetha holl dŷ Israel, cwbl o'r
wlad: yno y byddaf foddlon iddynt,
ac yno y gofynaf eich offrymau, a
blaenffrwyth eich offrymau, gyd-
a'ch holl santaidd bethau.
41 Byddaf foddlon i chwi gyda'ch
arogl peraidd, pan ddygwyf chwi
allan o blith y bobloedd, a'ch casglu
chwi o'r tiroedd y'ch gwasgarwyd
ynddynt; a mi a santeiddir ynoch
yn ngolwg y cenhedloedd.
42 Hefyd cewch wybod mai myfi

---

Adn. 35. *A dygaf chwi i anialwch y bobloedd*] I barthau anial Caldea fe allai, neu i gyflwr adfydus fel y lleill o bobl Israel; *ac ymddadleuaf â chwi yno wyneb yn wyneb*—trwy eich cospi yn y fath fodd ag a'ch argyhoedda o'm cyfiawnder i a'ch drygioni chwithau.

Adn. 36. *Fel yr ymddadleuais â'ch tadau*] Trwy eu cospi yn drwm am eu pechodau, *yn anialwch tir yr Aifft*—sef yn yr anialwch ag oedd yn ffinio â thir yr Aifft, neu yr hwn oedd ar y ffordd o'r Aifft i Ganaan.

Adn. 37. *A gwnaf iwch' fyned dan y wialen*] Sef y wialen geryddol, fel y mae rhai yn ei deall: ond dywed y rabbiniaid fod yma gyfeiriad at yr arferiad o ddegymu defaid, trwy nodi y ddegfed â gwialen wedi ei throchi mewn *vermilion*, neu liw coch: gwel ar Lef. xxvii. 32, 33. Neu, mi a'ch *nodaf* chwi, fel y noda bugail ei ddefaid. *A dygaf chwi i rwym y cyfammod*—hyny yw, darostyngaf chwi trwy y moddion hyn i'r ufydd-dod hwnw ag sydd ddyledus oddiwrthych fel fy mhobl gyfammodol. Neu, efe a ymddygai atynt yn ol ammodau y cyfammod, trwy wobrwyo y da a chospi y drwg.

Adn. 38. *A charthaf o honoch y rhai gwrthryfelgar*] Trwy eu dyfetha, fel y dyfethais eu tadau gwrthryfelgar yn yr anialwch. *Dygaf hwynt o wlad eu hymdaith*—sef o wlad Judea, i'w gyru i Babilon; *ac i wlad Israel ni ddeuant*—ni ddychwelant iddi byth mwyach. Ond fe allai mai at y rhai a ffoisent i'r Aifft a manau ereill y cyfeirir, yr hon a elwir yma yn 'wlad eu hymdaith:' gwel ar adn. 34, Jer. xliii. 11, a xliv. 12.

Adn. 39. *Chwithau, tŷ Israel*] Y rhai ydych mor chwannog i eilunaddoliaeth; *ewch, gwasanaethwch bob un ei eilunod*—yn bresenol, gan mai hyny a fynwch ei wneuthur; *ac ar ol hyn hefyd, oni wrandewch arnaf fi*—a pharhewch i wneuthur hyny, os ydych yn penderfynu peidio ufyddhau i mi, na'm haddoli i yn unig. *Ond na halogwch mwy fy enw santaidd â'ch offrymau ac â'ch eilunod*—ymddengys fod yr Iuddewon eilunaddolgar yn addoli Duw ar yr un pryd a'u heilunod, neu yn ei addoli ef ynddynt, ac yn offrymu eu hebyrth iddo ef trwyddynt hwy; ac felly yr oeddynt yn defnyddio ei enw ef fel gorchudd dros eu heilunaddoliaeth. Ond, meddai Duw, na fydded i chwi halogi fy enw i mwyach yn y ffordd hòno; neu, na chymerwch fy enw santaidd i mwyach yn eich gwefusau halogedig. Ond tybia rhai mai rhagfynegiad yw diwedd yr adnod am adferiad Israel; a darllenant y geiriau fel hyn: 'Eto ar ol hyn chwi a wrandewch yn ddiau arnaf fi, ac ni halogwch mwy fy enw santaidd â'ch offrymau ac â'ch eilunod.'

Adn. 40. *Canys yn fy mynydd santaidd*] Sef mynydd Seion, yr hwn a ystyrid yn santaidd, am i Dduw ei neillduo ef i adeiladu ei deml arno; *yn mynydd uchelder Israel*—gwel ar pen. xvii. 23; *yno y'm gwasanaetha holl dŷ Israel*—ar eu dychweliad o Babilon. Ond tybia *Lowth* ac ereill mai cyfeiriad sydd yma at ddychweliad yr Iuddewon i'r eglwys Gristionogol. *Ac yno y gofynaf eich offrymau, &c.*—os yw hyn yn cyfeirio at ddyddiau yr efengyl, rhaid i ni ddeall y proffwyd yn llefaru am bethau Cristionogol mewn iaith berthynol i'r addoliad Iuddewig: gwel ar Esay lvi. 7.

Adn. 41. *Byddaf foddlon i chwi gyda'ch arogl peraidd*] Sef gyda'ch gwasanaeth grefyddol; *pan ddygwyf chwi allan o blith y bobloedd*—sef o blith y Babiloniaid i Judea, neu o blith yr holl genhedloedd i'r eglwys Gristionogol: *a mi a santeiddir ynoch yn ngolwg y cenhedloedd*—yn eich ufydd-dod manwl chwi i'm gorchymynion i, ac yn fy naioni inau i chwithau.

Adn. 42. *Hefyd cewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Neu chwi a gydnabyddwch mai myfi yw Jehofa; *pan ddygwyf chwi i*

*yw* yr Arglwydd, pan ddygwyf
chwi i dir Israel, i'r tir y tyngais
am ei roddi i'ch tadau.
43 Ac yno y cofiwch eich ffyrdd,
a'ch holl weithredoedd y rhai yr
ymhalogasoch ynddynt; fel yr
alaroch arnoch eich hun am yr
holl ddrygioni a wnaethoch.
44 A chewch wybod mai myfi *yw*
yr Arglwydd, pan wnelwyf â chwi
er mwyn fy enw, nid yn ol eich
ffyrdd drygionus chwi, nac yn ol
eich gweithredoedd llygredig, O tŷ
Israel, medd yr Arglwydd Dduw.
45 ¶ Daeth drachefn air yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd,
46 Gosod dy wyneb, fab dyn, tua'r
deau, ïe, dyfera *eiriau* tua'r deau,
a phroffwyda yn erbyn coed maes
y deau;
47 A dywed wrth goed y deau,
Gwrando air yr Arglwydd: Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Wele fi yn cyneu ynot ti dân, ac efe
a ysa ynot ti bob pren îr, a phob
pren sych: fflagl y fflam ni ddiffydd,
a'r holl wynebau o'r deau hyd y
gogledd a losgir ynddo.
48 A phob cnawd a welant mai
myfi yr Arglwydd a'i cyneuais:
nis diffoddir ef.
49 Yna y dywedais, O Arglwydd
Dduw, y maent hwy yn dywedyd
am danaf, Onid dammegion y mae
hwn yn eu traethu?

## PENNOD XXI.

A DAETH gair yr Arglwydd ataf,
gan ddywedyd,
2 Gosod dy wyneb, fab dyn, tua
Jerusalem, a dyfera *dy eiriau* tua'r
cysegroedd, a phroffwyda yn erbyn
gwlad Israel,
3 A dywed wrth wlad Israel, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd; Wele
fi i'th erbyn, tynaf hefyd fy
nghleddyf o'i wain, a thoraf o honot
gyfiawn ac annghyfiawn.

---

*dir Israel*—sef i Judea, neu i wlad Canaan. Cyfeirir yma at eu gwaredigaeth o Babilon yn unig.

Adn. 43. *Ac yno y cofiwch eich ffyrdd*] Eich eilunaddoliaeth a'ch holl bechodau ereill; *fel yr alaroch arnoch eich hun*—fel y byddo yn ffiaidd genych chwychwi eich hunain wrth gofio am yr holl ddrygioni a wnaethoch.

Adn. 44. *A chewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Gwel ar adn. 42; *pan wnelwyf â chwi er mwyn fy enw*—pan y byddo i mi drugarhau wrthych er gogoniant i'm henw; *nid yn ol eich ffyrdd drygionus chwi*—nid eich cospi yn ol haeddiant eich ffyrdd drygionus a llygredig.

Adn. 45. *Daeth drachefn air yr Arglwydd ataf*] Yma cawn broffwydoliaeth newydd, gyda'r hon y mae *Houbigant* ac ereill yn dechreu pen. xxi.

Adn. 46. *Gosod dy wyneb, fab dyn, tua'r deau*] Arferai y proffwydi droi eu gwynebau tua'r lleoedd y proffwydent am danynt; a chan fod Ezeciel yn awr yn Caldea, wrth afon Cebar, yr oedd Judea yn gorwedd o du y deau iddo. *Ie, dyfera eiriau tua'r deau*—traetha dy broffwydoliaeth tuag yno; *yn erbyn coed maes y deau*—sef yn erbyn trigolion Judea neu Jerusalem, y rhai oeddynt cyn amled a choed y maes.

Adn. 47. *A dywed wrth goed y deau*] Am iddynt wrandaw fy ngair i o'th enau di. *Wele fi yn cyneu ynot ti dân*—sef drygau dinystriol o wahanol fathau fel tân; *ac efe a ysa ynot ti bob pren îr, a phob pren sych*—sef y cyfiawn yn gystal a'r annghyfiawn, pen. xxi. 3, 4. *Ffagl y fflam ni ddiffydd*—ni fydd i'r drygau hyny beidio nes cyflawni fy holl ewyllys; *a'r holl wynebau a losgir ynddo*—sef pawb yn mhob cwr o'r wlad.

Adn. 48. *A phob cnawd a welant mai myfi yr Arglwydd a'i cyneuais*] Ac mai ofer gan hyny fyddai iddynt geisio ei ddiffodd: *nis diffoddir ef*—nes ysu o hono yr holl wlad.

Adn. 49. *Yna y dywedais*] Sef ar ol iddo gael ei gyfarwyddo i lefaru cynwysiad y tair adnod flaenorol, a chyn iddo eu traethu hwynt: *O Arglwydd Dduw, y maent hwy yn dywedyd am danaf*—mewn gwawd, ac fel esgus dros beidio gwrando arnaf; *Onid dammegion y mae hwn yn eu traethu*—pethau tywyll nas gallwn eu deall, neu bethau, er ceisio eu deall, na pherthynant o bosibl i ni? Fel hyn yr oeddynt yn cymeryd ymadroddion cyffelybiaethol y proffwyd yn esgus dros beidio talu sylw i'r hyn a ddywedai efe. I dori ymaith yr esgus hwn, gorchymyna Duw iddo lefaru yr un pethau wrthynt mewn geiriau eglur yn y bennod nesaf.

PEN. XXI. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] I egluro y broffwydoliaeth ddammegol yn niwedd y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Gosod dy wyneb, fab dyn, tua Jerusalem*] Gwel ar pen. xx. 46; *a dyfera dy eiriau tua'r cysegroedd*—y deml a'i chynteddau.

Adn. 3. *Wele fi i'th erbyn*] I'th gospi am dy bechodau; *tynaf hefyd fy nghleddyf o'r wain*—sef cleddyf y Caldeaid, yr hwn a olygir uchod wrth y gair 'tân;' *a thoraf o honot gyfiawn ac annghyfiawn*—y 'cyfiawn,' trwy eu hanfon yn gaeth i Babilon, lle y gallant fod yn dystion i mi, ac o les mawr i'w brodyr annuwiol; a'r 'annghyfiawn,' trwy gaethgludo rhai, a lladd y lleill trwy y cleddyf, y newyn, a'r haint. Y mae yn debyg i rai o'r cyfiawnion hefyd gael eu lladd: ond os felly, symudwyd hwy mewn trugaredd i fyd gwell; yr un

4 O herwydd y toraf o honot gyfiawn ac annghyfiawn, am hyny y daw fy nghleddyf allan o'i wain yn erbyn pob cnawd o'r deau hyd y gogledd;

5 Fel y gwypo pob cnawd i mi yr Arglwydd dynu fy nghleddyf allan o'i wain: ni ddychwel efe mwy.

6 Ochain dithau, fab dyn, gydag ysigdod lwynau; ïe, ochain yn chwerw yn eu golwg hwynt.

7 A bydd, pan ddywedant wrthyt, Am ba beth yr ydwyt yn ochain? yna ddywedyd o honot, Am y chwedl newydd, am ei fod yn dyfod, fel y toddo pob calon, ac y llaeso y dwylaw oll, ac y pallo pob ysbryd, a'r gliniau oll a ânt fel dwfr; wele efe yn dyfod, ac a fydd, medd yr Arglwydd Dduw.

8 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

9 Proffwyda, fab dyn, a dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Dywed, Cleddyf, cleddyf a hogwyd, ac a loewyd.

10 Efe a hogwyd i ladd lladdfa, efe a loewyd fel y byddai ddysglaer: a lawenychwn ni? y mae efe yn dirmygu gwialen fy mab, *fel* pob pren.

11 Ac efe a'i rhoddes i'w loewi, i'w ddal mewn llaw; y cleddyf hwn a hogwyd, ac a loewyd, i'w roddi yn llaw y lleiddiad.

12 Gwaedda ac uda, fab dyn; canys hwn fydd ar fy mhobl, hwn *fydd* yn erbyn holl dywysogion Israel; dychryn gan y cleddyf fydd ar fy mhobl: am hyny taro *law* ar forddwyd.

13 Canys profiad *yw;* a pheth os *y cleddyf* a ddiystyra y wialen? ni bydd efe *mwy,* medd yr Arglwydd Dduw.

14 Tithau, fab dyn, proffwyda, a tharo law wrth law, a dybler y cleddyf y drydedd waith: cleddyf y

---

modd a Josiah, yr hwn, er ei ladd mewn brwydr, a ddisgynodd 'i'w fedd mewn heddwch,' 2 Bren. xxii. 20.

Adn. 4. *O'r deau hyd y gogledd*] O'r naill gwr o'r wlad hyd y cwr arall.

Adn. 5. *Fel y gwypo pob cnawd i mi yr Arglwydd dynu fy nghleddyf*] Mai nid dialedd dynol yw y dinystr hwn, ond ei fod wedi ei achosi gan gyfiawnder Duw. *Ni ddychwel efe mwy*—i'w wain, nes cyflawni o hono fy holl ewyllys.

**Adn. 6.** *Ochain dithau, fab dyn, gydag* ***ysigdod lwynau***] Dangos holl arwyddion poen **a gofid,** fel gwraig yn esgor; *ïe, ochain yn* ***chwerw*** *yn eu golwg hwynt*—sef yn ngolwg yr henuriaid a ddaethent ato, pen. xx. 1, neu yn ngolwg y caethion Iuddewig ag oeddynt o'i amgylch: gwel ar pen. vi. 11.

Adn. 7. *A bydd*] Pan ofynant i ti am ba beth yr wyt yn ochain; *yna ddywedyd o honot, Am y chwedl newydd, &c.*—sef am y newydd drwg a glywsai efe gan yr Arglwydd yn nghylch dinystr nesaol Jerusalem. *Fel y toddo pob calon, &c.*—fel y brawycho pawb wrth glywed am dano: gwel ar pen. vii. 17.

Adn. 8. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Mewn ffordd o ymhelaethiad ar y broffwydoliaeth flaenorol.

Adn. 9. *Cleddyf, cleddyf a hogwyd, ac a loewyd*] Yn yr adnodau blaenorol yr oedd y cleddyf wedi ei dynu o'r wain; yma y mae efe wedi ei hogi a'i loewi, ac yn barod at ei waith.

Adn. 10. *Efe a hogwyd i ladd lladdfa*] I dori i lawr yn rhwydd; *efe a loewyd fel y byddai ddysglaer*—yn ymddangos fel cleddyf tanllyd, i beri mwy o fraw. *A lawenychwn ni*—mewn diofalwch a llawenydd cnawdol yn ngwyneb hyn? *Y mae efe yn dirmygu gwialen fy mab, fel pob pren*—nid yw yn gwneyd dim gwahaniaeth rhwng y brenin a'i ddeiliaid, rhwng y tywysogion a'r werin; neu, y mae yn tori i lawr fy mab Israel, fel y cenhedloedd estronol.

Adn. 11. *Ac efe a'i rhoddes i'w loewi, i'w ddal mewn llaw*] Neu i'w ddefnyddio. Yr Arglwydd a barotoisai y cleddyf hwn, neu a alwasai y Caldeaid i ddyfod i Judea fel offerynau ei ddialedd. *I'w roddi yn llaw y lleiddiad*—sef Nebuchodonosor a'i fyddin.

Adn. 12. *Gwaedda ac uda, fab dyn*] Yn arwydd o fawredd dy ofid: *canys hwn fydd ar fy mhobl*—sef y cleddyf hwn; *hwn fydd yn erbyn holl dywysogion Israel*—yn gystal a'r werin: *dychryn gan y cleddyf fydd ar fy mhobl*—yn peri iddynt oll waeddi ac udo. *Am hyny taro law ar forddwyd*—yn arwydd o'r galar a'r gofid mwyaf.

Adn. 13. *Canys profiad yw*] Y trallod hwn sydd brawf ar deyrnas Juda, neu ar nerth milwraidd yr Iuddewon a'r Caldeaid. *A pheth os y cleddyf*—sef Nebuchodonosor, fel y mae rhai yn ei ddeall; *a ddiystyra y wialen*—a faedda Zedeciah neu deyrnas Juda? *Ni bydd efe mwy*—efe a dderfydd yn gwbl fel gallu brenhinol.

Adn. 14. *Tithau, fab dyn, proffwyda*] Yn mhellach; *a tharo law wrth law*—naill ai fel 'arwydd o syndod a thristwch;' neu, 'er cefnogaeth i'r Caldeaid fyned yn mlaen yn eu hymosodiadau gwaedlyd;' neu, 'i ddangos fod y gair wedi myned allan, ac nas gelwid ef yn ol:' gwel ar adn. 17. *A dybler y cleddyf y drydedd waith*—tybia *Clarke* fod hyn yn cyfeirio at dri ymosodiad Nebuchodonosor ar Jerusalem, sef yn amser Joacim, Joacin, a

lladdedigion, cleddyf lladdedigaeth
y gwŷr mawr *ydyw*, yn myned i'w
hystafelloedd hwynt.
15 Rhoddais flaen y cleddyf yn
erbyn eu holl byrth hwynt, i doddi
*eu* calon, ac i amlhau *eu* tram-
gwyddiadau: O! gwnaed ef yn
loew, hogwyd ef i ladd.
16 Dos ryw ffordd, *naill* ar y
llaw ddeau, ai ar y llaw aswy, lle y
tueddo dy wyneb.
17 Minau hefyd a darawaf y naill
law yn y llall, ac a lonyddaf fy llid:
myfi yr Arglwydd a'*i* llefarais.
18 ¶ A daeth gair yr Arglwydd
ataf, gan ddywedyd,
19 Tithau, fab dyn, gosod i ti
ddwy ffordd, fel y delo cleddyf
brenin Babilon; o un tir y deuant
ill dwy: a dewis le, yn mhen ffordd
y ddinas y dewisi *ef*.
20 Gosod ffordd i ddyfod o'r
cleddyf tua Rabbath meibion Am-
mon, a thua Juda yn erbyn Jeru-
salem gaerog.
21 Canys safodd brenin Babilon
ar y groesffordd, yn mhen y ddwy
ffordd, i ddewinio dewiniaeth:
gloewodd *ei* saethau, ymofynodd â
delwau, edrychodd mewn afu.
22 Yn ei law ddeau yr oedd dew-
iniaeth Jerusalem, am osod capten-

---

Zedeciah: gwel ar 2 Bren. xxiv. 13. Yr oedd y cleddyf eisioes wedi cael ei *ddyblu;* ac yr oedd yn awr i ddyfod y *drydedd* waith, sef yn amser Zedeciah. *Cleddyf y lladdedigion*—trwy yr hwn y lleddir llawer; *cleddyf lladdedigaeth y gwŷr mawr*—trwy yr hwn y syrthia y tywysogion, y pendefigion, a'r llywiawdwyr; *yn myned i'w hystafelloedd hwynt*—lle y ceisient yn ofer ymguddio rhagddo, a'i ochelyd. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Cleddyf y *milwyr*, cleddyf y *milwr mawr*,' *&c.*—sef eiddo y milwyr Caldeaidd a Nebuchodonosor.

Adn. 15. *Rhoddais flaen y cleddyf yn erbyn eu holl byrth*] I ladd y rhai a geisiant ddianc o'r ddinas; *i doddi eu calon*—mewn dychryn; *ac i amlhau eu tramgwyddiadau*—Saes., 'eu hadfeilion.' *O! gwnaed ef yn loew*—Hebr., 'gwnaed ef fel mellten;' *hogwyd ef i ladd*—gwel ar adn. 10.

Adn. 16. *Dos ryw ffordd*] O gleddyf; *naill ar y llaw ddeau*—tua Jerusalem; *ai ar y llaw aswy*—tua Rabbath meibion Ammon, adn. 20; *lle y tueddo dy wyneb*—canys ti a lwyddi yn mhob lle.

Adn. 17. *Minau hefyd a darawaf y naill law yn y llall*] Yn arwydd o'm cymeradwyaeth; neu efe a gefnogai y Caldeaid i fyned rhagddynt: gwel ar adn. 14: *ac a lonyddaf fy llid*—trwy dywallt arnynt fy nghospedigaethau: gwel ar pen. v. 13.

Adn. 18. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] I ddangos i'r proffwyd yn mhellach pa beth i'w wneuthur.

Adn. 19. *Tithau, fab dyn, gosod i ti ddwy ffordd*] Gwna eu llun hwynt ar briddlech neu ar y ddaear, fel y gallo dy gydwladwyr eu gweled; *fel y delo cleddyf brenin Babilon*—ar hyd yr un a fyno. *O un tir y deuant ill dwy*—sef o Babilon, yn un linell ar y cyntaf, ac yna yn ymwahanu yn ddwy ffordd, un yn arwain tua Rabbath, a'r llall tua Jerusalem. *A dewis le*—dewis un ffordd ragor y llall; *yn mhen ffordd y ddinas y dewisi ef*—hyny yw, yr oedd y proffwyd i ddewis y ffordd ag oedd yn arwain i Jerusalem, i arwyddo mai ar hyd y ffordd hòno yr âi byddin Nebuchodonosor: gwel ar Jer. x. 23.

Adn. 20. *Gosod ffordd i ddyfod o'r cleddyf tua Rabbath meibion Ammon*] Canys yr oeddynt hwy a'r Moabiaid, yn gystal a Zedeciah brenin Juda, wedi ymgynghreirio yn erbyn brenin Babilon, Jer. xxvii. 3; *a thua Juda*—hyny yw, gosod y ffordd arall i arwain tua Juda; *yn erbyn Jerusalem gaerog*—yr hon oedd yn nodedig am gryfder ei chaerau. Ond yn lle 'caerog,' y mae *Houbigant* yn ei ddarllen, 'fel y gallo warchae arni.'

Adn. 21. *Canys safodd brenin Babilon ar y groesffordd, yn mhen y ddwy ffordd*] Neu, 'efe a *saif*.' Y mae y proffwyd yma yn son am yr hyn a fyddai, megys peth wedi cymeryd lle eisioes, i ddangos y sicrwydd o hono. *I ddewinio dewiniaeth*—i'r dyben i benderfynu pa un o'r ddwy ffordd a gymerai, ai yr hon a arweiniai ar y llaw ddeau tua Jerusalem, ynte yr hon a arweiniai ar y llaw aswy tua phrifddinas yr Ammoniaid. Efe a arferodd *dri* math o ddewiniaeth ar yr achlysur hwn: (1) *Gloewodd ei saethau*—neu '*cymysgodd* ei saethau,' fel y mae y *Vulgate* ac amrai o'r beirniaid yn ei ddarllen. Darlunia *Jerome* y ffordd o ddewinio trwy saethau fel hyn 'Ysgrifenid ar wahanol saethau enwau y dinasoedd ag y bwriadent ymosod arnynt; ac yna, ar ol eu cymysgu mewn cawell, tynent hwy allan fel y tynir coelbren; a'r ddinas ag y byddai ei henw ar y saeth a dynid allan gyntaf, hòno fyddai y ddinas ag yr aent yn ei herbyn gyntaf.' Y mae hyn yn arferedig hyd heddyw yn mhlith yr Arabiaid eilunaddolgar. (2) *Ymofynodd â delwau*—Hebr., 'â *teraphim*,' yr enw a roddir i'r delwau a ladrataodd Rahel oddiar Laban ei thad. Nis gellir sicrhau yn bendant yn awr yn mha fodd yr ymofynid â'r rhai hyn gynt, ac ofer fyddai i ni ddychymygu: gwel sylw helaeth ar y rhai hyn, Gen. xxxi. 19. (3) *Edrychodd mewn afu*—ar ol lladd llo, oen, neu fŷn, yn aberth i'r duwiau, edrychai yr offeiriad neu y dewin ar gyflwr yr *afu;* ac os byddai hwnw yn iach, ac o liw da, ystyrid fod yr anifel yn iach, ac yn aberth cymeradwy; canys buasai offrymu anifel *afiach* yn aberth i'r duwiau, yn ol eu barn hwy, yn arwydd o anffawd neu aflwyddiant mewn rhyfel.

Adn. 22. *Yn ei law ddeau yr oedd dewin-*

iaid i agoryd safn mewn lladdedig-
aeth, i ddyrchafu llef gyda bloedd,
i osod offer rhyfel yn erbyn y pyrth,
i fwrw clawdd, i adeiladu amddi-
ffynfa.
23 A *hyn* fydd ganddynt fel dew-
inio dewiniaeth gwagedd yn eu
golwg hwynt, i'r rhai a dyngasant
lwon: ond efe a gofia yr anwiredd,
i'w dal *hwynt.*
24 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Am beri o honoch
gofio eich anwiredd, gan amlygu
eich camweddau, fel yr ymddengys
eich pechodau yn eich holl weith-
redoedd; am beri o honoch *eich*
cofio, y'ch delir â llaw.
25 ¶ Tithau, halogedig annuw-
iol dywysog Israel, yr hwn y daeth
ei ddydd, yn amser diwedd anwir-
edd,
26 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Symud y meitr, a thyn ym-
aith y goron; nid yr un *fydd* hon:
cyfod yr isel, gostwng yr uchel.
27 Dymchwelaf, dymchwelaf,
dymchwelaf hi; ac ni bydd *mwyach*
hyd oni ddelo yr hwn y mae yn gyf-
iawn iddo; ac *iddo ef* y rhoddaf hi.
28 ¶ Proffwyda dithau, fab dyn,
a dywed, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw am feibion Ammon,
ac am eu gwaradwydd hwynt, dy-
wed di, Y cleddyf, y cleddyf a dyn-

---

*iaeth Jerusalem*] Neu y *saeth* ar ba un yr oedd *enw* Jerusalem, yr hon a godesid gyntaf o'r cawell; neu ynte caniataodd Duw i'r tri arwydd nodi iddo mai ar hyd y ffordd ar y llaw ddeau, yr hon a arweiniai i Jerusalem, y dylasai efe fyned. O'r blaen yr oedd Nebuchodonosor yn amheus pa ffordd i'w chymeryd; ond yn awr, trwy yr hyn a ymddanghosai iddo ef yn effaith dewiniaeth, cyfryngodd rhagluniaeth Duw i'w gyfarwyddo ef i wneuthur yn ol cynghor yr Hollalluog. *Am osod capteniaid i agoryd safn mewn lladdedigaeth*—neu i gefnogi y milwyr yn eu gwaith gwaedlyd; *i ddyrchafu llef gyda bloedd, &c.*—y meddwl yw, ar ol i'r ffordd gael ei phenderfynu, ddarfod i Nebuchodonosor osod capteniaid i arwain y fyddin yn galonog i Jerusalem, a rhoddi cyfarwyddiadau iddynt fyned yno gyda bloeddiadau i ddychrynu y trigolion, a gosod i fyny beiriannau a gwrthgloddiau, a phob offer angenrheidiol arall i hyrwyddo darostyngiad y ddinas.

Adn. 23. *A hyn fydd ganddynt fel dewinio dewiniaeth gwagedd*] Bydd i'r Iuddewon, pan glywant am hyn, ei wawdio a'i ddirmygu fel dewiniaeth wâg a chelwyddog; *i'r rhai a dyngasant lwon*—neu *gan* y rhai a dyngasant lwon o ffyddlondeb i frenin Babilon, sef Zedeciah a'i lys: gwel ar pen. xvii. 13. *Ond efe a gofia yr anwiredd, i'w dal hwynt*—bydd i Nebuchodonosor gofio toriad llw Zedeciah, a'i holl fradwriaeth ef a'i bobl; ac efe a ddial arnynt trwy losgi eu dinas, a'i gymeryd ef a'i bobl yn garcharorion rhyfel.

Adn. 24. *Am beri o honoch gofio eich anwiredd*] Nid ei gofio genych chwi, fel ag i edifarhau am dano; ond genyf fi, fel ag i'w gospi. Fel pe dywedasai, Trwy eich gwaith yn parhau i bechu yn fy erbyn i, a thrwy eich gwrthryfel barhaus yn erbyn brenin Babilon, yr ydych yn peri i mi ac yntau gofio eich drygioni, a'ch cospi o'i herwydd. *Y'ch delir â llaw*—chwi a syrthiwch i ddwylaw y Caldeaid, fel adar neu fwystfilod yn syrthio i ddwylaw neu fagl yr heliwr.

Adn. 25. *Tithau, halogedig annuwiol dywysog Israel*] Yr oedd Zedeciah wedi dangos ei halogrwydd a'i annuwioldeb trwy dori ei gyfammod â brenin Babilon, i'r hwn y tyngasai efe ffyddlondeb yn enw Jehofa; *yr hwn y daeth ei ddydd*—sef dydd ei gospedigaeth am ei anwiredd.

Adn. 26. *Symud y meitr, a thyn ymaith y goron*] Sef yr arwyddion o awdurdod brenhinol Zedeciah. *Nid yr un fydd hon*—ni fydd y deyrnas hon byth mwyach y peth ydoedd. *Cyfod yr isel*—dyro lywodraeth Judea yn llaw Gedaliah; *gostwng yr uchel*—diorsedda Zedeciah. Ond tybia rhai mai *Joacin* a feddylir wrth yr 'isel,' yr hwn a fuasai am lawer o flynyddoedd yn garcharor yn Babilon, ond o'r diwedd a ryddhawyd, ac a ddyrchafwyd i anrhydedd mawr gan Efil-merodach, 2 Bren. xxv. 27—30. Tybia ereill mai at *Zorobabel* y cyfeirir; ac ereill, mai at y *Messia*, yr hwn a enid o deulu isel: gwel *Lowth, Gill, Boothroyd.*

Adn. 27. *Dymchwelaf, dymchwelaf, dymchwelaf hi*] Bydd i mi yn raddol lwyr ddymchwelyd teyrnas Juda. Y mae y gair 'dymchwelyd' yn cael ei arfer yma deirgwaith, i nodi allan dair buddugoliaeth y Caldeaid ar Jerusalem, meddai y rabbiniaid, yn y rhai y dymchwelwyd Joacim, Joacin, a Zedeciah. Neu fe allai ei fod yn arwyddo dymchweliad cenedl yr Iuddewon gan y Caldeaid, y Macedoniaid, a'r Rhufeiniaid; neu eu mynych ddymchweliad a'u darostyngiad gan ereill hyd heddyw. *Ac ni bydd mwyach*—ni bydd brenhiniaeth iddynt mwyach; *hyd oni ddelo yr hwn y mae yn gyfiawn iddo*—hyd oni ddelo y MESSIA, mab Dafydd, yr hwn yw eu cyfiawn Frenin. *Ac iddo ef y rhoddaf hi*—y mae y geiriau hyn yn gyson â'r hyn a ddywedodd yr angel wrth Mair, 'Hwn fydd mawr, ac a elwir yn Fab y Goruchaf: ac iddo ef y rhydd yr Arglwydd Dduw orseddfa ei dad Dafydd: ac efe a deyrnasa ar dŷ Jacob yn dragywydd: ac ar ei frenhiniaeth ni bydd diwedd:' gwel ar Luc i. 32, 33.

Adn. 28. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw am feibion Ammon*] Y rhai y peidiodd Nebuchodonosor â myned i'w herbyn y waith hon, adn. 22; *ac am eu gwaradwydd hwynt*

wyd: i ladd y gloewyd ef, i ddy-
fetha o herwydd y dysgleirdeb:
29 Wrth weled gwagedd i ti,
wrth ddewinio it' gelwydd, i'th
roddi ar yddfau y lladdedigion, y
drygionus y rhai y daeth eu dydd,
yn amser diwedd eu hanwiredd.
30 A ddychwelaf fi *ef* i'w wain?
yn y lle y'th grëwyd, yn nhir dy
gynefin, y'th farnaf.
31 A thywalltaf fy nigllonedd
arnat, â thân fy llidiogrwydd y
chwythaf arnat, a rhoddaf di yn
llaw dynion poethion, cywraint i
ddinystrio.
32 I'r tân y byddi yn ymborth;
dy waed fydd yn nghanol y tir;
ni'th gofir *mwyach:* canys myfi yr
Arglwydd a'*i* dywedais.

## PENNOD XXII.

GAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf
drachefn, gan ddywedyd,
2 Tithau, fab dyn, a ferni di, a
ferni ddinas y gwaed? ïe, ti a wnei
iddi wybod ei holl ffieidd-dra.
3 Dywed dithau, Fel hyn y dy-
wed yr Arglwydd Dduw; Tywallt
gwaed y mae y ddinas yn ei chanol,
i ddyfod o'i hamser, ac eilunod a
wnaeth hi yn ei herbyn ei hun i
ymhalogi.
4 Euog wyt yn dy waed, yr hwn
a dywelltaist; a halogedig yn dy
eilunod, y rhai a wnaethost: a thi
a neseaist dy ddyddiau, a daethost
hyd at dy flynyddoedd: am hyny
y'th wnaethym yn warth i'r cen-

—â'r hwn y gwaradwyddasant Israel yn nydd ei drallod, pen. xxv. 3, 6. *Y cleddyf, y cleddyf a dynwyd*—o'r wain yn eich erbyn chwithau; *i ladd y gloewyd ef*—gwel ar adn. 9, 10. Dywed *Josephus* i'r Caldeaid fyned yn erbyn yr Ammoniaid yn mhen pum mlynedd ar ol dinystrio Jerusalem.

Adn. 29. *Wrth weled gwagedd i ti, wrth ddewinio it' gelwydd*] Yr oedd gan yr Ammoniaid hefyd eu dewiniaid, y rhai a'u cefnogent âg addewidion o ddiogelwch, gan ddywedyd na ddeuai brenin Babilon yn eu herbyn hwy; neu, os deuai, y byddai efe yn aflwyddiannus: ond gwagedd oedd eu gweledigaeth, a chelwydd oedd eu dewiniaeth. *I'th roddi ar yddfau y lladdedigion*—i chwanegu dy bobl dithau at nifer y lladdedigion yn Judea, fel dynion yn maglu ac yn syrthio ar draws celaneddau meirwon. *Y drygionus y rhai y daeth eu dydd*—sef dydd eu cospedigaeth, adn. 25.

Adn. 30. *A ddychwelaf fi ef i'w wain?*] A fydd i'r cleddyf a ddiweiniwyd yn erbyn yr Ammoniaid, gael ei roddi yn ei wain cyn iddo wneyd ei waith? Na fydd yn ddiau. *Yn y lle y'th grëwyd, yn nhir dy gynefin, y'th farnaf*—sef yn dy wlad dy hun, lle y cefaist dy fodaeth genedlaethol. Ni fyddai i'r Ammoniaid gael eu caethgludo i Babilon fel yr Iuddewon, eithr dyfethid hwy yn eu gwlad eu hun.

Adn. 31. *A thywalltaf fy nigllonedd arnat*] Fel dylif llifeiriol, ac fel tân ysol wedi ei chwythu i'w wneyd yn fwy angherddol; *a rhoddaf di yn llaw dynion poethion*—sef y Caldeaid gwaedwyllt, creulon, ac annhrugarog; *cywraint i ddinystrio*—y rhai sydd dra medrus mewn rhyfel.

Adn. 32. *I'r tân y byddi yn ymborth*] Neu yn danwydd parod, ti a'th ddinasoedd: *dy waed fydd yn nghanol y tir*—bydd dy laddedigion i'w canfod yn mhob cwr o'r wlad: *ni'th gofir mwyach*—derfydd dy goffadwriaeth o blith dynion. Cyflawnwyd hyn yn hollol; canys tra y mae yr Iuddewon i'w cael hyd heddyw, y mae yr Ammoniaid wedi eu colli o blith dynolryw, neu wedi ymgymysgu â phobloedd ereill fel nas gellir eu gwahaniaethu. *Canys myfi yr Arglwydd a'i dywedais*—yr hwn a'i cyflawnaf yn ddifeth.

PEN. XXII. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd a ddaeth ataf drachefn*] Yn erbyn Jerusalem.

Adn. 2. *Tithau, fab dyn, a ferni di, a ferni ddinas y gwaed?*] A ddadleui di drosti? neu, yn hytrach, ai ni fydd i ti ei barnu? gwel ar pen. xx. 4. Gelwir Jerusalem yn 'ddinas y gwaed,' am fod llawer o waed gwirion yn cael ei dywallt ynddi: gwel ar pen. xxiii. 37, 45, a xxiv. 6, 9, 2 Bren. xxi. 16. *Ie, ti a wnei iddi wybod ei holl ffieidd-dra*—fel ag i'w cyfiawnhau i yn y dinystr ag yr wyf yn ei ddwyn arni: gwel ar pen. xvi. 2.

Adn. 3. *Tywallt gwaed y mae y ddinas yn ei chanol*] Yn gyhoeddus a digywilydd; *i ddyfod o'i hamser*—sef amser ei dinystr, ar ol iddi gyflawni mesur ei hanwiredd: *ac eilunod a wnaeth hi yn ei herbyn ei hun*—sef i'w dinystr ei hun.

Adn. 4. *Euog wyt yn dy waed*] Yr oedd euogrwydd Jerusalem, o herwydd ei lladdiadau gwaedlyd, yn amlwg a gwaeddfawr; *a halogedig yn dy eilunod*—yr oedd ei halogedigaeth eilunaddolgar yn fawr a dychrynllyd. *A thi a neseaist dy ddyddiau*—o drallod a dyoddefiadau; *a daethost hyd at dy flynyddoedd*—i ddiwedd dy flynyddoedd o brawf. *Am hyny y'th wnaethym yn warth*—yn agored i ddirmyg a gwawd pawb, wrth dy weled yn cael dy gospi am wrthod crefydd dy dadau.

Adn. 5. *Y rhai agos, a'r rhai pell oddiwrthyt, a'th watwarant*] Sef dy gymydogion *agos*, megys y Philistiaid, yr Edomiaid, yr Ammoniaid, a'r Moabiaid, y rhai sydd dystion o'th wrthgiliad; a'r rhai *pell*, megys y Mediaid, y Persiaid, a'r Caldeaid, i blith y rhai y'th gaethgludir. *Yr halogedig o enw*—ti

hedloedd, ac yn watwargerdd i'r holl wledydd.

5 *Y rhai* agos, a'*r rhai* pell oddiwrthyt, a'th watwarant, yr halogedig o enw, *ac* aml dy drallod.

6 Wele, tywysogion Israel oeddynt ynot, bob un yn ei allu i dywallt gwaed.

7 Dirmygasant ynot dad a mam; gwnaethant yn dwyllodrus â'r dyeithr o'th fewn: gorthrymasant ynot yr amddifad a'r weddw.

8 Dirmygaist fy mhethau santaidd, a halogaist fy sabbothau.

9 Athrodwyr oedd ynot i dywallt gwaed; ar y mynyddoedd hefyd y bwytasant ynot ti: gwnant ysgelerder o'th fewn.

10 Ynot ti y datguddient noethni eu tad: yr aflan o fisglwyf a ddarostyngent ynot.

11 Gwnae ŵr hefyd ffieidd-dra â gwraig ei gymydog; a gŵr a haloga ei waudd ei hun mewn ysgelerder; ïe, darostyngai gŵr ynot ei chwaer ei hun, merch ei dad.

12 Gwobr a gymerent ynot am dywallt gwaed; cymeraist usuriaeth ac ocraeth, ac elwaist ar dy gymydogion trwy dwyll, ac anghofiaist fi, medd yr Arglwydd Dduw.

13 ¶ Am hyny wele, tarewais fy llaw wrth dy gybydd-dod yr hwn a wnaethost, ac am y gwaed oedd o'th fewn.

14 A bery dy galon, a gryfha dy ddwylaw yn y dyddiau y bydd i mi a wnelwyf â thi? myfi yr Arglwydd a'*i* llefarais, ac a'*i* gwnaf.

15 Canys gwasgaraf di yn mysg y cenhedloedd, a thaenaf di ar hyd y gwledydd, a gwnaf i'th aflendid ddarfod allan o honot.

16 A thi a etifeddi ynot dy hun yn ngwydd y cenhedloedd; a chei wybod mai myfi yw yr Arglwydd.

17 A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

18 Ha fab dyn, tŷ Israel a aeth

---

Jerusalem, yr hon y mae dy enw yn ffiaidd yn ngolwg pawb; *ac aml dy drallod*—o herwydd dy bechodau.

Adn. 6. *Wele, tywysogion Israel oeddynt ynot*] Sef pendefigion y wlad, ac aelodau y cynghor mawr yn Jerusalem; *bob un yn ei allu*—yr oedd pob un o honynt yn defnyddio ei allu a'i awdurdod i wneuthur trais, ac i dywallt gwaed gwirion.

Adn. 7. *Dirmygasant ynot dad a mam*] Yr hyn oedd nid yn unig yn annaturiol, ond hefyd yn drosedd erchyll o'r gyfraith, Exod. xx. 12: *gwnaethant yn dwyllodrus â'r dyeithr*—er mwyn elwa arno: *gorthrymasant ynot yr amddifad a'r weddw*—y rhai na feddent neb i'w hamddiffyn: gwel ar Exod. xxii. 21—24.

Adn. 8. *Dirmygaist fy mhethau santaidd*] Fy nheml, fy allorau, a'm hebyrth; *a halogaist fy sabbothau*—gwel ar pen. xx. 12.

Adn. 9. *Athrodwyr oedd ynot i dywallt gwaed*] Y rhai a dyngent gelwydd i dywallt gwaed gwirion: *ar y mynyddoedd hefyd y bwytasant*—o'r ebyrth a offryment i'w heilunod: *gwnant ysgelerder o'th fewn*—sef pob math o bechodau ffiaidd, y rhai a enwir isod.

Adn. 10. *Ynot ti y datguddient noethni eu tad*] Trwy halogi ei wraig ef; *yr aflan o fisglwyf a ddarostyngent ynot*—gwel ar pen. xviii. 6.

Adn. 11. *Gwnae ŵr hefyd ffieidd-dra â gwraig ei gymydog*] Trwy dori y seithfed gorchymyn; *a gŵr a haloga ei waudd ei hun*—ei ferch-yn-nghyfraith, neu wraig ei fab; *ïe, darostyngai gŵr ynot ti ei chwaer ei hun*—yr hyn oedd yn groes i ddeddfau Duw a dynion, Lef. xviii. 9.

Adn. 12. *Gwobr a gymerent ynot am dywallt gwaed*] A gymerai y barnwyr am gyhoeddi dedfryd marwolaeth ar y dieuog: *cymeraist usuriaeth ac ocraeth*—sef llôg anghyfreithlon, pen. xviii. 8; *ac elwaist ar dy gymydogion*—gwnaethost elw o honynt trwy eu twyllo; *ac annghofiaist fi*—a'm cyfraith, yr hon a wahardda y pethau hyn.

Adn. 13. *Am hyny wele, tarewais fy llaw*] Fel un wedi synu neu ddigio yn fawr, neu tarawodd y naill law yn y llall i gefnogi eu gelynion i'w dyfetha; *wrth dy gybydd-dod*—Saes., 'dy ennill anonest;' *ac am y gwaed oedd o'th fewn*—sef dy ymddygiadau creulon a gwaedlyd.

Adn. 14. *A bery dy galon*] Neu a ddeil hi heb ddiffygio? *a gryfha dy ddwylaw yn y dyddiau y bydd i mi a wnelwyf â thi*—mewn ffordd o gosp? *Myfi yr Arglwydd a'i llefarais*—neu a'i bygythiais, ac am hyny a'i gwnaf.

Adn. 15. *Canys gwasgaraf di yn mysg y cenhedloedd*] Trwy amrywiol daleithiau Babilon a gwledydd ereill; *a gwnaf i'th aflendid ddarfod allan o honot*—puraf di yn mhair cystudd oddiwrth dy holl eilunaddoliaeth.

Adn. 16. *A thi a etifeddi ynot dy hun yn ngwydd y cenhedloedd*] Yn lle bod yn etifeddiaeth i mi, a minau yn etifeddiaeth i tithau, ti a fwrir allan i blith y cenhedloedd, i fwyta ffrwyth dy weithredoedd dy hun. Ond y mae y LXX a rhai beirniaid yn ei darllen, 'A mi a'th gymeraf yn etifeddiaeth i mi dy hun yn ngwydd y cenhedloedd; a chei wybod mai myfi yw yr Arglwydd.'

Adn. 17. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] I ddangos yn mhellach gyflwr dirywiedig yr Iuddewon.

genyf yn anmhuredd: pres, ac al-
can, a haiarn, a phlwm, *ydynt* oll
yn nghanol y pair: anmhuredd ar-
ian ydynt.
19 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Am eich bod
chwi oll yn anmhuredd, am hyny
wele fi yn eich casglu chwi i ganol
Jerusalem.
20 *Fel* casglu arian, a phres, a
haiarn, a phlwm, ac alcan, i ganol
y ffwrn, i chwythu tân arnynt i'*w*
toddi; felly yn fy llid, a'm dig, y
casglaf *chwi*, ac a'*ch* gadawaf *yno*,
ac a'ch toddaf.
21 Ie, casglaf chwi, a chwythaf
arnoch â thân fy llidiogrwydd, fel
y todder chwi yn ei chanol hi.
22 Fel y toddir arian yn nghanol
y pair, felly y toddir chwi yn ei
chanol hi; fel y gwypoch mai myfi
yr Arglwydd a dywelltais fy llid-
iogrwydd arnoch.
23 ¶ A gair yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
24 Dywed wrthi hi, fab dyn, Ti
yw y tir sydd heb ei buro, heb
wlawio arno yn nydd digter.
25 Cydfradwriaeth ei phroffwydi
o'i mewn, *sydd* fel llew 'rhuadwy yn
ysglyfaethu ysglyfaeth; eneidiau a
ysasant; trysor a phethau gwerth-
fawr a gymerasant; ei gweddwon
hi a amlhasant hwy o'i mewn.
26 Ei hoffeiriaid a dreisiasant fy
nghyfraith, ac a halogasant fy
mhethau santaidd: ni wnaethant
ragor rhwng cysegredig a haloged-
ig, ac ni wnaethant wybod *rhagor*
rhwng yr aflan a'r glân; cuddiasant
hefyd eu llygaid oddiwrth fy sab-
bothau, a halogwyd fi yn eu mysg
hwynt.
27 Ei phenaethiaid *oedd* yn ei
chanol fel bleiddiaid yn ysglyfaethu
ysglyfaeth, i dywallt gwaed, i ddy-
fetha eneidiau, er elwa elw.
28 Ei phroffwydi hefyd a'u pridd-
asant hwy â *chlai* annhymherus, gan
weled gwagedd, a dewinio iddynt

---

Adn. 18. *Ha fab dyn, tŷ Israel a aeth genyf yn anmhuredd*] Sef yn 'anmhuredd arian,' fel y mae yn niwedd yr adnod; hyny yw, yn gymysgedd o sorod, neu fetteloedd diwerth, gyda'r arian pur; fel ag y rhaid i mi eu rhoddi yn y pair i'w hail buro.

Adn. 19. *Am hyny*] Am eich bod chwi oll yn anmhuredd; *wele fi yn eich casglu chwi i ganol Jerusalem*—fel y cesglir metteloedd i ganol y ffwrn i'w toddi.

Adn. 20. *Yn fy llid a'm dig y casglaf chwi*] O bob gwlad, i Jerusalem i'ch toddi.

Adn. 21. *A chwythaf arnoch â thân fy llidiogrwydd*] Y mae digofaint Duw yn cael ei gyffelybu yn fynych i dân; ond byddai yma dân gwirioneddol, trwy yr hwn y llosgid y ddinas a'r deml, 2 Bren. xxv. 9.

Adn. 22. *Fel y toddir arian yn nghanol y pair, felly y toddir chwi*] Yn nghanol Jerusalem. Ail ddywedir hyn drachefn a thrachefn, er mwy o gadarnhad i'r bygythiad. *Fel y gwypoch mai myfi yr Arglwydd a dywelltais fy llidiogrwydd arnoch*— ac nad oedd y Caldeaid ddim ond megys llestri offerynol yn fy llaw i.

Adn. 23. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yr ydym yn cael y frawddeg hon o flaen pob proffwydoliaeth; canys yr oedd yn rhaid i'r Arglwydd lefaru wrth y gwir broffwydi, cyn y gallent hwy lefaru wrthym ni.

Adn. 24. *Dywed wrthi hi*] Wrth Jerusalem, neu wlad Judea; *Ti yw y tir sydd heb ei buro*—neu heb ei olchi oddiwrth dy bechodau ffiaidd, er i farnedigaethau Duw ddisgyn arnat yn fynych i'r dyben hyny; *heb wlawio arno yn nydd digter*—yr wyt fel pe byddit heb wlawio arnat i olchi ymaith dy fudreddi, fel y gylch gwlawogydd wyneb y ddaear. Neu gellir cymeryd y geiriau hyn yn eu hystyr llythyrenol, i ddangos fod Duw wedi attal y cawodau oddiwrthynt yn ei ddigter.

Adn. 25. *Cydfradwriaeth ei phroffwydi*] Sef ei gau-broffwydi; *sydd fel llew rhuadwy yn ysglyfaethu ysglyfaeth, &c.* — dygant ddynion i afael dinystr trwy eu haddewidion têg a'u celwyddau. *Trysor a phethau gwerthfawr a gymerant*—am broffwydo gweniaith i'r bobl. *Ei gweddwon hi a amlhasant*—trwy annog Zedeciah i barhau y rhyfel, yn yr hon y lleddid eu gwŷr.

Adn. 26. *Ei hoffeiriaid*] Cnawdol a phenrhydd, *a dreisiasant fy nghyfraith*—o'i gwir ystyr; *ac a halogasant fy mhethau santaidd*—trwy offrymu fy ebyrth mewn modd anweddaidd, fel y gwnai meibion Eli; neu trwy nesâu at fy allor heb fyned eu hunain dan buredigaeth. *Ni wnaethant ragor rhwng cysegredig a halogedig, &c.* — mewn ebyrth, bwydydd, na phersonau: gwel ar Lef. x. 10, 11. *Cuddiasant hefyd eu llygaid oddiwrth fy sabbothau*—heb edrych am eu cadw eu hunain, na cheryddu y rhai a'u halogent; *a halogwyd fi yn eu mysg hwynt*—neu dianrhydeddwyd fi a'm cyfraith ganddynt.

Adn. 27. *Ei phenaethiaid oedd yn ei chanol fel bleiddiaid*] Gwel ar adn. 6; *i ddyfetha eneidiau, er elwa elw*—tywalltent waed dynion diniwed er mwyn gwobr, neu er mwyn cael eu heiddo.

Adn. 28. *Ei phroffwydi hefyd*] Sef ei gau-broffwydi; *a'u priddasant hwy â chlai annhymherus*—gan roddi lliw têg ar eu creulonderau, pen. xiii. 10—13; *gan weled gwagedd, a dewinio iddynt gelwydd*—gan draethu

gelwydd, gan ddywedyd, Fel hyn y dywedodd yr Arglwydd Dduw, a'r Arglwydd heb ddywedyd.

29 Pobl y tir a arferasant dwyll, ac a dreisiasant drais, ac a orthrymasant y truan a'r tylawd, y dyeithr hefyd a orthrymasant yn annghyfiawn.

30 Ceisiais hefyd ŵr o honynt i gau y cae, ac i sefyll ar yr adwy o'm blaen dros y wlad, rhag ei dinystrio: ac nis cefais.

31 Am hyny y tywelltais fy nigofaint arnynt, â thân fy llidiogrwydd y dyfethais hwynt; eu ffordd eu hun a roddais ar eu penau hwynt, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XXIII.

YNA y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Ha fab dyn, dwy wraig oedd ferched i'r un fam;

3 A phuteiniasant yn yr Aifft, yn eu hieuenctid y puteiniasant: yno y pwyswyd ar eu bronau, ac yno yr ysigasant ddidenau eu morwyndod.

4 A'u henwau hwynt oedd Aholah yr hynaf, ac Aholibah ei chwaer: ac yr oeddynt yn eiddof fi, a phlantasant feibion a merched. Dyma eu henwau; Samaria *yw* Aholah, a Jerusalem Aholibah.

5 Ac Aholah a buteiniodd pan oedd eiddof fi, ac a ymserchodd yn ei chariadau, *ei* chymydogion yr Assyriaid;

6 *Y rhai* a wisgid â glas, yn dduciaid ac yn dywysogion, o wŷr ieuainc dymunol i gyd, yn farchogion yn marchogaeth meirch.

7 Fel hyn y gwnaeth hi ei phut-

---

wrthynt bethau nad oedd sail iddynt, a chymeryd arnynt mai geiriau yr Arglwydd a draethent: gwel ar pen. xiii. 6, &c.

Adn. 29. *Pobl y tir a arferasant dwyll*] Sef y werin yn gyffredinol; *ac a dreisiasant drais*—gan yspeilio a gorthrymu y truan, y tylawd, a'r dyeithr; *yn annghyfiawn*—heb un lliw o reswm neu gyfiawnder.

Adn. 30. *Ceisiais hefyd ŵr o honynt*] Rywun o blith eu hoffeiriaid, eu proffwydi, eu penaethiaid, neu y werin; *i gau y cae*—i adgyweirio y bylchau; *ac i sefyll ar yr adwy o'm blaen dros y wlad*—hyny yw, ceisiodd am ryw Foses, Phinees, neu Samuel, i ddwyn yn mlaen ddiwygiad crefyddol, neu attal cynydd annuwioldeb, neu i weddio dros y wlad rhag ei dinystrio: *ac nis cefais*—trwy fod pawb bron wedi myned mor llygredig a'u gilydd: gwel ar pen. xiii. 5.

Adn. 31. *Am hyny y tywelltais fy nigofaint arnynt*] Neu 'y tywalltaf ef;' *â thân fy llidiogrwydd y dyfethais hwynt*—efe a sonia am dano fel peth wedi ei wneuthur eisioes, gan mor sicr ydoedd o gael ei gyflawni, pen. xxi. 31, 32. *Eu ffordd eu hun*—sef cospedigaeth eu ffordd eu hun, neu haeddiant eu gweithredoedd eu hun; *a roddais ar eu penau hwynt*—neu 'a roddaf,' fel y byddaf fi yn gyfiawn yn ngolwg pawb, er iddynt hwy gael eu dyfetha.

PEN. XXIII. Adn. 1. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] Gwel ar pen. xxii. 23.

Adn. 2. *Ha fab dyn, dwy wraig*] Sef Samaria a Jerusalem, adn. 4, neu deyrnas Israel a Juda; *oedd ferched i'r un fam*—oeddynt wedi hànu o'r un gwreiddyn, sef Abraham a Sarah; neu oeddynt ar y cyntaf o'r un wlad, ac yn un bobl.

Adn. 3. *A phuteiniasant yn yr Aifft*] Canys yno, yn more eu bodaeth genedlaethol, y dechreuasant eilunaddoli, pen. xx. 8. *Yno y pwyswyd ar eu bronau, &c.*—y mae ymadroddion y bennod hon, fel pen. xvi, yn cydweddu yn dda âg arddull y dwyreinwyr, yn enwedig yn yr oes fore hòno, pryd nad oedd hyfoesedd mor goethedig ag yn ein gwlad a'n dyddiau ni. Trwy fod *eilunaddoliaeth* yn cael ei gyffelybu yma i *buteindra*, ni a welwn y rheswm dros arfer yr ymadroddion a geir yma.

Adn. 4. *A'u henwau hwynt oedd, Aholah yr hynaf, ac Aholibah ei chwaer*] Y mae *Aholah* yn arwyddo 'ei phabell;' ac *Aholibah*, 'fy mhabell sydd ynddi.' Danghosa yr enw *Aholah* fod pabell, neu le o addoliad a defodau crefyddol, yn perthyn i *Samaria*, sef yn Dan a Bethel, lle yr oedd y lloi aur wedi eu gosod i fyny; eithr nid oedd y babell hòno ddim ond eu dyfais hwy eu hunain: tra y mae *Aholibah* yn dangos fod pabell Duw ei hun wedi ei gosod i fyny yn *Jerusalem*. Y mae *Aholah*, neu Samaria, yn cael ei galw y chwaer *hynaf*, am fod mwy o bobl, a chyfoeth, a thiriogaeth yn perthyn iddi, trwy fod deg llwyth o'r deuddeg dan ei hawdurdod hi. *Ac yr oeddynt yn eiddof fi*—ill dwy, trwy gyfammod priodasol; *a phlantasant feibion a merched*—cynyddasant yn ddirfawr mewn rhifedi. *Dyma eu henwau*—hyny yw, y mae *Aholah* yma yn arwyddo Samaria, ac *Aholibah* yn dynodi Jerusalem.

Adn. 5. *Ac Aholah a buteiniodd pan oedd eiddof fi*] Pan yr oedd mewn cyfammod â mi; *ac a ymserchodd yn ei chariadau*—a ymgynghreiriodd â hwynt, gan dderbyn eu heilunaddoliaeth; *ei chymydogion yr Assyriaid*—canys trwy i'r Assyriaid orchfygu y Syriaid, yr oeddynt wedi dyfod yn gymydogion i'r deg llwyth.

Adn. 6. *Y rhai a wisgid â glas, &c.*] Fel y mae merched yn dueddol o ymserchu mewn milwyr ieuainc prydferth, heinif, a chedyrn, y rhai a fyddont wedi ymdrwsio yn wych, ac

eindra â hwynt, â dewis feibion As-
sur oll, a chyda'r rhai oll yr ym-
serchodd ynddynt, â'u holl eilunod
hwynt yr ymhalogodd hi.
8 Ac ni adawodd ei phuteindra
*a ddygasai hi* o'r Aifft: canys gor-
weddasant gyda hi yn ei hieuenctid,
a hwy a ysigasent fronau ei mor-
wyndod hi, ac a dywalltasent eu
puteindra arni.
9 Am hyny y rhoddais hi yn llaw
ei chariadau, *sef* yn llaw meibion
Assur, y rhai yr ymserchodd hi
ynddynt.
10 Y rhai hyny a ddatguddiasant
ei noethni hi: hwy a gymerasant ei
meibion hi a'i merched, ac a'i lladd-
asant hithau â'r cleddyf: a hi a aeth
yn enwog yn mysg gwragedd; canys
gwnaethant farn arni.
11 A phan welodd ei chwaer
Aholibah, hi a lygrodd ei thraserch
yn fwy na hi, a'i phuteindra yn fwy
na phuteindra ei chwaer.
12 Ymserchodd yn meibion As-
sur, y duciaid a'r tywysogion o gy-
mydogion, wedi eu gwisgo yn wych
iawn, yn farchogion yn marchog-
aeth meirch, yn wŷr ieuainc dymun-
ol i gyd.
13 Yna y gwelais ei halogi hi, *a*
*bod* un ffordd ganddynt ill dwy;
14 Ac iddi hi chwanegu ar ei
phuteindra: canys pan welodd wŷr
wedi eu llunio ar y pared, delwau y
Caldeaid wedi eu llunio â fermilion,
15 Wedi eu gwregysu â gwregys
am eu llwynau, yn rhagori mewn
lliwiau am eu penau, mewn golwg
yn dywysogion oll, o ddull meibion
Babilon yn Caldea, tir eu genedig-
aeth:
16 Hi a ymserchodd ynddynt pan
eu gwelodd â'i llygaid, ac a anfon-
odd genadau atynt i Caldea.
17 A meibion Babilon a ddaeth-
ant ati i wely cariad, ac a'i halog-
asant hi â'u puteindra; a hi a
ymhalogodd gyda hwynt, a'i medd-
wl a giliodd oddiwrthynt.

---

yn fedrus fel marchogwyr; felly yr oedd yr Israeliaid yn cael eu denu gan harddwch a glewder yr Assyriaid; a thybient eu hunain yn ddiogel os gallent ddim ond ymgynghreirio â hwynt, ac ennill eu hewyllys da trwy gofleidio eu heilunaddoliaeth. *Yn marchogaeth meirch*—trwy nad oedd nemawr o feirch gan yr Israeliaid, yr oeddynt yn ceisio meirch-filwyr o blith eu cymydogion pan ymosodid arnynt gan ryw elynion.

Adn. 7. *Fel hyn y gwnaeth hi ei phuteindra â hwynt*] Fel hyn yr ymhalogodd Israel âg eilunod milwyr dewisol yr Assyriaid.

Adn. 8. *Ac ni adawodd ei phuteindra a ddygasai hi o'r Aifft*] Eithr chwanegodd Israel eilunod yr Assyriaid at y ddau lo aur, y rhai y dysgasant eu haddoli yn yr Aifft: gwel ar 1 Bren. xii. 28.

Adn. 9. *Am hyny y rhoddais hi yn llaw ei chariadau*] Gwnaeth Duw yr Assyriaid hyn o'r diwedd yn weinyddwyr ei farnedigaethau ar y deg llwyth, y rhai a'u caethgludasant hwy i Assyria, 2 Bren. xvii. 6.

Adn. 10. *Y rhai hyny a ddatguddiasant ei noethni hi*] Dyosgwyd y deg llwyth ganddynt o'u meddiannau, a lladdwyd llawer o honynt, a chaethgludwyd y lleill. *A hi a aeth yn enwog yn mysg gwragedd*—hi a aeth yn hynod yn mysg y cenhedloedd, yn gyntaf am ei drygioni, ac yna am fawredd ei chosp.

Adn. 11. *A phan welodd ei chwaer Aholibah*] Sef Jerusalem, neu deyrnas Juda; *hi a lygrodd ei thraserch yn fwy na hi*—yr oedd y ddau lwyth ereill mor bell oddiwrth gymeryd rhybydd oddiwrth y deg llwyth, nes yr aethant yn fwy halogedig ac eilunaddolgar na'r Samariaid hyny.

Adn. 12. *Ymserchodd yn meibion Assur*] Aethant hwythau i gynghrair â'r Assyriaid yn amser Ahaz, gan gofleidio eu heilunod hwy fel y gwnaethai y deg llwyth, adn. 6: gwel ar 2 Bren. xvi. 10—13.

Adn. 13. *Yna y gwelais ei halogi hi*] Fod calon Juda wedi ei gosod ar eilunod, yr un modd a chalon ei chwaer Samaria gynt.

Adn. 14. *Ac iddi hi chwanegu ar ei phuteindra*] Neu syrthio yn ddyfnach mewn eilunaddoliaeth nag y gwnaethai y deg llwyth. *Canys pan welodd wŷr wedi eu llunio ar y pared*—sef lluniau gwron enwog y Caldeaid, y rhai a addolid ganddynt fel duwiau: gwel ar pen. viii. 10. Yr oedd y rhai hyn wedi eu paentio â *fermilion*, neu liw coch.

Adn. 15. *Wedi eu gwregysu â gwregys am eu llwynau*] Yn arwydd o urddas milwraidd neu bendefigaidd; *yn rhagori mewn lliwiau am eu penau*—neu benwisgoedd amryliw, fel eiddo tywysogion; *o ddull meibion Babilon*—lle y ganed y gwron hyn.

Adn. 16. *Hi a ymserchodd ynddynt pan eu gwelodd*] Fel ag i ddymuno eu cael yn wrthddrychau addoliad iddi ei hun; *ac a anfonodd genadau atynt*—i'w gwahodd i'r dyben hyny.

Adn. 17. *A meibion Babilon a ddaethant ati i wely cariad*] A ymgynghreiriasant â'r Iuddewon yn ol eu dymuniad; *ac a'i halogasant hi â'u puteindra*—dysgasant iddynt holl ddefodau eu heilunaddoliaeth. *A'i meddwl a giliodd oddiwrthynt*—oddiwrth y Caldeaid, fel benyw odinebus yn alaru ar ei hen gariadau, ac yn chwilio am rai newyddion.

Adn. 18. *Felly y datguddiodd hi ei phuteindra*] Trwy ei thrachwant anniwalladwy am eilunod. *Yna y ciliodd fy meddwl oddi-*

3 G

18 Felly y datguddiodd hi ei
phuteindra, ac y datguddiodd ei
noethni. Yna y ciliodd fy meddwl
oddiwrthi, fel y ciliasai fy meddwl
oddiwrth ei chwaer hi.
19 Eto hi a chwanegodd ei phut-
eindra, gan gofio dyddiau ei hieu-
enctid, *yn* y rhai y puteiniasai hi yn
nhir yr Aifft.
20 Canys hi a ymserchodd yn ei
gordderchwyr, y rhai *yr oedd* eu
cnawd *fel* cnawd asynod, a'u difer-
lif *fel* diferlif meirch.
21 Felly y cofiaist ysgelerder dy
ieuenctid, pan ysigwyd dy ddidenau
gan yr Aifftiaid, am fronau dy ieu-
enctid.
22 ¶ Am hyny, Aholibah, fel hyn
y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele
fi yn cyfodi dy gariadau i'th erbyn,
y rhai y ciliodd dy feddwl oddi-
wrthynt, a dygaf hwynt i'th erbyn
o amgylch:
23 Meibion Babilon a'r holl Cal-
deaid, Pecod, a Soa, a Choa, *a* holl
feibion Assur gyda hwynt; yn wŷr
ieuainc dymunol, yn dduciaid a
thywysogion i gyd, yn benaethiaid
ac yn enwog, yn marchogaeth
meirch, bawb o honynt.
24 A deuant i'th erbyn â mèni,
cerbydau, ac olwynion, ac â chy-
nulleidfa o bobl; gosodant i'th er-
byn oddiamgylch astalch, a tharian,
a helm: a rhoddaf o'u blaen hwynt
farnedigaeth, a hwy a'th farnant
â'u barnedigaethau eu hun.
25 A mi a osodaf fy eiddigedd yn
dy erbyn, a hwy a wnant â thi yn
llidiog: dy drwyn a'th glustiau a
dynant ymaith; a'th weddill a syrth
gan y cleddyf: hwy a ddaliant dy
feibion a'th ferched; a'th weddill a
ysir gan y tân.
26 Dyosgant hefyd dy ddillad, a
dygant dy ddodrefn hyfryd.
27 Felly y gwnaf i'th ysgelerder,
a'th buteindra o dir yr Aifft, beidio
â thi; fel na chodech dy lygaid
atynt, ac na chofiech yr Aifft mwy.
28 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw, Wele fi yn dy roddi

---

*wrthi*—fel ag i benderfynu eu rhoddi i fyny i'w gelynion, megys y rhoddaswn ddeg llwyth Israel.

Adn. 19. *Eto hi a chwanegodd ei phuteindra, &c.*] Er ei bod yn hoffi eilunod newyddion, nid anghofiodd eilunod yr Aifft.

Adn. 20. *Canys hi a ymserchodd yn ei gordderchwyr*] Yn yr Aifftiaid eilunaddolgar, ac yn y defodau aflan a gyflawnid yn eu haddoliadau hwy; *y rhai yr oedd eu cnawd fel cnawd asynod, &c.*—y rhai oeddynt dra chnawdol, a chwannog i aflendid, pen. xvi. 26. Gall fod yma gyfeiriad at yr amser pryd yr ymgynghreiriodd Zedeciah o'r newydd â'r Aifftiaid.

Adn. 21. *Felly y cofiaist ysgelerder dy ieuenctid*] Yr hwn a ddysgaist yn more dy oes yn yr Aifft; *pan ysigwyd dy ddidenau, &c.*—pan ddechreuaist ar dy odineb ysbrydol, neu dy eilunaddoliaeth: gwel ar adn. 3.

Adn. 22. *Am hyny, Aholibah*] Sef Jerusalem, neu wlad Judea; *fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—yr hwn a gyflawna ei holl fygythion yn ddifeth; *Wele fi yn cyfodi dy gariadau i'th erbyn*—sef y Babiloniaid ac ereill; *y rhai y ciliodd dy feddwl oddiwrthynt*—gwel ar adn. 17.

Adn. 23. *Pecod, a Soa, a Choa*] Sef trigolion taleithiau yn amherodraeth fawr Babilon; neu ynte, 'llywiawdwyr, tywysogion, a phenaethiaid,' fel y mae rhai yn eu deall; *a holl feibion Assur gyda hwynt*—sef yr Assyriaid, y rhai oeddynt yn awr i ymuno â'r Caldeaid; *yn wŷr ieuainc dymunol, &c.*—gwel ar adn. 6.

Adn. 24. *A deuant i'th erbyn â mèni, &c.*] Sef â gwahanol fathau o gerbydau rhyfel, y rhai yr oedd math ar gleddyfau neu bladuriau yn eu holwynion; *ac â chynulleidfa o bobl*—ar feirch ac ar draed: *gosodant i'th erbyn oddiamgylch astalch, a tharian, a helm*—neu wŷr yn gwisgo y gyfryw arfogaeth amddiffynol: *a rhoddaf o'u blaen hwynt farnedigaeth*—defnyddiaf hwynt fel gweinyddwyr fy marnedigaethau; *a hwy a'th farnant â'u barnedigaethau eu hun*—yn ol eu dull barbaraidd a chreulon eu hunain, gan beri i'th gosp gyfateb i'th euogrwydd.

Adn. 25. *A mi a osodaf fy eiddigedd yn dy erbyn*] Fel y gosoda gŵr ei eiddigedd yn erbyn ei briod anffyddlon; *a hwy a wnant â thi yn llidiog*—a ddialant arnat gyda chreulondeb mawr. *Dy drwyn a'th glustiau a dynant ymaith*—yr hon oedd gosp gyffredin ar odinebwraig yn mhlith yr Aifftiaid, y Persiaid, a'r Caldeaid. Fel yr oedd y cenhedloedd hyn yn anffurfio y prydferthwch hwnw mewn gwraig, yr hwn a fuasai yn hudoliaeth i ereill; felly byddai i'r Caldeaid symud ymaith holl ogoniant Jerusalem, gan ladd neu gaethiwo ei thrigolion, a llosgi ei hadeiladau.

Adn. 26. *Dyosgant hefyd dy ddillad*] Fel yr arferid gwneyd â gwrageidd godinebus, pen. xvi. 37; *a dygant dy ddodrefn hyfryd*—Hebr., 'dy offer addurniadol,' megys ei gemau gwerthfawr, y rhai a fyddent yn ysglyfaeth i'w gelynion.

Adn. 27. *Felly y gwnaf i'th ysgelerder, a'th buteindra o dir yr Aifft*] Sef yr eilunaddoliaeth a ddysgaist yno; *beidio â thi*—trwy y barnedigaethau hyn.

yn llaw y rhai a gasaist, yn llaw y
rhai y ciliodd dy feddwl oddiwrth-
ynt.
29 A gwnant â thi yn atgas, ac a
gymerant dy holl lafur, ac a'th ad-
awant di yn llom ac yn noeth: a
datguddir noethni dy buteindra;
ïe, dy ysgelerder a'th buteindra.
30 Mi a wnaf hyn i ti, am buteinio
o honot ar ol y cenhedloedd, am dy
halogi gyda'u heilunod hwynt.
31 Ti a rodiaist yn ffordd dy
chwaer; am hyny y rhoddaf finau
ei chwpan hi yn dy law di.
32 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Dwfn a helaeth gwpan dy
chwaer a yfi: ti a fyddi i'th watwar,
ac i'th ddirmygu: y mae llawer yn
gèni ynddo.
33 Ti a lenwir â meddwdod ac â
gofid, o gwpan syndod ac anrhaith,
o gwpan dy chwaer Samaria.
34 Canys ti a yfi, ac a sugni o
hono; drylli hefyd ei ddarnau ef,
ac a dyni ymaith dy fronau dy hun:
canys myfi a'i llefarais, medd yr
Arglwydd Dduw.
35 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, O herwydd it' fy
anghofio, a'm bwrw o honot tu ol
i'th gefn; am hyny dwg dithau dy
ysgelerder a'th buteindra.
36 ¶ Dywedodd yr Arglwydd
hefyd wrthyf, A ferni di, fab dyn,
Aholah ac Aholibah? ïe, mynega
iddynt eu ffieidd-dra;
37 Iddynt dori priodas, a *bod*
gwaed yn eu dwylaw, ïe, gyda'u
heilunod y puteiniasant; eu meib-
ion hefyd y rhai a blantasant i mi, a
dynasant trwy *dân* iddynt i'*w* hysu.
38 Gwnaethant hyn ychwaneg i
mi, fy nghysegr a aflanhasant yn y
dydd hwnw, a'm sabbothau a hal-
ogasant.
39 Canys pan laddasant eu meib-
ion i'w heilunod, yna y daethant
i'm cysegr yn y dydd hwnw, i'w
halogi ef; ac wele, fel hyn y
gwnaethant yn nghanol fy nhŷ.

---

Adn. 28. *Wele fi yn dy roddi yn llaw y rhai a gaseaist*] Sef yn llaw y Babiloniaid, y rhai y ciliodd ei meddwl oddiwrthynt, adn. 17, 22.

Adn. 29. *A gwnant â thi yn atgas, &c.*] Ni byddai i'r Babiloniaid ddangos dim trugaredd iddynt, eithr trinient hwy yn greulon, gan eu hyspeilio o ffrwyth eu llafur, a'u gadael yn anghenog a thruenus: *a datguddir noethni dy buteindra*—byddai eu heuogrwydd eilunaddolgar yn amlwg i bawb, yr hwn a barasai i'r Arglwydd eu rhoddi yn llaw eu gelynion.

Adn. 30. *Mi a wnaf hyn i ti*] Am dy halogi âg eilunod y cenhedloedd.

Adn. 31. *Ti a rodiaist yn ffordd dy chwaer*] Sef y Samariaid, neu y deg llwyth; *am hyny y rhoddaf finau ei chwpan hi yn dy law di*—caethgludir dithau i Babilon, fel y caethgludwyd hwythau i Assyria.

Adn. 32. *Dwfn a helaeth gwpan dy chwaer a yfi*] Sef cwpanaid ag y byddent 70 mlynedd yn ei yfed. *Ti a fyddi i'th watwar ac i'th ddirmygu*—fel yr ymddygir at feddwon. *Y mae llawer yn gèni ynddo*—neu yn cael ei 'gynwys' yn y cwpan hwnw, sef o ddigofaint chwerw.

Adn. 33. *Ti a lenwir â meddwdod, &c.*] Deuai arnynt y fath orthrymderau lluosog a mawrion, nes y byddent yn ymddyrysu danynt fel meddwon, ac fel wedi synu gan eu cyflwr anrheithiedig; *o gwpan dy chwaer Samaria*—o gosp gyffelyb i'r hon a ddaethai ar y deg llwyth.

Adn. 34. *Canys ti a yfi, ac a sugni o hono*] Ti a yfi o gwpan adfyd hyd y gwaelodion, ac yna ti a sugni o'i waddod chwerw ef: gwel ar Salm lxxv. 8, Esay li. 17. *Drylli hefyd ei ddarnau ef*—fel dyn yn ei feddwdod yn dryllio y cwpan o'r hwn yr yfasai; *ac a dyni ymaith dy fronau*—ti a rwygi dy gnawd dy hun â darnau y cwpan drylliedig, fel dyn mewn gofid a gorphwylldra: *canys myfi a'i llefarais*—yr hyn sydd brawf y daw y cwbl i ben, pa mor annhebyg bynag yr ymddengys.

Adn. 35. *O herwydd it' fy anghofio*] A chefnu ar fy addoliad i; *am hyny dwg dithau dy ysgelerder a'th buteindra*—neu ti a ddyoddefi y gosp am danynt.

Adn. 36. *A ferni di, fab dyn, Aholah ac Aholibah*] Sef Samaria a Jerusalem? adn. 4. Y meddwl yw, Ai ni fydd i ti eu barnu a'u condemnio? *Ie, mynega iddynt eu ffieidd-dra*—yr hyn a enwir isod.

Adn. 37. *Iddynt dori priodas*] Trwy buteinio gyda'u heilunod; *a bod gwaed yn eu dwylaw*—wrth dynu eu meibion trwy dân i'w heilunod, pen. xvi. 20, 21. Y mae diwedd yr adnod yn egluro ei dechre hi.

Adn. 38. *Gwnaethant hyn ychwaneg i mi*] Yn chwanegol at yr hyn a enwyd uchod; *fy nghysegr a aflanhasant yn y dydd hwnw*—daethant oddiwrth eu gweithredoedd gwaedlyd yn rhagrithiol i'm teml, fel pe buasent yn wir addolwyr Jehofa; *a'm sabbothau a halogasant*—trwy beidio eu cadw, neu trwy aberthu eu plant i'w duwiau ar y sabbothau, fel y gwelwn isod.

Adn. 39. *Canys pan laddasant eu meibion i'w heilunod*] Gan eu tynu trwy dân i Moloch; *yna y daethant i'm cysegr yn y dydd hwnw*—sef ar y dydd sabboth, *i'w halogi ef*—trwy ymyraeth â'm pethau santaidd i, pan yr oedd eu dwylaw a'u dillad yn goch gan waed! *Ac wele, fel hyn y gwnaethant yn nghanol fy nhŷ*—yn rhanau mewnol y deml. Ond

40 A hefyd gan anfon o honoch am wŷr i ddyfod o bell, y rhai yr anfonwyd cenad atynt, ac wele daethant; er mwyn pa rai yr ymolchaist, y lliwiaist dy lygaid, ac yr ymherddaist â harddwch.

41 Eisteddaist hefyd ar wely anrhydeddus, a bord drefnus o'i flaen, a gosodaist arno fy arogldarth a'm holew i.

42 A llais tyrfa heddychol *oedd* gyda hi: a chyda'r cyffredin y dygwyd y Sabeaid o'r anialwch, y rhai a roddasant freichledau am eu dwylaw hwynt, a choronau hyfryd am eu penau hwynt.

43 Yna y dywedais wrth yr hen ei phuteindra, A wnant hwy yn awr buteindra gyda hi, a hithau *gyda hwythau?*

44 Eto aethant ati fel myned at buteinwraig; felly yr aethant at Aholah ac Aholibah, y gwragedd ysgeler.

45 ¶ A'r gwŷr cyfiawn hwythau a'u barnant hwy â barnedigaeth puteiniaid, ac â barnedigaeth rhai yn tywallt gwaed: canys puteinio y maent, a gwaed *sydd* yn eu dwylaw.

46 Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw, Dygaf i fyny dyrfa arnynt hwy, a rhoddaf hwynt i'w mudo ac i'w hanrheithio.

47 A'r dyrfa a'u llabyddiant hwy â meini, ac a'u torant hwy â'u cleddyfau: eu meibion a'u merched

---

tybia rhai mai yr ystyr yw, iddynt osod i fyny eu heilunod i'w haddoli yn nghanol y cysegr.

Adn. 40. *A hefyd gan anfon o honoch am wŷr i ddyfod o bell*] Sef o Assyria, Caldea, a'r Aifft, i ymgynghreirio â hwynt, ac i ddysgu eu defodau eilunaddolgar, adn. 16, &c.; *er mwyn pa rai yr ymolchaist, y lliwiaist dy lygaid, ac yr ymherddaist â harddwch*—dywed *Ward* mai fel hyn yn gywir yr ymbarotoa putanod *Bengal* i dderbyn eu cariadau. Yn gyntaf hwy a ymolchant, yna rhoddant liw dû o amgylch eu llygaid, ac wedi hyny addurnant eu cyrff âg addurniadau: gwel ar Esay lvii. 7, 9, Jer. iv. 30.

Adn. 41. *Eisteddaist hefyd ar wely anrhydeddus, &c.*] Meddylir fod yma gyfeiriad at yr arferiad dwyreiniol o roddi y briodferch ar lwth neu wely gorwych, gyda bord arlwyedig o'i blaen, a thuserau arogldarth arno; neu at arferiad merched penrhydd mewn gwleddoedd eilunaddolgar. Y meddwl yw, fod llywodraeth Judea yn derbyn cenadau y cenhedloedd mewn modd rhwysgfawr, gan eu croesawu o flaen allorau eu heilunod, lle y gosodid y fath offrymau ag a ddylasent gael eu hoffrymu i'r Arglwydd. Tybia *Houbigant* ac ereill mai allor Ahaz a feddylir wrth y 'ford drefnus' yma: gwel ar 2 Bren. xvi. 15, &c.

Adn. 42. *A llais tyrfa heddychol oedd gyda hi*] Neu 'dyrfa fasweddol a llawen,' y rhai a ddaethent o wahanol barthau Judea i longyfarch y cenadau hyny ar eu dyfodiad i Jerusalem. *A chyda'r cyffredin y dygwyd y Sabeaid o'r anialwch*—heblaw y Caldeaid a'r Aifftiaid, anfonai yr Iuddewon hyd yn nod at Sabeaid crwydrol yr anialwch hefyd i ddyfod i gynghrair â hwy; *y rhai a roddasant freichledau am eu dwylaw hwynt, a choronau hyfryd ar eu penau*—y rhai hyn a roddid gan y Sabeaid i'r Iuddewon, yn ol rhai; neu a wisgid er harddwch gan y Sabeaid eu hunain, yn ol ereill; neu ynte a roddid gan yr Iuddewon i'r crwydriaid hyny am ddyfod atynt: gwel ar pen. xvi. 33, 34. Ond y mae y gair a gyfieithir yma *Sabeaid*, yn cael ei gyfieithu yn *feddwon* ar ymyl y ddalen; ac fe allai mai at addolwyr Bacchus y cyfeirir, y rhai a wisgent goronau ac addurniadau ereill yn eu gwleddoedd a'u dawnsiau.

Adn. 43. *Yna y dywedais wrth yr hen ei phuteindra*] Sef wrth Aholibah, neu 'am dani hi,' yr hon a fuasai yn hir bellach yn dylyn ei heilunaddoliaeth; *A wnant hwy yn awr buteindra gyda hi, a hithau gyda hwythau?*—arddanghosir Duw yma fel yn edrych, ai ni byddai iddi hi a'i chariadau flino o'r diwedd ar eu gilydd, yn ol yr anwadalwch hwnw ag sydd naturiol i ddynolryw: canys yr oedd Duw wedi gwahardd i'r Iuddewon gyfathrachu â'r cenhedloedd, ac yr oedd y cenhedloedd hwythau wedi cael yr Iuddewon lawer gwaith yn anffyddlon i'w hymrwymiadau.

Adn. 44. *Eto aethant ati fel myned at buteinwraig*] Yr oedd y cenhedloedd yn parhau i gyfathrachu â'r Iuddewon, ac yr oedd yr Iuddewon mor awyddus ag erioed i ymuno â'r cenhedloedd eilunaddolgar, yn groes i holl orchymynion Duw.

Adn. 45. *A'r gwŷr cyfiawn hwythau a'u barnant hwy â barnedigaeth puteiniaid*] Bydd i bob barnwr cyfiawn, a phob dyn gonest, gondemnio eu hymddygiad hwy, a barnu eu bod yn haeddu yr un gosp a phuteiniaid a llofruddion; neu, gelwir y *Caldeaid* yma yn 'wŷr cyfiawn,' am eu bod yn gyfiawnach na'r Iuddewon gwrthgiliedig, ac wedi eu penodi i weinyddu cosp gyfiawn arnynt hwy.

Adn. 46. *Dygaf i fyny dyrfa arnynt hwy, &c.*] Dywedir hyn am y Babiloniaid neu y Caldeaid, y rhai oeddynt i anrheithio a chaethgludo yr Iuddewon.

Adn. 47. *A'r dyrfa a'u llabyddiant hwy â meini*] Yn cael eu taflu i'r ddinas, yn amser y gwarchaead, â pheirianau rhyfel; *ac a'u torant hwy â'u cleddyfau*—ar ol dyfod i mewn i'r ddinas; *a'u tai a losgant â thân*—yr hyn oedd cosp dinas eilunaddolgar, a benyw odinebus: gwel ar pen. xvi. 40, 41.

Adn. 48. *Fel hyn y gwnaf finnau i ysgelerder beidio o'r wlad*] Neu fel hyn y rhoddaf derfyn ar eilunaddoliaeth yr Iuddewon; *fel y dysgir yr holl wragedd*—sef dinasoedd, gwled-

a laddant, a'u tai a losgant â thân.

48 Fel hyn y gwnaf finau i ysgelerder beidio o'r wlad, fel y dysgir yr holl wragedd na wnelont yn ol eich ysgelerder chwi.

49 A hwy a roddant eich ysgelerder i'ch erbyn, a chwi a ddygwch bechodau eich eilunod; ac a gewch wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XXIV.

DRACHEFN yn y nawfed flwyddyn, yn y degfed mis, ar y degfed *dydd* o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Ysgrifena it' enw y dydd hwn, fab dyn, *ie*, corff y dydd hwn: ymosododd brenin Babilon yn erbyn Jerusalem o fewn corff y dydd hwn.

3 A thraetha ddiareb wrth y tŷ gwrthryfelgar, a dywed wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Gosod y crochan, gosod, a thywallt hefyd ddwfr ynddo.

4 Casgl ei ddrylliau iddo, pob dryll têg, y morddwyd, a'r ysgwyddog; llanw *ef* â'r dewis esgyrn.

5 Cymer ddewis o'r praidd, a chyneu yr esgyrn dano, *a* berw ef yn ferwedig; ïe, berwed ei esgyrn o'i fewn.

6 ¶ Am hyny yr Arglwydd Dduw a ddywed fel hyn, Gwae ddinas y gwaed, y crochan yr hwn *y mae* ei yscum ynddo, ac nid aeth ei yscum allan o hono: tyn ef allan bob yn dryll: na syrthied coelbren arno.

7 O herwydd ei gwaed sydd yn ei chanol: ar gopa craig y gosododd hi ef; nis tywalltodd ar y ddaear, i fwrw arno lwch:

---

ydd, neu deyrnasoedd, y rhai a elwir yma yn 'wragedd,' am fod Samaria a Jerusalem yn cael eu harddangos dan y gyffelybiaeth o wragedd; *na wnelont yn ol eich ysgelerder chwi*—na chofleidiont eilunod.

Adn. 49. *A hwy a roddant eich ysgelerder i'ch erbyn*] Bydd i'r Babiloniaid eich cospi fel hyn am eich ysgelerder dirfawr; *a chwi a ddygwch bechodau eich eilunod*—sef cospedigaeth eich pechodau eilunaddolgar; *ac a gewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd Dduw*—trwy gyflawniad chwerw o'r barnedigaethau a fygythir genyf i'ch erbyn.

PEN. XXIV. Adn. 1. *Drachefn yn y nawfed flwyddyn*] O deyrnasiad Zedeciah, a chaethiwed Jehoiacim ac Ezeciel; *yn y degfed mis, ar y degfed dydd o'r mis*—yn cyfateb, yn ol *Usher*, i ddydd Iau, Ionawr 30, O.B. 3414, C.C. 590; *y daeth gair yr Arglwydd ataf*—yn Caldea, lle yr oedd y proffwyd y pryd hyn. Felly dygwyddodd hyn ar yr un dydd ag y dechreuodd Nebuchodonosor warchae ar Jerusalem: gwel ar adn. 2, a 2 Bren. xxv. 1.

Adn. 2. *Ysgrifena it' enw y dydd hwn*] Gwna gofnodiad o hono fel y 'degfed dydd o'r degfed mis, yn y nawfed flwyddyn,' adn. 1. *Ymosododd brenin Babilon yn erbyn Jerusalem o fewn corff y dydd hwn*—fel pe dywedasai, Gwna gofnodiad o'r dydd hwn, ac o'm gwaith inau yn hysbysu i ti pa beth a gymerth le ynddo yn Jerusalem, gannoedd o filldiroedd oddiwrthyt, fel y byddo yn gadarnhad o wirionedd dy genadwri, ac yn sicrwydd o gyflawniad dy holl ragfynegiadau ereill; canys pan glywo y bobl fod y gwarchaead wedi ei ddechreu heddyw, ac y gwelont dy fod dithau wedi nodi hyny ar yr un dydd, bydd yn brawf iddynt o ddwyfoldeb dy genadwri.

Adn 3. *A thraetha ddiareb*] Neu *ddameg*, wrth dŷ gwrthryfelgar Juda, gan ddangos iddynt trwy weithred arwyddocaol y dinystr ag sydd yn dyfod arnynt. *Gosod y crochan, gosod*—ar y tân, a hyny gyda'r brys mwyaf; *a thywallt hefyd ddwfr ynddo*—i ferwi y pethau a enwir eto. Wrth y *crochan* hwn y meddylir Jerusalem; *a thywallt ddwfr* ynddo a arwydda dywalltiad barnau Duw ar y ddinas a'i thrigolion.

Adn. 4. *Casgl ei ddrylliau iddo*] Sef y darnau ag oeddynt i'w berwi; *pob dryll têg, y morddwyd a'r ysgwyddog*—y rhai a osodant allan y brenin a'i dywysogion, yn nghyda mawrion y deyrnas: *llanw ef â'r dewis esgyrn*—neu 'ddarnau cig;' sef y milwyr, a'r rhai dewraf o'r werin fe allai.

Adn. 5. *Cymer ddewis o'r praidd*] Y gwŷr mwyaf dewisol neu ddylanwadol yn y deyrnas; *a chyneu yr esgyrn dano*—nid esgyrn y darnau ag oeddynt i gael eu berwi, ond esgyrn y bobl dylodion fe allai, y rhai oeddynt, o'u cymharu â'r mawrion, fel esgyrn heb gig arnynt; *a berw ef yn ferwedig*—neu 'yn dda,' i ddangos erchylldra y farn; *ïe, berwed ei esgyrn o'i fewn*—yn gymysg â'r drylliau ereill.

Adn. 6. *Gwae ddinas y gwaed*] Sef Jerusalem, pen. xxii. 2; *y crochan yr hwn y mae ei yscum ynddo*—yr hwn ni phurwyd ei aflendid a'i ddrygioni allan o hono. *Tyn ef allan bob yn ddryll*—i arwyddo na byddai i drigolion Jerusalem gael eu dyfetha ar unwaith, ac yn yr un modd; ond y byddai i rai farw trwy y cleddyf, ereill trwy y newyn, ac ereill trwy yr haint. *Na syrthied coelbren arno*—i benderfynu pwy a leddid, neu pwy a arbedid, neu pwy a gaethgludid; ond yr oedd pawb o honynt i gyfarfod â rhyw farn neu gilydd.

Adn. 7. *O herwydd ei gwaed sydd yn ei chanol*] Yn gwaeddi yn uchel am ddialedd

8 I beri i lid godi i wneuthur
dial; rhoddais ei gwaed hi ar gopa
craig, rhag ei guddio.
9 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Gwae ddinas y
gwaed: minau a wnaf ei thanllwyth
yn fawr.
10 Amlha y coed, cyneu y tân,
difa y cig, a gwna goginiaeth, a
llosger yr esgyrn.
11 A dod ef ar ei farwor yn wâg,
fel y twymno, ac y llosgo ei bres,
ac y toddo ei aflendid ynddo, *ac* y
darfyddo ei yscum.
12 Ymflinodd â chelwyddau, ac
nid aeth ei hyscum mawr allan o
honi: yn tân *y bwrir* ei hyscum hi.
13 Yn dy aflendid *y mae* ysgeler-
der: o herwydd glanhau o honof
di, ac nid wyt lân, o'th aflendid ni'th
lanheir mwy, hyd oni pharwyf i'm
llid orphwys arnat.
14 Myfi yr Arglwydd a'*i* llefar-
ais: daw, a gwnaf; nid âf yn ol, ac
nid arbedaf, ac nid edifarhaf. Yn
ol dy ffyrdd, ac yn ol dy weithred-
oedd y barnant di, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
15 ¶ A gair yr Arglwydd a
ddaeth ataf, gan ddywedyd,
16 Wele, fab dyn, fi yn cymeryd
oddiwrthyt ddymuniant dy lygaid
â dyrnod: eto na alara ac na ŵyla,
ac na ddeued dy ddagrau.
17 Taw â llefain, na wna farwnad;
rhwym dy gap am dy ben, a dod dy

---

*ar gopa craig y gosododd hi ef*—yn ddiarswyd a digywilydd, lle y gallai pawb ei ganfod: *nis tywalltodd ar y ddaear, i fwrw arno lwch*—yn ol y gyfraith, Lef. xvii. 13; hyny yw, ni chuddiodd y gwaed, trwy gywilydd, rhag iddo gael ei weled.

Adn. 8. *I beri i lid godi i wneuthur dial*] Hyny yw, gadawodd ef yn amlwg, fel y byddai i'r olwg arno gynhyrfu y dialedd dwyfol i'w herbyn hi. *Rhoddais ei gwaed hi ar gopa craig rhag ei guddio*—tywelltid ei gwaed hithau yn gyhoeddus. Ymddygai Duw tuag at drigolion Jerusalem, fel yr ymddygasent hwythau tuag at y proffwydi a chyfiawnion ereill.

Adn. 9. *Minau a wnaf ei thanllwyth yn fawr*] Dygaf luoedd mawrion o'r Caldeaid i'w herbyn i lwyr ysu ei thrigolion.

Adn. 10. *Amlha y coed*] I wneyd tân mawr i ddifa y cig, *a gwna goginiaeth*—neu flasus-fwyd a fyddo wrth fodd y Caldeaid. Arwydda yr ymadroddion hyn y byddai y gelynion mor awyddus i ddyfetha Jerusalem a'i thrigolion, ag y mae pobl newynog a gwancus i lyncu cig a fyddo wedi ei goginio neu ei barotoi yn dda.

Adn. 11. *A dod ef ar ei farwor yn wâg*] Sef y crochan dan sylw; *fel y twymno ac y llosgo ei bres, &c.*—ar ol i'r trigolion gael eu lladd neu eu caethgludo, yr oedd y ddinas ei hun, yr hon a arddanghosir yma trwy y crochan, i gael ei llosgi â thân, fel y byddai i'w haflendid gael ei lwyr buro ymaith; a dywedir hyn mewn cyfeiriad at y gyfraith a orchymynai i lestri mettel, y rhai nas gallai dwfr eu glanhau, gael eu puro trwy dân, Num. xxxi. 23. Fel hyn nis gellid puro Jerusalem oddiwrth ei ffieidd-dra ond trwy ei llosgi hyd ei syltaeni: wedi hyny yr oedd i gael ei hailadeiladu, fel ag i fod yn ddinas santaidd, yn rhydd oddiwrth yr eilunaddoliaeth a'i halogasai hi gynt.

Adn. 12. *Ymflinodd â chelwyddau*] Cymerodd lawer o drafferth gyda'i heilunod, y rhai nid oeddynt ond oferedd celwydd; neu ymboenodd i ymgyfathrachu â'r cenhedloedd, y rhai a'i twyllasant yn y diwedd: *ac nid aeth ei hyscum mawr allan o honi*—er yr holl rybyddion a'r ceryddon a roddid iddi, yr oedd yn parhau yn galed ac anedifeiriol: *yn tân y bwrir ei hyscum hi*—rhaid difa ei haflendid eilunaddolgar trwy ddialedd tanllyd.

Adn. 13. *Yn dy aflendid y mae ysgelerder*] Yr oedd yr ysgelerder mwyaf yn ei gwrthgiliad a'i heilunaddoliaeth. *O herwydd glanhau o honof di*—neu wneuthur o honof yr hyn oedd angenrheidiol er dy lanhau, trwy dy rybyddio a'th geryddu; *ac nid wyt lân*—ac na thyciodd dim a wnaethym er dy lanhau; *o'th aflendid ni'th lanheir mwy*—nid ymrysonaf â thi mwyach, eithr rhoddaf di i fyny i ddinystr.

Adn. 14. *Myfi yr Arglwydd a'i llefarais*] Nid geiriau Ezeciel yw y rhai hyn, ond geiriau y digelwyddog Dduw, yr hwn a gyflawna ei fygythion yn ei herbyn yn ddiffeth. *Nid âf yn ol*—nid edifarhaf am yr hyn a ddywedais i'th erbyn, ac nid arbedaf di yn hwy. *Yn ol dy ffyrdd, ac yn ol dy weithredoedd, y barnant di*—bydd i'r Caldeaid, offerynau fy nialedd i, dy gospi i'r eithaf yn ol dy haeddiant.

Adn. 15. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] I roddi i'r proffwyd arwydd arall o ddinystr Jerusalem trwy farwolaeth ei wraig.

Adn. 16. *Wele, fab dyn, fi yn cymeryd oddiwrthyt ddymuniant dy lygaid*] Sef dy wraig anwyl, yr hon yr wyt yn ei charu yn fawr; *â dyrnod*—neu trwy farwolaeth sydyn: *eto na alara ac na ŵyla*—ar ei hol, er anwyled ydoedd yn dy olwg: *ac na ddeued dy ddagrau*—o'th lygaid, eithr bydd foddlon i'm hewyllys i.

Adn. 17. *Taw â llefain, na wna farwnad*] Na ddangos unrhyw arwydd o ofid a galar ar ei hol: *rhwym dy gap am dy ben, a dod dy esgidiau am dy draed*—mewn galar mawr, arferai yr Iuddewon fod yn bennoeth a throednoeth; ond yma erchir i Ezeciel wisgo ei gap a'i esgidiau fel o'r blaen: *ac na chudd ar dy enau*—arferai galarwyr guddio â napcyn y rhan isaf o'u gwyneb, o'r trwyn i waered yr ên, yr hyn a waherddir yma i'r proffwyd: *na fwyta chwaith fara dynion*—Hebr., *lechem*

esgidiau am dy draed, ac na chau
ar *dy* enau, na fwyta chwaith fara
dynion.
18 Felly y llefarais wrth y bobl
y bore; a bu farw fy ngwraig yn yr
hwyr; a gwnaethym y bore dran-
oeth fel y gorchymynasid i mi.
19 ¶ A'r bobl a ddywedasant
wrthyf, Oni fynegi i ni beth *yw* hyn
i ni, gan i ti wneuthur *felly?*
20 Yna y dywedais wrthynt, Gair
yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan
ddywedyd,
21 Dywed wrth dŷ Israel, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw,
Wele fi yn halogi fy nghysegr, go-
didogrwydd eich nerth, dymuniant
eich llygaid, ac anwyldra eich
enaid: a'ch meibion a'ch merched,
y rhai a adawsoch, a syrthiant gan
y cleddyf.
22 Ac fel y gwnaethym i, y
gwnewch chwithau; ni chauwch ar
*eich* geneuau, ac ni fwytewch fara
dynion.
23 *Byddwch* â'ch capiau am eich
penau, a'ch esgidiau am eich traed:
ni alerwch, ac ni ŵylwch; ond am
eich anwiredd y dihoenwch, ac
ocheneidiwch bob un wrth ei gilydd.
24 Felly y mae Ezeciel yn arwydd
i chwi: yn ol yr hyn oll a wnaeth
efe y gwnewch chwithau: a phan
ddelo hyn, chwi a gewch wybod
mai myfi *yw* yr Arglwydd Dduw.
25 Tithau fab dyn, *onid* yn y
dydd y cymeraf oddiwrthynt eu
nerth, llawenydd eu gogoniant,
dymuniant eu llygaid, ac anwyldra
eu henaid, eu meibion a'u merched;
26 Y dydd hwnw y daw yr hwn
a ddiango, atat, i beri *it' ei* glywed
â'*th* glustiau?
27 Yn y dydd hwnw yr agorir dy

---

*anashim*, 'bara dynion *truenus*,' neu alarwyr; hyny yw, na chyfranoga o'r alar-wledd a barotoir gan berthynasau ar farwolaeth eu cyfeillion: gwel ar Jer. xvi. 7.

Adn. 18. *Felly y llefarais wrth y bobl y bore*] Adroddais iddynt yr hyn a ddywedasai Duw wrthyf am farwolaeth fy ngwraig, a'r modd yr oeddwn i ymddwyn ar yr achos hwnw; *a bu farw fy ngwraig yn yr hwyr*—yn ol gair yr Arglwydd. *A gwnaethym y bore dranoeth fel y gorchymynasid i mi*—gwisgais fy nghap a'm hesgidiau, a dylynais yn fanwl y cyfarwyddyd a roddesid i mi, adn. 16, 17.

Adn. 19. *A'r bobl a ddywedasant wrthyf*] Pan welsant fy ymddygiad dyeithrol ar y fath achos; *Oni fynegi i ni beth yw hyn i ni*—beth y mae hyn yn ei arwyddo, neu pa addysg neillduol i ni sydd yn dy ymddygiad hwn?

Adn. 20. *Yna y dywedais wrthynt*] Rhoddodd ymofyniad y bobl gyfleusdra i'r proffwyd i draethu iddynt air yr Arglwydd.

Adn. 21. *Dywed wrth dŷ Israel*] Y rhai sydd gaethion gyda thi yn Caldea; *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—yr hwn a orchymynodd i mi y pethau hyn: *Wele fi yn halogi fy nghysegr*—trwy ei roddi i fyny i ddwylaw y cenhedloedd; *godidogrwydd eich nerth*—yr hwn yr ymffrostiwch ynddo fel amddiffynfa yr Iuddewon; *dymuniant eich llygaid, ac anwyldra eich enaid*—fel yr oedd fy ngwraig yn fy ngolwg inau, adn. 16: *a'ch meibion a'ch merched y rhai a adawsoch*—ar ol yn Judea pan y caethgludwyd chwi yma; *a syrthiant gan y cleddyf*—sef cleddyf y Caldeaid.

Adn. 22. *Ac fel y gwnaethym i*] Ar ol fy ngwraig; *y gwnewch chwithau*—ar ol eich meibion a'ch merched: *ni chauwch ar eich geneuau, ac ni fwytewch fara dynion*—gwel ar adn. 17.

Adn. 23. *Byddwch â'ch capiau am eich penau, a'ch esgidiau am eich traed*] Gwel ar adn. 17: *ni alerwch ac ni ŵylwch*—ni chewch amser i alaru am un trallod, cyn i un arall eich dal; neu, bydd i'ch galar personol gael ei lyncu i fyny gan alar cyffredinol; neu ynte, bydd i'r barnedigaethau dychrynllyd hyn eich syfrdanu, a'ch dwyn i'r fath gyfyngder, nes y bydd yn rhy fawr i'w amlygu trwy eiriau neu arwyddion. *Ond am eich anwiredd y dihoenwch, &c.*—llyncir chwi i fyny gan y fath dristwch a syndod, nes y byddwch heb allu dywedyd un gair, ond yn ocheneidio mewn dystawrwydd, ac yn dihoeni ymaith fel rhai mewn darfodedigaeth.

Adn. 24. *Felly y mae Ezeciel*] Yn ei amddifadiad o'i anwyl wraig, *yn arwydd i chwi*—o'r hyn a ddaw i'ch cyfarfod chwithau: *yn ol yr hyn oll a wnaeth efe*—ar ol ei marw hi, adn. 16, 17; *y gwnewch chwithau*—ar ol halogi eich cysegr, a cholli eich meibion a'ch merched, adn. 21—23. *A phan ddelo hyn*—yr hyn a gymerodd le yn mhen blwyddyn a hanner yn gymhwys, 2 Bren. xxv. 2, 3; *chwi a gewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd Dduw*—bydd raid i chwi addef fy ngallu, fy ngwirionedd, a'm cyfiawnder.

Adn. 25, 26. *Tithau, fab dyn, onid yn y dydd y cymeraf oddiwrthynt eu nerth, &c.*] Sef yn y dydd y dinystrid y ddinas a'r deml, fel yr adroddwyd adn. 21; *y dydd hwnw y daw yr hwn a ddiango atat*—y cychwyna efe ei daith tuag atat; *i beri it' ei glywed â'th glustiau*—i fynegu i ti fod yr hyn a broffwydaist wedi dyfod i ben? Efe a gychwynai tuag ato ar y dydd hwnw, ac a gyrhaeddai at y proffwyd yn Caldea yn mhen rhyw yspaid ar ol hyny: gwel ar pen. xxxiii. 21.

Adn. 27. *Yn y dydd hwnw yr agorir dy safn*] I lefaru wrth yr hwn a ddygasai y newydd iddo, ac hefyd wrth yr Iuddewon yr

safn wrth yr hwn a ddiango; llefari
hefyd, ac ni byddi fud mwy: a
byddi iddynt yn arwydd; fel y
gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd.

## PENNOD XXV.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
2 Ha fab dyn, gosod dy wyneb
yn erbyn meibion Ammon, a phroff-
wyda yn eu herbyn hwynt;
3 A dywed wrth feibion Ammon,
Gwrandewch air yr Arglwydd
Dduw; Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw, Am ddywedyd o
honot, Haha, yn erbyn fy nghysegr,
pan halogwyd: ac yn erbyn tir
Israel, pan anrheithiwyd; ac yn
erbyn tŷ Juda, pan aethant mewn
caethglud:
4 Am hyny wele fi yn dy roddi
di yn etifeddiaeth i feibion y dwy-
rain, fel y gosodant eu palasau ynot,
ac y gosodant eu pebyll o'th fewn:
hwy a ysant dy ffrwyth, a hwy a
yfant dy laeth.
5 Rhoddaf hefyd Rabbah yn
drigfa camelod, a meibion Ammon
yn orweddfa defaid: fel y gwypoch
mai myfi *yw* yr Arglwydd.
6 Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; O herwydd taro
o honot *dy* ddwylaw, a churo o
honot â'*th* draed, a llawenychu o
honot yn *dy* galon â'th holl ddirmyg
yn erbyn tir Israel;
7 Am hyny wele, mi a estynaf fy
llaw arnat, ac a'th roddaf yn fwyd
i'r cenhedloedd, ac a'th doraf ymaith
o fysg y bobloedd, ac a'th ddyfethaf

---

hyn a berthynai i amgylchiadau y genedl. Cyflawnwyd hyn yn fanwl: gwel ar pen. xxxiii. 21, &c. *Llefari hefyd, ac ni byddi fud mwy*—o'r pryd hyn hyd oni ddeuai y diangydd ato i fynegu fod Jerusalem wedi ei tharaw, ni fyddai gan y proffwyd ddim i'w ragfynegu mwyach am yr Iuddewon, ac felly byddai yn *fud* tuag atynt hwy, er y defnyddid ef yn y cyfamser i draddodi amrai broffwydoliaethau yn nghylch y cenhedloedd cymydogaethol, pen. xxv—xxxii. Ond ar ol clywed y newydd am ddinystr Jerusalem, agorid genau y proffwyd i lefaru drachefn am yr *Iuddewon:* gwel ar pen. xxxiii. 22, &c. *A byddi iddynt yn arwydd, &c.*—yn ngwyneb y pethau hyn byddai raid i'r Iuddewon gyfaddef fod Ezeciel yn arwydd iddynt, a chydnabod hefyd wirionedd ac uniondeb yr Arglwydd yr hwn a'i hanfonodd ef.

PEN. XXV. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Er fod Ezeciel i fod am oddeutu dwy flynedd yn *fud* wrth yr Iuddewon, fel y nodwyd ar yr adnodau blaenorol, eto gorchymynir iddo broffwydo yn erbyn y cenhedloedd cymydogaethol, o herwydd y niwed a'r sarhad a wnaethant hwy i bobl yr Arglwydd yn nydd eu trallod.

Adn. 2. *Ha fab dyn, gosod dy wyneb yn erbyn meibion Ammon*] Hyny yw, tro dy wyneb tuag at eu gwlad hwy, pen. xx. 46; *a phroffwyda yn eu herbyn hwynt*—tractha yn hyf y gosp ag sydd i ddisgyn arnynt ar fyrder. Yr Ammoniaid oeddynt hiliogaeth Lot o'i ferch ieuangaf, Gen. xix. 38, a gelynion greddfol i'r Iuddewon.

Adn. 3. *A dywed wrth feibion Ammon*] Trwy anfon cenad atynt, neu trwy lythyr yn llaw marsiandwyr o'u plith, y rhai oeddynt y pryd hyny yn masnachu yn Babilon; *Gwrandewch air yr Arglwydd Dduw*—yr hwn yw Duw Israel, a'r unig wir Dduw, ac Arglwydd mawr yr holl dduwiau. *Am ddywedyd o honot, Haha, yn erbyn fy nghysegr, &c.*—am i ti lawenychu yn watwarus pan halogwyd fy nghysegr i gan y Caldeaid, ac yr anrheithiwyd tir Israel, ac y caethgludwyd yr Iuddewon i Babilon. Casgla rhai oddiyma mai ar ol dinystr Jerusalem y traddodwyd y proffwydoliaethau hyn, gan y cyfeirir at y dygwyddiad hwnw fel peth wedi cymeryd lle eisioes; ond gallasai hyn oll gael ei ddywedyd yn flaenorol i hyny, i roddi prawf iddynt o hollwybodaeth Duw, yr hwn a wyddai yn mlaenllaw pa fodd yr ymddygent hwy yn amser dinystr yr Iuddewon.

Adn. 4. *Am hyny wele fi yn dy roddi di yn etifeddiaeth i feibion y dwyrain*] Sef i'r Caldeaid neu yr Arabiaid, y rhai a orweddent o du y dwyrain i wlad yr Ammoniaid. *Hwy a ysant dy ffrwyth, a hwy a yfant dy laeth*—tra y byddai yr Ammoniaid yn dyoddef caledi caethiwed, byddai estroniaid yn byw yn fras ar ffrwyth eu tir hwynt, a chynyrch eu hanifeiliaid. Dywed *Josephus* i hyn oll gael ei gyflawni gan y Caldeaid yn mhen pum mlynedd ar ol dinystr Jerusalem.

Adn. 5. *Rhoddaf hefyd Rabbah*] Neu 'Rabbath,' pen. xxi. 20; *yn drigfa camelod*—troir palasau prifddinas yr Ammoniaid yn ystablau i anifeiliaid eu gelynion, neu bydd i gamelod bori yn mysg adfeilion y ddinas; *a meibion Ammon yn orweddfa defaid*—trwy drawsenwad cyffredin, rhoddir 'meibion' yma am eu gwlad neu eu dinasoedd hwy: *fel y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—yr hwn wyf alluog i gyflawni fy holl fygythion.

Adn. 6. *O herwydd taro o honot dy ddwylaw, &c.*] O herwydd it' ddangos holl arwyddion boddlonrwydd a hyfrydwch yn ninystr yr Iuddewon a'u gwlad.

Adn. 7. *Am hyny wele, mi a estynaf fy llaw arnat*] Sef llaw fy nialedd cyfiawn: *ac a'th roddaf yn fwyd i'r cenhedloedd*—sef i'r Caldeaid a'u cynghreirwyr; *ac a'th doraf ymaith o fysg y bobloedd*—fel na byddi yn

o'r tiroedd: dinystriaf di; fel y
gwypech mai myfi *yw* yr Arglwydd.
8 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Am ddywedyd o Moab a
Seir, Wele dŷ Juda fel yr holl gen-
hedloedd:
9 Am hyny wele fi yn agori yst-
lys Moab o'r dinasoedd, o'i ddinas-
oedd ef *y rhai sydd* yn ei gyrau,
gogoniant y wlad, Beth-jesimoth,
Baal-meon, a Ciriathaim,
10 I feibion y dwyrain yn nghyda
meibion Ammon, y rhoddaf hwynt
yn etifeddiaeth; fel na chofier meib-
ion Ammon yn mysg y cenhedloedd.
11 Gwnaf farn hefyd ar Moab;
fel y gwypont mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd.
12 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Am i Edom wneu-
thur yn erbyn tŷ Juda wrth wneu-
thur dial, a gwneuthur camwedd
mawr, ac ymddial arnynt;
13 Am hyny, medd yr Arglwydd
Dduw, yr estynaf finau fy llaw ar
Edom, a thoraf o honi ddyn ac an-
ifel; a gwnaf hi yn anrhaith o Te-
man; a'r rhai o Dedan a syrthiant
gan y cleddyf.
14 A rhoddaf fy nialedd ar yr
Edomiaid trwy law fy mhobl Is-
rael: a hwy a wnant âg Edom yn
ol fy nigllonedd, ac yn ol fy llid;
fel y gwypont fy nialedd, medd yr
Arglwydd Dduw.
15 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Am wneuthur o'r
Philistiaid trwy ddial, a dialu dial
trwy ddirmyg calon, i'*w* dinystrio
am yr hen gâs;
16 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi yn estyn
fy llaw ar y Philistiaid, a thoraf
ymaith y Cerethiaid, a dyfethaf
weddill porthladd y môr.
17 A gwnaf arnynt ddialedd mawr
trwy gerydd llidiog; a chânt wybod
mai myfi *yw* yr Arglwydd, pan
roddwyf fy nialedd arnynt.

---

genedl mwyach: gwel ar pen. xxi. 28—32.

Adn. 8. *Am ddywedyd o Moab a Seir*] Yma y mae y proffwyd yn cyhoeddi barnedigaethau Duw ar y *Moabiaid*, sef hiliogaeth Lot o'i ferch hynaf, Gen. xix. 37; ac ar *Seir*, neu yr Edomiaid, y rhai oeddynt yn preswylio yn ymyl y Moabiaid, o du y deau i'r môr marw. Y mae y proffwyd yn eu cysylltu yn nghyd, am eu bod yn euog o'r un ymadrodd cableddus. *Wele dŷ Juda fel yr holl genhedloedd*—wedi eu darostwng fel hwythau gan eu gelynion; ac heb gael eu hamddiffyn gan y Duw a addolant, mwy na'r cenhedloedd gan eu duwiau hwythau.

Adn. 9. *Am hyny wele fi yn agori ystlys Moab o'r dinasoedd*] Fel ag i wneuthur ffordd rydd i'r Caldeaid ddyfod i mewn i anrheithio y wlad. *Beth-jesimoth, &c.*—enwir yma dair o ddinasoedd cedyrn yn nghyrau Moab, y rhai a gyfrifid yn ogoniant y wlad, trwy y rhai y deuai y gelynion i mewn.

Adn. 10. *I feibion y dwyrain*] Gwel ar adn. 4; *yn nghyda meibion Ammon, y rhoddaf hwynt yn etifeddiaeth*—neu, 'rhoddaf hwynt, gyda meibion Ammon, yn etifeddiaeth i feibion y dwyrain;' *fel na chofier meibion Ammon yn mysg y cenhedloedd*—trwy iddynt gael eu difodi fel cenedl, adn. 7.

Adn. 11. *Gwnaf farn hefyd ar Moab*] Fel ar feibion Ammon; *fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—trwy y farn drom a chyfiawn a wnaf arnynt.

Adn. 12. *Am i Edom wneuthur yn erbyn tŷ Juda wrth wneuthur dial, &c.*] Yr oedd yr Edomiaid, hiliogaeth Esau, yn elynion gwastadol i hiliogaeth Jacob; a meddylir iddynt ladd llawer o'r Iuddewon pan y ffoisent i'w gwlad hwy rhag y Babiloniaid, yr hyn oedd yn 'gamwedd mawr' ynddynt; a dywedir eu bod yn cynorthwyo byddin Nebuchodonosor i ddinystrio Jerusalem: gwel ar Salm cxxxvii. 7.

Adn. 13. *Am hyny, medd yr Arglwydd Dduw, yr estynaf finau fy llaw ar Edom*] I dori o honi ddyn ac anifel; *a gwnaf hi yn anrhaith o Teman*—yn un cwr o'r wlad, hyd *Dedan* yn y cwr arall.

Adn. 14. *A rhoddaf fy nialedd ar yr Edomiaid trwy law fy mhobl Israel*] Cyflawnwyd hyn gan yr Iuddewon dan arweiniad Judas Maccabeus, 1 *Mac.* v. 3, &c.; ac wedi hyny darfu i'r archoffeiriad Hyrcanus lwyr orchfygu yr Edomiaid: gwel *Prideaux*, rhan ii. dal. 307. *Fel y gwypont fy nialedd*—fod fy nialedd i yn drwm arnynt, am iddynt hwy ddial ar fy mhobl i.

Adn. 15. *Am wneuthur o'r Philistiaid trwy ddial, &c.*] Yr oedd y Philistiaid, cymydogion agosaf yr Iuddewon, yn eu casâu hwy bob amser er yn fore, Gen. xxvi. 14, &c., a dangosasant bob gelyniaeth tuag atynt trwy yr holl oesoedd; a phan ddarostyngwyd Judea a Jerusalem gan y Caldeaid, cawsant le i ddangos eu câs a'u dirmyg atynt o'r newydd.

Adn. 16. *Wele fi yn estyn fy llaw ar y Philistiaid*] I'w dyfetha hwythau; *a thoraf ymaith y Cerethiaid*—y rhai hyn ond odid oeddynt *filwyr* y Philistiaid, 2 Sam. viii. 18; *a dyfethaf weddill porthladd y môr*—sef 'gweddill Asdod,' fe allai, yr hon oedd ddinas gadarn berthynol i'r Philistiaid ar lan Môr-y-canoldir, Jer. xxv. 20; neu, efe a ddyfethai yr holl borthladdoedd yn ngwlad y Philistiaid ag oeddynt heb eu dyfetha eisioes.

Adn. 17. *A gwnaf arnynt ddialedd mawr*]

## PENNOD XXVI.

AC yn yr unfed flwyddyn ar ddeg,
ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y
daeth gair yr Arglwydd ataf, gan
ddywedyd,
2 Ha fab dyn, o herwydd dywed-
yd o Tyrus am Jerusalem, Aha,
torwyd hi, pyrth y bobloedd: trôdd
ataf fi: fo'm llenwir; anrheithied-
ig yw hi:
3 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi i'th er-
byn, O Tyrus, a chodaf genhedl-
oedd lawer i'th erbyn, fel y cyfyd y
môr ei dònau.
4 A hwy a ddinystriant gaerydd
Tyrus, a'i thyrau a ddinystriant:
minau a grafaf ei llwch o honi, ac
a'i gwnaf yn gopa craig.
5 Yn daenfa rhwydau y bydd yn
nghanol y môr: canys myfi a lefar-
odd *hyn*, medd yr Arglwydd Dduw:
a hi a fydd yn yspail i'r cenhedl-
oedd.
6 Ei merched hefyd y rhai *sydd*
yn y maes a leddir â'r cleddyf; fel y
gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd.
7 ¶ Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi yn dwyn
ar Tyrus, o'r gogledd, Nebuchod-
onosor brenin Babilon, brenin bren-
hinoedd, â meirch, ac â cherbydau,
ac â marchogion, a thorfoedd, a
phobl lawer.
8 Dy ferched a ladd efe yn y
maes â'r cleddyf; ac a esyd wrth-
glawdd i'th erbyn, ac a fwrw glawdd
i'th erbyn, ac a gyfyd darian i'th
erbyn.
9 Ac efe a esyd beiriannau rhyfel
yn erbyn dy gaerydd, a'th dyrau a
fwrw efe i lawr â'i fwyill.
10 Gan amlder ei feirch ef, eu
llwch a'th doa: dy gaerydd a gy-

---

Am fod eu pechod yn fawr; *trwy gerydd llidiog*—yr hyn a gyflawnwyd trwy waith Nebuchodonosor yn eu cospi am iddynt gynorthwyo gwŷr Tyrus yn ei erbyn ef: *a chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—deuent hwythau i gydnabod gallu Duw Israel, pan roddai efe ei ddialedd trwm arnynt.

PEN. XXVI. Adn. 1. *Ac yn yr unfed flwyddyn ar ddeg*] O deyrnasiad Zedeciah, sef y flwyddyn y cymerwyd Jerusalem, 2 Bren. xxv. 2, 3; *ar y dydd cyntaf o'r mis*—ni ddywedir i ni pa fis oedd hwn; ond tybia rhai mai y *pummed* mis, sef y mis cyntaf ar ol cymeryd Jerusalem.

Adn. 2. *Ha fab dyn, o herwydd dywedyd o Tyrus am Jerusalem, Aha, torwyd hi*] Neu dinystriwyd hi gan y Caldeaid. Casgla rhai oddiyma fod Jerusalem wedi cwympo y pryd hyn, yr hyn a gymerodd le ar y nawfed dydd o'r *pedwarydd* mis; ond tybia ereill mai son y mae y proffwyd am y dygwyddiad hwn yn mlaenllaw: gwel ar pen. xxv. 3. *Pyrth y bobloedd*—lle y cyrchai pobloedd o bob gwlad i fasnachu. *Trôdd ataf fi*—hyny yw, trôdd yr holl fasnach a ddygid yn mlaen yn Jerusalem, at wŷr Tyrus. *Fo'm llenwir*—bydd i'r rhai a arferent gyrchu yno i werthu neu brynu nwyddau, ddyfod bellach ataf fi. Neu llenwid Tyrus â *nwyddau;* canys pan gymerwyd Jerusalem, cludwyd ei hyspail hi i Tyrus i'w gwerthu; a gwerthwyd llawer o'i thrigolion yno hefyd yn gaethweision.

Adn. 3. *Am hyny*] Am lawenycha o honot yn ninystr Jerusalem a'm pobl; *wele fi i'th erbyn, O Tyrus*—yr oedd dwy ddinas o'r enw hwn, un ar lan Môr-y-canoldir, a'r llall mewn ynys yn y môr, oddeutu hanner milldir oddiwrth y gyntaf: gwel ar Esay xxiii 1, &c. *A chyfodaf genhedloedd lawer i'th erbyn*—y naill oes ar ol y llall; neu gall ei fod yn cyfeirio at fyddin y Caldeaid, yr hon a wneid i fyny o lawer o genhedloedd: *fel y cyfyd y môr ei dònau*—sef gyda thwrf a nerth, ac mewn lluosogrwydd mawr.

Adn. 4. *A hwy a ddinystriant gaerydd Tyrus*] Gyda'u peiriannau nerthol, adn. 9: *minau a grafaf ei llwch o honi*—yr oedd Tyrus wedi ei hadeiladu ar graig, ar ba un y gosodwyd llawer o bridd i wneuthur gerddi; ond bygythir yma y byddai i'r pridd hwnw gael ei grafu ymaith, fel ag i'w gwneuthur yn *graig noeth* fel yn y dechre. Dechreuwyd hyn gan Nebuchodonosor, a gorphenwyd ef gan ereill ar ei ol.

Adn. 5. *Yn daenfa rhwydau y bydd*] Yn lle i ychydig o bysgodwyr tylodion daenu eu rhwydau i'w sychu: *a hi a fydd yn yspail i'r cenhedloedd*—y naill oes ar ol y llall, nes ei llwyr ddyfetha.

Adn. 6. *Ei merched hefyd*] Neu y trefi perthynol iddi hi fel y fam-ddinas; *a leddir â'r cleddyf*—hyny yw, eu trigolion a leddir.

Adn. 7. *Wele fi yn dwyn ar Tyrus*] I ddechreu cyflawni fy mygythiad hwn; *Nebuchodonosor brenin Babilon*—yr hwn a ddeuai ar hyd ffordd y 'gogledd,' gyda byddin luosog o wŷr meirch â gwŷr traed, a cherbydau rhyfel; *brenin brenhinoedd*—felly y gelwir brenin Babilon, am fod ganddo lawer o frenhinoedd dan deyrnged iddo.

Adn. 8. *Dy ferched a ladd efe*] Gwel ar adn. 6; *ac a esyd wrthglawdd i'th erbyn*—i warchae arnat, yr hyn a wnaeth efe am dair blynedd ar ddeg; *ac a gyfyd darian i'th erbyn*—neu wŷr yn gwisgo tarianau i'w hamddiffyn eu hunain rhag eu saethau hwy.

Adn. 9. *Ac efe a esyd beiriannau rhyfel yn erbyn dy gaerydd*] I'w chwiltriwio; *a'th dyrau a fwrw efe i lawr â'i fwyill*—â'i geib-

nhyrfant gan swn y marchogion, a'r
olwynion, a'r cerbydau, pan ddelo
trwy dy byrth di, fel dyfod i ddinas
adwyog.
11 A charnau ei feirch y sathr
efe dy heolydd oll: dy bobl a ladd
efe â'r cleddyf, a'th sefyll-fanau
cedyrn a ddisgyn i'r llawr.
12 A hwy a anrheithiant dy gy-
foeth, ac a yspeiliant dy farchnad-
aeth; ac a ddinystriant dy gaerydd,
a'th dai dymunol a dynant i lawr:
a'th gerig, a'th goed, a'th bridd, a
osodant yn nghanol y dyfroedd.
13 A gwnaf i swn dy ganiadau
beidio; ac ni chlywir mwy lais dy
delynau.
14 A gwnaf di yn gopa craig:
taenfa rhwydau fyddi; ni'th adeil-
edir mwy: canys myfi yr Arglwydd
a'*i* llefarais, medd yr Arglwydd
Dduw.
15 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw wrth Tyrus; Oni
chryn yr ynysoedd gan swn dy
gwymp, pan waeddo yr archolledig,
pan ladder lladdfa yn dy ganol?
16 Yna holl dywysogion y môr a
ddisgynant o'u gorseddfeinciau, ac
a fwriant ymaith eu mantelloedd,
ac a ddyosgant eu gwisgoedd sy-
mudliw: dychryn a wisgant, ar y
ddaear yr eisteddant, ac a ddychryn-
ant ar *bob* moment, ac a synant
wrthyt.
17 Codant hefyd alarnad am dan-
at, a dywedant wrthyt, Pa fodd y'th
ddyfethwyd, *yr hon* a breswylir gan
forwyr, y ddinas ganmoladwy, yr
hon oedd gref ar y môr, hi a'i thrig-
olion, y rhai a roddasant eu har-
swyd ar ei holl ymdeithwyr hi!
18 Yr awr hon yr ynysoedd a
ddychrynant *yn* nydd dy gwymp;
ïe, yr ynysoedd y rhai *sydd* yn y
môr a drallodir wrth dy fynediad di
ymaith.
19 Canys fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Pan roddwyf di yn
ddinas anrheithiedig, fel y dinas-

iau neu ei drosolion, fel yr arwydda y gair.

Adn. 10. *Gan amlder ei feirch, eu llwch a'th doa*] Yr hwn a ddyrchafai fel cwmwl trwy gerddediad ei feirch, ac a ddisgynai i orchuddio y ddinas: *dy gaerydd a gynhyrfant gan swn y marchogion*—wrth i'r meirch a'r cerbydau gael eu gyru yn chwyrn i'r ddinas, fel trwy adwyau llydain.

Adn. 11. *A charnau ei feirch y sathr efe dy heolydd oll*] Gan farchogaeth trwy yr holl ddinas fel buddugoliaethwr balch a rhwysgfawr: *dy bobl a ladd efe â'r cleddyf*—yn ddidosturi, am iddynt ei wrthsefyll ef cyhyd; *a'th sefyll-fanau cedyrn a ddisgyn i'r llawr*—sef eu tyrau a'u hamddiffynfeydd, lle y safai y gwylwyr.

Adn. 12. *A hwy a anrheithiant dy gyfoeth*] Gan dy yspeilio o'th holl drysorau a'th nwyddau; *a'th gerig, a'th goed, a'th bridd*—sef defnyddiau yr hen Dyrus, *a osodant yn nghanol y dyfroedd*—felly y gwnaeth Alexander Fawr yn mhen 300 o flynyddoedd ar ol hyn, yr hwn a gymerodd ddefnyddiau yr hen ddinas ar y cyfandir i lenwi y culfôr ag oedd rhyngddi a'r ddinas newydd ar yr ynys, i'r dyben i gymeryd hòno hefyd. Bu wrth y gwaith hwn am oddeutu saith mis.

Adn. 13. *A gwnaf i swn dy ganiadau beidio*] Trwy droi dy ddigrifwch a'th llawenydd yn dristwch a galar. Yr oedd Tyrus yn lle nodedig am ei llawenydd cnawdol, Esay xxiii. 7, &c.

Adn. 14. *A gwnaf di yn gopa craig*] Ac yn daenfa rhwydau: gwel ar adn. 4, 5. *Ni'th adeiledir mwy*—ac felly y bu gyda'r hen Dyrus, yr hon a ddinystriwyd yn llwyr gan Nebuchodonosor, fel nas gallodd byth adennill ei gogoniant blaenorol.

Adn. 15. *Oni chryn yr ynysoedd gan swn dy gwymp*] Mewn dychryn rhag i'r un farn waedlyd syrthio arnynt hwythau?

Adn. 16. *Yna holl dywysogion y môr*] Sef brenhinoedd a marsiandwyr cyfoethog ynysoedd a glanau Môr-y-canoldir; *a ddisgynant o'u gorseddfeinciau*—wrth glywed am dy gwymp; *ac a ddyosgant eu gwisgoedd symudliw*—gan wisgo sachlian yn eu lle, yn arwydd o ddychryn a galar: *ar y ddaear yr eisteddant*—mewn prudd-der a chyfyngder meddwl, fel Job a'i gyfeillion, pen. ii. 13; *ac a ddychrynant ar bob moment*—rhag i'r un peth ddygwydd iddynt hwythau; *ac a synant wrthyt*—o herwydd i ddinas mor gadarn gael ei dystrywio mor llwyr.

Adn. 17. *Codant hefyd alarnad am danat*] Mewn geiriau fel hyn: *Pa fodd y'th ddyfethwyd, yr hon a breswylir gan forwyr*—gan rai a feddent bob mantais i'th amddiffyn trwy eu llynges; *y ddinas ganmoladwy, yr hon oedd gref ar y môr*—ac a elwir 'cryfder y môr,' Esay xxiii. 4; *hi a'i thrigolion*—y rhai a barent arswyd ar bawb a ddeuent yn agos atynt, trwy gryfder eu llynges, eu milwyr, a'u cyfoeth.

Adn. 18. *Yr awr hon yr ynysoedd a ddychrynant yn nydd dy gwymp*] Gwel ar adn. 15, 16; *wrth dy fynediad di ymaith*—wrth gaethgludiad dy drigolion gweddilledig, neu wrth eu ffoedigaeth i wledydd ereill.

Adn. 19. *Pan roddwyf di yn ddinas anrheithiedig*] Pan yspeilir, y dryllir, ac yr annghyfaneddir di; *gan ddwyn arnat y dyfnder, fel y'th guddio dyfroedd lawer*—dywedir fod yr hen Dyrus, yr hon oedd ar lan y môr, wedi ei golchi ymaith gan y môr, fel nad yw rhan fawr o'i safle i'w chanfod mwyach.

oedd nis cyfaneddir; gan ddwyn
arnat y dyfnder, fel y'th guddio
dyfroedd lawer;
20 A'th ddisgyn o honof gyda'r
rhai a ddisgynant i'r pwll, at y bobl
gynt, a'th osod yn iselderau y dda-
ear, yn yr hen anrhaith, gyda'r rhai
a ddisgynant i'r pwll, fel na'th
breswylier; a rhoddi o honof ogon-
iant yn nhir y rhai byw:
21 Gwnaf di yn ddychryn, ac ni
*byddi:* er dy geisio, ni'th geir mwy,
medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XXVII.

GAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf
drachefn, gan ddywedyd,
2 Tithau fab dyn, cyfod alarnad
am Tyrus;
3 A dywed wrth Tyrus, O dydi
yr hon wyt yn trigo wrth borthladd-
oedd y môr, marchnadyddes y bobl-
oedd i ynysoedd lawer, fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw: Tyrus,
ti a ddywedaist, Myfi *wyf* berffaith
o degwch.
4 Dy derfynau *sydd* yn nghanol
y môr; dy adeiladwyr a berffeith-
iasant dy degwch.
5 Adeiladasant dy holl estyllod o
ffynidwydd o Senir: cymerasant
gedrwydd o Libanus i wneuthur
hwylbren i ti.
6 Gweithiasant dy rwyfau o dderw
o Basan: mintai yr Assuriaid a
wnaethant dy feinciau *o* ifori o yn-
ysoedd Chittim.
7 Llian main o'r Aifft o symud-
liw oedd yr hyn a ledit i fod yn
hwyl it'; glas a phorffor o ynys-
oedd Elisah, oedd dy dô.
8 Trigolion Sidon ac Arfad oedd
dy rwyfwyr: dy ddoethion di, Tyr-

---

Adn. 20. *A'th ddisgyn o honof gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll*] Neu i dir anghof; *at y bobl gynt*—y rhai a fuont feirw er's oesoedd lawer; *a'th osod yn iselderau y ddaear*—allan o olwg a choffadwriaeth; *yn yr hen anrhaith*—cyfeirir yma at yr hen gladdfeydd, lle y cuddiwyd dynion er dechre y byd; *a rhoddi o honof ogoniant yn nhir y rhai byw*—sef yn Jerusalem ond odid, yr hon a elwir yn 'dir y rhai byw,' am mai yno y cynelid addoliad y Duw byw, neu y byddai i ddynion fyw yn ddedwydd; neu am mai yno y byddai eglwys Dduw, cartref y rhai byw ysbrydol: gwel ar Salm cxvi. 9, Esay iv. 3.

Adn. 21. *Gwnaf di yn ddychryn*] I'r ynysoedd a'r gwledydd o'th amgylch; *ac ni byddi*—ni'th adeiledir mwy: *er dy geisio, ni'th geir mwy*—am y byddi wedi dy lwyr ddystrywio. Fel hyn, tra y byddai i *Jerusalem*, yr hon yr oedd gwŷr Tyrus yn llawenychu yn ei dinystr, gael ei hailadeiladu yn yr un man, a chyraedd uwchder bri a gogoniant, byddai i ddinas *Tyrus* barhau yn annghyfaneddol. Yr oedd y broffwydoliaeth hon i gael ei chyflawni yn raddol, ac erbyn heddyw y mae wedi ei chwbl gyflawni: gwel y sylwadau ar Esay xxiii.

PEN. XXVII. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd a ddaeth ataf drachefn*] Ar yr un testyn ag a driniwyd yn y bennod flaenorol.

Adn. 2. *Tithau fab dyn, cyfod alarnad am Tyrus*] Y fath ag a arferid mewn anghladdau dwyreiniol, lle y byddai y gwragedd yn adrodd holl rinweddau yr ymadawedig, ac yna yn galaru o herwydd y golled o hono: gwel ar Jer. ix. 17, 18.

Adn. 3. *O dydi yr hon wyt yn trigo wrth borthladdoedd y môr*] Yr hon wyt borthladd cyfleus i fasnachu â phob gwlad. *Tyrus, ti a ddywedaist, Myfi wyf berffaith o degwch*—ti a ymffrostiaist fod genyt bob peth er dy wneuthur yn gadarn a dedwydd.

Adn. 4. *Dy derfynau sydd yn nghanol y môr*] Gwelsom eisioes fod y ddinas newydd yn sefyll ar ynys yn y môr, oddeutu hanner milldir oddiwrth yr hen ddinas. *Dy adeiladwyr a berffeithiasant dy degwch*—y mae y proffwyd yma yn dangos gogoniant Tyrus dan y gyffelybiaeth o *long* hardd.

Adn. 5. *Adeiladasant dy holl estyllod o ffynidwydd o Senir*] Neu ffawydd o fynydd Hermon; *cymerasant gedrwydd o Libanus i wneuthur hwylbren i ti*—pa rai, o herwydd eu cyfder a'u huchder, oeddynt dra chyfaddas i hyny.

Adn. 6. *Gweithiasant dy rwyfau o dderw Basan*] Yr hwn oedd bren cryf a pharhaol. *Mintai yr Assuriaid a wnaethant dy feinciau o ifori*—y rhai a ddefnyddid yn y caban; *o ynysoedd Chittim*—y rhai a ddeallir yn gyffredin fel ynysoedd Môr-y-canoldir, neu yr ynysoedd Groegaidd. Ond gan na cheid ifori yno, ac nad yw yn debyg y gellid gwneyd meinciau cyfain o ifori, y mae *Newcome*, *Bochart*, *Rabbi Solomon*, *Houbigant*, ac ereill, yn lle 'mintai o Assuriaid,' &c., yn darllen diwedd yr adnod hon fel hyn: 'Dy feinciau a wnaethant o ifori, wedi ei osod mewn *bocys* o ynysoedd Chittim.' Yr oedd Corsica yn lle enwog am y pren bocys.

Adn. 7. *Llian main o'r Aifft*] Yr hwn oedd yn werthfawr iawn, Luc xvi. 19; *o symudliw*—wedi ei frwydweithio o amrai luniau, a chydag edafedd o wahanol liwiau; *oedd yr hyn a ledit i fod yn hwyl it'*—i ddangos dy gyfoeth a'th falchder: *glas a phorffor o ynysoedd Elisah*—o'r trefedigaethau Groegaidd yn Môr Ægea, *oedd dy dô*—neu dy orchudd-leni i'th ddiogelu rhag gwres a gwlaw.

Adn. 8. *Trigolion Sidon ac Arfad*] Dinas ac ynys yn Phenicia, yn uwch i'r gogledd na

us, o'th fewn, oedd dy long-lyw-
iawdwyr.
9 Henuriaid Gebal a'i doethion
oedd ynot yn cau dy agenau: holl
longau y môr a'u llongwyr oedd
ynot ti i farchnata dy farchnad.
10 Y Persiaid, a'r Ludiaid, a'r
Phutiaid, oedd ryfelwyr it' yn dy
luoedd: tarian a helm a grogasant
ynot; hwy a roddasant it' hardd-
wch.
11 Meibion Arfad *oedd* gyda'th
luoedd ar dy gaerau oddiamgylch,
a'r Gammadiaid yn dy dyrau: crog-
asant eu tarianau ar dy gaerau
oddiamgylch; hwy a berffeithias-
ant dy degwch.
12 Tarsis *oedd* dy farchnadyddes
o herwydd amldra pob golud; âg
arian, haiarn, alcan, a phlwm, y
marchnatasant yn *dy* ffeiriau.
13 Jafan, Tubal, a Mesech,
hwythau *oedd* dy farchnadyddion:
marchnatasant *yn* dy farchnad am
ddynion a llestri pres.
14 *Y rhai* o dŷ Togarmah a farch-
natasant *yn* dy ffeiriau â meirch, a
marchogion, a mulod.
15 Meibion Dedan *oedd* dy farch-
nadwyr; ynysoedd lawer *oedd* farch-
nadoedd dy law: dygasant gyrn
ifori ac ebenus yn anrheg i ti.
16 Aram *oedd* dy farchnadydd o
herwydd amled pethau o'th waith
di: am garbuncl, porphor, a gwaith
edau a nodwydd, *a* llian meinllin, a
chwrel, a gemau, y marchnatasant
*yn* dy ffeiriau.

---

Tyrus; *oedd dy rwyfwyr*—yn gwneyd y gwaith caletaf: *dy ddoethion di, Tyrus*—sef rhai doethion mewn morwriaeth; *oedd dy long-lywiawdwyr*—oedd yn dal y swyddi anrhydeddusaf. Fel hyn gadawent y gwaith caletaf i bobl ereill, tra yr oeddynt eu hunain, o herwydd eu balchder a'u cyfoeth, yn cymeryd y gwaith esmwythaf.

Adn. 9. *Henuriaid Gebal a'i doethion*] Dinas neu dalaeth yn Phenicia, yn agos i fynydd Libanus, Jos. xiii. 5; *oedd ynot yn cau dy agenau*—â chywarch pygedig, i attal y dwfr i mewn: *holl longau y môr, &c.*—yr oedd llongau o bob gwlad yn dyfod i Tyrus i fasnachu.

Adn. 10. *Y Persiaid*] Cenedl dra adnabyddus; *a'r Ludiaid*—pobl o Lud, Gen. x. 22; *a'r Phutiaid*—hiliogaeth Put, Gen. x. 6; *oedd ryfelwyr it' yn dy luoedd*—i'w hamddiffyn ac ymladd eu rhyfeloedd, tra y byddai gwŷr Tyrus yn dylyn eu masnach. *Tarian a helm a grogasant ynot*—i ddangos gogoniant a mawredd Tyrus, ac i fod yn barod erbyn rhyfel: *hwy a roddasant it' harddwch*—yr oedd y milwyr hyn a'u harfogaeth yn chwanegu at fawredd a gogoniant y ddinas.

Adn. 11. *Meibion Arfad oedd gyda'th luoedd ar dy gaerau*] Felly yr oedd ganddynt filwyr o Arfad, yn gystal a morwyr, adn. 8; *a'r Gammadiaid yn dy dyrau*—yn cadw gwyliadwriaeth barhaus. Nid yw yn sicr pwy oedd y *Gammadiaid* hyn. Tybia rhai mai Pheniciaid oeddynt; ereill, mai Syriaid, Cappadociaid, neu Affricaniaid; ac ereill, mai math ar dduwiau amddiffynol oeddynt. *Crogasant eu tarianau ar dy gaerau oddiamgylch*—er harddwch, ac i fod yn barod i ryfel.

Adn. 12. *Tarsus oedd dy farchnadyddes*] Sef *Tartessus* yn yr Hispaen, yn ol rhai; neu *Tarsis* yn Cilicia, yn ol ereill: gwel ar 2 Bren. x. 22, Esay xxiii. 1. *Ag arian, haiarn, alcan, a phlwm*—dywedir fod y rhai hyn oll i'w cael yn yr Hispaen; *y marchnatasant yn dy ffeiriau*—y mae y gair 'ffeiriau' yma, ac yn yr adnodau dylynol, yn golygu nid dyddiau penodol i farchnata, ond eu dull cyffredin hwy o gario eu masnach yn mlaen, sef trwy ffeirio neu gyfnewid nwyddau.

Adn. 13. *Jafan, Tubal, a Mesech*] Meibion Japheth, Gen. x. 2. Meddylir fod *Jafan* yma yn golygu gwlad Groeg, yn enwedig y parthau a elwir *Ionia;* ac wrth *Tubal* a *Mesech* y deallir y Tiberiaid, y Cappadociaid, a'r Muscofiaid, yn ol rhai: gwel ar Gen. x. 2, *Marchnatasant yn dy farchnad am ddynion a llestri pres*—felly yr oedd caethfasnach yn eu plith y dyddiau hyny; a dywed Bochart mai y caethion Groegaidd oedd y rhai gwerthfawrocaf o bawb.

Adn. 14. *Y rhai o dŷ Togarmah*] Mab Gomer, Gen. x. 3. Tybia Michaelis mai yr Armeniaid a olygir yma, gan y rhai yr oedd llawer o feirch; ac fe allai eu bod yn cynwys y Tyrciaid hefyd. *A farchnatasant yn dy ffeiriau â meirch, marchogion, a mulod*—felly yr oeddynt hwythau yn gwerthu dynion, yn gystal a meirch a mulod.

Adn. 15. *Meibion Dedan oedd dy farchnadwyr*] Dedan oedd ddinas yn Arabia, ar lan môr Persia, a elwir yn awr 'Daden.' *Ynysoedd lawer oedd farchnadoedd dy law*—mewn gwahanol foroedd, y rhai a ddygent atat eu nwyddau eu hunain i'w cyfnewid am dy eiddo di. *Dygasant gyrn ifori ac ebenus*—neu 'dygasant gyrn, ifori, ac ebenus.' Ifori yw *dant* y cawrfil, nid ei *gorn* ef; ac *ebenus* yw y pren dû, caled, a gwerthfawr, a elwir 'eboni.' *Yn anrheg i ti*—am gael rhyddid i fasnachu gyda thi; neu, fel y myn rhai ei ddeall, yn 'gyfnewid' am eu nwyddau hwy.

Adn. 16. *Aram oedd dy farchnadydd*] Neu *Syria*, fel y mae yn y Saesonaeg; neu *Edom*, fel ei darllenir yn y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r LXX: *o herwydd amled pethau o'th waith di*—y rhai na allai yr Aramiaid eu cael mewn un lle arall. *Am garbuncl, porphor &c.*—y pethau hyn a gaent hwy gan wŷr

17 Juda a thir Israel, hwythau *oedd* dy farchnadyddion: marchnatasant *yn* dy farchnad am wenith Minnith, a Phannag, a mêl, ac olew, a thriagl.

18 Damascus *oedd* dy farchnadydd yn amlder dy waith o herwydd lluaws pob golud; am win Helbon, a gwlan gwŷn.

19 Dan hefyd a Jafan yn cyniwair a farchnatasant yn dy farchnadoedd: haiarn wedi ei weithio, cassia, a'r calamus, oedd yn dy farchnad.

20 Dedan *oedd* dy farchnadydd mewn brethynau gwerthfawr i gerbydau.

21 Arabia, a holl dywysogion Cedar, *oedd* hwythau farchnadyddion it' am ŵyn, hyrddod, a bychod: yn y rhai hyn *yr oedd* dy farchnadyddion.

22 Marchnadyddion Seba a Ramah, hwythau *oedd* dy farchnadyddion: marchnatasant *yn* dy ffeiriau am bob prif beraroglau, ac am bob maen gwerthfawr, ac aur.

23 Haran, a Channeh, ac Eden, marchnadyddion Seba, Assur, *a* Chilmad, *oedd* yn marchnata *â* thi.

24 Dyma dy farchnadyddion am *bethau* perffaith, am frethynau gleision, a gwaith edau a nodwydd, ac am gistiau gwisgoedd gwerthfawr, wedi eu rhwymo â rhaffau, a'u gwneuthur o gedrwydd yn mysg dy farchnadaeth.

25 Llongau Tarsis *oedd* yn canu am danat yn dy farchnad; a thi a lanwyd, ac a ogoneddwyd yn odiaeth yn nghanol y moroedd.

26 ¶ Y rhai a'th rwyfasant a'th ddygasant i ddyfroedd lawer: gwynt y dwyrain a'th ddrylliodd yn nghanol y moroedd.

---

Tyrus yn gyfnewid am eu nwyddau eu hunain, neu a roddent iddynt.

Adn. 17. *Juda a thir Israel*] Sef teyrnas Juda a theyrnas Israel. *Marchnatasant yn dy farchnad am wenith Minnith*—Minnith oedd le yn perthyn i'r Ammoniaid, Barn. xi. 33, yr hwn oedd yn nodedig am ei wenith, yr hwn a werthid gan yr Iuddewon i wŷr Tyrus: gwel ar 1 Bren. v. 9—11. *A phannag*—meddylir mai rhyw enaint gwerthfawr oedd hwn; a'r *Vulgate* a'i cyfieitha 'balsam.' *A mêl ac olew*—o'r rhai yr oedd digonedd yn Nghanaan. *A thriagl*—sef sudd neu falm, Jer. viii. 22, yr hwn a ddygid gan yr Iuddewon o Gilead i Tyrus.

Adn. 18. *Damascus oedd dy farchnadydd*] Yr oedd trigolion Damascus, prifddinas Syria, yn cymeryd *gwin Helbon*, neu Aleppo, a *gwlan gwŷn*, i'w cyfnewid yn Tyrus am y nwyddau a wneid neu a werthid yno.

Adn. 19. *Dan hefyd a Jafan yn cyniwair*] Yn ol ac yn mlaen i dy farchnadoedd. Tybia Bochart ac ereill mai lleoedd yn Arabia Felix oedd y rhai hyn, ac nid lleoedd yn nhir Groeg, am nad oedd y nwyddau a enwir yma i'w cael yno. *Haiarn wedi ei weithio*—yn wahanol arfau; neu 'haiarn *gloew*,' fel y mae yn y Saesonaeg. *Cassia a'r calamus*—perlysiau gwerthfawr, y rhai a ddefnyddid yn ngwneuthuriad olew yr eneiniad, Exod. xxx. 23, 24.

Adn. 20. *Dedan oedd dy farchnadydd*] Meddylir mai lle yn Edom oedd hwn, gwahanol i'r Dedan a grybwyllwyd adn. 15; *mewn brethyna gwerthfawr i gerbydau*—o'r rhai y gwneid clustogau cerbydau.

Adn. 21. *Arabia, a holl dywysogion Cedar*] Sef y rhai mwyaf a chyfoethocaf yn eu mysg; *oedd hwythau farchnadyddion it'*—yn dwyn ŵyn, hyrddod, a bychod i wŷr Tyrus yn gyfnewid am eu nwyddau.

Adn. 22. *Marchnadyddion Sebah a Ramah*] Trigolion Arabia Felix, yn agos i fôr Persia, a ddygent eu peraroglau goraf, yn nghydag aur, a phob math o feini gwerthfawr, i farchnadoedd Tyrus.

Adn. 23. *Haran*] Lle y trigai Abraham ar ol dyfod allan o Ur y Caldeaid, Gen. xi. 31; *a Channeh*—yr un ond odid a Chalne yn ngwlad Sinar, Gen. x. 10; *ac Eden*—lle, yn ol rhai, rhwng yr Euphrates a'r Tigris; *Sebah*—meddylir fod hwn yn le gwahanol i'r Sebah yn adn. 22, ac yn gorwedd yn Edom; *Assur*—neu wlad yr Assyriaid fe allai; *a Chilmad*—gwlad y Mediaid, yn ol rhai; yr un a Cholmadora ar yr Euphrates, neu Carmania, yn ol ereill.

Adn. 24. *Dyma dy farchnadyddion*] Sef y rhai a enwyd uchod; *am bethau perffaith*—neu am bob math o 'bethau rhagorol;' *am frethynau gleision, a gwaith edau a nodwydd*—dygent frethynau neu sidanau têg, a phob math o wniadwaith cywrain, i farchnadfa Tyrus; *ac am gistiau gwisgoedd gwerthfawr, &c.*—yr oedd ganddynt bob math o wisgoedd beirdd, wedi eu gosod mewn cistiau cedrwydd, a'u rhwymo yn ofalus â rhaffau. Yr oedd y cistiau cedrwydd yn rhoddi arogl dymunol i'r gwisgoedd hyn, ac ar yr un pryd yn eu diogelu rhag pryfed.

Adn. 25. *Llongau Tarsis oedd yn canu am danat yn dy farchnad*] Oedd yn canu clod Tyrus, neu yn ei chanmol yn fawr am ei masnach, ei chyfoeth, a'i llwyddiant. Fe allai fod 'llongau Tarsis,' yma, yn meddwl pob math o longau marsiandwyr, neu longau o bob gwlad. *A thi a lanwyd*—â nwyddau o bob parth; *ac a ogoneddwyd yn odiaeth yn nghanol y moroedd*—yn mhob ynys a phorthladd, am fawredd dy fasnach.

Adn. 26. *Y rhai a'th rwyfasant a'th ddygasant i ddyfroedd lawer*] I drallodau aml a dirfawr. Ar ol bod yn son am fawredd Tyrus

27 Dy olud, a'th ffeiriau, dy farchnadaeth, dy forwyr, a'th feistriaid llongau, cyweirwyr dy agenau, a marchnadwyr dy farchnad, *a*'th ryfelwyr oll y rhai *sydd* ynot, a'th holl gynulleidfa yr hon *sydd* yn dy ganol, a syrthiant yn nghanol y môr, ar ddydd dy gwymp di.
28 Wrth lef gwaedd dy feistriaid llongau, y tònau a gyffroant.
29 Yna pob rhwyfwr, y morwyr, holl lywyddion y moroedd, a ddisgynant o'u llongau, ar y tir y safant;
30 A gwnant glywed eu llef am danat, a gwaeddant yn chwerw, a chodant lwch ar eu penau, ac ymdrybaeddant yn y lludw.
31 A hwy a'u gwnant eu hunain yn foelion am danat, ac a ymwregysant â sachlian, ac a ŵylant am danat â chwerw alar, *mewn* chwerwedd calon.
32 A chodant am danat alarnad yn eu cwynfan, a galarant am danat, *gan ddywedyd*, Pwy *oedd* fel Tyrus, fel yr hon a ddinystriwyd yn nghanol y môr!
33 Pan ddelai dy farchnadaeth o'r moroedd, diwellit bobloedd lawer; âg amlder dy olud a'th farchnadaeth y cyfoethogaist frenhinoedd y ddaear.
34 Y pryd y'th dorwyd gan y môr yn nyfnderau y dyfroedd, dy farchnad a'th holl gynulleidfa a syrthiant yn dy ganol.
35 Holl breswylwyr yr ynysoedd a synant am danat, a'u brenhinoedd a ddychrynant ddychryn; hwy a drallodir yn *eu* hwynebau.
36 Y marchnadyddion yn mysg y bobloedd a chwibanant arnat: dychryn fyddi, ac ni *byddi* byth mwyach.

---

dan y gyffelybiaeth o *long* odidog, y mae y proffwyd yma, dan yr un gyffelybiaeth, yn son am y peryglon i'r rhai y dygasai ei llywyddion hi trwy eu balchder a'u drygioni. Wrth y 'dyfroedd lawer' y meddylir ei thrallodau oddiwrth ei gelynion. *Gwynt y dwyrain a'th ddrylliodd yn nghanol y moroedd*—wrth 'wynt y dwyrain' y meddylir Nebuchodonosor a'i fyddin, pen. xvii. 10.

Adn. 27. *Dy olud a'th ffeiriau, dy farchnadaeth, dy forwyr, &c.*] Y rhai a ystyrir yma fel llwyth y llong hon; *a syrthiant yn nghanol y môr ar ddydd dy gwymp di*—pan ddryllir dy lestr gan y Caldeaid.

Adn. 28. *Wrth lef gwaedd dy feistriaid llongau*] Pan welant di yn suddo; *y tònau a gyffroant*—ymadrodd barddonol prydferth.

Adn. 29. *Yna pob rhwyfwr, &c.*] Y rhai sydd yn ennill eu bara trwy wasanaethu Tyrus; *a ddisgynant o'u llongau*—i geisio achub eu bywydau; *ar y tir y safant*—i edrych ar y trychineb ofnadwy.

Adn. 30. *A gwnant glywed eu llef am danat*] Gwaeddant mor uchel nes y clywir eu llef chwerw o bob man; *a chodant lwch ar eu penau*—yn arwydd o alar a gofid dwys; *ac ymdrybaeddant yn y lludw*—arwydd arall o alar dirfawr.

Adn. 31. *A hwy a'u gwnant eu hunain yn foelion am danat, &c.*] Yr oedd moeli y pen, gwisgo sachlian, &c., yn arwyddion cyffredin o fawr alar a gofid: gwel ar pen. vii. 18, Esay iii. 24, a xxii. 12, Jer. xlviii. 37. *Mewn chwerwedd calon*—nid mewn ymddanghosiad allanol yn unig, ond mewn galar chwerw yn y galon oddifewn.

Adn. 32. *A chodant am danat alarnad yn eu cwynfan*] Y fath ag a arferid mewn angbladdau, adn. 2; *gan ddywedyd, Pwy oedd fel Tyrus*—o ran gwychder, cyfoeth, a llwyddiant! *fel yr hon a ddinystriwyd yn nghanol y môr!*—fel hyn cymharent lwyddiant blaenorol Tyrus â'i dinystr presenol hi. Yr oedd y môr, yr hwn a fuasai unwaith yn ffynnonell cyfoeth iddi, wedi dyfod o'r diwedd yn fedd iddi!

Adn. 33. *Pan ddelai dy farchnadaeth o'r moroedd*] Pan yr oeddit yn cario yn mlaen dy farchnadaeth; *diwellit bobloedd lawer*—yn mhob cwr o'r byd adnabyddus: *cyfoethogaist frenhinoedd y ddaear*—trwy iddynt fasnachu â thi.

Adn. 34. *Y pryd y'th dorwyd gan y môr*] Neu yr aeth yn llong-ddrylliad arnat; Saes., 'pryd y'th *dorir* gan y môr;' *dy farchnad a'th holl gynulleidfa a syrthiant yn dy ganol*—gwel ar adn. 27; neu 'a *syrthiasant*,' fel y mae mewn rhai Beiblau.

Adn. 35. *Holl breswylwyr yr ynysoedd*] A'r rhai yr arferit farchnata; *a synant am danat*—wrth glywed am dy ddinystr; *a'u brenhinoedd a ddychrynant*—rhag i'r un drygfyd ddygwydd iddynt hwythau: *hwy a drallodir yn eu hwynebau*—bydd arwyddion dychryn a thrallod yn ymddangos yn eu gwedd.

Adn. 36. *Y marchnadyddion yn mysg y bobloedd*] Sef *rhai* o honynt, nid yr oll; *a chwibanant arnat*—a lawenychant yn dy ddinystr, oddiar obaith y bydd i'th fasnach helaeth ddyfod i'w dwylaw hwy, fel y llawenychaist tithau am ddinystr Jerusalem, pen. xxvi. 2. Ond yn lle 'chwibanant,' y mae *Clarke* yn cyfieithu *shareku*, 'ysgrechiant arnat;' a'r alleirydd Caldeaidd a'i darllena, 'a synant wrthyt;' ac y mae hyn yn cytuno yn well â'r cyd-destynau. *Dychryn fyddi*—i bawb a glywant am danat; *ac ni byddi byth mwyach*—yn y fath fri ag o'r blaen; neu, ni'th adeiledir byth mwyach.

PEN. XXVIII. Adn. 1. *Daeth gair yr Arglwydd ataf drachefn*] Yn erbyn tywysog Tyrus.

## PENNOD XXVIII.

DAETH gair yr Arglwydd ataf
drachefn, gan ddywedyd,
2 Ha fab dyn, dywed wrth dy-
wysog Tyrus, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Am falchïo dy
galon, a dywedyd o honot, Duw *yd-
wyf* fi, eistedd yr ydwyf *yn* eistedd-
fa Duw yn nghanol y moroedd; a
thi yn ddyn, ac nid yn Dduw, er
gosod o honot dy galon fel calon
Duw:
3 Wele di yn ddoethach na Dan-
iel; ni chuddir dim dirgelwch
oddiwrthyt:
4 Trwy dy ddoethineb a'th ddeall-
garwch y cefaist gyfoeth it', ïe, y
cefaist aur ac arian i'th drysorau:
5 Trwy dy fawr ddoethineb *ac*
wrth dy farchnadaeth yr amlheaist
dy gyfoeth, a'th galon a falchïodd
o herwydd dy gyfoeth:
6 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Am osod o honot
dy galon fel calon Duw,
7 O herwydd hyny wele fi yn
dwyn i'th erbyn ddyeithriaid, y
trawsaf o'r cenhedloedd; a thynant
eu cleddyfau ar degwch dy ddoeth-
ineb, a halogant dy loewder.
8 Disgynant di i'r ffos, a byddi
farw o farwolaeth yr archolledig yn
nghanol y môr.
9 Gan ddywedyd a ddywedi di o
flaen dy leiddiaid, Duw *ydwyf* fi?
a thi a *fyddi* yn ddyn, ac nid yn
Dduw, yn llaw dy leiddiaid.
10 Byddi farw o farwolaeth y di-
enwaededig, trwy law dyeithriaid:
canys myfi a'*i* dywedais, medd yr
Arglwydd Dduw.
11 ¶ Gair yr Arglwydd a ddaeth
ataf drachefn, gan ddywedyd,
12 Cyfod, fab dyn, alarnad am
frenin Tyrus, a dywed wrtho, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Ti seliwr nifer, llawn o ddoethineb,
a chyflawn o degwch:

---

Adn. 2. *Ha fab dyn, dywed wrth dywysog Tyrus*] Enw yr hwn, yn ol croniclau Phenicia, oedd Ethbaal, neu Ithobalus; *Am falchïo dy galon*—mewn meddyliau mawrion am danat dy hun; *a dywedyd o honot, Duw ydwyf fi*—heb fod yn ymddibynol ar neb, nac yn gyfrifol i neb; *eistedd yr ydwyf yn eisteddfa Duw yn nghanol y moroedd*—mor gadarn a sefydlog ar y moroedd, ag yw Duw yn y nefoedd. *A thi yn ddyn, ac nid yn Dduw*—yn ddyn gwan, marwol, ac agored i gyfnewidiau a thrallodau fel dynion ereill, ac nid yn Dduw annibynol a hollalluog; *er gosod o honot dy galon fel calon Duw*—er lletya o honot feddyliau uchel a mawreddog am danat dy hun, fel pe byddit Dduw; neu er fod enwau dy dduwiau yn dy enw di.

Adn. 3. *Wele di yn ddoethach na Daniel*] Yn dy feddwl dy hun, yr hwn y clodforir ei ddoethineb trwy yr holl wledydd: *ni chuddir dim dirgelwch oddiwrthyt*—debygit ti! Hyn sydd wawdiaith eglur.

Adn. 4, 5. *Trwy dy ddoethineb a'th ddeallgarwch y cefaist gyfoeth it', &c.*] Y mae yn debyg fod gan y brenin hwn synwyr cryf i drin marchnadaeth Tyrus, ac i chwanegu cyllid y porthladd; ond ni chydnabyddai efe ragluniaeth Duw yn hyn, eithr priodolai ei holl gyfoeth a'i lwyddiant i'w ddoethineb ei hun.

Adn. 6, 7. *Am osod o honot dy galon fel calon Duw*] Gwel ar adn. 2; *wele fi yn dwyn i'th erbyn ddyeithriaid*—sef y Caldeaid creulonaf o bawb; *a thynant eu cleddyfau ar degwch dy ddoethineb*—ar draws pob peth ag yr wyt ti yn ymffrostio ynddo, ac yn ei briodoli i'th ddoethineb dy hun: *a halogant dy loewder*—gwnant dy deyrnas, yr hon sydd yn awr yn flodeuog a llwyddiannus, yn wael a dirmygus.

Adn. 8. *Disgynant di i'r ffos*] Neu i iselder y bedd; *a byddi farw o farwolaeth yr archolledig*—byddi farw trwy gael dy archolli, *yn nghanol y môr*—yn nghanol dy fawredd; neu yn ei balas yn Tyrus newydd fe allai, yr hon oedd wedi ei hadeiladu ar ynys yn y môr.

Adn. 9. *Gan ddywedyd a ddywedi di o flaen dy leiddiaid*] Pan yn codi eu cleddyfau i'th daraw; *Duw ydwyf fi*—yr hwn nis gall cleddyf ei ladd? Y mae y gofyniad hwn yn brydferth ac argyhoeddiadol. *A thi a fyddi yn ddyn*—gwan a marwol, yn llaw dy leiddiaid; *ac nid yn Dduw*—anfarwol a hollalluog.

Adn. 10. *Byddi farw o farwolaeth y dienwaededig*] Saes., 'o *farwolaethau* y dienwaededig,' sef y dymhorol a'r dragwyddol. Gan mai yr enwaediad oedd y ddefod a wahaniaethai bobl Dduw oddiwrth y paganiaid, yr oedd bod yn *ddienwaededig* yn gyfystyr â bod yn annghredyn, neu yn elyn i Dduw, yn iaith yr Iuddewon. *Trwy law dyeithriaid*—sef y Caldeaid, yr hyn a gyfrifid yn anfri mawr. *Canys myfi a'i dywedais, medd yr Arglwydd Dduw*—ac am hyny fe'i cwblheir yn ddiffeth.

Adn. 11. *Gair yr Arglwydd a ddaeth ataf drachefn*] I roddi iddo y genadwri ddiweddaf o berthynas i frenin balch Tyrus.

Adn. 12. *Cyfod, fab dyn, alarnad am frenin Tyrus*] Gwel ar pen. xxvii. 32; *a dywed wrtho*—oddiwrthyf fi: *Ti seliwr nifer*—neu, yn ol *Houbigant* a'r LXX, 'ti sêl *cyffelybrwydd*,' mewn cyfeiriad at y sêl-fodrwy a wisgid am y bys. *Llawn o ddoethineb, a*

13 Ti a fuost yn Eden, gardd
Duw: pob maen gwerthfawr a'th
orchuddiai, sardius, tophaz, ac ad-
amant, beryl, onix, a jaspis, saphir,
rubi, a smaragdus, ac aur: gwaith
dy dympanau a'th bibellau a barot-
owyd ynot ar y dydd y'th grëwyd.
14 Cerub eneiniog *ydwyt* yn gor-
chuddio; ac *felly* y'th roddaswn;
oeddit ar santaidd fynydd Duw:
ymrodiaist yn nghanol y cerig tan-
llyd.
15 Perffaith *oeddit* ti yn dy ffyrdd
er y dydd y'th grëwyd, hyd oni
chaed ynot anwiredd.
16 Yn amlder dy farchnadaeth y
llanwasant dy ganol â thrais, a thi
a bechaist: am hyny y'th halogaf
allan o fynydd Duw, ac y'th ddy-
fethaf di, gerub yn gorchuddio, o
ganol y cerig tanllyd.
17 Balchïodd dy galon yn dy
degwch, llygraist dy ddoethineb o
herwydd dy loewder: bwriaf di i'r
llawr; o flaen brenhinoedd y'th os
odaf, fel yr edrychont arnat.
18 Trwy amlder dy anwiredd, ac
anwiredd dy farchnadaeth, yr hal-
ogaist dy gysegroedd: am hyny y
dygaf dân allan o'th ganol, hwnw
a'th ysa; a gwnaf di yn lludw ar y
ddaear yn ngolwg pawb a'th welant.
19 Y rhai a'th adwaenant oll yn
mysg y bobloedd, a synant o'th
achos: dychryn fyddi, ac ni *byddi*
byth.

---

*chyflawn o degwch*—yn dy feddwl dy hun. Tybia *Clarke* mai yr ystyr yw, 'Lluniaist bortreiad o honot dy hun, ac arddanghosaist dy hun yn berffeithrwydd doethineb a thegwch.'

Adn. 13. *Ti a fuost yn Eden, gardd Duw*] Yr wyt mor berffaith ag yr oedd Adda yn ei gyflwr o ddiniweidrwydd. Hyn hefyd sydd wawdiaith gref. *Pob maen gwerthfawr a'th orchuddiai*—yr oedd dy goron yn wneuthuredig o bob rhyw faen gwerthfawr wedi eu gosod mewn aur. *Sardius, tophaz, &c.*—enwir yma naw o'r meini hyn; ond y mae y LXX yn enwi deuddeg, yn yr un drefn ag yr oeddynt yn nwyfroneg yr archoffeiriad, Exod. xxviii. 17—20. *Gwaith dy dympanau, &c.*—yr oedd pob rhyw offeryn cerdd yn cael eu chwareu, fel arwydd o orfoledd, i groesawu dy ddyfodiad i'r byd ar ddydd dy enedigaeth, neu ynte ar ddydd dy goroniad.

Adn. 14. *Cerub eneiniog ydwyt yn gorchuddio*] Yn lledu dy adenydd i orchuddio neu amddiffyn dy bobl. Y mae yma gyfeiriad at y cerubiaid ar y drugareddfa, neu at y rhai a wylient o flaen porth paradwys, Gen. iii. 24. *Ac felly y'th roddaswn*—myfi fy hun a'th wnaethym yn frenin galluog i wylio neu orchuddio dy bobl. *Oeddit ar santaidd fynydd Duw*—mewn anrhydedd mawr fel Moses gynt, neu fel un o angylion uwchaf y nef. *Ymrodiaist yn nghanol y cerig tanllyd*—'yr oeddit fel pe buasit wedi dy osod yn mysg y deuddeg maen gwerthfawr yn nwyfroneg yr archoffeiriad.'—*Benson.* 'Yr oedd dy drigfa yn mysg y *ser* dysglaer,' fel y gelwir yr angylion weithiau, Job xxxviii. 7: gwel *Tertullian.* Tybia *Lowth* 'fod y geiriau yn cyfeirio at safle uchel Satan yn y nef cyn iddo syrthio.' Y mae y darluniad hwn yn debyg i'r darluniad a gawsom o'r blaen o frenin Babilon, Esay xiv. 12—14; ac y mae y naill yn taflu goleuni ar y llall.

Adn. 15. *Perffaith oeddit ti yn dy ffyrdd er y dydd y'th grëwyd*] Yn frenin ar Tyrus. Tybia rhai mai gwawdiaith yw y geiriau; ond tybia ereill mai yr ystyr yw, fod Tyrus yn cael ei llywodraethu ganddo ef yn ddoeth a llwyddiannus er dechread ei deyrnasiad, hyd oni amlygwyd ei anwiredd mewn balchder, cabledd, a thrais.

Adn. 16. *Yn amlder dy farchnadaeth y llanwasant dy ganol â thrais*] Ni ddarfu i'r cyfoeth a gynyrchodd dy fasnach ddim ond chwanegu dy drachwant am fwy o elw, a'th arwain i arferyd trais, twyll, a phob anghyfiawnder, i'r dyben i helaethu dy awdurdod a'th feddiannau; neu ynte, efe a oddefai i'w farsiandwyr arferyd trais. *Am hyny y'th halogaf allan o fynydd Duw*—bwriaf di i lawr fel un halogedig, o uwchder dy anrhydedd i'r hwn y'th gyfodaswn, ac o'th swydd o lywodraethu a noddi dy bobl, ac o'th holl rwysg a'th fawredd presenol; *ac y'th ddyfethaf di, gerub yn gorchuddio, &c.*—gwel ar adn. 14.

Adn. 17. *Balchïodd dy galon yn dy degwch*] Yn dy fawredd, dy gyfoeth, a'th awdurdod; *llygraist dy ddoethineb o herwydd dy loewder*—nes yr ydwyt, trwy dy lwyddiant, wedi myned yn analluog i farnu pethau yn ol eu gwir deilyngdod. *Bwriaf di i'r llawr*—o'th uwchder presenol i ddyfnder trueni. *O flaen brenhinoedd y'th osodaf*—i fod yn siampl iddynt, rhag iddynt hwy dy ddylyn di yn dy falchder a'th ddrygioni.

Adn. 18. *Trwy amlder dy anwiredd*] Personol dy hun, *ac anwiredd dy farchnadaeth*—y twyll gyda'r hwn ei dygid yn mlaen, *yr halogaist dy gysegroedd*—dy balas, dy orsedd, a'th lysoedd barn: *am hyny y dygaf dân*—neu farnedigaethau a'th ysant megys tân, *allan o'th ganol*—wedi eu hachosi genyt ti dy hun; *a gwnaf di yn lludw ar y ddaear*—ysir di yn lludw; neu byddi yn ddirmygedig fel lludw yn ngolwg pawb a'th welant.

Adn. 19. *Y rhai a'th adwaenant oll yn mysg y bobloedd*] Ac a ryfeddent gynt wrth dy fawredd a'th ogoniant; *a synant o'th achos*—o achos dy ddinystr llwyr ac andwyol: *dychryn fyddi*—iddynt oll; *ac ni byddi byth*—ni adferir di i urddas byth mwyach.

Adn. 20. *Yna gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yn nghylch dinystr Sidon, dinas ychydig

20 ¶ Yna gair yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

21 Gosod, fab dyn, dy wyneb yn erbyn Sidon, a phroffwyda yn ei herbyn hi,

22 A dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi i'th erbyn, Sidon; fel y'm gogonedder yn dy ganol, ac y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd, pan wnelwyf ynddi farnedigaethau, ac y'm santeiddier ynddi.

23 Canys anfonaf iddi haint, a gwaed i'w heolydd; a bernir yr archolledig o'i mewn â'r cleddyf, *yr hwn fydd* arni oddiamgylch; a chânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

24 ¶ Ac ni bydd mwy i dŷ Israel, o'r holl rai o'u hamgylch ar a'u dirmygasant, ysbyddaden bigog, na draenen ofidus: a chânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd Dduw.

25 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Pan gasglwyf dŷ Israel o fysg y bobloedd y rhai y gwasgarwyd hwy yn eu plith, ac yr ymsanteiddiwyf ynddynt yn ngolwg y cenhedloedd; yna y trigant yn eu gwlad a roddais i'm gwas Jacob.

26 Ie, trigant ynddi yn ddiogel, ac adeiladant dai, a phlanant winllanoedd; a phreswyliant mewn diogelwch, pan wnelwyf farnedigaethau â'r rhai oll a'u dirmygant hwy o'u hamgylch; fel y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw.

## PENNOD XXIX.

YN y degfed *mis* o'r ddegfed flwyddyn, ar y deuddegfed *dydd* o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

---

dros ugain milldir yn uwch i'r gogledd na Tyrus: gwel ar Esay xxiii. 2, &c.

Adn. 21. *Gosod, fab dyn, dy wyneb yn erbyn Sidon*] Tro dy wyneb tuag at Sidon, pen. xx. 46; *a phroffwyda yn ei herbyn hi*—traetha yn hyf y gosp ag sydd i ddisgyn arni.

Adn. 22. *A dywed*] Wrthi, oddiwrthyf fi; *Wele fi i'th erbyn, Sidon*—o herwydd dy eilunaddoliaeth dirfawr, a'th ddirmyg o'm pobl i; *fel y'm gogonedder yn dy ganol*—yr oedd y Sidoniaid wedi dianrhydeddu yr Arglwydd yn fawr trwy eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill, ac yr oedd yntau yn awr yn penderfynu gogoneddu ei allu, ei gyfiawnder, a'i wirionedd yn nhywalltiad ei farnedigaethau arnynt hwy, fel y byddai i'w enw fod yn adnabyddus, ac y santeiddid neu y gogoneddid ef trwy hyny.

Adn. 23. *Canys anfonaf iddi haint*] Yr hwn yn gyffredin sydd yn dylyn hir warchae-ad; *a gwaed i'w heolydd*—neu ryfel waedlyd: *a bernir yr archolledig o'i mewn*—Hebr., *chalal*, 'bernir ei milwyr;' *â'r cleddyf, yr hwn fydd arni oddiamgylch*—sef o amgylch y ddinas, yn gystal ag yn ei heolydd hi: *a chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—wrth y farn a wnaf.

Adn. 24. *Ac ni bydd mwy i dŷ Israel, o'r holl rai o'u hamgylch*] O'u holl gymydogion eilunaddolgar, y rhai oeddynt yn eu blino ac yn eu dirmygu; *ysbyddaden bigog, na draenen ofidus*—hyny yw, ni byddai neb i'w gofidio mwyach, nac i'w hudo i eilunaddoliaeth, ar ol i'w cymydogion paganaidd gael eu dinystrio: gwel ar Num. xxxiii. 55. *A chânt wybod*—cai Israel wybod, ar ol eu dychwelyd o Babilon i'w gwlad eu hunain; *mai myfi yw yr Arglwydd Dduw*—eu Duw cyfammodol hwy, a'u Noddwr hollalluog.

Adn. 25. *Pan gasglwyf dŷ Israel o fysg y bobloedd*] Sef o'r holl daleithiau Babilonaidd ar hyd y rhai y gwasgaresid hwynt; *ac yr ymsanteiddiwyf ynddynt yn ngolwg y cenhedloedd*—trwy eu cydnabod a'u hamddiffyn eilwaith fel fy mhobl neillduol fy hun; *yna y trigant yn eu gwlad a roddais i'm gwas Jacob*—yma y gwelwn, er ddarfod addaw gwlad Canaan i Abraham, Isaac, a Jacob, eto nad oedd neb o hiliogaeth Abraham ond a oedd o linach *Isaac*, na neb o hiliogaeth Isaac ond a oedd o linach *Jacob*, i gael ei hetifeddu hi: gwel ar Rhuf. ix. 6, &c.

Adn. 26. *Ie, trigant ynddi yn ddiogel*] Heb neb i'w haflonyddu mwyach, yn enwedig i'r fath raddau ag o'r blaen; *ac adeiladant dai, a phlanant winllanoedd*—i'w mwynhau ganddynt hwy eu hunain mewn diogelwch: *pan wnelwyf farnedigaethau*—ar eu holl gymydogion o'u hamgylch, y rhai a fuont yn eu blino ac yn eu dirmygu cyhyd. Fel hyn ni a welwn, pe buasai yr Iuddewon yn derbyn Crist a'i efengyl ar y cynygiad cyntaf o honynt yn amser yr apostolion, y cawsent aros yn eu gwlad yn *barhaus*, i'w mwynhau hi. Nid oes yma un cyfeiriad at ddychweliad yr Iuddewon i'w gwlad yn amser y milflwyddiant, ond at eu dychweliad yno o Babilon: yr hyn yn wir oedd yn gysgod o'u dychweliad i eglwys Crist mewn amser i ddyfod. *Fel y gwypont, &c.*—gwel ar adn. 24.

PEN. XXIX. Adn. 1. *Yn y degfed mis o'r ddegfed flwyddyn*] O deyrnasiad Zedeciah, a chaethiwed Jehoiacin ac Ezeciel. Felly traethwyd y broffwydoliaeth hon yn amser gwarchaead Jerusalem, oddeutu chwe mis cyn ei chymeryd hi. Cafodd y broffwydoliaeth yn y pennodau blaenorol ei thraethu ar ol hon, pen. xxvi. 1: ond gosodwyd hono yn mlaenaf, am fod Tyrus yn gorwedd yn nes at Judea, neu am fod ei dinystr hi i'w gyflawni o flaen dinystr yr Aifft.

2 Gosod, fab dyn, dy wyneb yn
erbyn Pharao brenin yr Aifft, a
phroffwyda yn ei erbyn ef, ac yn er-
byn yr Aifft oll.
3 Llefara, a dywed, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Wele
fi i'th erbyn, Pharao brenin yr Aifft,
y ddraig fawr yr hwn sydd yn gor-
wedd yn nghanol ei afonydd, yr
hwn a ddywedodd, Eiddof fi *yw* fy
afon, a mi a'*i* gwnaethym *hi* i mi
fy hun.
4 Eithr gosodaf fachau yn dy
fochgernau, a gwnaf i bysgod dy
afonydd lynu yn dy emau, a chodaf
di o ganol dy afonydd; ïe, holl bysg-
od dy afonydd a lynant wrth dy
emau.
5 A mi a'th adawaf yn yr anial-
wch, ti a holl bysgod dy afonydd:
syrthi ar wyneb y maes, ni'th gesgl-
ir, ac ni'th gynullir; i fwystfilod y
maes ac i ehediaid y nefoedd y'th
roddais yn ymborth.
6 A holl drigolion yr Aifft a gânt
wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd,
am iddynt fod yn ffon gorsen i dŷ
Israel.
7 Pan ymaflasant ynot erbyn dy
law, ti a doraist, ac a rwygaist eu
holl ysgwydd: a phan bwysasant
arnat, ti a doraist, ac a wnaethost
i'w holl arenau sefyll.
8 ¶ Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Wele fi yn dwyn
arnat gleddyf, a thoraf ymaith o
honot ddyn ac anifel.
9 A bydd tir yr Aifft yn ddinystr
ac yn anrhaith; a chânt wybod mai
myfi *yw* yr Arglwydd: am iddo
ddywedyd, Eiddof fi *yw* yr afon, a
myfi a'*i* gwnaethym.
10 Am hyny wele fi yn dy erbyn
di, ac yn erbyn dy afonydd, a gwnaf

---

Adn. 2. *Gosod, fab dyn, dy wyneb yn erbyn Pharao*] Yr hwn, mewn ffordd o wahaniaethiad, a elwir 'Pharao-hophra' gan Jeremi, pen. xliv. 30, ac 'Apries' gan Herodotus; *a phroffwyda yn ei erbyn ef, ac yn erbyn yr Aifft oll*—yr hon oedd i gael ei gwneuthur yn ddiffaethwch anrheithiedig, adn. 10.

Adn. 3. *Wele fi i'th erbyn, Pharao*] O herwydd dy falchder a'th dwyll; *y ddraig fawr, yr hwn sydd yn gorwedd yn nghanol ei afonydd*—y mae y gair *hattannim* yn arwyddo unrhyw greadur mawr; ond defnyddir ef yma am y *crocodil*, o'r rhai yr oedd llawer yn y Nilus a'i changhenau: ac hefyd y mae yr enw *Pharao*, yn yr Arabaeg, yn arwyddo 'crocodil.' *Yr hwn a ddywedodd*—yn malchder ei galon, *Eiddof fi yw yr afon*—sef y Nilus; *a mi a'i gwnaethym hi i mi fy hun*—yn gartref diogel a sefydlog. Teyrnas yr Aifft a feddylir, ond fod 'afon' yn cytuno yn well â'r meddylddrych o *grocodil*.

Adn. 4. *Eithr gosodaf fachau yn dy fochgernau*] I'th dynu allan a'th orchfygu, fel y tynir pysgod mawrion o'r afon; *a gwnaf i bysgod yr afonydd lynu yn dy emau*—neu yn dy *gên*. Tybia rhai mai yr ystyr yw, y byddai i'w filwyr lynu wrtho yn ei hynt filwraidd yn erbyn ei elynion; a thybia ereill fod y geiriau hyn yn cyfeirio at waith ei ddeiliaid ei hun yn ei lindagu yn ei balas, fel yr adroddwyd yn y sylw ar Jer. xliv. 30. *A chodaf di o ganol dy afonydd*—cyfeiria hyn ond odid at ei waith yn myned allan o wlad yr Aifft i dir ei elynion, efe a'i filwyr.

Adn. 5. *A mi a'th adawaf yn yr anialwch*] Yn anialdiroedd Libya a Cyrene: *syrthi ar wyneb y maes*—dywedir fod y brenin yn syrthio, pan fyddo ei filwyr yn cael eu maeddu: *ni'th gesglir, ac ni'th gynullir*—ni chesglid celaneddau ei filwyr i'w claddu, eithr gadewid hwy yn ymborth i fwystfilod y maes ac ehediaid yr awyr.

Adn. 6. *A holl drigolion yr Aifft a gânt wybod*] Trwy yr anffawd yma; *mai myfi yw yr Arglwydd*—Brenin mawr yr holl ddaear; *am iddynt fod yn ffon gorsen i dŷ Israel*—am iddynt hudo yr Iuddewon i ymddiried ynddynt, ac yna eu twyllo: gwel ar adn. 7.

Adn. 7. *Pan ymaflasant ynot erbyn dy law*] Neu pan yr ymddiriedodd yr Iuddewon ynot am gymhorth; *ti a doraist, ac a rwygaist eu holl ysgwydd*—fel dellt corsen doredig yn treiddio i'r cnawd, 2 Bren. xviii. 21. *Ti a doraist, ac a wnaethost i'w holl arenau sefyll*—y meddwl yw, i'r Aifftiaid brofi yn ddinystr i'r Iuddewon, y rhai a anturiasant i ryfel yn erbyn yr Assyriaid a'r Caldeaid mewn hyder am gael cynorthwy gan yr Aifftiaid: gwel ar 2 Bren. xxiv. 7, Jer. xxxvii. 5, 7. Er fod Duw yn beio yr Iuddewon yn fawr am gyfathrachu â'r Aifftiaid, eto y mae efe yn bygwth cospi yr Aifftiaid am beidio cyflawni eu haddewid i'r Iuddewon; canys er i Dduw wahardd y fath gyfathrach, nid oedd hyny yn esgusodi yr Aifftiaid am dori eu hymrwymiad.

Adn. 8. *Am hyny*] Sef am iddynt dwyllo pobl yr Arglwydd; *wele fi yn dwyn arnat gleddyf*—yn gyntaf trwy ryfeloedd cartrefol, ac yna trwy ymosodiad Nebuchodonosor; *a thoraf ymaith o honot ddyn ac anifel*—trwy ddyfetha lluoedd o'r naill a'r llall.

Adn. 9. *A bydd tir yr Aifft yn ddinystr*] Trwy y rhyfeloedd hyny; *a chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—trwy gyflawniad fy mygythion hyn: *am iddo ddywedyd, Eiddof fi yw yr afon*—gwel ar adn. 3.

Adn. 10. *Am hyny wele fi yn dy erbyn di*] I ddarostwng nerth a gogoniant dy deyrnas; *a gwnaf dir yr Aifft yn ddiffaethwch anrheithiedig*—neu yn anialwch annghyfaneddol; *o dŵr Syene*—Hebr., 'o Migdol i Syene;' o'r naill ben o'r wlad i'r llall. Syene, yr hon a elwir yn awr *Essuan*, oedd y ddinas bellaf yn yr Aifft ar y ffordd i Ethiopia. Yr oedd

dir yr Aifft yn diffaethwch anrheith-
iedig, *ac* yn annghyfanedd, o dŵr
Syene hyd yn nherfyn Ethiopia.
11 Ni chyniwair troed dyn trwy-
ddi, ac ni chyniwair troed anifel
trwyddi, ac nis cyfaneddir hi ddeu-
gain mlynedd.
12 A mi a wnaf wlad yr Aifft yn
annghyfanedd yn nghanol gwled-
ydd annghyfaneddol, a'i dinasoedd
fyddant yn annghyfanedd ddeugain
mlynedd yn nghanol dinasoedd an-
rheithiedig; a mi a wasgaraf yr
Aifftiaid yn mysg y cenhedloedd,
ac a'u taenaf hwynt ar hyd y gwled-
ydd.
13 ¶ Eto fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Yn mhen deugain
mlynedd y casglaf yr Aifftiaid o
fysg y bobloedd lle y gwasgarwyd
hwynt.
14 A dychwelaf gaethiwed yr
Aifft, ïe, dychwelaf hwynt *i* dir
Pathros, i dir eu preswylfa; ac yno
y byddant yn frenhiniaeth isel.
15 Isaf fydd o'r breniniaethau,
ac nid ymddyrchaif mwy oddiar y
cenhedloedd: canys lleihaf hwynt,
rhag arglwyddiaethu ar y cenhedl-
oedd.
16 Ac ni bydd hi mwy i dŷ Israel
yn hyder, yn dwyn ar gof *eu* han-
wiredd, pan edrychont hwy ar eu
hol hwythau: eithr cânt wybod mai
myfi *yw* yr Arglwydd Dduw.
17 ¶ Ac yn y *mis* cyntaf o'r seith-
fed flwyddyn ar hugain, ar y *dydd*
cyntaf o'r mis, y daeth gair yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd,
18 Ha fab dyn, Nebuchodonosor
brenin Babilon a wnaeth i'w lu was-
anaethu gwasanaeth mawr yn erbyn
Tyrus: pob pen a foelwyd, a phob
ysgwydd a ddynoethwyd; ond nid

---

yn enwog am *ffynnon*, i'r hon yr oedd pelydr yr haul yn disgyn yn *union-syth* ar hanner dydd.

Adn. 11. *Ni chyniwair troed dyn trwyddi*] Bydd nifer ei thrigolion a'i hanifeiliaid mor fychan o'u cymharu â'r hyn a fuont, fel na byddant yn werth son am danynt; *ac nis cyfaneddir hi ddeugain mlynedd*—sef dros holl ystod teyrnasiad Amasis, canlynydd Pharao.

Adn. 12. *A mi a wnaf wlad yr Aifft yn annghyfanedd yn nghanol gwledydd annghyfaneddol*] Hyny yw, byddai gwlad yr Aifft yn un o'r gwledydd hyny a annghyfaneddid yn ol proffwydoliaeth Jeremi, pen. xxv. 19, &c.; *a mi a wasgaraf yr Aifftiaid yn mysg y cenhedloedd*—felly symudwyd rhai o honynt i Babilon a Pontus, a ffôdd ereill i Arabia, Ethiopia, a gwledydd ereill.

Adn. 13. *Eto—yn mhen deugain mlynedd*] Ar ol gorchfygu yr Aifft gan Nebuchodonosor; *y casglaf yr Aifftiaid o fysg y bobloedd lle y gwasgarwyd hwynt*—yr oedd y deugain mlynedd hyn yn terfynu yr un pryd ag y dinystriwyd unbenaeth Babilon gan Cyrus; ac ymddengys i Cyrus ganiatau i'r Aifftiaid ddychwelyd i'w gwlad ar yr un pryd ag y rhyddhawyd y caethion Iuddewig.

Adn. 14. *A dychwelaf gaethiwed yr Aifft*] Sef yn niwedd y deugain mlynedd uchod; *ïe, dychwelaf hwynt i dir Pathros*—sef i'r rhan hòno o'r Aifft a elwir *Thebais*, fel y profodd Bochart: *ac yno y byddant yn frenhiniaeth isel*—yn ddarostyngedig neu dan deyrnged i wledydd ereill yn olynol; megys i'r Babiloniaid dan Amasis, ac wedi hyny i'r Persiaid, y Macedoniaid, y Rhufeiniaid, y Saraceniaid, y Mameluciaid, ac yn ddiweddaf i'r Tyrciaid, dan iau pa rai y maent yn aros hyd heddyw.

Adn. 15. *Ac nid ymddyrchaif mwy oddiar y cenhedloedd*] Yr hyn a wireddwyd yn llythyrenol er's mwy na 2400 o flynyddoedd bellach: *canys lleihaf hwynt*—mewn rhif, gallu, a chyfoeth; *rhag arglwyddiaethu ar y cenhedloedd*—o hyn allan.

Adn. 16. *Ac ni bydd hi mwy i dŷ Israel yn hyder*] I roddi eu hyder arni hi, sef ar yr Aifft, yn lle ar Dduw; *yn dwyn ar gof eu hanwiredd*—yn peri i Dduw gofio eu hanwiredd fel ag i'w gospi; *pan edrychont hwy ar eu hol hwythau*—pan fyddo yr Iuddewon yn edrych am gymhorth oddiwrth yr Aifftiaid: *eithr cânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd Dduw*—ar yr hwn y dylent ymbwyso, ac nid ar yr Aifft.

Adn. 17. *Ac yn y mis cyntaf o'r seithfed flwyddyn ar hugain*] O deyrnasiad Zedeciah, adn. 1. Traethwyd y broffwydoliaeth hon ychydig gydag un mlynedd ar bymtheg ar ol y broffwydoliaeth flaenorol; a dodir hi yma yn nesaf at hòno, am ei bod yn traethu ar yr un testyn, sef dinystr yr Aifft. Meddylir mai hon yw y ddiweddaf o broffwydoliaethau Ezeciel.

Adn. 18. *Ha fab dyn, Nebuchodonosor—a wnaeth i'w lu wasanaethu gwasanaeth fawr yn erbyn Tyrus*] Trwy warchae arni am dair blynedd ar ddeg, fel y dywed Josephus. *Pob pen a foelwyd*—wrth i'r milwyr wisgo eu helmau yn barhaus ar eu penau; *a phob ysgwydd a ddynoethwyd*—a wnaed yn gig noeth, wrth iddynt wisgo eu harfogaeth am gyhyd o amser, neu wrth iddynt gario defnyddiau i wneuthur gwrthgloddiau. *Ond nid oedd am Tyrus gyflog iddo, ac i'w lu*—nid oedd yr yspail a gaed yn y ddinas yn ddigon i ddwyn traul y gwarchae, ac i wobrwyo llafur y fyddin; canys pan wybu y trigolion fod yn anmhosibl iddynt amddiffyn y ddinas yn hwy, danfonasant eu trysorau penaf, eu haur a'u gwisgoedd a'u dodrefn, mewn llongau i Carthage a'r ynysoedd cymydogaethol, ac felly collodd Nebuchodon-

oedd am Tyrus gyflog iddo, ac i'w lu, am y gwasanaeth a wasanaethodd efe yn ei herbyn hi:

19 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw: Wele fi yn rhoddi tir yr Aifft i Nebuchodonosor brenin Babilon, ac efe a gymer ei lluaws hi, ac a yspeilia ei hyspail hi, ac a ysglyfaetha ei hysglyfaeth hi, fel y byddo hi yn gyflog i'w lu ef.

20 *Am* ei waith yr hwn a wasanaethodd efe yn ei herbyn hi, y rhoddais iddo dir yr Aifft, o herwydd i mi y gweithiasant, medd yr Arglwydd Dduw.

21 ¶ Yn y dydd hwnw y gwnaf i gorn tŷ Israel flaguro, a rhoddaf i tithau agoriad genau yn eu canol hwynt: a chant wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd.

## PENNOD XXX.

AGAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

2 Proffwyda, fab dyn, a dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Udwch, Och o'r diwrnod!

3 Canys agos dydd, ïe, agos dydd yr Arglwydd, dydd cymylog, amser y cenhedloedd fydd efe.

4 A'r cleddyf a ddaw ar yr Aifft, a bydd gofid blin yn Ethiopia, pan syrthio yr archolledig yn yr Aifft, a chymeryd o honynt ei lluaws hi, a dinystrio ei seiliau.

5 Ethiopia, a Libya, a Lydia, a'u gwerin oll, Chub hefyd, a meibion y tir sydd yn y cyfammod, a syrthiant gyda hwynt gan y cleddyf.

6 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;

---

osor yspail un o'r dinasoedd cyfoethocaf yn y byd.

Adn. 19. *Am hyny*] Am na chafodd ef ei ddigolledu wrth gymeryd Tyrus; *wele fi yn rhoddi tir yr Aifft i Nebuchodonosor*—lle y caiff efe ddigon o yspail ac ysglyfaeth; *fel y byddo hi yn gyflog i'w lu ef*—am yr holl galedi a ddyoddefasant wrth warchae ar Tyrus.

Adn. 20. *O herwydd i mi y gweithiasant, medd yr Arglwydd Dduw*] I gyflawni fy ewyllys a'm bwriad i, er mai eu hamcan hwy oedd cyflawni eu hewyllys, a'u huchelgais, a'u dialedd eu hunain. Fel hyn, os yw Duw mor rasol fel ag i wobrwyo y rhai a gyflawnant ei ewyllys ef yn ddamweiniol, er nad yn fwriadol; pafaint mwy o reswm sydd genym i ddysgwyl y bydd iddo ef wobrwyo yn helaeth y sawl a ufyddhant i'w ewyllys ef yn fwriadol!

Adn. 21. *Yn y dydd hwnw y gwnaf i gorn tŷ Israel flaguro*] Paraf i'r *genedl* flodeuo a llwyddo drachefn. Ymddengys fod hyn yn cyfeirio at amser dychweliad yr Iuddewon o Babilon, a'u hail sefydliad hwy yn Judea. Ond tybia rhai mai wrth 'gorn tŷ Israel' y meddylir *Zorobabel*, un o arweinyddion y bobl o Babilon; a thybia ereill ei fod yn cyfeirio at *Jeconiah*, yr hwn a ryddhawyd o'i garchar yn Babilon yn mhen oddeutu deng mlynedd wedi hyn: cymharer adn. 17 gyda 2 Bren. xxv. 27. *A rhoddaf i tithau agoriad genau yn eu canol hwynt*—nid ydym i gasglu oddiyma y byddai Ezeciel yn fyw y pryd hyny; eithr y meddwl yw, pan gyflawnid ei broffwydoliaethau ef am y pethau hyn, y rhoddai hyny reswm newydd i gredu y cyflawnid ei holl broffwydoliaethau ereill ef yn eu hamser dyladwy: gwel ar pen. xxiv. 2, 27. *A chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*—bydd i hyn oll ddwyn gogoniant i mi yr hwn a'th anfonais di i broffwydo, ac a gyflawnais fel hyn dy broffwydoliaethau.

PEN. XXX. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Drachefn, a hyny oddeutu yr un amser ag a grybwyllwyd pen. xxix. 17.

Adn. 2. *Proffwyda, fab dyn, a dywed*] Oddiwrthyf fi; *Udwch*—chwi drigolion yr Aifft, a'i chyngbreiriaid hi; *Och o'r diwrnod*—chwerw a thrallodus ag sydd yn dyfod i'n cyfarfod!

Adn. 3. *Canys agos dydd, &c.*] Yr oedd dydd dialedd Duw yn awr yn ymyl; *dydd cymylog*—tywyll a thymhestlog: *amser y cenhedloedd fydd efe*—yn yr hwn y cospir y cenhedloedd hyn am eu heilunaddoliaeth a'u drygioni.

Adn. 4. *A'r cleddyf a ddaw ar yr Aifft*] Sef cleddyf y Caldeaid; *a bydd gofid blin yn Ethiopia*—yn mysg cymydogion a chyngbreiriaid yr Aifftiaid, wrth glywed am eu dinystr hwy, rhag ofn i'r un farn ddisgyn arnynt hwythau; *a chymeryd o honynt ei lluaws hi*—yn gaethion i Babilon; *a dinystrio ei seiliau*—sef ei thyrau a'i hamddiffynfeydd cedyrn, neu ynte ei llywodraethwyr a'i thywysogion.

Adn. 5. *Ethiopia, a Libya, a Lydia*] Cenhedloedd o Affrica, y rhai oeddynt mewn cynghrair â'r Aifftiaid, Jer. xlvi. 9; *a'u gwerin oll*—Saes., 'a'r holl bobl gymysg,' (Jer. xxv. 20,) y rhai ond odid oeddynt filwyr cyflogedig o wledydd ereill; *Chub hefyd*—neu y 'Cubiaid,' y rhai a grybwyllir gan *Ptolemy* fel trigolion *Mareotis*, talaeth yn yr Aifft; *a meibion y tir sydd yn y cyfammod*—sef trigolion unrhyw wlad a fyddo wedi ymgyngbreirio â'r Aifftiaid; *a syrthiant gyda hwynt gan y cleddyf*—byddai iddynt oll gael eu dyfetha gyda'r Aifftiaid gan y Caldeaid.

Adn. 6. *Y rhai sydd yn cynal yr Aifft a syrthiant hefyd*] Sef llywodraethwyr y gwahanol daleithiau; neu y cyfoethogion, y doethion, a'r milwyr, y rhai a'i cynalient hi â'u cyfoeth, eu doethineb, a'u gwroldeb: *a*

Y rhai sydd yn cynal yr Aifft a
syrthiant hefyd, a balchder ei nerth
hi a ddisgyn: syrthiant ynddi gan
y cleddyf o dŵr Syene, medd yr
Arglwydd Dduw.
7 A hwy a wneir yn annghyfan-
edd yn mhlith y gwledydd anngy-
faneddol, a'i dinasoedd fydd yn
nghanol y dinasoedd anrheithiedig.
8 A chânt wybod mai myfi *yw* yr
Arglwydd, pan roddwyf dân yn yr
Aifft, ac y torer ei holl gynorthwy-
wyr hi.
9 Y dydd hwnw cenadau a ânt
allan oddiwrthyf fi mewn llongau, i
ddychrynu Ethiopia ddiofal, a bydd
gofid blin arnynt fel yn nydd yr
Aifft: canys wele ef yn dyfod.
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Gwnaf hefyd i luaws yr
Aifft ddarfod trwy law Nebuchod-
onosor brenin Babilon.
11 Efe a'i bobl gydag ef, y rhai
trawsion o'r cenhedloedd, a ddygir
i ddyfetha y tir: a hwy a dynant eu
cleddyfau ar yr Aifft, ac a lanwant
y wlad â chelanedd.
12 Gwnaf hefyd yr afonydd yn
sychder, a gwerthaf y wlad i law y
drygionus; ïe, anrheithiaf y wlad
a'i chyflawnder trwy law dyeithr-
iaid: myfi yr Arglwydd a'*i* dy-
wedodd.
13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Dyfethaf hefyd y delwau, a
gwnaf i'r eilunod ddarfod o Noph;
ac ni bydd tywysog mwyach o dir
yr Aifft: ac ofn a roddaf yn nhir yr
Aifft.
14 Pathros hefyd a anrheithiaf, a
rhoddaf dân yn Soan; a gwnaf farn-
edigaethau yn No.
15 A thywalltaf fy llid ar Sin,
cryfder yr Aifft; ac a doraf ymaith
luaws No.
16 A mi a roddaf dân yn yr Aifft;
gan ofidio y gofidia Sin, a No a
rwygir, a *bydd ar* Noph gyfyngder-
au beunydd.
17 Gwŷr ieuainc Afen a Phibes-

---

*balchder ei nerth hi a ddisgyn*—sef ei dinasoedd, ei chestyll, a'i hamddiffynfeydd: *syrthiant ynddi gan y cleddyf o dŵr Syene*—Hebr., 'o Migdol i Syene:' gwel ar pen. xxix. 10.

Adn. 7. *A hwy a wneir yn annghyfanedd, &c.*] Gwel ar pen. xxix. 12.

Adn. 8. *A chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Hwy a gydnabyddant fy llaw i yn y dinystr hwn; *pan roddwyf dân yn yr Aifft*—pan gyneuwyf dân rhyfel yno; *ac y torer ei holl gynorthwywyr hi*—y rhai a enwyd yn adn. 5.

Adn. 9. *Y dydd hwnw cenadau a ânt allan oddiwrthyf fi mewn llongau*] Nid yw 'mewn llongau' yn nghyfieithiad *Houbigant*, na chan y LXX; ond dywedir y gallai mânlestri fyned i fyny ar hyd y Nilus cyn belled a Syene, ar derfyn Ethiopia; *i ddychrynu Ethiopia ddiofal*—yr hon a freuddwydiai ei bod allan o berygl: *a bydd gofid blin arnynt fel yn nydd yr Aifft*—dychrynir yr Ethiopiaid yr un modd ag y dychrynwyd yr Aifftiaid, neu dyfethir hwynt fel hwythau. Dichon mai Nebuchodonosor oedd yn anfon y cenadau hyn i orchymyn i'r Ethiopiaid roddi eu gwlad i fyny i'w ddwylaw ef; neu gall mai byddin ymosodol o eiddo y Caldeaid oeddynt.

Adn. 10. *Gwnaf hefyd i luaws yr Aifft ddarfod*] Trwy i Nebuchodonosor ladd neu gaethgludo y rhan fwyaf o'r trigolion.

Adn. 11. *Y rhai trawsion o'r cenhedloedd*] Felly y gelwir Nebuchodonosor a'i bobl, ar gyfrif eu mawr greulondeb: *a hwy a dynant eu cleddyfau ar yr Aifft*—ac ni roddant hwy yn y wain nes llenwi y wlad â chelaneddau.

Adn. 12. *Gwnaf hefyd yr afonydd yn sychder*] Sef gwahanol gamlasau y Nilus, trwy y rhai y dyfrheid ac y ffrwythlonid y wlad: gwel ar Esay xix. 5: *a gwerthaf y wlad i law y drygionus*—rhoddaf hi yn llaw y Caldeaid drygionus a chreulon, y rhai a'i hanrheithiant hi.

Adn. 13. *Dyfethaf hefyd y delwau*] Gwel ar Jer. xliii. 12, 13: *a gwnaf i'r eilunod ddarfod o Noph*—neu Moph, yr un a Memphis, un o brifddinasoedd yr Aifft, lle yr addolid Apis ac Osiris: *ac ni bydd tywysog mwyach o dir yr Aifft*—ond llywodraethir hi gan estroniaid, y rhai yr ofnant hwy eu gwrthwynebu.

Adn. 14. *Pathros hefyd a anrheithiaf*] Sef Thebais, pen. xxix. 14; *a rhoddaf dân yn Soan*—gwel ar Salm lxxviii. 12; *a gwnaf farnedigaethau yn No*—gwel ar Jer. xlvi. 25.

Adn. 15. *A thywalltaf fy llid ar Sin, cryfder yr Aifft*] Yr un a Pelusium ar lan Môr-y-canoldir, lle yr oedd un o saith genau y Nilus, ac a elwid 'agoriad yr Aifft.' Yr oedd y ddinas hon wedi ei chryfhau gan natur a chelfyddyd, fel nad allai un gelyn fyned i mewn yn hawdd. *Ac a doraf ymaith luaws No*—sef ei thrigolion lluosog, trwy gleddyf y Caldeaid.

Adn. 16. *A mi a roddaf dân yn yr Aifft*] Sef tân rhyfel, i ysu y dinasoedd uchod a'u trigolion.

Adn. 17. *Gwŷr ieuainc Afen a Phibeseth*] Afen oedd yr un ag On, neu Heliopolis: gwel ar Gen. xli. 45. Pibeseth oedd yr un a Bubastum, yr hon a safai o du dwyreiniol y Nilus, tuag Arabia. *A syrthiant gan y cleddyf*—trwy law y Caldeaid; *ac i gaethiwed yr ânt hwy*—sef y rhai ni leddid felly.

eth a syrthiant gan y cleddyf; ac i gaethiwed yr ânt hwy.

18 Ac ar Tehaphnehes y tywylla y diwrnod, pan dorwyf yno ieuau yr Aifft: a balchder ei chryfder a dderfydd ynddi; cwmwl a'i cuddia hi, a'i merched a ânt i gaethiwed.

19 Felly y gwnaf farnedigaethau yn yr Aifft; fel y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd.

20 ¶ Ac yn y *mis* cyntaf o'r unfed flwyddyn ar ddeg, ar y seithfed *dydd* o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

21 Ha fab dyn, torais fraich Pharao brenin yr Aifft; ac wele, nis rhwymir i roddi meddyginiaethau *wrtho,* i osod rhwymyn i rwymo, i'w gryfhau i ddal y cleddyf.

22 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn erbyn Pharao brenin yr Aifft, a mi a doraf ei freichiau ef, y cryf, a'*r hwn oedd* ddrylliedig; ac a wnaf i'r cleddyf syrthio o'i law ef.

23 A mi a wasgaraf yr Aifftiaid yn mysg y cenhedloedd, ac a'u taenaf hwynt ar hyd y gwledydd:

24 A mi a gadarnhaf freichiau brenin Babilon, ac a roddaf fy nghleddyf yn ei law ef: ond mi a doraf freichiau Pharao, ac efe a ochain o'i flaen ef âg ocheneidiau *un* archolledig.

25 Ond mi a gadarnhaf freichiau brenin Babilon, a breichiau Pharao a syrthiant; fel y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd, wedi i mi roddi fy nghleddyf yn llaw brenin Babilon, ac iddo yntau ei estyn ef ar wlad yr Aifft.

26 A mi a wasgaraf yr Aifftiaid yn mysg y cenhedloedd, ac a'u taenaf hwynt ar hyd y gwledydd; fel y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd.

## PENNOD XXXI.

AC yn y trydydd *mis* o'r unfed flwyddyn ar ddeg, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

---

Adn. 18. *Ac ar Tehaphnehes y tywylla y diwrnod*] Dinas frenhinol yn yr Aifft, yr un a Thahapanes, Jer. ii. 6, neu Tapanhes, Jer. xliii. 7: gwel y sylwadau yno. *Pan dorwyf yno ieuau yr Aifft*—y rhai a osodent hwy ar yddfau pobl ereill; neu, fel y mae yn y Syriaeg, '*teyrnwiail* yr Aifft.' *A balchder ei chryfder a dderfydd ynddi*—sef holl nerth a gwychder ei llys brenhinol. *Cwmwl a'i cuddia hi*—deuai y Caldeaid fel cwmwl arni, i'w gwneyd yn hollol dywyll; *a'i merched a ânt i gaethiwed*—sef y trefi ymddibynol arni hi fel y fam-ddinas; hyny yw, byddai i'w trigolion gael eu caethgludo gan y Caldeaid.

Adn. 19. *Felly y gwnaf farnedigaethau yn yr Aifft*] O'r naill gwr i'r llall iddi, trwy yr hyn y cânt wybod fy ngallu a'm cyfiawnder i.

Adn. 20. *Ac yn y mis cyntaf o'r unfed flwyddyn ar ddeg*] O deyrnasiad Zedeciah; *ar y seithfed dydd o'r mis*—yr hyn oedd bedwar mis a dau ddiwrnod cyn cymeryd Jerusalem, 2 Bren. xxv. 2, 3. Felly cafodd y broffwydoliaeth hon ei thraethu un mlynedd ar bymtheg cyn y broffwydoliaeth uchod, pen. xxix. 17. Wrth gasglu ysgrifeniadau Ezeciel, cymerid mwy o ofal i ddodi yn nghyd y cwbl a berthynent i'r un testyn, nag i sylwi ar y drefn amseryddol.

Adn. 21. *Ha fab dyn, torais fraich Pharao*] Cyfeiria hyn ond odid at orchfygiad yr Aifftiaid gan y Caldeaid, pryd y daethant allan i gynorthwyo Jerusalem yn amser ei gwarchaead hi, fel yr adroddir Jer. xxxvii. 5, 7; *ac wele, nis rhwymir, &c.*—byddai clwyfau yr Aifftiaid, neu eu hanallu gwladol, yn anfeddyginiaethol, fel nas gallent ddefnyddio y cleddyf mwyach i amddiffyn yr Iuddewon, mwy na dyn wedi tori ei fraich.

Adn. 22. *A mi a doraf ei freichiau ef*] Yr oedd un fraich iddo wedi ei thori eisioes, adn. 21; ac yn awr y mae Duw yn myned i dori y fraich arall, y gref yn gystal a'r ddrylliedig, neu weddill ei nerth: *ac a wnaf i'r cleddyf syrthio o'i law ef*—fel o law dyn wedi tori ei fraich. Cyfeiria hyn at y rhyfel gartrefol dan Amasis, ac wedi hyny dan Nebuchodonosor.

Adn. 23. *A mi a wasgaraf yr Aifftiaid*] Gwel ar pen. xxix. 12.

Adn. 24. *A mi a gadarnhaf freichiau brenin Babilon*] I orchfygu Pharao, ac i dori ei freichiau neu ei allu ef; *ac efe a ochain o'i flaen ef âg ocheneidiau un archolledig*—fel dyn wedi ei archolli yn angeuol.

Adn. 25. *Ond mi a gadarnhaf freichiau brenin Babilon, &c.*] Ail ddywedir hyn, i'r dyben i ddangos y sicrwydd o hono.

Adn. 26. *A mi a wasgaraf yr Aifftiaid*] Gwel ar pen. xxix. 12. Er mai Nebuchodonosor oedd yr offeryn, eto Duw ei hun oedd y prif weithredydd. *Fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—Llywodraethwr cyfiawn yr holl ddaear, ac nid eu duwiau hwynt.

PEN. XXXI. Adn. 1. *Ac yn y trydydd mis o'r unfed flwyddyn ar ddeg*] O deyrnasiad Zedeciah; *ar y dydd cyntaf o'r mis*—sef yn mhen tua saith wythnos ar ol y broffwydoliaeth flaenorol, pen. xxx. 20, ac oddeutu pum wythnos cyn cymeryd Jerusalem.

Adn. 2. *Dywed, fab dyn, wrth Pharao*] Nis gallai y proffwyd gyfarch Pharao a'i ddeiliaid lluosog yn bersonol, gan ei fod yn

2 Dywed, fab dyn, wrth Pharao
brenin yr Aifft, ac wrth ei luaws;
I bwy yr ydwyt debyg yn dy fawr-
edd?
3 ¶ Wele, Assur oedd gedrwydd-
en yn Libanus, yn dêg ei cheinciau,
a'i brig yn cysgodi, ac yn uchel ei
huchder, a'i brigyn oedd rhwng y
tewfrig.
4 Dyfroedd a'i maethasai hi, y
dyfnder a'i dyrchafasai, â'i hafon-
ydd yn cerdded o amgylch ei phlan-
fa, bwriodd hefyd ei ffrydiau at
holl goed y maes.
5 Am hyny yr ymddyrchafodd ei
huchder hi goruwch holl goed y
maes, a'i cheinciau a amlhasant,
a'i changhenau a ymestynasant, o
herwydd dyfroedd lawer, pan fwr-
iodd hi allan.
6 Holl ehediaid y nefoedd a nyth-
ent yn ei cheinciau hi, a holl fwyst-
filod y maes a lydnent dan ei chang-
henau hi; ïe, yr holl genhedloedd
lluosog a eisteddent dan ei chysgod
hi.
7 Felly têg ydoedd hi yn ei
mawredd, yn hyd ei brig; o her-
wydd ei gwraidd ydoedd wrth ddyfr-
oedd lawer.
8 Y cedrwydd yn ngardd Duw ni
allent ei chuddio hi: y ffynidwydd
nid oeddynt debyg i'w cheinciau hi,
a'r ffawydd nid oeddynt fel ei
changhenau hi; ac un pren yn
ngardd yr Arglwydd nid ydoedd
debyg iddi hi yn ei thegwch.
9 Gwnaethym hi yn dêg gan lu-
aws ei changhenau: a holl goed
Eden, y rhai *oedd* yn ngardd Duw,
a genfigenasant wrthi hi.
10 ¶ Am hyny fel hyn y dywed
yr Arglwydd Dduw; O herwydd
ymddyrchafu o honot mewn uchder,
a rhoddi o honi ei brig yn mysg y
tewfrig, ac ymddyrchafu ei chalon
yn ei huchder;
11 Am hyny y rhoddais hi yn
llaw cadarn y cenhedloedd: gan
wneuthur y gwna efe iddi; am ei
drygioni y bwriais hi allan.
12 A dyeithriaid, rhai ofnadwy y

---

awr yn Caldea; ond trwy iddo ysgrifenu ei broffwydoliaeth, y mae yn debyg y caent ei gweled hi rywbryd. *I bwy yr ydwyt debyg yn dy fawredd?*—y mae y proffwyd yn ateb y cwestiwn hwn ei hun yn yr adnodau canlynol.

Adn. 3. *Wele Assur*] Neu frenin Assyria, i'r hwn yr oedd Pharao ond odid yn ei gyffelybu ei hun; *oedd gedrwydden yn Libanus*—yn dêg, uchel, a thewfrig fel tithau; ond er hyny efe a gwympwyd: a pha sail sydd genyt i feddwl y diengi di? Y mae yr esbonwyr yn gyffredin yn deall yr adnodau canlynol am *Chyniladanus*, neu *Saracus*, brenin Assyria. Ond, fel y sylwa *Clarke*, 'paham y dygir yr *Assyriaid* i mewn yma, pan y mae yr holl bennod yn perthyn i'r *Aifft?* Danghosodd yr *Esgob Lowth* y dylai *ashshur erez* gael ei gyfieithu yn *gedrwydden uchel;* o ganlyniad cyfeirir at ei *brig uchel;* ac y mae yr holl ddarluniad canlynol yn cyfeirio at yr *Aifft*, nid at *Assyria.*' *A'i brigyn oedd rhwng y tewfrig*—neu 'yn nghanol y cymylau.'—LXX.

Adn. 4. *Dyfroedd a'i maethasai hi, y dyfnder a'i dyrchafasai*] Nes y tyfodd yn bren uchel, yn uwch na'r holl frenhinoedd o'i amgylch. Cyfeirir yma at ffrwythlondeb yr Aifft trwy orlifiad y Nilus. *Bwriodd hefyd ei ffrydiau at holl goed y maes*—yr oedd ei gynghreirwyr hefyd, neu ynte y 'bobl gyffredin,' yn cael budd a mantais oddiwrth gyfoeth y brenin a llwyddiant ei deyrnas.

Adn. 5. *Am hyny yr ymddyrchafodd ei huchder hi, &c.*] Sef uchder brenin *Assyria*, yn ol rhai; neu frenin yr *Aifft*, yn ol eraill: gwel ar adn. 3.

Adn. 6. *Holl ehediaid y nefoedd a nythent yn ei cheinciau hi, &c.*] Yr oedd amrai genhedloedd ereill yn cyfeirio at y brenin hwn am amddiffyniad, ac yn cael gwrandawiad.

Adn. 7. *Felly têg ydoedd hi yn ei mawredd*] Ydoedd y gedrwydden hon, yr hon a osodai allan frenin *Assyria* neu frenin yr *Aifft*, adn. 3; *o herwydd ei gwraidd ydoedd wrth ddyfroedd lawer*—lle yr oedd ganddi fantais i dyfu ac ymestyn.

Adn. 8. *Y cedrwydd yn ngardd Duw*] Ymadrodd yn arwyddo y lle mwyaf rhagorol, neu fanteisiol i dyfu; *ni allent ei chuddio hi*—am ei bod yn uwch na hwynt oll: *ac un pren yn ngardd yr Arglwydd nid ydoedd debyg iddi hi yn ei thegwch*—ymadroddion cyffelybiaethol, yn gosod allan fawredd a rhagoroldeb y deyrnas hon.

Adn. 9. *Gwnaethym hi yn dêg gan luaws ei changhenau*] Sef y teyrnasoedd ymddibynol arni: *a holl goed Eden, y rhai oedd yn ngardd Duw*—sef 'holl frenhinoedd y dwyrain,' fel y mae y Galdeaeg yn ei alleirio; *a genfigenasant wrthi hi*—wrth fawredd ei chyfoeth, ei dylanwad, a'i henwogrwydd.

Adn. 10. *O herwydd ymddyrchafu o honot mewn uchder*] O herwydd i'th falchder gynyddu gyda'th lwyddiant.

Adn. 11. *Am hyny y rhoddais hi yn llaw cadarn y cenhedloedd*] Sef yn llaw Nebuchodonosor, brenin cadarn y Caldeaid, yr hwn a orchfygodd Ninefeh, prifddinas yr Assyriaid, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, ac a orchfygodd yr Aifft wedi hyny. *Gan wneuthur y gwna efe iddi*—y llwyr ddarostynga efe

cenhedloedd, a'i torasant hi ymaith, ac a'i gadawsant hi: ar y mynyddoedd ac yn yr holl ddyffrynoedd y syrthiodd ei brig hi, a'i changhenau a dorwyd yn holl afonydd y ddaear; a holl bobloedd y tir a ddisgynasant o'i chysgod hi, ac a'i gadawsant hi.

13 Holl ehediaid y nefoedd a drigant ar ei chŷff hi, a holl fwystfilod y maes a fyddant ar ei changhenau hi;

14 Fel nad ymddyrchafo holl goed y dyfroedd yn eu huchder, ac na roddont eu brigyn rhwng y tewfrig, ac na safo yr holl goed dyfradwy yn eu huchder: canys rhoddwyd hwynt oll i farwolaeth yn y tir isaf yn nghanol meibion dynion, gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll.

15 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Yn y dydd y disgynodd hi i'r bedd, gwnaethym alaru: toais y dyfnder am dani hi, ac atteliais ei hafonydd, fel yr attaliwyd dyfroedd lawer: gwnaethym i Libanus alaru am dani hi, ac *yr ydoedd ar* holl goed y maes lesmair am dani hi.

16 Gan swn ei chwymp hi y cynhyrfais y cenhedloedd, pan wnaethym iddi ddisgyn i uffern gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll, a holl goed Eden, y dewis a'r goraf yn Libanus, y dyfradwy oll, a ymgysurant yn y tir isaf.

17 Hwythau hefyd gyda hi a ddisgynant i uffern at laddedigion y cleddyf, a'*r rhai oedd* fraich iddi hi, *y rhai* a drigasant dan ei chysgod hi yn nghanol y cenhedloedd.

18 ¶ I bwy felly yn mysg coed Eden yr oeddit debyg mewn gogoniant a mawredd? eto ti a ddisgynir gyda choed Eden i'r tir isaf; gorweddi yn nghanol y rhai dienwaededig, gyda lladdedigion y cleddyf. Dyma Pharao a'i holl luaws, medd yr Arglwydd Dduw.

---

hi. *Am ei drygioni y bwriais hi allan*—o'i mawredd a'i gogoniant.

Adn. 12. *A dyeithriaid, rhai ofnadwy y cenhedloedd*] Sef byddin gadarn a chreulon y Caldeaid; *a'i torasant hi ymaith*—a dorasant y gedrwydden hon i lawr, gan ei gadael i wywo ar y mynyddoedd ac yn y dyffrynoedd. *A'i changhenau a dorwyd yn holl afonydd y ddaear*—cyfeirir yma at y taleithiau perthynol i'r frenhiniaeth hon, y rhai a gyrhaeddent dros wledydd lawer. Enwir 'afonydd,' fel lleoedd manteisiol i brenau dyfu ar eu glanau. *A holl bobloedd y tir a ddisgynasant o'i chysgod hi*—a ymneillduasant oddiwrthi.

Adn. 13. *Holl ehediaid y nefoedd a drigant ar ei chŷff hi, &c.*] Fel yr oedd yr ehediaid a'r bwystfilod yn ymnoddi dan gysgod y gedrwydden hon gynt, adn. 6, felly y maent yn awr yn ymborthi ar ei malurion hi, neu yn ysglyfaethu meddiannau y wlad. Ond y mae rhai yn deall hyn yn llythyrenol, am adar a bwystfilod yn ymborthi ar gelaneddau yr Assyriaid neu yr Aifftiaid, y rhai a laddwyd gan y Caldeaid.

Adn. 14. *Fel nad ymddyrchafo holl goed y dyfroedd yn eu huchder, &c.*] Hyny yw, fel y byddo dinystr y brenin hwn a'i gynorthwywyr, yn rhybydd i frenhinoedd a thywysogion llwyddiannus ereill, rhag balchïo yn amser eu llwyddiant. *Canys rhoddwyd hwynt oll i farwolaeth*—y brenin hwn a'i gynorthwywyr; *yn y tir isaf*—Saes., 'i iselderau y ddaear,' Salm lxiii. 9; *yn nghanol meibion dynion*—yn mysg y rhai distadlaf o'u deiliaid; *gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll*—neu i'r bedd.

Adn. 15. *Yn y dydd y disgynodd hi i'r bedd, gwnaethym alaru*] Saes., 'perais alar,' sef gan bawb am dani. *Toais y dyfnder am dani hi*—sef â galar. Darlunir y dyfnder, yr hwn a ddyrchafasai y gedrwydden dêg hon, adn. 4, yn awr fel yn galaru o herwydd ei chwymp. *Ac atteliais ei hafonydd*—trwy y rhai y maethwyd hi; *fel yr attaliwyd dyfroedd lawer*—fel pe buasai y ffrydiau yn attal eu rhediad, i'r dyben i alaru am dani. *Gwnaethym i Libanus alaru am dani hi, &c.*—y meddwl yw, fod holl gynghreirwyr yr Aifft, neu Assyria, yn ofidus o herwydd ei chwymp hi.

Adn. 16. *Gan swn ei chwymp hi y cynhyrfais y cenhedloedd*] Trwy ofn a dychryn; *pan wnaethym iddi ddisgyn i uffern*—i'r bedd, neu i gyflwr y meirw; *gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll*—neu *at* y rhai a ddisgynasent i'r bedd eisioes. *A holl goed Eden, y dewis a'r goraf yn Libanus*—sef brenhinoedd ymadawedig mwyaf y ddaear, y rhai oeddynt o'r blaen yn cenfigenu wrthi, adn. 9; *a ymgysurant yn y tir isaf*—wrth weled y brenin balch hwn wedi disgyn i'r un cyflwr isel a hwythau: gwel ar pen. xxxii. 31, Esay xiv. 8—16.

Adn. 17. *Hwythau hefyd gyda hi a ddisgynant i uffern at laddedigion y cleddyf*] Hyn a ddywedir am gynghreirwyr y brenin balch hwn, y rhai a leddid gydag ef; *a'r rhai oedd fraich iddi hi*—sef ei gynorthwywyr, a'r rhai a'u rhoddent eu hunain dan ei amddiffyniad ef: byddai i'r rhai hyn oll gyfarfod â'r un dynged ag yntau.

Adn. 18. *I bwy fel'y yn mysg coed Eden*] Neu yn mhlith tywysogion mwyaf y ddaear; *yr oeddit debyg mewn gogoniant a mawredd?*—ac os darostyngwyd hwynt, fel pe dywedasai Duw, er maint eu mawredd a'u nerth; *eto ti a ddisgynir gyda choed Eden i'r tir isaf*—

## PENNOD XXXII.

AC yn y deuddegfed mis o'r ddeuddegfed flwyddyn, ar y *dydd* cyntaf o'r mis, y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Ha fab dyn, cyfod alarnad am Pharao brenin yr Aifft, a dywed wrtho, Tebygaist i lew ieuanc y cenhedloedd, ac yr *ydwyt* ti fel morfil yn y moroedd: a daethost allan gyda'th afonydd; cythryblaist hefyd y dyfroedd â'th draed, a mathraist eu hafonydd hwynt.

3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Minau a daenaf fy rhwyd arnat â chynulleidfa pobloedd lawer; a hwy a'th godant yn fy rhwyd i.

4 Gadawaf di *hefyd* ar y tir, taflaf di ar wyneb y maes, a gwnaf i holl ehediaid y nefoedd drigo arnat ti; ïe, o honot ti y diwallaf fwystfilod yr holl ddaear.

5 Rhoddaf hefyd dy gig ar y mynyddoedd, a llanwaf y dyffrynoedd â'th uchder di.

6 Mwydaf hefyd â'th waed y tir yr wyt yn nofio ynddo, hyd y mynyddoedd; a llenwir yr afonydd o honot.

7 *Ie*, cuddiaf y nefoedd wrth dy ddiffoddi, a thywyllaf eu ser hwynt: yr haul a guddiaf â chwmwl, a'r lleuad ni wna i'w goleuni oleuo.

8 Tywyllaf arnat holl lewyrch goleuadau y nefoedd, a rhoddaf dywyllwch ar dy dir, medd yr Arglwydd Dduw.

9 A digiaf galon pobloedd lawer, pan ddygwyf dy ddinystr yn mysg y cenhedloedd i diroedd nid adnabuost.

10 A gwnaf i bobloedd lawer ryfeddu wrthyt, a'u brenhinoedd a ofnant yn fawr o'th blegid, pan wnelwyf i'm cleddyf ddysgleirio o flaen eu gwynebau hwynt; a hwy

---

sef i iselderau y ddaear, adn. 14. *Gorweddi yn nghanol y rhai dienwaededig*—sef pechaduriaid o'r radd isaf, pen. xxviii. 10; *gyda lladdedigion y cleddyf*—y rhai a gwympwyd o'th flaen di. Yr oedd llawer o'r Aifftiaid, yn enwedig eu hoffeiriaid a'u doethion, yn cael eu henwaedu; ac edrychent gyda'r dirmyg mwyaf ar y rhai dienwaededig: ond yn awr rhoddid hwythau i orwedd yn mysg y rhai hyny. *Dyma Pharao a'i holl luaws*—fel pe dywedasai Duw, Y mae yr hyn oll a ddywedwyd uchod am y gedrwydden a'i cheinciau, i'w ddeall am Pharao a'i gynghreirwyr.

PEN. XXXII. Adn. 1. *Ac yn y deuddegfed mis o'r ddeuddegfed flwyddyn*] O gaethiwed Jehoiacin ac Ezeciel; *ar y dydd cyntaf o'r mis*—yr hyn oedd ychydig gyda blwyddyn a hanner ar ol cymeryd Jerusalem. Ond yn lle y *ddeuddegfed* flwyddyn, y mae 14 o'r ysgriflyfrau Hebreig, yn nghyda'r Syriaeg, yn ddarllen yr 'unfed flwyddyn ar ddeg.'

Adn. 2. *Ha fab dyn, cyfod alarnad am Pharao*] Neu gân angladdol, i ddangos sicrwydd ei gwymp ef: gwel ar pen. xxvii. 2. *Tebygaist i lew ieuanc y cenhedloedd, ac yr ydwyt ti fel morfil yn y moroedd*—gellir dy gyffelybu i ddau o'r creaduriaid ffyrnicaf; i *lew*, y ffyrnicaf ar y *tir*; ac i *grocodil*, (*tannim*, pen. xxix. 3,) y ffyrnicaf yn y *dyfroedd*. *A daethost allan gyda'th afonydd*—dy fyddinoedd cedyrn a lluosog; *cythryblaist hefyd y dyfroedd â'th draed*—sef y dinasoedd a'r cenhedloedd cymydogaethol.

Adn. 3. *Minau a daenaf fy rhwyd arnat*] Byddai i fyddin y Caldeaid ei amgylchynu ef a'i bobl; *a hwy a'th godant yn fy rhwyd i*—fel y codir pysgod mewn rhwyd o'r afonydd.

Adn. 4. *Gadawaf di hefyd ar y tir*] I drengu ar wyneb y maes, ac i fod yn ymborth i adar a bwystfilod. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol pryd yr aeth efe a'i fyddin allan yn erbyn Libya a Cyrene: gwel ar pen. xxix. 4, 5.

Adn. 5. *Rhoddaf hefyd dy gig ar y mynyddoedd*] Sef celaneddau ei filwyr; *a llanwaf y dyffrynoedd â'th uchder di*—neu â'th *waed* di.'—LXX.

Adn. 6. *Mwydaf hefyd â'th waed y tir yr wyt yn nofio ynddo*] Sef tir yr Aifft, cartref y 'crocodil' hwn.

Adn. 7. *Ie, cuddiaf y nefoedd*] Sef dy ymherodraeth di, *wrth dy ddiffoddi*—wrth ddiffodd dy ogoniant; *a thywyllaf eu ser hwynt*—yr holl deyrnasoedd ymddibynol ar yr Aifft: *yr haul a guddiaf â chwmwl*—sef y brenin ei hun; *a'r lleuad ni wna i'w goleuni oleuo*—sef y frenhines, neu ynte yr offeiriadaeth.

Adn. 8. *Tywyllaf arnat holl lewyrch goleuadau y nefoedd*] Sef pendefigion ac enwogion y deyrnas; *a rhoddaf dywyllwch ar dy dir*—ar y werin, neu dy holl ddeiliaid. Y rhai hyn ydynt ymadroddion barddonol, yn gosod allan ddarostyngiad a thrueni pob dosbarth o'r Aifftiaid.

Adn. 9. *A digiaf galon pobloedd lawer*] 'A *thristâf* galon pobloedd lawer.'—*Newcome.* *Pan ddygwyf dy ddinystr yn mysg y cenhedloedd, &c.*—y meddwl yw, pan wasgerid ei *gaethion* i wledydd pellenig, (gwel pen. xxix. 12,) lle y byddai iddynt adrodd y trueni a'r dinystr a syrthiasai ar yr Aifft, byddai i hyny greu gofid a thrallod i bawb a'u clywent.

Adn. 10. *A gwnaf i bobloedd lawer ryfeddu wrthyt*] Wrth ddinystr gwlad mor gadarn; *a'u brenhinoedd a ofnant yn fawr o'th blegid*—rhag i'r un dinystr eu goddiweddyd hwythau; *pan wnelwyf i'm cleddyf*

ar *bob* mynyd a ddychrynant, bob
un am ei einioes, yn nydd dy
gwymp.
11 ¶ Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Cleddyf brenin
Babilon a ddaw arnat ti.
12 A chleddyfau y rhai cedyrn y
cwympaf dy luaws, *byddant* oll yn
gedyrn y cenhedloedd; a hwy a an-
rheithiant falchder yr Aifft, a'i holl
luaws hi a ddinystrir.
13 Dyfethaf hefyd ei holl anifeil-
iaid hi oddiwrth ddyfroedd lawer;
ac ni sathr troed dyn hwynt mwy,
ac ni fathra carnau anifeiliaid
hwynt.
14 Yna y gwnaf yn ddyfnion eu
dyfroedd hwynt, a gwnaf i'w hafon-
ydd gerdded fel olew, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
15 Pan roddwyf dir yr Aifft yn
anrhaith, ac anrheithio y wlad o'i
llawnder, pan darawyf y rhai oll a
breswyliant ynddi, yna y cânt wy-
bod mai myfi *yw* yr Arglwydd.
16 Dyma y galar a alarant am
dani hi: merched y cenhedloedd a
alarant am dani hi; galarant am
dani hi, *sef* am yr Aifft, ac am ei
lluaws oll, medd yr Arglwydd
Dduw.
17 ¶ Ac yn y ddeuddegfed flwydd-
yn, ar y pymthegfed *dydd* o'r mis,
y daeth gair yr Arglwydd ataf, gan
ddywedyd,
18 Cwyna, fab dyn, am luaws yr
Aifft, a disgyn hi, hi a merched y
cenhedloedd enwog, i'r tir isaf,
gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll.
19 Tecach na phwy oeddit? dis-
gyn a gorwedd gyda'r rhai dien-
waededig.
20 Syrthiant yn nghanol *y rhai* a
laddwyd â'r cleddyf: i'r cleddyf y
rhoddwyd hi; llusgwch hi a'i llu-
aws oll.

---

*ddysgleirio o flaen eu gwynebau hwynt*—pan ddiweiniwyf ef i'th erbyn di, a hyny megys yn eu gwydd hwynt: *a hwy ar bob mynyd a ddychrynant*—wrth dy weled di yn cwympo, rhag mai hwy a darewid nesaf.

Adn. 11, 12. *Cleddyf brenin Babilon*] A'i fyddinoedd cedyrn, *a ddaw arnat ti*—i wneuthur y dinystr a ddarluniwyd uchod: *a hwy a anrheithiant falchder yr Aifft*—a roddant derfyn hollol ar ei rhwysg a'i balchder; *a'i holl luaws hi a ddinystrir*—trwy y cleddyf hwnw, neu trwy eu caethgludo i wledydd ereill, adn. 9.

Adn. 13. *Dyfethaf hefyd ei holl anifeiliaid hi oddiwrth ddyfroedd lawer*] Yn enwedig ei meirch, yn y rhai yr ymddiriedent gymaint, ac anifeiliaid ereill y rhai a borent gerllaw y Nilus a'i chamlasau: *ac ni sathr troed dyn hwynt mwy* — na charnau anifeiliaid chwaith, wrth dramwy at yr afonydd i yfed dwfr. Ond y mae rhai yn deall hyn am fyddinoedd yr Aifft, y rhai a flinent y cenhedloedd cymydogaethol: ond na fyddai iddynt eu blino mwy.

Adn. 14. *Yna y gwnaf yn ddyfnion eu dyfroedd hwynt*] Neu 'gwnaf yn *llonydd*,' fel y mae y LXX yn ei ddarllen; *a gwnaf i'w hafonydd gerdded fel olew*—yn ddystaw a thawel. Hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, byddai i'r cenhedloedd a flinid gan yr Aifftiaid fwynhau heddwch a llonyddwch.

Adn. 15. *Pan roddwyf dir yr Aifft yn anrhaith*] I'r Caldeaid; *yna y cânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd* — addefant fy ngallu, fy ngwirionedd, a'm cyfiawnder.

Adn. 16. *Dyma y galar a alarant am dani hi*] Sef yr hyn a adroddwyd yn yr adnodau uchod: gwel ar adn. 2. *Merched y cenhedloedd a alarant am dani hi*—byddai i bobl y gwledydd cymydogaethol arferyd ymadroddion tebyg i hyn, pan glywant am ddinystr yr Aifft.

Adn. 17. *Ac yn y ddeuddegfed flwyddyn, ar y pymthegfed dydd o'r mis*] O'r 'deuddegfed mis' yn debygol, sef yn mhen pymthegnos ar ol yr hyn a ddywedwyd wrtho o'r blaen: gwel ar adn. 1. Fe allai i'r proffwydoliaethau hyn gael eu traddodi i'r caethion Iuddewig pan yn ymgynulledig yn nhŷ y proffwyd yn Caldea ar y sabboth cyntaf a'r trydydd o'r mis hwnw. Ond y mae pedwar o'r ysgrifflyfrau Hebreig, yn nghyda'r Syriaeg, yn darllen yma, fel yn adn. 1, 'yn yr unfed flwyddyn ar ddeg,' &c.

Adn. 18. *Cwyna, fab dyn, am luaws yr Aifft*] Cyfansodda gân alarus am ddinystr yr Aifft a'i thrigolion lluosog; *a disgyn hi, hi a merched y cenhedloedd enwog*—sef y gwledydd hyny ag oeddynt mewn cynghrair â'r Aifft; *i'r tir isaf*—Saes., 'i iselderau y ddaear;' *gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll*—neu i'r bedd, pen. xxxi. 14. Gorchymynir i'r proffwyd eu disgyn hwy i'r pwll, neu eu darlunio fel yn disgyn yno; yr hyn a wna efe yn yr adnodau canlynol.

Adn. 19. *Tecach na phwy oeddit*] O'r rhai a gwympasant eisioes? neu, pa reswm sydd genyt i feddwl yr arbedir di rhag yr anffawd a ddisgynodd ar ereill? *Disgyn a gorwedd gyda'r rhai dienwaededig*—gyda'r celaneddau halogedig a dirmygedig hyny, y rhai a ffieiddid gan bob dyn da a doeth am eu bod yn ddienwaededig: gwel ar pen. xxviii. 10, a xxxi. 18.

Adn. 20. *Syrthiant yn nghanol y rhai a laddwyd â'r cleddyf*] Ni chânt farw o farwolaeth naturiol, eithr o farwolaeth dreisiol. *I'r cleddyf y rhoddwyd hi*—yn gosp am ei balchder a'i drygioni. *Llusgwch hi a'i lluaws oll*—sef yr Aifft a'i thrigolion, fel y llusgir drwgweithredwr i'w ddienyddio.

21 Llefared cryfion y cedyrn
wrthi hi o ganol uffern gyda'i chy-
northwywyr: disgynasant, gor-
weddant yn ddienwaededig, wedi eu
lladd â'r cleddyf.
22 Yno *y mae* Assur a'i holl gy-
nulleidfa, a'i feddau o amgylch;
wedi eu lladd oll, a syrthio trwy y
cleddyf.
23 Yr hon y rhoddwyd eu beddau
yn ystlysau y pwll, a'i chynulleidfa
ydoedd o amgylch ei bedd; wedi
eu lladd oll, a syrthio trwy y cledd-
yf, y rhai a barasant arswyd yn
nhir y rhai byw.
24 Yno *y mae* Elam a'i holl luaws
o amgylch ei bedd, wedi eu lladd
oll, a syrthio trwy y cleddyf, y rhai
a ddisgynasant yn ddienwaededig
i'r tir isaf, y rhai a barasant eu
harswyd yn nhir y rhai byw; eto
hwy a ddygasant eu gwaradwydd
gyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll.
25 Yn nghanol y rhai lladdedig
y gosodasant iddi wely yn nghyd
â'i holl luaws; a'i beddau o'i am-
gylch: y rhai hyny oll yn ddien-
waededig, a laddwyd â'r cleddyf:
er peri eu harswyd yn nhir y rhai
byw, eto dygasant eu gwaradwydd
gyda'r rhai a ddisgynent i'r pwll:
yn nghanol y lladdedigion y rhodd-
wyd ef.
26 Yno *y mae* Mesech, Tubal, a'i
holl luaws; a'i beddau o amgylch:
y rhai hyny oll yn ddienwaededig,
wedi eu lladd â'r cleddyf, er peri o
honynt eu harswyd yn nhir y rhai
byw.
27 Ac ni orweddant gyda'r ced-
yrn a syrthiasant o'r rhai dienwaed-
edig, y rhai a ddisgynasant i uffern
â'u harfau rhyfel: a rhoddasant eu
cleddyfau dan eu penau; eithr eu

---

Adn. 21. *Llefared cryfion y cedyrn*] Y rhyfelwyr dewrion a fuasent feirw eisioes; *wrthi hi*—sef wrth yr Aifft a'i thrigolion; *o ganol uffern*—Hebr., *sheol*, 'cartref y meirw;' *gyda'i chynorthwywyr*—sef ysbrydion ei chyngbreirwyr ymadawedig. *Disgynasant*—hwy yno eisioes; *gorweddant yn ddienwaededig*—yn gelaneddau ffiaidd a dirmygedig, adn. 19; *wedi eu lladd â'r cleddyf*—gan eu gelynion buddugol. Arddanghosir y rhai hyny fel yn cyfarch Pharao a'i wŷr ar eu dyfodiad atynt hwy i fyd yr ysbrydoedd: gwel ddarluniad cyffelyb, Esay xiv. 9, &c.

Adn. 22. *Yno y mae Assur a'i holl gynulleidfa*] Sef brenin yr Assyriaid a'i filwyr; *a'i feddau o amgylch*—gwel ar adn. 23; *wedi eu lladd oll*—yn eu rhyfeloedd â'u gelynion.

Adn. 23. *Yr hon y rhoddwyd eu beddau yn ystlysau y pwll*] Cyfeirir yma at y cilfachau yn ochrau yr ogofau, lle y rhoddid y meirw i orwedd, Esay xiv. 15; *a'i chynulleidfa ydoedd o amgylch ei bedd*—hyny yw, yr oedd beddau ei swyddogion milwraidd, os nid eiddo ei filwyr cyffredin, o amgylch bedd brenin Assyria, oll yn gydradd â'u gilydd; *wedi eu lladd oll, a syrthio trwy y cleddyf*—y naill fel y llall; *y rhai a barasant arswyd yn nhir y rhai byw*—pan yr oeddynt yn byw ar y ddaear. Y mae y rhyw *fenywaidd* yn yr adnodau hyn yn cyfeirio at y genedl neu y wlad i'r hon y perthynai y lladdedigion.

Adn. 24. *Yno y mae Elam a'i holl luaws o amgylch ei bedd*] Y rhai a laddwyd gan Nebuchodonosor, Jer. xlix. 36—38; *y rhai a ddisgynasant yn ddienwaededig i'r tir isaf*—sef i iselderau y ddaear, er cymaint yr arswydid rhagddynt pan yr oeddynt yn fyw ar y ddaear, adn. 19, 23. *Eto hwy a ddygasant eu gwaradwydd*—neu y gwarth o gael eu darostwng a'u lladd fel yr Assyriaid. Tybia rhai fod yr Elamitiaid hyn yn gynghreirwyr i'r Assyriaid, ac iddynt syrthio ar yr un pryd a hwy.

Adn. 25. *Yn nghanol y rhai lladdedig y gosodasant iddi wely*] Yma arddanghosir Elam fel brenhines wedi ei gosod yn y bedd, a chelaneddau ei milwyr yn gorwedd o'i hamgylch. *Y rhai hyny oll yn ddienwaededig*—gwel ar adn. 19, *a laddwyd â'r cleddyf*—heb wneuthur dim mwy o gyfrif o honynt na phe buasent y rhai distadlaf o ddynolryw, er maint y perchid hwy gan rai, ac yr arswydid rhagddynt gan eraill, yn ystod eu bywyd. *Eto dygasant eu gwaradwydd*—gwel ar adn. 24.

Adn. 26. *Yno y mae Mesech, Tubal, a'i holl luaws*] Gwel ar pen. xxvii. 13; *a'i beddau o amgylch*—gwel ar adn. 23. *Y rhai hyny oll yn ddienwaededig, &c.*—gwel ar adn. 19; *er peri o honynt eu harswyd*—pan yr oeddynt yn byw ar y ddaear. Meddylir fod y Scythiaid yn cael eu cynnwys yma.

Adn. 27. *Ac ni orweddant gyda'r cedyrn a syrthiasant o'r rhai dienwaededig*] Sef gyda'r enwogion paganaidd, y rhai a gladdwyd mewn rhwysg; eithr dymchwelir hwynt yn nghyd i'r un gladdfa gyffredin, trwy na ddarfu i'w gweithredoedd haeddu iddynt unrhyw anrhydedd. *Y rhai a ddisgynasant i uffern*—neu y bedd; *â'u harfau rhyfel*—cyfeirir yma at arferiad amrai genhedloedd o gladdu eu cadfridogion enwog gyda'u harfau rhyfel dan eu penau yn y bedd. *Eithr eu hanwireddau fydd ar eu hesgyrn hwy*—bydd eu marwolaeth a'u claddedigaeth hwy yn dwyn arwyddion eglur o'u pechodau, ac anfoddlonrwydd Duw o'u herwydd. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at y modd dichellgar y lladdwyd y Scythiaid barbaraidd gan Cyaxeres. Ar ol iddynt gael eu meddwi, lladdwyd hwynt, a thaflwyd eu celaneddau i'r beddrod yn y modd mwyaf anmharchus.

Adn. 28. *A thithau a dryllir yn mysg y*

hanwireddau fydd ar eu hesgyrn
hwy, er *eu bod* yn arswyd i'r cedyrn
yn nhir y rhai byw.
28 A thithau a ddryllir yn mysg
y rhai dienwaededig, ac a orweddi
gyda'r rhai a laddwyd â'r cleddyf.
29 Yno *y mae* Edom a'i brenhin-
oedd a'i holl dywysogion, y rhai a
roddwyd â'u cadernid gyda'*r rhai a*
laddwyd â'r cleddyf: hwy a or-
weddant gyda'r rhai dienwaededig,
a chyda'r rhai a ddisgynant i'r pwll.
30 Yno *y mae* holl dywysogion y
gogledd, a'r holl Sidoniaid, y rhai
a ddisgynant gyda'r lladdedigion;
gyda'u harswyd y cywilyddiant am
eu cadernid; gorweddant hefyd yn
ddienwaededig gyda'r rhai a ladd-
wyd â'r cleddyf, ac a ddygant eu
gwaradwydd gyda'r rhai a ddis-
gynant i'r pwll.
31 Pharao a'u gwel hwynt, ac a
ymgysura yn ei holl luaws, Pharao
a'i holl lu wedi eu lladd â'r cleddyf,
medd yr Arglwydd Dduw.
32 Canys rhoddais fy ofn yn nhir
y rhai byw; a gwneir iddo orwedd
yn nghanol y rhai dienwaededig,
gyda lladdedigion y cleddyf, *sef* i
Pharao ac i'w holl luaws, medd yr
Arglwydd Dduw.

## PENNOD XXXIII.

A DAETH gair yr Arglwydd ataf,
gan ddywedyd,
2 Llefara, fab dyn, wrth feibion
dy bobl, a dywed wrthynt, Pan
ddygwyf gleddyf ar wlad, a chy-
meryd o bobl y wlad ryw ŵr o'i
chyrau, a'i roddi yn wyliedydd
iddynt:
3 Os gwel efe gleddyf yn dyfod
ar y wlad, ac udganu mewn udgorn,
a rhybyddio y bobl;
4 Yna yr hwn a glywo lais yr ud-

---

*rhai dienwaededig*] Meddylir fod y proffwyd yma yn cyfarch Pharao, gan sicrhau iddo y byddai ei ddiwedd yntau yn gyffelyb i ddiwedd y rhai a enwyd olaf.

Adn. 29. *Yno y mae Edom a'i brenhinoedd*] Am ddinystr pa rai y proffwydodd Ezeciel, pen. xxv. 12, &c. *Hwy a orweddant gyda'r rhai dienwaededig*—yn mysg y rhai anenwog, drygionus, a dirmygedig, y rhai a deflir i'r un bedd cyffredin heb anrhydedd na pharch.

Adn. 30. *Yno y mae holl dywysogion y gogledd*] Sef Syria fe allai, neu frenhinoedd y Mediaid, yr Armeniaid, a'r Assyriaid; *a'r holl Sidoniaid*—gwel ar pen. xxvii. 21—23. *Gyda'u harswyd y cywilyddiant am eu cadernid*—yr oeddynt hwy gynt wedi peri arswyd i lawer, ond yr oedd eu cadernid yn rhy wan i'w cadw rhag syrthio o flaen eu gelynion; a chywilyddiant y pryd hyny am iddynt ymffrostio a hyderu yn eu cadernid. *Gorweddant hefyd yn ddienwaededig, &c.*—yr un modd a'r cenhedloedd dirmygedig a enwyd uchod.

Adn. 31. *Pharao a'u gwel hwynt, ac a ymgysura yn ei holl luaws*] Arddanghosir Pharao yma fel yn ymgysuro yn y byd arall, wrth weled cynifer o'r brenhinoedd a'r cenhedloedd cymydogaethol wedi eu lladd â'r cleddyf, ac yn gorwedd yn y pentwr fel yntau a'i wŷr.

Adn. 32. *Canys rhoddais fy ofn yn nhir y rhai byw*] Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'rhoddais *ei* ofn,' hyny yw, goddefais i frenin yr Aifft fod yn flinder a dychryn i lawer pan yr oedd yn fyw. *A gwneir iddo orwedd yn nghanol y rhai dienwaededig, gyda lladdedigion y cleddyf*—dywed Herodotus mai ei lindagu a gafodd y Pharao hwn; (gwel ar Jer. xliv. 30;) er hyny efe a orweddai 'gyda lladdedigion y cleddyf,' fel y dywedir yma; ac fe allai i'w elynion ddefnyddio y cleddyf i'w erbyn yntau cyn iddo gwbl farw. *Sef i Pharao ac i'w holl luaws*—fel hyn y gwneid iddynt oll. Dywed Herodotus fod 1100 o ddinasoedd yn yr Aifft, a 20,000 o bentrefi, a'r rhai hyny oll yn llawn o drigolion. Gwelwn gan hyny y fath niferoedd lluosog o ddynolryw a yrwyd i dragwyddoldeb trwy y cleddyf! Er cryfed ac er balched oedd Assur, Elam, Mesech, Tubal, Edom, tywysogion y gogledd, y Sidoniaid, a Pharao a'i holl luaws, eto bu raid iddynt oll farw trwy ryfeloedd blinion! Brysied yr amser pryd na 'ddysgant ryfel mwyach!'

PEN. XXXIII. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Ymddengys i'r hyn a adroddir yn y bennod hon hyd adn. 21, gael ei draethu cyn iddo ef glywed am ddinystr Jerusalem; ond pa bryd cyn hyny, nid yw hysbys: eithr gwel ar adn. 22.

Adn. 2. *Llefara, fab dyn, wrth feibion dy bobl*] Sef wrth y gaethglud yn Caldea; *a dywed wrthynt*—oddiwrthyf fi. *Pan ddygwyf gleddyf ar wlad*—ar unrhyw wlad, i'w chospi am ei phechodau; *a chymeryd o bobl y wlad ryw ŵr o'i chyrau*—neu 'o'u plith eu hunain;' *a'i roddi yn wyliedydd iddynt*—i sefyll ar dŵr y ddinas, neu ar ryw fynydd gerllaw iddi, i wylio dyfodiad y gelyn, ac i roddi rhybydd o hyny.

Adn. 3. *Os gwel efe gleddyf yn dyfod ar y wlad*] Neu fyddin o elynion yn dyfod i fyny i'w herbyn hi; *ac udganu mewn udgorn*—i rybyddio y bobl o'u dyfodiad.

Adn. 4. *Yna yr hwn a glywo lais yr udgorn, ac ni chymer rybydd*] Fel ag i ffoi am ei fywyd; *eithr dyfod o'r cleddyf a'i gymeryd ef ymaith*—neu ei ladd ef: *ei waed fydd ar ei ben ei hun*—cyfrifir ei farwolaeth

gorn, ac ni chymer rybydd; eithr
dyfod o'r cleddyf a'i gymeryd ef
ymaith, ei waed fydd ar ei ben ei
hun.
5 Efe a glybu lais yr udgorn, ac
ni chymerodd rybydd; ei waed fydd
arno: ond yr hwn a gymero rybydd,
a wared ei enaid.
6 Ond pan welo y gwyliedydd y
cleddyf yn dyfod, ac ni udgana
mewn udgorn, a'r bobl heb eu rhy-
byddio; eithr dyfod o'r cleddyf a
chymeryd un o honynt, efe a ddal-
iwyd yn ei anwiredd, ond mi a ofyn-
af ei waed ef ar law y gwyliedydd.
7 ¶ Felly dithau, fab dyn, yn
wyliedydd y'th roddais i dŷ Israel;
fel y clywech air o'm genau, ac y
rhybyddiech hwynt oddiwrthyf fi.
8 Pan ddywedwyf wrth yr annuw-
iol, *Ti* annuwiol, gan farw a fyddi
farw; oni lefari di i rybyddio yr
annuwiol o'i ffordd, yr annuwiol
hwn a fydd marw yn ei anwiredd,
ond ar dy law di y gofynaf ei waed
ef.
9 Ond os rhybyddi di yr annuw-
iol o'i ffordd, i ddychwelyd o honi;
os efe ni ddychwel o'i ffordd, efe
fydd marw yn ei anwiredd, a thith-
au a waredaist dy enaid.
10 ¶ Llefara hefyd wrth dŷ Is-
rael, ti fab dyn, Fel hyn gan ddy-
wedyd y dywedwch; Os *yw* ein
hanwireddau a'n pechodau arnom,
a ninau yn dihoeni ynddynt, pa fodd
y byddem ni byw?
11 Dywed wrthynt, *Fel mai* byw
fi, medd yr Arglwydd Dduw, ni
ymhoffaf yn marwolaeth yr annuw-
iol; ond troi o'r annuwiol oddiwrth
ei ffordd a byw: dychwelwch, dy-

---

i'w ddifaterwch ef ei hun, ac nid i esgeulusdra y gwyliedydd.

Adn. 5. *Efe a glybu lais yr udgorn, ac ni chymerodd rybydd*] Ni wnaeth sylw priodol o'r rhybydd, ac felly efe ei hun yn unig sydd yn atebol am y canlyniad: *ond yr hwn a gymero rybydd*—ac a ffy ymaith, *a wared ei enaid*—neu ei einioes, rhag y cleddyf.

Adn. 6. *Ond pan welo y gwyliedydd y cleddyf yn dyfod, ac ni udgana mewn udgorn*] I rybyddio y bobl; *eithr dyfod o'r cleddyf a chymeryd un o honynt*—fel ag i'w roddi i farwolaeth, pe na byddai dim ond un: *efe a ddaliwyd yn ei anwiredd*—torwyd ef ymaith, yn ol ei haeddiant, am y pechodau ag yr oedd efe yn euog o honynt o'r blaen, fel na wnaed dim annghyfiawnder âg ef wrth ei ladd; neu am ei bechod presenol o anwyliadwriaeth, yr hyn sydd yn fai mawr yn mhob un mewn amser o ryfel. *Ond mi a ofynaf ei waed ef ar law y gwyliedydd*—yr hwn a esgeulusodd y ddyledswydd o'i rybyddio ef: gwel ar pen. iii. 18, 20.

Adn. 7. *Felly dithau, fab dyn, yn wyliedydd y'th roddais i dŷ Israel*] Yma y mae Duw yn cymhwyso y gyffelybiaeth o wyliedydd gwladol, at swydd y proffwyd fel gwyliedydd ysbrydol; *fel y clywech air o'm genau*—gwel ar pen. iii. 17, *ac y rhybyddiech hwynt oddiwrthyf fi*—yn nghylch achos eu heneidiau. Felly, os oedd gwyliedydd anffyddlon a osodid yn ei swydd gan ei gyd ddinasyddion i gael ei gospi mor drwm, pa faint trymach y rhaid fod cosp yr hwn a osodwyd yn wyliedydd gan Dduw ei hun, os try efe allan yn anffyddlon!

Adn. 8, 9. *Pan ddywedwyf wrth yr annuwiol, &c.*] Gwel yr adnodau hyn wedi eu hegluro eisioes yn y sylwadau ar pen. xviii. 18, 19.

Adn. 10. *Llefara hefyd wrth dŷ Israel, ti fab dyn*] I amddiffyn ty ffyrdd i a'th gysondeb dithau yn ngwyneb eu gwrthddadleuon hwynt. *Fel hyn gan ddywedyd y dywedwch*—y dywedai tŷ Israel: *Os yw ein hanwireddau a'n pechodau arnom*—os yw ein gwlad i gael ei hanrheithio, a'n dinas a'n teml i gael eu llosgi, fel cosp am ein pechodau; *a ninau yn dihoeni ynddynt*—dan effeithiau y cleddyf, y newyn, a'r haint; *pa fodd y byddem ni byw*—fel yr addewaist ti? pen. xviii. 17—32. Yr oedd Ezeciel wedi terfynu ei broffwydoliaethau blaenorol wrthynt trwy sicrhau iddynt y '*dihoenent* am eu hanwiredd,' pen. xxiv. 23; ac y maent hwythau yn awr yn cymeryd y geiriau hyny i fyny fel esgus dros eu hanedifeirwch. Fel pe dywedasent, Os yw cospedigaeth ein hanwiredd ar ddyfod arnom, ac os rhaid i ninau ddihoeni ymaith dani, i ba beth y soni am i ni ddychwelyd, a diwygio, a byw? canys pa fodd y byddem ni byw, hyd yn nod er i ni ddiwygio? Nis gallwn *fyw*, ac ar yr un pryd *ddihoeni* ymaith yn ein pechodau, fel y dywedi di.

Adn. 11. *Dywed wrthynt, Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw*] Dyma atebiad yr Arglwydd i wrthddadl y bobl hyn. Gallent ymddibynu ar wirionedd a chywirdeb yr alwad arnynt i edifarhau, a'r addewid o gadwedigaeth os gwnaent hyny, canys fe'i cadernheir yma trwy lw difrifol Jehofa. *Ni ymhoffaf yn marwolaeth yr annuwiol, ond troi o'r annuwiol oddiwrth ei ffordd a byw*—yr oedd hyn wedi cael ei ddywedyd o'r blaen mewn ffordd o ofyniad, 'Gan ewyllysio, a ewyllysiwn i farw yr annuwiol, medd yr Arglwydd Dduw, ac na ddychwelai oddiwrth ei ffyrdd a byw?' pen. xviii. 23; a thrachefn mewn tystiolaeth gadarnhaol, 'Canys nid oes ewyllys genyf i farwolaeth y marw,' pen. xviii. 32. Ond yma y mae Jehofa yn cadarnhau yr un gwirionedd trwy dyngu i'w fywyd ei hun. *Dychwelwch, dychwelwch oddiwrth eich ffyrdd drygionus*—y mae yr ailadroddiad o'r gair yn dangos didwylledd, pwysigrwydd, a

chwelwch oddiwrth eich ffyrdd
drygionus; canys, tŷ Israel, paham
y byddwch feirw?
12 Dywed hefyd, fab dyn, wrth feib-
ion dy bobl, Cyfiawnder y cyfiawn
nis gwared ef yn nydd ei anwiredd:
felly am annuwioldeb yr annuwiol,
ni syrth efe o'i herwydd yn y dydd
y dychwelo oddiwrth ei anwiredd;
ni ddichon y cyfiawn chwaith fyw
oblegid *ei gyfiawnder* yn y dydd y
pecho.
13 Pan ddywedwyf wrth y cyf-
iawn, Gan fyw y caiff fyw; os efe a
hydera ar ei gyfiawnder, ac a wna
anwiredd, ei holl gyfiawnderau ni
chofir; ond am ei anwiredd a
wnaeth, am dano y bydd efe marw.
14 A phan ddywedwyf wrth yr
annuwiol, Gan farw y byddi farw;
os dychwel efe oddiwrth ei bechod,
a gwneuthur barn a chyfiawnder;
15 *Os* yr annuwiol a ddadrydd
wystl, *ac* a rydd yn ei ol yr hyn a
dreisiodd, a rhodio yn neddfau y
bywyd, heb wneuthur anwiredd;
gan fyw y bydd efe byw, ni bydd
marw.
16 Ni chofféir iddo yr holl bech-
odau a bechodd: barn a chyfiawn-
der a wnaeth; efe gan fyw a fydd
byw.
17 ¶ A meibion dy bobl a ddy-
wedant, Nid yw uniawn ffordd yr
Arglwydd: eithr eu ffordd hwynt
nid yw uniawn.
18 Pan ddychwelo y cyfiawn
oddiwrth ei gyfiawnder, a gwneuth-

---

thaerineb yr alwad. Dychwelwch mewn edifeirwch ataf fi, yr hwn wyf barod i faddeu. *Canys, tŷ Israel, paham y byddwch feirw?*—gwel ar pen. xviii. 31, 32.

Adn. 12. *Dywed hefyd, fab dyn, wrth feibion dy bobl*] Y rhai sydd yn dadlu nid yn unig yn erbyn didwylledd fy addewidion i, ond hefyd yn erbyn gwirionedd fy mygythion. *Cyfiawnder y cyfiawn nis gwared ef yn nydd ei anwiredd*—yn y dydd y dychwelo efe oddiwrth ei gyfiawnder i wneuthur anwiredd. *Felly am annuwioldeb yr annuwiol*—yr hwn a gyflawnodd efe yn more ei oes; *ni syrth efe o'i herwydd yn y dydd y dychwelo oddiwrth ei anwiredd*—eithr efe a gaiff faddeuant ac iachawdwriaeth. *Ni ddichon y cyfiawn chwaith fyw oblegid ei gyfiawnder yn y dydd y pecho*—am ei fod, trwy ei bechod, yn fforffetio ei gyfiawnder a'i fywyd. Gwel yr un athrawiaeth yn cael ei phrofi yn y sylwadau ar pen. iii. 20, a xviii. 21, 22, 24, 26, 27.

Adn. 13. *Pan ddywedwyf wrth y cyfiawn, Gan fyw y caiff fyw*] Y caiff fyw bywyd ysbrydol o santeiddrwydd, neu y caiff fyw yn ffafr a heddwch Duw. *Os efe a hydera ar ei gyfiawnder*—yr hwn a wneid ganddo gynt, ond yn awr a adewsid; neu os hydera efe ar y gweithredoedd da a wnaethai, gan feddwl y byddai i'w haeddiant hwy wrthbwyso euogrwydd ei weithredoedd drwg, yr hon yr ymddengys ei bod yn dyb gyffredin yn mhlith yr Iuddewon; neu os tybia efe, gan ei fod unwaith mewn gras, y rhaid ei fod byth mewn gras: *ac a wna anwiredd*—ar y naill neu y llall o'r seiliau uchod, ar ol bod unwaith yn gweithredu cyfiawnder. Yn awr beth a ddywed Duw am y dyn hwn, i'r hwn yr addawsai efe fywyd? *Ei holl gyfiawnderau ni chofir*—er llesâd iddo, ar ol iddo ddychwelyd felly oddiwrthynt; *ond am ei anwiredd a wnaeth*—yn y rhan ddiweddaf o'i oes; *am dano y bydd efe marw*—yn dragywydd! Gwel ar pen. iii. 20, a xviii. 24, 26.

Adn. 14. *A phan ddywedwyf wrth yr annuwiol, Gan farw y byddi farw*] O'r ail farwolaeth, oddieithr i ti edifarhau yn nydd gras. *Os dychwel efe oddiwrth ei bechod*—ar ol ei rybyddio felly; *a gwneuthur barn a chyfiawnder*—hyd ddiwedd ei oes: hyny yw, os dyry efe brawf allanol o'i gyfiawnder mewnol, trwy wneuthur y pethau a enwir yn yr adnod nesaf: gwel ar pen. xviii. 5, 9.

Adn. 15. *Os yr annuwiol a ddadrydd wystl*] A ddyry yn ol y dillad neu yr arfau a roddwyd iddo ar wystl: gwel ar pen. xviii. 7, Exod. xxii. 26, Deut. xxiv. 10—13. *Ac a rydd yn ei ol yr hyn a dreisiodd*—neu a gymerodd yn annghyfiawn oddiar ereill; canys y mae y weithred o ad-daliad, neu adferiad eiddo a gipiwyd ar gam, yn wir angenrheidiol mewn trefn i gaffael maddeuant: gwel ar Lef. vi. 5, Num. v. 7, Luc xix. 8. *A rhodio yn neddfau y bywyd*—y rhai sydd yn arwain i fywyd tragwyddol: gwel ar pen. xx. 11. *Heb wneuthur anwiredd*—mewn meddwl, gair, na gweithred. *Gan fyw y bydd efe byw*—caiff fyw bywyd o ras a santeiddrwydd yma, a bywyd tragwyddol yn y nef: *ni bydd marw*—o'r ail farwolaeth, pan y bydd ei einioes yn terfynu.

Adn. 16. *Ni chofféir iddo yr holl bechodau a bechodd*] Yn more ei oes, i'w gospi am danynt: gwel ar pen. xviii. 22. *Barn a chyfiawnder a wnaeth*—o'r amser y dychwelwyd ef hyd ei farwolaeth. *Efe gan fyw a fydd byw*—yn sicr; hyny yw, efe a achubir am byth oddiwrth yr ail farwolaeth.

Adn. 17. *A meibion dy bobl a ddywedant*] Yn nghaledwch eu calonau, yn ngwyneb hyn oll; *Nid yw uniawn ffordd yr Arglwydd*—o ymddwyn fel hyn at y cyfiawn a'r annuwiol, adn. 13, 14. *Eithr eu ffordd hwynt nid yw uniawn*—gwel ar pen. xviii. 25. Ac i brofi fod ei ffordd ef yn uniawn, y mae Duw yma yn ailadrodd yr un peth yn y geiriau egluraf:—

Adn. 18. *Pan ddychwelo y cyfiawn oddiwrth ei gyfiawnder*] Yr hyn sydd ddichon-

ur anwiredd, efe a fydd marw yn-
ddynt.
19 A phan ddychwelo yr annuw-
iol oddiwrth ei annuwioldeb, a
gwneuthur barn a chyfiawnder, yn
y rhai hyny y bydd efe byw.
20 Eto chwi a ddywedwch nad
uniawn ffordd yr Arglwydd. Barn-
af chwi, tŷ Israel, bob un yn ol ei
ffyrdd ei hun.
21 ¶ Ac yn y degfed *mis* o'r
ddeuddegfed flwyddyn o'n caeth-
gludiad ni, ar y pummed *dydd* o'r
mis, y daeth un a ddiangasai o Je-
rusalem ataf fi, gan ddywedyd,
Tarawyd y ddinas.
22 A llaw yr Arglwydd a fuasai
arnaf yn yr hwyr, cyn dyfod y di-
angydd, ac a agorasai fy safn, nes ei
ddyfod ataf y bore; ïe, ymagorodd
fy safn, ac ni bûm fud mwyach.
23 Yna y daeth gair yr Arglwydd
ataf, gan ddywedyd,
24 Ha fab dyn, preswylwyr y di-
ffaethwch hyn yn nhir Israel ydynt
yn llefaru, gan ddywedyd, Abraham
oedd un, ac a feddiannodd y tir;
ninau *ydym* lawer, i ni y rhoddwyd
y tir yn etifeddiaeth.
25 Am hyny dywed wrthynt, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
Yr ydych yn bwyta yn nghyda'r
gwaed, ac yn dyrchafu eich llygaid
at eich gau-dduwiau, ac yn tywallt
gwaed; ac a feddiennwch chwi y
tir?

---

adwy iddo, ac a ddygwydda weithiau; *a gwneuthur anwiredd*—o hyny hyd ddiwedd ei oes; *efe a fydd marw ynddynt*—er maint a ddywedwch chwi i'r gwrthwyneb; 'canys cyflog pechod yw marwolaeth,' Rhuf. vi. 23.

Adn. 19. *A phan ddychwelo yr annuwiol oddiwrth ei annuwioldeb*] Yr hyn hefyd sydd ddichonadwy, ac a gymer le yn fynych; *a gwneuthur barn a chyfiawnder*—o hyny hyd ddiwedd ei oes; *yn y rhai hyny y bydd efe byw*—nid mewn ffordd o haeddiant, neu ddyled; 'eithr *dawn* Duw yw bywyd tragwyddol, trwy Iesu Grist ein Harglwydd,' Rhuf. vi. 23. Gwel ar pen. xviii. 26, 27.

Adn. 20. *Eto chwi a ddywedwch nad uniawn ffordd yr Arglwydd*] Gan barhau fyth i haeru yr un cabledd. *Barnaf chwi, tŷ Israel, bob un yn ol ei ffyrdd ei hun*—yr hyn fydd yn gywir yr un peth, gan y bydd i'r cyfiawn gael ei achub, a'r annuwiol gael ei golli: gwel ar pen. xviii. 30.

Adn. 21. *Ac yn y degfed mis o'r ddeuddegfed flwyddyn o'n caethgludiad ni*] O gaethgludiad Jehoiacin, Ezeciel, ac ereill: *ar y pummed dydd o'r mis*—felly yr oedd Jerusalem wedi ei chymeryd gan y Caldeaid er's blwyddyn a hanner onid pedwar diwrnod, cyn i'r ffoadur hwn ddwyn y newydd am hyny i'r proffwyd. Ond y mae wyth o'r ysgriflyfrau Hebreig, yn nghyda'r Syriaeg, yn lle y '*ddeuddegfed* flwyddyn,' yn darllen 'yr unfed flwyddyn ar ddeg:' felly nid oedd ond oddeutu chwe mis er pan darewsid hi. *Y daeth un a ddiangasai o Jerusalem*—a ddiangasai rhag yr haint, y newyn, a'r cleddyf, am fod y 'nôd' arno, pen. ix. 4, 6; *ataf fi*—wrth afon Cebar, oddeutu 400 o filldiroedd o Jerusalem; *gan ddywedyd, Tarawyd y ddinas*—dinystriwyd Jerusalem gan y Caldeaid, yn ol dy ragfynegiad di. Yr oedd Duw wedi rhagddywedyd wrth Ezeciel y deuai y ffoadur hwn ato ef, pen. xxiv. 26; ac yn awr dyma hyny yn cael ei gyflawni.

Adn. 22. *A llaw yr Arglwydd a fuasai arnaf yn yr hwyr, cyn dyfod y diangydd*] Nes y teimlodd efe gynhyrfiad nerthol ysbryd proffwydoliaeth, fel ar y dechre, pen. i. 3: *ac a agorasai fy safn, nes ei ddyfod ataf y bore*—trwy yr hyn y galluogwyd y proffwyd i lefaru yn hyf a gwrol wrth yr Iuddewon o'r hwyr hyd y bore. Fe allai mai yn ystod yr amser hwn y llefarodd efe yr ugain adnod flaenaf o'r bennod hon. Gellir dywedyd mai ar y dydd y daeth y ffoadur hwn ato yr agorwyd ei enau, trwy fod dydd yr Iuddewon yn dechreu yn yr hwyr blaenorol, Gen. i. 5. *Ie, ymagorodd fy safn*—i broffwydo wrth yr Iuddewon; *ac ni bûm fud mwyach*—yn ol rhagfynegiad Duw wrtho ef: gwel ar pen. xxiv. 27. Nid ydym i gasglu oddiyma fod y proffwyd heb allu llefaru dim wrth neb yn ystod y ddwy flynedd a aethent heibio, canys ni a'i cawn ef yn proffwydo yn erbyn cenhedloedd ereill yn y cyfamser; eithr y meddwl yw, na roddid iddo un genadwri ysbrydoledig at ei frodyr ei hun: gwel ar pen. xxv. 1, &c.

Adn. 23. *Yna y daeth gair yr Arglwydd ataf*] I roddi yn fy ngenau genadwri neu broffwydoliaeth o berthynas i fy nghenedl fy hun.

Adn. 24. *Ha fab dyn, preswylwyr y diffaethwch hyn yn nhir Israel*] Sef yr Iuddewon a adewsid yn Judea dan ofal Gedaliah, ar ol i'r wlad gael ei gwneuthur yn ddiffaethwch gan y Caldeaid; *ydynt yn llefaru, gan ddywedyd, Abraham oedd un, ac a feddiannodd y tir*—er nad oedd ond un; *ninau ydym lawer*—mewn rhifedi, ac o ganlyniad bydd i ni yn ddiau gael gwlad Canaan yn etifeddiaeth, lle y cawn aros i'w meddiannu hi fel ei hiliogaeth ef.

Adn. 25. *Am hyny dywed wrthynt*] Oddiwrthyf fi: *Yr ydych yn bwyta yn nghyda'r gwaed*—yr hyn a waharddid iddynt, Gen. ix; 4, Lef. vii. 26, a xvii. 10—14; *ac yn dyrchafu eich llygaid at eich gau-dduwiau*—gan weddio arnynt, a'u haddoli; *ac yn tywallt gwaed*—yr ydych yn euog o lofruddiaethau mynych: *ac a feddiennwch chwi y tir*—tra yn euog o'r pechodau hyn? Na wnewch yn sicr

26 Sefyll yr ydych ar eich cleddyf, gwnaethoch ffieidd-dra, halogasoch hefyd bob un wraig ei gymydog, ac a feddiennwch chwi y tir?

27 Fel hyn y dywedi wrthynt, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; *Fel mai* byw fi, trwy y cleddyf y syrth y rhai *sydd* yn y diffaethwch; a'r hwn *sydd* ar wyneb y maes, i'r bwystfil y rhoddaf ef i'w fwyta; a'r rhai *sydd* yn yr amddiffynfeydd ac mewn ogofeydd, a fyddant feirw o'r haint.

28 Canys gwnaf y tir yn anrhaith, ïe, yn anrhaith; a balchder ei nerth ef a baid, ac anrheithir mynyddoedd Israel, heb gyniweirydd ynddynt.

29 A chânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd, pan wnelwyf y tir yn anrhaith, ïe, yn anrhaith, am eu holl ffieidd-dra a wnaethant.

30 ¶ Tithau fab dyn, meibion dy bobl sydd yn siared i'th erbyn wrth y parwydydd, ac o fewn drysau y tai, ac yn dywedyd y naill wrth y llall, pob un wrth ei gilydd, gan ddywedyd, Deuwch, atolwg, a gwrandewch beth *yw* y gair sydd yn dyfod oddiwrth yr Arglwydd.

31 Deuant hefyd atat fel y daw y bobl, ac eisteddant o'th flaen *fel* fy mhobl, gwrandawant hefyd dy eiriau, ond nis gwnant hwy: canys â'u geneuau y danghosant gariad, a'u calon sydd yn myned ar ol eu cybydd-dod.

32 Wele di hefyd iddynt fel cân cariad *un* hyfrydlais, ac yn canu yn dda: canys gwrandawant dy eiriau, ond nis gwnant hwynt.

33 A phan ddelo hyn, (wele ef yn dyfod.) yna y cânt wybod fod proffwyd yn eu mysg.

---

Adn. 26. *Sefyll yr ydych ar eich cleddyf*] Yr ydych yn byw ar drais, yspail, a llofruddiaeth; *gwnaethoch ffieidd-dra*—y fath nad yw weddus ei adrodd; *halogasoch hefyd bob un wraig ei gymydog*—trwy wneuthur godineb â hwy: *ac a feddiennwch chwi y tir?*—gwel ar adn. 25. Fel pe dywedasai, Pan y mae Duw wedi bwrw allan yr hen genhedloedd, ac wedi hyny eich brodyr chwi eich hunain, o herwydd y pechodau hyn; a ydyw yn rhesymol i chwi ddygwyl cael aros yn y tir, tra yr ydych yn dylyn yr un pechodau, os nid yn rhagori arnynt hwy mewn drygioni?

Adn. 27. *Fel mai byw fi, trwy y cleddyf*] Sef cleddyf Ismael, neu gleddyf y Caldeaid yn dial gwaed Gedaliah; (gwel ar Jer. xli—xliv;) *y syrth y rhai sydd yn y diffaethwch*—sef yn Judea, adn. 24: *a'r hwn sydd ar wyneb y maes*—yn crwydro o le i le; *i'r bwystfil y rhoddaf ef i'w fwyta*—y rhai a amlhaent yn fawr mewn gwlad anrheithiedig felly: *a'r rhai sydd yn yr amddiffynfeydd ac mewn ogofeydd*—yn ymguddio o gyraedd dynion a bwystfilod; *a fyddant feirw o'r haint*—yr hwn a anfonaf yno ar eu hol. Yr oedd amrai ogofeydd mawrion yn ngwlad Judea, 1 Sam. xxiv. 3, 1 Bren. xviii. 4.

Adn. 28. *Canys gwnaf y tir yn anrhaith*] Trwy farnedigaethau felly; *a balchder ei nerth ef a baid*—fel na fydd yno ddim gweddillion o'r rhwysg, y cyfoeth, a'r mawredd a berthynai i Judea gynt; *ac anrheithir mynyddoedd Israel, heb gyniweirydd ynddynt*—trwy y byddai y wlad yn beryglus i neb dramwy ynddi, o achos y bwystfilod rheibus, a'r awyr afiach oddiwrth amledd y celaneddau llygredig.

Adn. 29. *A chânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Eu Brenin hollalluog, a'u Barnydd cyfiawn; *pan wnelwyf y tir yn anrhaith, ïe, yn anrhaith*—yr hyn a ailadroddir, i ddangos y sicrwydd o hono; *am eu holl ffieidd-dra a wnaethant*—hyd yn nod ar ol bod yn dystion o'm barnedigaethau i ar eu brodyr.

Adn. 30. *Tithau fab dyn, meibion dy bobl*] Y rhai sydd gyda thi wrth afon Cebar; *sydd yn siared i'th erbyn*—neu 'am danat,' fel y mae gan y LXX; *wrth y parwydydd, ac o fewn drysau y tai*—hyny yw, oddifewn ac oddiallan, lle bynag y cyfarfyddant; *ac yn dywedyd y naill wrth y llall*—yn cymhell eu gilydd i ddyfod i wrando pa genadwri sydd genyt ti atynt hwy oddiwrthyf fi. Nid oedd y rhai hyn yn siared yn erbyn y proffwyd mewn ffordd o wawd neu enllib, canys yr oeddynt yn ei barchu ef yn fawr, fel y dengys yr adnodau canlynol. Yr oeddynt yn caru ei weinidogaeth ef, ar ol iddo fod cyhyd yn ddystaw wrthynt, adn. 22.

Adn. 31. *Deuant hefyd atat fel y daw y bobl*] Fel yr ymgynulla dysgyblion at eu hathraw; *ac eisteddant o'th flaen fel fy mhobl*—gan broffesu parch mawr i rinwedd a duwioldeb: *gwrandawant hefyd dy eiriau*—gyda phleser; *ond nis gwnant hwy*—nid ufyddhant i'th addysgiadau: *canys â'u geneuau y danghosant gariad*—ataf fi a thithau; *a'u calon sydd yn myned ar ol eu cybydd-dod*—yr hwn a enwir yma am bechod a drygioni yn gyffredinol.

Adn. 32. *Wele di hefyd iddynt fel cân cariad un hyfrydlais*] Neu fel cân garu un yn meddu llais hyfryd; *ac yn canu yn dda*—Saes., 'ac yn gallu chwareu yn dda ar offeryn cerdd.' Yr oedd ei lais peraidd, ei hyawdledd gwresog, ei feddylddrych bywiog, a'i gydmhariaethau tarawiadol, yn eu synu ac yn eu boddhau yn fawr ar y pryd. *Canys gwrandawant dy eiriau*—gydag awydd a hyfrydwch: *ond nis gwnant hwy*—fel ag i gael budd trwyddynt i'w heneidiau. Onid yw hyn yn ddarluniad cywir o lawer yn ein gwlad ni y dyddiau hyn

## PENNOD XXXIV.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
ataf, gan ddywedyd,
2 Proffwyda, fab dyn, yn erbyn
bugeiliaid Israel; proffwyda, a dy-
wed wrthynt, wrth y bugeiliaid,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Gwae fugeiliaid Israel y
rhai sydd yn eu porthi eu hunain:
oni phortha y bugeiliaid y praidd?
3 Y brasder a fwytewch, a'r gwlan
a wisgwch, y bras a leddwch; *ond*
ni phorthwch y praidd.
4 Ni chryfhasoch y rhai llesg,
ac ni feddyginiaethasoch y glaf, ni
rwymasoch y ddrylliedig chwaith,
a'r gyfeiliornus ni ddygasoch adref,
a'r golledig ni cheisiasoch; eithr
llywodraethasoch hwynt â thrais ac
â chreulondeb.
5 A hwy a wasgarwyd o eisiau
bugail: a buant yn ymborth i holl
fwystfilod y maes, pan wasgarwyd
hwynt.
6 Fy nefaid a grwydrasant ar hyd
yr holl fynyddoedd, ac ar bob bryn
uchel: ïe, gwasgarwyd fy mhraidd
ar hyd holl wyneb y ddaear, ac nid
oedd a'*u* ceisiai, nac a ymofynai *am*
*danynt.*
7 ¶ Am hyny, fugeiliaid, gwran-
dewch air yr Arglwydd.
8 *Fel mai* byw fi, medd yr Ar-
glwydd Dduw, am fod fy mhraidd
yn yspail, a bod fy mhraidd yn ym-
borth i holl fwystfilod y maes, o
eisiau bugail, ac na cheisiodd fy
mugeiliaid fy mhraidd, eithr y bu-
geiliaid a'u porthasant eu hun, ac
ni phorthasant fy mhraidd:
9 Am hyny, O fugeiliaid, gwran-
dewch air yr Arglwydd.
10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Wele fi yn erbyn y bugeil-
iaid: a gofynaf fy mhraidd ar eu
dwylaw hwynt, a gwnaf iddynt beid-
io â phorthi y praidd; a'r bugeiliaid
ni phorthant eu hun mwy: canys
gwaredaf fy mhraidd o'u safn hwy,
fel na byddont yn ymborth iddynt.
11 ¶ Canys fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw, Wele myfi, *ïe*

---

Adn. 33. *A phan ddelo hyn*] Pan gyflawnid y proffwydoliaethau blaenorol am lwyr annghyfaneddiad y wlad, adn. 27—29; *wele ef yn dyfod*—y mae yr amser i'w cyflawni yn awr yn ymyl; *yna y cânt wybod fod proffwyd yn eu mysg*—yr hwn a allodd ragfynegu y pethau a fyddent; neu, cânt wybod dy fod di wedi dy anfon nid yn gerddor i'w difyru, ond yn broffwyd i'w dysgu, eu hargyhoeddi, a'u dychwelyd oddiwrth eu pechodau.

PEN. XXXIV. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yn debygol cyn i Jerusalem gael ei dinystrio, er y tybia rhai mai ar ol hyny.

Adn. 2. *Proffwyda, fab dyn, yn erbyn bugeiliaid Israel*] Y mae y 'bugeiliaid' hyn yn golygu eu llywodraethwyr *gwladol* ac *eglwysig;* sef eu tywysogion a'u barnwyr, yn gystal a'u hoffeiriaid, eu proffwydi, a'u hysgrifenyddion: gwel ar Jer. ii. 8, a xxiii. 1, &c. *Gwae fugeiliaid Israel, y rhai sydd yn eu porthi eu hunain*—yn edrych am eu mantais a'u helw eu hunain, ac nid llesâd eu pobl. *Oni phortha y bugeiliaid y praidd?*—hyny yw, oni ddylent eu porthi?

Adn. 3. *Y brasder a fwytewch*] Neu y 'llaeth,' fel y mae gan y LXX, ac yn y rhan fwyaf o'r cyfieithiadau; *a'r gwlan a wisgwch, &c.*—yr ydych yn cymeryd y gofal mwyaf i'ch llesâu eich hunain trwy gynyrch y praidd, ond nid i'w llesâu hwy yn dymhorol nac yn ysbrydol.

Adn. 4. *Ni chryfhasoch y rhai llesg, &c.*] Nid oedd y llywodraethwyr *gwladol* yn gofalu am y weddw, yr amddifaid, a'r gorthrymedig, nac yn ceisio esmwythâu beichiau y bobl, na dwyn yn ol y rhai a yrwyd o'u hetifeddiaethau trwy orthrech; ac nid oedd y swyddogion *eglwysig* yn ceisio dyddanu y rhai llesg, na goleuo y rhai tywyll, na dysgu y rhai anwybodus, na dwyn y crwydriaid yn ol at Dduw. *Eithr llywodraethasoch hwynt â thrais ac â chreulondeb*—ac nid mewn addfwynder, cydymdeimlad, a chariad.

Adn. 5. *A hwy a wasgarwyd*] Oddiwrth addoliad Jehofa, ac i wledydd ereill; *o eisiau bugail*—priodol i edrych ar eu hol: *a buant yn ymborth i holl fwystfilod y maes*—i elynion rheibus yn mhlith y cenhedloedd.

Adn. 6. *Fy nefaid a grwydrasant*] O Judea, neu oddiwrth addoliad Jehofa; *ar hyd yr holl fynyddoedd*—i borfeydd sychion y cenhedloedd eilunaddolgar; *ac nid oedd a'u ceisiai*—yn ol, trwy fod y bugeiliaid wedi crwydro fel hwythau o lwybrau rhinwedd a chrefydd.

Adn. 7—10. *Am hyny, fugeiliaid, gwrandewch air yr Arglwydd*] Yr hwn a gyhoedda efe i'ch erbyn chwi. *Fel mai byw fi, medd yr Arglwydd Dduw*—yma efe a ymrwyma trwy lw difrifol i'w cospi hwy. *Wele fi yn erbyn y bugeiliaid*—y rhai yr ofna pawb ereill eu gwrthwynebu, oblegid eu hawdurdod uchel mewn gwlad ac eglwys; *a gofynaf fy mhraidd ar eu dwylaw hwynt*—gofynaf waed fy mhraidd; *a gwnaf iddynt beidio â phorthi y praidd*—trwy eu troi hwynt o'u swydd, ac oddiwrth yr elw cysylltedig â hi: *canys gwaredaf fy mhraidd o'u safn hwy*—y rhai

myfi, a ymofynaf am fy mhraidd, ac
a'u ceisiaf hwynt.
12 Fel y cais bugail ei ddeadell
ar y dydd y byddo yn mysg ei ddef-
aid gwasgaredig, felly y ceisiaf
finau fy nefaid, ac a'u gwaredaf
hwynt o bob lle y gwasgarer hwynt
iddo ar y dydd cymylog a thywyll.
13 A dygaf hwynt allan o fysg y
bobloedd, a chasglaf hwynt o'r tir-
oedd, a dygaf hwynt i'w tir eu hun,
a phorthaf hwynt ar fynyddoedd Is-
rael wrth yr afonydd, ac yn holl
drigfanau y wlad.
14 Mewn porfa dda y porthaf
hwynt, ac ar uchel fynyddoedd Is-
rael y bydd eu corlan hwynt: yno
y gorweddant mewn corlan dda, ïe,
*mewn* porfa fras y porant ar fynydd-
oedd Israel.
15 Myfi a borthaf fy mhraidd, a
myfi a'u gorweddfäaf hwynt, medd
yr Arglwydd Dduw.
16 Y golledig a geisiaf, a'r darf-
edig a ddychwelaf, a'r friwedig a
rwymaf, a'r lesg a gryfhaf: eithr
dinystriaf y fras a'r gref; â barn y
porthaf hwynt.
17 Chwithau, fy mhraidd, fel hyn
y dywed yr Arglwydd Dduw, Wele
fi yn barnu rhwng milyn a milyn,
rhwng yr hyrddod a'r bychod.
18 Ai bychan genych bori o hon-
och y borfa dda, oni bydd i chwi
sathru dan eich traed y rhan arall
o'ch porfeydd? ac yfed o honoch y
dyfroedd dyfnion, oni bydd i chwi
sathru y rhan arall â'ch traed?
19 A'm praidd i, y maent yn pori
sathrfa eich traed chwi; a mathrfa
eich traed a yfant.
20 ¶ Am hyny fel hyn y dywed

---

sydd yn eu hysglyfaethu yn waeth na bwyst-filod y maes.

Adn. 11, 12. *Wele myfi, ïe myfi, a ymofynaf am fy mhraidd*] Mi a chwiliaf am danynt, ac a'u ceisiaf hwynt adref; *fel y cais bugail ei ddeadell*—gyda'r un gofal ac awydd ag a ddanghosir ganddo yntau am ei ddefaid naturiol; *ac a'u gwaredaf hwynt o bob lle y gwasgarer hwynt iddo ar y dydd cymylog a thywyll*—o erledigaeth a dinystr.

Adn. 13. *A dygaf hwynt allan o fysg y bobloedd*] Lle y gwasgarwyd hwynt; *i'w tir eu hun*—sef i Ganaan. Ymddengys fod yr addewidion uchod yn cyfeirio yn mlaenaf at adferiad yr Iuddewon o Babilon a manau ereill; ac yna, mewn ystyr ysbrydol, at eu dychweliad hwy at Gristionogaeth yn y dyddiau diweddaf, fel y dengys yr adnodau canlynol.

Adn. 14. *Mewn porfa dda y porthaf hwynt*] Sef yn mhorfeydd yr efengyl fe allai; *ac ar uchel fynyddoedd Israel y bydd eu corlan hwynt*—sef yn yr eglwys Gristionogol. Ond y mae rhai yn deall hyn am eu breintiau gwladol a chrefyddol ar ol eu dychweliad o Babilon.

Adn. 15. *Myfi a borthaf fy mhraidd*] A phob digonoldeb; *a myfi a'u gorweddfäaf hwynt*—a baraf iddynt orwedd mewn diogelwch a dedwyddwch.

Adn. 16. *Y golledig a geisiaf*] Mi a wnaf iddynt hwy yr hyn a esgeulusid gan fugeiliaid Israel, adn. 4; *a'r darfedig a ddychwelaf*—y rhai sydd wedi cyfeiliorni o'm llwybrau i o honynt eu hunain, neu wedi eu tarfu gan ereill; *a'r friwedig a rwymaf, a'r lesg a gryfhaf*—sef y rhai archolledig, afiach, ac eiddil. Cafodd Israel yr amgeledd hwn ar eu dychweliad o Babilon, a chânt ef yn fwy eto yn eu dychweliad ysbrydol o gaethiwed anghrediniaeth. Cyflawnir hefyd yr addewid hon pan y mae y rhai a grwydrasant oddiwrth Dduw i lwybrau pechod neu gyfeiliornad, yn cael eu dwyn yn ol mewn edifeirwch, ac yn mwynhau drachefn orfoledd yr iachawdwriaeth. *Eithr dinystriaf y fras a'r gref*—sef y bugeiliaid creulon hyny ag sydd yn gorthrymu fy mhraidd; *â barn y porthaf hwynt*—neu y cospaf hwynt. Ond y mae y LXX yn darllen y rhan olaf yn wahanol: 'Mi a *gadwaf* y fras a'r gref; â barn y porthaf hwynt,' sef â deall, dyspwyll, neu iawn-farn.

Adn. 17. *Chwithau, fy mhraidd, &c.*] Yma y mae y proffwyd yn troi oddiwrth y bugeiliaid, i draethu cenadwri Duw at y praidd. *Wele fi yn barnu rhwng milyn a milyn*—Hebr., 'rhwng ŵyn a mynod;' *rhwng yr hyrddod a'r bychod*—y meddwl yw, rhwng y bychain a'r mawrion, y tylawd a'r cyfoethog, y da a'r drwg: gwel ar adn. 20.

Adn. 18. *Ai bychan genych bori o honoch y borfa dda?*] Cyfeirir yma at y mawrion a'r cyfoethogion, y rhai oeddynt yn byw mewn rhwysg a moethau eu hunain, tra y gadawent i'r tylodion ddyoddef eisiau. *Ac yfed o honoch y dyfroedd dyfnion*—neu y 'dyfroedd *gloewon*,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu.

Adn. 19. *A'm praidd i*] Y tylodion, neu y duwiolion yn eu mysg; *y maent yn pori sathrfa eich traed chwi*—y maent yn gorfod byw ar weddillion yr hyn a ddystrywiwch chwi; *a mathrfa eich traed a yfant*—cyfeiriad at anifeiliaid mawrion a chryfion yn sathru ac yn difwyno y borfa, ac yn llwydo y dwfr â'u traed, fel na chai y rhai gweiniaid a ddeuent yno ar eu hol na bwyd na diod wrth eu bodd. Felly yr oedd y bobl hyn yn cadw pob anrhydedd neu elw iddynt eu hunain, tra na oddefent i'r tylodion gael cysur oddiwrth yr ychydig a feddent, eithr yr oeddynt yn eu gwasgu â threthi trymion, ac yn eu gorthrymu dan rith cyfiawnder.

Adn. 20. *Wele myfi, ïe myfi, a farnaf rhwng milyn bras a milyn cul*] Rhwng y

yr Arglwydd Dduw wrthynt hwy;
Wele myfi, *ïe* myfi, a farnaf rhwng
milyn bras a milyn cul.
21 O herwydd gwthio o honoch
âg ystlys ac âg ysgwydd, a chornio
o honoch â'ch cyrn y rhai llesg oll,
hyd oni wasgarasoch hwynt allan:
22 Am hyny y gwaredaf fy
mhraidd, fel na byddont mwy yn
yspail; a barnaf rhwng milyn a
milyn.
23 Cyfodaf hefyd un bugail ar-
nynt, ac efe a'u portha hwynt, *sef* fy
ngwas Dafydd; efe a'u portha
hwynt, ac efe a fydd yn fugail idd-
nyt.
24 A minau yr Arglwydd a fydd-
af yn Dduw iddynt, a'm gwas Da-
fydd yn dywysog yn eu mysg: myfi
yr Arglwydd a lefarais *hyn.*
25 Gwnaf hefyd à hwynt gyfam-
mod heddwch, a gwnaf i'r bwystfil
drwg beidio o'r tir: a hwy a drig-
ant yn ddiogel yn yr anialwch, ac a
gysgant yn y coedydd.
26 Hwynt hefyd ac amgylchoedd
fy mryn a wnaf yn fendith: a gwnaf
i'r gwlaw ddisgyn yn ei amser;
cawodydd bendith a fydd.
27 A rhydd pren y maes ei
ffrwyth, a'r tir a rydd ei gynyrch,
a byddant yn eu tir eu hun mewn
diogelwch, ac a gânt wybod mai
myfi *yw* yr Arglwydd, pan dorwyf
rwymau eu hiau hwynt, a'u gwared
hwynt o law y rhai oedd yn mynu
gwasanaeth ganddynt.
28 Ac ni byddant mwyach yn ys-
pail i'r cenhedloedd, a bwystfil y tir
nis bwyty hwynt; eithr trigant
mewn diogelwch, ac ni *bydd* a'*u*
dychryno.

---

cyfoethog a'r tylawd, rhwng y gorthrymwr a'r gorthrymedig.

Adn. 21. *O herwydd gwthio o honoch âg ystlys ac âg ysgwydd*] Gyda nerth, dylanwad, ac awdurdod mawr; *a chornio o honoch â'ch cyrn y rhai llesg oll*—fel y gwna hyrddod â defaid gweiniaid; *hyd oni wasgarasoch hwynt allan*—o'r borfa, neu o'r wlad. Cyfeirir yma at greulondeb y mawrion tuag at y tylodion.

Adn. 22. *Am hyny y gwaredaf fy mhraidd*] O'ch dwylaw chwi; *a barnaf rhwng milyn a milyn*—gwel ar adn. 17, 20.

Adn. 23. *Cyfodaf hefyd un bugail arnynt*] Sef y MESSIA, y 'Bugail da,' Ioan x. 11; *ac efe a'u portha hwynt*—â bara y bywyd; *sef fy ngwas Dafydd*—felly y gelwir Crist yn fynych yn yr ysgrythyrau, am ei fod i ddeilliaw o had Dafydd yn ol y cnawd, ac am fod yr addewidion a wnaed i Dafydd i gael eu cyflawni ynddo ef. Yr oedd Dafydd ei hun wedi marw bellach er's oddeutu 400 o flynyddoedd, ac ar ei ol ef ni bu un brenin tymhorol o'r enw *Dafydd* yn teyrnasu ar Israel. *Ac efe a fydd yn fugail iddynt*—yr hwn a elwir 'Bugail mawr y defaid,' Heb. xiii. 20, a'r 'Pen-bugail,' 1 Pedr v. 4.

Adn. 24. *A minau yr Arglwydd a fyddaf yn Dduw iddynt*] Yr hyn fydd yn ddigon iddynt am byth; hyny yw, mi a adnewyddaf fy nghyfammod â hwynt, ac a'u derbyniaf drachefn i'm ffafr a'm nodded. *A'm gwas Dafydd yn dywysog yn eu mysg*—i deyrnasu arnynt yn ysbrydol, yn gystal a'u bugeilio. Gelwir Crist yn *was*, am ei fod felly yn ei weddnod swyddol fel Cyfryngwr; ac am y byddai iddo wneuthur gwaith a derbyn gwobr gwas ffyddlon; ac hefyd am y byddai iddo gymeryd arno agwedd gwas. *Myfi yr Arglwydd a lefarais hyn*—ac am hyny fe'i cyflawnir yn ddiffeth.

Adn. 25. *Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod heddwch*] Sef heddwch â Duw, heddwch â dynion, a heddwch yn eu cydwybodau eu hunain trwy waed y groes: gwel ar Esay liv. 10, Jer. xxxi. 31, &c. *A gwnaf i'r bwystfil drwg beidio o'r tir*—sef yr holl fugeiliaid drwg; neu holl elynion ac erlidwyr eglwys Dduw, y rhai a gyffelybir i fleiddiaid, llewod, ac aspiaid, Esay xi. 6—9. *A hwy a drigant yn ddiogel yn yr anialwch, ac a gysgant yn y coedydd*—sef yn y lleoedd mwyaf anial a pheryglus, dan nawdd y Bugail da. Yn y *milflwyddiant* yn unig yr ydym i ddysgwyl y llawn gyflawniad o'r addewid hon.

Adn. 26. *Hwynt hefyd ac amgylchoedd fy mryn*] Tybia rhai fod yma gyfeiriad at y cynulleidfaoedd eglwysig, y rhai sydd fel deadellau yn pori o amgylch mynydd Seion, pen. xx. 40; *a wnaf yn fendith*—i'w teuluoedd, eu cymydogion, a'r byd. *A gwnaf i'r gwlaw ddisgyn yn ei amser*—i ddyfrhau eu porfa, sef dylanwadau grasol ac heddiol yr Ysbryd Glân. *Cawodydd bendith a fydd*—yn peri bendith, bywyd, a chysur yn dymhorol ac ysbrydol.

Adn. 27. *A rhydd pren y maes ei ffrwyth, a'r tir a rydd ei gynyrch*] Y mae rhai yn deall hyn am 'brenau cyfiawnder' wedi eu planu yn yr eglwys; ac ereill a'i deallant yn llythyrenol am helaethrwydd o fendithion tymhorol, y rhai a fwynheir yn ddiamau gan bawb yn nghyfnod dedwydd y milflwyddiant. *A byddant yn eu tir eu hun mewn diogelwch*—sef yn eu porfa eu hun, neu yr eglwys Gristionogol. *Ac a gânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd, pan dorwyf ymaith eu hiau hwynt*—pan waredwyf hwynt o law eu holl orthrymwyr.

Adn. 28. *Ac ni byddant mwyach yn yspail i'r cenhedloedd*] Fel y buont yn yr Aifft, yn Babilon, ac mewn gwledydd ereill; *a bwystfil y tir nis bwyty hwynt*—gwel ar adn. 25;

29 Cyfodaf iddynt hefyd blanhigyn enwog, ac ni byddant mwy wedi trengu o newyn yn y tir, ac ni ddygant mwy waradwydd y cenhedloedd.

30 Fel hyn y cânt wybod mai myfi yr Arglwydd eu Duw *sydd* gyda hwynt, ac *mai* hwythau, tŷ Israel, *yw* fy mhobl i, medd yr Arglwydd Dduw.

31 Chwithau, fy mhraidd, defaid fy mhorfa, dynion *ydych* chwi, myfi *yw* eich Duw chwi, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XXXV.

ADAETH gair yr Arglwydd ataf, gan ddywedyd,

2 Gosod dy wyneb, fab dyn, tuag at fynydd Seir, a phroffwyda yn ei erbyn,

3 A dywed wrtho, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi i'th erbyn di, mynydd Seir, estynaf hefyd fy llaw i'th erbyn, a gwnaf di yn anghyfanedd ac yn ddiffaethwch.

4 Gosodaf dy ddinasoedd yn ddiffaethwch, a th[ef]t[ydd]u a fyddi yn anghyfanedd, fel y gwypech mai myfi *yw* yr Arglw[ydd].

5 Am fod genyt alanasdra tragwyddol, a thywallt o honot w[aed] meibion Israel â min y cleddyf, [y]n amser eu gofid, yn amser diwedd *eu* hanwiredd *hwynt:*

6 Am hyny *fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, mi a'th wnaf

---

*ac ni bydd a'u dychryno*—bydd i'r prawf a gawsant o'm gofal i drostynt genhedlu ynddynt y fath hyder yn fy ngallu a'm ffyddlondeb, fel ag i gau allan bob pryder a dychryn o'u meddyliau.

Adn. 29. *Cyfodaf iddynt hefyd blanhigyn enwog*] Y farn gyffredin yw, mai CRIST a olygir yma: gwel ar Esay iv. 2, a xi. 1, a liii. 2, Jer. xxiii. 5, a xxxiii. 15. Ond *Boothroyd* a'i cyfieitha, 'Cyfodaf iddynt *blanhigfa* enwog;' a *Clarke*, 'planhigfa i'r *enw*,' sef 'i enw Crist; neu *eglwys* wedi ei gwneyd i fyny o wir Gristionogion.' *Ac ni byddant mwy wedi trengu yn y tir*—ond cânt eu diwallu a phob llawnder yn dymhorol ac ysbrydol. Gellid meddwl oddiwrth y geiriau hyn mai *porfa* enwog a feddylir wrth y 'planhigyn' uchod; neu y byddai Crist felly iddynt, yr hwn yw 'bara y bywyd.' *Ac ni ddygant mwy waradwydd y cenhedloedd*—ni chai y cenhedloedd mwyach le i'w gwaradwyddo fel rhai wedi eu gadael gan eu Duw.

Adn. 30. *Fel hyn y cânt wybod*] Y cai y cenhedloedd wybod, wrth weled y fath arwyddion eglur o ofal Duw am ei bobl; neu y cai ei bobl wybod, trwy brofiad dedwydd o'i fendithion grasol iddynt; *mai myfi yr Arglwydd eu Duw sydd gyda hwynt*—fy mod i gyd hwynt i'w hachub a'u cysuro; *ac mai hwythau, tŷ Israel, yw fy mhobl i*—eu bod yn bobl neillduol i mi goruwch holl bobloedd y ddaear.

Adn. 31. *Chwithau, fy mhraidd, defaid fy mhorfa, dynion ydych chwi*] Y mae y geiriau hyn yn allwedd i'r gyffelybiaeth trwy yr holl bennod, ac yn dangos fod yr hyn a ddywedwyd am 'braidd' a 'bugeiliaid' i gael ei ddeall am ddynion a'u llywodraethwyr mewn gwlad ac eglwys. *Myfi yw eich Duw chwi*—gan hyny y mae yr hyn sydd ddiffygiol ynoch chwi yn cael ei wneyd i fyny yn hyn, fy mod i yn Dduw mewn cyfammod â chwi. Nis gallai Jehofa addaw mwy iddynt, ac nis gallent hwythau ddymuno mwy.

PEN. XXXV. Adn. 1. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Ar ol i Dduw yn y bennod flaenorol wneuthur addewidion gwerthfawr i'w braidd trallodus, y mae efe yma yn cyhoeddi bygythion dychrynllyd yn erbyn gelynion ei eglwys.

Adn. 2. *Gosod dy wyneb, fab dyn, tuag at fynydd Seir*] Tro dy wyneb at wlad yr Edomiaid, i broffwydo yn eu herbyn hwynt. Mynydd Seir oedd preswylfa yr Edomiaid, hiliogaeth Esau, y rhai oeddynt elynion greddfol i Israel bob amser: gwel Deut. ii. 5.

Adn. 3. *Wele fi i'th erbyn di, mynydd Seir*] Am dy fod di yn erbyn fy mhobl Israel; *estynaf hefyd fy llaw i'th erbyn*—rhoddaf fy ngallu mewn gweithrediad, i wneuthur dy ddinasoedd a'th wlad yn ddiffaethwch anghyfaneddol.

Adn. 4. *Fel y gwypech mai myfi yw yr Arglwydd*] Yr hwn yr wyt ti yn ei gablu, adn. 13.

Adn. 5. *Am fod genyt alanasdra tragwyddol*] Saes., 'casineb parhaus;' *a thywallt o honot waed meibion Israel*—pan yr oedd eu dinas yn cael ei chymeryd, a hwythau yn ceisio ffoi o honi; *yn amser diwedd eu hanwiredd hwynt*—pan yr oedd eu hanwiredd wedi eu dwyn hwynt i ddiwedd truenus trwy law y Caldeaid: gwel ar pen. xxv. 12, Salm cxxxvii. 7, Obadiah 10—14.

Adn. 6. *Am hyny fel mai byw fi*] Neu cyn wired a'm bod yn Dduw byw; *mi a'th wnaf di yn waed*—mi a'th ddarostyngaf di i laddfa fawr; *a gwaed a'th ymlid di*—sef dynion gwaedlyd; neu yr oedd gwaed y rhai a laddasant hwy yn gwaeddi am ddial arnynt o'r ddaear; neu byddai i Israel eu hymlid, sef pobl o'r un gwaed a hwy eu hunain. *Gan na chasêi waed*—gan dy fod bob amser yn caru creulondeb a thywallt gwaed; *gwaed a'th ddylyn*—ti a syrthi i ddwylaw dynion a fyddant yr un mor awyddus i dywallt dy waed dithau. Tybia *Calmet* fod dau ddinystr yr Edomiaid yn cael ei ragfynegu yma; y cyntaf

di yn waed, a gwaed a'th ymlid di: gan na chasêi waed, gwaed a'th ddylyn.

7 Gwnaf hefyd fynydd Seir yn anrhaith ac yn ddiffaethwch; a thoraf ymaith o hono yr hwn a elo allan, a'r hwn a ddychwelo.

8 Llanwaf hefyd ei fynyddoedd ef â'i laddedigion: yn dy fryniau, a'th ddyffrynoedd, a'th holl afonydd, y syrth y rhai a laddwyd â'r cleddyf.

9 Gwnaf di yn anrhaith tragwyddol, a'th ddinasoedd ni ddychwelant; fel y gwypoch mai myfi *yw* yr Arglwydd.

10 Am ddywedyd o honot, Y ddwy genedl a'r ddwy wlad hyn fyddant eiddof fi, a nyni a'i meddiannwn; er bod yr Arglwydd yno:

11 Am hyny *fel mai* byw fi, medd yr Arglwydd Dduw, gwnaf yn ol dy ddig, ac yn ol dy genfigen, y rhai o'th gâs yn eu herbyn hwynt a wnaethost; fel y'm hadwaener yn eu mysg hwynt, pan y'th farnwyf di.

12 A chei wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd, *ac* i mi glywed dy holl gabledd a draethaist yn erbyn mynyddoedd Israel, gan ddywedyd, Anrheithiwyd hwynt; i ni y rhoddwyd hwynt i'w difa.

13 Ymfawrygasoch hefyd â'ch geneuau yn fy erbyn i, ac amlhasoch eich geiriau i'm herbyn: mi a'*u* clywais.

14 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Pan lawenycho yr holl wlad, mi a'th wnaf di yn annghyfanedd.

15 Yn ol dy lawenydd di am feddiant tŷ Israel, o herwydd ei anrheithio, felly y gwnaf i tithau: anrhaith fyddi di, mynydd Seir, ac Edom oll i gyd; fel y gwypont mai myfi *yw* yr Arglwydd.

## PENNOD XXXVI.

TITHAU fab dyn, proffwyda wrth fynyddoedd Israel, a dywed, Gwrandewch, fynyddoedd Israel, air yr Arglwydd.

---

gan Nebuchodonosor, a'r llall gan yr Iuddewon ar ol eu dychweliad o Babilon.

Adn. 7. *Gwnaf hefyd, &c.*] Saes., '*fel hyn* y gwnaf fynydd Seir yn anrhaith,' &c.; *a thoraf ymaith o hono, &c.*—byddai yr anrhaith mor gyffredinol, fel na byddai un ymdeithydd na masnachydd yn y wlad hono wedi ei adael.

Adn. 8. *Llanwaf hefyd ei fynyddoedd ef â'i laddedigion*] Y rhai a ffoent i'r mynyddoedd rhag y gelyn: *yn dy fryniau, a'th ddyffrynoedd, a'th holl afonydd, &c.*—y mae y geiriau hyn yn gosod allan gyffredinolrwydd yr alanas, gan y byddai i gelaneddau lenwi pob cwr o'r wlad.

Adn. 9. *Gwnaf di yn anrhaith tragwyddol*] O herwydd dy 'alanasdra tragwyddol' di, adn. 5; *a'th ddinasoedd ni ddychwelant*—i'th feddiant di, neu ni adferir hwynt byth i'w mawredd blaenorol.

Adn. 10. *Am ddywedyd o honot, Y ddwy genedl*] Sef Israel a Juda; *a'r ddwy wlad hyn*—Samaria a Judea; *fyddant eiddof fi*—ar ol i'r Iuddewon gael eu dyfetha; *er bod yr Arglwydd yno*—yn cymeryd arno amddiffyn ei bobl, neu yn hawlio Canaan fel ei eiddo ei hun.

Adn. 11. *Am hyny fel mai byw fi*] Gwel ar adn. 6; *gwnaf yn ol dy ddig, ac yn ol dy genfigen*—fel y niweidiaist di fy mhobl i oddiar ddigofaint, cenfigen, a chasineb atynt; felly y niweidiaf finau dithau: *fel y'm hadwaener yn eu mysg hwynt, pan y'th farnwyf di*—gwnaf i'm pobl ddeall na lwyr adewais hwynt, trwy y cospedigaethau a ddygaf arnat ti am y drwg a wnaethost iddynt.

Adn. 12. *A chei wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Yr hwn a allaf gospi gelynion fy mhobl; *ac i mi glywed*—yn y nefoedd, *dy holl gabledd a draethaist yn erbyn mynyddoedd Israel*—sef yn erbyn fy mhobl i, y rhai a breswylient fynyddoedd Israel; *gan ddywedyd, Anrheithiwyd hwynt*—neu, y mae Duw wedi eu llwyr adael hwynt i'w hanrheithio; *i ni y rhoddwyd hwynt i'w difa*—cawn ni hwynt bellach dan ein traed, a chawn eu gwlad hwynt hefyd i ni ein hunain, adn. 10.

Adn. 13. *Ymfawrygasoch hefyd â'ch geneuau yn fy erbyn i*] Nid yn unig yn erbyn fy mhobl, ond yn fy erbyn inau hefyd, fel pe bawn yn analluog i gyflawni fy addewidion i'm pobl, neu i gadw fy hawl yn Nghanaan; *ac amlhasoch eich geiriau i'm herbyn*—trwy fy nghablu i felly bob dydd: *mi a'u clywais*—er eich bod chwi yn meddwl fy mod yn ddisylw o'ch geiriau.

Adn. 14. *Pan lawenycho yr holl wlad*] Ar ddychweliad yr Iuddewon iddi o'u caethiwed; *mi a'th wnaf di yn annghyfanedd*—fel, er chwennychu o honot wlad dy gymydogion, y byddi heb dy wlad dy hun. Ni ddarfu i'r Edomiaid byth adennill eu gwlad ar ol i'r Nabathiaid eu hymlid o honi, 1 *Mac.* v. 25, &c.

Adn. 15. *Yn ol dy lawenydd di am feddiant tŷ Israel, &c.*] Bydd i ereill lawenychu yn dy gwymp di, fel y llawenychaist tithau yn nghwymp tŷ Israel. *Anrhaith fyddi di, mynydd Seir*—sef holl wlad Edom. *Fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—fel y gwypo fy mhobl hyny er eu cysur, neu y gwypo yr Edomiaid hyny er eu gofid bythol.

• PEN. XXXVI. Adn. 1. *Tithau fab dyn, proffwyda wrth fynyddoedd Israel*] Er cysur

2 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, O herwydd dywedyd o'r gel-
yn hyn am danoch chwi, Aha, aeth
yr hen uchelfaon hefyd yn etifedd-
iaeth i ni:
3 Am hyny proffwyda, a dywed,
Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; o herwydd iddynt *eich* an-
rheithio, a'ch llyncu o amgylch, i
fod o honoch yn etifeddiaeth i
weddill y cenhedloedd, a myned o
honoch yn watwargerdd tafodau, ac
yn ogan pobloedd:
4 Am hyny, mynyddoedd Isra-
el, gwrandewch air yr Arglwydd
Dduw; Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw wrth y mynyddoedd
ac wrth y bryniau, wrth yr afonydd
ac wrth y dyffrynoedd, wrth y di-
ffaethwch annghyfaneddol, ac wrth
y dinasoedd gwrthodedig, y rhai a
aeth yn yspail, ac yn watwar i'r
rhan arall o'r cenhedloedd o'u ham-
gylch:
5 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Diau yn angerdd
fy eiddigedd y llefarais yn erbyn y
rhan arall o'r cenhedloedd, ac yn
erbyn holl Edom, y rhai a rodd-
asant fy nhir i yn etifeddiaeth idd-
ynt eu hun, â llawenydd *eu* holl ga-
lon, trwy feddwl dirmygus, i'w yru
allan yn yspail.
6 Am hyny proffwyda am dir Is-
rael, a dywed wrth y mynyddoedd
ac wrth y bryniau, wrth yr afonydd
ac wrth y dyffrynoedd, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Wele,
yn fy eiddigedd ac yn fy llid yllef-
arais, o herwydd dwyn o honoch
waradwydd y cenhedloedd.
7 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Myfi a dyngais,
Diau y dwg y cenhedloedd *sydd*
o'ch amgylch chwi eu gwaradwydd.
8 ¶ A chwithau, mynyddoedd Is-
rael, a fwriwch allan eich ceinciau,
ac a ddygwch eich ffrwyth i'm pobl
Israel; canys agos ydynt ar ddyfod.
9 Canys wele fi atoch, ïe troaf at-
och, fel y'ch coledder ac y'ch hauer.
10 Amlhaf ddynion ynoch chwi

---

i'r Iuddewon, fel y proffwydaist yn y bennod flaenorol yn erbyn mynydd Seir, er dychryn i'r Edomiaid.

Adn. 2. *O herwydd dywedyd o'r gelyn hyn am danoch chwi*] O herwydd i'r Edomiaid lawenychu yn eich cwymp, a dywedyd, *Aha, aeth yr hen uchelfaon hefyd yn etifeddiaeth i ni*—sef yr hen amddiffynfeydd ag oeddynt ar fynyddoedd Judea, neu ddinas Jerusalem a santaidd fynydd Seion.

Adn. 3. *O herwydd iddynt eich anrheithio, a'ch llyncu o amgylch*] Fel llewod gwancus; *i fod o honoch yn etifeddiaeth i weddill y cenhedloedd*—sef i'r cenhedloedd ag oeddynt eto heb eu gorchfygu gan y Caldeaid; *a myned o honoch yn watwargerdd tafodau*—oblegid eich trallodau trymion; *ac yn ogan pobloedd*—fel y rhagfynegwyd am danoch, Deut. xxviii. 37, 1 Bren. ix. 7, &c.

Adn. 4. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth y mynyddoedd ac wrth y bryniau, &c.*] Sef wrth bob rhan o wlad Israel ag oedd yn awr yn anrheithiedig.

Adn. 5. *Diau yn angerdd fy eiddigedd*] Yn fy sel dros fy anrhydedd fy hun, yr hwn a geblid yn mysg y cenhedloedd; *y llefarais yn erbyn y rhan arall o'r cenhedloedd*—sef yn erbyn pawb ag ydynt neu a fuont yn elynion i Israel: *ac yn erbyn holl Edom, y rhai a roddasant fy nhir i yn etifeddiaeth iddynt eu hun*—neu a fwriadent ei roddi, pen. xxxv. 10; *â llawenydd eu holl galon, &c.*—yr oedd yr Edomiaid, gyda'r llawenydd mwyaf, wedi ymuno â'r Caldeaid mewn dirmyg a malais yn erbyn yr Iuddewon, i'r dyben i'w gyru hwynt allan o'u gwlad, er mwyn ei chael yn yspail iddynt eu hunain. Ond er i'r Arglwydd yru ei bobl dros ryw yspaid allan o'r tir, eto yr oedd efe yn penderfynu eu dwyn hwy yn ol drachefn i etifeddu eu gwlad; ac am hyny yr oedd efe yn digio yn fawr wrth yr Edomiaid am chwennych ei chael yn etifeddiaeth iddynt eu hunain.

Adn. 6. *Am hyny proffwyda am dir Israel*] A dywed wrth drigolion pob rhan o hono. *Wele, yn fy eiddigedd ac yn fy llid y llefarais*—yn erbyn eich gelynion: gwel ar adn. 5. *O herwydd dwyn o honoch waradwydd y cenhedloedd*—y rhai sydd yn eich gwatwar ac yn eich dirmygu yn eich cyflwr trallodus presenol.

Adn. 7. *Myfi a dyngais*] A wnaethym lw difrifol i gadarnhau fy mygythiad; *Diau y dwg y cenhedloedd sydd o'ch amgylch chwi eu gwaradwydd*—gwaradwyddir a dirmygir hwythau cyn hir, fel y maent hwy yn awr yn eich gwaradwyddo chwi.

Adn. 8. *A chwithau, mynyddoedd Israel*] Y rhai a bersonolir yma, ac y llefarir wrthynt; *a ddygwch eich ffrwyth i'm pobl Israel*—ac nid i'r Edomiaid; *canys agos ydynt ar ddyfod*—y mae adferiad fy mhobl i'w gwlad, o gaethiwed Babilon, i gymeryd lle ar fyrder.

Adn. 9. *Canys wele fi atoch*] Saes., 'wele fi drosoch;' *ïe troaf atoch*—i'ch bendithio a'ch ffrwythloni; *fel y'ch coledder ac y'ch hauer*—ac y cynyrchoch trwy hyny ffrwythau toreithiog i fy mhobl fel o'r blaen.

Adn. 10. *Amlhaf ddynion ynoch*] Y rhai a fyddant yn genedl anrhydeddus a lluosog; *holl dŷ Israel i gyd*—heb neb o'r cenhedloedd dienwaededig yn eu mysg; *fel y cyfan-*

hefyd, holl dŷ Israel i gyd, fel y
cyfanedder y dinasoedd, ac yr ad-
eilader y diffaethwch.
11 Ie, amlhaf ynoch ddyn ac an-
ifel; a hwy a chwanegant ac a
ffrwythant; a gwnaf i chwi breswyl-
io fel yr oeddych gynt; ïe, gwnaf *i*
*chwi* well nag *yn* eich dechread, fel
y gwypoch mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd.
12 Ie, gwnaf i ddynion rodio ar-
noch, *sef* fy mhobl Israel; a hwy
a'th etifeddant di, a byddi yn eti-
feddiaeth iddynt, ac ni chwanegi eu
gwneuthur hwy yn amddifaid mwy.
13 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; O herwydd eu bod yn dy-
wedyd wrthych, Yr wyt ti yn difa
dynion, ac yn gwneuthur dy gen-
hedloedd yn amddifaid;
14 Am hyny ni fwytei ddynion
mwy, ac ni wnei dy genhedloedd
mwyach yn amddifaid, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
15 Ac ni adawaf glywed gwarad-
wydd y cenhedloedd ynot ti mwy, ni
ddygi chwaith warth y cenhedl-
oedd mwyach, ac ni wnei mwy i'th
genhedloedd syrthio, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
16 ¶ Daeth hefyd air yr Ar-
glwydd ataf, gan ddywedyd,
17 Ha fab dyn, pan oedd tŷ Israel
yn trigo yn eu tir eu hun, hwy a'i
halogasant ef â'u ffordd ac â'u
gweithredoedd eu hun: eu ffordd
ydoedd ger fy mron i fel aflendid
gwraig fisglwyfus.
18 Yna y tywelltais fy llid arnynt,
am y gwaed a dywallasent ar y tir,
ac am eu delwau *trwy y rhai* yr hal-
ogasent ef;
19 Ac a'u gwasgerais hwynt yn
mhlith y cenhedloedd, a hwy a
chwalwyd ar hyd y gwledydd; yn
ol eu ffyrdd ac yn ol eu gweithred-
oedd y bernais hwynt.
20 A phan ddaethant at y cen-
hedloedd y rhai yr aethant atynt,
hwy a halogasant fy enw santaidd,

---

*edder y dinasoedd, ac yr adeilader y diffaethwch*—fel y byddo i'r holl leoedd adfeiliedig presenol gael eu hadgyweirio, a'u gwneyd yn drigfanau cysurus.

Adn. 11. *Ie, amlhaf ynoch ddyn ac anifel*] Nid yn unig dynion, ond anifeiliaid hefyd, y rhai a ffrwythlonant yn fawr; *a gwnaf i chwi breswylio fel yr oeddych gynt*—neu '*gael* eich preswylio;' canys wrth y mynyddoedd y dywedir hyn. *Ie, gwnaf i chwi well nag yn eich dechread*—nid yn well o ran ffrwythlondeb nag yn amser Josua, eithr yn well mewn ystyr ysbrydol, trwy na sefydlid eilunaddoliaeth ar y mynyddoedd hyny mwyach; ac yn well hefyd am y rhesymau a enwir isod. Y dyb gyffredin yw, fod hyn yn cyfeirio yn benaf at y dyddiau diweddaf, a bendithion gwell yr efengyl.

Adn. 12. *Ie, gwnaf i ddynion rodio arnoch*] Yn lle y bwystfilod rheibus ag oeddynt yn tramwy yno yn amser y caethiwed; *sef fy mhobl Israel*—ac nid yr Edomiaid ac ereill, y rhai a fynent etifeddu y tir: *ac ni chwanegi eu gwneuthur hwy yn amddifaid mwy*—trwy gleddyf, newyn, na haint.

Adn. 13. *O herwydd eu bod yn dywedyd wrthych, &c.*] O herwydd fod y cenhedloedd cymydogaethol yn dywedyd am wlad Canaan, fod rhyw farn neu gilydd arni yn barhaus, megys y cleddyf, yr haint, neu y newyn, i ladd ei thrigolion.

Adn. 14. *Am hyny ni fwytei ddynion mwy*] Ti a fyddi yn rhydd oddiwrth y barnedigaethau dinystriol hyny rhagllaw.

Adn. 15. *Ac ni adawaf glywed gwaradwydd y cenhedloedd ynot ti mwy, &c.*] Hyny yw, ni adawai efe i'w trigolion glywed y cenhedloedd yn eu gwarthruddo o herwydd eu trallodau gofidus mwyach, fel pe buasent wedi eu melldithio gan Dduw, a'u rhoddi i fyny i'r naill ddinystr ar ol y llall yn barhaus.

Adn. 16. *Daeth hefyd air yr Arglwydd ataf*] Tua'r un amser a'r hyn a adroddwyd uchod.

Adn. 17. *Ha fab dyn, pan oedd tŷ Israel yn trigo yn eu tir eu hun*] Mewn esmwythder, llawnder, a llwyddiant; *hwy a'i halogasant ef â'u ffordd ac â'u gweithredoedd eu hun*—trwy wrthod fy nghynghor, dirmygu fy neddfau, a chefnu ar fy addoliad: *eu ffordd ydoedd ger fy mron i fel aflendid gwraig fisglwyfus*—fel yr oedd hono yn aflan dan y gyfraith, ac yn cael ei gwahardd i ddyfod i gynteddau y deml i addoli: felly yr oedd tŷ Israel, trwy eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ffiaidd ereill, wedi eu hanaddasu eu hunain i fod yn bobl i Dduw, neu i gyflwyno unrhyw wasanaeth grefyddol iddo ef.

Adn. 18. *Yna y tywelltais fy llid arnynt*] Fel llifeiriant nerthol yn ysgubo y cwbl o'i flaen: *am y gwaed a dywalltasent ar y tir*—gwel ar pen. xvi. 36, 38, a xxiii. 37—39; *ac am eu delwau*—sef eu heilunaddoliaeth ffiaidd.

Adn. 19. *Ac a'u gwasgerais hwynt yn mhlith y cenhedloedd*] Fel ûs yn cael ei chwalu gan gorwynt: *yn ol eu ffyrdd ac yn ol eu gweithredoedd y bernais hwynt*—eu pechodau hwy eu hunain oedd yr achos o'u difrodiad, ac nid dim yn y tir, fel y dywedai y cenhedloedd, adn. 13.

Adn. 20. *A phan ddaethant at y cenhedloedd*] Fel troseddwyr wedi eu halltudio o'u gwlad; *hwy a halogasant fy enw santaidd*—

pan ddywedid wrthynt, Dyma bobl
yr Arglwydd, ac o'i wlad ef yr aeth-
ant allan.
21 ¶ Er hyny arbedais *hwynt* er
mwyn fy enw santaidd, yr hwn a
halogodd tŷ Israel yn mysg y cen-
hedloedd y rhai yr aethant atynt.
22 Am hyny dywed wrth dŷ Isra-
el, Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, Nid er eich mwyn chwi, tŷ
Israel, yr ydwyf fi yn gwneuthur
*hyn*, ond er mwyn fy enw santaidd,
yr hwn a halogasoch chwi yn mysg
y cenhedloedd lle yr aethoch.
23 A mi a santeiddiaf fy enw
mawr, *yr hwn* a halogwyd yn mysg
y cenhedloedd, yr hwn a halogas-
och chwi yn eu mysg hwynt; fel y
gwypo y cenhedloedd mai myfi *yw*
yr Arglwydd, medd yr Arglwydd
Dduw, pan ymsanteiddiwyf ynoch
o flaen eich llygaid.
24 Canys mi a'ch cymeraf chwi o
fysg y cenhedloedd, ac a'ch casglaf
chwi o'r holl wledydd, ac a'ch dyg-
af i'ch tir eich hun.
25 ¶ Ac a daenellaf arnoch ddwfr
glân, fel y byddoch lân: oddiwrth
eich holl frynti, ac oddiwrth eich
holl eilunod, y glanhaf chwi.
26 A rhoddaf i chwi galon newydd,
ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch
mewn chwi; a thynaf y galon gareg
o'ch cnawd chwi, ac mi a roddaf i
chwi galon gig.
27 Rhoddaf hefyd fy ysbryd o'ch
mewn, a gwnaf i chwi rodio yn fy
neddfau, a chadw fy marnedigaeth-
au, a'*u* gwneuthur.
28 Cewch drigo hefyd yn y tir a

---

nid yn unig trwy eu gweithredoedd ysgeler, ond trwy fod yn achlysur i'r paganiaid hyny ei halogi a'i gablu; *pan ddywedid wrthynt*—gan y cenhedloedd hyny; *Dyma bobl yr Arglwydd*—y rhai a ymddiriedent yn ngallu a ffyddlondeb Jehofa; *ac o'i wlad ef yr aethant allan*—efe a fethodd eu cadw hwynt yn ei wlad, na'u gwaredu o'n dwylaw ni.

Adn. 21. *Er hyny arbedais hwynt*] Neu, 'mi a'u harbedaf,' adn. 24; *er mwyn fy enw santaidd*—sef er gogoniant i'm henw, trwy ddangos i'r cenhedloedd hyny fy mod yn alluog i'w gwaredu o'u dwylaw hwynt.

Adn. 22. *Am hyny dywed wrth dŷ Israel*] Eglura iddynt fy rheswm i dros eu harbed. *Nid er eich mwyn chwi*—nid am fod ynoch chwi ddim yn haeddu eich arbed yr wyf yn addaw gwneuthur hyny; *ond er mwyn fy enw santaidd*—i amddiffyn fy anrhydedd fy hun, yr hwn a geblir gan y cenhedloedd o'ch achos chwi, adn. 20.

Adn. 23. *A mi a santeiddiaf fy enw mawr*] Rhoddaf y fath brofion eglur o'm gallu a'm daioni, fel ag i amddiffyn fy anrhydedd o flaen eu llygaid hwynt; *fel y gwypo y cenhedloedd mai myfi yw yr Arglwydd*—y Duw hollalluog, daionus, a thrugarog; *pan ymsanteiddiwyf ynoch o flaen eich llygaid*—Saes., 'o flaen *eu* llygaid.' Yr oedd dychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon yn tynu sylw y cenhedloedd fel siampl hynod o allu, daioni, a ffyddlondeb Duw i'w bobl, nes yr oeddynt yn gorfod cyfaddef, 'Yr Arglwydd a wnaeth bethau mawrion i'r rhai hyn!' Salm cxxvi. 2.

Adn. 24. *Canys mi a'ch cymeraf chwi o fysg y cenhedloedd*] I blith pa rai y'ch gwasgarwyd, adn. 19; *ac a'ch dygaf i'ch tir eich hun*—sef i Judea, neu wlad Canaan. Cyflawnwyd hyn mewn rhan yn eu dychweliad o Babilon; ac fe'i cyflawnir yn llwyrach yn eu dygiad i *eglwys Crist* yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 25. *Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân, fel y byddoch lân*] Y mae yr ymadrodd hwn yn cyfeirio at y glanhad deddfol dan y gyfraith, yr hwn a wneid trwy daenelliad dwfr puredigaeth, Num. viii. 7, a xix. 13. Ond y glanhad a feddylir yma yw glanhad moesol, neu bureiddiad yr enaid oddiwrth euogrwydd a halogrwydd pechod trwy ddylanwadau santeiddiol yr Ysbryd Glân. *Oddiwrth eich holl frynti*—mewn calon a buchedd, neu 'oddiwrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd,' fel y mae yr apostol yn ei alw, 2 Cor. vii. 1. *Ac oddiwrth eich holl eilunod*—eich eilunaddoliaeth, neu eich tueddiadau at unrhyw beth arall a gerid genych yn fwy na Duw a'i grefydd. *Y glanhaf chwi*—y mae yr addewid hon i gael ei chyflawni yn y bywyd hwn, fel y mae yn eglur yn yr adnodau canlynol. Nid dwfr afon angau sydd i'n glanhau ni oddiwrth ein 'holl frynti,' ond 'gwaed Iesu Grist ei Fab ef, sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod,' 1 Ioan i. 7.

Adn. 26. *A rhoddaf i chwi galon newydd*] Neu anian ac egwyddor newydd, i garu yr hyn sydd dda, santaidd, ac ysbrydol; *ysbryd newydd hefyd a roddaf o'ch mewn chwi*—adnewyddaf eich meddwl, trwy oleuo eich deall, cywiro eich barn, ac ystwytho a choethi eich ewyllys, fel ag y bydd genych ysbryd newydd i ddylanwadu ar eich calon newydd: *a thynaf y galon gareg*—y galon oer, galed, a dideimlad at yr hyn sydd dda; *o'ch cnawd chwi*—allan o honoch chwi, fel na fydd y ddwy galon ynoch ar yr un pryd: *ac mi a roddaf i chwi galon gig*—calon dyner a theimladwy, yn caru ufyddhau i'm gorchymynion, yn ofni fy nigio, ac yn dwyn fy nelw i: gwel ar pen. xi. 19, Jer. xxxi. 33, a xxxii. 39.

Adn. 27. *Rhoddaf hefyd fy ysbryd o'ch mewn*] I'ch goleuo, eich dyddanu, eich tywys, a'ch santeiddio; *a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau*—nid o orfod, ond oddiar awydd a pharodrwydd meddwl; *a chadw fy marned-*

roddais i'ch tadau; a byddwch yn
bobl i mi, a minau a fyddaf Dduw
i chwithau.
29 Achubaf chwi hefyd oddiwrth
eich holl aflendid; a galwaf am yr
ŷd, ac a'i hamlhaf, ac ni roddaf ar-
noch newyn.
30 Amlhaf hefyd ffrwyth y coed,
a chynyrch y maes, fel na ddygoch
mwy waradwydd newyn yn mysg y
cenhedloedd.
31 Yna y cofiwch eich ffyrdd
drygionus, a'ch gweithredoedd nid
oeddynt dda, a byddwch yn ffiaidd
genych eich hunain, am eich han-
wireddau ac am eich ffieidd-dra.
32 Nid er eich mwyn chwi yr yd-
wyf fi yn gwneuthur *hyn*, medd yr
Arglwydd Dduw; bydded hysbys i
chwi: tŷ Israel, gwridwch a chy-
wilyddiwch am eich ffyrdd eichhun.
33 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Yn y dydd y glanhawyf
chwi o'ch holl anwireddau, y paraf
hefyd i *chwi* gyfaneddu y dinasoedd,
ac yr adeiledir yr annghyfanedd-
leoedd.
34 A'r tir anrheithiedig a goledd-
ir, lle y bu yn anrhaith yn ngolwg
pob cyniweirydd.
35 A hwy a ddywedant, Y tir an-
rheithiedig hwn a aeth fel gardd
Eden, a'r dinasoedd annghyfanedd,
ac anrheithiedig, a dinystriol, *a
aethant* yn gaerog, *ac* a gyfaneddir.
36 Felly y cenhedloedd y rhai a
weddillir o'ch amgylch, a gânt wy-
bod mai myfi yr Arglwydd sydd yn
adeiladu y lleoedd dinystriol, *ac* yn
planu *eich manau* anrheithiedig:
myfi yr Arglwydd a'*i* llefarais, ac
a'*i* gwnaf.
37 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw, Ymofynir â myfi eto gan dŷ
Israel, i wneuthur *hyn* iddynt; aml-
haf hwynt â dynion fel praidd.

---

*igaethau* — oddiar hyfrydwch calon; *a'u gwneuthur*—yn gyflawn ac yn barhaus.

Adn. 28. *Cewch drigo hefyd yn y tir a roddais i'ch tadau*] Sef yn Nghanaan. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol ar eu dychweliad o Babilon; ac yr oedd hyny yn gysgod o'u dychweliad i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf. Tybia rhai fod hyn yn addewid y dychwelir yr holl Iuddewon i Ganaan eto mewn rhyw amser dyfodol; ond yr wyf fi yn meddwl mai cyfeiriad yn unig at eu dychweliad hwy yno yn amser Cyrus sydd yma, ac yn yr holl ysgrythyrau cyfredol; neu ynte, mai addewidion ysbrydol a wneir iddynt yma dan y gyffelybiaeth o fendithion tymhorol, yr hyn sydd beth tra mynych yn ysgrifeniadau y proffwydi: gwel ar Jer. xxx. 3. *A byddwch yn bobl i mi*—yn ymddiried ynof, yn fy ngharu, a'm gwasanaethu i yn unig; *a minau a fyddaf Dduw i chwithau*—i'ch amddiffyn, eich bendithio, a'ch anrhydeddu: gwel ar Heb. viii. 9, 10.

Adn. 29. *Achubaf chwi hefyd*] Hyny yw, parhaf i'ch achub; *oddiwrth eich holl aflendid*—oddiwrth yr euogrwydd a'r halogrwydd o hono, a'r gosp am dano; *a galwaf am yr ŷd, &c.*—bendithiaf chwi âg angenrheidiau tymhorol, yn gystal ag â doniau ysbrydol.

Adn. 30. *Amlhaf hefyd ffrwyth y coed, a chynyrch y maes*] Sef pob ffrwyth angenrheidiol er eich cynaliaeth a'ch cysur; *fel na ddygoch mwy waradwydd newyn* — sef y gwaradwydd o newynu mewn gwlad ag ydoedd mor enwog am ei ffrwythlondeb.

Adn. 31. *Yna y cofiwch eich ffyrdd drygionus*] Y rhai a ddygasant arnoch newyn, haint, a chleddyf; *a byddwch yn ffiaidd genych eich hunain*—wrth feddwl ddarfod i'ch pechodau fod yn achos o'r fath drallodau i chwi, a dianrhydedd i Dduw. Fel hyn, er fod Duw wedi maddeu iddynt, byddent hwy fel yn methu maddeu iddynt eu hunain.

Adn. 32. *Nid er eich mwyn chwi yr ydwyf fi yn gwneuthur hyn*] Ond er mwyn fy enw santaidd fy hun, adn. 22; *bydded hysbys i chwi*—bydded hyny yn hysbys i chwi, fel y mawrhaoch fy ngras a'm daioni i tuag atoch. *Tŷ Israel, gwridwch a chywilyddiwch am eich ffyrdd eich hun*—y rhai a haeddasant fy nialedd i, ac nid fy nhrugaredd.

Adn. 33. *Yn y dydd y glanhawyf chwi o'ch holl anwireddau*] Gwel ar adn. 25; *y paraf hefyd i chwi gyfaneddu y dinasoedd*—y rhai a ddrylliwyd gan y Caldeaid yn Judea. Fel hyn estynid iddynt fendithion ysbrydol a thymhorol ar unwaith.

Adn. 34. *A'r tir anrheithiedig a goleddir*] A ddiwyllir neu a amaethir, fel y cynyrcho ffrwyth toreithiog, adn. 9; *lle y bu yn anrhaith*—wedi ei adael yn wyllt, heb ei drin am flynyddau.

Adn. 35. *A hwy a ddywedant*] Sef y rhai a elent heibio, ac a ryfeddent gynt wrth anrheithiad y tir; *Y tir anrheithiedig hwn a aeth fel gardd Eden*—o ran hyfrydwch a ffrwythlondeb: *a'r dinasoedd* — y rhai a ddrylliesid gan y gelyn; *a aethant yn gaerog*—codwyd muriau cedyrn o'u hamgylch; *ac a gyfaneddir*—mewn heddwch a diogelwch.

Adn. 36. *Felly y cenhedloedd y rhai a weddillir o'ch amgylch*] Y rhai a fyddent heb eu dyfetha gan y gelyn cyffredinol: *a gânt wybod mai myfi yr Arglwydd sydd yn adeiladu, &c.*—mai fy ngwaith i yw yr holl ddiwygiadau a wnaed yn y wlad.

Adn. 37. *Ymofynir â myfi eto gan dŷ Israel, i wneuthur hyn iddynt*] Er i Dduw addaw gwneuthur hyn oll iddynt yn rhad, ac

38 Fel y praidd santaidd, fel
praidd Jerusalem yn ei huchel-wyl-
iau, felly y dinasoedd annghyfan-
edd fyddant lawn o finteioedd o
ddynion; fel y gwypont mai myfi
*yw* yr Arglwydd.

## PENNOD XXXVII.

BU llaw yr Arglwydd arnaf, ac
a'm dyg allan yn ysbryd yr Ar-
glwydd, ac a'm gosododd yn
nghanol dyffryn, a hwnw *oedd* yn
llawn esgyrn.
2 Ac efe a wnaeth i mi fyned
heibio idddynt o amgylch ogylch:
ac wele *hwynt* yn aml iawn ar wyn-
eb y dyffryn; wele hefyd sychion
iawn *oeddynt*.
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn
hyn? A mi a ddywedais, O Ar-
glwydd Dduw, ti a'*i* gwyddost.
4 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Proffwyda am yr esgyrn hyn, a
dywed wrthynt, O esgyrn sychion,
clywch air yr Arglwydd.
5 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw wrth yr esgyrn hyn; Wele fi
yn dwyn anadl i'ch mewn, fel y
byddoch byw.
6 Gïau hefyd a roddaf arnoch, a

---

er mwyn ei enw santaidd ei hun, eto efe a fynai iddynt hwy ofyn am danynt ganddo ef mewn gweddi, i ddangos eu bod yn eu gwerthfawrogi. *Amlhaf hwynt*—sef dinasoedd Judea, *â dynion fel praidd*—neu ddeadell luosog o ddefaid, adn. 10.

Adn. 38. *Fel y praidd santaidd*] Neu braidd yn cael eu bwriadu i ddyben santaidd, sef i fod yn ebyrth; *fel praidd Jerusalem yn ei huchel-ŵyliau*—dywedir i 255,000 o ŵyn gael eu haberthu mewn un flwyddyn yn Jerusalem ar ŵyl y pasc; (gwel ar Num. xxix. 12, &c.;) *felly y dinasoedd annghyfanedd fyddant lawn o finteioedd o ddynion*—a'r rhai hyny yn wir addolwyr Duw; *fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—dyben mawr yr holl drugareddau uchod oedd dwyn dynion i gydnabod mawredd Duw, a'i ogoneddu ef. Gall fod yr hyn a ddywedir yn yr adnod hon yn cyfeirio at amledd y cynulleidfaoedd eglwysig yn mhob cwr o'r byd yn amser y milflwyddiant. Tybia *Clarke* fod y bennod brydferth hon yn cyfeirio nid at yr adferiad o gaethiwed Babilon, ond at y waredigaeth ysbrydol dan y cyfammod newydd trwy Iesu Grist; ac efe a chwanega, 'Nid oes un cyfnod o'r hanesiaeth Iuddewig, o'r pryd hyny hyd yn awr, at ba un y gellir ei chymhwyso: rhaid ei bod yn perthyn i *oruchwyliaeth yr efengyl*.'

PEN. XXXVII. Adn. 1. *Bu llaw yr Arglwydd arnaf*] Fel yn y dechre, pen. i. 3; *ac a'm dyg allan yn ysbryd yr Arglwydd*—neu '*gan* Ysbryd yr Arglwydd;' *ac a'm gosododd yn nghanol dyffryn*—felly yr ymddanghosai iddo ef yn ei weledigaeth, er na symudwyd ef mewn gwirionedd o'r fan lle yr ydoedd, pen. viii. 3; *a hwn oedd yn llawn esgyrn*—sef esgyrn dynion fel wedi eu lladd mewn rhyfel, a'u gadael ar wyneb y ddaear heb eu claddu, nes yr oedd y cnawd wedi ei ddifa oddiarnynt, a'r mêr wedi darfod o'u mewn. Ymddengys mai prif amcan y broffwydoliaeth hon oedd dangos cyflwr truenus yr Iuddewon yn Babilon, a'u hadferiad hwy oddiyno, adn. 11, &c. Ond heblaw hyny, ystyrir y weledigaeth hon gan lawer fel arddanghosiad grymus o dri math o *adgyfodiad:* (1) Adgyfodiad eneidiau o farwolaeth pechod i fuchedd cyfiawnder, trwy nerth dwyfol ras yn dylyn gair Crist, Ioan v. 24, 25. (2) Adgyfodiad yr eglwys, neu ryw gangen o honi, o gyflwr marwaidd a difywyd, i gyflwr o fywiogrwydd, gweithgarwch, a llwyddiant. (3) Adgyfodiad y corff yn y dydd olaf, yn enwedig cyrff credinwyr, i fuchedd dragwyddol.

Adn. 2. *Ac efe a wnaeth i mi fyned heibio iddynt o amgylch ogylch*] I gael golwg lawn arnynt oll: *ac wele hwynt yn aml iawn ar wyneb y dyffryn*—fel pe buasai brwydr waedlyd wedi bod yno rywbryd cyn hyny; *wele hefyd sychion iawn oeddynt*—ar ol bod yn gorwedd yn agored i'r gwynt a'r gwres am hir amser, ac yn ysglyfaeth i fwystfilod ac adar yr awyr.

Adn. 3. *Ha fab dyn, a fydd byw yr esgyrn hyn?*] A oes rhyw debygolrwydd, yn ol dy feddwl di, y bydd i hyny gymeryd lle rywbryd? *O Arglwydd Dduw, ti a'i gwyddost*—fel pe dywedasai, Hwy a fyddant byw os bydd i ti ewyllysio hyny; ond pa un a fydd i ti ei ewyllysio ai peidio, sydd hysbys i ti yn unig. Y mae amheuaeth y proffwyd ar y pen hwn yn brawf ei fod ef yn credu yn y *posibilrwydd* o'r peth, os byddai i Dduw weled yn dda arferyd ei allu mawr; pe amgen buasai yn dywedyd ar unwaith na byddent byw: ond ni wyddai efe eto a fyddai i Dduw arferyd y gallu hwnw ar eu rhan hwy ai peidio.

Adn. 4. *Proffwyda am yr esgyrn hyn*] Neu '*uwchben* yr esgyrn hyn;' *a dywed wrthynt*—trwy fy awdurdod i; *O esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd*—er na allasai yr esgyrn hyn glywed gair y proffwyd, eto hwy a allasent glywed gair yr Arglwydd, yr un modd a'r meirwon yn more yr adgyfodiad.

Adn. 5. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw wrth yr esgyrn hyn*] Yr hwn a gymerai y gwaith o'u bywhau i'w law ei hun trwy ei Ysbryd: *Wele fi yn dwyn anadl i'ch mewn, fel y byddoch byw*—yr oedd yr un mor hawdd i Dduw anadlu bywyd i'r rhai hyn yn awr, ag a ydoedd iddo anadlu bywyd i Adda ar y cyntaf, Gen. ii. 7.

Adn. 6. *Gïau hefyd a roddaf arnoch*]

pharaf i gig gyfodi arnoch, gwisgaf
chwi hefyd â chroen, a rhoddaf an-
adl ynoch; fel y byddoch byw, ac
y gwypoch mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd.
7 Yna y proffwydais fel y'm gor-
chymynasid; ac fel yr oeddwn yn
proffwydo, bu swn, ac wele gy-
nhwrf, a'r esgyrn a ddaethant yn
nghyd, asgwrn at ei asgwrn.
8 A phan edrychais, wele cyfod-
asai gïau a chig arnynt, a gwisgas-
ai croen am danynt; ond nid *oedd*
anadl ynddynt.
9 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Proffwyda tua'r gwynt, proffwyda,
fab dyn, dywed wrth y gwynt, Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw;
O anadl, tyred oddiwrth y pedwar
gwynt, ac anadla ar y lladdedigion
hyn, fel y byddont byw.
10 Felly y proffwydais fel y'm
gorchymynasid; a'r anadl a ddaeth
ynddynt, a buant fyw, a safasant ar
eu traed, yn llu mawr iawn.
11 ¶ Yna y dywedodd wrthyf,
Ha fab dyn, yr esgyrn hyn ydynt
dŷ Israel oll: wele, dywedant, Ein
hesgyrn a wywasant, a'n gobaith a
gollodd; torwyd ni ymaith o'n rhan
ni.
12 Am hyny proffwyda, a dywed

---

Gewynau neu gyhyrau, i gysylltu yr esgyrn wrth eu gilydd; *a pharaf i gig gyfodi arnoch*—neu gnawd ar yr esgyrn hyny; *gwisgaf chwi hefyd â chroen*—yn orchudd dros y cwbl; *a rhoddaf anadl ynoch*—fel y byddoch yn ddynion byw; *ac y gwypoch mai myfi yw yr Arglwydd*—yr hwn a wnaethym hyn oll i chwi: gwel ar adn. 10.

Adn. 7. *Yna y proffwydais fel y'm gorchymynasid*] Gan adael y canlyniad oll i Dduw. *Ac fel yr oeddwn yn proffwydo*—neu yn gwaeddi uwch eu penau, 'O esgyrn sychion, clywch air yr Arglwydd!' adn. 4; *bu swn, ac wele gynhwrf*—y fath ag a achosid trwy symudiad yr esgyrn priodol at eu gilydd i ffurfio ysgerbwd perffaith, yr hyn oedd yn brawf fod nerth dwyfol yn dylyn lleferydd y proffwyd.

Adn. 8. *A phan edrychais*] Arnynt eilwaith, canys gallwn feddwl fod y proffwyd yn edrych i fyny at Dduw tra yr oedd yn proffwydo; *wele cyfodasai gïau a chig arnynt, a gwisgasai groen am danynt*—nes yr oedd yr esgyrn sychion wedi dyfod yn gyrff lluniaidd. *Ond nid oedd anadl ynddynt*—neu 'ysbryd;' hyny yw, nid oedd un enaid ynddynt eto i fywhau y corff.

Adn. 9. *Ac efe a ddywedodd wrthyf, Proffwyda tua'r gwynt*] Neu 'tua'r ysbryd,' sef Ysbryd bywhaol Duw, yr hwn sydd yn rhoddi bywyd i bob un a'i meddianno. *Dywed wrth y gwynt*—hyny yw, gweddia am i'r Ysbryd hwn, trwy fy awdurdod i, fywhau y lladdedigion hyn. *O anadl* — O Ysbryd Glân, *tyred oddiwrth y pedwar gwynt*—hyny yw, cynull yr Iuddewon o wahanol barthau y *byd* lle y gwasgarwyd hwynt; neu tyred yn *amlder* dy nerth bywhaol; *ac anadla ar y lladdedigion hyn, fel y byddont byw*—fel y byddont yn ddynion byw, neu fel y caffont fyw drachefn yn eu gwlad eu hunain mewn pob cysur a duwioldeb.

Adn. 10. *Felly y proffwydais fel y'm gorchymynasid*] Hyny yw, efe a *weddiodd* am i Ysbryd Duw eu bywhau hwynt. Gwelsom yn y sylw ar Num. xi. 25, mai un ystyr i'r gair 'proffwydo,' yw 'gweddio.' *A'r anadl a ddaeth ynddynt*—neu yr 'ysbryd,' adn. 8; *a buant fyw*—oll gyda'u gilydd ar yr un pryd; *a safasant ar eu traed, yn llu mawr iawn*—nid yn unig yn ddynion *byw*, ond yn *fyddin* luosog, alluog i ryfel. Tybia *Keith* ac ereill fod cyflwr presenol yr Iuddewon yn cyfateb i'r darluniad yn adn. 7, 8. Y mae swn a chynhwrf yn eu plith, gïau a chig yn dechreu cyfodi arnynt, er nad oes eto anadl ynddynt. Dywedir eu bod mewn rhai parthau wedi rhoddi i fyny ddysgwyl am y MESSIA, a'u bod yn cadw y dydd cyntaf o'r wythnos yn sabboth fel ninau. Y mae miloedd o honynt yn gwrthod traddodiadau yr henafiaid, ac yn teimlo rhyw ddiffyg a gwagder yn yr hen grefydd Iuddewig, ac yn caniatâu i'w plant gael eu hofforddi yn nghrefydd y Testament Newydd. Fel hyn y mae *swn* a *chynhwrf* yn eu mysg, ac *asgwrn* fel yn dechreu dyfod *at ei asgwrn;* a'n dyledswydd ninau yw gweddio yn barhaus, 'O anadl, tyred!' Bernir fod nifer yr holl Iuddewon trwy y byd oddeutu saith miliwn; a phan dderbynir hwynt oll i'r eglwys Gristionogol, gallwn ofyn yn ngeiriau yr apostol, 'Beth fydd eu derbyniad hwy ond bywyd o feirw?' Rhuf. xi. 15. Ond tybia *Clarke* fod hyn oll yn cyfeirio at *dri* chyfnod perthynol i ddychweliad yr Iuddewon o *Babilon:* (1) Cyhoeddiad *Cyrus* i'w rhyddhau, yr hyn a barodd *swn* a *chynhwrf* yn mhlith y bobl, fel ag y darfu i'r gwahanol *ddinasoedd* ddechreu nesâu at eu gilydd i ymbarotoi i fyned i Judea, Ezra i. 2, 3. Ond ar ol cyraedd yno, a dechreu ailadeiladu y deml, gorfu iddynt roddi heibio y gwaith hwnw am dymhor. (2) Gorchymyn *Darius*, yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad, Ezra iv. 24, yr hwn a symudodd y rhwystrau a daflwyd yn ffordd yr Iuddewon, Ezra vi. 6, &c. (3) Cenadwri *Nehemiah*, gyda llythyrau oddiwrth Artaxerxes i beri gorphen adeiladu y deml a'r ddinas, Neh. ii. 7, &c. Y pryd hyny daeth yr Iuddewon yn *llu mawr iawn*, yn ddigon cryf i'w hamddiffyn eu hunain a'r ddinas yn erbyn pob ymosodiad o eiddo eu gelynion.

Adn. 11. *Yna y dywedodd wrthyf*] Mewn ffordd o eglurhad ar y weledigaeth; *Ha fab dyn, yr esgyrn hyn ydynt dŷ Israel oll*—yn eu cyflwr trallodus presenol yn Babilon. *Wele,*

wrthynt, Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Wele fi yn agori
eich beddau, fy mhobl, codaf chwi
hefyd o'ch beddau, a dygaf chwi i
dir Israel.
13 A chewch wybod mai myfi *yw*
yr Arglwydd, pan agorwyf eich
beddau, a phan gyfodwyf chwi i
fyny o'ch beddau, fy mhobl,
14 Ac y rhoddwyf fy ysbryd yn-
och, ac y byddoch byw, ac y gosod-
wyf chwi yn eich tir eich hun: yna
y cewch wybod mai myfi yr Ar-
glwydd a lefarais, ac a wnaethym
*hyn*, medd yr Arglwydd.
15 ¶ A gair yr Arglwydd a
ddaeth ataf, gan ddywedyd,
16 Tithau fab dyn, cymer it' un
pren, ac ysgrifena arno, I Juda, ac
i feibion Israel ei gyfeillion. A
chymer it' bren arall, ac ysgrifena
arno, I Joseph, pren Ephraim, ac *i*
holl dŷ Israel ei gyfeillion:
17 A chydia hwynt y naill wrth
y llall yn un pren i ti; fel y bydd-
ont yn un yn dy law di.
18 ¶ A phan lefaro meibion dy
bobl wrthyt, gan ddywedyd, Oni
fynegi i ni beth *yw* hyn genyt?
19 Dywed wrthynt, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Wele
fi yn cymeryd pren Joseph, yr hwn
*sydd* yn llaw Ephraim, a llwythau
Israel ei gyfeillion, a mi a'u rhoddaf
hwynt gydag ef, *sef* gyda phren
Juda, ac a'u gwnaf hwynt yn un
pren, fel y byddont yn fy llaw yn
un.
20 ¶ A bydded yn dy law o flaen
eu llygaid hwynt, y prenau yr ys-
grifenych arnynt;
21 A dywed wrthynt, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw, Wele fi
yn cymeryd meibion Israel o fysg
y cenhedloedd yr aethant atynt, ac
mi a'u casglaf hwynt o amgylch,

---

*dywedant, Ein hesgyrn a wywasant*—neu a sychasant i fyny; *a'n gobaith a gollodd*—am fyned byth oddiyma: *torwyd ni y naith o'n rhan ni*—oddiwrth ein holl etifeddiaethau, ein breintiau, a'n cysuron, nes yr ydym fel dynion meirwon.

Adn. 12. *Am hyny proffwyda, a dywed wrthynt*] I gysuro y bobl drallodus hyn; *Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*—sef eich Duw cyfammodol chwi, yr hwn sydd fyth yn eich arddel fel ei 'bobl.' *Wele fi yn agori eich beddau*—er fod eich caethiwed yn fath ar farwolaeth, a'ch carcharau mor gauedig a beddau, eto mi a agoraf y beddau hyny; *codaf chwi hefyd o'ch beddau*—ar ol i'm Hysbryd eich bywhau; *a dygaf chwi i dir Israel*—i fwynhau eich rhyddid a'ch breintiau blaenorol. Gelwir tir Israel yn 'dir y rhai *byw*,' pen. xxvi. 20.

Adn. 13. *A chewch wybod mai myfi yw yr Arglwydd*] Y Duw hollalluog, a ffyddlon i'm haddewidion; *pan agorwyf eich beddau, &c.*—pan ddygwyf chwi o gaethiwed Babilon, i fyw yn gysurus yn eich gwlad eich hunain.

Adn. 14. *Ac y rhoddwyf fy ysbryd ynoch*] Nid yn unig i'ch galluogi i ddychwelyd i Judea, ond hefyd i fod ynoch yn 'Ysbryd santeiddiad,' ac yn 'Ysbryd gras a gweddiau:' gwel ar pen. xxxvi. 27. *Yna y cewch wybod mai myfi yr Arglwydd a lefarais ac a wnaethym hyn*—mai myfi a addewais y pethau hyn i chwi, ac a gyflawnais fy addewid; yr hyn a genhedlai ynddynt hwy barch a diolchgarwch gwresog iddo ef fel Duw y gwirionedd.

Adn. 15. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yn ebrwydd ond odid ar ol iddo ddadebru o'r weledigaeth uchod.

Adn. 16. *Tithau fab dyn, cymer it' un pren*] Neu wialen; *ac ysgrifena arno*—meddylir fod yma gyfeiriad at Num. xvii. 2, lle y gorchymynir i Moses gymeryd deuddeg gwialen, un am bob llwyth, ac ysgrifenu enw y llwyth ar y wialen. *I Juda, ac i feibion Israel ei gyfeillion*—sef llwyth Benjamin, a rhan o lwyth Lefi, y rhai a ymlynasant wrth Juda. *A chymer it' bren arall*—yr un fath a'r cyntaf; *ac ysgrifena arno, I Joseph, pren Ephraim, ac i holl dŷ Israel ei gyfeillion*—sef y deg llwyth, y rhai a ymadawsant â brenhiniaeth Juda yn amser Jeroboam. Pan fforffetiodd Reuben ei enedigaeth-fraint, rhoddwyd hi i feibion Joseph, o'r rhai y cafodd Ephraim y flaenoriaeth, Gen. xlviii. 20, 1 Cron. v. 1; yr hyn a barodd iddo ef gael ei gyfrif fel pen y deg llwyth. Yr oedd Samaria hefyd, eisteddle y frenhiniaeth, yn sefyll yn rhandir Ephraim; ac yr oedd Jeroboam, brenin cyntaf y deg llwyth, yn perthyn i lwyth Ephraim.

Adn. 17. *A chydia hwynt y naill wrth y llall yn un pren i ti*] I fod yn arwydd o uniad y ddwy frenhiniaeth dan un llywodraethwr. Yr oedd y deg llwyth wedi eu caethgludo gan frenin Assyria yn hir cyn hyn; ond yr oedd yr Arglwydd o hyd yn meddwl am danynt, i'w cael yn ol.

Adn. 18. *A phan lefaro meibion dy bobl wrthyt*] I ofyn beth y mae uniad y ddau bren hyny yn ei arwyddo.

Adn. 19. *Dywed wrthynt*] Oddiwrthyf fi; *Wele fi yn cymeryd pren Joseph, yr hwn sydd yn llaw Ephraim*—ac yn arddangos y deg llwyth; *a mi a'u rhoddaf hwynt gydag ef*—sef gyda phren Juda, fel y byddont yn un pren, neu yn arddanghosiad o un frenhiniaeth.

Adn. 20. *A bydded yn dy law o flaen eu llygaid*] Yn arwydd gweledig iddynt o wirionedd yr hyn yr wyf ar fedr ei wneuthur.

Adn. 21. *Wele fi yn cymeryd meibion Is-*

ac a'u dygaf hwynt i'w tir eu hun.
22 A gwnaf hwynt yn un genedl
o fewn y tir yn mynyddoedd Israel,
ac un brenin fydd yn frenin iddynt
oll: ni byddant hefyd mwy yn ddwy
genedl, ac ni renir hwynt mwyach
yn ddwy frenhiniaeth:
23 Ac ni ymhalogant mwy wrth
eu heilunod, na thrwy eu ffieidd-
dra, nac yn eu holl anwireddau:
eithr cadwaf hwynt o'u holl drigfa-
on, y rhai y pechasant ynddynt, a
mi a'u glanhaf hwynt; fel y bydd-
ont yn bobl i mi, a minau a fyddaf
yn Dduw iddynt hwythau.
24 A'm gwas Dafydd *fydd* brenin
arnynt; ïe, un bugail fydd iddynt
oll: yn fy marnedigaethau hefyd y
rhodiant, a'm deddfau a gadwant,
ac a wnant.
25 Trigant hefyd yn y tir a rodd-
ais i'm gwas Jacob, yr hwn y trig-
odd eich tadau ynddo; a hwy a
drigant ynddo, hwy a'u meibion, a
meibion eu meibion byth; a Da-
fydd fy ngwas *fydd* dywysog idd-
ynt yn dragywydd.
26 Gwnaf hefyd â hwynt gyfam-
mod hedd; ammod tragwyddol a
fydd â hwynt: a gosodaf hwynt, ac
a'u hamlhaf, a rhoddaf fy nghysegr
yn eu mysg hwynt yn dragywydd.
27 A'm tabernacl fydd gyda hwynt;
ïe, myfi a fyddaf iddynt yn Dduw, a
hwythau a fyddant i mi yn bobl.
28 A'r cenhedloedd a gânt wybod
mai myfi yr Arglwydd sydd yn
santeiddio Israel; gan fod fy nghy-
segr yn eu mysg hwynt yn dragy-
wydd.

---

*rael o fysg y cenhedloedd*] Yn holl leoedd eu gwasgariad; *ac a'u dygaf hwynt i'w tir eu hun*—trwy rym a rhinwedd fy nghyfammod.

Adn. 22. *A gwnaf hwynt yn un genedl*] Dan un llywydd cyffredinol. Cyflawnwyd hyn mewn rhan ar eu dychweliad o Babilon, pryd y darfu i *lawer o'r deg llwyth* ymuno â Juda a Benjamin, a dyfod yn un genedl dan y tywysog Zorobabel; ond fe'i cyflawnir yn llwyrach pan eu hunir yn un eglwys Gristionogol dan deyrnasiad ysbrydol y Messia: gwel ar Esay xi. 13, Jer. l. 4, Hos. i. 11, a iii. 5, Zeph. iii. 9. Y mae yn debyg i'r *gweddill* o'r deg llwyth ymbriodi ac ymgymysgu â'r cenhedloedd, a'u bod trwy hyny wedi eu colli am byth oddiwrth y posibilrwydd o wahaniaethiad.

Adn. 23. *Ac ni ymhalogant mwy wrth eu heilunod*] Yr hyn ni wnaethant byth ar ol y caethiwed Babilonaidd; *eithr cadwaf hwynt o'u holl drigfaon*—achubaf hwynt allan o'u trigfanau, lle y buont yn ymdroi mewn pechodau; *a mi a'u glanhaf hwynt*—trwy waed Crist, a santeiddiad yr Ysbryd Glân; *fel y byddont yn bobl i mi, &c.*—gwel ar pen xxxvi. 28.

Adn. 24. *A'm gwas Dafydd fydd brenin arnynt*] Yn teyrnasu yn ysbrydol ar eu calonau a'u bucheddau; *ïe, un bugail fydd iddynt oll*—sef Crist, y Bugail da, a Brenin Seion: gwel ar pen. xxxiv. 23, 24. *Yn fy marnedigaethau hefyd y rhodiant*—gwel ar pen. xxxvi. 27.

Adn. 25. *Trigant hefyd yn y tir a roddais i'm gwas Jacob*] Sef tir Canaan: gwel ar pen. xxviii. 25, 26. *Yr hwn y trigodd eich tadau ynddo*—yr hyn a'i gwnai ef yn fwy dymunol yn eu golwg. *A hwy a drigant ynddo, hwy a'u meibion, a meibion eu meibion byth*—cesglir yn gyffredin oddiyma y bydd i'r Iuddewon gael eu dwyn yn ol i'w gwlad yn y dyddiau diweddaf, ac aros ynddi byth; ac y mae hyny yn debyg, os deallwn y geiriau yn eu hystyr llythyrenol. Eithr nid yw y geiriau, 'a meibion eu meibion byth,' mewn unrhyw un o'r copïau Groeg; ac yn eu lle, mewn rhai o honynt, ceir 'yn y *tabernacl*, neu y *cysegr*.' Ond y mae llawer yn meddwl, a hyny gyda mwy o sail i'm tyb i, mai *eglwys Crist* a olygir yma, dan y gyffelybiaeth o wlad Canaan: gwel ar pen. xxxvi. 28. Gellir dywedyd am hon fod eu tadau wedi *trigo ynddi*, trwy eu bod yn aelodau o'r eglwys Iuddewig; canys *un* yw yr eglwys dan bob goruchwyliaeth, yn y byd hwn ac yn y nef: ïe, pan ddychwelir yr Iuddewon i eglwys Crist, fe'u 'himpir i mewn yn eu holewwydden eu hun:' gwel ar Rhuf. xi. 17, 18, 24. *A Dafydd fy ngwas fydd dywysog iddynt yn dragywydd*—fel Brenin ysbrydol ei eglwys.

Adn. 26. *Gwnaf hefyd â hwynt gyfammod hedd*] Dan yr hwn y byddai Crist, 'Tywysog tangnefedd,' yn Gyfryngwr; neu byddai i Dduw ymheddychu âg Israel trwy Grist, yr hwn yw ein 'tangnefedd ni.' Eph. ii. 14: gwel ar pen. xxxiv. 25. *Ammod tragwyddol a fydd â hwynt*—ni ddiddymir y cyfammod hwn, neu ni ddylynir ef gan oruchwyliaeth arall. *A gosodaf hwynt, ac a'u hamlhaf*—sefydlaf hwynt yn fy nghyfammod, ac amlhaf eu nifer a'u breintiau; neu, fel y mae y Galdeaeg yn ei ddarllen, '*bendithiaf* hwynt, ac a'u hamlhaf.' *A rhoddaf fy nghysegr yn eu mysg hwynt yn dragywydd*—sef yr eglwys Gristionogol a'i hordinhadau, o'r hon yr oedd y cysegr yn Jerusalem yn gysgod.

Adn. 27. *A'm tabernacl fydd gyda hwynt*] Sef fy addoliad a'm hordinhadau ysbrydol: *ïe, myfi a fyddaf iddynt yn Dduw, &c.*—gwel ar pen. xxxvi. 28.

Adn. 28. *A'r cenhedloedd*] Trwy yr holl ddaear; *a gânt wybod mai myfi yr Arglwydd sydd yn santeiddio Israel*—sydd yn eu neillduo yn bobl briodol i mi fy hun, ac yn eu glanhau oddiwrth eu heilunod a'u holl anwireddau, adn. 23; *gan fod fy nghysegr yn*

## PENNOD XXXVIII.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

2 Gosod dy wyneb, fab dyn, yn erbyn Gog, tir Magog, pen-tywysog Mesech a Thubal, a phroffwyda yn ei erbyn,

---

*eu mysgfhwynt yn dragywydd*—sef fy addoliad, fy ordinhadau, a'm hiachawdwriaeth.

PEN. XXXVIII. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth ataf*] Yn ebrwydd ond odid ar ol yr hyn a adroddwyd uchod.

Adn. 2. *Gosod dy wyneb, fab dyn, yn erbyn Gog, tir Magog*] Yn Gen. x. 2, cawn fod ail fab Japheth yn cael ei alw *Magog;* ond ymddengys fod Ezeciel yma yn defnyddio y gair fel enw y *wlad* ag yr oedd *Gog* yn dywysog iddi. Ond pwy a feddylir wrth *Gog* a *Magog?* Ar y pen hwn y mae amrywiol farnau, o'r rhai y nodwn ychydig: (1) Tybia *Michaelis* fod yr ymadrodd yn dynodi y parthau eang hyny o du y gogledd i'r India a China, y rhai a eilw y Groegiaid SCYTHIA, ac a alwn ninau TARTARY, yn nghyda'u trigolion. Tybia *Houbigant* hefyd fod y proffwyd yma yn meddwl y SCYTHIAID, y rhai ydynt hiliogaeth Magog mab Japheth, a chymydogion pa rai yw pobl *Rosh*, *Mesech*, a *Thubal*, sef y *Rwssiaid*, y *Muscofiaid*, a'r *Tibareniaid* neu y *Cappadociaid;* ac fel hyn eu deallir gan *Theodoret* a *Josephus*, yn nghydag amrai esbonwyr diweddar. Dywed *Boothroyd* mai *Gog* oedd enw cyffredin brenhinoedd *Scythia.* (2) Tybia *Gill*, *Scott*, ac amrai ereill, mai y TYRCIAID a olygir, y rhai yr addefir yn gyffredin eu bod wedi hànu oddiwrth y Scythiaid; 'a diamau,' meddai *Starkius*, 'mai *Caercystenyn* yw prifddinas Gog.' (3) Y mae y Syriaid yn galw *Scythopolis* a *Hierapolis*, sef y dinasoedd a gymerwyd gan y Scythiaid pan y gorchfygasant eu gwlad hwy, yn *Magog;* ac y mae yr Arabiaid yn galw mur mawr *China* yn *Sud Yagog et Magog*, neu 'glawdd pridd Gog a Magog.' (4) Barna *Mede* mai yr AMERICANIAID a feddylir, y rhai y dywedir iddynt ddeilliaw yn wreiddiol oddiwrth y Scythiaid. (5) Dywed *Martin* mai ANTIOCHUS EPIPHANES, gelyn mawr yr Iuddewon, am yr hwn y darllenwn yn 1 *Mac* i. 10, &c., yw *Gog*, ac mai SYRIA yw *Magog;* a thybia *Calmet* mai CAMBYSES, brenin *Persia*, a feddylir; tra y barna *Clarke* y rhaid ei fod ef yn un o'r ddau hyn, gan roddi y flaenoriaeth i'r cyntaf. Nid yw yn debyg mai brenin *Persia* a olygir, gan y sonir am y *Persiaid* fel cynorthwywyr Gog, adn. 5. (6) Tybia *Cocceius* mai yr ANNGHRIST RHUFEINIG a olygir; tra yr haera *Rabbi Kimchi* mai y CRISTIONOGION a'r MAHOMETANIAID a feddylir, y rhai a geisiant adfeddiannu Canaan oddiar yr Iuddewon. (7) Tybia *Vitringar* ac ereill, mai rhyw ELYNION o'r un nodweddiad a'r hen genhedloedd a enwir yn y broffwydoliaeth hon, a feddylir, y rhai nas gellir penderfynu yn iawn pwy ydynt. Y mae hyn yn ddigon i ddangos yr annghytundeb mawr a ffyna yn mhlith awduron hen a diweddar ar y pen hwn. *Pen-tywysog Mesech a Thubal*—hyny yw, 'brenin neu benaeth yr holl genhedloedd gogleddol hyny a orweddant gerllaw y Môr Dû.'—*Benson, Lowth, &c.* Y mae *Newcome* ac ereill, ar ol y LXX, yn cymeryd *rosh*, a gyfieithir yma *pen*, fel enw cyffredin; gan ei ddarllen, 'Tywysog Rosh, Mesech, a Thubal.' 'Felly y mae *Rosh*,' ebai *Lowth*, 'a'i gymeryd yn enw priodol, yn arwyddo rhan o drigolion *Scythia*, oddiwrth y rhai y cafodd y *Rwssiaid* eu henw a'u dechread.' *A phroffwyda yn ei erbyn*—dywed am ei aflwyddiant yn ei ymosodiad yn erbyn gwlad Israel, ac am ei ddinystr. Ond pa bryd y cymer y dinystr hwnw le? (1) Tybia llawer mai rhwng dychweliad yr Iuddewon o Babilon i'w gwlad eu hunain, a dyfodiad Crist yn y cnawd. (2) Tybia ereill mai ar ol dychweliad yr Iuddewon i wlad Canaan yn y dyddiau diweddaf, pryd y byddant wedi cofleidio Cristionogaeth. (3) A thybia ereill mai ar ol y milflwyddiant, fel y dywedir yn Dat. xx. 8, 9, neu ychydig cyn diwedd y byd; ac felly gwnant i broffwydoliaethau Ioan ac Ezeciel gyfeirio at yr un dygwyddiad. Ar y pen hwn dywed yr *Esgob Newton*, 'Y mae y broffwydoliaeth yn y Datguddiad yn debyg i hon yn Ezeciel ar lawer o gyfrifon: y mae y ddwy yn aros eto i'w cyflawni, ac am hyny nis gallwn fod yn hollol sicr nad ydynt ill dwy yn cyfeirio at yr un dygwyddiad. Ond ymddengys yn debycach eu bod yn cyfeirio at ddygwyddiadau gwahanol. Dysgwylir i'r naill gymeryd lle cyn y milflwyddiant; ond ni fydd i'r llall gymeryd lle hyd ar ol hyny. Dywedir yn benodol yn Ezeciel, (adn. 6, 15, pen. xxxix. 2,) fod Gog a Magog yn dyfod o 'ystlysau y gogledd;' ond yn y Datguddiad, y maent yn dyfod o 'bedair congl y ddaear.' Yn Ezeciel, y maent yn uno eu byddinoedd yn erbyn yr Iuddewon ar ol iddynt ail sefydlu yn eu gwlad eu hun; ond yn y Datguddiad, y maent yn myned i fyny yn erbyn saint ac eglwys Dduw yn gyffredinol. Gan hyny gellir casglu mai enwau *cyfriniol* yw Gog a Magog, yn gystal a Sodom a'r Aifft a Babilon, yn llyfr y Datguddiad; a bod gelynion diweddaf yr eglwys Gristionogol yn cael eu galw felly, am yr ymddengys mai Gog a Magog yw gelynion diweddaf y genedl Iuddewig. Ond pwy a fyddant hwy, nis gallwn gymeryd arnom ddywedyd gyda'r radd leiaf o sicrwydd:' gwel *Bishop Newton's Dissert.* cyf. iii. dal. 328. Ond gyda'r parch mwyaf i'r rhai a dybiant yn wahanol, yr wyf fi yn meddwl, fel y dywedwyd amrai weithiau o'r blaen, nad oes genym sail ddigonol i dybio y dychwelir yr holl Iuddewon, fel cenedl, i Ganaan yn y dyddiau diweddaf; ac, o ganlyniad, fod proffwydoliaeth Ezeciel yn erbyn Gog a Magog wedi cael ei chyflawni eisioes, pan yr oedd yr Iuddewon yn byw yn eu gwlad: gwel ar adn. 8.

Adn. 3. *A dywed*] Oddiwrthyf fi, *Wele fi*

3 A dywed, Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi yn dy erbyn di, Gog, pen-tywysog Mesech a Thubal.

4 Dychwelaf di hefyd, a rhoddaf fachau yn dy fochgernau, a mi a'th ddygaf allan, a'th holl lu, y meirch a'r marchogion, wedi eu gwisgo i gyd â phob rhyw *arfau*, yn gynull eidfa fawr â tharianau ac estylch, hwynt oll yn dwyn cleddyfau:

5 Persia, Ethiopia, a Libya, gyda hwynt; hwynt oll *yn dwyn* tarian a helm:

6 Gomer a'i holl fyddinoedd; tŷ Togarmah o ystlysau y gogledd, a'i holl fyddinoedd; *a* phobl lawer gyda thi.

7 Ymbarotoa, ïe, parotoa i ti dy hun, ti a'th holl gynulleidfa y rhai a ymgynullasant atat, a bydd yn gadwraeth iddynt.

8 ¶ Wedi dyddiau lawer yr ymwelir â thi: yn y blynyddoedd diweddaf y deui i dir wedi ei ddwyn yn ei ol oddiwrth y cleddyf, wedi ei gasglu o bobloedd lawer yn erbyn mynyddoedd Israel, y rhai a fuant yn annghyfanedd bob amser: eithr efe a ddygwyd allan o'r bobloedd, a hwynt oll a drigant mewn diogelwch.

9 Dringi hefyd fel tymhestl, deui, *a* byddi fel cwmwl i guddio y ddaear, ti a'th holl fyddinoedd, a phobloedd lawer gyda thi.

10 Fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Bydd hefyd yn y dydd hwnw i bethau ddyfod i'th feddwl, a thi a feddyli feddwl drwg.

11 A thi a ddywedi, Mi a âf i fyny i wlad maes-drefydd; âf at y rhai llonydd y rhai sydd yn preswylio yn ddiogel, gan drigo oll heb gaerau, ac heb drosolion na dorau iddynt,

12 I yspeilo yspail, i ysglyfaethu ysglyfaeth, i ddychwelyd dy law ar

---

*yn dy erbyn di, Gog*—er cymaint gŵr ydwyt, i amddiffyn fy mhobl o'th ddwylaw di.

Adn. 4. *Dychwelaf di hefyd, a rhoddaf fachau yn dy fochgernau*] Siomaf dy holl fwriadau, a throaf di oddiamgylch wrth fy ewyllys, cyn hawdded ag y meistrola pysgotwr bysgodyn ar ol ei fachu. *A mi a'th ddygaf allan*—neu, '*ar ol* i mi dy ddwyn allan;' hyny yw, ar ol i Dduw drefnu iddo ef a'i fyddin ddyfod allan yn arfog i yspeilio a dinystrio gwledydd ereill.

Adn. 5. *Persia, Ethiopia, a Libya, gyda hwynt*] Gyda byddin Gog i'w cynorthwyo; *hwynt oll yn dwyn tarian a helm*—i amddiffyn y fynwes a'r pen.

Adn. 6. *Gomer a'i holl fyddinoedd*] Gomer oedd fab hynaf Japheth, a brawd i Magog, Gen. x. 2. *Tŷ Togarmah o ystlysau y gogledd*—Togarmah ydoedd fab i Gomer, Gen. x. 3; a meddylir fod y rhai hyn yn golygu y Galatiaid, y Phrygiaid, y Bithyniaid, a'r Cappadociaid, a rhai a drigent yn mharthau *gogleddol* Asia Leiaf. *A phobl lawer gyda thi*—o wledydd ereill.

Adn. 7. *Ymbarotoa, &c.*] Gorchymynir yma, mewn gwawdiaith, i Gog a'i gynghreirwyr ymbarotoi i ryfel, a chynull eu holl luoedd arfog yn nghyd, fel y byddai i Dduw gael mwy o anrhydedd iddo ei hun wrth eu maeddu, adn. 16: *a bydd yn gadwraeth iddynt*—sef yn arweinydd, yn llywydd, ac yn noddwr.

Adn. 8. *Wedi dyddiau lawer yr ymwelir â thi*] Sef â Gog, i'w gospi am ei draha. 'Cyflawnwyd hyn yn mhen oddeutu 400 o flynyddoedd ar ol hyn.'—*Martin.* 'Yr oedd ymgyrch *Cambyses* yn erbyn yr Aifft oddeutu deuddeg mlynedd ar ol dychweliad yr Iuddewon o Babilon.'—*Calmet.* Ereill a dybiant mai ychydig amser cyn y milflwyddiant, neu ychydig amser ar ol hyny, y cyflawnir hyn: gwel ar adn. 2. *Yn y blynyddoedd diweddaf y deui i dir wedi ei ddwyn yn ol oddiwrth y cleddyf*—sef i dir Israel, yr hwn a adfeddiannwyd ganddynt ar ol eu gyru allan gan gleddyf eu gelynion. *Eithr efe*—sef tir Israel, yn cael ei enwi yma am yr Israeliaid eu hunain; *a ddygwyd allan o'r bobloedd*—o blith y bobloedd lle y gwasgaresid hwynt; *a hwynt oll a drigant mewn diogelwch*—yn eu gwlad eu hunain, er maint dy ymdrech di i'w difeddiannu.

Adn. 9. *Dringi hefyd fel tymhestl*] Yn erbyn mynyddoedd Israel: *a byddi fel cwmwl i guddio y ddaear*—gan amledd dy fyddinoedd. Y meddwl yw, ar ol i'r Iuddewon ddychwelyd i'w gwlad, a byw ynddi am beth amser mewn heddwch a diogelwch, y byddai i Gog ddyfod yn eu herbyn hwy yn annysgwyliadwy.

Adn. 10. *Bydd hefyd yn y dydd hwnw i bethau ddyfod i'th feddwl*] Sef meddyliau drwg i aflonyddu a dyfetha yr Iuddewon. Y mae rhai yn deall hyn am waith *Antiochus Epiphanes* yn bwriadu dyfetha yr Aifft yn gystal a Judea; ac y mae *Calmet* yn ei ddeongli am greulonderau *Cambuses* yn yr Aifft, a'i ddrwg-fwriad i ddyfetha yr Iuddewon hefyd.

Adn. 11. *A thi a ddywedi*] A benderfyni yn dy feddwl dy hun: *Mi a âf i fyny i wlad maes-drefydd*—neu drefi heb gaerau iddynt, lle y mae y trigolion yn trigo yn llonydd, ac heb barotoi i wrthsefyll unrhyw elynion.

Adn. 12. *I yspeilio yspail, i ysglyfaethu ysglyfaeth*] Yr hyn y tybiai efe y gallai ei wneyd yn hawdd mewn lle felly; *i ddychwelyd*

annghyfanedd-leoedd, y rhai a gy-
faneddir *yr awr hon*, ac ar y bobl a
gasglwyd o'r cenhedloedd, y rhai a
ddarparasant anifeiliaid a golud, *ac*
ydynt yn trigo yn nghanol y wlad.
13 Seba a Dedan, a marchnad-
yddion Tarsis *hefyd*, â'u holl lewod
ieuainc, a ddywedent wrthyt, Ai i
yspeilio yspail y daethost ti? ai i
ysglyfaethu ysglyfaeth y cesglaist
y gynulleidfa? *ai* i ddwyn ymaith
arian ac aur, i gymeryd anifeiliaid
a golud, i yspeilio yspail fawr?
14 ¶ Am hyny proffwyda, fab
dyn, a dywed wrth Gog, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Y dydd
hwnw pan breswylio fy mhobl Isra-
el yn ddiofal, oni chei di wybod?
15 A thi a ddeui o'th fangre dy
hun o ystlysau y gogledd, ti a phobl
lawer gyda thi, hwynt oll yn march-
ogaeth ar feirch, yn dyrfa fawr, ac
yn llu lluosog.
16 A thi a âi i fyny yn erbyn fy
mhobl Israel, fel cwmwl i guddio y
ddaear: yn y dyddiau diweddaf y
bydd hyn; a mi a'th ddygaf yn er-
byn fy nhir, fel yr adwaeno y cen-
hedloedd fi, pan ymsanteiddiwyf
ynot ti, Gog, o flaen eu llygaid
hwynt.
17 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Ai tydi *yw* yr hwn y llefar-
ais *am* dano yn y dyddiau gynt, trwy
law fy ngweision, proffwydi Israel,
y rhai a broffwydasant y dyddiau
hyny flynyddoedd *lawer*, y dygwn
di yn eu herbyn hwynt?
18 A bydd yn y dydd hwnw, yn y
dydd y delo Gog yn erbyn tir Isra-
el, medd yr Arglwydd Dduw, i'm
llid gyfodi yn fy soriant.

---

*dy law ar annghyfanedd-leoedd*—ar wlad Israel, yr hon a fuasai yn hir yn annghyfanedd, ond a gyfaneddid y pryd hyn; *ac ar y bobl a gasglwyd o'r cenhedloedd*—o blith y cenhedloedd lle y gwasgaresid hwynt; *y rhai a ddarparasant anifeiliaid a golud*—y rhai y bwriadai efe eu cael yn yspail iddo ei hun; *ac ydynt yn trigo yn nghanol y wlad*—sef yn Jerusalem yn nghanol Judea; neu yn Judea, yr hon a ystyrid gan yr Iuddewon fel yn sefyll yn nghanol y ddaear.

Adn. 13. *Seba a Dedan*] Sef yr Arabiaid yspeilgar; *a marchnadyddion Tarsis hefyd*—gwel ar pen. xxvii. 12—25; *â'u holl lewod ieuainc*—eu gwŷr ieuainc ysglyfaethgar, neu 'eu brenhinoedd a'u tywysogion,' fel y mae y *Targum* yn ei ddeall; *a ddywedent wrthyt, Ai i yspeilio yspail y daethost ti? &c*—y meddwl yw, eu bod yn dyfod at Gog i ymuno âg ef yn ei yspeiliadau er mwyn ymgyfoethogi; neu i brynu ei yspail ef a'i wŷr; neu ynte gofynent y cwestiynau hyn oddiar genfigen wrtho, trwy eu bod wedi meddwl am yspeilio yr Israeliaid eu hunain.

Adn. 14. *Am hyny proffwyda, fab dyn, a dywed wrth Gog*] Yn fy enw i; *Y dydd hwnw pan breswylio fy mhobl Israel yn ddiofal*—yn eu gwlad eu hunain, adn. 11; *oni chei di wybod?*—oni nodir hwynt allan i ti fel pobl ag y gellit yn hawdd eu gorchfygu a'u hyspeilio? neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'oni'th gynhyrfir i godi?'

Adn. 15. *A thi a ddeui o'th fangre dy hun o ystlysau y gogledd*] Gwel ar adn. 6; *ti a phobl lawer gyda thi*—oll wedi ymgynghreirio ac ymarfogi yn erbyn fy mhobl Israel; *hwynt oll yn marchogaeth ar feirch*—gellid ystyried hyn yn ddarluniad priodol o'r Tyrciaid neu y Tartariaid, y rhai yr oedd nerth eu byddinoedd yn benaf yn eu gwŷr meirch.

Adn. 16. *A thi a âi i fyny yn erbyn fy mhobl Israel fel cwmwl*] O rau lluosogrwydd dy fyddinoedd. *Yn y dyddiau diweddaf y bydd hyn*—gwel ar adn. 8. *A mi a'th ddygaf yn erbyn fy nhir*—hyny yw, mi a *oddefaf* i ti gael dy ddwyn gan dy drachwant dy hun, a'th elyniaeth yn erbyn fy mhobl i, a hyny er mwyn dangos yn eglurach ogoniant fy enw, a'm ffyddlondeb tuag at fy mhobl fy hun. *Fel yr adwaeno y cenhedloedd fi*—fel Duw hollalluog a ffyddlon i'm pobl, a gelyn eu gelynion hwy; *pan ymsanteiddiwyf ynot ti, Gog*—pan amlygwyf fy santeiddrwydd a'm cyfiawnder wrth dy faeddu di; *o flaen eu llygaid hwynt*—yn ngolwg y cenhedloedd fydd gyda thi, ac yn enwedig yn ngolwg fy mhobl Israel. Byddai i'r fuddugoliaeth hynod hon ar Gog a'i fyddinoedd lluosog, ddwyn yr anffyddwyr eu hunain i roddi gogoniant i Dduw.

Adn. 17. *Ai tydi yw yr hwn, &c.*] Neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'Ai nid tydi yw yr hwn y llefarais am dano yn y dyddiau gynt;' *trwy law fy ngweision, proffwydi Israel*—fe allai fod yma gyfeiriad at broffwydoliaeth Joel, pen. iii. 1, 2, a Zechariah, pen. xii. 2—4, a xiv. 2, 3, yn gystal ag at broffwydoliaeth Ezeciel yn y pennodau hyn; *y rhai a broffwydasant y dyddiau hyny flynyddoedd lawer*—yn ol; *y dygwn di yn eu herbyn hwynt*—sef yn erbyn fy mhobl Israel? Arddanghosir Duw yma fel yn llefaru yn bersonol wrth Gog, yn mhen blynyddoedd lawer ar ol i'r proffwydi fod yn rhagfynegu am hyny: gwel ar adn. 8.

Adn. 18. *A bydd yn y dydd hwnw*] Pan ddelo Gog yn erbyn tir Israel; *i'm llid gyfodi yn fy soriant*—ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth ddynion nwydwyllt, y rhai y mae eu llid yn peri i'r gwaed gyfodi i'w gwynebau.

Adn. 19. *Canys yn fy eiddigedd*] Fy sel dros achubiaeth a dedwyddwch fy mhobl; *ac yn angerdd fy nigllonedd*—yn erbyn eu gelynion hwy; *y dywedais*—yn fy meddwl fy hun; *Yn ddiau bydd yn y dydd hwnw ddychryn mawr yn nhir Israel*—Saes., 'ysgydwad

19 Canys yn fy eiddigedd, *ac* yn
angerdd fy nigllonedd y dywedais,
Yn ddiau bydd yn y dydd hwnw
ddychryn mawr yn nhir Israel;
20 Fel y cryno pysgod y môr, ac
ehediaid y nefoedd, a bwystfilod y
maes, a phob ymlusgiad a ymlusgo
ar y ddaear, a phob dyn ar wyneb y
ddaear, ger fy mron i; a'r mynydd-
oedd a ddryllir i lawr, a'r grisiau
a syrthiant, a phob mur a syrth i
lawr.
21 A mi a alwaf am gleddyf yn
ei erbyn trwy fy holl fynyddoedd,
medd yr Arglwydd Dduw: cleddyf
pob un fydd yn erbyn ei frawd.
22 Mi a ddadleuaf hefyd yn ei
erbyn ef â haint ac â gwaed: gwlaw-
iaf hefyd gurwlaw, a cherig cen-
llusg, tân a brwmstan, arno ef, ac
ar ei holl fyddinoedd, ac ar y bobl-
oedd lawer *sydd* gydag ef.
23 Fel hyn yr ymfawrygaf, ac yr
ymsanteiddiaf; a pharaf fy adnabod
yn ngolwg cenhedloedd lawer, fel
y gwypont mai myfi *yw* yr Ar-
glwydd.

## PENNOD XXXIX.

1 PROFFWYDA hefyd, fab dyn, yn
erbyn Gog, a dywed, Fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Wele fi
yn dy erbyn di, Gog, pen-tywysog
Mesech a Thubal.
2 A mi a'th ddychwelaf, ac ni ad-
awaf o honot ond y chweched ran,
ac a'th ddygaf i fyny o ystlysau y
gogledd, ac a'th ddygaf ar fynydd-
oedd Israel:
3 Ac a darawaf dy fwa o'th law
aswy, a gwnaf i'th saethau syrthio
o'th law ddeau.
4 Ar fynyddoedd Israel y syrthi,
ti a'th holl fyddinoedd, a'r bobloedd
*sydd* gyda thi: i'r ehediaid, *i* bob
rhyw aderyn, ac *i* fwystfilod y maes,
y'th roddaf i'*th* ddifa.
5 Ar wyneb y maes y syrthi;

---

mawr,' y fath ag a achosir gan ddaeargryn.

Adn. 20. *Fel y cryno pysgod y môr, ac ehediaid y nefoedd, a bwystfilod y maes, &c.*] Rhoddid y fath ddyrnod i Gog a'i luoedd gan ddigofaint yr Arglwydd, nes y byddai yr holl greadigaeth fel yn crynu rhagddo, ac yn teimlo oddiwrtho. Tybia rhai y byddai i ddaeargryn gyffredinol gymeryd lle yn llythyrenol y pryd hyny, fel ag i beri i'r creaduriaid afresymol, yn gystal a rhesymol, grynu a brawychu. *A'r mynyddoedd a ddryllir i lawr*—neu a rwygir gan rym yr ysgydwad; *a'r grisiau a syrthiant*—sef y tyrau uchel, neu y grisiau ar hyd pa rai y dringid i'w pen hwy; *a phob mur a syrth i lawr*—sef yr holl amddiffynfeydd a'r caerau cedyrn.

Adn. 21. *A mi a alwaf am gleddyf yn ei erbyn trwy fy holl fynyddoedd*] 'Sef cleddyf Judas Maccabeus, yr hwn a faeddodd ei fyddin ef dan Lysius, gan wneuthur cyflafan ddychrynllyd.'—*Martin.* Gwel yr hanes, 1 *Mac.* iii—vi. *Cleddyf pob un fydd yn erbyn ei frawd*—parai Duw i anghydfod neu ddyryswch gyfodi hefyd yn myddin Gog, nes y byddai i'r naill ddyfetha y llall: gwel siamplau cyffelyb yn Barn. vii. 22, 1 Sam. xiv. 20, 2 Cron. xx. 23.

Adn. 22. *Mi a ddadleuaf hefyd yn ei erbyn ef*] Neu a ddialaf ar Gog a'i fyddin, *â haint ac â gwaed*—trwy farnedigaethau uniongyrchiol oddiwrthyf fy hun, fel ag i *ladd* llawer o honynt fel y lladdwyd byddin Senacherib gynt, 2 Bren. xix. 35. *Gwlawiaf hefyd gurwlaw a cherig cenllusg*—fel ar yr hen Ganaaneaid gynt, Jos. x. 11; *tân a brwmstan*—fel ar y Sodomiaid a'r Gomorriaid, Gen. xix. 24; *arno ef ac ar ei holl fyddinoedd*—nes eu llwyr ddyfetha oddiar y ddaear.

Adn. 23. *Fel hyn yr ymfawrygaf ac yr ymsanteiddiaf*] Neu y dangosaf fy hun yn fawr ac yn santaidd; *a pharaf fy adnabod yn ngolwg cenhedloedd lawer*—trwy yr oll o'r barnedigaethau hyn; *fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—neu JEHOFA, yr unig Fôd annibynol, hollalluog, a thragwyddol. Fel hyn dyben mawr Duw yn ei holl weinyddiadau yw dangos ei fawredd a'i ogoniant ei hun.

PEN. XXXIX. Adn. 1. *Proffwyda hefyd, fab dyn, yn erbyn Gog*] Hyny yw, parha i broffwydo yn ei erbyn ef, gan ddangos iddo ei ddinystr yn fanylach; *a dywed*—yn fy enw i; *Wele fi yn dy erbyn di, Gog*—yr hwn y mae fy ngallu yn anfeidrol a diderfyn; *pen-tywysog Mesech a Thubal*—gwel ar pen. xxxviii. 2.

Adn. 2. *A mi a'th ddychwelaf*] Mi a'th droaf oddiamgylch yn ol ac yn mlaen yn ol fy ewyllys fy hun; *ac ni adawaf o honot ond y chweched ran*—o'th ddeiliaid, heb fyned allan gyda thi yn y rhyfelgyrch hwn, neu heb gael eu lladd. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Tarawaf di â chwe phla,' y rhai a enwyd yn pen. xxxviii. 22; sef haint a gwaed, curwlaw a cherig cenllusg, tân a brwmstan. *Ac a'th ddygaf i fyny o ystlysau y gogledd*—gwel ar pen. xxxviii. 6, 15.

Adn. 3. *Ac a darawaf dy fwa o'th law aswy*] Yn yr hon y delid y bwa, tra y byddai y saeth yn cael ei gollwng oddiarno trwy weithrediad y llaw ddeau. Y meddwl yw, y byddai i'w holl arfau rhyfel hwy gael eu gwneuthur yn aneffeithiol yn erbyn pobl yr Arglwydd.

Adn. 4. *Ar fynyddoedd Israel y syrthi, ti a'th holl fyddinoedd*] Yn ymborth i adar a bwystfilod.

Adn. 5. *Canys myfi a'i dywedais*] Hyny

canys myfi a'*i* dywedais, medd yr
Arglwydd Dduw.
6 Anfonaf hefyd dân ar Magog,
ac yn mysg y rhai a breswyliant yr
ynysoedd yn ddifraw: fel y gwyp-
ont mai myfi *yw* yr Arglwydd.
7 Felly y gwnaf adnabod fy enw
santaidd yn nghanol fy mhobl Isra-
el, ac ni adawaf halogi fy enw sant-
aidd mwy: a'r cenhedloedd a gânt
wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd,
y Sant yn Israel.
8 ¶ Wele efe a ddaeth, ac a ddar-
fu, medd yr Arglwydd Dduw; dyma
y diwrnod am yr hwn y dywedais.
9 A phreswylwyr dinasoedd Isra-
el a ânt allan, ac a gyneuant ac a
losgant yr arfau, a'r tarian a'r as-
talch, y bwa a'r saethau, a'r llaw-
ffon a'r waewffon; ïe, llosgant hwynt
yn tân saith mlynedd.
10 Ac ni ddygant goed o'r maes,
ac ni thorant *ddim* o'r coedydd;
canys â'r arfau y cyneuant dân: a
hwy a yspeiliant eu hyspeilwyr, ac
a ysglyfaethant *oddiar* eu hysglyf-
aethwyr, medd yr Arglwydd Dduw.
11 ¶ Bydd hefyd yn y dydd
hwnw, im' roddi i Gog le bedd yno
yn Israel, dyffryn y fforddolion o du
dwyrain y môr: ac efe a gau *ffroen-
au* y fforddolion: ac yno y claddant
Gog a'i holl dyrfa, a galwant *ef*
Dyffryn Hamon-gog.
12 A thŷ Israel fydd yn eu claddu
hwynt saith mis, er mwyn glanhau
y tir.
13 Ie, holl bobl y tir a'*u* cladd-

---

yw, hwy a syrthient yn ddiau, er amled ac er cryfed oeddynt, am fod y Duw digelwyddog wedi ei ddywedyd.

Adn. 6. *Anfonaf hefyd dân ar Magog*] Sef ar wlad Gog; hyny yw, ar ol i Gog a'i fyddinoedd adael eu gwlad, anrheithid hi gan elynion cymydogaethol. *Ac yn mysg y rhai a breswyliant yr ynysoedd yn ddifraw*—sef i fysg preswylwyr glànau Môr-y-canoldir neu y Môr Dû, y rhai a dybient na allai un perygl eu goddiweddyd hwy. Y mae yr holl wledydd ar lànau y môr yn cael eu galw yn 'ynysoedd' yn yr Hebraeg. *Fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd*—trwy y farn a wnaf: gwel ar pen. xxxviii. 23.

Adn. 7. *Felly y gwnaf adnabod fy enw santaidd yn nghanol fy mhobl Israel*] Trwy eu hamddiffyn hwy, a lladd eu gelynion, yn nghanol eu gwlad hwy; *ac ni adawaf halogi fy enw santaidd mwy*—trwy adael i elynion fy mhobl ddywedyd fy mod yn analluog i'w gwaredu hwy, pen. xxxvi. 20, 22. Ond tybia rhai mai at waith Antiochus Epiphanes yn halogi teml ac addoliad yr Arglwydd y cyfeirir, fel yr adroddir yn 1 *Mac.* i. 21, &c. *A'r cenhedloedd a gânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd, y Sant yn Israel*—Gwaredwr santaidd fy mhobl Israel.

Adn. 8. *Wele efe a ddaeth, ac a ddarfu*] Er nad oedd y broffwydoliaeth hon i gael ei chyflawni am hir amser, eto sonir am dani yma fel wedi cael ei chyflawni eisioes, o herwydd ei sicrwydd anffaeledig. *Dyma y diwrnod am yr hwn y dywedais*—y deuai ef i ben, sef diwrnod gweinyddiad y dialedd hwn ar Gog, yn ol y broffwydoliaeth.

Adn. 9. *A phreswylwyr dinasoedd Israel a ânt allan*] I faes y gwaed, i gynull yr arfau rhyfel i'w llosgi; *ïe, llosgant hwynt yn tân saith mlynedd*—bydd digon o danwydd iddynt am saith mlynedd oddiwrth yr arfau rhyfel hyn, gan mor lluosog fyddant. Heblaw yr arfau a enwir yma, byddai yno hefyd lawer o bebyll, cerbydau, mèni, a chludeion ereill. Tybia rhai mai digon am *hir amser* a feddylir, a bod rhif penodol yn cael ei roddi yma am rif anmhenodol. Ond dylid cofio nad oedd rhyw dànau mawrion yn angenrheidiol iddynt yn y wlad boeth hòno; ac y mae yn debyg mai tân yn eu *tai* yn unig a feddylir. Dywed *Mariana*, yr hanesydd Hispaenaidd, ddarfod i'r Hispaeniaid, ar ol y frwydr a ennillasant hwy ar y Saraceniaid yn 1212, gael cymaint o arfau rhyfel ar eu hol ag a wasanaethodd yn danwydd iddynt am bedair blynedd.

Adn. 10. *Ac ni ddygant goed o'r maes*] I wneuthur tân iddynt yn eu tai, trwy fod ganddynt y fath lawnder o goed i'r perwyl hwnw mewn llaw eisioes: *a hwy a yspeiliant eu hyspeilwyr*—sef Gog a'i fyddin, y rhai a ddaethent yno i'w hyspeilio hwy: gwel ar pen. xxxviii. 12.

Adn. 11. *Bydd hefyd yn y dydd hwnw im' roddi i Gog le bedd*] Efe a ddysgwyliai gael holl wlad Israel iddo ei hun, eithr ni chai efe ddim ond *bedd* bychan; *dyffryn y fforddolion o du dwyrain y môr*—neu '*gyferbyn* â'r môr,' sef môr Galilea, yn ol Houbigant. Gelwir y lle hwn 'dyffryn y fforddolion,' am mai y ffordd hòno yr âi masnachwyr ac ymdeithwyr o Syria i'r Aifft. *Ac efe a gau ffroenau y fforddolion*—trwy y drygsawr a godai oddiwrth gelaneddau y lladdedigion. *Ac yno y claddant Gog a'i holl dyrfa*—y claddai yr Israeliaid hwynt, er mwyn glanhau y tir oddiwrth y fath ffieidd-dra. *A galwant ef Dyffryn Hamon-gog*—neu 'ddyffryn *lluoedd* Gog,' yn lle 'dyffryn y fforddolion.'

Adn. 12. *A thŷ Israel fydd yn eu claddu hwynt saith mis*] Cymer gymaint a hyny o amser iddynt i'w claddu, gan mor lluosog a gwasgarog fydd y celaneddau.

Adn. 13. *Ie, holl bobl y tir a'u claddant*] Neu a ddygant y draul o'u claddu, a hyny yn ewyllysgar; *a hyn fydd enwog iddynt y dydd y'm gogonedder*—neu, 'y dydd y gogoneddir fi ar Gog, fydd yn ddydd enwog i Israel,' sef yn ddydd o lawenydd mawr.

ant; a *hyn* fydd enwog iddynt y
dydd y'm gogonedder, medd yr
Arglwydd Dduw.
14 A hwy a neillduant wŷr gwas-
tadol, y rhai a gyniweiriant trwy y
wlad i gladdu gyda'r fforddolion y
rhai a adawyd ar wyneb y ddaear,
i'w glanhau hi: yn mhen saith mis
y chwiliant.
15 A'r tramwywyr a gyniweiriant
trwy y tir, pan welo *un* asgwrn dyn,
efe a gyfyd nôd wrtho, hyd oni
chladdo y claddwyr ef yn nyffryn
Hamon-gog.
16 Ac enw y ddinas hefyd *fydd*
Hamonah: felly y glanhant y wlad.
17 ¶ Tithau fab dyn, fel hyn y
dywed yr Arglwydd Dduw; Dywed
wrth bob rhyw aderyn, ac wrth holl
fwystfilod y maes, Ymgesglwch
a deuwch; ymgynullwch oddiam-
gylch at fy aberth yr ydwyf fi yn ei
aberthu i chwi, aberth mawr ar fyn-
yddoedd Israel, fel y bwytaoch gig,
ac yr yfoch waed.
18 Cig y cedyrn a fwytewch, a
chwi a yfwch waed tywysogion y
ddaear, hyrddod, ŵyn, a bychod,
bustych, yn basgedigion Basan oll.
19 Bwytewch hefyd frasder hyd
ddigon, ac yfwch waed hyd oni
feddwoch, o'm haberth a aberthais
i chwi.
20 Felly y'ch diwellir ar fy mwrdd
i â meirch a cherbydau, â *gwŷr* ced-
yrn a phob rhyfelwr, medd yr Ar-
glwydd Dduw.
21 A gosodaf fy ngogoniant yn
mysg y cenhedloedd, a'r holl gen-
hedloedd a gânt weled fy marned-
igaeth yr hon a wnaethym, a'm llaw
yr hon a osodais arnynt.
22 A thŷ Israel a gânt wybod mai
myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw hwynt
o'r dydd hwnw allan.
23 ¶ Y cenhedloedd hefyd a gânt

---

Adn. 14. *A hwy a neillduant wŷr gwastadol*] I fod yn barhaus wrth y gorchwyl hwn nes ei orphen; *y rhai a gyniweiriant trwy y wlad*—i chwilio am esgyrn byddin Gog; *i gladdu gyda'r fforddolion*—gyda chyrff y fforddolion a allent fod wedi marw wrth dramwy y ffordd hòno. *Yn mhen saith mis y chwiliant*—parhant cyhyd a hyny wrth y gorchwyl hwn, a In. 12. Byddai i lawer o filwyr Gog, ar ol eu clwyfo, ffoi i'r ogofeydd a'r coedwigoedd, a lleoedd anial ereill ar hyd y wlad, i ymguddio; a byddai iddynt farw yno o'u clwyfau, neu trwy newyn; yr hyn a chwanegai at lafur yr ymchwilwyr.

Adn. 15. *Pan welo un asgwrn dyn*] Pan fyddai i un o'r ymchwilwyr ganfod ysgerbwd dynol mewn rhyw fan; *efe a gyfyd nôd wrtho*—efe a ddodai gareg, neu bawl, neu ryw arwydd arall wrtho, i ddangos ei fod yno; *hyd oni chladdo y claddwyr ef*—hyd oni ddeuai y claddwyr yno i'w gyrchu ef i'r gladdfa gyffredin yn nyffryn Hamon-gog.

Adn. 16. *Ac enw y ddinas hefyd*] Sef dinas ag ydoedd yn y dyffryn hwnw eisoes, neu a godid yno yn gartref i'r claddwyr; *fydd Hamonah*—hyny yw, 'Tyrfa,' neu 'Lluaws,' er coffadwriaeth barhaus am y dyrfa fawr a gladdwyd yno.

Adn. 17. *Tithau fab dyn—dywed wrth bob rhyw aderyn, &c.*] Cyfeirir yma at arferiad y rhai a aberthent, o wahodd eu cyfeillion i wledda ar weddillion yr aberth. *Aberth mawr ar fynyddoedd Israel*—sef Gog a'i fyddinoedd lluosog, y rhai a aberthwyd fel iawn i ddwyfol gyfiawnder. *Fel y bwytaoch gig ac yr yfoch waed*—nid wrth feibion Israel y dywedir hyn, fel y tybiodd *Voltaire*; ond wrth 'bob rhyw aderyn, ac wrth holl fwystfilod y maes:' a rhaid fod y dyn hwn yn ddall i'r eithaf pan y tybiai fod y proffwyd yma yn gwahodd *Israel* i fwyta cnawd dynion, ac i yfed eu gwaed!

Adn. 18. *Cig y cedyrn a fwytewch, &c.*] Sef rhyfelwyr enwog a thywysogion grymus; *hyrddod, ŵyn, a bychod*—wrth y creaduriaid hyn, y rhai yr arferid eu haberthu dan y gyfraith, y golygir dynion o bob gradd, megys cadfridogion, capteniaid, a milwyr cyffredin; *yn basgedigion Basan oll*—yn ddynion yn mlodau eu nerth a'u dyddiau, fel bustych ieuainc a chryfion, ac wedi eu pesgu yn dda ar fynydd Basan: gwel ar Salm xxii. 12.

Adn. 19. *Bwytewch hefyd frasder hyd ddigon, &c.*] Cewch yma eich gwala a'ch gweddill o gig, brasder, a gwaed.

Adn. 20. *Felly y'ch diwellir ar fy mwrdd i â meirch a cherbydau*] Sef â chig gwŷr meirch, a dynion yn eistedd mewn cerbydau; neu 'â meirch a'u marchogion,' fel y mae y *Syriaeg* yn ei ddarllen. Yn y wledd hon mynyddoedd Israel oedd y bwrdd, cig a gwaed Gog a'i fyddin oedd y danteithion, ac adar y nefoedd a bwystfilod y maes oedd y gwahoddedigion neu y gwesteion.

Adn. 21. *A gosodaf fy ngogoniant yn mysg y cenhedloedd*] Trwy fy ngweithredoedd hyn: *a'r holl genhedloedd a gânt weled fy marnedigaeth*—sef y gosp a weinyddaf ar elynion fy mhobl â'm llaw fy hun.

Adn. 22. *A thŷ Israel a gânt wybod*] Trwy fy amddiffyniad trugarog hwn o honynt; *mai myfi yw yr Arglwydd eu Duw hwynt*—sef eu Duw cyfammodol; *o'r dydd hwnw allan*—fel na throant byth mwyach at eilunaddoliaeth. Fel hyn y dybena hanes *Gog* a'i fyddinoedd; a'r hyn a adroddir oddiyma i ddiwedd y bennod sydd yr un peth ag a gawsom yn y proffwydoliaethau blaenorol, am gaeth-

wybod mai am eu hanwiredd eu hun y caethgludwyd tŷ Israel: o herwydd gwneuthur o honynt gamwedd i'm herbyn, am hyny y cuddiais fy wyneb oddiwrthynt, ac y rhoddais hwynt yn llaw eu gelynion: felly hwy a syrthiasant oll trwy y cleddyf.

24 Yn ol eu haflendid eu hun, ac yn ol eu hanwireddau, y gwnaethym â hwynt, ac y cuddiais fy wyneb oddiwrthynt.

25 Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Yr awr hon y dychwelaf gaethiwed Jacob, tosturiaf hefyd wrth holl dŷ Israel, a gwynfydaf dros fy enw santaidd;

26 Wedi dwyn o honynt eu gwaradwydd, a'u holl gamweddau a wnaethant i'm herbyn, pan drigent yn eu tir eu hun yn ddiofraw, a heb ddychrynydd.

27 Pan ddychwelwyf hwynt oddiwrth y bobloedd, a'u casglu hwynt o wledydd eu gelynion, ac y'm santeiddier ynddynt yn ngolwg cenhedloedd lawer;

28 Yna y cânt wybod mai myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw hwynt, yr hwn a'u caethgludais hwynt yn mysg y cenhedloedd, ac a'u cesglais hwynt i'w tir eu hun, ac ni adewais mwy *un* o honynt yno.

29 Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddiwrthynt; o herwydd tywelltais fy ysbryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XL.

YN y bummed flwyddyn ar hugain o'n caethgludiad ni, yn nechre y flwyddyn, ar y degfed *dydd* o'r mis, yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg wedi taro y ddinas, o fewn corff y dydd hwnw y daeth llaw yr Arglwydd arnaf, ac a'm dyg yno.

---

gludiad yr Iuddewon i Babilon, eu hadferiad oddiyno, a'u breintiau dan yr efengyl.

Adn. 23. *Y cenhedloedd hefyd*] Sef y Caldeaid ac ereill; *a gânt wybod mai am eu hanwiredd eu hun y caethgludwyd tŷ Israel*—i Babilon, Assyria, a manau ereill, sef yn *gosp* gyfiawn am eu hanwiredd, ac nid am nad oedd ynof fi *nerth* i'w hachub. *Am hyny y cuddiais fy wyneb oddiwrthynt, ac y rhoddais hwynt yn llaw eu gelynion*—sef am wneuthur o honynt gamwedd i'm herbyn. *Felly hwy a syrthiasant oll trwy y cleddyf*—hyny yn unig oedd yr achos i'r rhai a laddwyd o honynt gael eu lladd.

Adn. 24. *Yn ol eu haflendid eu hun*] Sef eu haflendid moesol, neu eu heilunaddoliaeth; *ac yn ol eu hanwireddau*—eu balchder, eu cybydd-dod, a'u trais; *y gwnaethym â hwynt*—y telais iddynt, sef yn ol eu haeddiant cyfiawn eu hunain; *ac y cuddiais fy wyneb oddiwrthynt*—mewn soriant a digder.

Adn. 25. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw*] Gyda golwg ar ei bobl gytammodol; *Yr awr hon y dychwelaf gaethiwed Jacob*—neu y dychwelaf hwynt o'u caethiwed i'w gwlad eu hun; *tosturiaf hefyd wrth holl dŷ Israel*—nid yn unig wrth ddau lwyth Juda a Benjamin, ond hefyd wrth y deg llwyth ereill, fel ag y bydd i lawer o honynt hwythau ddychwelyd i'w gwlad ar yr un pryd; *a gwynfydaf*—neu eiddigeddaf, *dros fy enw santaidd*—yr hwn a geblir yn awr gan y cenhedloedd o achos caethiwed fy mhobl.

Adn. 26. *Wedi dwyn o honynt eu gwaradwydd*] Sef cywilydd a chosp eu camweddau am hir amser, y rhai a wnaethant yn Nghanaan; *pan drigent yn eu tir eu hun yn ddiofraw*—pan yr oeddynt yno yn nghanol eu llwyddiant, eu diogelwch, a'u hesmwythder.

Adn. 27. *Pan ddychwelwyf hwynt oddiwrth y bobloedd*] Sef o wledydd eu gelynion; *ac y'm santeiddier ynddynt yn ngolwg cenhedloedd lawer*—trwy eu hedifeirwch diffuant am eu pechodau, a'u hymroddiad ffyddlon i'm gwasanaeth i o hyny allan. Cyfeirir yma yn benaf at eu dychweliad i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 28. *Yna y cânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd eu Duw hwynt*] Ac na ddarfu i mi erioed dynu fy ngolwg tadol oddiarnynt, er i mi oddef iddynt gael eu caethgludo i blith y cenhedloedd. *Ac a'u cesglais hwynt i'w tir eu hun*—i Judea o Babilon, ac i'r eglwys Gristionogol o'u cyflwr gwasgaredig presenol: gwel ar pen. xxxvii. 25. *Ac ni adewais mwy un o honynt yno*—gan i lawer o'r Iuddewon aros ar ol yn Babilon, rhaid mai at eu cynulliad i'r eglwys Gristionogol y cyfeirir yma yn benaf, pryd y bydd 'holl Israel yn gadwedig,' Rhuf. xi. 26.

Adn. 29. *Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddiwrthynt*] Fel y gwnaethym yn amser eu caethiwed yn Babilon, a'u gwasgariad diweddaf gan y Rhufeiniaid; *o herwydd tywelltais fy ysbryd ar dŷ Israel*—neu 'tywalltaf ef,' yn 'ysbryd gras a gweddiau,' Zech. xii. 10; yn ysbryd santeiddiad ac ofn yr Arglwydd. Cynwysa hyn bob bendith a gras ag a fydd yn angenrheidiol iddynt: gwel ar pen. xxxvi. 27. Pechod Israel a barasai i Dduw guddio ei wyneb oddiwrthynt o'r blaen; ond yn awr efe a roddai iddynt dywalltiad helaeth o ras ei Ysbryd, i'w cadw rhag pechu a chilio oddiwrtho.

PEN. XL. Adn. 1. *Yn y bummed flwyddyn ar hugain o'n caethgludiad ni*] Sef Ezeciel, Jehoiacin, ac ereill; *yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg wedi taro y ddinas*—wedi dinystrio Jerusalem gan y Caldeaid; *y daeth*

2 Yn ngweledigaethau Duw y
dyg efe fi i dir Israel, ac a'm gos-
ododd ar fynydd uchel iawn, ac
arno *yr oedd* megys adail dinas o
du y deau.
3 Ac efe a'm dyg yno: ac wele
ŵr â'i welediad fel gwelediad pres,
ac yn ei law linyn llin, a chorsen
fesur: ac yr ydoedd efe yn sefyll
yn y porth.
4 A dywedodd y gŵr wrthyf, Ha
fab dyn, gwel â'th lygaid, gwrando
hefyd â'th glustiau, a gosod dy ga-
lon ar yr hyn oll a ddanghoswyf i ti:
o herwydd er mwyn dangos i ti *hyn*
y'th ddygwyd yma: mynega i dŷ
Israel yr hyn oll a weli.
5 Ac wele fur o'r tu allan i'r tŷ o
amgylch ogylch: a chorsen fesur
yn llaw y gŵr, yn chwe chufydd *o
hyd*, wrth gufydd a dyrnfedd: ac efe
a fesurodd led yr adeiladaeth yn un
gorsen, a'r uchder yn un gorsen.
6 ¶ Ac efe a ddaeth i'r porth *oedd*

---

*llaw yr Arglwydd arnaf*—fel yn y dechre, pen. i. 3.

Adn. 2. *Yn ngweledigaethau Duw y dyg efe fi i dir Israel*] Dengys hyn yn eglur na ddygwyd y proffwyd i dir Israel yn gorfforol, eithr yn unig yn weledigaethol, pryd yr oedd pethau yn cael eu harddangos i'w feddwl yr un modd a phe buasai efe yno yn wirioneddol: gwel ar pen. viii. 3. *Ac a'm gosododd ar fynydd uchel iawn*—tybia rhai mai mynydd Moriah, lle yr adeiladwyd teml Solomon, oedd hwn; ond gan nad oedd hwnw yn 'uchel iawn,' barna ereill mai rhyw fynydd arall yn nhir Israel a feddylir; neu gall ei fod yn cael ei alw yn 'uchel iawn,' i osod allan yr eglwys Gristionogol, yr hon a 'barotoid yn mhen y mynyddoedd,' Esay ii. 2. *Ac arno yr oedd megys adail dinas*—neu 'bortreiad dinas,' o du y deau iddo. Ystyrir y weledigaeth hon, yr hon sydd yn dechreu yma, ac yn parhau hyd ddiwedd y llyfr, yn un o'r rhanau anhawddaf i'w hegluro yn holl lyfr Duw. Ni oddefa yr Iuddewon i neb ei darllen nes bod yn 30 mlwydd oed; a dywedant wrth y rhai a'i darllenant, er na allant ddeall pob peth ynddi, y bydd i Elias, pan y delo, ei hegluro hi. Dywed rhai esbonwyr fod y weledigaeth hon yn cyfeirio at yr amser a aeth heibio; ac ereill ei bod yn cyfeirio at amser i ddyfod: rhai a'i heglurant yn llythyrenol, ac ereill yn ffugyrol: barna rhai ei bod yn cyfeirio at yr eglwys ar y ddaear, ac ereill a'i hystyriant yn ddarluniad o'r eglwys yn y nef. Yn mhlith y rhai a esboniant y deml yn *llythyrenol*, y mae rhai yn ei chymhwyso at deml Solomon; ac ereill yn meddwl ei bod yn bortreiad o'r ail deml, yr hon a adeiledid gan yr Iuddewon ar eu dychweliad o Babilon; tra y cymhwysa ereill yr hyfforddiadau a roddir yma at ddinas a theml ag sydd i gael ei hadeiladu eto, meddant hwy. Ac am y rhai a'i deonglant yn *ffugyrol*, y mae eu tybiau hwythau yn dra gwahanol i'w gilydd. Ond y farn fwyaf cyffredin yw, fod y deml hon a'i haddoliad yn rhagddangos *eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf*. Fe allai fod dau beth mewn golwg yn rhediad cyffredinol y gweledigaethau hyn: (1) Sicrhau i'r gaethglud yn Babilon y caent hwy nid yn unig ddychwelyd i'w gwlad eu hunain fel yr addawyd yn fynych yn y pennodau blaenorol, ond y caent hefyd adeiladu *teml newydd*, yn yr hon y cyfarfyddai Duw â hwynt i'w bendithio; y byddai i ordinhadau eu crefydd gael eu hadfywio, a'r offeiriadaeth gael ei gosod i fyny drachefn; ac er na chaent frenin rhwysgfawr fel o'r blaen, eto y caent dywysog neu lywodraethwr yn pleidio addoliad Duw yn eu plith, yr hwn a roddai iddynt bob siampl o ffyddlondeb yn hyny ei hunan; ac y cai y tywysog, yr offeiriaid, a'r bobl, eu sefydlu yn gysurus yn eu gwlad eu hunain. (2) Eu cyfarwyddo i edrych yn mhellach na hyn oll, ac i ddysgwyl am ddyfodiad y MESSIA, yr hwn y proffwydwyd o'r blaen am dano dan yr enw 'Dafydd,' (y gŵr a feddyliodd am adeiladu y deml gyntaf,) a'r hwn a osodai i fyny *deml ysbrydol*, sef yr eglwys efengylaidd, gogoniant pa un a ragorai yn mhell ar eiddo teml Solomon, a'r hon a barhäai hyd ddiwedd amser. Ac yr oedd y deml efengylaidd, yr hon a gyfodwyd gan Grist a'i apostolion, mewn cysylltiad mor agos â'r ail deml fateriol, ac wedi ei hadeiladu ar y pryd ag y syrthiodd hòno i adfeilion, a hyny yn fwriadol i dderbyn ei gogoniant hi, fel ag yr oedd yn ddigon priodol cyfeirio at y ddwy yn yr un weledigaeth; pa weledigaeth, dan y cysgod a'r gyffelybiaeth o deml ac allor, offeiriaid ac ebyrth, a ragddangosai yr *addoliad ysbrydol* a gynelid yn nyddiau yr efengyl, fel yn fwy cyson â natur Duw a dyn; a pha addoliad a berffeithid o'r diwedd yn nheyrnas y gogoniant, lle yn ddiamau y bydd i'r gweledigaethau hyn gael eu llawn gyflawniad.

Adn. 3. *Ac wele ŵr â'i welediad fel gwelediad pres*] Yn ddysglaer a llachar, Dat. i. 15; *ac yn ei law linyn llin, a chorsen fesur*—i fesur y tir ac adeiladau y deml: *ac yr ydoedd efe yn sefyll yn y porth*—sef y porth gogleddol ond odid, gan mai hwnw oedd y nesaf at y proffwyd wrth ddyfod o Caldea. Tybia rhai mai angel crëedig oedd y gŵr hwn; eithr tybia ereill mai yr Arglwydd Iesu Grist ydoedd efe.

Adn. 4. *Ha fab dyn, gwel â'th lygaid, &c.*] Cymer sylw manwl o'r hyn oll a weli ac a glywi, fel y gallot ar ol hyn ei fynegu i dŷ Israel, i'w cyfarwyddo hwy i adeiladu yr ail deml, yr hon oedd i fod yn gysgod ysbrydol o'r eglwys Gristionogol.

Adn. 5. *Ac wele fur o'r tu allan i'r tŷ*] Yn amgylchynu yr holl dir ar ba un y safai y deml, i wahanu rhwng y tir santaidd a'r tir cyffredin; *a chorsen fesur yn llaw y gŵr, yn chwe chufydd o hyd, wrth gufydd a dyrnfedd*—eglurir yma pa fath gufydd a feddylir

â'i wyneb tua'r dwyrain, ac a
ddringodd ar hyd ei risiau ef, ac a
fesurodd riniog y porth yn un gor-
sen o led, a'r rhiniog arall yn un
gorsen o led.
7 A *phob* ystafell *oedd* un gorsen
o hyd, ac un gorsen o led: a phum
cufydd *oedd* rhwng yr ystafelloedd:
a rhiniog y porth, wrth gyntedd y
porth o'r tu mewn, *oedd* un gorsen.
8 Efe a fesurodd hefyd gyntedd
y porth oddifewn, yn un gorsen.
9 Yna y mesurodd gyntedd y
porth yn wyth gufydd, a'i byst yn
ddau gufydd, a chyntedd y porth
*oedd* o'r tu mewn.
10 Ac ystafelloedd y porth tua'r
dwyrain *oedd* dair o'r tu yma, a
thair o'r tu acw; un fesur *oeddynt*
ill tair: ac un mesur oedd i'r pyst
o'r tu yma ac o'r tu acw.
11 Ac efe a fesurodd led drws y
porth yn ddeg cufydd, *a* hyd y porth
yn dri chufydd ar ddeg.
12 A'r terfyn o flaen yr ystafell-
oedd *oedd* un cufydd *o'r naill du*,
a'r terfyn o'r tu arall yn un cufydd,
a'r ystafelloedd *oedd* chwe chufydd
o'r tu yma, a chwe chufydd o'r tu
acw.
13 Ac efe a fesurodd y porth o
nen y *naill* ystafell hyd nen un arall,
yn bum cufydd ar hugain o led,
drws ar gyfer drws.
14 Ac efe a wnaeth byst o dri
ugain cufydd, a *hyny* hyd bost y
cyntedd, amgylch ogylch y porth.
15 Ac o wyneb porth y dyfodiad i
mewn, hyd wyneb cyntedd y porth
oddimewn, *yr oedd* deg cufydd a
deugain.
16 A ffenestri cyfyng *oedd* i'r ys-
tafelloedd, ac i'w pyst o fewn y
porth o amgylch ogylch; ac felly
*yr oedd* i'r bwäau meini: a ffenestri
*oedd* o amgylch ogylch o fewn; ac
*yr oedd* palmwydd ar *bob* post.
17 Ac efe a'm dyg i'r cyntedd
nesaf allan, ac wele yno ystafell-
oedd, a phalmant wedi ei wneuthur
i'r cyntedd o amgylch ogylch; deg
ystafell ar hugain *oedd* ar y pal-
mant.
18 A'r palmant gan ystlys y pyrth
ar gyfer hyd y pyrth, *oedd* y pal-
mant odditanodd.
19 Ac efe a fesurodd y lled o
wyneb y porth isaf hyd wyneb y
cyntedd oddifewn, yn gan cufydd
oddiallan tua'r dwyrain a'r gogledd.
20 ¶ A'r porth yr hwn *oedd* â'i
wyneb tua'r gogledd, ar y cyntedd

---

yn y mesuriadau canlynol, sef cufydd o 21 modfedd, neu ddyrnfedd dros ben y cufydd cyffredin o 18 modfedd, neu hanner llath. Yr oedd y gorsen hon o ganlyniad oddeutu tair llath a hanner o'n mesur ni, yr hyn oedd lled ac uchder y mur hwn.

Adn. 6. *Ac efe a ddaeth i'r porth oedd â'i wyneb tua'r dwyrain*] Yr hwn oedd y fynedfa i'r cyntedd lle yr addolai Israel. Efe a aethai trwy gyntedd y Cenhedloedd heb ei fesur, naill ai am na wneid hwnw hyd amser Herod, neu ynte i arwyddo nas gellid cynwys mewn unrhyw fesur na rhif y lluaws Cenhedloedd a ddylifent i'r eglwys. *Ac a ddringodd ar hyd ei risiau ef*—trwy fod y deml wedi ei hadeiladu ar uchelfa, rhaid fod grisiau o'r tu allan, gyferbyn â phob porth, i ddringo iddi; ac yr oedd grisiau hefyd i fyned o'r naill gyntedd i'r llall.

Adn. 7. *A phob ystafell oedd un gorsen o hyd*] Neu dair llath a hanner, o'r rhai yr oedd amrai at wasanaeth y porthorion, adn. 10.

Adn. 8, 9. *Efe a fesurodd hefyd gyntedd y porth*] Yn un gorsen o led, ac yn wyth cufydd o hyd.

Adn. 10. *Ac ystafelloedd y porth tua'r dwyrain oedd dair*] Hyny yw, yr oedd yn mhob porth dair ystafell bob ochr, yn gwneyd chwech yn mhob un.

Adn. 11. *A hyd y porth*] Neu ei 'uchder,' yn ol *Villalpand*, oedd dri chufydd ar ddeg.

Adn. 12. *A'r terfyn o flaen yr ystafelloedd*] Saes., 'o flaen yr ystafelloedd bychain,' at y rhai y cyfeiriwyd yn adn. 7, 10. Wrth y *terfyn* hwn y golygir cledrau neu reiliau wedi eu dodi o'u blaen hwynt.

Adn. 13. *Ac efe a fesurodd y porth*] Yn yr hwn yr oedd yr ystafelloedd bychain hyny.

Adn. 14. *Ac efe a wnaeth byst*] Hyny yw, efe a'u *mesurodd* hwynt.

Adn. 15. *Deg cufydd a deugain*] Hyny oedd holl hyd y porth.

Adn. 16. *A ffenestri cyfyng oedd i'r ystafelloedd*] Fel y gallai y porthorion gael goleuni i mewn. *Ac yr oedd palmwydd*—neu lun y balmwydden wedi ei gerfio ar bob post.

Adn. 17—19. *Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf allan*] Yr oedd dau gyntedd yn perthyn i deml Solomon, yr un nesaf allan i'r bobl, a'r un nesaf i mewn i'r offeiriaid; at y rhai y chwanegodd Herod y trydydd i'r Cenhedloedd. *Ac wele yno ystafelloedd*—sef celloedd neu ystordai; *a phalmant*— neu lawr o feini harddwych: *deg ystafell ar hugain oedd ar y palmant*—sef pymtheg bob ochr, at wasanaeth yr offeiriaid.

Adn. 20—23. *A'r porth yr hwn oedd â'i wyneb tua'r gogledd, &c.*] Yr oedd pob peth yma yn cael ei ddwyn yn mlaen yn yr un

nesaf allan, a fesurodd efe ei hyd a'i led.

21 A'i ystafelloedd ef *oedd* dair o'r tu yma, a thair o'r tu acw; ac yr ydoedd ei byst, a'i fwäau meini, wrth fesur y porth cyntaf, yn ddeg cufydd a deugain eu hyd, a'r lled yn bum cufydd ar hugain.

22 Eu ffenestri hefyd, a'u bwäau meini, a'u palmwydd, *oedd* wrth fesur y porth *oedd* â'i wyneb tua'r dwyrain; ar hyd saith o risiau hefyd y dringent iddo; a'i fwäau meini *oedd* o'u blaen hwynt.

23 A phorth y cyntedd nesaf i mewn *oedd* ar gyfer y porth tua'r gogledd, a thua'r dwyrain: ac efe a fesurodd o borth i borth gan cufydd.

24 ¶ Wedi hyny efe a'm dyg i tua'r deau, ac wele borth tua'r deau, ac efe a fesurodd ei byst a'i fwäau meini wrth y mesurau hyn.

25 Ffenestri hefyd *oedd* iddo ac i'w fwäau meini, o amgylch ogylch, fel y ffenestri hyny, yn ddeg cufydd a deugain o hyd, ac yn bum cufydd ar hugain o led.

26 Saith o risiau hefyd *oedd* ei esgynfa ef, a'i fwäau meini o'u blaen hwynt: *yr oedd* hefyd iddo balmwydd, un o'r tu yma, ac un o'r tu acw, ar ei byst ef.

27 Ac *yr oedd* porth yn y cyntedd nesaf i mewn tua'r deau, ac efe a fesurodd o borth i borth, tua'r deau, gan cufydd.

28 Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf i mewn trwy borth y deau: ac a fesurodd borth y deau wrth y mesurau hyn;

29 A'i ystafelloedd, a'i byst, a'i fwäau meini, wrth y mesurau hyn: ac *yr oedd* ffenestri ynddo, ac yn ei fwäau meini, o amgylch ogylch: deg cufydd a deugain *oedd* yr hyd, a phum cufydd ar hugain y lled.

30 A'r bwäau meini o amgylch ogylch *oedd* bum cufydd ar hugain o hyd, a phum cufydd o led.

31 A'i fwäau meini *oedd* tua'r cyntedd nesaf allan; a phalmwydd *oedd* ar ei byst; ac wyth o risiau *oedd* ei esgynfa ef.

32 ¶ Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf i mewn tua'r dwyrain: ac a fesurodd y porth wrth y mesurau hyn.

33 A'i ystafelloedd, a'i byst, a'i fwäau meini, *oedd* wrth y mesurau hyn: ac *yr oedd* ffenestri ynddo ef, ac yn ei fwäau meini o amgylch ogylch: yr hyd *oedd* ddeg cufydd a deugain, a'r lled yn bum cufydd ar hugain.

34 A'i fwäau meini *oedd* tua'r cyntedd nesaf allan; a phalmwydd *oedd* ar ei byst o'r tu yma, ac o'r tu acw; a'i esgynfa *oedd* wyth o risiau.

35 ¶ Ac efe a'm dyg i borth y gogledd, ac a'*i* mesurodd wrth y mesurau hyn:

36 Ei ystafelloedd, ei byst, a'i fwäau meini, a'r ffenestri iddo o amgylch ogylch: yr hyd *oedd* ddeg cufydd a deugain, a'r lled *oedd* bum cufydd ar hugain.

37 A'i byst *oedd* tua'r cyntedd nesaf allan; a phalmwydd ar ei byst o'r tu yma, ac o'r tu acw; a'i esgynfa *oedd* wyth o risiau.

38 A'r celloedd a'u drysau *oedd* wrth byst y pyrth, lle y golchent y poeth-offrwm.

39 ¶ Ac yn nghyntedd y porth *yr oedd* dau fwrdd o'r tu yma, a dau fwrdd o'r tu acw, i ladd y poeth-offrwm, a'r pech-aberth, a'r aberth dros gamwedd, arnynt.

40 Ac ar yr ystlys oddiallan, lle y dringir i ddrws porth y gogledd, *yr oedd* dau fwrdd; a dau fwrdd ar yr ystlys arall, yr hwn *oedd* wrth gyntedd y porth.

41 Pedwar bwrdd *oedd* o'r tu yma, a phedwar bwrdd o'r tu acw,

---

drefn ag yn mhorth y dwyrain, adn. 6, &c.

Adn. 24—27. *Wedi hyny efe a'm dyg i tua'r deau*] Lle yr oedd porth a phethau ereill yn cyfateb i'r hyn a welsai efe yn y ddau borth blaenorol.

Adn. 28—37. *Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf i mewn trwy borth y deau*] Yr hwn oedd yr agosaf ato; a chafodd y mesuriad ei wneuthur yma yn yr un drefn ag o'r blaen. Ni chrybwyllir yma am y porth gorllewinol.

Adn. 38. *Lle y golchent y poeth-offrwm*] Gwel ar Lef. i. 9.

Adn. 39. *Ac yn nghyntedd y porth*] Sef porth gogleddol cyntedd yr offeiriaid: *yr oedd dau fwrdd*—o bob tu, at wasanaeth yr offeiriaid.

Adn. 40, 41. *Ac ar yr ystlys oddiallan, &c.*] Yr oedd yma hefyd ddau fwrdd bob tu, yn gwneyd wyth yn y cwbl, ar y rhai y lladdent eu haberthau.

ar ystlys y porth; wyth bwrdd, ar
y rhai y lladdent *eu haberthau.*
42 A'r pedwar bwrdd i'r poeth-
offrwm *oedd* o gerig nadd, yn un
cufydd a hanner o hyd, ac yn un cuf-
ydd a hanner ó led, ac yn un cufydd
o uchder: arnynt hwy hefyd y gos-
odent yr offer y rhai y lladdent yr
offrwm poeth a'r aberth â hwynt.
43 Hefyd *yr oedd* bachau, o un
ddyrnfedd, wedi eu parotoi o fewn,
o amgylch ogylch: a chig yr offrwm
*oedd* ar y byrddau.
44 ¶ Ac o'r tu allan i'r porth
nesaf i mewn *yr oedd* ystafelloedd y
cantorion o fewn y cyntedd nesaf i
mewn, yr hwn *oedd* ar ystlys porth
y gogledd; a'u hwynebau *oedd*
tua'r deau: un *oedd* ar ystlys porth
y dwyrain, *â*'i wyneb tua'r gogledd.
45 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Yr ystafell hon, yr hon *sydd â*'i
hwyneb tua'r deau, *sydd* i'r offeir-
iaid ceidwaid cadwraeth y tŷ.
46 A'r ystafell yr hon *sydd* â'i
hwyneb tua'r gogledd, *sydd* i'r off-
eiriaid ceidwaid cadwraeth yr allor:
y rhai hyn *yw* meibion Sadoc, y
rhai ydynt o feibion Lefi, yn nesâu
at yr Arglwydd i weini iddo.
47 Felly efe a fesurodd y cyntedd,
yn gan cufydd o hyd, ac yn gan
cufydd o led, yn bedeirongl; a'r
allor *oedd* o flaen y tŷ.
48 ¶ Ac efe a'm dyg i borth y tŷ,
ac a fesurodd *bob* post i'r porth, yn
bum cufydd o'r naill du, ac yn bum
cufydd o'r tu arall: a lled y porth
*oedd* dri chufydd o'r naill du, a thri
chufydd o'r tu arall.
49 Y cyntedd *oedd* ugain cufydd
o hyd, ac un cufydd ar ddeg o led:
ac *efe a'm dyg* ar hyd y grisiau ar
hyd y rhai y dringent iddo: hefyd
*yr ydoedd* colofnau wrth y pyst, un
o'r naill du, ac un o'r tu arall.

## PENNOD XLI.

AC efe a'm dyg i i'r deml, ac a
fesurodd y pyst yn chwe chuf-
ydd o led o'r naill du, ac yn chwe
chufydd o led o'r tu arall, *fel yr oedd*
lled y babell.
2 Lled y drws hefyd *oedd* ddeg
cufydd; ac ystlysau y drws yn
bum cufydd o'r naill du, ac yn bum
cufydd o'r tu arall: ac efe a fesur-
odd ei hyd ef yn ddeugain cufydd,
a'r lled yn ugain cufydd.
3 Ac efe a aeth tuag i mewn, ac
a fesurodd bost y drws yn ddau
gufydd, a'r drws yn chwe chufydd,
a lled y drws yn saith gufydd.

---

Adn. 42. *Arnynt hwy hefyd y gosodent yr offer*] Sef yr arfau â pha rai y lladdent eu haberthau.

Adn. 43. *Hefyd yr oedd bachau*] Wrth ba rai y crogent yr anifeiliaid i'w blingo.

Adn. 44. *Ystafelloedd y cantorion*] Gwel ar 1 Cron. vi. 31, 32.

Adn. 45. *Yr ystafell hon, &c.*] Arferir y rhif unigol yma am *res* o ystafelloedd, y rhai oeddynt at wasanaeth yr offeiriaid.

Adn. 46. *Y rhai hyn yw meibion Sadoc*] Y rhai a enwir yma am iddynt ymgadw yn ffyddlon wrth addoliad Duw, pan y darfu i'r offeiriaid o linach Abiathar syrthio i bechodau gwarthus: gwel ar 1 Bren. ii. 35. Ystyr yr enw *Sadoc* yw 'cyfiawn;' a thybia *Greenhill* mai 'Iesu Grist y Cyfiawn,' ein Harch-offeiriad mawr ni, yw y 'Sadoc' hwn; ac mai y credinwyr ynddo yw yr offeiriaid ysbrydol.

Adn. 47. *Felly efe a fesurodd y cyntedd yn gan cufydd o hyd, ac yn gan cufydd o led*] I arwyddo fe allai helaethder yr eglwys yn y dyddiau diweddaf; *yn bedeirongl*—i osod allan ei threfnusrwydd a'i chadernid.

Adn. 48. *Ac a fesurodd bob post i'r porth*] Sef y colofnau ag oeddynt o bob tu i ddrws y fynedfa.

Adn. 49. *Y cyntedd*] Sef yr un a'r 'porth' yn yr adnod flaenorol; *oedd ugain cufydd o hyd, ac un cufydd ar ddeg o led*—neu 'ddeg o led,' yn ol y LXX. Gallasem helaethu yn fawr ar bob rhan o'r deml hon, ond ni fuasai hyny o un budd i'n darllenwyr yn gyffredin. Ysgrifenodd y Jesuitiaid *Prada* a *Villalpand* dair cyfrol unplyg ar y deml hon, gan gymeryd agos gymaint o drafferth gyda hi ag a gymerodd Solomon gyda'r deml gyntaf; ond wedi y cwbl, gadawsant hi yr un mor dywyll ag yn y dechre. Nis gall neb ddywedyd yn llawer eglurach arni nag y dywed Ezeciel ei hun yn y testyn.

PEN. XLI. Adn. 1. *Ac efe a'm dyg i i'r deml*] Yr hon y darluniwyd ei phyrth a'i chynteddau yn y bennod flaenorol; *ac a fesurodd y pyst yn chwe chufydd o led*—neu a 'fesurodd y rhiniog,' yn ol *Tremellius.*

Adn. 2. *Ac efe a fesurodd ei hyd ef*] Sef hyd y cysegr cyntaf; *yn ddeugain cufydd*—yr un faint a hwnw yn nheml Solomon, 1 Bren. vi. 17.

Adn. 3. *Ac efe a aeth tuag i mewn*] I'r cysegr santeiddiolaf.

Adn. 4. *Ac efe a fesurodd ei hyd ef yn ugain cufydd*] Yr un hyd a chafell teml Solomon. 1 Bren. vi. 20. *Dyma y cysegr santeiddiol-*

4 Ac efe a fesurodd ei hyd ef yn ugain cufydd; a'r lled yn ugain cufydd o flaen y deml: ac efe a ddywedodd wrthyf, Dyma y cysegr santeiddiolaf.

5 Ac efe a fesurodd bared y tŷ yn chwe chufydd; a lled *pob* ystlys-gell yn bedwar cufydd o amgylch ogylch i'r tŷ.

6 A'r celloedd *oedd* dair, cell ar gell, ac yn ddeg ar hugain o weithiau: ac yr oeddynt yn cyrhaeddyd at bared y tŷ yr hwn *oedd* i'r ystafelloedd o amgylch ogylch, fel y byddent yn nglŷn; ac nid oeddynt yn nglŷn o fewn pared y tŷ.

7 Ac fe a eangwyd, ac *oedd* yn myned ar dro uwch-uwch i'r celloedd: o herwydd tro y tŷ oedd yn myned i fyny o amgylch y tŷ: am hyny y tŷ *oedd* eangach oddiarnodd; ac felly y dringid o'r isaf i'r uchaf trwy y ganol.

8 Gwelais hefyd uchder y tŷ o amgylch ogylch: seiliau y celloedd *oedd* gorsen helaeth o chwe chufydd mawrion.

9 A thewder y mur yr hwn *oedd* i'r gell o'r tu allan, *oedd* bum cufydd; a'r gweddill *oedd* le i'r celloedd y rhai *oedd* o fewn.

10 A rhwng yr ystafelloedd *yr oedd* lled ugain cufydd yn nghylch y tŷ o amgylch ogylch.

11 A drysau yr ystlys-gell *oedd* tua'r *llanerch* weddill; un drws tua'r gogledd, ac un drws tua'r deau: a lled y fan a weddillesid *oedd* bum cufydd o amgylch ogylch.

12 A'r adeiladaeth yr hon *oedd* o flaen y llanerch neillduol, ar y cwr tua'r gorllewin, *oedd* ddeg cufydd a thriugain o led; a mur yr adeiladaeth *oedd* bum cufydd o dewder o amgylch ogylch, a'i hyd *oedd* ddeg cufydd a phedwar ugain.

13 Ac efe a fesurodd y tŷ yn gan cufydd o hyd; a'r llanerch neillduol, a'r adeiladaeth, a'i pharwydydd, yn gan cufydd o hyd.

14 A lled wyneb y tŷ, a'r llanerch neillduol tua'r dwyrain, *oedd* gan cufydd.

15 Ac efe a fesurodd hyd yr adeiladaeth ar gyfer y llanerch neillduol yr hon *oedd* o'r tu cefn iddo, a'i ystafelloedd o'r naill du, ac o'r tu arall yn gan cufydd, gyda'r deml oddifewn, a drysau y cyntedd.

16 Y gorsingau, a'r ffenestri cyfyng, a'r ystafelloedd o amgylch ar eu tri uchder, ar gyfer y rhiniog a ystyllenasid â choed o amgylch ogylch, ac o'r llawr hyd y ffenestri, a'r ffenestri *hefyd* a ystyllenasid;

17 Hyd uwch ben y drws, a hyd y tŷ o fewn ac allan, ac ar yr holl bared o amgylch ogylch o fewn ac allan, wrth fesurau.

18 A cherubiaid hefyd ac â

---

*af*—mynegwyd hyn i Ezeciel, i'w lenwi ef â gostyngeiddrwydd a pharch santaidd.

Adn. 5. *Ac efe a fesurodd bared y tŷ yn chwe chufydd*] Hyny oedd trwch y mur o'r sylfaen i'r llofft gyntaf: gwel ar 1 Bren. vi. 5, 6.

Adn. 6. *A'r celloedd oedd dair, cell ar gell*] Neu dri uchder, fel y dywedwn; *ac yn ddeg ar hugain o weithiau*—yr oedd yn mhob uchder ddeg ar hugain o ystafelloedd at wasanaeth yr offeiriaid: *ac nid oeddynt yn nglŷn o fewn pared y tŷ*—nid oedd y trawstiau o fewn tyllau yn y mur, ond yn gorphwys ar gorbeli neu attegion a wnaed iddynt ar neu wrth y mur.

Adn. 7. *Am hyny y tŷ oedd eangach oddiarnodd*] Trwy fod y mur yn llai trwchus yn yr ystafelloedd uwchaf, fel yr eglurwyd ar 1 Bren. vi. 6.

Adn. 8—10. *Gwelais hefyd uchder y tŷ*] Nid uchder y deml, ond uchder yr ystafelloedd ynddi.

Adn. 11. *A drysau yr ystlys-gell oedd tua'r llanerch weddill*] Neu tua'r rhodfa ag oedd o'r naill ystafell i'r llall, yr hon oedd yn bum cufydd o led.

Adn. 12. *A'r adeiladaeth yr hon oedd o flaen y llanerch neillduol*] Tybia rhai mai at adeilad arall y cyfeirir yma, yr hon ni chrybwyllwyd o'r blaen, ac a fesurir yma wrthi ei hun; ond nid yw hyny yn debygol.

Adn. 13—15. *Ac efe a fesurodd y tŷ yn gan cufydd o hyd*] Hyny yw, yr oedd yr holl adeiladau a'r muriau yn cynwys arwynebedd o gan cufydd ysgwâr, o fewn pa rai yr oedd y deml yn sefyll.

Adn. 16. *Y gorsingau*] Neu ystlys-byst y drysau: *a'r ffenestri cyfyng*—cyfyng oddifewn, a llydain oddiallan, 1 Bren. vi. 4; *a'r ystafelloedd o amgylch*—y rhai oeddynt o dri uchder, adn. 6; *a ystyllenasid*—oeddynt wedi eu byrddio: gwel ar 1 Bren. vi. 15.

Adn. 17. *Wrth fesurau*] Hyny yw, yr oedd y ffenestri yn sefyll yn yr un pellder rheolaidd oddiwrth eu gilydd, ac oddiwrth y llawr.

Adn. 18. *A cherubiaid hefyd ac â phalmwydd y gweithiesid ef*] Hyny yw, yr oedd holl fur y tŷ oddifewn wedi ei weithio â llun-

phalmwydd y gweithiesid ef, palm-
wydden rhwng pob dau gerub: a
dau wyneb *oedd* i *bob* cerub.
19 Canys wyneb dyn *oedd* tua'r
balmwydden o'r naill du, ac wyneb
llew tua'r balmwydden o'r tu arall:
*yr oedd* wedi ei weithio ar hyd y tŷ
o amgylch ogylch.
20 Cerubiaid a phalmwydd a
weithiesid o'r ddaear hyd oddiar y
drws, ac *ar* bared y deml.
21 Pedwar ochrog *oedd* pyst y
deml, *ac* wyneb y cysegr; gweled-
iad *y naill* fel gweledigad *y llall*.
22 Yr allor bren *oedd* dri chuf-
ydd ei huchder, a'i hyd yn ddau
gufydd: a'i chonglau, a'i huchder,
a'i pharwydydd, *oedd* o bren. Ac
efe a ddywedodd wrthyf, Dyma y
bwrdd *sydd* gerbron yr Arglwydd.
23 Ac *yr ydoedd* dau ddrws i'r
deml ac i'r cysegr:
24 A dwy ddor i'r drysau, *sef*
ddwy ddor blygedig; dwy ddôr i'r
naill ddrws, a dwy ddôr i'r llall.
25 A gwnaethbid arnynt, ar ddrys-
au y deml, gerubiaid a phalmwydd,
fel y gwnaethid ar y parwydydd;
ac *yr oedd* trawstiau coed ar wyneb
y cyntedd o'r tu allan.
26 Ffenestri cyfyng hefyd a
phalmwydd *oedd* o bob tu, ar yst-
lysau y porth, ac *ar* ystafelloedd y
tŷ, a'r trawstiau.

## PENNOD XLII.

AC efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf
allan, y ffordd tua'r gogledd;
ac a'm dyg i'r ystafell *oedd* ar gyfer
y llanerch neillduol, yr hon *oedd* ar
gyfer yr adail tua'r gogledd.
2 Drws y gogledd *oedd* ar gyfer
hyd y can cufydd, a lled y deg cuf-
ydd a deugain.
3 Ar gyfer yr ugain *cufydd* y
rhai *oedd* i'r cyntedd nesaf i mewn,
ac ar gyfer y palmant yr hwn *oedd*
i'r cyntedd nesaf allan, *yr ydoedd*
ystafell ar gyfer ystafell yn dri
*uchder*.
4 Ac o flaen yr ystafelloedd *yr*

---

iau cerubiaid a phalmwydd bob yn ail. Yr oedd y *cerubiaid*, fe allai, yn arwyddion o bresenoldeb yr angylion santaidd, ac o'u hamddiffyniad o'r lle; ac yr oedd y *palmwydd* yn arwyddion o'r fuddugoliaeth ar eu gelynion ag y gallai Israel ei dysgwyl wrth iddynt fod yn ffyddlon a chywir yn addoliad Duw: gwel ar 1 Bren. vi. 29. *A dau wyneb oedd i bob cerub*—yn y golwg ar y cerfwaith; canys yr oedd y ddau wyneb arall, sef gwyneb *ŷch* a gwyneb *eryr*, pen. i. 10, heb eu cerfio i'r amlwg.

Adn. 19, 20. *Canys wyneb dyn oedd tua'r balmwydden o'r naill du, &c.*] Yr oedd pob cerub rhwng dwy balmwydden, ac yn edrych â gwyneb *dyn* ar y naill, ac â gwyneb *llew* ar y llall; ac fel hyn yr oedd ar holl bared y deml oddifewn.

Adn. 21. *Pedwar-ochrog oedd pyst y deml*] Sef pyst drysau y deml, ac nid crwn fel colofnau yn gyffredin, ac felly hefyd yr oedd pyst y fynedfa i'r cysegr santeiddiolaf.

Adn. 22. *Yr allor bren*] Sef allor yr arogldarth; *oedd dri chufydd ei huchder, a'i hyd yn ddau gufydd*—y mae y LXX yn chwanegu yma, 'a'i lled yn ddau gufydd.' Yr oedd yr allor hon yn fwy nag allor Moses, Exod. xxx. 2, ac yn fwy hefyd nag allor Solomon, meddai yr Iuddewon; i arwyddo, fe allai, fod eiriolaeth Crist yn eangach nag eiriolaeth yr offeiriaid dan y gyfraith. Dros Israel yn unig yr eiriolent hwy; ond y mae Crist yn Iawn ac yn Eiriolwr 'dros bechodau yr holl fyd,' 1 Ioan ii. 1, 2. *Dyma y bwrdd sydd gerbron yr Arglwydd*—fe allai i hyn gael ei ddywedyd wrth y proffwyd i dynu ei sylw ef a'r Iuddewon at fwrdd swper yr Arglwydd dan oruchwyliaeth yr efengyl.

Adn. 23, 24. *Ac yr ydoedd dau ddrws i'r deml ac i'r cysegr*] Sef un i bob un; *a dwy ddôr i'r drysau*—neu ddwy aden i bob drws, yn cau at eu gilydd: gwel ar 1 Bren. vi. 31—34.

Adn. 25. *A gwnaethid arnynt*] Sef ar ddrysau y deml a'r cysegr; *gerubiaid a phalmwydd*—gwel ar adn. 18. *Ac yr oedd trawstiau coed*— neu blanciau trwchus, *ar wyneb y cyntedd o'r tu allan*—yn cyraedd tuhwnt i fur y porth

Adn. 26. *Ffenestri cyfyng hefyd a phalmwydd oedd o bob tu*] Yr oedd pob rhan o'r adeiladaeth oddifewn, ac ar ystlysau y porth, wedi eu haddurno yn gyffelyb.

PEN. XLII. Adn. 1. *Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf allan*] Sef cyntedd yr offeiriaid, fel yr ymddengys oddiwrth yr adnodau canlynol; yr hwn, gyda golwg ar y deml, oedd y cyntedd nesaf allan, er fod cyntedd y bobl yn nes allan fyth.

Adn. 2. *Drws y gogledd oedd ar gyfer hyd y can cufydd, &c.*] Neu, fel y mae *Newcome* yn ei ddarllen, 'Yr hyd oedd gan cufydd tua phorth y gogledd, a'r lled oedd ddeg cufydd a deugain.'

Adn. 3, 4. *Ar gyfer yr ugain cufydd*] Neu, 'ar gyfer y *pyrth* y rhai oedd i'r cyntedd nesaf i mewn,' yn ol y LXX.

Adn. 5—7. *A'r ystafelloedd uchaf oedd gulion*] Saes., 'oeddynt *fyrach*.' Addefa y ddau rabbi *Solomon* a *Kimchi*, fod yn dra anhawdd deall y tair adnod hyn; ond diamau

*oedd* rhodfa yn ddeg cufydd o led
oddifewn, ffordd o un cufydd, a'u
drysau tua'r gogledd.
5 A'r ystafelloedd uchaf *oedd*
gulion: o herwydd yr ystafelloedd
oeddynt uwch na'r rhai hyn, na'r
rhai isaf ac na'r rhai canol o'r ad-
eiladaeth.
6 Canys yn dri *uchder yr oeddynt*
hwy, ac heb golofnau iddynt fel
colofnau y cynteddoedd: am hyny
yr oeddynt hwy yn gyfyngach na'r
rhai isaf ac na'r rhai canol o'r llawr
*i fyny.*
7 A'r mur yr hwn *oedd* o'r tu
allan ar gyfer yr ystafelloedd, tua'r
cyntedd nesaf allan o flaen yr ystaf-
elloedd, *oedd* ddeg cufydd a deugain
ei hyd.
8 O herwydd hyd yr ystafelloedd
y rhai *oedd* yn y cyntedd nesaf all-
an *oedd* ddeg cufydd a deugain: ac
wele, o flaen y deml *yr oedd* can
cufydd.
9 Ac odditan yr ystafelloedd hyn
*yr ydoedd* mynediad i mewn o du y
dwyrain, ffordd yr elid iddynt hwy
o'r cyntedd nesaf allan.
10 O fewn tewder mur y cyntedd
tua'r dwyrain, ar gyfer y llanerch
neillduol, ac ar gyfer yr adeilad-
aeth, *yr oedd* yr ystafelloedd.
11 A'r ffordd o'u blaen hwynt
*oedd* fel gwelediad yr ystafelloedd
y rhai *oedd* tua'r gogledd; un hyd
â hwynt *oeddynt, ac* un lled â
hwynt: a'u holl fynediad allan *oedd*
yn ol eu dull hwynt, ac yn ol eu
drysau hwynt.
12 Ac fel drysau yr ystafelloedd
y rhai *oedd* tua'r deau, *yr oedd*
drws yn mhen y ffordd, y ffordd yn
mhen y mur yn uniawn tua'r
dwyrain, yn y ddyfodfa i mewn.
13 ¶ Ac efe a ddywedodd wrth-
yf, Ystafelloedd y gogledd ac ys-
tafelloedd y deau, y rhai *sydd* ar
gyfer y llanerch neillduol, ystafell-
oedd santaidd *yw* y rhai hyny, lle y
bwyty yr offeiriaid y rhai a nesânt
at yr Arglwydd, y pethau santaidd
cysegredig: yno y gosodant y sant-
aidd bethau cysegredig, a'r bwyd-
offrwm, a'r pech-aberth, a'r aberth
dros gamwedd; canys y lle *sydd*
santaidd.
14 A phan elo yr offeiriaid i
mewn iddynt, nid ânt allan o'r cy-
segr i'r cyntedd nesaf allan, eithr
yno y gosodant eu dillad y rhai y
gwasanaethant ynddynt; am eu *bod*
yn santaidd; ac a wisgant wisgoedd
ereill, ac a nesânt at yr hyn *a
berthyn* i'r bobl.
15 Pan orphenasai efe fesuro y tŷ
oddifewn, efe a'm dyg i tua'r porth
*sydd* â'i wyneb tua'r dwyrain, ac
a'i mesurodd ef o amgylch ogylch.
16 Efe a fesurodd du y dwyrain
â chorsen fesur, yn bum cant o gor-
senau, wrth y gorsen fesur oddi-
amgylch.
17 Efe a fesurodd du y gogledd
yn bum can corsen, wrth y gorsen
fesur oddiamgylch.
18 Y tu deau a fesurodd efe yn
bum can corsen, wrth y gorsen
fesur.
19 ¶ Efe a aeth o amgylch i du y
gorllewin, *ac* a fesurodd bum can
corsen, wrth y gorsen fesur.
20 Efe a fesurodd ei bedwar yst-
lys ef: mur *oedd* iddo ef o amgylch
ogylch, yn bum can *corsen* o hyd,
ac yn bum can *corsen* o led, i wa-
hanu rhwng y cysegr a'r digysegr.

---

eu bod yn ddigon dealladwy i'r rhai yr ysgrifenid hwynt iddynt.

Adn. 8. *Ac wele, o flaen y deml yr oedd can cufydd*] Sef o'r tu dwyreiniol iddi, wrth fyned o'r gogledd i'r deau.

Adn. 9—12. *Ac odditan yr ystafelloedd hyn yr ydoedd mynediad i mewn*]] Ar hyd grisiau ond odid; *o du y dwyrain*—a'r un modd o du y gogledd a'r deau hefyd.

Adn. 13, 14. *Ystafelloedd santaidd yw y rhai hyny*] Yn y rhai y gwleddai yr offeiriaid ar ranau y bwyd-offrwm, a'r pech-aberth, a'r aberth dros gamwedd, y rhai nid oeddynt i'w dwyn allan o'r cysegr yn ol y gyfraith; ac yn y rhai hefyd y newidient eu gwisgoedd.

Adn. 15—20. *Pan orphenasai efe fesuro y tŷ oddifewn*] Fel yr adroddwyd uchod: *efe a'm dyg i tua'r porth sydd â'i wyneb tua'r dwyrain*—i fesur y pedair ochr, pob un o ba rai oedd yn bum cant o gorsenau, yr hyn a wnai ddwy fil o gorsenau oddiamgylch, yn cyfateb i saith mil o lathenau, neu yn agos i bedair milldir o amgylchedd. Nid rhyfedd i'r proffwyd alw hon megys 'adail dinas,' pen. xl. 2. Profa hyn, fel y sylwa *Scott*, nas gellir egluro y weledigaeth hon am unrhyw deml a adeiladwyd eto, nac yn wir am unrhyw deml lythyrenol; gan hyny rhaid ei deall hi yn ffugyrol a chyfriniol. Ond dylid crybwyll fod y LXX a'r *Arabaeg* yn darllen *cufydd* yn yr adnodau hyn, ac nid *corsen*; yr hyn a gymeradwyir gan *Cappelus* ac ereill.

## PENNOD XLIII.

AC efe a'm dyg i'r porth, *sef* y
porth sydd yn edrych tua'r
dwyrain.
2 Ac wele ogoniant Duw Israel
yn dyfod o ffordd y dwyrain; a'i
lais fel swn dyfroedd lawer, a'r
ddaear yn dysgleirio o'i ogoniant
ef.
3 Ac *yr oedd* yn ol gweledîad y
weledigaeth a welais, *sef* yn ol y
weledigaeth a welais pan ddaethym
i ddyfetha y ddinas: a'r gweledig-
aethau *oedd* fel y weledigaeth a
welswn wrth afon Cebar: yna y
syrthiais ar fy wyneb.
4 A gogoniant yr Arglwydd a
ddaeth i'r tŷ *ar hyd* ffordd y porth
*sydd* â'i wyneb tua'r dwyrain.
5 Felly yr ysbryd a'm cododd, ac
a'm dyg i'r cyntedd nesaf i mewn,
ac wele, llanwasai gogoniant yr
Arglwydd y tŷ.
6 Clywn *ef* hefyd yn llefaru wrth-
yf o'r tŷ; ac yr oedd y gwr yn sef-
yll yn fy ymyl.
7 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Ha fab dyn, *dyma* le fy ngorseddfa,
a lle gwadnau fy nhraed, lle y trig-
af yn mysg meibion Israel yn dra-
gywydd; a'm henw santaidd ni
haloga tŷ Israel mwy, *na* hwynt-
hwy, na'u brenhinoedd, trwy eu
puteindra, a thrwy gyrff meirw eu
brenhinoedd *yn* eu huchel-leoedd.
8 Wrth osod eu rhiniog wrth fy
rhiniog i, a'u gorsin wrth fy ngor-
sin i, a phared rhyngof fi â hwynt,
hwy a halogasant fy enw santaidd
â'u ffieidd-dra y rhai a wnaethant:
am hyny mi a'u hysais hwy yn fy
llid.
9 Pellhant yr awr hon eu putein-
dra, a chelanedd eu brenhinoedd

---

PEN. XLIII. Adn. 1. *Ac efe a'm dyg i'r porth*] Sef y porth dwyreiniol, i'r hwn y dygesid ef gyntaf, pen. xl. 6.

Adn. 2. *Ac wele ogoniant Duw Israel yn dyfod o ffordd y dwyrain*] Sef y Secina dwyfol, yr hwn a welsai efe ar y cerubiaid, pen. ix. 3, a x. 18, a xi. 23. 'Onid oes *dirgelwch* yma?' ebai *Clarke*. 'Y mae pob gwybodaeth, pob crefydd, a'r holl gelfyddydau a'r gwybodaethau, wedi teithio gyda'r *haul* o'r DWYRAIN i'r GORLLEWIN. Oddiyno y daeth y Beibl, a thrwyddo ef y cyfammod newydd. Oddiyno y daeth y proffwydi, yr apostolion, a'r cenadau cyntaf a ddygasant y wybodaeth o Dduw i Ewrop, i ynysoedd y môr, ac i'r gorllewin gyntaf, ac wedi hyny i'r parthau gogleddol hyn.' *A'i lais fel swn dyfroedd lawer*—yr hyn a all arwyddo effeithioldeb yr efengyl i argyhoeddi a gorchfygu pechaduriaid cyndyn, neu ynte arswydolrwydd barnedigaethau Duw, yn ol rhai, fel swn llifeiriant nerthol. *A'r ddaear yn dysgleirio o'i ogoniant ef*—yn arwydd, fe allai, o ddysgleirdeb goleuni yr efengyl, yr hon yw gogoniant Duw.

Adn. 3. *Pan ddaethym i ddyfetha y ddinas*] Neu i broffwydo am ddinystr Jerusalem. *A'r gweledigaethau oedd fel y weledigaeth a welswn wrth afon Cebar*—gwel ar pen. i. 26—28. *Yna y syrthiais ar fy wyneb*—wedi ei orchfygu gan y weledigaeth, neu ynte mewn teimlad gostyngedig o'i waeledd ei hun.

Adn. 4. *A gogoniant yr Arglwydd a ddaeth i'r tŷ*] Efe a welsai o'r blaen, er ei fawr ofid, ogoniant yr Arglwydd yn ymadael o'r deml o herwydd ei halogi; ond yn awr, er ei hyfrydwch, y mae yn ei ganfod yn dychwelyd iddi. Ond gan na ddarfu i'r Secina erioed ymddangos yn yr ail deml fel y gwnai yn y gyntaf, rhaid i ni ddeall hyn am ogoniant dwyfol ras yn llewyrchu yn yr eglwys Gristionogol.

Adn. 5. *Felly yr ysbryd a'm cododd*] Megys o'r blaen, pen. ii. 2, fel y gallai efe weled yr olygfa ryfeddol.

Adn. 6. *Clywn ef hefyd yn llefaru wrthyf o'r tŷ*] O ganol y gogoniant dysglaer; *ac yr oedd y gŵr yn sefyll yn fy ymyl*—fel Cyfryngwr rhwng Duw a'r proffwyd: neu, os angel crëedig oedd hwn, efe a safai yn fud tra yr oedd Jehofa yn llefaru: gwel ar pen. xl. 3.

Adn. 7. *Ac efe a ddywedodd wrthyf*] Sef Jehofa, Duw Israel, o ganol y gogoniant a lanwasai y tŷ; *Ha fab dyn, dyma le fy ngorseddfa*—sef gorsedd fy ngras yn fy eglwys; *a lle gwadnau fy nhraed*—lle y gall fy mhobl nesâu at fy ystol draed i'm haddoli mewn gostyngeiddrwydd, 1 Cron. xxviii. 2; *lle y trigaf yn mysg meibion Israel yn dragywydd*—ar yr ammodau a enwir adn. 9. *A'm henw santaidd ni haloga tŷ Israel mwy*—y brenin na neb o'i ddeiliaid, *trwy eu puteindra*—sef trwy eilunaddoliaeth ffiaidd, yr hyn ni wnaethant byth ar ol y caethiwed Babilonaidd; *na thrwy gyrff meirw eu brenhinoedd yn eu huchel-leoedd*—wrth y 'cyrff meirw' hyn y dealla rhai gyrff y brenhinoedd hyny a gladdesid yn neu gerllaw tŷ Dduw, yr hyn oedd yn halogiad o hono; neu ynte cyrff eu plant, y rhai a aberthai y brenhinoedd i'w duwiau yn yr uchelfeydd a godesid yn ngolwg y deml; neu ynte yr *eilunod* a osodwyd i fyny gan Manasseh yn nghynteddau y deml: gwel ar 1 Bren. ii. 10, 2 Bren. xxi. 4—6, a xxiii. 13.

Adn. 8. *Wrth osod eu rhiniog wrth fy rhiniog i*] Fel nad oedd dim ond megys *pared* rhwng teml ac allorau y duwiau a chysegr Jehofa, 2 Bren. xxi. 4, 5; *hwy a halogasant fy enw santaidd*—megys o flaen fy llygad:

oddiwrthyf fi, a mi a drigaf yn eu
mysg hwy yn dragywydd.
10 ¶ Ti fab dyn, dangos y tŷ i dŷ
Israel, fel y cywilyddiont am eu
hanwireddau; a mesurant y por-
treiad.
11 Ac os cywilyddiant am yr hyn
oll a wnaethant, hysbysa iddynt
ddull y tŷ, a'i osodiad, a'i fynediad-
au allan, a'i ddyfodiadau i mewn,
a'i holl ddull, a'i holl ddeddfau, a'i
holl ddull, a'i holl gyfreithiau; ac
ysgrifena o flaen eu llygaid hwynt,
fel y cadwont ei holl ddull ef, a'i
holl ddeddfau, ac y gwnelont hwynt.
12 Dyma gyfraith y tŷ; Ar ben
y mynydd *y bydd* ei holl derfyn ef,
yn gysegr santeiddiolaf o amgylch
ogylch: wele, dyma gyfraith y tŷ.
13 ¶ A dyma fesurau yr allor
wrth gufyddau. Y cufydd *sydd*
gufydd a dyrnfedd; y gwaelod *fydd*
yn gufydd, a'r lled yn gufydd, a'i
hymylwaith ar ei min o amgylch
*fydd* yn rhychwant: a dyma le
uchaf yr allor.
14 Ac o'r gwaelod *ar* y llawr,
hyd yr ystôl isaf, *y bydd* dau guf-
ydd, ac un cufydd o led; a phedwar
cufydd o'r ystôl leiaf hyd yr ystôl
fwyaf, a chufydd o led.
15 Felly yr allor *fydd* bedwar
cufydd; ac o'r allor *y bydd* hefyd
tuag i fyny bedwar o gyrn.
16 A'r allor *fydd* ddeuddeg *cuf-
ydd* o hyd, a deuddeg o led, yn
ysgwâr yn ei phedwar ystlys.
17 A'r ystôl *fydd* bedwar *cufydd*
ar ddeg o hyd, a phedwar ar ddeg
o led, yn ei phedwar ystlys; a'r
ymylwaith o amgylch iddi yn han-
ner cufydd; a'i gwaelod yn gufydd
o amgylch; a'i grisiau yn edrych
tua'r dwyrain.
18 ¶ Ac efe a ddywedodd wrth-
yf, Ha fab dyn, fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Dyma ddeddfau
yr allor, yn y dydd y gwneler hi, i
boeth-offrymu poeth-offrwm arni,
ac i daenellu gwaed arni.
19 Yna y rhoddi at yr offeiriaid
y Lefiaid, (y rhai sydd o had Sadoc
yn nesâu ataf fi, medd yr Arglwydd
Dduw, i'm gwasanaethu,) fustach
ieuanc yn bech-aberth.
20 A chymer o'i waed ef, a dyro
ar ei phedwar corn hi, ac ar bedair
congl yr ystôl, ac ar yr ymyl o am-
gylch: fel hyn y glanhei ac y cy-
segri hi.
21 Cymeri hefyd fustach y pech-
aberth, ac efe a'i llysg ef yn y lle
nodedig i'r tŷ, o'r tu allan i'r cy-
segr.
22 Ac ar yr ail dydd ti a offrymi
fwch geifr perffaith-gwbl yn bech-
aberth; a hwy a lanhant yr allor,
megys y glanhasant hi â'r bustach.

---

*am hyny mi a'u hysais hwy yn fy llid*—trwy eu rhoddi i ddwylaw y Caldeaid.

Adn. 9. *Pellhant yr awr hon eu puteindra, &c.*] Sef y pechodau a enwyd yn adn. 7; *oddiwrthyf fi*—boed iddynt ymgadw oddiwrth y pechodau hyny yn y deml newydd, y rhai yr arferent eu cyflawni yn yr hen deml, neu dan yr hen oruchwyliaeth; *a mi a drigaf yn eu mysg hwy yn dragywydd*—ar yr ammod hon: gwel ar 2 Bren. xxi. 8, Salm cxxxii. 14.

Adn. 10. *Ti fab dyn, dangos y tŷ*] Dangos i dŷ Israel y tŷ santaidd hwn, 'lle fy ngorseddfa,' adn. 7; *fel y cywilyddiont am eu hanwireddau*—y rhai a fuont yn achos i mi eu gadael hwy a'u teml gynt: *a mesurant y portreiad*—neu ysgrifena di y mesurau iddynt fel y gallont wneyd yr ail deml oddiwrth y portreiad hwn.

Adn. 11. *Ac os cywilyddiant am yr hyn oll a wnaethant*] Ar ol i ti ddangos iddynt y ty; *hysbysa iddynt ddull y tŷ, &c.*—hysbysa iddynt yn fanylach holl ranau y tŷ, ei furiau, ei ddrysau, ei risiau, a'i ystafelloedd, yn nghyda holl ddeddfau a chyfreithiau gwasanaeth santaidd y tŷ; *fel y cadwont ei holl ddull ef*—wrth adeiladu yr ail deml; *a'i holl ddeddfau*—perthynol i'r offrymau a'r aberthau; *ac y gwnelont hwynt*—yn eu holl addoliadau.

Adn. 12. *Dyma gyfraith y tŷ*] Sef y deml hon, a'r oll a berthynai iddi. *Ar ben y mynydd y bydd ei holl derfyn ef*—sef ar ben Moriah, meddai *Lowth*, ar yr hwn y safai y deml gyntaf: ond gwel ar pen. xl. 2. *Yn gysegr santeiddiolaf o amgylch ogylch*—y gafell yn unig oedd y cysegr santeiddiolaf yn y deml gyntaf a'r ail; ond yn awr y mae holl fynydd y tŷ, yn cynwys yr holl ystafelloedd a'r cynteddau, i fod yn gysegr santeiddiolaf. 'Santeiddrwydd a weddai i dŷ yr Arglwydd byth,' ac yn enwedig yn nyddiau yr efengyl: gwel ar Salm xciii. 5.

Adn. 13—17. *A dyma fesurau yr allor*] Sef allor y poeth-offrwm, adn. 18. *Y cufydd sydd gufydd a dyrnfedd*—neu 21 o fodfeddi, ac nid 18. *Bedwar o gyrn*—gwel ar Exod. xxvii. 2.

Adn. 18. *Dyma ddeddfau yr allor*] Sef yr hyn a ddywedir isod o berthynas i'w chysegriad hi, a'r offrymau oedd i fod arni.

Adn. 19. *Y rhai sydd o had Sadoc*] Gwel ar pen. xl. 46.

Adn. 20—23. *A chymer o'i waed ef, &c.*] Gwel ar Exod. xxix. 12, &c.

23 Pan orphenych ei glanhau, ti a offrymi fustach ieuanc perffaith-gwbl, a hwrdd perffaith-gwbl o'r praidd.
24 Ac o flaen yr Arglwydd yr offrymi hwynt; a'r offeiriaid a fwriant halen arnynt, ac a'u hoffrymant hwy *yn* boeth-offrwm i'r Arglwydd.
25 Saith niwrnod y darperi fwch *yn* bech-aberth bob dydd; darparant hefyd fustach ieuanc, a hwrdd o'r praidd, o rai perffaith-gwbl.
26 Saith niwrnod y cysegrant yr allor, ac y glanhant hi, ac yr ymgysegrant.
27 A phan ddarffo y dyddiau hyn, bydd ar yr wythfed dydd, ac o hyny allan, i'r offeiriaid offrymu ar yr allor eich poeth-offrymau a'ch ebyrth hedd: a mi a fyddaf foddlon i chwi, medd yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XLIV.

AC efe a wnaeth im' ddychwelyd ar hyd ffordd porth y cysegr nesaf allan, yr hwn sydd yn edrych tua'r dwyrain, ac *yr oedd* yn gauad.
2 Yna y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Y porth hwn fydd gauad; nid agorir ef, ac nid â neb i mewn trwyddo ef: o herwydd Arglwydd Dduw Israel a aeth i mewn trwyddo ef; am hyny y bydd yn gauad.
3 I'r tywysog *y mae;* y tywysog, efe a eistedd ynddo i fwyta bara o flaen yr Arglwydd: ar hyd ffordd cyntedd y porth *hwnw* y daw efe i mewn, a hyd ffordd yr un yr â efe allan.
4 ¶ Ac efe a'm dyg i ffordd porth y gogledd o flaen y tŷ: a mi a edrychais, ac wele, llanwasai gog-

Adn. 24. *A'r offeiriaid a fwriant halen arnynt*] Yr oedd pob offrwm dan y gyfraith i gael ei halltu, Lef. ii. 13, i arwyddo yr anllygredigaeth a'r cywirdeb meddwl ag sydd yn ofynol yn mhawb a fynant roddi aberth cymeradwy i Dduw, Col. iv. 6.

Adn. 25, 26. *Saith niwrnod y darperi fwch yn bech-aberth bob dydd*] Y mae y rabbiniaid Iuddewig eu hunain yn addef fod y trefniadau a grybwyllir yma yn gwahaniaethu oddiwrth ddeddf Moses, ac na chyflawnwyd y defodau hyn chwaith yn yr ail deml; ac am hyny, gan dybied fod trydedd teml i'w hadeiladu, hwy a gasglant y rhaid y bydd rhyw gyfnewidiadau yn nhrefn yr aberthau yn yr amserau dyfodol dan y Messia.

Adn. 27. *A phan ddarffo y dyddiau hyn*] Sef saith niwrnod y cysegriad; *bydd ar yr wythfed dydd, ac o hyny allan*—y dydd nesaf ar ol y seithfed, ac ar bob dychweliad o hono yn mhen yr wythnos. Yr oedd ac y mae yr Iuddewon yn cynal eu sabboth hwy ar y *seithfed* dydd, eithr newidiodd y Cristionogion eu sabboth hwy i'r *wythfed*, sef y dydd cyntaf o'r wythnos, ar yr hwn y cododd Crist o'r bedd, a'r hwn a elwir am hyny yn 'ddydd yr Arglwydd,' Dat. i. 10. Ac onid oes yma ragddanghosiad mai felly yr oedd i fod dan yr efengyl? *I'r offeiriaid offrymu ar yr allor eich poeth-offrymau a'ch ebyrth hedd*—yr hyn, yn iaith yr efengyl, a olyga wasanaeth neu addoliad cyhoeddus yn yr eglwys Gristionogol bob dydd cyntaf o'r wythnos, yn lle ar y sabboth: gwel ar Esay lvi. 7. *A mi a fyddaf foddlon i chwi, medd yr Arglwydd Dduw*—mi a gymeradwyaf eich gwasanaeth a'ch addoliad chwi ar y *Sul*, trwy aberth anfeidrol fy Mab, fel yr oeddwn yn cymeradwyo ebyrth sabbothol yr Iuddewon duwiol gynt ar y *Sadwrn.*

PEN. XLIV. Adn. 1. *Ac efe a wnaeth im' ddychwelyd*] Oddiwrth yr allor at borth cyntedd yr offeiriaid.

Adn. 2. *Y porth hwn fydd gauad*] O herwydd i ogoniant yr Arglwydd fyned i mewn trwyddo.

Adn. 3. *I'r tywysog y mae*] At ei wasanaeth ef yn unig. Tybia rhai mai Zorobabel, ac ereill o lywodraethwyr gwladol yr Iuddewon yn nyddiau yr ail deml, a feddylir wrth y tywysog hwn; tybia ereill mai yr archoffeiriad a olygir; a thybia ereill mai at Grist y cyfeirir, yr hwn a elwir yn 'dywysog,' pen: xxxiv. 24, a xxxvii. 25. 'A gall yr hyn a ddywedir yma roddi ar ddeall i ni,' ebai *Scott*, 'na ddichon i neb fyned i mewn i'r nefoedd, y gwir gysegr, fel yr aeth Crist, sef trwy rinwedd ei haeddiant, ei santeiddrwydd, ei gyfiawnder, a'i allu ei hun.' *Efe a eistedd ynddo i fwyta bara o flaen yr Arglwydd*—'yr oedd gan y brenhinoedd le yn y deml yn cyfateb i hwn, 2 Cron. xxxiv. 31.'—*Boothroyd.* 'Ymadrodd cyffelybiaethol yw hwn am fwynhad gogoneddus Mab Duw yn y nefoedd fel gwobr ei ddyoddefiadau, Esay liii. 11.'—*Diodati.* *Ar hyd ffordd cyntedd y porth hwnw*—y deuai y tywysog i mewn, ac yr âi efe allan. Y rhai a olygant mai Crist a feddylir wrth y tywysog hwn, a dybiant y gall hyn fod yn arwyddo ei ddyfodiad grasol ef at ei bobl, a'i ddychweliad i'w balas nefol ar hyd ei ffordd ei hun, yn ol ei ewyllys ei hun.

Adn. 4. *Ac efe a'm dyg i ffordd porth y gogledd*] Trwy fod porth y dwyrain yn gauedig: *a mi a edrychais, ac wele, llanwasai gogoniant yr Arglwydd dŷ yr Arglwydd*—fel yr ymddanghosai oddiwrth y goleuni a dywynai trwy y ffenestri; canys nid oedd drws i'r cysegr yr ochr hôno.

Adn. 5. *Gosod dy galon, fab dyn, a gwel*

oniant yr Arglwydd dŷ yr Ar-
glwydd: a mi a syrthiais ar fy
wyneb.
5 A dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Gosod dy galon, fab dyn,
a gwel â'th lygaid, clyw hefyd â'th
glustiau yr hyn oll yr ydwyf yn ei
ddywedyd wrthyt, am holl ddeddfau
tŷ yr Arglwydd, ac am ei holl gyf-
reithiau; a gosod dy feddwl ar ddy-
fodfa y tŷ, ac ar bob mynedfa allan
o'r cysegr.
6 A dywed wrth y gwrthryfelgar,
*sef* tŷ Israel, Fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Digon i chwi *hyn*,
tŷ Israel, o'ch holl ffieidd-dra;
7 Gan ddwyn o honoch ddyeithr-
iaid dienwaededig o galon, a dien-
waededig o gnawd, i fod yn fy nghy-
segr i'w halogi ef, *sef* fy nhŷ i, pan
offrymasoch fy mara, y brasder a'r
gwaed; a hwy a dorasant fy nghyf-
ammod, o herwydd eich holl ffieidd-
dra chwi.
8 Ac ni chadwasoch gadwraeth
fy mhethau cysegredig; eithr gos-
odasoch i chwi eich hunain geidwaid
*ar* fy nghadwraeth yn fy nghysegr.
9 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Ni ddaw i'm cysegr
un mab dyeithr dienwaededig o ga-
lon, a dienwaededig o gnawd, o'r
holl feibion dyeithr y rhai *sydd* yn
mysg meibion Israel.
10 A'r Lefiaid y rhai a giliasant
yn mhell oddiwrthyf, pan gyfeil-
iornodd Israel, y rhai a grwydras-
ant oddiwrthyf ar ol eu delwau, hwy
a ddygant eu hanwiredd.
11 Eto hwy a fyddant yn fy ngy-
segr, yn weinidogion *mewn* swydd
yn mhyrth y tŷ, ac yn gweini i'r tŷ:
hwy a laddant yr offrwm poeth, ac
aberth y bobl, a hwy a safant o'u
blaen hwy i'w gwasanaethu hwynt.
12 O herwydd gwasanaethu o
honynt hwy o flaen eu heilunod, a
bod o honynt i dŷ Israel yn dram-
gwydd i anwiredd, am hyny y dyr-
chefais fy llaw yn eu herbyn hwynt,
medd yr Arglwydd Dduw, a hwy a
ddygant eu hanwiredd.
13 Ac ni ddeuant yn agos ataf fi
i offeiriadu i mi, nac i nesâu at yr
un o'm pethau santaidd yn y cysegr
santeiddiolaf: eithr dygant eu cy-
wilydd, a'u ffieidd-dra a wnaethant.
14 Eithr gwnaf hwynt yn geidw-
aid cadwraeth y tŷ, yn ei holl was-
anaeth, ac yn yr hyn oll a wneir
ynddo.
15 ¶ Yna yr offeiriaid y Lefiaid,
meibion Sadoc, y rhai a gadwasant
gadwraeth fy nghysegr, pan gyfeil-
iornodd meibion Israel oddiwrthyf,
hwynt-hwy a nesânt ataf fi i'm gwas-
anaethu, ac a safant o'm blaen i off-
rymu i mi y brasder a'r gwaed,
medd yr Arglwydd Ior.
16 Hwy a ânt i mewn i'm cysegr,

---

*â'th lygaid, &c.*] Gwel ar pen. xl. 4.

Adn. 6. *Digon i chwi hyn, tŷ Israel*] Gorchymynir yma i'r proffwyd alw tŷ Israel i edifarhau a diwygio, trwy ddangos fod yn ddigon iddynt y ffieidd-dra a wnaethent eisioes, heb fyned yn mlaen yn mhellach ar hyd yr un llwybrau.

Adn. 7 *Gan ddwyn o honoch ddyeithriaid dienwaededig*] Mewn calon a chnawd; *i fod yn fy nghysegr i'w halogi ef*—ymddengys eu bod yn nyddiau y brenhinoedd eilunaddolgar yn goddef i'r cenhedloedd offeiriadu wrth yr allor yn groes i'r gyfraith, Lef. xxii. 25.

Adn. 8. *Ac ni chadwasoch gadwraeth fy mhethau cysegredig*] Ni chadwasoch y gyfraith a roddais i chwi o berthynas i'm gwasanaeth i, eithr penodasoch ereill i wasanaethu yn afreolaidd, yn ol eich meddyliau eich hunain.

Adn. 9. *Ni ddaw i'm cysegr un mab dyeithr dienwaededig*] Y meddwl yw, na oddefai Duw, yn yr amser ag y cyfeirir ato yma, i neb annghymhwys gael gweinyddu wrth ei allor ef.

Adn. 10. *A'r Lefiaid y rhai a giliasant yn mhell oddiwrthyf*] Darfu i lawer o offeiriaid y Lefiaid adael gwasanaeth Duw, a syrthio i eilunaddoliaeth, yn ngwrthgiliad y deg llwyth yn amser Jeroboam, ac wedi hyny yn amser brenhinoedd drygionus Juda, 2 Bren. xxiii. 9. *Hwy a ddygant eu hanwiredd*—trwy gael eu troi o'u swydd. Yr oedd hyn i fod yn rheol sefydlog dan yr ail deml.

Adn. 11—14. *Eto hwy a fyddant yn fy nghysegr*] Mewn gwasanaeth is, a mwy llafurus; *yn geidwaid cadwraeth y tŷ*—yn borthorion i gau ac agor y drysau, ysgubo a glanhau y tŷ, neu ladd a blingo yr ebyrth.

Adn. 15. *Yna yr offeiriaid y Lefiaid, meibion Sadoc*] Sef y rhai ffyddlon yn ngwasanaeth Duw, pen. xl. 46; *hwynt-hwy a nesânt ataf fi i'm gwasanaethu*—sef i offrymu yr aberthau, yn wobr am eu ffyddlondeb; *medd yr Arglwydd Ior*—Saes., 'medd yr Arglwydd Dduw.' Wrth 'feibion Sadoc' y dealla rhai weinidogion ffyddlon Iesu Grist dan yr oruchwyliaeth newydd, i'r rhai yn unig yr ymddiriedir gofal yr eglwysi yn y dyddiau diweddaf; eithr tybia *Clarke* mai at amser yr ail deml y cyfeirir yma.

Adn. 16. *Hwy a ânt i mewn i'm cysegr*]

a hwy a nesânt at fy mwrdd i'm gwasanaethu, ac a gadwant fy nghadwraeth.

17 ¶ A phan ddelont i byrth y cyntedd nesaf i mewn, gwisgant wisgoedd llian; ac na ddeued gwlan am danynt, tra y gwasanaethant yn mhyrth y cyntedd nesaf i mewn, ac o fewn.

18 Capiau llian fydd am eu penau hwynt, a llodrau llian fydd am eu llwynau hwynt: nac ymwregysant â dim a baro chwys.

19 A phan elont i'r cyntedd nesaf allan, *sef* at y bobl i'r cyntedd oddi allan, dyosgant eu gwisgoedd y rhai y gwasanaethasant ynddynt, a gosodant hwynt o fewn celloedd y cysegr, a gwisgant ddillad ereill; ac na chysegrant y bobl â'u gwisgoedd.

20 Eu penau hefyd ni eilliant, ac ni ollyngant *eu* gwallt *yn llaes:* gan dalgrynu talgrynant eu penau.

21 Hefyd, nac yfed un offeiriad win, pan ddelont i'r cyntedd nesaf i mewn.

22 Na chymerant chwaith yn wragedd iddynt wraig weddw, neu ysgaredig; eithr morwynion o had tŷ Israel, neu y weddw a fyddo gweddw offeiriad, a gymerant.

23 A dysgant i'm pobl *ragor* rhwng y santaidd a'r halogedig, a gwnant iddynt wybod *gwahan* rhwng aflan a glân.

24 Ac mewn ymrafael hwy a safant mewn barn, *ac* a farnant yn ol fy marnedigaethau i: cadwant hefyd fy nghyfreithiau a'm deddfau yn fy holl uchel-ŵyliau; a santeiddiant fy sabbothau.

25 Ni ddeuant chwaith at ddyn marw i ymhalogi: eithr wrth dad, ac wrth fam, ac wrth fab, ac wrth ferch, wrth frawd, ac wrth chwaer yr hon ni bu eiddo gŵr, y gallant ymhalogi.

26 Ac wedi ei buredigaeth y cyfrifir iddo saith niwrnod.

27 A'r dydd yr elo i'r cysegr, o fewn y cyntedd nesaf i mewn, i weini yn y cysegr, offrymed ei bech-aberth, medd yr Arglwydd Dduw.

28 A bydd yn etifeddiaeth iddynt hwy; myfi *yw* eu hetifeddiaeth

---

I gyflawni swyddau yr offeiriadaeth; *a hwy a nesânt at fy mwrdd*—i osod y 'bara dangos' arno, Exod. xxv. 30; *ac a gadwant fy nghadwraeth*—hyny yw, iddynt hwy yn unig yr ymddiriedid gofal yr holl bethau cysegredig. Yr îs-gadwraeth yn unig a berthynai i'r lleill, adn. 11—14.

Adn. 17, 18. *A phan ddelont i borth y cyntedd nesaf i mewn*] Lle y safai allor y poeth-offrwm; *gwisgant wisgoedd llian*—gwel ar Exod. xxviii. 4: *ac na ddeued gwlan am danynt*—am y parai gwisgoedd gwlan iddynt chwysu yn ystod eu llafur caled oddeutu yr allor, ac hefyd am eu bod yn dueddol i fagu budreddi a phryfed.

Adn. 19. *A phan elont i'r cyntedd nesaf allan*] I blith y bobl; *dyosgant eu gwisgoedd*—offeiriadol uchod, i'w dodi o fewn celloedd y cysegr, pen. xlii. 14; *a gwisgant ddillad ereill*—sef eu dillad cyffredin: *ac na chysegrant y bobl â'u gwisgoedd*—yr oedd pob peth a gyffyrddai â phethau cysegredig, yn dyfod yn gysegredig eu hunain yn ol y gyfraith; ac ni fynai yr Arglwydd i'r bobl eu hystyried eu hunain yn gysegredig o herwydd y cyfryw gyffyrddiad.

Adn. 20. *Eu penau hefyd ni eilliant*] Yn llwyr; *ac ni ollyngant eu gwallt yn llaes*—i grogi ar hyd eu hysgwyddau: *gan dalgrynu talgrynant eu penau*—torant eu gwallt yn weddaidd, heb ei adael yn rhy fyr nac yn rhy laes. Yr oedd rhai o'r offeiriaid paganaidd yn eillio eu gwallt ymaith yn llwyr, ac ereill yn gadael iddo dyfu yn llaes, yn arwydd o alar; ond rhaid i offeiriaid yr Arglwydd beidio efelychu y naill na'r llall.

Adn. 21. *Hefyd, nac yfed un offeiriad win*] Gwel ar Lef. x. 9, 10.

Adn. 22. *Na chymerant chwaith yn wragedd iddynt wraig weddw, &c.*] Rhoddid y gwaharddiad hwn i'r archoffeiriad dan y gyfraith, Lef. xxi. 13, 14; ond yma rhoddir ef i'r offeiriaid yn gyffredinol: eto gallent briodi gweddw un o'u brodyr eu hunain, am y tybid fod hòno yn bur.

Adn. 23. *A dysgant i'm pobl ragor rhwng y santaidd a'r halogedig*] Trwy siamplau yn gystal a thrwy addysgiadau.

Adn. 24. *Ac mewn ymrafael*] Neu ryw annghytundeb rhwng pleidiau; *hwy a safant mewn barn*—i roddi barn uniawn yn ol y gyfraith: gwel ar Deut. xvii. 8—13, Mal. ii. 7. *Cadwant hefyd fy nghyfreithiau a'm deddfau yn fy holl uchel-ŵyliau*—gan gadw y gŵyliau hyny yn ol y gyfraith yn fanwl; *a santeiddiant fy sabbothau*—y rhai sydd i barhau hyd ddiwedd amser. Yr oedd yr offeiriaid wedi eu halogi hwy yn gywilyddus cyn y caethiwed, pen. xxii. 26.

Adn. 25. *Ni ddeuant chwaith at ddyn marw i ymhalogi*] Oddieithr ei fod yn gyfnesaf iddynt: gwel ar Lef. xxi. 1, 2.

Adn. 26, 27. *Ac wedi ei buredigaeth*] Yn mhen saith niwrnod, Num. xix. 11; *y cyfrifir iddo saith niwrnod*—ereill, yn niwedd pa rai y mae i offrymu pech-aberth drosto ei hun.

Adn. 28. *A bydd yn etifeddiaeth iddynt hwy*] Bydd yr offeiriadaeth felly, a'r hyn a

hwy. Ac na roddwch berchenog-
aeth iddynt hwy yn Israel; myfi *yw*
eu perchenogaeth hwy.
29 Y bwyd-offrwm, a'r pech-ab-
erth, a'r aberth dros gamwedd, a
fwytânt hwy; a phob peth cysegr-
edig yn Israel fydd eiddynt hwy.
30 A blaenion pob blaenffrwyth
o bob *peth*, a phob offrwm pob dim
oll o'ch holl offrymau, fydd eiddo yr
offeiriaid: blaenffrwyth eich toes
hefyd a roddwch i'r offeiriad, i osod
bendith ar dy dŷ.
31 Na fwytäed yr offeiriaid ddim
a fu farw ei hun, neu ysglyfaeth o
aderyn neu o anifel.

## PENNOD XLV.

A PHAN ranoch y tir wrth goel-
bren yn etifeddiaeth, yr offrym-
wch i'r Arglwydd offrwm cysegr-
edig o'r tir; yr hyd *fydd* pum mil
ar hugain *o gorsenau* o hyd, a deg
mil o led. Cysegredig *fydd* hyny
yn ei holl derfyn o amgylch.
2 O hyn *y bydd* i'r cysegr bum
cant *ar hyd*, a phum cant *ar led*,
yn bedeirongl oddiamgylch; a deg
cufydd a deugain yn faes pentrefol
iddo o amgylch.
3 Ac o'r mesur hwn y mesuri
bum mil ar hugain o hyd, a deg
mil o led; ac yn hwnw y bydd y
cysegr, *a*'r lle santeiddiolaf.
4 Y rhan gysegredig o'r tir fydd
i'r offeiriaid, y rhai a wasanaethant
y cysegr, y rhai a nesânt i wasan-
aethu yr Arglwydd; a efe a fydd
iddynt yn lle tai, ac yn gysegrfa i'r
cysegr.
5 A'r pum mil ar hugain o hyd,
a'r deg mil o led, fydd hefyd i'r
Lefiaid y rhai a wasanaethant y tŷ,
yn etifeddiaeth ugain o ystafell-
oedd.
6 ¶ Rhoddwch hefyd bum mil o
led, a phum mil ar hugain o hyd,
yn berchenogaeth i'r ddinas, ar
gyfer offrwm y rhan gysegredig: i
holl dŷ Israel y bydd *hyn*.
7 ¶ A *rhan fydd* i'r tywysog o'r
tu yma ac o'r tu acw i offrwm y
rhan gysegredig, ac i berchenog-
aeth y ddinas, ar gyfer y rhan gy-
segredig, ac ar gyfer etifeddiaeth y
ddinas, o du y gorllewin tua'r gor-
llewin, ac o du y dwyrain tua'r

---

berthyn iddi. *Myfi yw eu hetifeddiaeth hwy*—gwel ar Num. xviii. 20. *Ac na roddwch berchenogaeth iddynt hwy yn Israel*—fel i'r llwythau ereill, oddieithr yr hyn a nodir yn nechre y bennod nesaf. *Myfi yw eu perchenogaeth hwy*—myfi sydd i ofalu am danynt hwy dan yr ail deml, a hyd ddiwedd y byd.

Adn. 29. *Y bwyd-offrwm, a'r pech-aberth, a'r aberth dros gamwedd, a fwytânt hwy*] Yr oedd yr offeiriaid i gael eu rhan o honynt oll, ar ol i'r rhan a gyflwynid i Dduw gael ei difa ar yr allor: *a phob peth cysegredig yn Israel fydd eiddynt hwy*—pa beth bynag a gyflwynai dynion i Dduw, yr oedd rhan o hono, neu ryw elw oddiwrtho, yn perthyn i'r offeiriaid: gwel ar Lef. xxvii. 2, &c.

Adn. 30. *A blaenion pob blaenffrwyth o bob peth*] Megys yr ŷd, y gwin, yr olew, &c., Exod. xxii. 29, 30; *fydd eiddo yr offeiriaid*—fel yr oedd yn amser Moses: *blaenffrwyth eich toes hefyd a roddwch i'r offeiriaid*—sef y toes cyntaf a wneid o'r ŷd newydd bob blwyddyn; *i osod bendith ar dy dŷ*—fel hyn, tra y byddai y bobl yn gofalu am gynaliaeth yr offeiriad, byddai yntau yn gweddio am fendith Duw arnynt hwythau a'r eiddynt.

Adn. 31. *Na fwytäed yr offeiriaid ddim a fu farw ei hun*] Am fod y gwaed, yr hwn oedd yn waharddedig i'w fwyta, yn aros fyth mewn creadur a drengasai o hono ei hun: gwel ar Exod. xxii. 31.

PEN. XLV. Adn. 1. *A phan ranoch y tir wrth goelbren yn etifeddiaeth*] Nid ymddengys i'r tir gael ei ranu o'r newydd wrth goelbren ar ol dychweliad yr Iuddewon o Babilon; a meddylir mai y rhaniad ag y cyfeirir ato yma a raid fod yn offrymiad o ran o'r tir i'r Arglwydd, at wasanaeth y cysegr a'r ddinas, yr offeiriaid a'r Lefiaid, a thywysog y bobl. *Yr hyd fydd pum mil ar hugain o gorsenau o hyd, a deg mil o led*—nid yw y gair *corsenau* yn y wreiddiol; a *chufyddau* yw darlleniad *Calmet*, *Waterland*, *Houbigant*, *Lowth*, *Newcome*, *Michaelis*, a *Boothroyd*. Ond tybia *Scott* ac ereill mai y *gorsen* a feddylir, am mai â hono y gwnaed y mesuriadau yn y pennodau blaenorol, a bod mesuriad y cysegr yn adn. 2 yn cyfateb i'r mesuriad yn pen. xlii. 16—19, yr hwn a wnaed â chorsen. *Cysegredig fydd hyny yn ei holl derfyn o amgylch*—byddai i gynifer a hyny o *gorsenau* o dir, yn ol y cyfrifiad lleiaf, gyraedd i 42 o filldiroedd o hyd, wrth 16 o led. Ond tybir yn gyffredin mai amcan y geiriau yw dangos rhagoriaeth maint yr eglwys Gristionogol ar yr eglwys Iuddewig.

Adn. 2. *O hyn y bydd i'r cysegr bum cant ar hyd, &c.*] Sef pum cant o gorsenau o hyd a lled, pen. xlii. 16—20; *a deg cufydd a deugain yn faes pentrefol iddo o amgylch*—neu yn 'lle gwâg' o'i amgylch.

Adn. 3—8. *Ac o'r mesur hwn y mesuri bum mil ar hugain o hyd*] 'O *gorsenau* o hyd;' *ac yn hwnw y bydd y cysegr*—yma y

dwyrain: a'r hyd *fydd* ar gyfer *pob*
un o'r rhanau, o derfyn y gorllewin
hyd derfyn y dwyrain.
8 *Yn* y tir y bydd ei etifeddiaeth
ef yn Israel, ac ni orthryma fy nhy-
wysogion fy mhobl i mwy; a'r *rhan*
arall o'r tir a roddant i dŷ Israel yn
ol eu llwythau.
9 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Digon i chwi hyn,
tywysogion Israel; bwriwch ymaith
drawsder a difrod, gwnewch hefyd
farn a chyfiawnder, tynwch ymaith
eich trethau oddiar fy mhobl, medd
yr Arglwydd Dduw.
10 Bydded genych glorianau un-
iawn, ac ephah uniawn, a bath un-
iawn.
11 Bydded yr ephah a'r bath un
fesur: gan gynwys o'r bath ddeg-
fed ran homer, a'r ephah ddegfed
ran homer: wrth yr homer y bydd
eu mesur hwynt.
12 Y sicl *fydd* ugain gerah: ug-
ain sicl, a phum sicl ar hugain, a
phymtheg sicl fydd maneh i chwi.
13 Dyma yr offrwm a offrymwch:
chweched ran ephah o homer o
wenith; felly y rhoddwch chwech-
ed ran ephah o homer o haidd.
14 Am ddeddf yr olew, bath o
olew, degfed ran bath *a roddwch* o'r
corus; yr hyn *yw* homer o ddeg
bath: o herwydd deg bath *yw*
homer.
15 Un milyn hefyd o'r praidd *a
offrymwch o bob* deucant, allan o
ddolydd Israel, yn fwyd-offrwm, ac
yn boeth-offrwm, ac yn aberthau
hedd, i wneuthur cymod drostynt,
medd yr Arglwydd Dduw.
16 Holl bobl y tir fyddant dan yr
offrwm hwn i'r tywysog yn Israel.
17 Ac ar y tywysog y bydd poeth-
offrwm, a bwyd-offrwm, a diod-off-
rwm, ar yr uchel-ŵyliau, a'r new-

---

gwelwn, (1) Fod y rhan gyntaf o'r tir i gael ei rhoddi yn offrwm cysegredig i'r Arglwydd, lle yr oedd ei gysegr ef i fod yn y canol; ac o'i amgylch ef yr oedd cartref yr offeiriaid a'r Lefiaid, a'r tir ag ydoedd at eu gwasanaeth hwy. (2) Y rhan nesaf sydd i'r ddinas, lle yr oedd holl dŷ Israel, neu rai o bob llwyth, i gartrefu: cysgod o Israel Duw yn un gorlan dan un bugail. (3) Y mae cyfran y tywysog yn cael ei phenodi iddo ef o'r tufaes. Ni roddir y mesuriad yma mewn geiriau penodol; ond efe a gai ddigon i gynal ei urddas, ac i attal iddo orthrymu y bobl. Tybia rhai mai y tywysog Messia a feddylir, yr hwn y mae ei lywodraeth i gyraedd o'r dwyrain i'r gorllewin, a'r hwn sydd o amgylch ei eglwys a'i bobl i'w gwylio a'u diogelu rhag eu gelynion. Modd bynag, y mae yn debycach mai at dywysogion gwladol yn amser yr ail deml y cyfeirir, y rhai a allent fod yn gysgod o Grist, Brenin Seion, yn y dyddiau diweddaf. (4) A'r gweddill o'r holl dir a roddid i dŷ Israel i gartrefu ynddo yn ol eu llwythau, adn. 8. Y neb a chwennycho gael golwg fwy cryno ar y rhandiroedd hyn, cyfeirir ef at daflenau *Calmet*, lle y mae mesuriadau y cynteddau, y pyrth, yr ystafelloedd, a holl ranau ereill y deml, wedi eu tynu gyda manylwch mawr.

Adn. 9. *Digon i chwi hyn, tywysogion Israel*] Cyfeirir yma at orthrymder a thrais tywysogion blaenorol Israel; a chwanegir rheolau priodol i'r tywysogion dylynol, fel na cherddent yn eu llwybrau hwy. *Bwriwch ymaith drawsder a difrod*—nac arferwch drais ac yspail eich hunain, ac na oddefwch hyny mewn ereill. *Tynwch ymaith eich trethau oddiar fy mhobl*—sef trethi afreidiol a gorthrymus, y rhai a osodwyd gan lywodraethwyr gorthrymus er cynal eu rhwysg a'u balchder.

Adn. 10, 11. *Bydded genych glorianau uniawn, &c.*] Bydded genych bwysau a mesurau cywir at brynu a gwerthu: gwel ar Lef. xix. 35, 36.

Adn. 12. *Y sicl fydd ugain gerah*] Yr oedd y *sicl* oddeutu 2s. 6c. o'n harian ni, a'r *gerah* yn 1½c., Lef. xxvii. 25. *Ugain sicl, a phum sicl ar hugain, a phymtheg sicl, fydd mane i chwi*—fel hyn yr oedd y *mane* yn driugain sicl, neu yn £7 10s. o'n harian ni; canys yr oedd y tri darn hyn, 20 a 25 a 15 sicl, yn gwneyd i fyny un *mane*.

Adn. 13, 14. *Dyma yr offrwm a offrymwch*] O wenith a haidd tuag at y wasanaeth feunyddiol. *Chwechedran ephah o homer*—nid yr un mesur oedd yr *homer* hwn a'r *omer* a grybwyllir Exod. xvi. 36. Nid oedd yr *omer* ond degfed ran epha; tra y mae yr *homer* yn ddeg epha, neu yn 100 *omer*. Yr oedd *corus* a *homer* yr un mesur, ac felly yr oedd yr *epha* a'r *bath*.

Adn. 15. *Un milyn hefyd o'r praidd a offrymwch*] Neu un *oen* o bob deucant; *allan o ddolydd Israel*—sef y rhai goraf a brasaf o'u rhyw; *i wneuthur cymod drostynt*—sef iawn neu ddyhuddiant, mewn cyfeiriad at aberth mawr Crist: gwel ar Lef. vii.

Adn. 16. *Holl bobl y tir fyddant dan yr offrwm hwn i'r tywysog yn Israel*] Sef 'i'r tywysog Messia, fel i'r Arglwydd, er ei anrhydedd a'i ogoniant ef:' felly *Gill*, *Castalio*, *Coccius*, *Starkius*, &c. Ond y mae *Poole*, *Newcome*, *Benson*, ac ereill, yn ei ddarllen, '*gyda'r* tywysog yn Israel;' hyny yw, yr oedd y bobl a'r tywysog i *gyduno* i wneuthur yr offrwm hwn; tra yr oedd yr offrymau a enwir isod i ddisgyn ar y tywysog ei hun.

Adn. 17. *Ac ar y tywysog y bydd poethoffrwm, &c.*] I'w darparu ar ei gost ei hun.

ydd-loerau, a'r sabbothau, trwy holl
osodedig ŵyliau tŷ Israel: efe a
ddarpara bech-aberth, a bwyd-off-
rwm, a phoeth-offrwm, ac aberthau
hedd, i wneuthur cymod dros dŷ
Israel.
18 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; O fewn y *mis* cyntaf, ar y
*dydd* cyntaf o'r mis, y cymeri fus-
tach ieuanc perffaith-gwbl, ac y
puri y cysegr.
19 Yna y cymer yr offeiriad o
waed y pech-aberth, ac a'*i* rhydd ar
orsingau y tŷ, ac ar bedair congl
ystôl yr allor, ac ar orsingau porth
y cyntedd nesaf i mewn.
20 Felly y gwnei hefyd ar y seith-
fed *dydd* o'r mis, dros y neb a becho
yn amryfus, a thros yr ehud: felly
y purwch y tŷ.
21 Yn y *mis* cyntaf, ar y pedwar-
ydd dydd ar ddeg o'r mis, y bydd i
chwi y pasc; gŵyl *fydd i chwi*
saith niwrnod: bara croew a fwyt-
ewch.
22 A'r tywysog a ddarpara ar y
dydd hwnw drosto ei hun, a thros
holl bobl y wlad, fustach *yn* bech-
aberth.
23 A saith niwrnod yr ŵyl y dar-
para efe yn offrwm poeth i'r Ar-
glwydd, saith o fustych, a saith o
hyrddod perffaith-gwbl, bob dydd
o'r saith niwrnod; a bwch geifr yn
bech-aberth bob dydd.
24 Bwyd-offrwm hefyd a ddar-
para efe, *sef* ephah gyda *phob* bus-
tach, ac ephah gyda *phob* hwrdd;
a hin o olew gyda'r ephah.
25 Yn y seithfed *mis*, ar y pym-
thegfed dydd o'r mis, y gwna y cy-
ffelyb ar yr ŵyl *dros* saith niwrnod;
*sef* fel y pech-aberth, fel y poeth-
offrwm, ac fel y bwyd-offrwm, ac
fel yr olew.

## PENNOD XLVI.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd
Dduw; Porth y cyntedd nesaf i
mewn, yr hwn sydd yn edrych tua'r
dwyrain, fydd yn gauad y chwe di-
wrnod gwaith; ond ar y dydd sab-
both yr agorir ef, ac efe a agorir ar
ddydd y newydd-loer.
2 A'r tywysog a ddaw *ar hyd*
ffordd cyntedd y porth oddiallan,
ac a saif wrth orsing y porth; a'r
offeiriaid a ddarparant ei boeth-off-
rwm ef a'i aberthau hedd, ac efe a

---

Crist yw y *tywysog* hwn, medd rhai; yr arch-offeiriad, medd ereill; y penaeth gwladol, medd y lleill. *I wneuthur cymod dros dŷ Israel*—os Crist a olygir wrth y *tywysog* hwn, y meddwl yw, mai efe ei hun yw y gwir aberth cymod dros bechod. Ond nid yw yn eglur mai at Grist y cyfeirir; canys dywedir, adn. 22, fod y tywysog hwn i ddarparu pech-aberth drosto *ei hun*, yn gystal a thros y bobl, yr hyn ni wnaeth Crist.

Adn. 18—20. *O fewn y mis cyntaf*] Sef ar y dydd cyntaf o fis Nisan neu Abib, yn cyfateb i'n Mawrth ni; *y cymeri fustach, &c.*—hyn a ddywedir wrth y tywysog, yr hwn oedd i ddarparu y pech-aberth; *ac y puri y cysegr*—sef trwy weinyddiad yr offeiriad.

Adn. 21—24. *Yn y mis cyntaf, ar y pedwarydd dydd ar ddeg o'r mis, y bydd i chwi y pasc*] Yr oedd y pasc hwn i gael ei gynal ar yr un pryd a phasc Moses, ac yr oedd bara croew i gael ei fwyta ynddo fel yn hwnw: gwel ar Exod. xii. *A'r tywysog a ddarpara ar y dydd hwnw, drosto ei hun a thros holl bobl y wlad, fustach yn bech-aberth*—y mae pob peth yma yn wahanol i'r trefniadau dan y gyfraith. Yno yr oedd pob teulu i ddarparu drostynt eu hunain; ond yma y mae y tywysog i ddarparu drosto ei hun a thros y bobl: yno, oen a aberthid; ond yma, bustach. Fe allai mai awgrymiad sydd yma y bydd brenhinoedd a llywodraethwyr y ddaear, yn y milflwyddiant, yn cyfranu yn haelionus tuag at gynal addoliad Duw.

Adn. 25. *Yn y seithfed mis*] Sef Tisri, yn cyfateb i'n Medi a'n Hydref ni; *ar y pymthegfed dydd o'r mis*—cyfeirir yma at ŵyl y pebyll, yr hon oedd yn dechreu y pryd hyny, ac yn parhau saith niwrnod, Lef. xxiii. 39; *y gwna y cyffelyb*—hyny yw, y gwnai y tywysog yn gyffelyb i'r hyn a wnai efe ar ŵyl y pasc, adn. 21—24. Yr oedd cadwraeth y ddwy ŵyl yma yn dra gwahanol i'r hyn ydoedd dan y gyfraith; ac am hyny casglir fod y pethau hyn i'w deall mewn ystyr gyfriniol ac efengylaidd.

PEN. XLVI. Adn. 1. *Porth y cyntedd nesaf i mewn*] Yr oedd y proffwyd wedi canfod o'r blaen fod porth y cyntedd nesaf allan yn gauedig, ac nad oedd efe i'w agor i neb ond y tywysog, pen. xliv. 1—3; ond at borth y cyntedd nesaf i mewn y cyfeirir yma. *Fydd yn gauad y chwe diwrnod gwaith, &c.*—yr oedd hwn hefyd i fod yn gauedig ar ddyddiau yr wythnos, eithr i gael ei agor ar y sabbothau a'r newydd loerau, sef y dydd cyntaf o ymddanghosiad y lleuad newydd bob mis.

Adn. 2. *A'r tywysog a ddaw ar hyd ffordd cyntedd y porth oddiallan, &c.*] Yr oedd y tywysog i ddyfod i mewn trwy borth allanol y cyntedd hwn, ac i sefyll wrth orsing neu bost y porth mewnol, hyd oni byddai i'r offeiriaid

addola wrth riniog y porth; ac a â
allan: a'r porth ni chauir hyd yr
hwyr.
3 Pobl y tir a addolant hefyd
*wrth* ddrws y porth hwnw, ar y sab-
bothau ac ar y newydd-loerau, o
flaen yr Arglwydd.
4 A'r offrwm poeth a offrymo y
tywysog i'r Arglwydd ar y dydd
sabboth, *fydd* chwech o ŵyn per-
ffaith-gwbl, a hwrdd perffaith-
gwbl:
5 A bwyd-offrwm o ephah gyda'r
hwrdd, a rhodd ei law o fwyd-off-
rwm gyda'r ŵyn, a hin o olew
gyda'r ephah.
6 Ac ar ddydd y newydd-loer,
bustach ieuanc perffaith-gwbl, a
chwech o ŵyn, a hwrdd: perffaith-
gwbl fyddant.
7 Ac efe a ddarpara ephah gyda'r
bustach, ac ephah gyda'r hwrdd,
yn fwyd-offrwm; a chyda'r ŵyn fel
y cyrhaeddo ei law ef, a hin o olew
gyda *phob* ephah.
8 A phan ddelo y tywysog i mewn,
*ar hyd* ffordd cyntedd y porth y
daw i mewn, ac ar hyd y ffordd
hòno yr â allan.
9 ¶ A phan ddelo pobl y tir o
flaen yr Arglwydd ar y gŵyliau
gosodedig, yr hwn a ddelo i mewn
ar hyd ffordd porth y gogledd i
addoli, a â allan i ffordd porth y
deau; a'r hwn a ddelo ar hyd ffordd
porth y deau, a â allan ar hyd ffordd
porth y gogledd: na ddychweled i
ffordd y porth y daeth i mewn
trwyddo, eithr eled allan ar ei
gyfer.
10 A phan ddelont hwy i mewn,
y daw y tywysog yn eu mysg hwy;
a phan elont allan, yr â yntau allan.
11 Ac ar y gŵyliau a'r uchel-
ŵyliau *hefyd* y bydd y bwyd-offrwm
o ephah gyda *phob* bustach, ac eph-
ah gyda *phob* hwrdd, a rhodd ei law
gyda'r ŵyn, a hin o olew gyda'r
ephah.
12 A phan ddarparo y tywysog
boeth-offrwm gwirfodd, neu aberth-
au hedd gwirfodd i'r Arglwydd,
yna yr egyr *un* iddo y porth sydd
yn edrych tua'r dwyrain, ac efe a
ddarpara ei boeth-offrwm a'i ab-
erthau hedd, fel y gwnaeth ar y
dydd sabboth; ac a â allan: ac *un*
a gau y porth ar ol ei fyned ef allan.
13 Oen blwydd perffaith-gwbl
*hefyd* a ddarperi yn boeth-offrwm

---

offrymu ei boeth-offrwm ef a'i aberthau hedd: wedi hyny efe a addolai wrth riniog y porth, ac a ai allan. *A'r porth ni chauir hyd yr hwyr*—i arwyddo fod y dyddiau hyny i'w treulio i gyd mewn ymarferiadau crefyddol.

Adn. 3. *Pobl y tir a addolant hefyd wrth ddrws y porth hwnw*] Yn eu cynulliadau wythnosol a misol; ond nid oeddynt i fyned i mewn trwyddo.

Adn. 4—7. *A'r offrwm poeth a offrymo y tywysog, &c.*] Gwelsom o'r blaen mai y tywysog oedd i ddarparu y poeth-offrwm, y bwyd-offrwm, a'r ddiod-offrwm, ar y sabbothau a'r gŵyliau ereill, pen. xlv. 17; ac yma cawn hanes pa fodd yr oedd ef i wneyd hyny. *A chyda'r ŵyn fel y cyrhaeddo ei law ef*—sef 'cymaint ag a farnai efe yn ddigonol,' yn ol rhai; 'yn ol ei allu, neu yn ol yr hyn a roddasai rhagluniaeth Duw yn ei law ef,' yn ol ereill.

Adn. 8 *A phan ddelo y tywysog i mewn*] Yr oedd ef i ddyfod i mewn, ac i fyned allan, ar hyd yr un ffordd, pen. xliv. 3.

Adn. 9. *A phan ddelo pobl y tir o flaen yr Arglwydd*] Trwy borth y gogledd neu y deau, yr oeddynt i fyned allan trwy y porth ag ydoedd ar ei gyfer. *Na ddychweled i ffordd y porth y daeth i mewn trwyddo*—yr oedd dau reswm dros hyn: (1) Fel na byddai i luosogrwydd y dyrfa fod yn rhwystr iddynt ddychwelyd; ac, (2) I ddysgu iddynt nad oedd y rhai a ymunasent â chymundeb y saint i ddychwelyd i'w hen lwybrau, eithr myned rhagddynt ar hyd llwybrau crefydd, Luc ix. 62, Heb. x. 38, 39.

Adn. 10. *A phan ddelont hwy i mewn*] Ar hyd un ffordd; *y daw y tywysog yn eu mysg hwy*—ar hyd ei ffordd ei hun: *a phan elont allan, yr â yntau allan*—felly yr oedd y tywysog i aros yn yr addoliad cyhyd a'r bobl; canys y mae y tylawd a'r cyfoethog yn gyfartal yn ngolwg Duw, ac yn rhwym o'i wasanaethu ef fel eu gilydd. Y rhai a dybiant mai Crist yw y tywysog hwn, a ddeallant y geiriau am ei bresenoldeb grasol ef gyda'i bobl yn eu haddoliadau.

Adn. 11. *Ac ar y gŵyliau a'r uchel-ŵyliau, &c.*] Yr oedd yr un offrymau i gael eu gwneuthur ar y gŵyliau hyn, ag a benodesid i'r dydd sabboth a'r newydd-loer, adn. 4—7.

Adn. 12. *A phan ddarparo y tywysog boeth-offrwm gwirfodd, &c.*] Yn yr adnodau blaenorol rhoddwyd cyfarwyddiadau o berthynas i'r aberthau ag yr oedd y tywysog yn rhwym o'u hoffrymu ar y sabbothau a'r gŵyliau; yn hon rhoddir cyfarwyddiadau o berthynas i'r offrymau a'r aberthau gwirfodd, am y rhai gwel ar Lef. xxii. 18, 21. Ar yr achlysuron hyn yr oedd y porth dwyreiniol i gael ei agor i'r tywysog; ond ar ol i'r wasanaeth ddybenu, ac iddo yntau fyned allan, yr oedd y porth i gael ei gau.

i'r Arglwydd beunydd: o fore i
fore y darperi ef.
14 Darperi hefyd yn fwyd-offrwm
gydag ef o fore i fore, chweched
ran ephah, a thrydedd ran hin o
olew, i gymysgu y peilliaid, yn
fwyd-offrwm i'r Arglwydd, *trwy*
ddeddf dragwyddol byth.
15 Fel hyn y darparant yr oen, a'r
bwyd-offrwm, a'r olew, o fore i
fore, *yn* boeth-offrwm gwastadol.
16 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Os rhydd y tywys-
og rodd i neb o'i feibion o'i etifedd-
iaeth, eiddo ei feibion fydd hyny,
eu perchenogaeth *fydd* hyny wrth
etifeddiaeth.
17 Ond pan roddo efe rodd o'i
etifeddiaeth i un o'i weision, bydd-
ed hefyd eiddo hwnw hyd flwyddyn
y rhyddid; yna y dychwel i'r ty-
wysog: eto ei etifeddiaeth *fydd*
*eiddo* ei feibion, iddynt hwy.
18 Ac na chymered y tywysog o
etifeddiaeth y bobl, i'w gorthrymu
hwynt allan o'u perchenogaeth;
*eithr* rhodded etifeddiaeth i'w feib-
ion o'i berchenogaeth ei hun: fel
na wasgarer fy mhobl bob un allan
o'i berchenogaeth.
19 ¶ Ac efe a'm dyg trwy y ddy-
fodfa *oedd* ar ystlys y porth, i ys-
tafelloedd cysegredig yr offeiriaid
y rhai oedd yn edrych tua'r gog-
ledd: ac wele yno le ar y ddau yst-
lys tua'r gorllewin.
20 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Dyma y fan lle y beirw yr offeiriaid
yr aberth dros gamwedd a'r pech-
aberth, *a* lle y pobant y bwyd-off-
rwm; fel na ddygont hwynt i'r
cyntedd nesaf allan, i santeiddio y
bobl.
21 Ac efe a'm dyg i'r cyntedd
nesaf allan, ac a'm tywysodd heibio
i bedair congl y cyntedd; ac wele
gyntedd yn mhob congl i'r cyntedd.
22 Yn mhedair congl y cyntedd
*yr ydoedd* cynteddau cysylltedig o
ddeugain *cufydd* o hyd, a deg ar
hugain o led: un fesur *oedd* y
conglau ill pedair.
23 Ac *yr ydoedd* adail newydd o
amgylch ogylch iddynt ill pedair, a

---

Adn. 13—15. *Oen blwydd perffaith-gwbl hefyd a ddarperi yn boeth-offrwm i'r Arglwydd beunydd*] Neu bob dydd; a chydag ef *chweched* ran epha o beillied, a *thrydedd* ran hin o olew, yn fwyd-offrwm i'r Arglwydd. Yn Num. xxviii. 5, gorchymynir *degfed* ran epha o beillied, a *phedwaredd* ran hin o olew; a dywed *Kimchi* fod hyn yn cyfeirio at drefn newydd yn nyddiau y Messia. *O fore i fore, yn boeth-offrwm gwastadol*—meddylir yn gyffredin fod yr aberth *prydnawnol* yn cael ei gynwys yma, yn ol trefniad cyfraith Moses. Modd bynag, gall fod yma awgrymiad o'r cyfnewidiad a wneid yn nefodau allanol crefydd yn ganlynol i aberthiad Crist; a thrwy iddo ef ei offrymu ei hun yn aberth difai i Dduw ar brydnawn dydd y croeshoeliad, nad oedd eisiau crybwyll am yr aberth prydnawnol.

Adn. 16, 17. *Os rhydd y tywysog rodd i neb o'i feibion o'i etifeddiaeth*] Yr oedd i fod yn berchenogaeth iddynt hwy dros byth; ond os rhoddai dai neu diroedd i'w weision, nid oeddynt hwy i'w perchenogi ddim pellach na blwyddyn y jubili, pryd yr oeddynt i ddychwelyd i'r tywysog neu i'w feibion. Y rhai a dybiant mai Crist a feddylir yma, a sylwant mai ei feibion ef yw y gwir gredinwyr, i'r rhai y dyry efe iachawdwriaeth dragwyddol; ond am y rhai a gynysgaeddir â thalentau neu ddoniau at ryw ran o'i wasanaeth ef fel gweision cyflog, amddifadir hwy o'r cwbl yn angau, tra y bydd y plant mabwysiedig yn derbyn cyflawn fwynhad o'u hetifeddiaeth nefol.

Adn. 18. *Ac na chymered y tywysog o etifeddiaeth y bobl*] Fel y cymerodd Ahab winllan Naboth, 1 Bren. xxi. 16; *eithr rhodded etifeddiaeth i'w feibion o'i berchenogaeth ei hun*—ac nid o berchenogaeth y bobl, rhag i neb orfod gadael y wlad o herwydd y fath orthrymder: gwel ar pen. xxxiv. 4, 6, 21.

Adn. 19. *Ac efe a'm dyg trwy y ddyfodfa oedd ar ystlys y porth*] I'r ystafelloedd a neillduesid i'r offeiriaid, pen. xl. 46, a xlii. 13; *ac wele yno le ar y ddau ystlys tua'r gorllewin*—neu lanerch neillduedig i'r dybenion a grybwyllir isod.

Adn. 20. *Dyma y fan lle y beirw yr offeiriaid yr aberth dros gamwedd a'r pech-aberth*] Yr oedd cig yr aberthau, yr hwn a fwyteid, i gael ei ferwi, oddieithr oen y pasc, yr hwn oedd i gael ei rostio, 2 Cron. xxxv. 13; *a lle y pobant y bwyd-offrwm*—yn ol y cyfarwyddyd yn Lef. ii. 4—7; *fel na ddygont hwynt i'r cyntedd nesaf allan, i santeiddio y bobl*—hyny yw, rhag i'r bobl gyffredin gyffwrdd â hwynt, ac edrych arnynt eu hunain wedi eu cysegru trwy y cyffyrddiad, ac felly fod uwchlaw myned at eu gorchwylion eu hunain: gwel ar pen. xliv. 19.

Adn. 21, 22. *Ac efe a'm dyg i'r cyntedd nesaf allan*] Sef i gyntedd y bobl; *ac a'm tywysodd heibio i bedair congl y cyntedd*—o amgylch ogylch iddo: *ac wele gyntedd yn mhob congl i'r cyntedd*—sef cynteddau bychain, o 40 cufydd eu hyd wrth 30 o led, yn gysylltedig wrth bob congl i'r cyntedd mawr.

Adn. 23. *Ac yr ydoedd adail newydd*] Neu furiau newydd o amgylch y cynteddau hyn yn y pedair congl; *a cheginau wedi eu gwneuthur odditan y muriau oddiamgylch*—lle y berwid yr aberthau.

Adn. 24. *Dyma dŷ y cogau*] Y rhai oedd-

cheginau wedi eu gwneuthur oddi-
tan y muriau oddiamgylch.
24 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Dyma dŷ y cogau, lle y beirw
gweinidogion y tŷ aberth y bobl.

## PENNOD XLVII.

AC efe a'm dyg i drachefn i ddrws
y tŷ; ac wele ddwfr yn dyfod
allan odditan riniog y tŷ tua'r dwyr-
ain: o herwydd wyneb y tŷ *oedd tu*
*a'r* dwyrain; a'r dyfroedd oedd yn
disgyn odditanodd o ystlys deau y
tŷ, o du y deau i'r allor.
2 Ac efe a'm dyg i ar *hyd* ffordd y
porth tua'r gogledd, ac a wnaeth i
mi amgylchu y ffordd oddiallan hyd
y porth nesaf allan *ar hyd* y ffordd
sydd yn edrych tua'r dwyrain; ac
wele ddyfroedd yn tarddu ar yr yst-
lys deau.
3 A phan aeth y gŵr yr hwn oedd
â'r llinyn yn ei law allan tua'r dwyr-
ain, efe a fesurodd fil o gufyddau,
ac a'm tywysodd i trwy y dyfroedd;
*a'r* dyfroedd hyd y fferau.
4 Ac efe a fesurodd fil *ereill*, ac
a'm tywysodd trwy y dyfroedd; *a'r*
dyfroedd hyd y gliniau: ac a fesur-
odd fil *ereill*, ac a'm tywysodd
trwyodd; *a'r* dyfroedd hyd y lwyn-
au:
5 Ac a fesurodd fil *ereill; ac*
afon *oedd* yr hon ni allwn fyned
trwyddi: canys codasai y dyfroedd
yn ddyfroedd nofiadwy, yn afon ni
ellid myned trwyddi.

---

ynt i ferwi yr ebyrth, a phobi y bwyd-offrwm; *lle y beirw gweinidogion y tŷ aberth y bobl*—tybia rhai fod hyn oll yn gosod allan ystafelloedd dirgel gweinidogion y gair, neu eu llyfrgelloedd, lle y maent yn darllen, yn gweddio, ac yn myfyrio, i'r dyben i ymbarotoi at y weinidogaeth gyhoeddus. Y mae gweinidog yr efengyl, ebai *Scott*, yn gwasanaethu Crist a'r bobl wrth chwilio a myfyrio yr ysgrythyrau, ac ymbarotoi i'w waith yn ei lyfrgell, mor wirioneddol a phan y byddo yn pregethu y gair yn gyhoeddus i'w gynulleidfa.

PEN. XLVII. Adn. 1. *Ac efe a'm dyg i drachefn i ddrws y tŷ*] Sef i ddrws y deml; *ac wele ddwfr yn dyfod allan odditan riniog y tŷ tua'r dwyrain*—yr oedd Ezeciel wedi bod o amgylch y tŷ lawer gwaith o'r blaen, ac wedi sylwi yn fanwl ar ei ddrysau ef; ond ni chanfyddodd efe y dwfr hwn hyd yn awr. *A'r dyfroedd oedd yn disgyn odditanodd o ystlys ddeau y tŷ*—ac yn rhedeg yn ddwyreiniol o du y deau i allor y poeth-offrwm. Gan hyny nid i'r deml, i olchi yr ebyrth ac i ddwyn ymaith y budreddi o honi hi, yr oedd y dyfroedd hyn yn rhedeg; eithr yr oeddynt yn dyfod allan o'r deml i ddyfrhau ac adfywio lleoedd ereill. Y mae y dyfroedd hyn i'w deall yn gyfriniol neu gyffelybiaethol am efengyl Crist, yr hon a ddaeth allan o Jerusalem, ac a ymdaenodd i'r gwledydd oddiamgylch; ac am ddoniau a grasau yr Ysbryd Glân, y rhai oeddynt yn cydfyned â hi. Felly y dywedodd Esay, 'Y gyfraith a â allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem,' pen. ii. 3; a'n Harglwydd bendigedig a orchymynodd 'bregethu edifeirwch a maddeuant pechodau yn ei enw ef yn mhlith yr holl genhedloedd, gan ddechreu yn Jerusalem,' Luc xxiv. 47. Yr eglwys Gristionogol, ein Seion ni, yw y ffynnonell yn barhaus, o'r hon yr anfonir yr efengyl a'i bendithion dros yr holl ddaear: gwel ar Dat. xxii. 1, &c.

Adn. 2. *Ac efe a'm dyg i ar hyd ffordd y porth tua'r gogledd*] Gan beri iddo felly amgylchynu y deml; *ac wele ddyfroedd yn tarddu ar yr ystlys ddeau*—yr un dyfroedd yn ddiamau ag a welsai efe o'r blaen, adn. 1, ond ei fod yn awr yn eu gweled o le arall.

Adn. 3. *A phan aeth y gŵr yr hwn oedd â'r llinyn yn ei law*] Gwelsom yn pen. xl. 3, fod llinyn yn llaw y gŵr, er na chrybwyllwyd ond am y gorsen a'r cufydd yn y mesuriadau blaenorol, os nad â'r llinyn hwn y mesurid y cufyddau hyny; *allan tua'r dwyrain*—yn y cyfeiriad ag y rhedai y dwfr oddiwrth y deml; *efe a fesurodd fil o gufyddau*—yr hyn oedd oddeutu y drydedd ran o'n milldir ni; *ac a'm tywysodd i trwy y dyfroedd*—y rhai a gyrhaeddent yno hyd at y fferau, neu a fesurent oddeutu pedair modfedd o ddyfnder.

Adn. 4. *Ac efe a fesurodd fil ereill*] Yn mlaen tua'r dwyrain, lle yr oedd y dyfroedd hyd y gliniau; *ac a fesurodd fil ereill*—lle yr oedd y dyfroedd hyd y lwynau. Fel hyn yr oedd y dyfroedd yn dyfnhau fel yr oeddynt yn ymestyn yn mlaen; nes yr oeddynt, yn y pellder o filldir oddiwrth y deml, yn agos i lathen o ddyfnder.

Adn. 5. *Ac a fesurodd fil ereill*] Yn gwneyd yn y cyfan bedair mil o gufyddau; *ac afon oedd yr hon ni allwn fyned trwyddi*—yr hon ni ellid cerdded trwyddi, a'r hon yr oedd yn rhaid nofio ynddi mewn trefn i'w chroesi. Y mae rhai yn cymhwyso y gwahanol fesuriadau hyn at wahanol gyfnodau, neu gynydd Cristionogaeth yn y byd, neu gynydd gras yn yr enaid. Ni a nodwn rai o'r gwahanol olygiadau, fel y gallo y darllenydd ddewis yr un a fyno. I. Tybia rhai fod hyn oll yn arddangos y dadleniadau graddol o drefn iachawdwriaeth,—(1) Yn yr oesoedd patriarchaidd. (2) Yn rhoddiad y ddeddf. (3) Yn ngweinidogaeth Ioan Fedyddiwr. (4) Yn y llawn amlygiad o Grist dan yr efengyl. II. Y mae ereill yn eu cymhwyso, (1) At amser Ioan Fedyddiwr a dysgyblion Crist cyn ei farwolaeth ef. (2) Y tri chanrif cyntaf o'r oruchwyliaeth Gristionogol. (3) Amser y diwygiad Protestanaidd,

6 ¶ Ac efe a ddywedodd wrthyf,
A welaist ti *hyn*, fab dyn? Yna
y'm tywysodd, ac y'm dychwelodd
hyd lan yr afon.
7 Ac wedi i mi ddychwelyd, wele
ar fin yr afon goed lawer iawn o'r
tu yma ac o'r tu acw.
8 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Y dyfroedd hyn sydd yn myned all-
an tua bro y dwyrain, ac a ddisgyn-
ant i'r gwastad, ac a ânt i'r môr; *ac*
wedi eu myned i'r môr, y iachêir y
dyfroedd.
9 A bydd i bob peth byw, yr hwn
a ymlusgo, pa le bynag y delo yr
afonydd, gael byw: ac fe fydd pysg-
od lawer iawn, o herwydd dyfod y
dyfroedd hyn yno: canys iachêir
hwynt, a phob dim lle y delo yr afon
fydd byw.
10 A bydd i'r pysgodwyr sefyll
arni, o En-gedi hyd En-eglaim;
hwy a fyddant yn daenfa rhwydau:
eu pysgod fydd yn ol eu rhyw, fel
pysgod y môr mawr, yn llawer
iawn.
11 Ei lleoedd lleidiog a'i chors-
ydd ni iachêir; i halen y rhoddir
hwynt.
12 Ac wrth yr afon y cyfyd, ar ei
min o'r ddeutu, pob pren ymborth;
ei ddalen ni syrth, a'i ffrwyth ni
dderfydd: yn ei fisoedd y dwg
ffrwyth newydd; o herwydd ei ddyfr-
oedd, hwy a ddaethant allan o'r cys-
egr: am hyny y bydd ei ffrwyth yn

---

a'r canrifau presenol. (4) Llwyddiant mawr crefydd yn y milflwyddiant. III. Tybia ereill eu bod yn golygu gwahanol gyflyrau y saint: (1) Babanod yn Nghrist, wedi eu taenellu â dyfroedd y cysegr. (2) Plant bychain yn Nghrist. (3) Gwŷr ieuainc yn Nghrist. (4) Tadau yn Nghrist. IV. Tybia ereill eu bod yn gosod allan gynydd Cristionogaeth yn y byd: (1) Ar y cyntaf ychydig o bysgodwyr tylodion yn unig a dderbyniasant athrawiaethau Crist. (2) Wedi hyny llawer o'r Iuddewon. (3) Yna y Cenhedloedd nid ychydig. (4) Ac yn awr ynysoedd y môr, a chyfandiroedd y ddaear. V. Y mae ereill yn eu cymhwyso at wahanol ranau yr ysgrythyrau santaidd: (1) Y maent yn cynwys rhai pethau hawdd eu deall. (2) Pethau ereill ag y rhaid cael dysgeidiaeth eang i'w hegluro. (3) Pethau ereill nad ellir eu deall heb oleuni dwyfol yr Ysbryd a'u rhoddodd. (4) A phethau ereill nas gall y meddwl dynol byth eu hamgyffred: ond er hyny y mae ffydd yn gallu nofio ynddynt, tra y mae y deall mwyaf treiddgar yn methu cerdded trwyddynt.

Adn. 6. *A welaist ti hyn, fab dyn?*] A sylwaist ti yn fanwl ar y dyfroedd hyn, ac ar eu mynediad yn mlaen, a'u gwahanol ddyfnderau? *Yna y'm tywysodd, ac y'm dychwelodd hyd lan yr afon*—yn ol tua'r deml.

Adn. 7. *Ac wedi i mi ddychwelyd*] Neu 'wrth' iddo ddychwelyd; *wele ar fin yr afon goed lawer iawn*—o bob tu iddi: gwel ar adn. 12.

Adn. 8. *Y dyfroedd hyn sydd yn myned allan tua bro y dwyrain*] Ar hyd y gwastadedd tua'r môr heli, neu y môr marw, lle y safai Sodom a Gomorra gynt; *ac wedi eu myned i'r môr, yr iachêir y dyfroedd*—sef dyfroedd hallt, pyglyd, brwmstanaidd, ac afiach y môr marw hwnw: gwel ar Gen. xix. 25. Y mae hyn yn gysgod prydferth o ddylanwad yr efengyl, a rhinwedd iachusol dwyfol ras, yn iachâu llygredigaethau moesol y natur ddynol, a drygioni ffiaidd dynolryw.

Adn. 9. *A bydd i bob peth byw*] Ag sydd yn gallu byw mewn moroedd ereill; *gael byw*—hyd yn nod yn y môr *marw*, ar ol i'r dyfroedd hyn ddylifo iddo. Addefir yn gyffredin nas gall pysgod fyw yn nghanol y môr marw, er y dywed rhai i bysgod gael eu gweled ynddo yn agos i geg yr Iorddonen. *Ac fe fydd pysgod lawer iawn*—ynddo, yn ganlynol i ddyfodiad y dyfroedd hyn iddo, y rhai a fyddant iach a chynyddol. Trwy iachâd y môr marw yr arddanghosir effeithiolrwydd gras yr efengyl i buro y byd oddiwrth eilunaddoliaeth a phechodau marwol ereill, ac achub eneidiau ag sydd yn feirw mewn camweddau a phechodau.

Adn. 10. *A bydd i'r pysgodwyr sefyll arni*] Ar lan y môr marw hwn; *o En-gedi*—yn yr ochr orllewinol i'r môr, *hyd En-eglaim*—yn yr ochr ddwyreiniol iddo. *Hwy a fyddant yn daenfa rhwydau*—bydd ei holl lanau yn lleoedd i daenu rhwydau yr efengyl. *Eu pysgod fydd yn ol eu rhyw*—y pysgodwyr yw yr apostolion, a gweinidogion ereill y gair, Mat iv. 19; a'r pysgod yw dynion 'o bob cenedl, a llwyth, ac iaith, a phobl,' Dat. xiv. 6.

Adn. 11. *Ei lleoedd lleidiog a'i chorsydd ni iachêir*] Cyfeiria hyn ond odid at y gwledydd hyny na dderbyniant yr efengyl, neu at y rhagrithwyr hyny yn yr eglwys y rhai nid ydynt yn byw yn ol ei rheolau hi. Ond tybia *Clarke* ei fod yn ddarluniad priodol o'r eglwys Babaidd, yr hon sydd wedi ei hadeiladu ar seiliau lleidiog a chorsiog traddodiadau a gwyrthiau gau. *I halen y rhoddir hwynt*—i felldith a diffrwythder bythol. Yn lle bod wedi eu pereiddio a'u ffrwythloni â dyfroedd y cysegr, caent aros yn llawn o halltrwydd ffiaidd, fel dyfroedd y môr marw cyn ei iachâu.

Adn. 12. *Ac wrth yr afon y cyfyd, ar ei min o'r ddeutu, pob pren ymborth*] Gwel ar Dat. xxii. 1—5. Wrth y prenau hyn y dealla rhai y 'gwir Gristionogion,' y rhai y mae ffrwythau eu ffydd a'u cariad, neu ffrwythau yr Ysbryd arnynt, yn ymborth ac yn feddyginiaeth i'r byd: ond ereill a dybiant eu bod yn gosod allan 'ddarpariaethau helaeth yr efengyl, addewidion gwerthfawr y gair, a breintiau bendithiol y credinwyr.' *Ei ddalen*

ymborth, a'i ddalen yn feddygin-
iaeth.
13 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd Dduw; Dyma y terfyn wrth
yr hwn y rhenwch y tir yn etifedd-
iaeth i ddeuddeg llwyth Israel:
Joseph *a gaiff ddwy* o ranau.
14 Hefyd chwi a'i hetifeddwch ef,
bob un cystal a'i gilydd; *am* yr
hwn y tyngais a'r ei roddi i'ch tad-
au: a'r tir hwn a syrth i chwi yn
etifeddiaeth.
15 A dyma derfyn y tir o du y
gogledd, o'r môr mawr tua Heth-
lon, ffordd yr eir i Zedad:
16 Hamath, Berothah, Sibraim,
yr hwn *sydd* rhwng terfyn Damas-
cus a therfyn Hamath; Hasar-hat-
tichon, yr hwn *sydd* ar derfyn
Hauran.
17 A'r terfyn o'r môr fydd Has-
arenan, terfyn Damascus, a'r gog-
ledd tua'r gogledd, a therfyn Ham-
ath. A dyma du y gogledd.
18 Ac ystlys y dwyrain a fesur-
wch o Hauran, ac o Damascus, ac
o Gilead, ac o dir Israel *wrth* yr
Iorddonen, o'r terfyn hyd fôr y
dwyrain. A dyma du y dwyrain.
19 A'r ystlys ddeau tua'r deau, o
Tamar hyd ddyfroedd cynhen Ca-
des, yr afon hyd y môr mawr. A
dyma yr ystlys ddeau tua Theman.
20 A thu y gorllewin *fydd* y môr
mawr, o'r terfyn hyd oni ddeuer ar
gyfer Hamath. Dyma du y gor-
llewin.
21 Felly y rhenwch y tir hwn i
chwi, yn ol llwythau Israel.
22 ¶ Bydd hefyd i chwi ei ranu
ef wrth goelbren yn etifeddiaeth i
chwi, ac i'r dyeithriaid a ymdeith-
iant yn eich mysg, y rhai a gen-
hedla blant yn eich plith: a bydd-
ant i chwi fel un wedi ei eni yn y
wlad yn mysg meibion Israel; gyda
chwi y cânt etifeddiaeth yn mysg
llwythau Israel.

---

*ni syrth, a'i ffrwyth ni dderfydd*—ond byddai i bob pren roddi ffrwyth iachusol bob mis o'r newydd er lles i'r byd. *O herwydd ei ddyfroedd, hwy a ddaethant allan o'r cysegr*—yr oedd holl ffrwythlondeb a rhinweddau y prenau hyn i'w priodoli i effaith y dyfroedd a redent allan o gysegr Duw i'w dyfrhau hwynt.

Adn. 13. *Dyma y terfyn wrth yr hwn y rhenwch y tir*] Y mae y proffwyd yma yn dychwelyd at raniad y tir, yr hyn a ddechreuwyd pen. xlv. 1—8, ac a adawyd heibio o herwydd i ddatguddiadau gwahanol gael eu gwneuthur iddo. *Yn etifeddiaeth i ddeuddeg llwyth Israel*—gan na chymerodd y rhaniad hwn le ar ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, rhaid ei fod yn cyfeirio at ddygwyddiadau a gymerant le, yn llythyrenol neu ffugyrol, dan yr oruchwyliaeth Gristionogol. Y mae rhai yn meddwl y rhenir gwlad Canaan yn llythyrenol rhwng y deuddeg llwyth mewn amser ag sydd eto i ddyfod; ond y mae ereill, gyda mwy o sail i'm tyb i, yn edrych ar hyn oll fel ymadroddion cyfriniol neu gyffelybiaethol, ac yn cyfeirio at Israel ysbrydol Duw, neu yr eglwys Gristionogol dan y gyffelybiaeth o wlad Canaan. *Joseph a gaiff ddwy o ranau*—un i'w fab Ephraim, a'r llall i'w fab Manasseh.

Adn. 14. *Hefyd chwi a'i hetifeddwch ef, bob un cystal a'u gilydd*] Sef deg llwyth Israel, yn gystal a Juda a Benjamin; neu yn te, yr oedd pob un o'r llwythau i gael yr un faint o dir a'u gilydd. Nid felly yr oedd yn amser Josua; canys y pryd hyny yr oedd llwyth mawr i gael rhan fawr, a llwyth bach i gael rhan fach, yn ol eu rhifedigion, Num. xxvi. 54, a xxxiii. 54. *Am yr hwn y tyngais ar ei roddi i'ch tadau*—gwel ar pen. xxxvii. 25.

Adn. 15—17. *A dyma derfyn y tir o du y gogledd*] Yn cyraedd o'r môr mawr, neu Fôr-y-canoldir yn y gorllewin, hyd Hazar-enan a Hamath yn y gogledd, ac yn cymeryd i mewn yr holl leoedd a enwir yma.

Adn. 18. *Ac ystlys y dwyrain a fesurwch o Hauran ac o Damascus*] I lawr ar hyd ochr ddwyreiniol yr Iorddonen, a thrwy Gilead, *hyd fôr y dwyrain*—sef y môr marw.

Adn. 19. *A'r ystlys ddeau tua'r deau*] Yn cyraedd o Hazezon-Tamar neu En-gedi, hyd Cades neu Meribah, lle yr ymgynhenodd meibion Israel â'r Arglwydd, Num. xx. 13; ac oddiyno yn mlaen hyd afon Besor. *Tua Theman*—Saes., 'tua'r deau;' canys yn y parth deheuol yr oedd Teman, yn agos i Joctheel.

Adn. 20. *A thu y gorllewin fydd y môr mawr, o'r terfyn*] Sef o'r terfyn deheuol a grybwyllwyd yn yr adnod flaenorol; *hyd oni ddeuer ar gyfer Hamath*—yn y pen gogleddol. Yn yr adnodau hyn darlunir terfynau allanol yr holl wlad cyn myned i'w rhanu. Cawsom ddarluniad cyffelyb o'r terfynau hyn o'r blaen, Num. xxxiv. 1—12; ond fod hwnw yn dechreu gyda'r môr marw yn y deau, ac yn myned oddiamgylch, gan ddybenu yno; tra y mae hwn yn dechreu gyda Hamath, yn agos i Damascus yn y gogledd, ac yn myned oddiamgylch, ac yn dybenu yno.

Adn. 21. *Felly y rhenwch y tir hwn i chwi*] Yn etifeddiaeth i ddeuddeg llwyth Israel.

Adn. 22. *Bydd hefyd i chwi ei ranu ef wrth goelbren*] Fel yn amser Josua, Num. xxvi. 55, 56. Trwy hyn attelid pob ymryson, a gwelid mai yr Arglwydd oedd yn penodi eu hetifeddiaeth iddynt, oddiwrth yr hwn y mae llywodraethiad y coelbren, Diar. xvi. 33. *Ac*

23 A bydd yn mha lwyth bynag
yr ymdeithio y dyeithr, yno y
rhoddwch ei etifeddiaeth ef, medd
yr Arglwydd Dduw.

## PENNOD XLVIII.

A DYMA enwau y llwythau. O
gŵr y gogledd ar duedd ffordd
Hethlon, ffordd yr eir i Hamath,
Hasar-enan, terfyn Damascus tua'r
gogledd, i duedd Hamath, (canys y
rhai hyn oedd ei derfynau dwyrain
*a* gorllewin,) *rhan* i Dan.
2 Ac ar derfyn Dan, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, *rhan* i
Aser.
3 Ac ar derfyn Aser, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, i
Naphtali *ran.*
4 Ac ar derfyn Naphtali, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, i Ma-
nasseh *ran.*
5 Ac ar derfyn Manasseh, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, i Eph-
raim *ran.*
6 Ac ar derfyn Ephraim, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, i Reu-
ben *ran.*
7 Ac ar derfyn Reuben, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, i
Juda *ran.*
8 ¶ Ac ar derfyn Juda, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, y bydd
yr offrwm a offrymoch yn bum mil
ar hugain *o* *gorsenau* *o* led, ac *o*
hyd fel un o'r rhanau, o du y dwyr-
ain hyd du y gorllewin: a'r cysegr
fydd yn ei ganol.
9 Yr offrwm a offrymoch i'r Ar-
glwydd *fydd* bum mil ar hugain o
hyd, a deg mil o led.
10 Ac eiddo y rhai hyn fydd yr
offrwm cysegredig, *sef* eiddo yr
offeiriaid *fydd* pum mil ar hugain
tua'r gogledd *o hyd*, a deg mil tua'r
gorllewin o led; felly deg mil tua'r
dwyrain o led, a phum mil ar hug-
ain tua'r deau o hyd: a chysegr yr
Arglwydd fydd yn ei ganol.
11 I'r offeiriaid cysegredig o feib-
ion Sadoc *y bydd*, y rhai a gadwas-
ant fy nghadwraeth, y rhai ni chyf-
eiliornasant pan gyfeiliornodd plant
Israel, megys y cyfeiliornodd y
Lefiaid.
12 A bydd eiddynt yr hyn a off-
rymir o offrwm y tir, yn santeidd-
beth cysegredig wrth derfyn y
Lefiaid.
13 A'r Lefiaid *a gânt*, ar gyfer
terfyn yr offeiriaid, bum mil ar
hugain o hyd, a deg mil o led: pob
hyd *fydd* bum mil ar hugain, a'r
lled yn ddeg mil.
14 Hefyd ni werthant *ddim* o
hono, ac ni chyfnewidiant, ac ni
throsglwyddant flaenffrwyth y tir;
o herwydd cysegredig *yw* i'r Ar-
glwydd.

---

*i'r dyeithriaid a ymdeithiant yn eich mysg*—nid oedd dyeithriaid erioed o'r blaen i gael etifeddiaeth yn mysg llwythau Israel; ond yn awr dyma y cyfansoddiad gwladol yn cael ei newid, i arwyddo 'y byddai y Cenhedloedd yn gyd-etifeddion, ac yn gyd-gorff, ac yn gyd-gyfranogion o'i addewid ef yn Nghrist, trwy yr efengyl,' Eph. iii. 6.

Adn. 23. *A bydd yn mha lwyth bynag yr ymdeithio y dyeithr*] Ar ol i ganolfur y gwahaniaeth gael ei ddattod dan yr efengyl; *yno y rhoddwch ei etifeddiaeth ef*—yn ddiwahaniaeth; 'canys nid oes gwahaniaeth' i fod mwyach 'rhwng Iuddew a Groegwr: oblegid yr un Arglwydd ar bawb, sydd oludog i bawb a'r sydd yn galw arno,' Rhuf. x. 12.

PEN. XLVIII. Adn. 1—7. *A dyma enwau y llwythau*] Sef y saith llwyth ag oeddynt i etifeddu eu rhanau o du y *gogledd* i'r rhandir cysegredig. Yr oedd y pum llwyth ereill i etifeddu o du y *deau* iddo, adn. 23—27. Y mae y rhaniad hwn yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth y rhaniad yn amser Josua; ac nid yw yn cyduno â threfniad y llwythau yn Nghanaan ar y cyntaf; a diamau na bydd iddo byth gymeryd lle yn llythyrenol. Y mae y rhan gyntaf yn cael ei rhoddi i *Dan*, y gwaelaf a'r mwyaf eilunaddolgar o'r cwbl; ac fe allai fod hyny yn cael ei fwriadu fel siampl o raslonrwydd goruchwyliaeth yr efengyl, yn dyrchafu yr anenwocaf, ac yn achub yr annheilyngaf. Yn amser Josua yr oedd rhan *Reuben* yn gorwedd o du y *dwyrain* i'r Iorddonen; ond yma gosodir hi rhwng rhanau Ephraim a Juda, o du y *gorllewin* i'r Iorddonen; ac felly hefyd rhanau *Gad*, a hanner llwyth Manasseh, adn. 4, 6, 27.

Adn. 8—13. *Ac ar derfyn Juda*] Yr hwn oedd yn cyraedd oddiwrth yr Iorddonen yn y dwyrain, hyd Fôr-y-canoldir yn y gorllewin; *y bydd yr offrwm a offrymoch*—sef y rhan hono o'r tir a offrymid i'r Arglwydd at wasanaeth y cysegr, yr offeiriaid, a'r Lefiaid: gwel ar pen. xlv. 1—6: *yn bum mil ar hugain o gorsenau*—neu *gufyddau*, fel y mae rhai yn ei ddarllen: gwel ar pen. xlv. 1.

Adn. 14. *Hefyd ni werthant ddim o hono, &c.*] Nid oedd yr offeiriaid a'r Lefiaid i werthu dim o'r tir ag ydoedd wedi ei gysegru fel hyn

15 ¶ A'r pum mil gweddill o'r
lled, ar gyfer y pum mil ar hugain,
fydd digysegredig, yn drigfa ac yn
faes pentrefol i'r ddinas, a'r ddinas
fydd yn ei ganol.
16 A dyma ei fesurau ef; Ystlys
y gogledd *fydd* bum cant a phedair
mil, ac ystlys y deau yn bum cant
a phedair mil, felly o du y dwyrain
yn bum cant a phedair mil, a thua'r
gorllewin yn bum cant a phedair
mil.
17 A maes pentrefol y ddinas
fydd hefyd tua'r gogledd yn ddau
cant a deg a deugain, ac yn ddau
cant a deg a deugain tua'r deau,
ac yn ddau cant a deg a deugain
tua'r dwyrain, ac yn ddau cant a
deg a deugain tua'r gorllewin.
18 A'r gweddill o'r hyd, ar gyfer
offrwm y rhan gysegredig, *fydd* yn
ddeg mil tua'r dwyrain, ac yn ddeg
mil tua'r gorllewin: ac ar gyfer off-
rwm y rhan gysegredig y bydd;
a'i gnwd fydd yn ymborth i weinid-
ogion y ddinas.
19 A gweinidogion y ddinas a'i
gwasanaethant o holl lwythau Is-
rael.
20 Yr holl offrwm *fydd* bum mil
ar hugain, wrth bum mil ar hugain:
yn bedeirongl yr offrymwch yr off-
rwm cysegredig, gyda pherchenog-
aeth y ddinas.
21 ¶ A'r hyn a adewir *fydd* i'r
tywysog, oddeutu yr offrwm cysegr-
edig, ac o berchenogaeth y ddinas,
ar gyfer y pum mil ar hugain, o'r
offrwm tua therfyn y dwyrain, a
thua'r gorllewin, ar gyfer y pum
mil ar hugain tua therfyn y gor-
llewin, gyferbyn a rhanau y tywys-
og: a'r offrwm cysegredig fydd; a
chysegrfa y tŷ *fydd* yn nghanol
hyny.
22 Felly o berchenogaeth y Lefi-
aid, ac o berchenogaeth y ddinas,
yn nghanol yr hyn sydd i'r tywys-
og rhwng terfyn Juda a therfyn
Benjamin, eiddo y tywysog fydd.
23 Ac am y rhan arall o'r llwyth-
au, o du y dwyrain hyd du y gor-
llewin, *y bydd rhan* i Benjamin.
24 Ac ar derfyn Benjamin, o du
y dwyrain hyd du y gorllewin, *y
bydd rhan* i Simeon.
25 Ac ar derfyn Simeon, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, *rhan*
i Issachar.
26 Ac ar derfyn Issachar, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, *rhan* i
Zabulon.
27 Ac ar derfyn Zabulon, o du y
dwyrain hyd du y gorllewin, *rhan* i
Gad.
28 Ac ar derfyn Gad, ar y tu
deau tua'r deau, y terfyn fydd o
Tamar *hyd* ddyfroedd cynhen Ca-
des, *a* hyd yr afon tua'r môr
mawr.

---

yn *flaenffrwyth* i'r Arglwydd, nac i'w gyfnewid am dir arall, na'i drosglwyddo i ddyben arall; ond yr oeddynt i'w gadw yn barhaus i'r dyben cysegredig ag y penodwyd ef iddo ar y cyntaf. Fel hyn, pa beth bynag a gyflwynwyd neu a gysegrwyd unwaith at wasanaeth yr Arglwydd, ni ddylai byth gael ei ddwyn oddiwrtho, na'i ddefnyddio i ddyben annghysegredig.

Adn. 15. *A'r pum mil gweddill o'r lled—fydd digysegredig*] Fydd yn dir cyffredin o'i gymharu â'r cysegr; canys yr oedd i fod at wasanaeth y ddinas, a'i maes pentrefol.

Adn. 16. *A dyma ei fesurau ef*] Neu 'ei mesurau *hi*,' sef y ddinas, yr hon oedd i fod yn 4500 o gufyddau neu gorsenau bob ffordd, sef yn ysgwâr.

Adn. 17. *A maes pentrefol y ddinas*] Yr hwn oedd fel rhyw ail ddinas, neu gartref i'r llëygion ag oeddynt yn gwasanaethu dan yr offeiriaid a'r Lefiaid. Yr oedd hwn hefyd i fod yn ysgwâr, ac i fesur 250 o gufyddau neu gorsenau bob ffordd.

Adn. 18. *A'r gweddill o'r hyd, &c.*] Yr oedd hwn i fod ar gyfer rhan gysegredig yr offeiriaid a'r Lefiaid, ac i fesur 10,000 o gufyddau neu gorsenau tua'r dwyrain, a'r un faint tua'r gorllewin. *A'i gnwd fydd yn ymborth i weinidogion y ddinas*—sef i'r llëygion a enwyd uchod.

Adn. 19. *A gweinidogion y ddinas a'i gwasanaethant o holl lwythau Israel*] Canys pa beth bynag oedd yn *faich* neu yn *anrhydedd* yn ngwasanaeth y ddinas, yr oedd yn iawn i'r holl lwythau fod yn gyfranog o hono fel eu gilydd.

Adn. 20. *Yr holl offrwm*] Neu y gyfran gysegredig o'r tir i'r Arglwydd; *fydd bum mil ar hugain*—o gorsenau ysgwâr.

Adn. 21, 22. *A'r hyn a adewir fydd i'r tywysog, oddeutu yr offrwm cysegredig, &c.*] Gwel ar pen. xlv. 7. Y rhai a dybiant mai Crist yw y tywysog hwn, a ddeallant hyn am ei agosrwydd ef at ei eglwys a'i bobl, i'w hamddiffyn ar bob llaw.

Adn. 23—29. *Ac am y rhan arall o'r llwythau, &c.*] Cawn yma hanes sefydliad y pum llwyth ereill o du y *deau* i'r cysegr, fel yr oedd y lleill o du y *gogledd* iddo, adn. 1—7. Juda a Benjamin yw y rhai a osodir agosaf at

29 Dyma y tir a renwch wrth
goelbren yn etifeddiaeth i lwythau
Israel, a dyma eu rhanau hwynt,
medd yr Arglwydd Dduw.
30 ¶ Dyma hefyd fynediad allan
y ddinas, o du y gogledd pum cant
a phedair mil o fesurau.
31 A phyrth y ddinas *fydd* ar
enwau llwythau Israel, tri phorth
tua'r gogledd; porth Reuben yn un,
porth Juda yn un, porth Lefi yn
un.
32 Ac ar du y dwyrain pum cant
a phedair mil: a thri phorth; *sef*
porth Joseph yn un, porth Benjamin
yn un, porth Dan yn un.
33 A thua'r deau pum cant a
phedair mil o fesurau: a thri phorth;
porth Simeon yn un, a porth Issa-
char yn un, a phorth Zabulon yn un.
34 Tua'r gorllewin *y bydd* pum
cant a phedair mil, *a'u* tri phorth;
porth Gad yn un, porth Aser yn un,
*a* phorth Naphtali yn un.
35 Deunaw mil *o fesurau oedd* hi
o amgylch: ac enw y ddinas o'r
dydd hwnw *allan fydd*, Yr Ar-
glwydd *sydd* yno.

---

y cysegr yn y rhaniad hwn, fel yn rhaniad Josua; Juda o du y *deau* iddo, adn. 7, a Benjamin o du y *gogledd*, adn. 23. Fe allai iddynt gael yr anrhydedd hwn yn awr o herwydd eu hymlyniad ffyddlon wrth addoliad Duw gynt, pryd yr oedd y deg llwyth ereill wedi gŵyro at eilunaddoliaeth. O'r blaen yr oedd etifeddiaeth llwyth *Simeon* o fewn etifeddiaeth llwyth *Juda*, Jos. xix. 9; ond yn awr y mae y llwyth hwn i gael rhan iddo ei hun, fel y llwythau ereill, adn. 24. Ymddengys i mi mai yr EGLWYS GRISTIONOGOL sydd yn cael ei harddangos yma trwy y deuddeg llwyth hyn, fel yn Mat. xix. 28, Luc xxii. 30; a bod rhaniad y tir yn gyfartal rhwng y llwythau, yn arwyddo y bydd i'r holl wir Gristionogion, yn Iuddewon a Chenhedloedd, gyfranogi yn gyfartal o fendithion yr efengyl.

Adn. 30—34. *Dyma hefyd fynediad allan y ddinas*] Sef trwy ddeuddeg porth, ar enwau deuddeg llwyth Israel; tri o ba rai oedd yn mhob wyneb i'r ddinas ysgwâr hon, y Jerusalem newydd: gwel ar Dat. xxi. 2, 12, &c.

Adn. 35. *Deunaw mil o fesurau oedd hi o amgylch*] Sef 18,000 o *gorsenau*, yn ol rhai; neu o *gufyddau*, yn ol ereill: gwel ar pen. xlv. 1. *Ac enw y ddinas o'r dydd hwnw allan*—sef o'r dydd yr adeiledir hi; *fydd, Yr Arglwydd sydd yno*—neu, fel y mae yn y wreiddiol, YEHOVAH SHAMMAH, mewn cyfeiriad at y SECINA, yr arwydd gweledig o'r Presenoldeb Dwyfol. Nid yw y tir a renir yma byth yn cael ei alw *Canaan*, na'r ddinas a fesurir byth yn cael ei galw *Jerusalem*, yr hyn sydd yn cadarnhau y dyb mai yn *gyfriniol* y dylid deall y brofl'wydoliaeth hon, ac nid yn *llythyrenol*. Ei henw dan yr oruchwyliaeth newydd fydd, *Yehovah Shammah*, 'yr Arglwydd sydd yno.' I'r Iuddewon yn *Babilon*, gallai yr enw hwn arwyddo y byddai iddynt, ar ol dychwelyd i'w gwlad, ac adeiladu yr ail deml, gael arwyddion o bresenoldeb Jehofa gyda hwynt; ond i ni, y *Cristionogion*, y mae yn addewid y bydd i'r Arglwydd breswylio byth yn yr Eglwys Gristionogol; nid yn wir mewn ymddanghosiad gweledig, fel yr oedd y Secina yn y deml gyntaf, ond yn nylanwadau dwyfol a grasol yr Ysbryd Glân, yn deilliaw oddiwrth y Tad a'r Mab. Ac onid yw yn bod felly? Pa le bynag 'y pregethir pur air Duw, ac y gweinyddir y sacramentau yn ddyladwy yn ol ordinhad Crist,' (Erthygl xix.) gellir dywedyd yn wirioneddol, 'Yr Arglwydd sydd yno:' canys 'ffyddlon yw yr hwn a addawodd,' yr hwn hefyd 'a'i gwna.' Ei addewid ef yw, 'Wele, yr ydwyf fi gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd,' Mat. xxviii. 20. Y mae yr Arglwydd yn ei eglwys i'w llywodraethu, ei hamddiffyn, ei dyddanu, ac i dderbyn addoliad ei bobl, Dat. vii. 15, a xxi. 3; ïe, gellir dywedyd am bob gwir Gristion, 'Y mae Duw yn aros ynddo ef, ac yntau yn Nuw,' 1 Ioan iv. 15, 16.—Fel hyn y diwedda un o'r llyfrau gwerthfawrocaf yn yr Hen Destament: ac er fod llawer o'i ranau ef yn 'ddyfroedd nofiadwy, yn afon ni ellid myned trwyddi,' pen. xlvii. 5; eto y mae y rhanau ereill yn dra eglur, bendithiol, a chysurlawn i bob gwir Gristion; a phan gyflawnir y brofl'wydoliaeth, bydd i'r cwbl ymddangos yn gyson ac amlwg.

---

# LLYFR Y PROFFWYD DANIEL.

---

ADDEFIR yn gyffredin fod Daniel yn perthyn i deulu brenhinol Juda, a'i fod yn hanedig o linach y brenin Dafydd. Efe a gaethgludwyd gyda llawer ereill i Babilon yn bur ieuanc, yn debygol pan oddeutu deuddeng mlwydd oed, pryd y daeth Nebuchodonosor i warchae ar Jerusalem yn amser Joacim, neu Jehoiacim, brenin Juda, o B. 3398, C.C. 606: gwel ar pen. i. 1, &c. Y pryd hyn y gellir deall y 70 mlynedd caethiwed yn Babilon fel yn dechreu yn briodol.

—Yr oedd Daniel wedi ei gynysgaeddu â galluoedd naturiol cryfion o'i ieuenctid, ac wedi ei fendithio â doethineb a gras yn chwanegol at hyny, fel ag i dynu sylw pawb yn mhell ac yn agos. Er ei fod yn ieuangach nag Ezeciel, eto ymddengys iddo ddechreu proffwydo o'i flaen ef, a pharhau yn y gwaith lawer o flynyddau ar ei ol ef. Y mae Ezeciel yn son am Daniel fel un enwog am ei dduwioldeb, gan ei restru gyda Noa a Job, pen. xiv. 14; ac oddiwrth Ezec. xxviii. 3, ymddengys fod doethineb Daniel yn ddiarebol trwy y gwledydd.—Darfu i *Porphyry*, ac ereill o'r Iuddewon diweddar, geisio cau Daniel allan o nifer y *proffwydi*, trwy osod ei lyfr ef yn mhlith yr *Hagiographa*, neu 'yr ysgrifau santaidd,' ac nid yn mhlith llyfrau y *proffwydi*. Yr achos o hyn oedd, fod ei ragfynegiadau am ymddangosiad, gweddnod, a marwolaeth Crist, yn nghyda phethau dyfodol ereill a gynwysir yn y llyfr hwn, mor eglur a phenderfynol, ac yn rhoddi y fath brawf o wirionedd Cristionogaeth, fel nad oedd ganddynt yr un ffordd arall i ochel argyhoeddiad ond trwy wadu dwyfol awdurdod ei dystiolaeth. Ond yn hyn yr oeddynt yn myned yn groes i'r hen Iuddewon, ac yn enwedig i *Josephus*, yr hwn a'i geilw ef yn 'un o'r rhai *mwyaf* o'r *proffwydi*;' ac efe a chwanega, 'ei fod nid yn unig wedi rhagfynegu pethau i ddyfod, yr un modd a'r proffwydi ereill, ond ei fod hefyd wedi nodi yr *amser* y cymerent le:' gwel *Hen af.* llyfr x. pen. 12. Y mae ein Hiachawdwr bendigedig hefyd yn galw Daniel yn *broffwyd*, Mat. xxiv. 15; yr hyn y rhaid ei fod yn cael ei gydnabod yn gyffredinol gan yr Iuddewon y pryd hyny, onide buasent yn gwadu ei awdurdod ef i broffwydo am y pethau hyny. Y mae llawer o broffwydoliaethau Daniel wedi eu cyflawni mor fanwl yn mhen ychydig ganrifau wedi hyny, fel y myn rhai anffyddwyr mai ar ol eu cyflawni yr ysgrifenwyd y llyfr hwn, oddeutu amser Antiochus Epiphanes; hyny yw, mai *hanes* ydyw, ac nid *proffwydoliaeth*. Ond, fel y sylwa St. *Jerome*, y dull hon o wrthwynebu y proffwydoliaethau yw y prawf cryfaf o'u gwirionedd; canys dengys eu bod wedi rhagfynegu pethau mor fanwl, nes yr edrychir arnynt yn fwy fel hanes nag fel proffwydoliaeth. Na chafodd proffwydoliaethau Daniel eu hysgrifenu ar ol amser *Antiochus Epiphanes* a ymddengys yn eglur oddiwrth hyn, eu bod wedi eu cyfieithu i'r Roeg oddeutu can mlynedd cyn ei amser ef; a bod y cyfieithiad hwnw yn nwylaw yr Anffyddiaid, y rhai nad oeddynt yn bleidiol i'r Iuddewon na'u crefydd. Ie, cafodd proffwydoliaethau Daniel, y rhai a ragfynegent am fuddugoliaethau Alexander, eu dangos i Alexander ei hun gan yr Iuddewon, y rhai mewn canlyniad i hyny a gawsant lawer o freintiau ganddo ef, fel y dywed Josephus, *Henaf.* llyfr ii. pen. 8. Heblaw hyn, yr oedd llyfr Daniel bob amser yn y canon Iuddewig o'r ysgrythyrau, ac yn cael eu darllen yn barhaus yn eu synagogau hwynt. Y sawl a fynant weled prawfiadau ereill o ddilysrwydd llyfr Daniel, cyfeirir hwynt at Amddiffyniad dysgedig yr *Esgob Chandler*, lle y gwrthbrofa efe yn y modd egluraf bob gwrthddadl a ddygir yn mlaen yn erbyn dwyfoldeb y llyfr hwn. Gwel hefyd *Eusebius*, *Apollinarius*, *Methodius*, *Esgob Newton*, *Stuart*, *Pusey*, *Wintle*, *Jahn*, *Hävernick*, *Staudlin*, *Hengstenberg*, &c., &c.—Y mae y llyfr hwn wedi ei ysgrifenu oll mewn *rhyddiaith*; ac y mae y bennod gyntaf, a'r tair adnod gyntaf o'r ail bennod, wedi eu hysgrifenu yn yr *Hebraeg*; ac oddiyno hyd ddiwedd pen. vii, yn y *Galdeaeg*; ac o pen. viii. 1 i'r diwedd, yn yr *Hebraeg*. Y mae Daniel yn ysgrifenu yn yr *Hebraeg* pan y mae yr hyn a draetha yn adroddiad noeth yn unig; eithr efe a ysgrifena yn y *Galdeaeg* yr ymddyddanion a fu rhyngddo ef a'r doethion a'r breninoedd, am mai yn yr iaith hono y buont yn ymddyddan; ac yn yr un iaith yr adrodda efe hefyd gyhoeddiad Nebuchodonosor ar ol i Daniel ddeongli ei freuddwyd ef yn nghylch y ddelw fawr. Dengys hyn gywirdeb y proffwyd, wrth iddo adrodd y geiriau yn iaith y rhai a ddyg efe yn mlaen fel yn llefaru. Heblaw hyn, yr oedd llawer o'r Iuddewon erbyn hyn yn deall y ddwy iaith yn gystal a'u gilydd, yn enwedig y rhai hyny nad oeddynt yn meddwl dychwelyd i Judea; ac yr oedd ei broffwydoliaethau ef yn cael eu bwriadu i'r holl Iuddewon hyny, ac hefyd i'r Caldeaid eu hunain, y rhai ond odid a'u croniclent hwy yn eu cofllyfrau gwladol. Yn awr, beth a allai fod yn fwy naturiol nag iddo ef ysgrifenu ei lyfr yn y modd ag a'i gwnai ef yn fwyaf defnyddiol? ac i'r dyben hwnw efe a ysgrifenodd ran o hono yn iaith y wlad lle yr oedd yn byw, a'r rhan arall yn iaith wreiddiol eglwys Dduw. — Ymddengys fod Daniel yn byw ar y cyntaf yn y llys yn *Babilon*, ac wedi hyny yn llysoedd *Media* a *Phersia*. Y mae yn debygol iddo gyraedd oedran mawr, a'i fod yn mhell dros 80 mlwydd oed; ac na ddychwelodd efe gyda'i frodyr i'w wlad ei hun, eithr ddarfod iddo farw rywbryd wedi hyny yn Babilon: er y tybia rhai iddo ddychwelyd gydag Ezra i Judea, ac wedi hyny ddyfod yn ol i Persia, a marw yn ninas *Susa*. - Y mae y llyfr hwn yn cynwys dwy ran, y gyntaf yn *hanesyddol*, pen. i—vi; a'r ail yn *broffwydol*, pen. vii—xii. Y rhan *hanesyddol* a gynwys, (1) Hanes Daniel a'i gyfeillion, pen. i. (2) Breuddwyd Nebuchodonosor a'i ddeongliad, pen. ii. (3) Gwaredigaeth y tri llanc o'r ffwrn dân, pen. iii. (4) Balchder Nebuchodonosor a'i gosp, pen. iv. (5) Gwledd Belsassar a'i dynged, pen. v. (6) Cydfradwriaeth yn erbyn Daniel, a'i waredigaeth o ffau y llewod, pen vi. Y rhan *broffwydol* a gynwys, (1) Gweledigaeth y pedwar anifel, yn gosod allan bedair amherodraeth, sef y Galdeaidd, y Persiaidd, y Roegaidd, a'r Rhufeinaidd, pen. vii a viii. (2) Ei broffwydoliaeth am y deng wythnos a thriugain, sef yr yspaid o roddiad y gorchymyn i ailadeiladu Jerusalem a'r deml, hyd farwolaeth y Messia, pen. ix. (3) Ei weledigaeth olaf, yn mha un yr eglurir amrai bethau yn nghylch amherodraeth Persia, Groeg, a Rhufain, dyfodiad y Messia, a chodiad a chwymp Anghrist, pen. x—xii. Yn y sylwadau canlynol cymerir i fyny lawer o'r gwrthddadleuon a ddygir yn mlaen gan Iuddewon ac anffyddwyr yn erbyn dilysrwydd y llyfr hwn, a gwrthbrofir hwynt yn dêg.

---

## PENNOD I.

YN y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim brenin Juda, y daeth Nebuchodonosor brenin Babilon i Jerusalem, ac a warchaeodd arni.

---

PEN. I. Adn. 1. *Yn y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim brenin Juda*] Neu ddechre y bedwaredd, Jer. xxv. 1; *y daeth Nebuchodonosor brenin Babilon i Jerusalem*—gwel ar 2 Bren. xxiv. 1; *ac a warchaeodd arni*—dros ryw amser, yn niwedd pa un yr

2 A'r Arglwydd a roddes i'w
law ef Jehoiacim brenin Juda, a
rhan o lestri tŷ Dduw; yntau a'u
dyg hwynt i wlad Sinar, i dŷ ei
dduw ef; ac i drysordy ei dduw y
dyg efe y llestri.
3 ¶ A dywedodd y brenin wrth
Aspenaz ei ben-ystafellydd, am
ddwyn o feibion Israel, ac o'r had
brenhinol, ac o'r tywysogion,
4 Fechgyn y rhai ni *byddai* yn-
ddynt ddim gwrthuni, eithr yn dda
yr olwg, a deallgar yn mhob doeth-
ineb, ac yn gwybod gwybodaeth, ac
yn deall cyfarwyddyd, a'r rhai *y*
*byddai* grym ynddynt i sefyll yn
llys y brenin, i'w dysgu *ar* lyfr ac
*yn* iaith y Caldeaid.
5 A'r brenin a ddognodd iddynt
ran beunydd o fwyd y brenin, ac
o'r gwin a yfai efe; felly i'w maethu
hwynt dair blynedd, fel y safent ar
ol hyny gerbron y brenin.
6 Ac yr ydoedd yn eu plith
hwynt o feibion Juda, Daniel, Ha-
naniah, Misäel, ac Azarïah:
7 A'r pen-ystafellydd a osododd
arnynt enwau: canys ar Ddaniel y
gosododd efe Beltesassar; ac ar
Hananïah, Sadrach; ac ar Misäel,

---

ennillodd efe hi, pryd y gosododd hi a'i brenin dan deyrnged iddo ei hun. Tybia rhai mai y pryd hyn, tua'r bedwaredd neu y bummed flwyddyn i Jehoiacim, (neu *Joacim*, fel y gelwir ef weithiau,) y caethgludwyd Daniel a'i gyfeillion i Babilon, i fod yno yn *wystlon* dros eu gwlad, fel y tybia rhai. Ymddengys oddiwrth 2 Bren. xxiv. 1, 2, i Jehoiacim fod yn ddarostyngedig i Nebuchodonosor, ac yn talu treth iddo, dros dair blynedd, yr hyn a gyraedd hyd ddiwedd y *seithfed* flwyddyn o deyrnasiad brenin Juda, neu o fewn pedair blynedd i'w farwolaeth ef. Yr amser hwnw efe a wrthryfelodd yn erbyn brenin Babilon; a'r canlyniad fu, i dorfoedd o'r Caldeaid ac ereill ddyfod i fyny yn erbyn Judea i'w dinystrio hi. Tybia rhai mai ar yr ail ymosodiad hwn y cymerwyd Daniel a'i gyfeillion i Babilon, ac nid ar y cyntaf; a bod *tair* blynedd rhwng gwrthryfel Jehoiacim a'i gosp, trwy fod brenin Babilon yn rhwym yn y cyfamser mewn rhyfeloedd âg ereill.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a roddes i'w law ef*] Ar ei ymosodiad cyntaf yn erbyn Jerusalem; *Jehoiacim brenin Juda*—yr hwn a osododd efe mewn cadwynau pres i'w ddwyn i Babilon, 2 Cron. xxxvi. 6; ond trwy iddo ymostwng i Nebuchodonosor, a boddloni i dalu treth iddo, efe a gafodd lonydd i deyrnasu yn ei wlad, fel y nodwyd uchod. Tybia *Lowth* mai yn y darostyngiad hwn o'r Iuddewon i frenin Babilon y dechreua y 70 mlynedd o'u caethiwed. *A rhan o lestri tŷ Dduw*—nid y cyfan; canys cymerwyd hwynt ymaith ar dri thro gwahanol: gwel ar 2 Bren. xxiv. 13. *I wlad Sinar*—felly gynt y gelwid y wlad lle yr adeiladwyd Babilon, Gen. xi. 2. *I dŷ ei dduw ef*—sef i drysordy *Bel* neu *Belus*, i'r hwn yr oedd teml ardderchog yn Babilon: gwel ar Ezra i. 7—11.

Adn. 3. *A dywedodd y brenin*] Ar ol i ran o'r gaethglud gyraedd i Babilon; *wrth Aspenaz ei ben-ystafellydd*—Saes., 'meistr ei *eunuchiaid*,' neu brif swyddog y llys brenhinol; *am ddwyn o feibion Israel*—sef y rhai enwocaf o honynt, megys hiliogaeth brenhinoedd Juda, a phlant eu tywysogion hwy.

Adn. 4. *Fechgyn y rhai ni byddai ynddynt ddim gwrthuni*] Neu lanciau heb anaf corfforol ynddynt; *eithr yn dda yr olwg*—mewn pryd a gwedd; *a deallgar yn mhob doethineb*—rhai deallus, athrylithgar, a thalentog; *ac yn gwybod gwybodaeth, ac yn deall cyfarwyddyd*—rhai wedi ei haddysgu yn dda yn ngwahanol ganghenau gwybodaeth yn eu gwlad eu hunain; *a'r rhai y byddai grym ynddynt i sefyll yn llys y brenin*—sef grym corfforol i gyflawni y swyddau a osodid iddynt yn y llys; *i'w dysgu ar lyfr ac yn iaith y Caldeaid*—i ddysgu iddynt ddarllen, ysgrifenu, a llefaru y Galdeaeg. Ymddengys i amrai fechgyn Iuddewig o'r cymhwysderau hyn gael eu dewis ar y pryd, adn. 6. Na fwriedid iddynt hwy gael eu haddysgu yn newiniaeth a swyn-gyfaredd y Caldeaid, sydd eglur oddiwrth pen. ii. 2.

Adn. 5. *A'r brenin a ddognodd iddynt ran beunydd*] Neu a benododd iddynt ran neu ddogn dyddiol; *o fwyd y brenin, ac o'r gwin a yfai efe*—sef yr un fath fwyd a diod ag a ydoedd ar ei fwrdd ef ei hun; *felly i'w maethu hwynt dair blynedd*—nid yn unig i faethu eu cyrff â bwyd a diod, ond hefyd i faethu eu meddyliau yn iaith ac addysg y Caldeaid; *fel y safent ar ol hyny gerbron y brenin*—megys gweision iddo yn ei lys.

Adn. 6. *Ac yr ydoedd yn eu plith hwynt o feibion Juda*] Sef yn mhlith yr holl fechgyn Iuddewig a ddewisasid; *Daniel*—awdwr y llyfr hwn, yr hwn y mae ei enw yn arwyddo, 'Duw yw fy Marnwr.' *Hananïah*—'yr Arglwydd fu rasol wrthyf.' *Misäel*—'deilliedig o Dduw;' neu, 'yr hwn yw yr hyn yw Duw.' *Azarïah*—'yr Arglwydd yw fy Nghynorthwywr.' Yr oedd eu henwau oll yn Hebraeg, ac yn dal rhyw gysylltiad âg enw Jehofa, y Duw a addolid ganddynt.

Adn. 7. *A'r pen-ystafellydd a osododd arnynt enwau*] A newidiodd eu henwau Hebreig am enwau Caldeig, i beri iddynt fe allai anghofio eu gwlad a'u crefydd, ac ymgorffori yn llwyrach â'r Caldeaid. Modd bynag, y mae hyn yn arferiad gwastadol yn llysoedd y dwyrain. *Canys ar Ddaniel y gosododd efe Beltesassar*—yr hwn a arwydda, yn ol Gesenius, 'tywysog Bel;' neu, yn ol ereill, 'trysorydd Bel.' *Ac ar Hananïah, Sadrach*—'ysbrydoliaeth yr haul;' neu, 'gyf-

Mesach; ac ar Azarïah, Abednego.
8 ¶ A Daniel a roddes ei fryd, nad ymhalogai efe trwy ran *o* fwyd y brenin, na thrwy y gwin a yfai efe: am hyny efe a ddymunodd ar y pen-ystafellydd, na byddai raid iddo ymhalogi.
9 A Duw a roddes Daniel mewn ffafr a thiriondeb gyda'r pen-ystafellydd.
10 A'r pen-ystafellydd a ddywedodd wrth Daniel, Ofni yr ydwyf fi fy arglwydd y brenin, yr hwn a osododd eich bwyd chwi a'ch diod chwi: o herwydd, paham y gwelai efe eich wynebau yn gulach na'r bechgyn *sydd* fel chwithau? felly y parech fy mhen yn ddyledus i'r brenin.
11 Yna y dywedodd Daniel wrth Melsar, yr hwn a osodasai y pen-ystafellydd ar Daniel, Hananiah, Misäel, ac Azarïah,
12 Prawf, atolwg, dy weision ddeg diwrnod, a rhoddant i ni ffa i'w bwyta, a dwfr i'w yfed.
13 Yna edrycher ger dy fron di ein gwedd ni, a gwedd y bechgyn sydd yn bwyta rhan o fwyd y brenin: ac fel y gwelych, gwna â'th weision.
14 Ac efe a wrandawodd arnynt yn y peth hyn, ac a'u profodd hwynt ddeg o ddyddiau.
15 Ac yn mhen y deng niwrnod y gwelid eu gwedd hwynt yn decach, ac yn dewach o gnawd, na'r holl fechgyn oedd yn bwyta rhan o fwyd y brenin.
16 Felly Melsar a gymerodd ym-

aill ieuanc y brenin;' neu, yn ol Bohlen a Gesenius, 'llawenhau yn y ffordd.' *Ac ar Misäel, Mesach*—'perthynas i Sesach,' un o dduwiau y Babiloniaid,' Jer. xxv. 26. *Ac ar Azarïah, Abednego*—'gwas Nego,' sef enw a roddid ar ryw blaned neu seren a addolid yno; neu, 'gwas y goleuni dysglaer;' neu, yn ol rhai, *Abednebo*, mewn cyfeiriad at y blaned Mercurius, Esay xlvi. 1. Diamau fod gosodiad yr enwan hyn arnynt yn cael ei fwriadu i'w hennill hwy oddiwrth addoliad Duw Israel at addoliad eu duwiau eu hunain.

Adn. 8. *A Daniel a roddes ei fryd*] A benderfynodd yn ei galon, yn yr hyn y cydunid âg ef gan ei dri chyfaill uchod, adn. 11—14; *nad ymhalogai efe trwy ran o fwyd y brenin*—canys yr oedd y Caldeaid yn bwyta cig anifeiliaid a waherddid yn nghyfraith Moses, ac yn offrymu rhan o hono i'w duwiau cyn ei ddwyn i'r bwrdd; *na thrwy y gwin a yfai efe*—yr hwn hefyd a offrymid ar fwrdd y brenin i'r duwiau. Neu gall ei fod am ymattal oddiwrth y pethau hyn, mewn rhan, ar yr egwyddor o gymedroldeb; neu rhag iddo gael ei lithio i demtasiynau; neu am nad ystyriai yn beth gweddus iddo ef gyfranogi o ddanteithion y llys, tra yr oedd ei dadau a'i frodyr mewn caethiwed a gwarth. *Am hyny efe a ddymunodd ar y pen-ystafellydd, na byddai raid iddo ymhalogi*—felly nid gwrthod yn drahaus yr ydoedd, ond dymuno yn ostyngedig, am ei fod yn fater cydwybod ganddo.

Adn. 9. *A Duw a roddes Ddaniel mewn ffafr &c.*] Effeithiodd Duw ar galon y pen-ystafellydd paganaidd hwn, fel ag i beri iddo gydymdeimlo â Daniel, a bod yn dirion wrtho ef a'i gyfeillion.

Adn. 10. *A'r pen-ystafellydd a ddywedodd wrth Ddaniel, Ofni yr ydwyf fi fy arglwydd y brenin*] Nid yw efe yn nacâu dymuniad Daniel yn hollol, eithr y mae yn dadlu y perygl ag y byddai ef ei hun ynddo wrth anufyddhau i orchymyn y brenin, a thrwy roddi iddynt hwy fwyd llai maethlon. *O herwydd, paham y gwelai efe eich wynebau yn gulach na'r bechgyn sydd fel chwithau*—na'r bechgyn ag sydd ar brawf fel chwithau, neu sydd o'r un oedran a chwithau, y rhai nad ydynt yn anfoddloni i'r fywioliaeth hon? *Felly y parech fy mhen yn ddyledus i'r brenin*—wrth i'r brenin eich gweled chwi yn llwytach a theneuach na hwynt-hwy, gosodech fi yn agored i gael tori ymaith fy mhen am anufyddhau i'w orchymyn ef.

Adn. 11. *Yna y dywedodd Daniel wrth Melsar*] Yr hwn oedd swyddog dan y pen-ystafellydd, i edrych ar ol bwyd a gwisgoedd y caethion hyn: ac fe allai fod y pen-ystafellydd wedi cynghori Daniel i osod ei gais o flaen Melsar, yr hwn a allai ei ganiatâu iddo gyda llai o berygl.

Adn. 12. *Prawf, atolwg, dy weision ddeg diwrnod*] I edrych pa effaith a gaiff ein hymattaliad ar ein gwedd; *a rhoddant i ni ffa i'w bwyta, a dwfr i'w yfed*—yn lle cig a gwin. Y mae y gair a gyfieithir yma yn *ffa*, yn arwyddo llysiau, bresych, a ffrwythau o bob math, yn gystal a ffa a phys.

Adn. 13. *Yna edrycher ger dy fron di ein gwedd ni*] Cymharer ein gwedd ni â gwedd y bechgyn sydd yn ymborthi ar gig a gwin y brenin: *ac fel y gwelych, gwna â'th weision*—newidia ein hymborth ni yn mhen y deng niwrnod, os gweli fod achos am hyny.

Adn. 14. *Ac efe a wrandawodd arnynt yn y peth hyn*] Gwelodd Melsar resymoldeb eu cais, a chydsyniodd i wneyd y prawf a ddymunent.

Adn. 15. *Ac yn mhen y deng niwrnod y gwelid eu gwedd hwynt yn decach*] O ran lliw, *ac yn dewach o gnawd*—na'r holl fechgyn ereill ag oeddynt yn gwledda ar ddanteithion y brenin. Er y gallai hyn, mewn hinsawdd mor boeth ag eiddo Babilon, fod yn ddyledus mewn rhan i achosion naturiol; eto

aith ran eu bwyd hwynt, a'r gwin
a yfent; ac a roddes iddynt ffa.
17 ¶ A'r bechgyn hyny ill pedwar, Duw a roddes iddynt wybodaeth a deall yn mhob dysg a doethineb: a Daniel a hyfforddodd efe yn mhob gweledigaeth a breuddwydion.
18 Ac yn mhen y dyddiau y dywedasai y brenin am eu dwyn hwynt i mewn, yna y pen-ystafellydd a'u dyg hwynt gerbron Nebuchodonosor.
19 A'r brenin a chwedleuodd â hwynt; ac ni chafwyd o honynt oll *un* fel Daniel, Hananïah, Misäel, ac Azarïah: am hyny y safasant hwy gerbron y brenin.
20 Ac yn mhob rhyw ddoethineb *a* deall a'r a ofynai y brenin iddynt, efe a'u cafodd hwynt yn ddeg gwell na'r holl ddewiniaid *a'r* astronomyddion *oedd* o fewn ei holl frenhiniaeth ef.
21 A bu Daniel hyd y flwyddyn gyntaf i'r brenin Cyrus.

## PENNOD II.

AC yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Nebuchodonosor, y breuddwydiodd Nebuchodonosor freuddwydion, a thrallodwyd ei ysbryd ef, a'i gwsg a dorodd oddiwrtho.
2 A'r brenin a archodd alw am y dewiniaid, ac am yr astronomyddion, ac am yr hudolion, ac am y Caldeaid, i fynegu i'r brenin ei

---

diamau ei fod i'w briodoli yn benaf i gyfryngiad rhagluniaeth Duw, trwy fod Daniel a'i gyfeillion yn gwneuthur hyn o gydwybod i Dduw. Gall bendith Duw beri i bryd o ddail fod yn fwy maethlon er nerth ac iechyd, na'r danteithion melysaf a brasaf hebddi.

Adn. 16. *Felly Melsar a gymerodd ymaith ran eu bwyd hwynt*] Sef y bwyd a'r ddiod a orchymynasai Nebuchodonosor, adn. 5; *ac a roddes iddynt ffa*—neu lysieufwyd, adn. 12.

Adn. 17. *A'r bechgyn hyny ill pedwar, Duw a roddes iddynt wybodaeth a deall*] Yn chwanegol at iechyd a nerth; *yn mhob dysg a doethineb*—ag ydoedd fuddiol ac angenrheidiol iddynt fel gweision y brenin. *A Daniel*—uwchlaw y tri ereill, *a hyfforddodd efe yn mhob gweledigaeth a breuddwydion*—sef yn y breuddwydion goruwchnaturiol hyny a ddeuent oddiwrth Dduw, i ragddangos pethau i ddyfod. Nid ydym i feddwl fod pob breuddwyd gwâg, ag sydd yn tarddu oddiwrth anhwyldeb corff neu feddwl, yn cael ei olygu yma; na chwaith fod Daniel wedi cyraedd gwybodaeth i ddeongli breuddwydion goruwchnaturiol trwy ddysgeidiaeth naturiol; eithr y meddwl yw, fod Duw wedi ei gynysgaeddu ef â dwyfol ysbrydoliaeth, neu ei fendithio âg ysbryd proffwydoliaeth, yr un modd a Joseph gynt yn yr Aifft: gwel ar Gen. xli. 16, &c.

Adn. 18. *Ac yn mhen y dyddiau*] Sef yn niwedd y tair blynedd a benodesid gan y brenin, adn. 5; *y pen ystafellydd a'u dyg hwynt gerbron Nebuchodonosor*—fel y gallai efe eu gweled a'u profi hwynt.

Adn. 19. *A'r brenin a chwedleuodd â hwynt*] A'u holodd hwynt yn fanwl ar bob cangen o ddysgeidiaeth ag y buont yn ei hefrydu: *ac ni chafwyd o honynt oll*—o'r holl fechgyn a fuasent yn byw ar ddanteithion y brenin; *un fel Daniel*—a'i dri chyfaill: *am hyny y safasant hwy gerbron y brenin*—derbyniwyd hwy i'r llys fel gweision i'r brenin, tra yr oedd y lleill ond odid yn cael eu gwrthod

Adn. 20. *Ac yn mhob rhyw ddoethineb a deall a'r a ofynai y brenin iddynt*] Sef i'r pedwar hyn, yn yr arholiad cyffredinol hwnw; *efe a'u cafodd hwynt yn ddeg gwell*—o ran eu deall a'u gwybodaeth, *na'r holl ddewiniaid a'r astonomyddion oedd o fewn ei holl frenhiniaeth ef*—chwaithach na'r bechgyn ereill. Dengys hyn fod y brenin ei hun yn ŵr o ddysg a gwybodaeth helaeth. Wrth y dewiniaid a'r astronomyddion hyn yr ydym i ddeall, fe allai, rhai cyfarwydd mewn athroniaeth, seryddiaeth, a deddfau natur; neu rai yn gallu egluro perthynas achosion ac effeithiau, a deall anhwylderau a'u hiachâd; er fod y geiriau yn arwyddo weithiau swyn-gyfareddwyr, consurwyr, ymofynwyr â'r meirw, &c. Gwel ar Deut. xviii. 10, 11.

Adn. 21. *A bu Daniel*] Yn byw mewn anrhydedd a pharch yn Caldea, hyd ddymchweliad yr amherodraeth hono gan y Persiaid; *hyd y flwyddyn gyntaf i'r brenin Cyrus*—ac wedi hyny dair blynedd o leiaf, pen. x. 1. Felly efe a fu byw hyd ddiwedd y 70 mlynedd o gaethiwed yr Iuddewon yn Babilon, ac wedi hyny rai blynyddoedd.

PEN. II. Adn. 1. *Ac yn yr ail flwyddyn o deyrnasiad Nebuchodonosor*] Sef yr ail o'i deyrnasiad ef wrtho ei *hun*, canys yr oedd ef wedi bod yn cyd deyrnasu â'i *dad* ddwy flynedd cyn hyny: felly yr oedd hon y *bedwaredd* flwyddyn o'i deyrnasiad ef, a'r bedwaredd hefyd o gaethgludiad Daniel a'i gyfeillion. *Y breuddwydiodd Nebuchodonosor freuddwydion*—neu un breuddwyd hir, adn. 4, yn cynwys darluniad o amgylchiadau gwahanol amherodraethau. *A thrallodwyd ei ysbryd ef*—nes y deffrôdd yn y dychryn mwyaf; *a'i gwsg a dorodd oddiwrtho*—fel nas gallai efe gysgu mwyach. Y wreiddiol yw, 'a'i gwsg oedd *arno*:' yr hyn a arwydda ei fod ef yn cysgu ar y pryd, ac mai *breuddwyd* a gawsai, ac nid *gweledigaeth*.

Adn. 2. *A'r brenin a archodd alw am y dewiniaid, &c.*] Gwel ar pen. i. 20; *ac am y*

freuddwydion: a hwy a ddaethant
ac a safasant gerbron y brenin.
3 A'r brenin a ddywedodd wrth
ynt, Breuddwydiais freuddwyd, a
thrallodwyd fy ysbryd am wybod y
breuddwyd.
4 Yna y Caldeaid a lefarasant
wrth y brenin yn Syriaeg, O frenin,
bydd fyw yn dragywydd: adrodd
dy freuddwyd i'th weision, a my-
negwn y deongliad.
5 Atebodd y brenin a dywedodd
wrth y Caldeaid, Aeth y peth oddi-
wrthyf: oni fynegwch y breudd-
wyd im', a'i ddeongliad, gwneir
chwi yn ddrylliau, a'ch tai a osodir
yn domen.
6 Ond os y breuddwyd a'i dde-
ongliad a ddanghoswch, cewch rodd-
ion, a gwobrau, ac anrhydedd mawr
o'm blaen i: am hyny danghoswch
y breuddwyd, a'i ddeongliad.
7 Atebasant eilwaith a dywedas-
ant, Dyweded y brenin y breudd-
wyd i'w weision, ac ni a ddanghoswn
ei ddeongliad ef.
8 Atebodd y brenin a dywedodd,
Mi a wn yn hysbys mai oedi yr am-
ser yr ydych chwi; canys gwelwch
fyned y peth oddiwrthyf.
9 Ond oni wnewch im' wybod y
breuddwyd, un gyfraith *fydd* i chwi:
canys gair celwyddog a llygredig
a ddarparasoch ei ddywedyd o'm

---

*Caldeaid*—sef pob un o'r Caldeaid ag ydoedd yn debyg o allu adrodd a deongli breuddwydion, er y tybia rhai fod y rhai hyn yn wahanol i'r tri dosbarth ereill; *i fynegu i'r brenin ei freuddwydion*—i fynegu iddo pa beth a freuddwydiodd, a pha beth yr oedd ei freuddwyd yn ei arwyddo: *a hwy a ddaethant, ac a safasant gerbron y brenin*—gan ddysgwyl clywed ganddo ef pa beth a freuddwydiodd, fel y gallent hwythau gydlunio rhyw ystyr gwenieithus iddo. Gan na alwyd ar Daniel a'i gyfeillion y pryd hyn, gellir meddwl fod hyny yn brawf fod yr addysg a gawsent hwy o natur wahanol.

Adn. 3. *A'r brenin a ddywedodd wrthynt, Breuddwydiais freuddwyd*] Hynod iawn; *a thrallodwyd fy ysbryd am wybod y breuddwyd*—y mae yn debyg fod y brenin wedi anghofio prif ranau y breuddwyd, ac nad oedd dim yn aros yn ei feddwl ond rhyw adgofion cymysglyd o hono, yn nghyda dychryn mawr o'i herwydd.

Adn. 4. *Yna y Caldeaid a lefarasant wrth y brenin yn Syriaeg*] Yr hon oedd yr un a'r *hen* Galdeaeg, ac a geir yn ei phurdeb mwyaf yn llyfrau Daniel ac Ezra. Y mae yr oll oddiyma hyd ddiwedd pen. vii, fel y nodwyd yn y rhagarweiniad, wedi ei ysgrifenu yn y Galdeaeg, am fod y rhan hon yn perthyn yn benaf i'r Caldeaid; tra y mae yr hyn a gynwysir o pen. viii, hyd ddiwedd y llyfr, yn cyfeirio yn benaf at yr Iuddewon, ac am hyny wedi ei ysgrifenu yn yr Hebraeg. *O frenin, bydd fyw yn dragywydd*—ffurf o ymadrodd cyffredin wrth gyfarch brenhinoedd: gwel ar 1 Sam. x. 24, 1 Bren. i. 25, 31, Neh. ii. 3. Y mae o'r un ystyr a'n hymadrodd ni, 'Duw a gadwo y frenhines.' *Adrodd dy freuddwyd i'th weision*—yn ei holl ranau; *a mynegwn y deongliad*—wedi hyny, gyda'r rhwyddineb mwyaf. Yr oedd hyn yn fwy nag a allodd dewiniaid yr Aifft ei wneuthur; canys methasant hwy ddeongli breuddwydion Pharao ar ol iddo eu mynegu iddynt: gwel ar Gen. xli. 8.

Adn. 5. *Aeth y peth oddiwrthyf*] Sef y breuddwyd, fel nas gallaf ei adrodd. Yr oedd rhyw argraff cymysglyd o hono yn aros ar ei feddwl, ond nid oedd yn cofio y neillduolion. Tybia rhai mai wrth y 'peth' hwn y golyga y brenin ei *fygythiad* yn eu herbyn os nad adroddent hwy iddo ef y breuddwyd; ond nid oedd efe eto wedi cyhoeddi ei fygythiad, yr hyn a wneir yn y frawddeg nesaf. *Oni fynegwch y breuddwyd im'*—yn gystal a'i ddeongliad; *gwneir chwi yn ddrylliau*—neu ddarnau, fel y darniwyd Agag, 1 Sam. xv. 33; *a'ch tai a osodir yn domen*—a ddryllir yn chwilfriw, fel na aller eu hadgyweirio. Y LXX a'i darllenant, 'Eich tai a yspeilir;' a'r *Vulgate*, 'Eich tai a attafaelir,' neu a gymerir at wasanaeth y brenin. Ond yr ystyr cyntaf yw y mwyaf rhesymol; ac yr oedd yn hawdd troi eu tai hwy yn domenydd, trwy eu bod wedi eu hadeiladu o bridd neu briddfeini.

Adn. 6. *Ond os y breuddwyd a'i ddeongliad a ddanghoswch*] Bydded dda neu ddrwg; *cewch roddion a gwobrau*—sef gwobrau arianol ond odid; *ac anrhydedd mawr o'm blaen i*—sef swyddau uchel dano ef yn y deyrnas. Fel hyn, ar ol methu eu hennill hwynt trwy fygythion, y mae yn ceisio gwneuthur hyny trwy addewidion.

Adn. 7. *Dyweded y brenin y breuddwyd i'w weision*] Ond hyn nis gallai y brenin ei wneuthur mwy na hwythau, trwy ei fod wedi ei annghofio; *a ni a ddanghoswn ei ddeongliad ef*—neu ei ystyr. Y mae yn eglur oddiyma nad oeddynt hwy yn proffesu medru adrodd y breuddwyd, ond yn unig ei ystyr ar ol ei adrodd.

Adn. 8. *Mi a wn yn hysbys mai oedi yr amser yr ydych chwi*] I edrych a fydd i mi adgofio y breuddwyd, neu beidio gofyn am adroddiad o hono, neu fel y caffoch chwi gyfleusdra i ddyfeisio rhywbeth yn ei le ef, fel y galloch ddianc rhag y gosp fygythiedig: *canys gwelwch fyned y peth oddiwrthyf*—ac nad oes obaith i mi allu ei adgofio: gwel ar adn. 5.

Adn. 9. *Ond oni wnewch im' wybod y breuddwyd*] Trwy ei adrodd wrthyf yn ddioedi; *un gyfraith fydd i chwi*—gwneir chwi oll yn ddrylliau fel eich gilydd, adn. 5: *canys gair celwyddog a llygredig a ddarparasoch*

blaen, nes newid yr amser: am hyny dywedwch im' y breuddwyd, a mi a gaf wybod y medrwch ddangos i mi ei ddeongliad ef.

10 ¶ Y Caldeaid a atebasant o flaen y brenin, ac a ddywedasant, Nid oes dyn ar y ddaear a ddichon ddangos yr hyn y mae y brenin yn ei ofyn: ac ni cheisiodd un brenin, na phenaeth, na llywydd, y fath beth a hwn gan un dewin, nac astronomydd, na Chaldead.

11 Canys dyeithr *yw* y peth a gais y brenin, ac nid oes *neb* arall a fedr ei ddangos o flaen y brenin, ond y duwiau, y rhai nid yw eu trigfa gyda chnawd.

12 O achos hyn y digiodd y brenin ac y creulonodd yn ddirfawr, ac a orchymynodd ddyfetha holl ddoethion Babilon.

13 Yna yr aeth y gyfraith allan am ladd y doethion; ceisiasant hefyd Daniel a'i gyfeillion i'w lladd.

14 ¶ Yna yr atebodd Daniel trwy gynghor a doethineb i Arioch, pendistain y brenin, yr hwn a aethai allan i ladd doethion Babilon:

15 Efe a lefarodd ac a ddywedodd wrth Arioch, distain y brenin, Paham *y mae* y gyfraith yn myned ar *y fath* frys oddiwrth y brenin? Yna Arioch a fynegodd y peth i Daniel.

16 Yna Daniel a aeth i mewn, ac a ymbiliodd â'r brenin am roddi iddo amser, ac y danghosai efe y deongliad i'r brenin.

17 Yna yr aeth Daniel i'w dŷ, ac

---

*ei ddywedyd o'm blaen*—sef deongliad gwenieithus a chelwyddog o'm breuddwyd ar ol i mi ei adrodd, neu ystyr a fyddai yn gyfaddas at bob amgylchiad; *nes newid yr amser*—nes y deuai rhyw gyfnewidiad yn achosion y deyrnas, neu yn mhenderfyniad y brenin; neu, yn ol yr *Arabaeg*, 'nes *myned heibio* o'r amser.' *Am hyny dywedwch im' y breuddwyd, a mi a gaf wybod*—trwy yr amgylchiad hwnw, *y medrwch ddangos i mi ei ddeongliad ef*—rhaid addef fod y brenin yn ymresymu yn dra thêg; canys os gallai y dewiniaid hyn fynegu pethau *dyfodol* mewn ffordd o eglurhad o'r breuddwyd, paham nad allent fynegu y breuddwyd ei hun, yr hwn oedd wedi *cymeryd lle?*

Adn. 10. *Nid oes dyn ar y ddaear a ddichon ddangos yr hyn y mae y brenin yn ei ofyn*] Ac felly y mae y peth yn anmhosibl ynddo ei hun; *ac ni cheisiodd un brenin, na phenaeth, na llywydd*—y fath beth erioed o'r blaen gan un dewin, nac astronomydd, na Chaldead: gwel ar adn. 2.

Adn. 11. *Canys dyeithr yw y peth a gais y brenin*] Y mae yn beth na chlybuwyd am dano erioed o'r blaen; *ac nid oes neb arall a fedr ei ddangos o flaen y brenin*—er maint eu gwybodaeth; *ond y duwiau, y rhai nid yw eu trigfa gyda chnawd*—fel hyn gwesgid hwynt gan amgylchiadau i orfod cyfaddef eu hanwybodaeth eu hunain, ac i ddwyn tystiolaeth i hollwybodaeth Duw. Y mae yn eglur nad eu *duwiau* eu hunain a olygent yma, canys yr oeddynt yn addef fod y rhai hyny yn trigo mewn temlau gyda dynion, ac yn cymeryd rhan yn eu holl achosion hwy; tra yr oedd yn dyb gyffredin fod y 'Duw Goruchaf' yn trigiannu yn mhell uwchlaw y ddaear, ac wedi gadael llywodraeth y byd isod hwn i fodau îs. Y gair *Caldeig* yma yw *Elahin*, ac y mae o'r un ystyr ag *Elohim* yr *Hebraeg*.

Adn. 12. *O achos hyn y digiodd y brenin*] Wrth y dewiniaid hyn; *ac y creulonodd yn ddirfawr*—yn eu herbyn hwynt; *ac a orchymynodd ddyfetha holl ddoethion Babilon*—yr oll yn y ddinas o leiaf, os nid yr oll yn yr amherodraeth.

Adn. 13. *Yna yr aeth y gyfraith allan*] Wedi ei selio gan y brenin, a dechreuodd y dienyddwyr ar y gwaith gwaedlyd yn y fan: *ceisiasant hefyd Daniel a'i gyfeillion i'w lladd*—y rhai, er na hònent y fath wybodaeth, ac na wysiwyd hwynt gerbron y brenin gyda'r dewiniaid a'r astronomyddion, eto a gyfrifid fel hwythau, ac a farnwyd yn ddeg doethach na hwynt oll, pen. i. 20.

Adn. 14. *Yna yr atebodd Daniel trwy gynghor a doethineb i Arioch*] Neu, fel y mae y *Vulgate* yn ei ddarllen, 'Yna yr ymofynodd Daniel âg Arioch yn nghylch y gyfraith a'r ddedfryd,' a wnaed gan y brenin i ddyfetha y doethion; hyny yw, efe a ofynodd beth oedd yr achos o honi: canys trwy na wysiwyd ef o flaen y brenin gyda'r lleill, y mae yn debyg na wyddai efe ddim am y peth. *Pen-distain y brenin*—Saes., 'capten gwarchawdlu y brenin;' neu, yn ol y *Galdeaeg*, 'pen-lleiddiad' neu 'brif ddienyddwr y brenin.' *Yr hwn a aethai allan i ladd doethion Babilon*—ac a ddechreuasai ar ei waith.

Adn. 15. *Paham y mae y gyfraith yn myned ar y fath frys oddiwrth y brenin?*] Efe a arwyddai trwy hyn nad oedd pob ymdrech dichonadwy i egluro y breuddwyd wedi cael ei wneuthur. *Yna Arioch a fynegodd y peth i Daniel*—a adroddodd y cwbl iddo o'r dechre i'r diwedd. Y mae yn debyg i Daniel berswadio Arioch i ohirio ei alanas hyd nes yr âi efe at y brenin, gan awgrymu y byddai iddo ef allu adrodd a deongli y breuddwyd.

Adn. 16. *Yna Daniel a aeth i mewn*] I balas y brenin; *ac a ymbiliodd â'r brenin am roddi iddo amser*—fel y gallai efe ofyn i'w Dduw am gyfarwyddyd a gwybodaeth, at yr hwn y cyfeiriasai y Caldeaid, adn. 11: *ac y danghosai efe y deongliad i'r brenin*—a'r breuddwyd hefyd, adn. 28. Ymddengys i'r brenin gydsynio â'i gais, a rhoddi amser iddo.

a fynegodd y peth i'w gyfeillion,
Hananïah, Misäel, ac Azarïah:
18 Fel y ceisient drugareddau gan
Dduw y nefoedd yn achos y dirgel-
wch hwn; fel na ddyfethid Daniel
a'i gyfeillion gyda'r rhan arall o
ddoethion Babilon.
19 ¶ Yna y datguddiwyd y dir-
gelwch i Daniel mewn gweledig-
aeth nos: yna Daniel a fendithiodd
Dduw y nefoedd.
20 Atebodd Daniel a dywedodd,
Bendigedig fyddo enw Duw o dra-
gwyddoldeb hyd dragwyddoldeb:
canys doethineb a nerth ydynt eiddo
ef.
21 Ac efe sydd yn newid amser-
au, a thymhorau: efe sydd yn
symud brenhinoedd, ac yn gosod
brenhinoedd: efe sydd yn rhoddi
doethineb i'r doethion, a gwybod-
aeth i'r rhai a fedrant ddeall.
22 Efe sydd yn datguddio y *peth-
au* dyfnion a chuddiedig: efe a ŵyr
beth *sydd* yn y tywyllwch, a chydag
ef y mae y goleuni yn trigo.
23 Tydi Dduw fy nhadau yr yd-
wyf fi yn diolch iddo, ac yn ei folian-
nu, o herwydd rhoddi o honot
ddoethineb a nerth i mi, a pheri i
mi wybod yn awr yr hyn a geisias-
om genyt: canys gwnaethost i ni
wybod yr hyn a ofynodd y brenin.
24 ¶ O herwydd hyn yr aeth
Daniel at Arioch, yr hwn a osodas-
ai y brenin i ddyfetha doethion Ba-
bilon: efe a aeth, ac a ddywedodd
wrtho fel hyn; Na ddyfetha ddoeth-
ion Babilon; dwg fi o flaen y bren-
in, a mi a ddanghosaf i'r brenin y
deongliad.
25 Yna y dyg Arioch Daniel o
flaen y brenin ar frys, ac a ddywed-
odd wrtho fel hyn; Cefais ŵr o
blant caethiwed Juda, yr hwn a fy-
nega i'r brenin y deongliad.
26 Atebodd y brenin, a dywed-
odd wrth Daniel, (yr hwn *yr oedd*

---

Adn. 17. *Yna yr aeth Daniel i'w dŷ*] Lle yr oedd ef a'i dri chyfaill yn cartrefu; *ac a fynegodd y peth i'w gyfeillion*—fod y brenin wedi gweled breuddwyd hynod, fod doethion Babilon wedi methu ei adrodd, a bod gorchymyn wedi ei roddi i'w lladd hwynt oll o achos hyny, ond fod y gyflafan wedi ei gohirio hyd dranoeth ar ei gais ef.

Adn. 18. *Fel y ceisient drugareddau gan Dduw y nefoedd*] Neu oleuni ar y dirgelwch hwn, mewn atebiad i'w gweddiau, er arbediad i'w bywydau oll. Nid ar gyfrif dim teilyngdod ynddynt hwy eu hunain y dysgwylient gael eu gwrando, eithr seilient eu holl obaith ar 'drugaredd' Duw.

Adn. 19. *Yna*] Mewn atebiad i gyd-weddiau taerion y pedwar hyn; *y datguddiwyd y dirgelwch i Daniel mewn gweledigaeth nos*—efe a welodd yr hyn a welsai y brenin yn ei freuddwyd, a datguddiwyd iddo hefyd ei arwyddocâd. *Yna Daniel a fendithiodd Dduw y nefoedd*—yn y geiriau a ganlyn, adn. 20—23.

Adn. 20. *Bendigedig fyddo enw Duw o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb*] Hyny yw, fyddo Duw ei hun byth; *canys doethineb a nerth ydynt eiddo ef*—y mae ei *ddoethineb* i'w ganfod yn ei waith yn trefnu achosion y byd; a'i *nerth*, yn ei waith yn eu dwyn oddiamgylch.

Adn. 21. *Ac efe sydd yn newid amserau a thymhorau*] Sef amser a thymhor y naill amherodraeth ar ol y llall. *Efe sydd yn symud brenhinoedd*—gan osod i fyny frenhinoedd ereill yn eu lle. *Efe sydd yn rhoddi doethineb i'r doethion*—efe yw ffynnonell fawr pob doethineb, gwybodaeth, a deall.

Adn. 22. *Efe sydd yn datguddio y pethau dyfnion a chuddiedig*] Y rhai sydd tuhwnt i amgyffrediad doethion Babilon a'u duwiau. *Efe a ŵyr beth sydd yn y tywyllwch*—megys breuddwyd y brenin, a'i arwyddocâd; *a chydag ef y mae y goleuni yn trigo*— neu wybodaeth lawn ac eglur o'r dyfodiant.

Adn. 23. *Tydi Dduw fy nhadau*] Yr hwn a wnaethost gyfammod âg Abraham a'i hiliogaeth; *yr ydwyf fi yn diolch iddo, ac yn ei foliannu*—yn y modd mwyaf parchus, difrifol, a gwresog; *o herwydd rhoddi o honot ddoethineb a nerth i mi*—neu allu i wybod yr hyn a geisiasom ni genyt ti, ac a geisiodd y brenin genym ninau.

Adn. 24. *O herwydd hyn*] O herwydd fod Duw wedi datguddio iddo y breuddwyd a'i ddeongliad; *yr aeth Daniel at Arioch*—yn ol ei addewid, i fynegu iddo ei lwyddiant gyda Duw, ac i geisio ganddo ei ddwyn ef o flaen y brenin, a pheidio mwyach ail ymaflyd yn ei waith gwaedlyd.

Adn. 25. *Yna y dyg Arioch Daniel o flaen y brenin ar frys*] Yr hyn a ddengys nad oedd ef ei hun yn ymhyfrydu yn y gwaith gwaedlyd a osodesid iddo. *Cefais ŵr o blant caethiwed Juda, yr hwn a fynega i'r brenin y deongliad*—efe a geisiai fel hyn ymwthio i ffafr y brenin, fel pe buasai yr amlygrwydd o alluoedd Daniel yn y peth hwn i'w briodoli i'w ddiwydrwydd ef ei hun yn unig.

Adn. 26. *Atebodd y brenin, a dywedodd wrth Daniel*] Yr hwn y gelwid ei enw yn y llys yn *Beltessasar*, pen. i. 7; *A elli di fynegu i mi y breuddwyd a welais, a'i ddeongliad?*—ymddengys fod y brenin yn amheus a allai bachgen mor ieuanc ag ef wneuthur hyn, pan yr oedd holl ddoethion profiadol Babilon wedi methu: ond nid oedd efe eto yn deall o ba le y cawsai Daniel ei wybodaeth.

ei enw Beltesassar,) A elli di fynegu i mi y breuddwyd a welais, a'i ddeongliad ?
27 Atebodd Daniel o flaen y brenin, a dywedodd, Ni all doethion, astronomyddion, dewiniaid, *na* brudwyr, ddangos i'r brenin y dirgelwch y mae y brenin yn ei ofyn:
28 Ond y mae Duw yn y nefoedd yn datguddio dirgeledigaethau, ac a fynegodd i'r brenin Nebuchodonosor beth a fydd yn y dyddiau diweddaf. Dy freuddwyd a gweledigaethau dy ben yn dy wely *ydoedd* hyn yma:
29 Ti frenin, dy feddyliau a godasant *yn dy ben* ar dy wely, beth *oedd* i ddyfod ar ol hyn: a'r hwn sydd yn datguddio dirgeledigaethau, a fynegodd i ti beth a fydd.
30 Minau hefyd, nid o herwydd y doethineb sydd ynof fi yn fwy na neb byw, y datguddiwyd i mi y dirgelwch hwn: ond o'*u* hachos *hwynt* y rhai a fynegant y deongliad i'r brenin, ac fel y gwybyddit feddyliau dy galon.
31 ¶ Ti frenin oeddit yn gweled, ac wele ryw ddelw fawr: y ddelw fawr hon, *yr oedd* ei dysgleirdeb yn rhagorol, oedd yn sefyll gyferbyn a thi; a'r olwg arni *ydoedd* ofnadwy.
32 Pen y ddelw hon *ydoedd* o aur da, ei dwyfron a'i breichiau o arian, ei bol a'i morddwydydd o bres,
33 Ei choesau o haiarn, ei thraed *oedd beth* o honynt o haiarn, a *pheth* o honynt o bridd.

---

Adn 27. *Atebodd Daniel o flaen y brenin, a dywedodd*] Yn y modd mwyaf penderfynol, ond er hyny gyda gostyngeiddrwydd a pharch mawr; *Ni all doethion, astronomyddion, dewiniaid, na brudwyr*—o honynt eu hunain, na thrwy gymhorth eu celfyddyd na'u duwiau; *ddangos i'r brenin y dirgelwch y mae y brenin yn ei ofyn*—am ei fod yn gwbl o gyraedd *dyn*, pa mor eang bynag y byddo ei wybodaeth. Yr oedd hyn yn awgrymiad cryf nad oedd gan y brenin, o ganlyniad, ddim achos i ymgreuloni mor fawr yn erbyn ei ddoethion; ac y mae yn brawf penderfynol hyd heddyw o analluy cyfryw ddynion, pa beth bynag a hònant hwy i'r gwrthwyneb, i amlygu dirgelion o'r fath.

Adn. 28. *Ond y mae Duw yn y nefoedd*] Yr hwn yw yr unig wir Dduw, *yn datguddio dirgeledigaethau*—y rhai, fel dy freuddwyd di, sydd uwchlaw dirnadaeth dynion, duwiau gau, ac ellyllon. Nid yw Daniel am hòni dim gwybodaeth o'r fath iddo ei hun, canys y mae yn rhoddi yr holl ogoniant i Dduw y nefoedd. *Ac a fynegodd i'r brenin Nebuchodonosor*—hyny yw, Duw y nefoedd a'i mynegodd trwy y breuddwyd hwn; *beth a fydd yn y dyddiau diweddaf*—neu 'ar ol hyn,' adn. 29, neu 'wedi hyn,' adn. 45. *Dy freuddwyd a gweledigaethau dy ben yn dy wely*—nid yw Daniel yn golygu dau beth gwahanol trwy y geiriau hyn: eithr ei feddwl yw, y gellid edrych ar ei freuddwyd mewn rhyw ystyr fel gweledigaeth, trwy ei fod yn cyfranogi o natur y ddau. *Ydoedd hyn yma*—a ddarlunir adn. 31—35.

Adn. 29. *Ti frenin, dy feddyliau a godasant yn dy ben ar dy wely*] Hyny yw, cyn i ti gysgu, yr oeddit yn meddwl neu yn myfyrio, *beth oedd i ddyfod ar ol hyn*—pa chwyldroad neu gyfnewidiad a allai gymeryd lle yn dy deyrnas trwy elynion oddifewn neu oddifaes; *a'r hwn sydd yn datguddio dirgeledigaethau*—sef Duw y nefoedd, adn. 28, *a fynegodd i ti beth a fydd*—trwy y breuddwyd hwn ar ol i ti gysgu. Er fod y brenin wedi anghofio ei freuddwyd, eto gallai ei fod yn cofio ar ba beth yr oedd yn myfyrio cyn iddo gysgu; ac y mae Daniel yn mynegu hyny iddo, i'r dyben i'w barotoi yn well i dderbyn yr hyn a osodid o'i flaen fel ei freuddwyd, neu i'w gadarnhau yn y grediniaeth o ddwyfol ysbrydoliaeth Daniel ar yr achos hwn.

Adn. 30. *Minau hefyd, nid o herwydd y doethineb sydd ynof fi, &c.*] Y mae gostyngeiddrwydd Daniel i'w weled yn eglur yma, yn ei waith yn ymwadu â phob rhagoriaeth neu deilyngdod ynddo ef ei hun fel yr achos o roddiad y datguddiad hwn iddo; *ond o'u hachos hwynt y rhai a fynegant y deongliad i'r brenin*—sef cyfeillion a brodyr Daniel mewn gorthrymderau, y rhai a'i cynorthwyasant ef trwy eu gweddiau i gael y datguddiad hwn oddiwrth Dduw, fel y byddai i'w bywydau gael eu harbed; *ac fel y gwybyddit feddyliau dy galon*—hyny yw, datguddiwyd i mi y dirgelwch hwn er dy fwyn dithau hefyd.

Adn. 31 *Ti frenin oeddit yn gweled, ac wele ryw ddelw fawr*] Nid delw i'w haddoli oedd hon, ond delw ag ydoedd yn gysgod neu yn arddanghosiad o'r breniniaethau a enwir eto, ac ar lun dyn neu ddynes. Ni ddywedir pa mor fawr ydoedd, ond gallwn feddwl ei bod yn llawer mwy na dyn. *Yr oedd ei dysgleirdeb yn rhagorol*—yn llewyrchu yn dra ysblenydd a godidog; *a'r olwg arni ydoedd ofnadwy*—ydoedd fawreddog a rhyfeddol, nes yr oedd yn creu dychryn yn dy feddwl.

Adn. 32, 33. *Pen y ddelw hon ydoedd o aur da*] Neu aur pur a digymysg: *ei dwyfron a'i breichiau o arian*—yr hwn, er yn fettel pur, nid oedd mor werthfawr a'r pen; *ei bol a'i morddwydydd o bres*—felly yr oedd yn gwaelu o ran ei defnyddiau wrth ddisgyn i waered; *ei choesau o haiarn*—o'r gliniau hyd y fferau: *ei thraed oedd beth o honynt o haiarn, a pheth o honynt o bridd*—nid rhan o honi o haiarn, a'r rhan arall o bridd, ond yr oedd yr oll o'r traed yn gymysgedd o'r ddau, adn. 41—43.

Adn. 34. *Edrych yr oeddit hyd oni thor-*

34 Edrych yr oeddit hyd oni thor-
wyd allan gareg, nid trwy waith
dwylaw, a hi a darawodd y ddelw
ar ei thraed o haiarn a phridd, ac
a'u malurioedd hwynt.
35 Yna yr haiarn, y pridd, y pres,
yr arian, a'r aur, a gydfaluriasant,
ac oeddynt fel mân ûs yn *dyfod* o'r
lloriau dyrnu haf; a'r gwynt a'u
dyg hwynt ymaith, ac ni chaed lle
iddynt; a'r gareg yr hon a daraw-
odd y ddelw a aeth yn fynydd mawr,
ac a lanwodd yr holl ddaear.
36 ¶ Dyma y breuddwyd: dy-
wedwn hefyd ei ddeongliad o flaen
y brenin.
37 Ti frenin *wyt* frenin brenhin-
oedd: canys Duw y nefoedd a rodd-
odd i ti frenhiniaeth, gallu, a nerth,
a gogoniant.
38 A pha le bynag y preswylia
plant dynion, efe a roddes dan dy
law fwystfilod y maes, ac ehediaid
y nefoedd, ac a'th osododd di yn
arglwydd arnynt oll: ti *yw* y pen
aur hwnw.
39 Ac ar dy ol di y cyfyd bren-
hiniaeth arall îs na thi, a thrydedd

---

*wyd allan gareg*] O'r mynydd gerllaw, adn. 45; *nid trwy waith dwylaw*—nid â dwylaw dynion y torwyd hi o'r mynydd, nac y treiglwyd hi i lawr: *a hi a darawodd y ddelw ar ei thraed o haiarn a phridd*—wrth dreiglo i lawr o'r mynydd; *ac a'u malurioedd hwynt*—yn llwch.

Adn. 35. *Yna yr haiarn, y pridd, y pres, yr arian, a'r aur*] Sef holl ranau y ddelw o'i thraed hyd ei phen; *a gydfaluriasant*—nid ar unwaith, ond yn llwch *fel* eu gilydd; *ac oeddynt fel mân ûs yn dyfod o'r lloriau dyrnu haf*—heb ddim yn aros o fawredd a gwychder yr un o'r rhanau; *a'r gwynt a'u dyg hwynt ymaith, ac ni chaed lle iddynt*—chwalwyd eu llwch oddeutu, fel nad oedd dim o hono yn aros o flaen dy lygaid. *A'r gareg yr hon a darawodd y ddelw*—fel ag i falurio ei holl ranau, y naill ar ol y llall; *a aeth yn fynydd mawr, ac a lanwodd yr holl ddaear*—hyn ond odid a barodd y syndod a'r dychryn mwyaf i'r brenin yn ei holl freuddwyd.

Adn. 36. *Dyma y breuddwyd*] A diamau i'r adroddiad manwl hwn o'i holl ranau, trwy gydweithrediad rhagluniaeth Duw, ddwyn yr oll o hono i gof a meddwl y brenin yn y fan. *Dywedwn hefyd ei ddeongliad o flaen y brenin*—neu ei arwyddocâd, yr hyn a gawn yn adn. 37—45. Yma y mae Daniel yn dangos ei hunan-ymwadiad, wrth ganiatâu i'w gyfeillion gael rhan yn yr anrhydedd o ddeongli y breuddwyd; canys yr oedd y cwbl wedi ei ddwyn i'r goleu trwy eu cyd-weddiau hwynt gerbron Duw, adn. 18.

Adn. 37. *Ti frenin wyt frenin y brenhinoedd*] Yr hwn y mae llawer o frenhinoedd dan deyrnged i ti: *canys Duw y nefoedd*—nid dy wroldeb, dy nerth, a'th fedrusrwydd dy hun, na dylanwad dy dduwiau; *a roddodd i ti frenhiniaeth, gallu, a nerth, a gogoniant*—hyny yw, Duw a roddodd i ti *amherodraeth* eang, *gallu* i'w llywodraethu, *nerth* i'w hamddiffyn, a *gogoniant* neu anrhydedd mawr ar dy deyrn-gadair.

Adn. 38. *A pha le bynag y preswylia plant dynion*] Pa le bynag y mae dynion yn cyfaneddu, ti sydd yn eu llywodraethu. Nid ydym i ddeall hyn yn ei eangder mwyaf, canys yr oedd rhai lleoedd heb fod dan ei lywodraeth ef; eithr y meddwl yw, fod ei amherodraeth ef yn cyraedd dros yr oll o'r gwledydd adnabyddus iddo, megys Caldea, Assyria, Arabia, Syria, yr Aifft, Palestina, &c. *Efe a roddes dan dy law fwystfilod, &c.*—y mae dy arglwyddiaeth yn cyraedd nid yn unig dros ddynion, ond hefyd dros anifeiliaid y maes ac adar y nefoedd. *Ti yw y pen aur hwnw*—a welaist ar y ddelw, adn. 32. O'th gymharu â'r amherodraethau ag sydd i godi ar dy ol, yr wyt fel aur o'i gymharu âg arian, pres, a haiarn. Yr oedd yn arferiad son am deyrnasoedd a phobloedd dan y gyffelybiaeth o wahanol *fetteloedd* cyn amser Daniel; canys y mae *Hesiod*, ddau gant o flynyddoedd cyn hyn, yn son am bedair oes y byd dan y gyffelybiaeth o aur, arian, pres, a haiarn: gwel yr *Esgob Newton.*

Adn. 39. *Ac ar dy ol di*] Ar ol yr amherodraeth FABILONAIDD, *y cyfyd brenhiniaeth arall îs na thi*—fel y mae y ddwyfron a'r breichiau yn is na'r pen, ac arian yn is o ran ei werth nag aur; sef amherodraeth y MEDIAID a'r PERSIAID dan *Cyrus*, yr hon a osodid allan trwy 'y ddwyfron a'r breichiau *arian*,' adn. 32. Yr oedd hon yn îs na'r gyntaf mewn maintioli, ac yn enwedig mewn moesau. *A thrydedd frenhiniaeth arall o bres*—sef yr amherodraeth ROEGAIDD neu FACEDONAIDD, yr hon a sylfaenid gan *Alexander Fawr*, ac a osodid allan trwy 'y bol a'r morddwydydd *pres*,' adn. 32. *Yr hon a lywodraetha ar yr holl ddaear*—cafodd holl deyrnasoedd y byd adnabyddus eu darostwng gan AlexanderFawr; ac wedi iddo orchfygu yr holl fyd, dywedir iddo ŵylo am nad oedd ganddo fyd arall i'w orchfygu. Nid ymosododd efe ar un gelyn heb ei orchfygu, ni warchaeodd efe ar un ddinas heb ei hennill, ac nid aeth allan yn erbyn un genedl heb ei darostwng. Yr oedd ei lywodraeth yn cyraedd dros ran fawr o Asia, Affrica, ac Ewrop, sef yr holl ranau adnabyddus o'r byd y pryd hyny. Er nad oedd efe ond 32 mlwydd oed pan y bu farw, dywedir iddo adeiladu uwchlaw 70 o ddinasoedd, 12 o ba rai (neu 18 yn ol *Curtius*) a alwodd efe ar ei enw ei hun *Alexandria.*

Adn. 40. *Bydd hefyd y bedwaredd frenhiniaeth yn gref fel haiarn*] Hon yw yr amherodraeth RUFEINAIDD, yr hon a osodid allan trwy 'y coesau haiarn,' adn. 33. Fel yr oedd

frenhiniaeth arall o bres, yr hon a
lywodraetha ar yr holl ddaear.
40 Bydd hefyd y bedwaredd fren-
hiniaeth yn gref fel haiarn: canys
yr haiarn a ddryllia, ac a ddofa bob
*peth:* ac fel haiarn yr hwn a ddryllia
bob peth, y maluria ac y dryllia hi.
41 A lle y gwelaist y traed a'r
bysedd peth o honynt o bridd croch-
enydd, a *pheth* o honynt o haiarn,
brenhiniaeth ranedig fydd; a bydd
ynddi *beth* o gryfder haiarn, o her-
wydd gweled o honot haiarn wedi
ei gymysgu â phridd cleilyd.
42 Ac *fel yr ydoedd* bysedd y traed
peth o haiarn, a pheth o bridd; *felly*
y bydd y frenhiniaeth, o ran yn gref,
ac o ran yn frau.
43 A lle y gwelaist haiarn wedi ei
gymysgu â phridd cleilyd, ymgy-
mysgant â had dyn; ond ni lynant y
naill wrth y llall, megys nad ym-
gymysga haiarn â phridd.
44 Ac yn nyddiau y brenhinoedd
hyn, y cyfyd Duw y nefoedd fren-
hiniaeth yr hon ni ddystrywir byth:
a'r frenhiniaeth ni adewir i bobl
ereill: *ond* hi a faluria, ac a dreilia
yr holl freniniaethau hyn, a hi a
saif yn dragywydd.
45 Lle y gwelaist dori careg o'r
mynydd, yr hon ni *thorwyd* â llaw,
a malurio o honi yr haiarn, y pres,
y pridd, yr arian, a'r aur; hysbys-
odd y Duw mawr i'r brenin beth a
fydd wedi hyn: felly y breuddwyd
*sydd* wir, a'i ddeongliad yn ffyddlon.
46 ¶ Yna y syrthiodd Nebuchod-

---

y *ddwy* 'fraich arian' yn dynodi *dau frenin* y Mediaid a'r Persiaid; felly y mae y *ddwy* 'goes haiarn' yn dynodi y *ddwy faeronaeth* Rufeinaidd. *Canys yr haiarn a ddryllia ac a ddofa bob peth*—Saes., 'a *ddarostwng* bob peth,' fel arfau miniog rhyfel. *Ac fel haiarn yr hwn a ddryllia bob peth, y maluria ac y dryllia hi*—sef yr amherodraeth Rufeinaidd, bawb a ymgodo yn ei herbyn.

Adn. 41. *A lle y gwelaist y traed a'r bysedd, peth o honynt o bridd crochenydd, a pheth o honynt o haiarn*] Wedi eu cymysgu â'u gilydd, adn. 33; *brenhiniaeth ranedig fydd*—tybia rhai fod yma gyfeiriad at ei rhaniad yn ddau ddosbarth, y dwyreiniol a'r gorllewinol; tybia ereill mai yr ystyr yw, y byddai yn ei chyfansoddiad mewnol y fath amrywiaeth o elfenau, fel, tra y byddai ynddi elfen o gryfder fel *haiarn*, y byddai ynddi hefyd elfen arall o wendid a breuolder fel *pridd*, yr hyn a ymddanghosai yn ei mynych anghydfodau.

Adn. 42. *Ac fel yr ydoedd bysedd y traed, &c.*] Tybia rhai fod y bysedd hyn yn cyfeirio at y deg brenhiniaeth wahanol, i'r rhai y rhenid yr amherodraeth hon yn y diwedd.

Adn. 43. *A lle y gwelaist haiarn wedi ei gymysgu â phridd cleilyd*] Gwel ar adn. 33; *ymgymysgant â had dyn*—meddylir fod hyn yn cyfeirio at waith y Rhufeiniaid yn ymgymysgu trwy gyfathrachau a phriodasau â chenhedloedd estronol a barbaraidd ereill. *Ond ni lynant y naill wrth y llall*—mwy nag yr ymlyna haiarn a phridd, y rhai sydd elfenau gwrthwynebol. Bu y cyfryw gysylltiadau o fwy o niwed iddynt yn y pen draw nag o les, ac yn foddion i'w gwanychu trwy ryfeloedd ac ymraniadau parhaus.

Adn. 44. *Ac yn nyddiau y brenhinoedd hyn*] Neu yn amser yr *olaf* o'r pedair *brenhiniaeth* ag y cyfeiriwyd atynt uchod, sef yr amherodraeth Rufeinaidd; *y cyfyd Duw y nefoedd frenhiniaeth yr hon ni ddystrywir byth*—sef brenhiniaeth ysbrydol ei Fab, neu deyrnas y Gwaredwr. *A'r frenhiniaeth ni adewir i bobl ereill*—ni lyncir hi i fyny gan frenhiniaeth yn codi ar ei hol, fel y llyncwyd y Fabilonaidd gan y Bersiaidd, a'r Bersiaidd gan y Roegaidd, a'r Roegaidd gan y Rufeinaidd. *Ond hi a faluria ac a dreulia yr holl freniniaethau hyn*—hyny yw, hi a faluria yr *olaf* o honynt, yr hon a faluriasai y drydedd, fel y gwnaethai hòno yr ail, a'r ail y gyntaf; neu, hi a ymestyna yn raddol dros yr holl ddaear, fel ag i gynwys ynddi bob brenhiniaeth arall: *a hi a saif yn dragywydd*—ar y ddaear hyd ddiwedd amser, ac wedi hyny byth yn y nef: gwel ar 1 Cor. xv. 24. Cyn hir gellir dywedyd, 'Aeth teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni, a'i Grist ef; ac efe a deyrnasa yn oesoesoedd,' Dat. xi. 15.

Adn. 45. *Lle y gwelaist dori careg o'r mynydd, yr hon ni thorwyd â llaw*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at genhedliad goruwchnaturiol ein Gwaredwr, Mat. i. 20; neu at law anweledig Duw yn gosod y deyrnas hon i fyny, 'nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy ei Ysbryd,' Zech. iv. 6; neu at ddechread bychan ac isel ei achos ef yn y byd: *a malurio o honi yr haiarn, y pres, &c.*—yr hyn y dechreuwyd ei wneuthur trwy bregethiad yr apostolion yn mhob rhan o amherodraeth Rhufain, ac yn enwedig yn nychweliad Cystenyn Fawr, o.c. 312; ac a wneir yn barhaus trwy weinidogaeth yr efengyl, lledaeniad yr ysgrythyrau, ac anfoniad cenadau Cristionogol i bob rhan o'r byd: *hysbysodd y Duw mawr i'r brenin beth a fydd wedi hyn*—hyny yw, lle y gwelaist dori y gareg o'r mynydd a hòno yn malurio y ddelw fawr, yr oedd Duw yn dangos i ti trwy hyny lwyddiant ac eangiad teyrnas ysbrydol ei Fab dan oruchwyliaeth yr efengyl. Y mae rhai yn gwahaniaethu yma rhwng teyrnas y *gareg* a theyrnas y *mynydd:* eithr yr un deyrnas yw y ddwy, ond fod y *gareg* yn cyfeirio at deyrnas yr efengyl yn ei *dechread*, a'r *mynydd* yn cyfeirio ati yn ystod y *milflwyddiant*, pryd y bydd yn 'llenwi yr holl ddaear,' adn. 35. *Felly y*

onosor y brenin ar ei wyneb, ac a addolodd Daniel; gorchymynodd hefyd am offrymu iddo offrwm ac arogldarth.

47 Atebodd y brenin a dywedodd wrth Daniel, Mewn gwirionedd *y gwn* mai eich Duw chwi *yw* Duw y duwiau, ac Arglwydd y brenhinoedd, a datguddydd dirgeledigaethau, o herwydd medru o honot ddatguddio y dirgelwch hyn.

48 Yna y brenin a fawrygodd Daniel, ac a roddes iddo roddion mawrion lawer; ac efe a'i gwnaeth ef yn benaeth ar holl dalaeth Babilon, ac yn ben i'r swyddogion ar holl ddoethion Babilon.

49 Yna Daniel a ymbiliodd â'r brenin, ac yntau a osododd Sadrach, Mesach, ac Abednego ar lywodraeth talaeth Babilon: ond Daniel *a eisteddodd* yn mhorth y brenin.

## PENNOD III.

NEBUCHODONOSOR y brenin a wnaeth ddelw aur, ei huchder *oedd* yn driugain cufydd, ei lled yn chwe chufydd; *ac* efe a'i gosododd hi i fyny yn ngwastadedd Dura, o fewn talaeth Babilon:

---

*breuddwyd sydd wir*—sydd yn cynwys arddanghosiad cywir o bethau a fyddant ar ol hyn; *a'i ddeongliad yn ffyddlon*—y mae ei arwyddocâd a'i ystyr wedi ei osod yn ffyddlon o'th flaen.

Adn. 46. *Yna y syrthiodd Nebuchodonosor y brenin ar ei wyneb*] Ar ol iddo glywed *adroddiad* mor gywir o'r breuddwyd, yr hwn yn awr a ddygesid i'w gof ef, a *deongliad* mor naturiol a rhesymol o hono; *ac a addolodd Daniel*—hyny yw, a roddodd addoliad *crefyddol* iddo, fel y mae yn eglur oddiwrth y geiriau nesaf, gan dybied ei fod ef yn fwy na dyn, yr un modd ag y tybiodd y Lycaoniaid a'r barbariaid am Paul, Act. xiv. 11, a xxviii. 6. *Gorchymynodd hefyd am offrymu iddo offrwm ac arogldarth*—yr un fath ag a offrymid ganddo i'w dduwiau. Ni ddywedir i hyn gael ei wneuthur; ac y mae yn sicr i Daniel wahardd hyny, trwy briodoli y datguddiad i Dduw, ac nid iddo ei hun, fel hefyd y gwnaethai o'r blaen, adn. 28, 30, 45: ac ymddengys oddiwrth yr adnod nesaf i'r brenin gael ei ennill i gydnabod hyny.

Adn. 47. *Atebodd y brenin a dywedodd wrth Daniel*] Ar ol deall nad oedd ef ddim ond offeryn yn llaw ei Dduw; *Mewn gwirionedd y gwn mai eich Duw chwi yw Duw y duwiau*—ei fod ef yn fwy na hwynt oll; *ac Arglwydd y brenhinoedd*—yr hwn a fedr eu dyrchafu a'u darostwng fel y gwelo yn dda; *a datguddydd dirgeledigaethau*—y rhai nas gall neb ond efe ei hun eu gwybod; *o herwydd medru o honot ddatguddio y dirgelwch hyn*—trwy ei gyfryngiad ef. Cawn yma siampl o frenin paganaidd balch yn cael ei orfodi i gydnabod y gwir Dduw, a'i ragoriaeth ar holl dduwiau y cenhedloedd, a'i arglwyddiaeth oruchel ar holl frenhinoedd y ddaear; a diamau mai hyn a fwriedid yn un peth yn y breuddwyd, ac yn analluedd y doethion i'w adrodd, yn gystal ag yn y defnydd a wnaed o Daniel i'r dyben hwnw. Ond nid hir y parhaodd y brenin dan yr argraff hwn, canys cawn ef yn y bennod nesaf yn gwneuthur delw aur i'w haddoli!

Adn. 48. *Yna y brenin a fawrygodd Daniel*] Am i Dduw yn gyntaf ei fawrygu ef; *ac a roddes iddo roddion mawrion lawer*—fel yr addawsai efe i'r doethion, adn. 6: *ac efe a'i gwnaeth ef yn benaeth ar holl dalaeth Babilon*—yn nesaf mewn awdurdod at y brenin ei hun; *ac yn ben i'r swyddogion ar holl ddoethion Babilon*—yn arolygwr ac yn llywydd ar yr holl athrawon a'r efrydwyr yn y colegau yno. Diamau na roddai Daniel, yn y swyddau hyn, ddim cefnogaeth i neb a arferent gelfyddydau annghyfreithlon a thwyllodrus, eithr ei fod yn gwneyd a allai i ddwyn yn mlaen wybodaeth o'r gwir Dduw a'i grefydd.

Adn. 49. *Yna Daniel a ymbiliodd â'r brenin*] Ar ran ei dri chyfaill, y rhai oeddynt wedi ei haddysgu fel yntau yn mhob gwybodaeth a deall, pen. i. 17, ac wedi bod yn cydgynorthwyo i gael allan ddatguddiad o'r breuddwyd a'i ddeongliad, pen. ii. 17, 18; *ac yntau a osododd Sadrach, Mesach, ac Abednego ar lywodraeth talaeth Babilon*—yn swyddogion yn y llywodraeth, i gynorthwyo Daniel yn ei swyddau goruchel a phwysig. *Ond Daniel a eisteddodd yn mhorth y brenin*—fel y swyddog uwchaf, neu y prif farnwr yn achosion y dalaeth. Diamau fod gan ragluniaeth Duw law yn hyn hefyd, fel y gallent fod yn wasanaethgar i'w brodyr pan y caethgludid hwynt yno o Judea yn niwedd teyrnasiad Zedeciah, megys y bu Esther a Mordecai wedi hyn, Esther viii. 7, &c.

PEN. III. Adn. 1. *Nebuchodonosor y brenin a wnaeth ddelw aur*] Nid yn ddiatreg ar ol yr hyn a grybwyllwyd yn y bennod flaenorol, ond yn y 'ddeunawfed flwyddyn,' fel ei darllenir yn y *Roeg* a'r *Arabaeg;* yr hyn a wna yspaid o 16 mlynedd rhwng yr hyn a adroddwyd yno a'r hyn a ddywedir yma: gwel ar pen. ii. 1. Dywed *Usher* fod 20 mlynedd rhwng y ddau amgylchiad, a dywed ereill fod llawer mwy; ac felly rhaid fod Jerusalem wedi ei chymeryd y pryd hyn, a'r Iuddewon wedi cael eu caethgludo i Babilon, yr hyn a wnaed yn y 19eg i Nebuchodonosor, 2 Bren. xxv. 8. *Ei huchder oedd yn driugain cufydd, ei lled yn chwe chufydd*—a chaniatâu nad oedd y cufydd hwn ddim ond 18 modfedd, yn lle 21, yr oedd ei huchder felly yn 30 llath, a'i lled yn 3 llath. *Ac efe a'i gosododd hi i fyny yn ngwastadedd Dura,*

2 Yna Nebuchodonosor y brenin
a anfonodd i gasglu yn nghyd y ty-
wysogion, duciaid, a phendefigion,
y rhaglawiaid, y trysorwyr, y cyf-
reithwyr, y trethwyr, a holl lyw-
odraethwyr y taleithiau, i ddyfod
wrth gysegru y ddelw a gyfodasai
Nebuchodonosor y brenin.
3 Yna y tywysogion, duciaid, a
phendefigion, rhaglawiaid, y trys-
orwyr, y cyfreithwyr, y trethwyr,
a holl lywodraethwyr y taleithiau,
a ymgasglasant yn nghyd wrth gy-
segru y ddelw a gyfodasai Nebu-
chodonosor y brenin: a hwy a saf-
asant o flaen y ddelw a gyfodasai
Nebuchodonosor.
4 A chyhoeddwr a lefodd yn
groch, Wrthych chwi, bobloedd,
genhedloedd, a ieithoedd, y dywed-
ir,
5 Pan glywoch swn y cornet, y
chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y
psaltring, y symphon, a phob rhyw

---

*o fewn talaeth Babilon*—ac yn agos i ddinas Babilon yn ddiamau. Yr oedd tref neu ddinas o'r enw *Dura*, neu *Doura*, ar lan yr Euphrates, ac un arall ar lan y Tigris; ac fe allai mai i un o'r ddwy hyny y perthynai y gwastadedd hwn. Gellir sylwi yma, (1) Nad yw yn debyg fod y ddelw hon ar *lun dyn*, trwy fod ei hyd yn annghyfartal i'w lled, neu yn ddengwaith mwy. Gan hyny tybia *Houbigant* ac ereill mai math ar golofn neu fera ydoedd, ar ben pa un y gallai delw neu eilun fod wedi cael ei gosod. (2) Nad yw yn debyg fod y golofn neu y ddelw hon oll yn *aur cyfan*, 'am nad allai holl dalaeth Babilon,' ebai *Clarke*, 'fod yn meddu cymaint a hyny o'r mettel gwerthfawr hwn; canys buasai yn ofynol cael 8,262,806 o bwysau, a 10 wns. i wneuthur delw o aur sylweddol o'r maintioli a nodir yma.' Gan hyny gallai y gwaelod fod wedi ei weithio o goed neu briddfeini, a'r ddelw ar ei ben fod yn aur, neu wedi ei gwisgo â dalenau neu lafnau aur. Ond, ar yr un pryd, gallai y ddelw hòno fod yn un 'fawr;' canys dywed *Diodorus*, llyfr ii. dos. 9, i *Xerxes* gael yn nheml *Bel* neu *Belus*, yn Babilon, ddelw aur ychydig dros 13 llath o uchder, yr hon y tybia *Prideaux* ac ereill mai delw Nebuchodonosor ydoedd: eithr gwel ar Esay xlv. 3. (3) Nad yw yn eglur er anrhydedd i *bwy* y gwnaed hon. Tybia *Grotius* mai er coffadwriaeth am *Nabopolussar*, tad Nebuchodonosor, yr hwn yr ewyllysiai efe ei dduweiddio; tybia *Prideaux*, *Hales*, ac ereill, mai er anrhydedd i *Bel*, prif dduw Babilon; tra y barna ereill i Nebuchodonosor ei chodi er anrhydedd iddo *ei hun*: gwel ar adn. 15. Neu fe allai mai ei amcan oedd gwneyd delw *wahanol* i'r un a welsai efe yn ei freuddwyd, trwy ei gwneuthur *oll o aur*, ac felly attal cyflawniad y pethau a nodwyd yn neongliad y breuddwyd hwnw. Neu ynte yr oedd am gael rhyw *gywreinwaith* wedi ei godi yn agos i'w ddinas, er hynodi ei deyrnasiad ei hun, rywbeth yn debyg i'r hyn a welsai efe mewn rhai o'r dinasoedd a orchfygesid ganddo, ac o ba rai yn ddiamau y cawsai efe yr aur at y gwaith hwn. (4) Nad oedd dim yn orthrymus i'r *Caldeaid eilunaddolgar* yn y gorchymyn a roddwyd iddynt i addoli y ddelw hon, yn enwedig os delw *Bel* ydoedd, yr hwn a addolid ganddynt eisioes. Neu os delw i ryw dduw *newydd* ydoedd, yr oedd y Caldeaid, fel yr holl eilunaddolwyr ereill, yn cydnabod hawliau *pob* duw i gael addoliad, ac yn meddwl nad oedd dim drwg mewn addoli unrhyw dduw. I'r *Iuddewon* yn unig yr oedd y gorchymyn hwn yn orthrymus, y rhai a wyddent nad oedd neb na dim i gael ei addoli ond yr unig wir Dduw, yr hwn a wnaeth nef a daear: gwel ar adn. 6. Ond dichon na feddyliodd Nebuchodonosor ei fod yn orthrymus iddynt hwythau chwaith.

Adn. 2. *Yna Nebuchodonosor y brenin*] Ar ol codi y ddelw aur hon; *a anfonodd i gasglu yn nghyd*—o bob talaeth berthynol i'w amherodraeth eang; *y tywysogion, duciaid, a phendefigion, &c.*—sef yr holl fawrion yn mhob talaeth, a phob swyddog gwladol trwy yr holl amherodraeth; *i ddyfod wrth gysegru y ddelw*—hyny yw, i ddyfod i wyl y cysegriad; ac wrth i'r rhai hyn ddyfod, gwyddai y brenin y byddai i lawer o'r werin ddyfod gyda hwy o bob talaeth, y rhai, ar ol dyfod, a fyddent dan rwymau i ufyddhau i orchymyn y brenin fel y lleill.

Adn. 3. *Yna y tywysogion, &c.*] Gyda'r parodrwydd mwyaf, *a ymgasglasant yn nghyd*—o'r holl daleithiau i wastadedd Dura; *a hwy a safasant o flaen y ddelw*—yn barod i ymgrymu iddi, a'i haddoli hi.

Adn. 4. *A chyhoeddwr a lefodd yn groch*] Yn ieithoedd y gwahanol genhedloedd ymgynulledig. Y mae yn debyg fod yno wahanol gyhoeddwyr, neu un o leiaf yn mhob iaith. *Wrthych chwi bobloedd, genhedloedd, a ieithoedd, y dywedir*—yn enw a thrwy orchymyn y brenin.

Adn. 5. *Pan glywoch swn y cornet, y chwibanogl, &c.*] Y mae yn anmhosibl penderfynu yn gywir pa fath offeryn oedd pob un o'r rhai hyn; a chan y tybid fod rhai o honynt yn dwyn enwau *Groeg*, ceisiodd *De Wette*, *Bertholdt*, ac ereill, brofi nad allai y llyfr hwn fod wedi cael ei ysgrifenu mor fore ag amser Daniel. I hyn, modd bynag, gellir ateb, (1) Nad yw fod y geiriau hyn yn enwau ar offerynau cerdd a ddefnyddid gan y Groegiaid, yn un prawf penderfynol mai *Groeg* yw yr enwau. (2) Y gallai fod yr enwau hyn, pa iaith bynag ydynt, yn perthyn i'r holl ieithoedd dwyreiniol, neu yn cael eu harfer yn mhob gwlad yn ddiwahaniaeth er pan ddyfeisiwyd yr offerynau hyn. (3) A bod tramwyaeth ddigonol rhwng y Persiaid, y Caldeaid, y Groegiaid, &c., yn flaenorol i amser Nebuchodonosor, fel y gallai yr offerynau hyn fod yn adnabyddus an yr un enwau yn mhob gwlad. *A phob*

gerdd, y syrthiwch ac yr addolwch y ddelw aur a gyfododd Nebuchodonosor y brenin.

6 A'r hwn ni syrthio ac ni addolo, yr awr hòno a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth.

7 Am hyny yr amser hwnw pan glywodd yr holl bobloedd sain y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring, a phob rhyw gerdd, y bobloedd, y cenhedloedd, a'r ieithoedd oll, a syrthiasant, *ac* a addolasant y ddelw aur a gyfodasai Nebuchodonosor y brenin.

8 ¶ O ran hyny yr amser hwnw y daeth gwŷr o Caldea, ac a gyhuddasant yr Iuddewon.

9 Adroddasant a dywedasant wrth Nebuchodonosor y brenin, Bydd fyw, frenin, yn dragywydd.

10 Ti, frenin, a osodaist orchymyn, a'r i bwy bynag a glywai sain y cornet, y chwibanogl, y delyn, y dulsimer, y psaltring, a'r symphon, a phob rhyw gerdd, syrthio ac ymgrymu i'r ddelw aur:

11 A phwy bynag ni syrthiai ac *nid* ymgrymai, y teflid ef i ganol ffwrn o dân poeth.

12 Y mae gwŷr o Iuddewon a osodaist ti ar oruchwyliaeth talaeth Babilon, Sadrach, Mesach, ac Abednego; y gwŷr hyn, O frenin, ni wnaethant gyfrif o honot ti; dy

---

*rhyw gerdd*—felly yr oedd yno lawer o offerynau ereill heblaw y rhai a enwir yma. *Y syrthiwch ac yr addolwch y ddelw aur*—felly, er anrhydedd pwy bynag y codwyd y ddelw hon, bwriedid iddo gael ei addoli megys duw.

Adn. 6. *A'r hwn ni syrthio ac ni addolo*] Mewn ufydd-dod i orchymyn y brenin; *yr awr hòno*—yn y fan, yn ddioedi; *a fwrir i ganol ffwrn o dân poeth*—yr hon ond odid oedd rywbeth yn debyg i odyn galch gyda ni. Yr oedd rhostio wrth dân, neu losgi mewn tân, yn gosp gyffredin yn Babilon y pryd hyn, Jer. xxix. 22. Dywed *Chardin* eu bod yn Persia yn cospi fel hyn y rhai a gynorthwyent i beri drudaniaeth neu brinder ymborth, neu a ddefnyddient bwysi ysgafn. 'Y cogyddion,' meddai efe, 'a osodid ar y bêr, ac a rostid wrth dân araf; a'r pobyddion a fwrid i ffwrn danllyd. Yn y flwyddyn 1668, pan oedd y newyn yn drwm, gwelais ger y palas brenhinol, yn Ispahan, un o'r ffyrnau hyn yn eyneu i ddychrynu y pobyddion, a'u hattal rhag cymeryd mantais ar y prinder i chwanegu eu hennill.' Ni raid i ni gan hyny feddwl i'r ffwrn hon gael ei gwneuthur at yr achos presenol, eithr yr oedd yn barod yno eisioes, ac wedi cael ei defnyddio o'r blaen, adn. 19. Yn ol ein syniad ni am ryddid crefyddol, y mae hyn yn ymddangos yn ormes ac yn gaethiwed o'r mwyaf: ond, fel y sylwa *Barnes*, nid ystyrid ef felly y pryd hyny; canys ni ofynid i neb ymwrthod â'u duwiau eu hunain wrth addoli y duw hwn; ac yr oedd yr eilunaddolwyr hyn yn cydnabod hawliau y naill dduw i gael addoliad, yn gystal a hawliau y llall; ac felly nis gallent feddwl fod dim pechod mewn addoli y ddelw hon, na'i fod yn ddianrhydedd iddynt, gan fod y brenin ei hun yn ei haddoli, neu o leiaf yn gorchymyn hyny. I'r Iuddewon yn unig, y rhai a gredent nad oedd ond *un* Duw, sef JEHOFA, a bod yn *bechod* addoli neb arall, yr oedd y gorchymyn hwn yn orthrymus; a phawb ereill a edrychent ar y llosgiad hwn fel cerydd am anufydd-dod i orchymyn pendant y brenin, yn fwy nag fel cosp am beidio gwneyd yr hyn oedd bechadurus ynddo ei hun: gwel ar adn. 1.

Adn. 7. *Am hyny*] Am fod y brenin yn ei orchymyn, ac nad ystyrient hwythau fod dim yn feius ynddo; *pan glywodd yr holl bobloedd sain y cornet, &c.*—yn eu galw i ymgrymu i'r ddelw aur; *y bobloedd, y cenhedloedd, a'r ieithoedd oll*—neu ddynion o bob iaith, sef pawb oddieithr yr Iuddewon, addolwyr yr unig wir Dduw; *a syrthiasant ac a addolasant y ddelw aur*—mewn ufydd-dod i orchymyn y brenin.

Adn. 8. *O ran hyny*] Neu 'o herwydd hyny,' sef o herwydd nad ymgrymodd yr Iuddewon hyn i'r ddelw aur; *y daeth gwŷr o Caldea*—Saes., y daeth 'rhyw Galdeaid' yn mlaen; *ac a gyhuddasant yr Iuddewon*—o beidio ymgrymu i'r ddelw. Tybia rhai mai y brudwyr a'r dewiniaid hyny oeddynt, y rhai y buasai Daniel a'i gyfeillion yn foddion i achub eu bywyd trwy adrodd y breuddwyd a'i ddeongliad, yr hyn y methasent hwy ei wneuthur; ac am hyny a genfigenent wrthynt, yn enwedig wrth eu dyrchafiad yn y dalaeth: gwel ar pen. ii. 18, 49. Os felly, yr oeddynt yn dangos yr anniolchgarwch mwyaf, ac yn talu drwg dros dda. Y mae rhai yn meddwl mai er mwyn cael achos i'w dyfetha y cynghorwyd y brenin i wneyd y ddelw hon; ond nid yw hyny yn debygol, am y gallasai y cyfryw ddyben gael ei ateb trwy y delwau ag oedd ganddynt eisioes yn nheml Belus.

Adn. 9. *Adroddasant a dywedasant wrth Nebuchodonosor*] Fel pe buasent yn y pryder mwyaf am ei anrhydedd a'i les; *Bydd fyw, frenin, yn dragywydd*—gwel ar pen. ii. 4.

Adn. 10, 11. *Ti, frenin, a osodaist orchymyn, &c.*] Y maent yn gyntaf yn adgoffa iddo y gorchymyn pendant a roddasai, yn yr hwn y galwai am ufydd-dod cyffredinol gan ei holl ddeiliaid; ac yna yn crybwyll y gosp a fygythiasai efe ar bwy bynag nad ufyddhäai i'r gorchymyn hwnw.

Adn. 12. *Y mae gwŷr o Iuddewon a osodaist ti*] Yn dy hynawsedd, *ar oruchwyliaeth talaeth Babilon*—y rhai a ddyrchefaist ti o'r caethiwed isaf i'r anrhydedd uwchaf; *Sadrach, Mesach, ac Abednego*—y rhai sydd nesaf at Daniel mewn awdurdod. *Y gwŷr hyn, O frenin, ni wnaethant gyfrif o honot ti*—eithr

dduwiau nid addolant, ac nid ym-
grymant i'r ddelw aur a gyfodaist.
13 ¶ Yna Nebuchodonosor mewn
llidiogrwydd a digter a ddywedodd
am gyrchu Sadrach, Mesach, ac
Abednego. Yna y dygpwyd y gwŷr
hyn o flaen y brenin.
14 Adroddodd Nebuchodonosor a
dywedodd wrthynt, Ai gwir *hyn*,
Sadrach, Mesach, ac Abednego, oni
addolwch chwi fy nuwiau i, ac oni
ymgrymwch i'r ddelw aur a gyfod-
ais i?
15 Yr awr hon *wele*, os byddwch
chwi barod pan glywoch sain y cor-
net, y chwibanogl, y delyn, y dul-
simer, y psaltring, a'r symphon, a
phob rhyw gerdd, i syrthio ac i
ymgrymu i'r ddelw a wnaethym,
*da:* ac onid ymgrymwch, yr awr
hòno y bwrir chwi i ganol ffwrn o
dân poeth; a pha Dduw *yw* efe a'ch
gwared chwi o'm dwylaw i?
16 Sadrach, Mesach, ac Abednego
a atebasant ac a ddywedasant wrth y
brenin, Nebuchodonosor, nid *ydym*
ni yn gofalu am ateb i ti yn y peth
hyn.
17 Wele, y mae ein Duw ni, yr
hwn yr ydym ni yn ei addoli, yn
abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn
danllyd boeth: ac efe a'*n* gwared
*ni* o'th law di, O frenin.
18 Ac onidê, bydded hysbys i ti,

---

anufyddhasant i'th orchymyn, gan ddirmygu dy oruchel awdurdod. *Dy dduwiau nid addolant*—ar unrhyw bryd; *ac nid ymgrymant i'r ddelw aur a gyfodaist*—y pryd hyn. Yr oeddynt fel hyn yn ceisio enyn cynddaredd y brenin i'r graddau uwchaf yn erbyn y tri llanc, fel pe buasent yn deyrnfradwyr. Gallwn feddwl iddynt fyned i wastadedd Dura gyda'r lleill o uchel swyddogion y taleithiau, trwy mai y cyhuddiad yn eu herbyn hwy oedd, nad *ymgryment* i'r ddelw aur. Ond yn mha le yr oedd *Daniel* y pryd hyn? (1) Fe allai ei fod yntau yno gyda'i frodyr, ac iddo ymddwyn yr un modd a hwy: ond gan ei fod ef yn y fath ffafr uchel gyda'r brenin, nid ystyrient fod yn ddoeth iddynt ddwyn cyhuddiad yn ei erbyn ef, rhag i'r brenin esgusodi hyny ynddo. Ond os gallent lwyddo i gospi y tri hyn, gobeithient y byddai iddo yntau, er mwyn cysondeb, gael ei gospi hefyd. (2) Neu gall ei fod ef yn *afiach* ar y pryd, fel na allai fod yn wyddfodol: ac am y lleill o'r Iuddewon, nid oedd yr alwad yn eu cyraedd hwy, eithr yn unig y *swyddogion*, adn. 2. (3) Neu ynte gall ei fod ef *oddicartref* ar y pryd, yn trin negeseuon y deyrnas mewn rhyw barth pellenig. Ond am y *triwyr* hyn, aethant hwy i'r gwastadedd, am y mynent ufyddhau i'w brenin cyn belled ag y gallent yn gydwybodol wneuthur hyny; a diamau fod Duw hefyd yn goruwchlywodraethu hyn oll, fel y gallent hwy ei ogoneddu ef trwy eu cyffes ardderchog yn ngwyneb y perygl mwyaf, ac fel y gallai yntau eu hanrhydeddu a'u gwobrwyo hwythau trwy y waredigaeth fwyaf rhyfedd.

Adn. 13. *Yna Nebuchodonosor mewn llidiogrwydd a digder*] Canys er ei fod yn llywodraethu cenhedloedd lawer, ni allai lywodraethu ei dymherau ei hun; *a ddywedodd am gyrchu Sadrach, Mesach, ac Abednego*—a hwy a ddygwyd o'i flaen ef. Ni orchymynodd iddynt hwy gael eu dyfetha ar unwaith, fel y gorchymynasai i ddoethion Babilon, pen. ii. 12.; yr hyn a ddengys fod ganddo ryw barch iddynt, a'i fod yn ewyllysio cael clywed ganddynt hwy eu hunain pa beth a allent ei ddywedyd mewn hunan-amddiffyniad.

Adn. 14. *Ai gwir hyn, Sadrach, Mesach, ac Abednego?*] Ai gwir a glywais am danoch, na addolwch chwi fy nuwiau i, ac na ymgrymwch i'r ddelw aur a gyfodais i? Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Ai yn *fwriadol* y peidiasoch?'

Adn. 15. *Yr awr hon wele, os byddwch chwi barod, &c.*] Y mae efe am roddi ail gyfle iddynt i ymgrymu o flaen ei ddelw cyn eu cospi; canys y mae yn debyg fod gŵyl y cysegriad yn parhau dros amrai ddyddiau. Os gwnaent hyny y tro nesaf, pob peth yn *dda;* maddeuid iddynt eu trosedd blaenorol, ac ail dderbynid hwy i'w ffafr ef. *Ac onid ymgrymwch*—y tro nesaf, *yr awr hòno y bwrir chwi i ganol ffwrn o dân poeth*—yn anocheladwy; *a pha Dduw yw efe a'ch gwared chwi o'm dwylaw i?*—fel hyn efe a'i hystyriai ei hun yn gryfach na phob duw; ïe, ac na 'Duw y duwiau, ac Arglwydd y brenhinoedd,' yr hwn yr oedd y gwŷr hyn yn ei wasanaethu, pen. ii. 47: a chasgla rhai oddiyma mai iddo ei hun y gwnaethai efe y ddelw hon, a'i fod am gael ei addoli fel Duw y duwiau!

Adn. 16. *Sadrach, Mesach, ac Abednego a atebasant*] Yn y modd mwyaf gwrol a phenderfynol; *Nebuchodonosor, nid ydym ni yn gofalu am ateb it' yn y peth hyn*—neu 'nid ydym yn gweled *angenrheidrwydd* am ateb i ti,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu. Fel pe dywedasent, Yr ydym yn gweled dy fod di wedi gwneyd dy feddwl i fyny eisioes, ac yr ydym ninau wedi ei wneuthur.

Adn. 17. *Wele, y mae ein Duw ni, yr hwn yr ydym ni yn ei addoli*] Sef y gwir a'r unig Dduw, yr hwn y mae pob gallu yn ei law yn y nefoedd a'r ddaear; *yn abl i'n gwared ni allan o'r ffwrn danllyd boeth*—hyn a ddywedant mewn cyfeiriad at ofyniad y brenin yn adn. 15, 'A pha Dduw yw efe a'ch gwared chwi o'm dwylaw i?' *Ac efe a'n gwared ni o'th law di, O frenin*—ryw fodd neu gilydd; naill ai trwy ein gwaredu o'r ffwrn dân, neu ynte trwy gymeryd ein heneidiau ato ei hun i'r nef, lle y byddwn allan o'th gyraedd di.

Adn. 18. *Ac onidê*] Os na chyfrynga efe

frenin, na addolwn dy dduwiau, ac
nad ymgrymwn i'th ddelw aur a
gyfodaist.
19 ¶ Yna y llanwyd Nebuchod-
onosor o lidiogrwydd, a gwedd ei
wyneb ef a newidiodd yn erbyn
Sadrach, Mesach, ac Abednego; *am
hyny* y llefarodd ac y dywedodd am
dwymno y ffwrn seithwaith mwy
nag y byddid arfer o'i thwymno hi.
20 Ac efe a ddywedodd wrth wŷr
cryfion nerthol, y rhai *oedd* yn ei lu
ef, am rwymo Sadrach, Mesach, ac
Abednego, i'*w* bwrw i'r ffwrn o dân
poeth.
21 Yna y rhwymwyd y gwŷr
hyny yn eu peisiau, eu llodrau, a'u
cwcyllau, a'u dillad *ereill*, ac a'u
bwriwyd i ganol y ffwrn o dân poeth.
22 Gan hyny o achos *bod* gorchy-
myn y brenin yn gaeth, a'r ffwrn yn
boeth ragorol, fflam y tân a laddodd
y gwŷr hyny a fwriasant i fyny Sad-
rach, Mesach, ac Abednego.
23 A'r tri wŷr hyn, Sadrach, Me-
sach, ac Abednego, a syrthiasant
yn nghanol y ffwrn o dân poeth yn
rhwym.
24 Yna y synodd ar Nebuchodon-
osor y brenin, ac y cyfododd ar frys,
atebodd *hefyd* a dywedodd wrth ei
gynghoriaid, Onid tri wŷr a fwrias-

---

i'n gwaredu ni. Nid oeddynt eto yn gwybod yn sicr pa un a waredai Duw hwynt o'r ffwrn ai peidio; eithr gwyddent yn sicr ei fod ef yn *abl* i wneuthur hyny. Ac os na wared efe ni, *bydded hysbys it', frenin, na addolwn dy dduwiau, ac nad ymgrymwn i'th ddelw aur a gyfodaist*—hyd yn nod er i ti ein bwrw i'r ffwrn danllyd boeth.

Adn. 19. *Yna y llanwyd Nebuchodonosor o lidiogrwydd*] Trwy ei fod yn gweled erbyn hyn iddynt beidio ymgrymu i'w ddelw ef yn *fwriadol*, adn. 14; *a gwedd ei wyneb ef a newidiodd*—a drôdd yn ddû-goch, gan angerdd ei ddigofaint yn eu herbyn. O'r blaen ymddanghosai yn ei wedd rywfaint o dosturi tuag atynt, ac o anfoddlonrwydd i'w cospi; a gobeithiai na fyddai raid iddo eu llosgi, trwy iddynt ufyddhau i'w orchymyn: ond yn awr gwelai nad oedd obaith am hyny, ac ymollyngodd i'r llidiogrwydd a'r cynddaredd mwyaf. *Am hyny y llefarodd ac y dywedodd am dwymno y ffwrn seithwaith mwy nag y byddid arfer o'i thwymno hi*—hyny yw, gorchymynodd ei thwymno cyn boethed ag yr ydoedd yn bosibl, trwy roddi mwy o ddefnyddiau hylosg ynddi; neu, fel y dywedir yn yr Apocrypha, trwy ei 'phoethi â naphtha, pŷg, carth, a briw-ŵydd,' nes y 'dyrchafodd y fflam uwchlaw y ffwrn naw cufydd a deugain:' gwel *Cân y Tri Llanc*, adn. 22, 23. Amcan y brenin oedd dangos seithwaith mwy o gasineb at y dynion santaidd hyn, nag a arferai ei ddangos at droseddwyr cyffredin, y rhai a losgesid ynddi o'r blaen. Eithr ni wnaethai poethder angherddol y ffwrn, pe gadawsai yr Arglwydd i'r tân eu hysu, ddim ond byrhau eu dyoddefiadau.

Adn. 20. *Ac efe a ddywedodd wrth wŷr cryfion nerthol y rhai oedd yn ei lu ef*] Yn ei warchawdlu, neu yn mhlith ei ddienyddwyr cyffredin, pen. ii. 14; sef wrth rai a dybid yn ddigon cryf i wrthsefyll cyfryngiad eu Duw hwynt, os denai efe yn mlaen i'w hamddiffyn; *am rwymo Sadrach, Mesach, ac Abednego*—tybia rhai iddynt nid yn unig rwymo eu traed a'u dwylaw, ond hefyd eu rhwymo ill tri wrth eu gilydd, a'u bwrw felly i'r ffwrn o dân poeth.

Adn. 21. *Yna y rhwymwyd y gwŷr hyny yn eu peisiau*] Neu eu mantelli; *eu llodrau*—sef eu his-wisgoedd; *a'u cwcyllau*—eu turbanau, neu eu pen-wisgoedd; *a'u dillad ereill*—pa bethau bynag oedd am danynt ar y pryd, mewn ffordd o wisgoedd neu addurniadau swyddol; *ac a'u bwriwyd i ganol y ffwrn o dân poeth*—i'w hysu hwy a'r cwbl a berthynai iddynt. Ni chymerasant amser i'w dihatru, gan faint y brys oedd arnynt i'w dyfetha.

Adn. 22. *Gan hyny o achos bod gorchymyn y brenin yn gaeth*] Yn eu gorfodi i fyned at enau y ffwrn i'w bwrw hwynt i mewn; *a'r ffwrn yn boeth ragorol*—yn taflu allan ei fflamau yn mhell uwchlaw genau y ffwrn; (gwel ar adn. 19;) *fflam y tân a laddodd y gwŷr hyny*—y rhai a fwriasant y llanciau i mewn. Yr oedd tri pheth yn cael eu hateb trwy hyn: (1) Gweinyddu yr un gosp ar y gwŷr hyn ag a fwriadent hwy i weision yr Arglwydd. Tybia rhai mai y gwŷr hyn a gyhuddasent y llanciau wrth y brenin; ac os felly, y mae eu cosp yn ymddangos yn gyfiawnach. (2) Dangos mai nid am fod y tân wedi colli ei elfen ddinystriol yr oedd y llanciau hyn yn fyw yn ei ganol ef. Ac, (3) Amlygu i Nebuchodonosor ac ereill, nad allai eu duwiau hwy gadw eu haddolwyr rhag angau.

Adn. 23. *A'r tri wŷr hyn—a syrthiasant yn nghanol y ffwrn o dân poeth yn rhwym*] Yr hyn a grybwyllir yma, fel y byddai i'r wyrth ar eu rhan ymddangos yn amlycach, wrth eu gweled hwy yn rhodio yn *rhyddion* yn nghanol y tân.

Adn. 24. *Yna y synodd ar Nebuchodonosor y brenin*] Wrth ba beth? Cawn atebiad i hyn yn nghyfieithiad y LXX, y rhai a ddarllenant yr adnod fel hyn: 'Yna y clybu Nebuchodonosor hwynt yn *canu mawl*, ac a synodd,' &c. Y mae y LXX, y *Syriaeg*, yr *Arabaeg*, a'r *Vulgate*, yn gosod i mewn 67 o adnodau rhwng adn. 23 a 24 o'r bennod hon, sef yr hyn a elwir *Cân y Tri Llanc*, yr hon a geir yn yr Apocrypha. Ond dylid crybwyll nad yw y gân hon yn y testyn Hebreig na Chaldeig. *Ac y cyfododd ar frys*—o'i eisteddle gerllaw, lle yr oedd efe yn ymogoneddu

om ni i ganol y tân yn rhwym? Hwy
a atebasant ac a ddywedasant wrth
y brenin, Gwir, O frenin.
25 Atebodd a dywedodd yntau,
Wele fi yn gweled pedwar gŵyr
rhyddion yn rhodio yn nghanol y
tân, ac nid oes niwed arnynt; a dull
y pedwerydd sydd debyg i Fab Duw.
26 ¶ Yna y nesaodd Nebuchod-
onosor at enau y ffwrn o dân poeth,
*ac* a lefarodd ac a ddywedodd, O
Sadrach, Mesach, ac Abednego,
gwasanaethwyr y Duw goruchaf,
deuwch allan, a deuwch *yma*. Yna
Sadrach, Mesach, ac Abednego a
ddaethant allan o ganol y tân.
27 A'r tywysogion, duciaid, a
phendefigion, a chynghoriaid y bren-
in, a ymgasglasant yn nghyd, ac a
welsant y gwŷr hyn, y rhai ni finias-
ai y tân ar eu cyrff, ac ni ddeifiasai
flewyn o'u pen, ni newidiasai eu
peisiau chwaith, ac nid aethai sawr
y tân arnynt.
28 Atebodd Nebuchodonosor a
dywedodd, Bendigedig *yw* Duw
Sadrach, Mesach, ac Abednego, yr
hwn a anfonodd ei angel, ac a war-
edodd ei weision a ymddiriedasant
ynddo, ac a dorasant orchymyn y
brenin, ac a roddasant eu cyrff, rhag
gwasanaethu nac ymgrymu o hon-
ynt i un duw, ond i'w Duw eu hun.
29 Am hyny y gosodir gorchymyn
genyf fi, Pob pobl, cenedl, a iaith,
yr hon a ddywedo ddim ar fai yn
erbyn Duw Sadrach, Mesach, ac
Abednego, a wneir yn ddrylliau,

---

yn ei fuddugoliaeth ar y llanciau a'u Duw. *Atebodd hefyd a dywedodd wrth ei gynghoriaid*—ar ol iddo edrych i mewn dros ganllaw y ffwrn; *Onid tri wŷr a fwriasom ni i ganol y tân yn rhwym?*—onid tri yn unig, a'r rhai hyny yn rhwym? *Hwy a atebasant—Gwir, O frenin*—ïe, *tri* a fwriasom, ac yr oedd y rhai hyny yn *rhwym*.

Adn. 25. *Atebodd a dywedodd yntau*] Gyda'r syndod mwyaf; *Wele fi yn gweled pedwar gŵyr rhyddion*—yn lle *tri* yn *rhwym*, wele yma *bedwar* yn *rhydd*, a'r rhai hyny yn rhodio yn nghanol y *tân*, ac nid oes *niwed* arnynt! *A dull y pedwerydd sydd debyg i Fab Duw*—o ran ei agwedd a'i ymddanghosiad gogoneddus. Y mae yn dra thebyg na wyddai y brenin paganaidd hwn ddim am yr ail Berson yn y Drindod Santaidd; ac mai ei feddwl ef oedd, fod y person gogoneddus hwn yn debyg i *fab* i Dduw, neu i *angel*, fel y mae efè ar ol hyn yn ei alw, adn. 28. Tybia rhai mai angel crëedig ydoedd; a rhaid addef y gallasai angel o'r nef, trwy awdurdod Duw, wneyd yr oll a enwir yma. Ond y farn gyffredin yn mhlith esbonwyr Cristionogol, yn nghyda rhai o'r Iuddewon, yw, mai gwir Fab Duw ydoedd, sef Angel mawr y cyfammod, yr hwn a arferai ymddangos yn fynych i'w bobl mewn ffurf ddynol cyn iddo ymgnawdoli. Fel hyn cyflawnwyd yr addewid, 'Myfi a fyddaf gyda thi:—pan rodiech trwy y tân, ni'th losgir; ac ni enyn y fflam arnat,' Esay xliii. 2.

Adn. 26. *Yna y nesaodd Nebuchodonosor at enau y ffwrn*] Mor agos ag y gallai; *ac a lefarodd ac a ddywedodd*—mewn llais mwynaidd, trwy fod Duw erbyn hyn wedi lliniaru ei ddigofaint; *O Sadrach, Mesach, ac Abednego, gwasanaethwyr y Duw goruchaf*—yr hwn sydd goruwch holl dduwiau a brenhinoedd y ddaear mewn mawredd a nerth; *deuwch allan, a deuwch yma*—yr hyn oedd yr un peth a diddymu y ddedfryd a gyhoeddasai efe yn eu herbyn hwynt. *Yna Sadrach, Mesach, ac Abednego a ddaethant allan o ganol y tân*—yr hyn a allent hwy yn hawdd ei wneuthur, trwy fod eu rhwymau wedi eu llosgi ymaith. Y mae yn debyg fod y person gogoneddus a welsai y brenin gyda hwynt wedi myned yn ol i'r nefoedd, trwy fod ei neges ef yn awr wedi ei gyflawni.

Adn. 27. *A'r tywysogion*] A mawrion ereill y deyrnas; *a ymgasglasant yn nghyd*—fel tystion o'r wyrth hynod hon; *ac a welsant y gwŷr hyn, y rhai ni finiasai y tân ar eu cyrff*—fel ag i osod ei ôl arnynt; *ac ni ddeifiasai flewyn o'u pen*—chwaithach ei losgi oll ymaith; *ni newidiasai eu peisiau chwaith*—na'u dillad ereill, o ran eu lliw; *ac nid aethai sawr y tân arnynt*—nid oedd arogl deifiad ar eu gwallt na'u dillad.

Adn. 28. *Atebodd Nebuchodonosor a dywedodd*] Yn mhellach, ar ol canfod nad oedd dim o effeithiau y tân i'w weled arnynt; *Bendigedig yw Duw Sadrach, Mesach, ac Abednego*—fel hyn, yn lle bendithio ei ddelw aur, y mae efe yn bendithio y Duw goruchaf ar ddydd ei chysegriad hi, gan ei foliannu ef yn ngwydd ei bendefigion am yr hyn a wnaethai i'w weision hyn. *Yr hwn a anfonodd ei angel*—gwel ar adn. 25; *ac a waredodd ei weision a ymddiriedasant ynddo*—yn ei allu a'i ffyddlondeb i'w gwaredu hwynt o'm dwylaw i, adn. 15, 17; *ac a dorasant orchymyn y brenin*—er ei fod yn cael ei gryfhau â'r bygythiad o farwolaeth; *ac a roddasant eu cyrff*—'i'r tân,' fel y mae y LXX a'r *Arabaeg* yn chwanegu yma; hyny yw, rhoddasant eu cyrff i gael eu llosgi yn ulw, yn hytrach nag ymgrymu o honynt i un duw ond eu Duw eu hun. Yr oedd hon yn dystiolaeth ardderchog oddiwrth frenin paganaidd, a hyny ar ddydd cysegriad ei ddelw aur, i fawredd a gallu JEHOFA, yn gystal ag i dduwioldeb y llanciau hyn.

Adn. 29. *Am hyny y gosodir gorchymyn genyf fi*] Wedi ei selio â sel y llywodraeth; *Pob pobl, cenedl, a iaith*—trwy holl derfynau fy amherodraeth; *yr hon a ddywedo ddim ar*

a'u tai a wneir yn domen: o her-
wydd nad oes duw arall a ddichon
wared fel hyn.
30 Yna y mawrhaodd y brenin
Sadrach, Mesach, ac Abednego, o
fewn talaeth Babilon.

## PENNOD IV.

NEBUCHODONOSOR frenin at
yr holl bobloedd, cenhedloedd, a
ieithoedd, y rhai a drigant yn yr
holl ddaear; Aml fyddo heddwch i
chwi.
2 Mi a welais yn dda fynegu yr ar-
wyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth
y Goruchaf Dduw â mi.
3 Mor fawr *yw* ei arwyddion ef!
ac mor gedyrn *yw* ei ryfeddodau!
ei deyrnas ef *sydd* deyrnas dra-
gwyddol, a'i lywodraeth ef *sydd* o
genhedlaeth i genhedlaeth.
4 ¶ Myfi Nebuchodonosor oedd-
wn esmwyth arnaf yn fy nhŷ, ac yn
hoew yn fy llys.
5 Gwelais freuddwyd yr *hwn* a'm
hofnodd, meddyliau hefyd yn fy
ngwely a gweledigaethau fy mhen
a'm dychrynasant.
6 Am hyny y gosodwyd gorchy-
myn genyf fi, ar ddwyn ger fy mron
holl ddoethion Babilon, fel yr hys-
bysent i mi ddeongliad y breuddwyd.
7 Yna y dewiniaid, yr astronom-
yddion, y Caldeaid, a'r brudwyr,
a ddaethant: a mi a ddywedais y
breuddwyd o'u blaen hwynt; ond ei
ddeongliad nid hysbysasant i mi.
8 ¶ Ond o'r diwedd daeth Daniel
o'm blaen i, (yr hwn *yw* ei enw Bel-

---

*fai*—ddim yn gableddus a dirmygus am Dduw Sadrach, Mesach, ac Abednego; *a wneir yn ddrylliau, a'u tai a wneir yn domen*—gwel ar pen. ii. 5: *o herwydd nad oes duw arall a ddichon wared fel hyn*—ni ddywed ef nad oedd duwiau ereill yn bod; ond, nad oedd un a allai wneyd yr hyn a wnaethai Duw yr Iuddewon: ac nid yw chwaith yn rhwymo ei ddeiliaid i addoli Duw y nefoedd; ond, yn unig, i beidio dywedyd dim ar fai yn ei erbyn.

Adn. 30. *Yna y mawrhaodd y brenin Sadrach, Mesach, ac Abednego, o fewn talaeth Babilon*] Nid yn unig efe a'u hadferodd i'r swydd oruchel a ddalient o'r blaen, ond dyrchafodd hwynt hefyd ond odid i fawredd chwanegol. Y mae y LXX a'r *Arabaeg* yn chwanegu yma, 'Ac efe a'u dyrchafodd hwy yn llywodraethwyr ar yr holl Iuddewon yn ei deyrnas.'

PEN. IV. Adn. 1. *Nebuchodonosor frenin at yr holl bobloedd, &c.*] Yn anfon anerch; *y rhai a drigant yn yr holl ddaear*—nid yn unig yn fy nheyrnas fy hun, ond hefyd yn mhob rhan arall o'r ddaear lle y gall y cyhoeddiad hwn gyraedd. *Aml fyddo heddwch i chwi*—neu 'bob llwyddiant a daioni i chwi.' Hwn yw y cyhoeddiad brenhinol hynaf ag sydd ar gael, yr hwn a ysgrifenwyd gan Nebuchodonosor ei hun, ac a adysgrifenwyd gan Daniel dan ddwyfol ysbrydoliaeth.

Adn. 2. *Mi a welais yn dda fynegu yr arwyddion a'r rhyfeddodau a wnaeth y Goruchaf Dduw â mi*] Fel y byddo i bawb yn mhob man ddyfod i gydnabod ei fawredd a'i ddaioni, ac i ymddiried ynddo. Efe a gyfeiria yn benaf ond odid at ei adferiad o'i wallgofrwydd, a'i ddygiad i edifeirwch.

Adn. 3. *Mor fawr yw ei arwyddion ef! ac mor gedyrn yw ei ryfeddodau!*] Y rhai sydd oll yn oruwchnaturiol yn eu natur, ac yn anwrthwynebol yn eu heffeithiau. *Ei deyrnas ef sydd deyrnas dragwyddol*—heb ddechre na diwedd iddi; *a'i lywodraeth ef sydd o genhedlaeth i genhedlaeth*—y mae pob cenhedlaeth o ddechread y byd yn cael rhyw arwyddion parhaus o'i ddylanwadau goruwchlywodraethol ef. Dengys hyn fod rhyw syniad dwfn o fawredd Jehofa wedi ei argraffu ar feddwl y brenin y pryd hyn.

Adn. 4. *Myfi Nebuchodonosor oeddwn esmwyth arnaf yn fy nhŷ*] I'r hwn y dychwelaswn ar ol bod yn darostwng Syria, Phenicia, Judea, yr Aifft, ac Arabia; *ac yn hoew yn fy llys*—oeddwn yn llawen yn nghanol fy ngogoniant a'm mawredd, heb feddwl am ddim ond mwynhau ffrwyth fy muddugoliaethau.

Adn. 5. *Gwelais freuddwyd*] Yn y cyfamser, *yr hwn a'm hofnodd*—a barodd i mi ofni yn ddirfawr; *meddyliau hefyd yn fy ngwely a gweledigaethau fy mhen*—geiriau ereill am yr un breuddwyd, *a'm dychrynasant*—a barasant i mi feddwl eu bod yn arwyddion o ryw ddrwg ag ydoedd i ddisgyn arnaf.

Adn. 6. *Am hyny y gosodwyd gorchymyn genyf fi, ar ddwyn ger fy mron holl ddoethion Babilon*] Sef y dewiniaid, yr astronomyddion, y Caldeaid, a'r brudwyr, pen. i. 20, a ii. 2; *fel yr hysbysent i mi ddeongliad y breuddwyd*—i symud ymaith fy ofn a'm dychryn.

Adn. 7. *A mi a ddywedais y breuddwyd o'u blaen hwynt*] Yr hwn nid oedd efe wedi ei anghofio fel y tro o'r blaen, pen. ii. 5, &c.; *ond ei ddeongliad nid hysbysasant i mi*—ni *allent* ei hysbysu. O'r blaen proffesent y gallent ddangos iddo y deongliad, ond iddo ef adrodd iddynt y breuddwyd; ond yn awr y maent yn methu ei ddeongli ar ol ei glywed.

Adn. 8. *Ond o'r diwedd daeth Daniel o'm blaen i*] Yr oedd llaw Duw i'w gweled yn amlwg yma; canys ped anfonasai efe am Daniel yn gyntaf, haerasai y dewiniaid hyn y gallasent hwythau hysbysu y deongliad hwn yn gystal a Daniel: ond trwy iddynt hwy

tesassar, yn ol enw fy nuw i, yr
hwn hefyd *y mae* ysbryd y duwiau
santaidd ynddo,) a'm breuddwyd a
draethais o'i flaen ef, *gan ddywedyd,*
9 Beltesassar, penaeth y dewin-
iaid, o herwydd i mi wybod *fod* ys-
bryd y duwiau santaidd ynot ti, ac
nad oes un dirgelwch yn anhawdd i
ti, dywed weledigaethau fy mreudd-
wyd yr hwn a welais, a'i ddeongliad.
10 A *dyma* weledigaethau fy
mhen ar fy ngwely; Edrych yr
oeddwn, ac wele bren yn nghanol y
ddaear, a'i uchder yn fawr.
11 Mawr oedd y pren a chadarn,
a'i uchder a gyrhaeddai hyd y nef-
oedd; *yr ydoedd* hefyd i'w weled
hyd yn eithaf yr holl ddaear.
12 Ei ganghenau *oedd* dêg, a'i
ffrwyth yn aml, ac ymborth arno
i bob *peth:* dano yr ymgysgodai
bwystfilod y maes, ac adar y nefoedd
a drigent yn ei ganghenau ef, a
phob cnawd a fwytäai o hono.
13 Edrych yr oeddwn yn ngwel-
edigaethau fy mhen ar fy ngwely,
ac wele wyliedydd a sant yn disgyn
o'r nefoedd,
14 Yn llefain yn groch, ac yn dy-
wedyd fel hyn, Torwch y pren, ac
ysgythrwch ei wrysg ef, ysgydwch
ei ddail ef, a gwasgerwch ei ffrwyth:
cilied y bwystfil odditano, a'r adar
o'i ganghenau.
15 Er hyny gadewch foncyff ei
wraidd ef yn y ddaear, mewn rhwym
o haiarn a phres, yn mhlith gwellt y
maes; gwlycher ef hefyd â gwlith
y nefoedd, a *bydded* ei ran gyda'r
bwystfilod yn ngwellt y ddaear.

---

fethu, nid yn unig taflwyd hwy i warth, ond dyrchafwyd gogoniant Duw Daniel, fel y gwelwn eto. *Yr hwn yw ei enw Beltesassar, yn ol enw fy nuw i*—sef *Bel:* gwel ar pen. i. 7. *Yr hwn hefyd y mae ysbryd y duwiau santaidd ynddo*—neu, fel y mae y LXX a'r *Arabaeg* yn ei ddarllen, 'Ysbryd y Duw santaidd.' *A'm breuddwyd a draethais o'i flaen ef*—fel y gwnaethym o flaen y lleill, adn. 7.

Adn. 9. *Beltesassar, penaeth y dewiniaid*] Felly y mae yn ei alw, am iddo ei osod ef yn '*ben* i'r swyddogion ar holl ddoethion Babilon,' pen. ii. 48; *o herwydd im' wybod fod ysbryd y duwiau santaidd ynot ti*—neu 'ysbryd y Duw santaidd,' yn ol y LXX a'r *Arabaeg*, yr hyn a wybu efe trwy ei adroddiad o'r breuddwyd a'i ddeongliad yn pen. ii.; *ac nad oes un dirgelwch yn anhawdd i ti*—trwy fod dy Dduw yn ei egluro i ti; *dywed weledigaethau fy mreuddwyd*—hyny yw, dywed eu hystyr a'u harwyddocâd; canys y mae efe ei hun yn adrodd y breuddwyd yn yr adnodau nesaf.

Adn. 10. *A dyma weledigaethau fy mhen ar fy ngwely*] Sef yr hyn a welais yn fy mreuddwyd. *Edrych yr oeddwn, ac wele bren yn nghanol y ddaear*—neu yn nghanol ei amherodraeth eang; *a'i uchder yn fawr*—'hyd y nefoedd,' adn. 11, 20.

Adn. 11. *Mawr oedd y pren a chadarn*] Yr oedd ei gŷff yn cyfateb, mewn praffder, i'w uchder a hyd ei ganghenau; *a'i uchder a gyrhaeddai hyd y nefoedd*—a ymddanghosai fel yn cyraedd i'r cymylau: *yr ydoedd hefyd i'w weled hyd yn eithaf yr holl ddaear*—o ran ymestyniad ei ganghenau dros bob gwlad adnabyddus.

Adn. 12. *Ei ganghenau*] Saes, 'ei *ddail* oedd dêg,' adn. 21; *a'i ffrwyth yn aml*—yn ymborth i 'bob cnawd:' *dano yr ymgysgodai bwystfilod y maes*—rhag gwres yr haul; *ac adar y nefoedd a drigent yn ei ganghenau*—i nythu, a magu eu cywion.

Adn. 13. *Edrych yr oeddwn yn ngweledigaethau fy mhen ar fy ngwely*] Neu, 'gweled yr oeddwn yn fy mreuddwyd;' *ac wele wyliedydd a sant yn disgyn o'r nefoedd*—sef 'dau angel,' yn ol *Clarke.* Eithr tybia *Bertholdt, Barnes*, ac ereill, mai at *un* yn unig y cyfeirir yma, sef at 'wyliedydd santaidd.' Tybia *Aben Ezra, Jarchi*, a *Ben Melech*, mai at yr *angylion* y cyfeirir, y rhai nad ydynt byth yn huno, ond sydd bob amser yn *gwylio* neu yn dysgwyl am orchymyn gan Dduw. Ond barna *Horsley, Grotius*, ac ereill, mai y personau santaidd yn y Duwdod a olygir, neu ynte y Goruchaf; a bod yr enw cyntaf yn gosod allan *wyliadwriaeth* eu rhagluniaeth gyffredinol; a'r ail, *santeiddrwydd* eu natur. Dechreuodd yr holl ddinystr a adroddir yma trwy eu hordeiniad hwy, a thrwy eu gorchymyn ei cyflawnwyd: gwel ar adn. 17.

Adn. 14. *Yn llefain yn groch*] Yn gorchymyn yn awdurdodol; *Torwch y pren*—i lawr, neu cwympwch ef; *ysgythrwch ei wrysg*—Saes., 'ei ganghenau;' *ysgydwch ei ddail ef, a gwasgerwch ei ffrwyth*—fel na byddo yn gysgod nac yn ymborth mwyach i ddyn nac anifel: *cilied y bwystfil odditano, a'r adar o'i ganghenau*—i'r rhai ni chaiff fod yn lloches mwyach.

Adn. 15. *Er hyny gadewch foncyff ei wraidd ef yn y ddaear*] Yr hyn sydd yn rhyw ysgafnhad ar y farn; 'canys y mae gobaith o bren, er ei dori, y blagura efe eto, ac na phaid ei flagur ef â thyfu,' Job xiv. 7; *mewn rhwym o haiarn a phres, yn mhlith gwellt y maes*—cyfeirir yma at gylch oddeutu y cŷff, i rwystro iddo hollti gan wres yr haul; neu at reiliau o'i amgylch, i'w ddiogelu rhag ei aflonyddu gan yr arddwr neu y creaduriaid: neu, yn hytrach, cyfeirir at y rhwymau a ddodid am y *brenin* ei hun yn amser ei wallgofrwydd. *Gwlycher ef hefyd â gwlith y nefoedd*—wrth fod dan yr awyr agored ddydd a nos, adn. 25; *a bydded ei ran gyda bwystfilod yn ngwellt y ddaear*—ymborthed gyda

16 Newidier ei galon ef o *fod yn*
*galon* dyn, a rhodder iddo galon
bwystfil: a chyfnewidier saith am-
ser arno.
17 O ordinhad y gwyliedyddion
*y mae* y peth hyn, a'r dymuniad
wrth ymadrodd y rhai santaidd: fel
y gwypo y rhai byw mai y Goruch-
af a lywodraetha yn mrenhiniaeth
dynion, ac a'i rhydd i'r neb y myno
efe, ac a esyd arni y gwaelaf o
ddynion.
18 Dyma y breuddwyd a welais i
Nebuchodonosor y brenin. Tithau,
Beltesassar, dywed ei ddeongliad
ef, o herwydd nas gall holl ddoeth-
ion fy nheyrnas hysbysu y deongl-
iad i mi: eithr ti a elli; am *fod*
ysbryd y duwiau santaidd ynot ti.
19 ¶ Yna Daniel, yr hwn *ydoedd*
ei enw Beltesassar, a synodd dros
un awr, a'i feddyliau a'i dychryn-
asant ef. Atebodd y brenin, a dy-
wedodd, Beltesassar, na ddychryn-
ed y breuddwyd di, na'i ddeongliad.
Atebodd Beltesassar, a dywedodd,
Fy arglwydd, *deued* y breuddwyd
i'th gaseion, a'i ddeongliad i'th
elynion.
20 Y pren a welaist, yr hwn a
dyfasai, ac a gryfhasai, ac a gy-
rhaeddasai ei uchder hyd y nef-
oedd, ac *oedd* i'w weled ar hyd yr
holl ddaear;
21 A'i ddail yn dêg, a'i ffrwyth
yn aml, ac ymborth i bob *peth* yn-
ddo; tan yr hwn y trigai bwystfilod
y maes, ac y preswyliai adar y nef-
oedd yn ei ganghenau:
22 Ti, frenin, *yw* efe; tydi a dyf-
aist, ac a gryfheaist: canys dy
fawredd a gynyddodd, ac a gy-
rhaeddodd hyd y nefoedd, a'th lyw-
odraeth hyd eithaf y ddaear.

---

hwynt ar wellt. Troir yma oddiwrth y pren, at yr un a osodid allan trwyddo: gwel ar adn. 32, 33. Y mae y meddwl yn crwydro yn fynych mewn breuddwyd oddiwrth y naill beth at y llall; ac felly yr oedd y brenin yma yn colli golwg ar y pren, ac yn canfod person dynol yn ei le, fel y gwelir yn eglurach yn yr adnod nesaf.

Adn. 16. *Newidier ei galon ef o fod yn galon dyn*] Amddifader ef o'i reswm a'i dueddiadau dynol; *a rhodder iddo galon bwystfil*—bydded yn hollol dan lywodraeth ei nwydau anifeilaidd, neu ymddyged yn mhob peth fel anifel: *a chyfnewidier saith amser arno*—parhaed yn y cyflwr hwn *saith mlynedd* yn olynol, fel y mae *Josephus* yn ei ddeall, ac fel yr arwydda y gair mewn rhanau ereill o'r llyfr hwn.

Adn. 17. *O ordinhad y gwyliedyddion y mae y peth hyn*] Sef o 'ordinhad y Goruchaf,' fel y mae Daniel yn ei ddeongli, adn. 24; yr hyn a ymddengys fel yn cadarnhau golygiad yr *Esgob Horsley* ar adn. 13; *a'r dymuniad wrth ymadrodd y rhai santaidd*—sef yr un rhai a'r 'gwyliedyddion' yn nechre yr adnod. Y mae y gair a gyfieithir yma *dymuniad*, yn arwyddo y peth, yr achos, neu y mater dan sylw, sef y gorchymyn i dori y pren, &c. *Fel y gwypo y rhai byw*—pob dyn ar y ddaear, *mai y Goruchaf a lywodraetha yn mrenhiniaeth dynion*—mai efe sydd yn dyrchafu dynion i'r frenhiniaeth, yn eu darostwng, ac yn eu newid, yn ol ei ewyllys ei hun. *Ac a'i rhydd i'r neb y myno efe*—heb i hyny ymddibynu bob amser ar olyniad trwy waedoliaeth; *ac a esyd arni y gwaelaf o ddynion*—yr isaf o ran ei amgylchiadau, fel Dafydd, yr hwn a fuasai yn fugail defaid; neu fel Nebuchodonosor, yr hwn y bu ei 'drigfa gyda bwystfilod y maes,' adn. 32.

Adn. 18. *Dyma y breuddwyd a welais i Nebuchodonosor*] Yr hwn a adroddwyd uchod, adn. 10—17. *Tithau, Beltesassar, dywed ei ddeongliad ef*—canys y mae holl ddoethion fy nheyrnas wedi methu. *Eithr ti a elli*—ei ddeongli yn hawdd, *am fod ysbryd y duwiau santaidd ynot ti*—neu 'ysbryd y Duw santaidd:' gwel ar adn. 8, 9.

Adn. 19. *Yna Daniel, yr hwn ydoedd ei enw Beltesassar*] Y mae Nebuchodonosor yma yn crybwyll ei ddau enw ef, sef *Daniel*, wrth yr hwn yr adnabyddid ef yn mhlith ei gydwladwyr; a *Beltesassar*, wrth yr hwn yr adwaenid ef yn mhlith y Caldeaid. *A synodd dros un awr*—dros ryw yspaid, sef hyd nes y dechreuodd y brenin lefaru wrtho; *a'i feddyliau a'i dychrynasant ef*—wrth weled fod y breuddwyd a adroddesid wrtho yn argoelio y fath gyfnewidiad yn amgylchiadau ei frenin, i'r hwn yr oedd ganddo barch mawr. *Atebodd y brenin, a dywedodd*—wrth ganfod y fath arwyddion o ddychryn yn ei wedd; *Beltesassar, na ddychryned y breuddwyd di, na'i ddeongliad*—fel pe dywedasai, Na thybia y bydd i mi ddigio wrthyt, beth bynag fyddo ei ddeongliad. *Atebodd Beltesassar*—gan awgrymu fod y breuddwyd a'i ddeongliad yn argoelio yn ddrwg; *Fy arglwydd, deued y breuddwyd i'th gaseion*—ac nid i ti, sef y drygau a ddarogenir yn y breuddwyd; *a'i ddeongliad i'th elynion*—cyflawner ynddynt hwy y bygythion a amlygir yn y deongliad.

Adn. 20, 21. *Y pren a welaist, &c.*] Gwel ar adn. 10—12.

Adn. 22. *Ti, frenin, yw efe*] Arddanghosiad o honot ti oedd y pren hwnw. *Tydi a dyfaist, ac a gryfheaist*—fel y gwnaethai y pren hwnw. Peth mynych yn yr ysgrythyrau yw gosod allan frenhinoedd a mawrion y ddaear dan y gyffelybiaeth o brenau têg a

23 A lle y gwelodd y brenin wyl-
iedydd a sant yn disgyn o'r nef-
oedd, ac yn dywedyd, Torwch y
pren, a dinystriwch ef, er hyny
gadewch foncyff ei wraidd ef yn y
ddaear, mewn rhwym o haiarn a
phres, yn mhlith gwellt y maes, a
gwlycher ef â gwlith y nefoedd, a
*bydded* ei ran ef gyda bwystfil y
maes, hyd oni chyfnewidio saith
amser arno ef.
24 Dyma y deongliad, O frenin, a
dyma ordinhad y Goruchaf, yr hwn
sydd yn dyfod ar fy arglwydd frenin.
25 Canys gyrant di oddiwrth
ddynion, a chyda bwystfil y maes y
bydd dy drigfa, â gwellt hefyd y'th
borthant fel eidionau, ac a'th wlych-
ant â gwlith y nefoedd, a saith am-
ser a gyfnewidia arnat ti, hyd oni
wypech mai y Goruchaf sydd yn
llywodraethu yn mrenhiniaeth dyn-
ion, ac yn ei rhoddi i'r neb a fyno.
26 A lle y dywedasant am adael
boncyff gwraidd y pren; dy fren-
hiniaeth fydd sicr i ti wedi i ti
wybod mai y nefoedd sydd yn llyw-
odraethu.
27 Am hyny, frenin, bydded fodd-
lon genyt fy nghynghor, a thor ym-
aith dy bechodau trwy gyfiawnder,
a'th anwireddau trwy drugarhau
wrth drueiniaid, *i edrych* a fydd es-
tyniad ar dy heddwch.
28 ¶ Daeth *hyn* oll ar Nebuchod-
onosor y brenin.

---

blodeuog, Ezec. xxxi. 3—9: gwel hefyd Esay x, 34, Zech. xi. 2. *Canys dy fawredd a gynyddodd, ac a gyrhaeddodd hyd y nefoedd*—cyn uched ag y gallai mawredd dynol gyraedd; *a'th lywodraeth hyd eithaf y ddaear*—cyn belled ag yr oedd y ddaear yn adnabyddus y pryd hyny: gwel ar pen. ii. 38. Fel hyn y mae Daniel yn dangos y brenin iddo ei hun, yn nrych ei freuddwyd ei hun.

Adn. 23. *A lle y gwelodd y brenin wyliedydd a sant, &c.*] Gwel ar adn. 13—16.

Adn. 24. *Dyma y deongliad, O frenin*] Yn cael ei osod yn onest a chywir o'th flaen; *a dyma ordinhad y Goruchaf*—yr hyn a ordeiniodd ac a drefnodd efe i ddyfod ar fy arglwydd frenin: gwel ar adn. 13, 17.

Adn. 25. *Canys gyrant di oddiwrth ddynion*] Neu *gyrir* di trwy ordeiniad Duw; hyny yw, ti a fyddi wallgof neu orphwyllog, ac yn anaddas i gymdeithasu â dynion. *A chyda bwystfil y maes y bydd dy drigfa*—am y myni fod ar y maesydd gyda'r anifeiliaid, gan dybied mai anifel fel hwythau fyddi. *A gwellt hefyd y'th borthant fel eidionau*—ti a fyni gael gwellt i'w fwyta fel eidionau, yr hyn a ganiateir i ti i foddhau dy ddymuniadau. Er fod y gair *gwellt* yma yn arwyddo bresych neu lysieufwyd o unrhyw fath, eto at borfa eidionau y cyfeirir yma yn unig. Ond y mae yn dra thebyg ei fod yn cael rhyw ymborth arall ar droion, os nid y rhan amlaf. *Ac a'th wlychant â gwlith y nefoedd*—ti a fyddi allan yn fynych ddydd a nos, yr hyn y gallai efe ei oddef yn ddiberygl yn yr hinsawdd tymherus hwnw. *A saith amser a gyfnewidia arnat ti*—ti a fyddi yn y cyflwr hwn am saith mlynedd yn olynol: gwel ar adn. 16. *Hyd oni wypech mai y Goruchaf sydd yn llywodraethu, &c.*—gwel ar adn. 17. Tybia rhai ei fod ef wedi ei newid yn llythyrenol ar *lun* anifel, neu ei droi yn wirioneddol i *naturiaeth* anifel: ond y mae yn debycach na wnaed dim mwy iddo na'i roddi i fyny i *wallgofrwydd*, fel y nodwyd uchod, yn yr hwn y tybiai efe mai *anifel* ydoedd, ac y mynai *fyw* fel anifel; a'i gyfeillion, er mwyn boddloni ei fympwy, a adawent iddo gael ei ffordd ei hun i raddau pell, gan adael iddo ryddid i grwydro yn y gerddi, neu yn y parciau o amgylch y palas: gwel ar adn. 32, 33.

Adn. 26. *A lle y dywedasant am adael boncyff gwraidd y pren*] 'Yn y ddaear, mewn rhwym o haiarn a phres,' adn. 15; *dy frenhiniaeth fydd sicr it'*—dyna yr hyn a arwyddir trwy hyny; *wedi i ti wybod mai y nefoedd sydd yn llywodraethu*—hyny yw, wedi iddo gael ei adfer i'w bwyll, a dysgu o hono y wers bwysig mai Duw y nefoedd sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion, yr hyn yn malchder ei galon a wadai efe, gan ei ystyried ei hun yn uwch na'r Goruchaf!

Adn. 27. *Am hyny, frenin, bydded foddlon genyt fy nghynghor*] Gwrando ar fy nghynghor i, fel yr unig foddion tebygol o attal y gosp a fygythir yn y breuddwyd; *a thor ymaith dy bechodau trwy gyfiawnder*—trwy weithredu cyfiawnder, yn lle trais; *a'th anwireddau trwy drugarhau wrth drueiniaid*—sef wrth y caethion Iuddewig ac ereill a orthrymir genyt yn dy deyrnas; *i edrych a fydd estyniad ar dy heddwch*—neu a gedwir di rhag yr anffodion a darluniwyd uchod. Nid oedd Daniel yn gwybod na allai y bygythiad yn erbyn y brenin fod yn *ammodol*, yr un fath ag yn achos y Ninefeaid, Jonah iii. 4, &c.; neu, o leiaf, nad allai y farn gael ei hysgafnhau trwy ymostyngiad prydlon gerbron Duw.

Adn. 28. *Daeth hyn oll ar Nebuchodonosor y brenin*] Hyn a ddywed y brenin am dano ei hun, canys ei anerchiad ef yw yr oll o'r bennod hon, yn yr hon y llefara efe am dano ei hun, weithiau yn y person cyntaf, ac weithiau yn yr ail a'r trydydd. Rhoddasai Duw iddo ddeuddeg mis ar ol hyn, i edrych a wrandawai efe ar gynghor Daniel; ond gan na thorodd efe ymaith ei bechodau, daeth yr holl bethau a ddywedasai y proffwyd arno ef yn ol y bygythiad, fel y mae ef ei hun yn adrodd isod.

29 Yn mhen deuddeng mis yr oedd efe yn rhodio yn llys brenhiniaeth Babilon.

30 Llefarodd y brenin, a dywedodd, Onid hon yw Babilon fawr, yr hon a adeiledais i yn frenhindy yn nghryfder fy nerth, ac er gogoniant fy mawrhydi?

31 A'r gair eto yn ngenau y brenin, syrthiodd llef o'r nefoedd, *yn dywedyd*, Wrthyt ti, frenin Nebuchodonosor, y dywedir, Aeth y frenhiniaeth oddiwrthyt.

32 A thi a yrir oddiwrth ddynion, a'th drigfa *fydd* gyda bwystfilod y maes; â gwellt y'th borthant fel eidionau; a chyfnewidir saith amser arnat; hyd oni wypech mai y Goruchaf sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion, ac yn ei rhoddi i'r neb y myno.

33 Yr awr hòno y cyflawnwyd y gair ar Nebuchodonosor, ac y gyrwyd ef oddiwrth ddynion, ac y porodd wellt fel eidionau, ac y gwlychwyd ei gorff ef gan wlith y nefoedd, hyd oni thyfodd ei flew ef fel *plu* eryrod, a'i ewinedd fel *ewinedd* adar.

34 Ac yn niwedd y dyddiau, myfi Nebuchodonosor a ddyrchefais fy llygaid tua'r nefoedd, a'm gwybodaeth a ddychwelodd ataf, a bendithiais y Goruchaf, a moliennais a gogoneddais yr hwn sydd yn byw byth, am *fod* ei lywodraeth ef yn llywodraeth dragwyddol, a'i frenhiniaeth hyd genhedlaeth a chenhedlaeth.

---

Adn. 29. *Yn mhen deuddeng mis*] Ar ol i Daniel ddeongli y breuddwyd i'r brenin; *yr oedd efe yn rhodio yn llys brenhiniaeth Babilon*—ond odid ar nen ei balas, o ba le y gallai efe weled y rhan fwyaf o'r ddinas.

Adn. 30. *Llefarodd y brenin, a dywedodd*] Yn ei feddwl ei hun, neu wrth rywrai ag oeddynt yno gydag ef; *Onid hon yw Babilon fawr*—gwel ar Esay xiii. 19; *yr hon a adeiledais i yn frenhindy yn nghryfder fy nerth*—neu a adgyweiriwyd ac a helaethwyd ganddo fel eisteddle neu ganolbwynt ei amherodraeth; *ac er gogoniant fy mawrhydi*—i ardderchogi fy enw a'm coffadwriaeth? Fel hyn efe a briodolai ei holl fawredd, ei anrhydedd, a'i ogoniant, iddo ei hun, heb gydnabod llaw Duw yr hon a'i llwyddasai ef.

Adn. 31. *A'r gair eto yn ngenau y brenin*] Cyn iddo braidd orphen ei lefaru, gan mor agos oedd y cysylltiad rhwng y pechod a'r gosp; *syrthiodd llef o'r nefoedd yn dywedyd*—fel taran gref; *Wrthyt ti, frenin Nebuchodonosor*—yr hwn wyt yn ymfalchïo fel hyn yn mawredd dy ddinas a'th frenhiniaeth; *y dywedir*—trwy awdurdod y Goruchaf, yr hwn sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion; *Aeth y frenhiniaeth oddiwrthyt*—am saith mlynedd, hyd oni wypech yn llaw pwy y mae llywodraethiad achosion y ddaear.

Adn. 32. *A thi a yrir oddiwrth ddynion*] Mewn cyflwr o wallgofrwydd; *a'th drigfa fydd gyda bwystfilod y maes, &c.*—fel y dywedodd Daniel: gwel ar adn. 25. Dyma y geiriau olaf a allodd efe gofio cyn syrthio i wallgofrwydd, a'r hyn a ddywedir isod a adroddodd efe ar ol dyfod i'w synwyr yn niwedd y saith mlynedd.

Adn. 33. *Yr awr hòno*] Yn y fan yn ddiatreg; *y cyflawnwyd y gair ar Nebuchodonosor*—y syrthiodd efe i wallgofrwydd, yn ol rhagfynegiad y proffwyd; *ac y gyrwyd ef oddiwrth ddynion*—i blith anifeiliaid y maes; *ac y porodd wellt fel eidionau*—gan feddwl mai eidion ydoedd yntau; *ac y gwlychwyd ei gorff ef gan wlith y nefoedd*—wrth iddo fod dan yr awyr agored ddydd a nos; *hyd oni thyfodd ei flew ef*—sef ei wallt a'i farf, *fel plu eryrod*—neu, fel y mae yn nghyfieithiad Groeg Theodotion, 'hyd oni thyfodd ei flew yn hir fel *blew llewod*,' sef fel gwrych a mwng llewod; *a'i ewinedd fel ewinedd adar*—yn hirion iawn, trwy iddynt gael eu gadael cyhyd heb eu tori. Yma efe a lefara am dano ei hun yn y trydydd person.

Adn. 34. *Ac yn niwedd y dyddiau*] Sef yn niwedd y saith mlynedd o'm gwallgofrwydd; *myfi Nebuchodonosor a ddyrchefais fy llygaid tua'r nefoedd*—o ba le y clywswn y llef a lefarai wrthyf, adn. 31, 32. Y mae yn debyg fod holl yspaid ei wallgofrwydd yn ymddangos iddo ef fel *dim* neu *ddihanfodedd*. Y peth diweddaf a gofiai oedd y 'llef o'r nefoedd,' adn. 31; yna efe a syrthiodd yn y fan i berffaith wallgofrwydd, yn yr hwn y parhaodd am saith mlynedd yn ddiarwybod iddo ei hun; ac wedi i'w wybodaeth ddychwelyd ato, efe a ddyrchafodd ei lygaid tua'r nefoedd, o ba fan y clywsai y llef, gan feddwl nad oedd ond prin *eiliad* wedi myned heibio er pan lefarwyd wrtho. Y mae genym lawer o siamplau cyffelyb yn cael eu hadrodd gan feddygon ac ereill. Crybwylla *Dr. Abercrombie* am anghreifftiau o'r fath yn ei lyfr a elwir *Intellectual Powers*, dal. 252, 253. Yr oedd dyn wedi bod trwy y dydd yn hollti coed â gordd a chŷnion, y rhai a roddodd efe i'w cadw yn nghŷff rhyw hen goeden gerllaw: yn yr hwyr efe a syrthiodd i wallgofrwydd, yr hwn a barhaodd dros lawer o flynyddoedd, yn ystod pa amser ni soniodd air am ei orchwyl blaenorol: yn mhen amrai flynyddoedd dychwelodd ei reswm ar unwaith; a'r cwestiwn cyntaf a ofynodd oedd, 'a ddaethai ei feibion â'r ordd a'r cŷnion adref?' Yr oedd boneddiges wedi bod am gryn amser yn gwneuthur rhyw wnïadwaith: cyn iddi ei orphen hi a aeth yn wallgof, a pharhaodd felly am saith mlynedd: yn niwedd pa amser dychwelodd ei rheswm ar

35 A holl drigolion y ddaear a gyfrifir megys yn ddiddym: ac yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwneuthur â llu y nefoedd, ac *â* thrigolion y ddaear; ac nid oes a attalio ei law ef, neu a ddywedo wrtho, Beth yr wyt yn ei wneuthur?

36 Yn yr amser hwnw y dychwelodd fy synwyr ataf fi, a *daethym* i ogoniant fy mrenhiniaeth, fy harddwch a'm hoewder a ddychwelodd ataf fi, a'm cynghoriaid a'm tywysogion a'm ceisiasant; felly y'm sicrhawyd yn fy nheyrnas, a chwanegwyd i mi fawredd rhagorol.

37 Yr awr hon myfi Nebuchodonosor ydwyf yn moliannu, ac yn mawrygu, ac yn gogoneddu Brenin y nefoedd, yr hwn *y mae* ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i lwybrau yn farn, ac a ddichon ddarostwng y rhai a rodiant mewn balchder.

## PENNOD V.

BELSASSAR y brenin a wnaeth wledd fawr i fil o'i dywysogion, ac a yfodd win yn ngŵydd y mil.

---

unwaith; ac un o'r cwestiynau cyntaf a ofynodd oedd yn nghylch ei gwnïadwaith, er na chyfeiriasai hi erioed ato, cyn belled ag y gellid cofio, yn amser ei chystudd. Y mae yn debyg mai fel hyn yr oedd gyda Nebuchodonosor; canys pan adferwyd iddo ei synwyr, efe a ddyrchafodd ei lygaid tua'r nef, o ba le, yn ol ei feddwl ef, y clywsai efe un yn llefaru wrtho y mynyd hwnw. *A'm gwybodaeth a ddychwelodd ataf*—daethym yn alluog yn y fan i ystyried a deall fy nghyflwr; *a bendithiais y Goruchaf*—am iddo adferyd i mi fy synwyrau; *a moliennais a gogoneddais yr hwn sydd yn byw byth*—trwy ei gydnabod ef fel y Duw byw, yr hwn y mae ei lywodraeth yn dragwyddol, a'i frenhiniaeth yn ddigyfnewid: gwel ar adn. 3.

Adn. 35. *A holl drigolion y ddaear a gyfrifir megys yn ddiddym*] O'u cymharu âg ef, Esay xl. 15, 17. *Ac yn ol ei ewyllys ei hun y mae yn gwneuthur â llu y nefoedd*—sef âg angylion y nefoedd, yn gystal ag â'r haul, y lloer, a'r ser; *ac â thrigolion y ddaear*—o'r brenin uwchaf hyd y deiliad isaf: *ac nid oes a attalio ei law ef*—fel ag i rwystro iddo gyflawni ei amcanion; *neu a ddywedo wrtho, Beth yr wyt yn ei wneuthur?*—hyny yw, nid oes neb a ddichon ei alw ef i gyfrif am ei weithredoedd, Job ix. 12.

Adn. 36. *Yn yr amser hwnw y dychwelodd fy synwyr ataf fi*] Sef yn mhen y saith mlynedd ag y cyfeiriwyd atynt uchod; *a daethym i ogoniant fy mrenhiniaeth*—i lywodraethu fy nheyrnas fel o'r blaen; *fy harddwch a'm hoewder a ddychwelodd ataf fi*—cefais ail feddiant o'm hiechyd a'm nerth corfforol, ac o fywiogrwydd a chryfder fy meddwl; *a'm cynghoriaid a'm tywysogion a'm ceisiasant*—a ddaethant ataf i ymgynghori ar achosion y deyrnas fel o'r blaen. *Felly y'm sicrhawyd yn fy nheyrnas*—yn gadarn, dedwydd, a llwyddiannus megys gynt; *a chwanegwyd im' fawredd rhagorol*—cefais fwy o anrhydedd gan fy nghynghoriaid a'm pendefigion nag a gawswn erioed o'r blaen.

Adn. 37. *Yr awr hon myfi Nebuchodonosor*] Yr hwn ni haeddais ddim o'r pethau hyn; *ydwyf yn moliannu, ac yn mawrygu, ac yn gogoneddu Brenin y nefoedd*—am ei ryfedd ddaioni a'i ras i mi; *yr hwn y mae ei holl weithredoedd yn wirionedd, a'i lwybrau yn farn*—yr hwn sydd yn llywodraethu y byd mewn doethineb, uniondeb, a chyfiawnder; *ac a ddichon ddarostwng y rhai a rodiant mewn balchder*—o'r hyn yr wyf fi fy hun yn siampl nodedig. Fel hyn cafodd amcan yr orchwyliaeth ryfedd hon ei ateb yn gyflawn yn Nebuchodonosor; canys efe a ddygwyd i '*wybod* mai y Goruchaf a lywodraetha yn mrenhiniaeth dynion,' adn. 17. Y mae yn dra thebygol iddo farw yn mhen oddeutu blwyddyn ar ol hyn, a'i fod ar y pryd yn broselyt i'r grefydd Iuddewig. Dylynwyd ef ar yr orsedd gan Efil-merodach ei fab: gwel ar pen. v. 1.

PEN. V. Adn. 1. *Belsassar y brenin*] Ar ol marwolaeth Nebuchodonosor, dylynwyd ef yn y frenhiniaeth gan *Efil-merodach* ei fab; yr hwn, ar ol teyrnasu ddwy flynedd, a laddwyd gan ei frawd-yn-nghyfraith *Neriglissar.* Teyrnasodd hwn bedair blynedd, a dylynwyd yntau gan ei fab *Laborosoarchod,* yr hwn ni theyrnasodd ond naw mis yn unig. Ar ei farwolaeth ef dyrchafwyd *Belsassar,* mab *Efil-merodach,* i'r orsedd; ac wedi iddo deyrnasu ddwy flynedd ar bymtheg, lladdwyd ef gan *Cyrus,* fel y cawn hanes yn y bennod hon, trwy yr hyn y rhoddwyd terfyn ar yr amherodraeth GALDEAIDD. Ond tybia rhai nad oedd *Neriglissar* a *Laborosoarchod,* y rhai a grybwyllir gan Josephus a Berosus, ddim ond îs-frenhinoedd, neu benaethiaid, neu raglawiaid taleithiau, y rhai a draws-hawlient yr amherodraeth, ac a barent aflonyddwch ynddi, a'r rhai o ganlyniad ni chydnabyddid yn yr amseryddiaeth a'r croniclau Caldeaidd; ac mai gwir frenhinoedd Babilon, ar ol Nabopolassar, oedd *Nebuchodonosor, Efil-merodach* ei fab, a *Belsassar* ei ŵyr: gwel ar Jer. xxvii. 7. *A wnaeth wledd fawr i fil o'i dywysogion*—yn cynwys swyddogion ei lys, a rhaglawiaid ei daleithiau. Nid yw hyn yn annghredadwy; canys dywed *Ctesius* fod un o frenhinoedd Persia yn darparu ymborth bob dydd i 15,000 o wŷr; a dywed *Curtius* fod 10,000 o wŷr yn bresenol yn un o wleddoedd Alexander Fawr; a dywed *Statius* i Domitian orchymyn i'w westeion ef, un tro, eistedd wrth fil o fyrddau: gwel hefyd ar 1 Bren. iv. 22, 23. Tybia rhai mai ar gylchŵyl ei enedig-

2 Wrth flas y gwin y dywedodd Belsassar am ddwyn y llestri aur ac arian, a ddygasai Nebuchodonosor ei dad ef o'r deml yr hon *oedd* yn Jerusalem, fel yr yfai y brenin a'i dywysogion, ei wragedd a'i orderchadon ynddynt.

3 Yna y dygwyd y llestri aur a ddygasid o deml tŷ Dduw, yr hwn *oedd* yn Jerusalem: a'r brenin a'i dywysogion, ei wragedd a'i orderchadon, a yfasant ynddynt.

4 Yfasant win, a moliannasant y duwiau o aur ac o arian, o bres, o haiarn, o goed, ac o faen.

5 ¶ Yr awr hòno bysedd llaw dyn a ddaethant allan, ac a ysgrifenasant ar gyfer y canwyllbren ar galchiad pared llys y brenin: a gwelodd y brenin ddarn y llaw a ysgrifenodd.

6 Yna y newidiodd lliw y brenin, a'i feddyliau a'i cyffroisant ef, fel y dattododd rhwymau ei lwynau ef, ac y curodd ei luniau ef y naill wrth y llall.

7 Gwaeddodd y brenin yn groch am ddwyn i mewn yr astronomyddion, y Caldeaid, a'r brudwyr: a llefarodd y brenin, a dywedodd wrth ddoethion Babilon, Pa ddyn bynag a ddarlleno yr ysgrifen hon, ac a ddangoso i mi ei deongliad, efe a wisgir â phorffor, ac *a gaiff* gadwyn aur am ei wddf, a chaiff lywodraethu yn drydydd yn y deyrnas.

8 Yna holl ddoethion y brenin a ddaethant i mewn; ond ni fedrent ddarllen yr ysgrifen; na mynegu i'r brenin ei deongliad.

---

aeth neu ei goroniad y cynaliwyd y wledd hon, neu ynte ar ŵyl arbenig a gynelid er anrhydedd i'w dduwiau, adn. 4. *Ac a yfodd win yn ngŵydd y mil*—i roddi annogaeth iddynt hwythau yfed. Y mae yr *Arabaeg*, y *Goptaeg*, a *Groeg* Theodotion, yn ei ddarllen, 'A gwin oedd o flaen y mil;' a'r *Vulgate*, 'A phob un a yfodd yn ol ei oedran.' Yr oedd Esay wedi proffwydo am hyn oll, pen. xxi. 5, &c.

Adn. 2, 3. *Wrth flas y gwin*] Sef wedi iddo ei brofi, a dechreu meddwi; *y dywedodd Belsassar am ddwyn y llestri aur ac arian a ddygasai Nebuchodonosor ei dad ef*—neu ei daid; canys rhoddir yr enw *mab* yn ddiwahaniaeth yn yr ysgrythyr i feibion ac ŵyrion, 2 Sam. ix. 6, 7; *o'r deml yr hon oedd yn Jerusalem*—gwel ar pen. i. 2; *fel yr yfai y brenin a'i dywysogion*—win ynddynt er dirmyg ar Dduw a'i bobl; *ei wragedd a'i orderchadon*—y rhai a ddygwyd i mewn ar ol i'r cwmni ddechreu meddwi: gwel siampl arall, Esther i. 10, 11.

Adn. 4. *Yfasant win*] O lestri cysegredig teml Dduw, gan 'ymddyrchafu' felly 'yn erbyn Arglwydd y nefoedd,' adn. 23; *a moliannasant y duwiau o aur ac o arian, &c.*—nid yn unig trwy ganu mawl iddynt, ond hefyd trwy eu canmol am y buddugoliaethau ag y tybient iddynt eu cael trwy eu cymhorth hwy. Y mae rhai o'r hen gyfieithiadau yn chwanegu yma, 'Ond y Duw tragwyddol ni foliannasant.'

Adn. 5. *Yr awr hòno bysedd llaw dyn a ddaethant allan*] Oddi gerbron Duw, adn. 24, yn dal pin neu ysgrifell; *ac a ysgrifenasant ar gyfer y canwyllbren*—lle y gallai pawb eu gweled; *ar galchiad pared llys y brenin*—ni ddywedir pa un ai cerfiad yn y pared, neu liw dû ar y calch gwŷn, ai ynte llythyrenau o dân, oedd yr ysgrifen hon. *A gwelodd y brenin ddarn y llaw a ysgrifenodd*—hyny yw, gwelodd ef, yn gystal a'r lleill, y darn llaw yn ysgrifenu.

Adn. 6. *Yna y newidiodd lliw y brenin*] Mewn rhan trwy euogrwydd am halogi o hono y llestri cysegredig, ac mewn rhan trwy ofni y byddai rhyw ganlyniad chwerw i hyny. Er nad oedd yno na tharanau na mellt, nac un angel â chleddyf dinystriol yn ei fygwth, na dim ond darn llaw yn ysgrifenu geiriau nad wyddai efe eto pa un ai o'i blaid ynte yn ei erbyn yr oeddynt; eto wele ei wyneb ef yn gwelwi, rhwymau ei lwynau ef yn dattod, a'i liniau yn curo y naill wrth y llall! Yr oedd ei gydwybod euog yn rhuo o'i fewn, nes yr oedd ei holl gorff yn crynu gan arswyd! *Fel y dattododd rhwymau ei lwynau ef*—ymadrodd wedi ei fenthyca oddiwrth yr hyn a ddygwydda mewn gwewyr esgor.

Adn. 7. *Gwaeddodd y brenin yn groch*] Mewn llais uchel a chyffrous; *am ddwyn i mewn yr astronomyddion, &c.*—i ddarllen a deongli yr ysgrifen hòno, gan addaw yr anrhydedd mwyaf i'r neb a wnelai hyny: gwel ar pen. ii. 2, 6, a iv. 7. *Efe a wisgir â phorffor*—y lliw a wisgid gan dywysogion a phendefigion, Luc xvi. 19; *ac a gaiff gadwyn aur am ei wddf*—yn arwydd o anrhydedd ac awdurdod, Gen. xli. 42; *a chaiff lywodraethu yn drydydd yn y deyrnas*—y brenin yn gyntaf, ei fab yn ail, ac yntau yn drydydd; neu, efe a gai fod yn brifweinidog dan y brenin a'r frenhines.

Adn. 8. *Yna holl ddoethion y brenin a ddaethant i mewn*] Yn awyddus am yr anrhydedd, yn gystal ag mewn ufydd-dod i alwad y brenin: *ond ni fedrent ddarllen yr ysgrifen*—trwy ei bod ond odid yn yr hen lythyrenau Hebreig a ddefnyddid cyn y caethiwed, y rhai oeddynt yr un fath a'r rhai a geir yn awr yn y Pumllyfr Samaritanaidd; *na mynegu i'r brenin ei deongliad*—sef ystyr yr ysgrifen hòno.

Adn. 9. *Yna y mawr-gyffrôdd y brenin*] Wrth feddwl nad oedd obaith am egluro yr ysgrifen; *a'i dywysogion a synasant*—nid

9 Yna y mawr-gyffrôdd y brenin
Belsassar, a'i wedd a ymnewidiodd
ynddo, a'i dywysogion a synasant.
10 ¶ Y frenhines, o herwydd geir-
iau y brenin a'i dywysogion, a
ddaeth i dŷ y wledd: *a* llefarodd y
frenhines, a dywedodd, Bydd fyw
byth, frenin; na chyffröed dy fedd-
yliau di, ac na newidied dy wedd.
11 Y mae gŵr yn dy deyrnas yr
hwn *y mae* ysbryd y duwiau sant-
aidd ynddo, ac yn nyddiau dy dad
y caed ynddo ef oleuni, a deall, a
doethineb fel doethineb y duwiau:
a'r brenin Nebuchodonosor dy dad
a'i gosododd ef yn benaeth y dewin-
iaid, astronomyddion, Caldeaid, *a*
brudwyr, *sef* y brenin dy dad di.
12 O herwydd cael yn y Daniel
hwnw, yr hwn y rhoddes y brenin
iddo enw Beltesassar, ysbryd rhag-
orol, a gwybodaeth a deall, deongl
breuddwydion, ac egluro dammeg-
ion, a dattod cylymau: galwer Dan-
iel yr awrhon, ac efe a ddengys y
deongliad.
13 Yna y dygpwyd Daniel o flaen
y brenin: *a* llefarodd y brenin, a
dywedodd wrth Daniel, Ai tydi *yw*
Daniel, yr hwn wyt o feibion caeth-
glud Juda, y rhai a ddyg y brenin
fy nhad i o Juda?
14 Myfi a glywais *son* am danat,
*fod* ysbryd y duwiau ynot, a chael
ynot ti oleuni, a deall, a doethineb
rhagorol.
15 Ac yr awr hon dygwyd y doeth-
ion, yr astronomyddion o'm blaen,
i ddarllen yr ysgrifen hon, ac i
fynegu i mi ei deongliad: ond ni
fedrent ddangos deongliad y peth.
16 Ac mi a glywais am danat ti,
y medri ddeongl deongliadau, a
dattod cylymau; yr awr hon os
medri ddarllen yr ysgrifen, a hys-
bysu i mi ei deongliad, tydi a
wisgir â phorffor, ac *a gei* gadwyn
aur am dy wddf, ac a gei lywodr-
aethu yn drydydd yn y deyrnas.
17 ¶ Yna yr atebodd Daniel, ac y
dywedodd o flaen y brenin, Bydded
dy roddion i ti, a dod dy anrhegion

---

yn unig wrth gyffro mawr y brenin, ond hefyd wrth anwybodaeth ei ddoethion ef; neu yr oedd yr hyn a welsant wedi eu cyffroi hwythau yr un modd a'r brenin.

Adn. 10. *Y frenhines*] Nid un o wragedd y brenin, canys yr oedd y rhai hyny eisioes yn y lle, adn. 3; eithr ei fam ef, *Nitocris*, gweddw *Efil-merodach*, yr hon y dywed Herodotus ei bod yn wraig ddoeth a synwyrol; *o herwydd geiriau y brenin a'i dywysogion*—y rhai a draethent yn eu hanobaith a'u dychryn; *a ddaeth i dŷ y wledd*—i'w cysuro hwy yn eu trallod. *Bydd fyw byth, frenin*—gwel ar pen. ii. 4: *na chyffröed dy feddyliau di, ac na newidied dy wedd*—o achos yr ysgrifen hon.

Adn. 11. *Y mae gŵr yn dy deyrnas yr hwn y mae ysbryd y duwiau santaidd ynddo*] Neu, yn ol y LXX, 'ysbryd y Duw santaidd.' Ond pa fodd yr oedd Daniel mor *anadnabyddus* i Belsassar? Y mae yn debyg nad oedd ef yn y llys y pryd hyn; canys ar farwolaeth brenin dwyreiniol, fel y dywed *Syr John Chardin*, yr oedd y meddygon a'r dewiniaid yn cael eu troi o'u swydd: y rhai blaenaf, am na ddarfu iddynt gadw angau draw; a'r rhai olaf, am na ragfynegasant am ei ddyfodiad ef. Ac heblaw hyn, yr oedd Belsassar yn ddyn mor benrhydd a drygionus, fel nad oedd yn gofalu dim am gyfeillachu â dyn o gymeriad santaidd Daniel. *Ac yn nyddiau dy dad*—neu ei daid Nebuchodonosor, adn. 2; *y caed ynddo ef oleuni a deall, &c.*—i wybod a gwneyd yr hyn ni allai y dewiniaid a'r astronomyddion ei wybod, am yr hyn y gosodwyd ef yn benaeth arnynt oll: gwel ar pen. ii. 48.

Adn. 12. *O herwydd cael yn y Daniel hwnw*] Am yr hwn yr wyf yn son; *yr hwn y rhoddes y brenin iddo enw Beltesassar*—gwel ar pen. i. 7; *ysbryd rhagorol*—i ddeall a ddeongli breuddwydion; *ac egluro dammegion a dattod cylymau*—sef pob math o anhawsderau a dyryswch: *galwer Daniel yr awrhon*—i weled yr ysgrifen hon; *ac efe a ddengys y deongliad*—sef ei chynwysiad a'i hystyr.

Adn. 13. *Yna y dygpwyd Daniel o flaen y brenin*] Canys yr oedd efe y pryd hyn yn Babilon, yn mhlith ei frodyr y gaethglud. *Ai tydi yw Daniel?*—y mae hyn yn brawf ei fod ef yn anadnabyddus o hono, fel y nodwyd ar adn. 11.

Adn. 14. *Mi a glywais son am danat*] Gan y frenhines, adn. 11.

Adn. 15. *Ac yr awr hon dygwyd y doethion, &c.*] Y rhai a fethasant ddangos deongliad yr ysgrifen: gwel ar adn. 7, 8.

Adn. 16. *Ac mi a glywais am danat ti*] Y gelli di egluro y pethau mwyaf dyrys. *Yr awr hon, os medri ddarllen yr ysgrifen*—acw ar y pared; *a hysbysu i mi ei deongliad*—neu ei hystyr; *tydi a wisgir â phorffor, &c.*—tydi a gai yr un anrhydedd ag a addewais i'r lleill, adn. 7.

Adn. 17. *Yna yr atebodd Daniel*] Yr hwn ydoedd eisioes wedi codi ei olygon i edrych ar yr ysgrifen; *Bydded dy roddion i ti, a dod dy anrhegion i arall*—nid mewn diystyrwch o'r rhoddion y dywedai Daniel hyn, canys efe a'u derbyniodd hwynt drachefn, adn. 29; ond dangos yr ydoedd mai nid er mwyn y rhoddion yr oedd efe yn myned i weithredu. *Er hyny yr ysgrifen a ddar-*

i arall; er hyny yr ysgrifen a ddar-
llenaf i'r brenin, a'r deongliad a
hysbysaf iddo.
18 O frenin, y Duw goruchaf a
roddes i Nebuchodonosor dy dad di
frenhiniaeth, a mawredd, a gogon-
iant, ac anrhydedd.
19 Ac o herwydd y mawredd a
roddasai efe iddo, y bobloedd, y
cenhedloedd, a'r ieithoedd oll, oedd
yn crynu ac yn ofni rhagddo ef: yr
hwn a fynai a laddai, a'r hwn a fynai
a gadwai yn fyw; hefyd y neb a
fynai a gyfodai, a'r neb a fynai a
ostyngai.
20 Eithr pan ymgododd ei galon
ef, a chaledu o'i ysbryd ef mewn
balchder, efe a ddisgynwyd o or-
seddfa ei frenhiniaeth, a'i ogoniant
a dynasant oddiwrtho.
21 Gyrwyd ef hefyd oddiwrth
feibion dynion, a gwnaethpwyd ei
galon fel bwystfil, a chyda'r asyn-
od gwylltion *yr oedd* ei drigfa: â
gwellt y porthasant ef fel eidion, a'i
gorff a wlychwyd gan wlith y nef-
oedd, hyd oni wybu mai y Duw
goruchaf oedd yn llywodraethu yn
mrenhiniaeth dynion, ac yn gosod
arni y neb a fyno.
22 A thithau, Belsassar ei fab ef,
ni ddarostyngaist dy galon, er gwy-
bod o honot hyn oll;
23 Eithr ymddyrchefaist yn er-
byn Arglwydd y nefoedd, a llestri
ei dŷ ef a ddygasant ger dy fron di,
a thithau a'th dywysogion, dy wr-
agedd a'th ordderchadon, a yfasoch
win ynddynt; a thi a foliennaist
dduwiau o arian ac o aur, o bres,
haiarn, pren, a maen, y rhai ni wel-
ant, ac ni chlywant, ac ni wyddant
*ddim:* ac nid anrhydeddaist y Duw
*y mae* dy anadl di yn ei law, a'th
holl ffyrdd yn eiddo.
24 Yna yr anfonwyd darn y llaw
oddi ger ei fron ef, ac yr ysgrifen-
wyd yr ysgrifen hon.
25 ¶ A dyma yr ysgrifen a ysgrif-
enwyd: MENE, MENE, TECEL,
UPHARSIN.
26 Dyma ddeongliad y peth:

---

*llenaf i'r brenin*—yr hyn y gallai ef fel Iuddew yn hawdd ei wneuthur, adn. 8; *a'r deongliad a hysbysaf iddo*—trwy ysbrydoliaeth y Goruchaf; hyny yw, efe a wnai hyn oll am ddim.

Adn. 18. *O frenin, y Duw goruchaf a roddes i Nebuchodonosor dy dad di*] Sef ei daid, fel y nodwyd eisioes, adn. 2; *frenhiniaeth, a mawredd, a gogoniant, ac anrhydedd*—tuhwnt i bawb a fu o'i flaen ef. Cyn darllen yr ysgrifen i'r brenin, y mae Daniel yn cymeryd achlysur i ddwyn ar gof iddo yr hyn a wnaethai y Duw goruchaf i'w daid ef, er mwyn dangos iddo ysgelerder ei ymddygiadau pechadurus ef ei hun; a gallesid dysgwyl yr effeithiasai hyny yn ddwys arno yn ei gyflwr trallodus presenol, wrth feddwl ei fod ef wedi dylyn yr un llwybrau ag yntau, neu rai lawer yn waeth.

Adn. 19. *Ac o herwydd y mawredd a roddasai efe iddo*] Fel amherawdwr galluog; *y bobloedd, y cenhedloedd, a'r ieithoedd oll*—trwy holl derfynau ei lywodraeth; *oedd yn crynu ac yn ofni rhagddo ef*—o herwydd ei awdurdod annibynol fel gormes-deyrn. *Yr hwn a fynai a laddai*—neu a ddedfrydai i farwolaeth; *a'r hwn a fynai a gadwai yn fyw*—pa un bynag ai euog ai peidio: *hefyd y neb a fynai a gyfodai*—i swydd neu radd uchel yn y llywodraeth; *a'r neb a fynai a ostyngai*—i ddiraddiad a gwarth, beth bynag fyddai ei swydd neu ei sefyllfa.

Adn. 20. *Eithr pan ymgododd ei galon ef*] Mewn balchder a gormes felly; *efe a ddisgynwyd o orseddfa ei frenhiniaeth*—i'r cyflwr isaf o drueni a gwallgofrwydd.

Adn. 21. *Gyrwyd ef hefyd oddiwrth feibion dynion*] I blith bwystfilod y maes, fel yr adroddwyd ganddo ef ei hun, pen. iv, 33; *hyd oni wybu, &c.*—hyd oni ddysgodd efe y wers bwysig hono, mai y Duw goruchaf sydd yn llywodraethu yn mrenhiniaeth dynion, ac yn gosod arni y neb a fyno.

Adn. 22. *A thithau, Belsassar*] Er gwybod o honot yr hyn oll a ddaeth i'th daid; *ni ddarostyngaist dy galon*—i gydnabod goruwch-lywodraeth y Goruchaf mwy nag yntau.

Adn. 23. *Eithr ymddyrchefaist yn erbyn Arglwydd y nefoedd*] Fel pe buasit uwchlaw iddo ef mewn doethineb a gallu; *a llestri ei dŷ ef a ddygasant ger dy fron di*—i yfed gwin ynddynt: gwel ar adn. 2, 3: *a thi a foliennaist dduwiau o arian ac o aur, &c.*—gwel ar adn. 4; *y rhai ni welant, ac ni chlywant, ac ni wyddant ddim*—am dy foliant a'th anrhydedd iddynt: *ac nid anrhydeddaist y Duw y mae dy anadl di yn ei law*—yr hwn y mae ganddo awdurdod dros dy einioes; *a'th holl ffyrdd yn eiddo*—neu dan ei lywodraeth ef yn hollol. Ie, yn lle ei anrhydeddu, efe a'i dirmygodd ef yn y modd mwyaf rhyfygus a gwaradwyddus.

Adn. 24. *Yna yr anfonwyd darn y llaw oddi ger ei fron ef*] I ddychrynu dy galon hyf a dideimlad; *ac yr ysgrifenwyd yr ysgrifen hon*—mewn ffordd o ddedfryd angeuol i'th erbyn.

Adn. 25. *A dyma yr ysgrifen a ysgrifenwyd*] Dyma y darlleniad o honi: *MENE, MENE, TECEL, UPHARSIN*—y mae yr holl hen gyfieithiadau, oddieithr y *Syriaeg*, yn darllen y geiriau fel hyn: *Mene, Tecel, Phares.* Felly hefyd y ceir hwynt yn yr ad-

MENE; Duw a rifodd dy frenhiniaeth, ac a'i gorphenodd.

27 TECEL; Ti a bwyswyd yn y clorianau, ac a'th gaed yn brin.

28 PERES; Rhanwyd dy frenhiniaeth, a rhoddwyd hi i'r Mediaid a'r Persiaid.

29 Yna y gorchymynodd Belsassar, a hwy a wisgasant Daniel â phorffor, ac â chadwyn aur am ei wddf; a chyhoeddwyd am dano, y byddai efe yn drydydd yn llywodraethu yn y frenhiniaeth.

30 ¶ Y noson hòno y lladdwyd Belsassar brenin y Caldeaid.

31 A Darïus y Mediad a gymerodd y frenhiniaeth, *ac efe* yn ddwy flwydd a thriugain *oed.*

## PENNOD VI.

GWELODD Darïus yn dda osod ar y deyrnas chwe ugain o dy-

---

nodau canlynol, heb yr ailadroddiad o'r gair *Mene*, a thrwy roddi *Peres* neu *Phares* yn lle *Upharsin*, yr hwn yw y ffurf unigol o'r olaf. Ystyr llythyrenol y tri gair hyn yw *Rhifwyd*, *Pwyswyd*, *Rhanwyd*. Ond pe buasai doethion y brenin yn gallu darllen yr ysgrifen, a deall ystyr pob gair, buasai yn anmhosibl iddynt wedi hyny gymhwyso eu hystyr, fel y gwna Daniel isod trwy gyfarwyddyd dwyfol ysbrydoliaeth, neu ddangos *pa beth* a rifwyd, a bwyswyd, ac a ranwyd.

Adn. 26. *Dyma ddeongliad y peth*] Neu arwyddocâd yr ysgrifen: *MENE* a arwydda, *Duw a rifodd dy frenhiniaeth*—hyny yw, a rifodd ddyddiau dy frenhiniaeth; *ac a'i gorphenodd*—y mae dy frenhiniaeth a'th fywyd heno ar ben. Os yw yr ailadroddiad o'r gair *Mene* yn yr adnod flaenorol yn ddilys, efe a arwydda sicrwydd y weithred: gwel ar Gen. xli. 32.

Adn. 27. *TECEL*] A arwydda, *Ti a bwyswyd yn y clorianau*—sef yn nghlorianau dwyfol gyfiawnder; *ac a'th gaed yn brin*—yn rhy ysgafn o bwysau: gwel ar Job vi. 2, a xxxi. 6. Y mae dynion drwg yn cael eu cymharu yn fynych i ddarn o aur neu arian wedi ei gymysgu â mettel gwaelach, yr hyn a'i gwna yn rhy ysgafn pan ei pwysir i brofi ei werth: gwel ar Jer. vi. 30, Galar. iv. 1, 2. Y fath oedd Belsassar pan ei pwyswyd yn nghlorianau dwyfol gyfiawnder. Arferwyd yr un gymhariaeth gan *Homer* ar nesâd dinystr Hector, Iliad. xxii; a chan *Virgil* ar farwolaeth Turnus, Æn. xii; a chan *Milton* yn rhyfel yr angylion: gwel *Coll Gwynfa*, llyfr vi. llin. 245.

Adn. 28. *PERES*] Neu *Phares*, y ffurf unigol o *Upharsin*, adn. 25. Arwydda hwn, *Rhanwyd dy frenhiniaeth*—yn ddwy; *a rhoddwyd hi i'r Mediaid a'r Persiaid*—rhyngddynt ill dau: gwel ar Esay xiii. 17. Yr oedd y Mediaid a'r Persiaid yn cydgynorthwyo yn y rhyfel hon yn erbyn y Babiloniaid. Tybia rhai fod y gair *Peres* yma yn arwyddo y *Persiaid*, y rhai a elwir *Paros* gan y Caldeaid: os felly, yr oedd y gair yn arwyddo nid yn unig *rhaniad* y frenhiniaeth, ond hefyd gan *bwy* y gwneid hyny.

Adn. 29. *Yna y gorchymynodd Belsassar*] Fod i'w addewid ef i Daniel gael ei chyflawni, adn. 16: *a hwy a wisgasant Daniel â phorffor, &c.*—canys arferai y brenhinoedd dwyreiniol gadw niferoedd o'r gwisgoedd hyny yn barod yn eu cistiau, i'w rhoddi yn anrhegion i'r rhai hyny a gaent ffafr yn eu golwg: *a chyhoeddwyd am dano, y byddai efe yn drydydd yn llywodraethu yn y frenhiniaeth*—gwel ar adn. 7. Yr oedd y brenin wedi cael pob boddlonrwydd yn ngwirionedd deongliad Daniel, ac ystyriai ei hun dan rwymau i'w anrhydeddu ef.

Adn. 30. *Y noson hòno y lladdwyd Belsassar*] Efe a'i dywysogion, fel y dywed Herodotus a Xenophon. Ni ddywed Daniel ddim am y rhyfel ag oedd y pryd hyn rhwng y Babiloniaid a'r Mediaid a'r Persiaid; ond y mae Esay yn son yn fanwl am dani, pen. xiii a xiv, a xlv—xlvii; ac felly y gwna Jeremi, pen. l a li: gwel y sylwadau yno. Dywed Xenophon fod dau enciliwr Babilonaidd, *Gadatus* a *Gobryas*, yn cyfarwyddo y Persiaid yn yr ymosodiad hwn: ac wedi i'r milwyr ladd gwylwyr y palas, hwy a ruthrasant i ystafell y wledd, ac a laddasant Belsassar ac amrai o'i dywgsogion pan yr oeddynt yn cysgu yn eu meddwdod; ac felly, fel y dywed Jeremi, 'y cysgasant hûn dragwyddol,' Jer. li. 39, 57.

Adn. 31. *A Darïus y Mediad a gymerodd y frenhiniaeth*] Cymerwyd y ddinas a'r deyrnas mewn gwirionedd gan *Cyrus*, yr hwn oedd yn gweithredu yn enw a thrwy awdurdod Darïus; ond gan fod Darïus yn frawd i'w fam ef, ac hefyd yn dad-yn-nghyfraith iddo, efe a'i gosododd ef yn y frenhiniaeth, yr hon a ddaliodd efe am ddwy flynedd, pryd y bu farw, ac y dylynwyd ef yn y frenhiniaeth gan Cyrus. *Ac efe yn ddwy flwydd a thriugain oed*—ac felly cafodd ei eni yn fuan ar ol i gaethiwed yr Iuddewon ddechreu, i fod yn waredwr iddynt

PEN. VI. Adn. 1. *Gwelodd Darïus yn dda*] Mai yr un oedd y *Darïus* hwn a'r *Cyaxares* a grybwyllir gan Xenophon, a brofwyd gan St. Jerome oddiwrth dystiolaeth Josephus, Trogus Pompeius, a haneswyr ereill. Yr oedd ef yn fab i *Astyages* neu *Ahasferus* brenin Media, pen ix. 1. *Osod ar y deyrnas*—sef ar deyrnas Babilon, yr hon a unesid yn awr â Media a Phersia. *Chwe ugain o dywysogion i fod ar yr holl deyrnas*—sef un ar bob talaeth. Wedi hyn cawn ddarfod ei helaethu i 127 o daleithiau trwy fuddugoliaethau Cambyses a Darïus Hystaspes: gwel ar Esther i. 1.

Adn. 2. *Ac arnynt hwy yr oedd tri rhaglaw*] Neu dri llywydd neu arolygwr, pob un i edrych ar ol *deugain* fe allai o'r tywysogion

wysogion, i fod ar yr holl deyrnas;
2 Ac arnynt hwy *yr oedd* tri
rhaglaw, (y rhai *yr oedd* Daniel yn
benaf o honynt,) i'r rhai y rhoddai
y tywysogion gyfrif, fel na byddai
y brenin mewn colled.
3 Yna y Daniel hwn oedd yn rhagori ar y rhaglawiaid a'r tywysogion, o herwydd *bod* ysbryd rhagorol ynddo ef: a'r brenin a feddyliodd ei osod ef ar yr holl deyrnas.
4 ¶ Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion oedd yn ceisio cael achlysur yn erbyn Daniel o ran y frenhiniaeth: ond ni fedrent gael un achos na bai; o herwydd ffyddlon *oedd* efe, fel na chaed ynddo nac amryfusedd na bai.
5 Yna y dywedodd y gwŷr hyn,
Ni chawn yn erbyn y Daniel hwn ddim achlysur, oni chawn *beth* o ran cyfraith ei Dduw yn ei erbyn ef.
6 Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion hyn a aethant yn nghyd at y brenin, ac a ddywedasant wrtho fel hyn; Darïus frenin, bydd fyw byth.
7 Holl raglawiaid y deyrnas, y swyddogion, *a*'r tywysogion, y cynghoriaid, a'r duciaid, a ymgynghorasant am osod deddf frenhinol, a chadarnhau gorchymyn, fod bwrw i ffau y llewod pwy bynag a archai arch gan un Duw na dyn dros ddeng niwrnod ar hugain, ond genyt ti, O frenin.
8 Yr awr hon, O frenin, sicrha y gorchymyn, a selia yr ysgrifen, fel nas newidier; yn ol cyfraith y Med-

---

taleithiol uchod; *y rhai yr oedd Daniel yn benaf o honynt*—trwy ei fod yn llywydd ar y rhan hòno lle yr oedd eisteddle y llywodraeth. Yr oedd Daniel wedi ei ddyrchafu yn 'drydydd yn y llywodraeth' dan deyrnasiad Belsassar, pen. v. 29; ac o herwydd ei ddoethineb a'i ffyddlondeb, cadwyd ef yn ei swydd dan yr amherawdwr newydd. A chaniatâu fod yr hyn a ddywedwyd gan *Chardin* (gwel ar pen. v. 11) yn rheol sefydlog, yr oedd Daniel wedi 'rhagfynegu' am farwolaeth ei frenin wrth ddeongli yr ysgrifen; a phe na wnaethai hyny, yr oedd y newidiad presenol yn yr amherodraeth yn eithriad i'r rheol hòno. *I'r rhai y rhoddai y tywysogion gyfrif*—o'u goruchwyliaethau swyddol, yn gystal ag o gyllid y deyrnas yn eu gwahanol daleithiau; *fel na byddai y brenin mewn colled*—am ei gyllid, nac mewn anmharch o ddiffyg iawn-drefn yn achosion cyffredin ei deyrnas.

Adn. 3. *Yna y Daniel hwn oedd yn rhagori ar y rhaglawiaid a'r tywysogion*] Mewn doethineb a medrusrwydd i drin achosion y deyrnas, trwy ei fod wedi cael hir brofiad yn y gwaith; canys yr oedd uwchlaw triugain mlynedd bellach er pan ddyrchafwyd ef i swydd gan Nebuchodonosor. *O herwydd bod ysbryd rhagorol ynddo ef*—i ddeall ac egluro achosion dyrys; neu, fel y mae yn y *Vulgate*, 'o herwydd fod *ysbryd Duw* ynddo ef yn helaethach.' *A'r brenin a feddyliodd ei osod ef ar yr holl deyrnas*—yn cynwys holl daleithiau Media, Persia, a Babilonia. Diamau fod y brenin wedi clywed am y modd y deonglodd efe yr ysgrifen ar galchiad y pared, a'i fod o herwydd hyny yn gwneuthur mwy o gyfrif o hono ef.

Adn. 4. *Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion oedd yn ceisio cael achlysur yn erbyn Daniel o ran y frenhiniaeth*] Oddiar genfigen tuag ato, fel na ddyrchefid ef yn ben ar yr holl deyrnas: *ond ni fedrent gael un achos na bai*—yn ei weinyddiad o'i swydd; *o herwydd ffyddlon oedd efe*—tuag at y brenin a'i ddeiliaid yn holl achosion cyffredinol y llywodraeth.

Adn. 5. *Yna y dywedodd y gwŷr hyn*] Y naill wrth y llall; *Ni chawn yn erbyn y Daniel hwn ddim achlysur*—ddim bai i'w ddiswyddo o'i herwydd; *oni chawn beth o ran cyfraith ei Dduw yn ei erbyn*—os na allwn lunio rhyw ddyfais i gael cyfraith y brenin a chyfraith Duw Daniel i wrthdaraw yn erbyn eu gilydd, fel na byddo yn bosibl iddo ef allu bod yn ffyddlon i'w Dduw a'i frenin ar yr un pryd.

Adn. 6. *Yna y rhaglawiaid a'r tywysogion hyn a aethant yn nghyd at y brenin*] Neu 'a ddaethant yn *derfysglyd* ato,' fel y mae ar ymyl y ddalen. *Darïus frenin, bydd fyw byth*—gwel ar pen. ii. 4.

Adn. 7. *Holl raglawiaid y deyrnas—a ymgynghorasant am osod deddf frenhinol*] A gydfarnasant fod yn angenrheidiol gwneyd deddf newydd, wedi ei chadarnhau â sêl y brenin; *fod bwrw i ffau y llewod*—y rhai a gedwid yn gyffredin gan frenhinoedd y dwyrain i'w difyru eu hunain a'u deiliaid, ac i gospi teyrnfradwyr; *pwy bynag a archai arch gan un Duw na dyn*—am fis cyfan, *ond genyt ti, O frenin*—fel hyn, i wenieithio i'r brenin, mynent ei wneuthur ef megys *duw* am fis; a danghosent eu bod oll yn barnu yn unfrydol fod hyny yn angenrheidiol ar y pryd, i'r dyben i brofi ffyddlondeb ei ddeiliaid iddo, ac attal bradwriaeth yn erbyn ei berson a'i orsedd.

Adn. 8. *Yr awr hon, O frenin, sicrha y gorchymyn*] Trwy ei selio â sêl y llywodraeth, canys yr oeddynt wedi ysgrifenu y ddeddf hon eisioes; *yn ol cyfraith y Mediaid a'r Persiaid, yr hon ni newidir*—hyny yw, bydded i'r gorchymyn hwn fod o'r un grym, am fis, a'r cyfreithiau seliedig ereill, y rhai nas gallai hyd yn nod y brenin ei hun eu newid. Amcan hyn oedd mawrhau doethineb eu deddfroddwyr; canys buasai *newid* y gyfraith yn *addefiad* fod diffyg ynddi; nad oedd

iaid a'r Persiaid, yr hon ni newidir.
9 O herwydd hyn y seliodd y
brenin Darïus yr ysgrifen a'r gor-
chymyn.
10 ¶ Yna Daniel, pan wybu selio
yr ysgrifen, a aeth i'w dŷ, a'i ffen-
estri yn agored yn ei ystafell tua
Jerusalem; tair gwaith yn y dydd
y gostyngai efe ar ei liniau, ac y
gweddïai, ac y cyffesai o flaen ei
Dduw, megys y gwnai efe cyn
hyny.
11 Yna y gwŷr hyn a ddaethant
yn nghyd, ac a gawsant Daniel yn
gweddio ac yn ymbil o flaen ei
Dduw.
12 Yna y nesasant, ac a ddywed-
asant o flaen y brenin am orchymyn
y brenin; Oni seliaist ti orchymyn,
mai i ffau y llewod y bwrid pa
ddyn bynag a ofynai gan un Duw
na dyn *ddim* dros ddeng niwrnod
ar hugain, ond genyt ti, O frenin?
Atebodd y brenin, a dywedodd, *Y*
*mae* y peth yn wir, yn ol cyfraith y
Mediaid a'r Persiaid, yr hon ni
newidir.
13 Yna yr atebasant ac y dywed-
asant o flaen y brenin, Y Daniel, yr
hwn *sydd* o feibion caethglud Juda,
ni wnaeth gyfrif o honot ti, frenin,
nac o'r gorchymyn a seliaist, eithr
tair gwaith yn y dydd y mae yn
gweddio ei weddi.
14 Yna y brenin, pan glybu y
gair *hwn*, aeth yn ddrwg iawn gan-
ddo, ac a roes *ei* fryd gyda Daniel
ar ei waredu ef: ac a fu hyd fach-
ludiad haul yn ceisio ei achub ef.
15 Yna y gwŷr hyny a ddaethant
yn nghyd at y brenin, ac a ddywed-
asant wrth y brenin, Gwybydd,

---

hi wedi ei llunio mewn doethineb; a bod y brenin a'i lys yn agored i gyfeiliorni, neu gael eu twyllo.

Adn. 9. *O herwydd hyn*] O herwydd taerineb gwenieithus ei raglawiaid a'i dywysogion; *y seliodd y brenin Darïus yr ysgrifen a'r gorchymyn*—fel mesur angenrheidiol i ddiogelu rhag terfysg yn ei lywodraeth newydd; canys nid oedd efe eto yn gwybod dim am falais y dynion hyn yn erbyn Daniel.

Adn. 10. *Yna Daniel, pan wybu selio yr ysgrifen*] A bod ei chyfeiriad yn benaf yn ei erbyn ef; *a aeth i'w dŷ*—i weddio, fel arferol, o flaen ei Dduw; *a'i ffenestri yn agored yn ei ystafell*—y rhai ni ofalai efe am eu cau rhag ofn ei elynion, mwy nag o'r blaen; *tua Jerusalem*—yn cyfeirio tua Jerusalem, yn ol arferiad yr Iuddewon wrth weddio; canys y rhai a weddient yn y wlad, neu mewn gwlad estronol, a dröent eu gwynebau tua Jerusalem; a'r rhai a weddient yn Jerusalem, a dröent eu gwynebau tua'r deml; a'r rhai a weddient yn y deml, a dröent eu gwynebau tua'r cysegr santeiddiolaf, lle yr oedd yr arch a'r drugareddfa: gwel ar 1 Bren. viii. 33, 44, 48. *Tair gwaith yn y dydd y gostyngai efe ar ei liniau*—sef 'hwyr a bore, a hanner dydd,' Salm lv. 17; *ac y gweddïai ac y cyffesai*—neu 'y gweddïai ac y *diolchai* o flaen ei Dduw,' fel y mae yn y Saesonaeg; *megys y gwnai efe cyn hyny*—heb newid dim ar ei ddull, ei le, na'i amserau.

Adn. 11. *Yna y gwŷr hyn a ddaethant yn nghyd*] Ar yr amser ag y gwyddent ei fod ef yn ei ystafell; *ac a gawsant Daniel*—yn groes i'r gyfraith, *yn gweddio ac yn ymbil o flaen ei Dduw*—ac nid o flaen ei frenin, adn. 7.

Adn. 12. *Yna y nesasant*] O flaen y brenin, i ddwyn ar gof iddo ei gyfraith newydd. *Oni seliaist ti orchymyn, mai i ffau y llewod y bwrid pa ddyn bynag, &c.?*—gwel ar adn. 7. *Atebodd y brenin a dywedodd, Y mae y peth yn wir*—efe a addefai iddo selio y gorchymyn, a bod yn rhaid sefyll ato.

Adn. 13. *Yna yr atebasant*] Mewn ffordd ddirmygus a thrahaus; *Y Daniel yr hwn sydd o feibion caethglud Juda*—ni chrybwyllant am dano fel prif-weinidog y llywodraeth, rhag i hyny beri i'r brenin gydymdeimlo âg ef; eithr cyfeiriant ato fel caethwas isel; *ni wnaeth gyfrif o honot ti, frenin*—er maint yr anrhydedd a ddanghosaist iddo; *nac o'r gorchymyn a seliaist*—yr hwn y dylasai ef yn anad neb, fel prif-weinidog y llywodraeth, dalu yr ufydd-dod llawnaf iddo: *eithr tair gwaith yn y dydd y mae yn gweddio ei weddi*—o flaen ei Dduw, yr hyn a waherddaist iddo. Fel hyn mynent i'r brenin feddwl fod gwaith Daniel yn addoli ei Dduw, yn tarddu oddiar ei elyniaeth a'i wrthryfel yn erbyn y brenin.

Adn. 14. *Yna y brenin, pan glybu y gair hwn, aeth yn ddrwg iawn ganddo*] Saes., 'fu anfoddlon iawn *iddo ei hun*.' Nid digio wrth Daniel a wnaeth efe, fel y gwnaethai Nebuchodonosor wrth y tri llanc, pen iii. 19; ond digio wrtho ei hun, am iddo wrandaw ar eu cynghor hwy, a selio y fath gyfraith. *Ac a roes ei fryd gyda Daniel ar ei waredu ef*—trwy ddadlu fod gweddio felly o flaen ei Dduw yn arferiad gwastadol gan Daniel o'r blaen; fod y gyfraith hon wedi ei llunio mewn malais i faglu Daniel; ac mai cyfraith Fabilonaidd ydoedd, ac nid cyfraith ddigyfnewid y Mediaid a'r Persiaid. *Ac a fu hyd fachludiad haul yn ceisio ei achub ef*—trwy ryw resymau cyffelyb i'r rhai uchod: neu 'hyd *godiad* haul,' sef trwy y nos, fel y mae *Houbigant* yn ei gyfieithu.

Adn. 15. *Yna y gwŷr hyny a ddaethant yn nghyd at y brenin*] Bore dranoeth drachefn; *ac a ddywedasant wrth y brenin*—âg un llais; *Gwybydd, frenin, mai cyfraith y*

frenin, mai cyfraith y Mediaid a'r Persiaid *yw*, na newidier un gorchymyn na deddf a osodo y brenin.
16 Yna yr archodd y brenin, a hwy a ddygasant Daniel, ac a'*i* bwriasant i ffau y llewod. *Yna* y brenin a lefarodd ac a ddywedodd wrth Daniel, Dy Dduw yr hwn yr ydwyt yn ei wasanaethu yn wastad, efe a'th achub di.
17 A dygwyd careg ac a'i gosodwyd ar enau y ffau; a'r brenin a'i seliodd hi â'i sêl eu hun, ac â sêl ei dywysogion, fel na newidid yr ewyllys am Daniel.
18 ¶ Yna yr aeth y brenin i'w lys, ac a fu y noson hòno heb fwyd: ac ni adawodd ddwyn difyrwch o'i flaen; ei gwsg hefyd a giliodd oddiwrtho.
19 Yna y cododd y brenin yn fore iawn ar y wawr ddydd, ac a aeth ar frys at ffau y llewod.
20 A phan nesaodd efe at y ffau, efe a lefodd ar Daniel â llais trist. Llefarodd y brenin, a dywedodd wrth Daniel, Daniel, gwasanaethwr y Duw byw, a all dy Dduw di, yr hwn yr wyt yn ei wasanaethu yn wastad, dy gadw di rhag y llewod?
21 Yna y dywedodd Daniel wrth y brenin, O frenin, bydd fyw byth.
22 Fy Nuw a anfonodd ei angel, ac a gauodd safnau y llewod, fel na wnaethant i mi niwed: o herwydd puredd a gaed ynof ger ei fron ef: a hefyd ni wnaethym niwed o'th flaen dithau, frenin.
23 Yna y brenin fu dda iawn ganddo o'i achos ef, ac a archodd

---

*Mediaid a'r Persiaid yw, &c.*—fel hyn yr oeddynt yn penderfynu na chai y brenin ei achub ef, gan haeru nad allai efe wneyd hyny yn ngwyneb y gyfraith a seliasai efe ei hun.

Adn. 16. *Yna yr archodd y brenin*] Roddi Daniel i fyny i'w dwylaw hwy; *a hwy a ddygasant Daniel, ac a'i bwriasant i ffau y llewod*—gan fod yn sicr yn eu meddyliau y byddai i'r llewod ei rwygo a'i ddryllio ef yn y fan. *Yna y brenin a lefarodd ac a ddywedodd wrth Daniel*—pan yr oeddynt hwy yn ei lusgo ef ymaith; *Dy Dduw yr hwn yr ydwyt yn ei wasanaethu yn wastad, efe a'th achub di*—neu '*boed* iddo dy achub di,' fel y mae y *Syriaeg* a'r *Arabaeg* yn ei ddarllen. Nid oedd y brenin yn gwybod y gwnai Duw achub Daniel; ac nid yw yn sicr ei fod ef wedi clywed am yr hyn a wnaethai Duw i gyfeillion Daniel oddeutu 43 mlynedd cyn hyn, sef eu gwaredu o'r ffwrn dân.

Adn. 17. *A dygwyd careg, ac a'i gosodwyd ar enau y ffau*] Fel nad allai efe ddianc allan, na chael ei waredu gan ei gyfeillion; *a'r brenin a'i seliodd hi â'i sêl ei hun, ac â sêl ei dywysogion*—fel na byddai i'r naill na'r llall wneuthur dim ar wahan o blaid nac yn erbyn Daniel; hyny yw, *fel na newidid yr ewyllys am Daniel*—fel na byddai i'r brenin dori sêl y tywysogion i'w ryddhau ef, na'r tywysogion dori sêl y brenin i wneuthur niwed iddo, os na ddyfethid ef gan y llewod: gwel ar Mat. xxvii. 60, 66.

Adn. 18. *Yna yr aeth y brenin i'w lys*] Yn drwm ei galon o herwydd iddo selio deddf mor greulon ac annaturiol; *ac a fu y noson hòno heb fwyd*—heb allu bwyta, gan ofid o herwydd colli swyddog mor ddoeth a chydwybodol o'i deyrnas: *ac ni adawodd ddwyn difyrwch o'i flaen*—sef offerynau cerdd na dim arall i'w ddifyru: *ei gwsg hefyd a giliodd oddiwrtho*—fel nad allodd gael hûn i'w amrantau gan faint ei alar.

Adn. 19. *Yna y cododd y brenin yn fore iawn ar y wawr ddydd*] Dranoeth; *ac a aeth ar frys at ffau y llewod*—trwy i rywrai ond odid hysbysu iddo fod Daniel yn fyw, yr hyn a allent hwy ei wybod trwy ei glywed ef yn canu, yn gweddio, neu yn diolch yn y ffau.

Adn. 20. *A phan nesaodd efe at y ffau*] I edrych a oedd yr hyn a glywsai yn wirionedd; *efe a lefodd ar Daniel â llais trist*—canys yr oedd efe yn drist mewn rhan am yr hyn a wnaethai i Daniel, ac mewn rhan rhag na chlywai ddim ond rhuad y llewod am chwaneg o ysglyfaeth. *Daniel, gwasanaethwr y Duw byw*—yr hwn sydd yn meddu bywyd ynddo ei hun, a'r hwn yw ffynnonell bywyd i'w greaduriaid; *a all dy Dduw di, yr hwn yr wyt yn ei wasanaethu yn wastad*—bob amser, a than bob amgylchiad, ac yn ngwyneb pob perygl; *dy gadw di rhag y llewod?*—hyny yw, a *allodd* efe dy gadw di? Ond yr hyn yr oedd y brenin yn amheus o hono, yr ydym ni yn sicr o hono, fod gan wasanaethwyr y Duw byw Feistr a *all* eu cadw yn mhob perygl, a'r hwn a *wna* eu cadw yn ddifeth pan y gwelo fod hyny er eu lles hwy, ac er gogoniant iddo ei hun.

Adn. 21. *Yna y dywedodd Daniel wrth y brenin*] Mewn llais cryf a mwynaidd ag ydoedd ar unwaith yn beroriaeth yn ei glustiau, ac yn iechyd i'w galon; *O frenin, bydd fyw byth*—gwel ar pen. ii. 4. Yr oedd mwy na *ffurf* wâg yn y cyfarchiad hwn; canys gwyddai Daniel mai nid o herwydd malais y brenin y bwriwyd ef i ffau y llewod, a'i fod wedi gwneyd a allai i'w waredu ef, adn. 14.

Adn. 22. *Fy Nuw a anfonodd ei angel*] Yr un bôd gogoneddus a dwyfol yn ddiamau ag a fuasai gyda'r llanciau yn y ffwrn dân, pen. iii. 25; *ac a gauodd safnau y llewod, fel na wnaethant im' niwed*—eu cau, nid trwy rym neu attaliad anianyddol, ond trwy oruwchlywodraethu eu tueddiadau: *o herwydd puredd a gaed ynof ger ei fron ef*—sef

gyfodi Daniel allan o'r ffau. Yna y
codwyd Daniel o'r ffau; ac ni chaed
niwed arno, o herwydd credu o hono
yn ei Dduw.
24 ¶ Yna y gorchymynodd y
brenin, a hwy a ddygasant y gwŷr
hyny a gyhuddasant Daniel; ac a'*u*
bwriasant i ffau y llewod, hwy, a'u
plant, a'u gwragedd; ac ni ddaeth-
ent i waelod y ffau hyd oni orchfyg-
odd y llewod hwynt, a dryllio eu
holl esgyrn.
25 ¶ Yna yr ysgrifenodd y bren-
in Darïus at y bobloedd, at y cen-
hedloedd a'r ieithoedd oll y rhai
oedd yn trigo yn yr holl ddaear;
Heddwch a amlhäer i chwi.
26 Genyf fi y gosodwyd cyfraith,
a'r fod trwy holl lywodraeth fy
nheyrnas, i bawb grynu ac ofni rhag
Duw Daniel: o herwydd efe *sydd*
Dduw byw, ac yn parhau byth; a'i
frenhiniaeth ef yw yr hon ni ddy-
fethir, a'i lywodraeth *fydd* hyd y
diwedd.
27 Y mae yn gwaredu, ac yn
achub, ac yn gwneuthur arwyddion
a rhyfeddodau yn y nefoedd ac ar y
ddaear: yr hwn a waredodd Dan-
iel o feddiant y llewod.

---

diniweidrwydd, cywiredd, a ffyddlondeb; *a hefyd ni wnaethym niwed o'th flaen dithau, frenin*—canys nid oddiar ddiystyrwch o honot ti, ond oddiar barch i'm Duw, a dymuniad i gadw cydwybod dda, y parheais yn fy arferiad gwastadol o'i addoli ef: gwel ar Rhuf. xiii.5.

Adn. 23. *Yna y brenin fu dda iawn ganddo o'i achos ef*] Ei fod ef yn fyw ac yn iach; *ac a archodd gyfodi Daniel allan o'r ffau*—yr hyn yn gyfreithlon a ellid ei wneyd yn awr, trwy fod cosp y gyfraith wedi cael ei gweinyddu yn llythyrenol arno ef. *Yna y codwyd Daniel o'r ffau*—neu y symudwyd y gareg oddiar enau y ffau, fel y gallai ef ddyfod allan ei hun: *ac ni chaed niwed arno*—ddim cymaint ag ôl dant neu grafanc llew; *o herwydd credu o hono yn ei Dduw*—yn ngallu a ffyddlondeb ei Dduw. Fel hyn, 'trwy *ffydd*, efe a gauodd safnau llewod,' Heb. xi. 33.

Adn. 24. *Yna y gorchymynodd y brenin*] Fod i'r gosp a weinyddwyd ar y diniwed, gael ei gweinyddu hefyd ar yr euog; canys yr oedd y brenin yn deall erbyn hyn mai oddiar falais a chenfigen yn erbyn Daniel y mynent hwy dywallt gwaed gwirion. *A hwy a ddygasant y gwŷr hyny a gyhuddasant Daniel*—sef y rhai blaenaf o honynt yn y fradwriaeth o leiaf, yr hyn oedd yn gyson â chyfraith y wlad hòno, (gwel *Ystori Susanna*, adn. 62,) ac hefyd â chyfraith Moses, Deut. xix. 16—19. *Ac a'u bwriasant i ffau y llewod, hwy, a'u plant, a'u gwragedd*—fe allai fod eu plant a'u gwragedd mor *euog* a hwythau yn eu gelyniaeth yn erbyn Daniel, ac felly yr oedd eu cosp yr un mor *gyfiawn*. Modd bynag, yr oedd hyn yn gyson â deddfau y Persiaid, y Macedoniaid, a chenhedloedd ereill, fel y danghoswyd gan *Curtius*, *Marcellinus*, ac ereill. Er fod hyn yn cael ei wahardd yn nghyfraith Moses, Deut. xxiv. 16, eto am gyfraith *pagan* yn unig y sonir yma; ac nid yw yr ysgrifenydd ysbrydoledig ddim ond yn adrodd yr hyn a gymerodd le, ac nid yn ei gymeradwyo: gwel ar Exod. xx. 5, a xxxiv. 7, Jos. vii. 21, 25, Ezec. xviii. 3. *Ac ni ddaethent i waelod y ffau hyd oni orchfygodd y llewod hwynt*—gan eu derbyn a'u dryllio cyn iddynt ddisgyn i'r gwaelod. Dengys hyn mai nid am fod y llewod wedi eu diwallu â bwyd, fel y dywed rhai, y gadawsant lonydd i Daniel.

Adn. 25. *Yna yr ysgrifenodd y brenin Darïus at y bobloedd*] O bob cenedl ac iaith trwy ei holl amherodraeth eang, gyhoeddiad caredig mewn ffordd o iawn am y dirmyg a ddangosasai efe i Dduw Daniel. *Heddwch a amlhäer i chwi*—gwel ar pen. iv. 1.

Adn. 26. *Genyf fi y gosodwyd cyfraith*] Wedi ei chadarnhau â sêl y llywodraeth; *ar fod trwy holl lywodraeth fy nheyrnas*—trwy Media, Persia, Babilonia, &c.; *i bawb grynu ac ofni rhag Duw Daniel*—fod i bawb ei anrhydeddu a'i barchu ef fel Duw. Y mae y gyfraith hon yn cyraedd yn mhellach nag eiddo Nebuchodonosor ar achos cyffelyb, pen. iii. 29; canys nid oedd hòno ond yn gwahardd i neb ddywedyd dim ar fai *yn erbyn* Duw, tra y mae hon yn rhwymo pawb i'w *ofni* ef. 'Ond er fod y gyfraith hon yn myned yn mhell,' ebai *Benson*, 'nid yw yn myned yn ddigon pell: canys pe gwnaethai efe yn iawn, ac yn gyson â'i argyhoeddiadau presenol, efe a orchymynasai i bawb nid yn unig "grynu ac ofni" gerbron Duw, ond hefyd ymddiried ynddo, ei garu, ac ufyddhau iddo, a gadael eu heilunod, a'i addoli ef yn unig, fel y gwnaethai Daniel.' Ac efe a chwanega, 'Yn sicr yr oedd y rhesymau ar ba rai y mae efe yma yn seilio ei gyfraith, yn ddigon i gyfiawnhau un wrth lwyr ddarostwng eilunaddoliaeth.' *O herwydd efe sydd Dduw byw*—yn meddu bywyd yn wreiddiol ynddo ei hun, ac yn rhoddi bywyd i ereill; *ac yn parhau byth*—o dragwyddoldeb hyd dragwyddoldeb. *A'i frenhiniaeth ef yw yr hon ni ddyfethir*—am ei fod yn ei chynal ac yn ei hamddiffyn trwy ei ddoethineb a'i hollalluogrwydd ei hun; *a'i lywodraeth fydd hyd y diwedd*—hyd ddiwedd amser, neu yn ddiddiwedd.

Adn. 27. *Y mae yn gwaredu ac yn achub*] Y rhai sydd yn ei wasanaethu ef; *ac yn gwneuthur arwyddion a rhyfeddodau yn y nefoedd ac ar y ddaear*—trwy ei allu anfeidrol ei hun, y rhai ni fedr neb arall eu gwneuthur: *yr hwn a waredodd Daniel o feddiant y llewod*—yr hyn a grybwyllir yma fel prawf o'r hyn a ddywedasai efe eisioes am Dduw. Y

28 A'r Daniel hwn a lwyddodd yn
nheyrnasiad Darïus, ac yn nheyrn-
asiad Cyrus y Persiad.

## PENNOD VII.

YN y flwyddyn gyntaf i Belsassar,
brenin Babilon, y gwelodd Dan-
iel freuddwyd, a gweledigaethau ei
ben ar ei wely. Yna efe a ysgrif-
enodd y breuddwyd, *ac* a draethodd
swm y geiriau.
2 Llefarodd Daniel, a dywedodd,
Mi a welwn yn fy ngweledigaeth y
nos, ac wele bedwar gwynt y nef-
oedd yn ymryson ar y môr mawr.
3 A phedwar bwystfil mawr a
ddaethant i fyny o'r môr, yn amryw
y naill oddiwrth y llall:
4 Y cyntaf *oedd* fel llew, ac iddo
adenydd eryr: edrychais hyd oni
thynwyd ei adenydd, a'i gyfodi
oddiwrth y ddaear, a sefyll o hono
ar ei draed fel dyn, a rhoddi iddo
galon dyn.
5 Ac wele anifel arall, yr ail, yn
debyg i arth; ac efe a ymgyfododd
ar y naill ystlys, ac *yr oedd* tair as-

---

mae hon yn dystiolaeth ragorol o eiddo *pagan*, i natur, gallu, a mawredd Jehofa.

Adn. 28. *A'r Daniel hwn a lwyddodd*] Goruwchlywodraethodd Duw amcan maleisus ei elynion er chwanegu anrhydedd a llwyddiant ei was Daniel; a rhoddodd hyny fantais iddo i wneyd llawer mwy o ddaioni i'w frodyr yr Iuddewon, ac i hyrwyddo eu gwaredigaeth o Babilon. *Yn nheyrnasiad Darïus*—y Mediad, sef yn ystod y ddwy flynedd ag y bu efe byw; *ac yn nheyrnasiad Cyrus y Persiad*—yr hwn a'i dylynodd ef ar yr orsedd, ac a fu yn llywodraethu yr amherodraeth hon am saith mlynedd ar ol marwolaeth ei ewythr Darïus. Pa hyd y bu Daniel byw ar ol hyn, nid oes genym hanes; ond cawn ef yn cael datguddiadau pwysig yn y *drydedd* flwyddyn i Cyrus, pen. x. 1. Fel hyn bu Daniel yn gwasanaethu dan *bump* o frenhinoedd galluog, sef Nebuchodonosor, Efil-merodach, Belsassar, Darïus, a Cyrus.

PEN. VII. Adn. 1. *Yn y flwyddyn gyntaf i Belsassar*] Yr hyn oedd ddwy flynedd ar bymtheg cyn yr hanes a gawsom yn y bennod ddiweddaf: o ganlyniad dylasai y bennod hon a'r un ganlynol, o ran trefn amseryddol, fod rhwng y bedwaredd a'r bummed bennod. Y rheswm paham y rhoddwyd y *bummed* bennod allan o'i lle priodol yw, er mwyn i'r rhanau *hanesyddol* fod wrthynt eu hunain, ac i'r rhanau *proffwydol* fod gyda'u gilydd, y rhai a gyrhaeddant dros yr yspaid o 22 mlynedd o leiaf. *Y gwelodd Daniel freuddwyd*—yr hwn a elwir yma yn 'weledigaethau ei ben ar ei wely:' gwel ar pen. iv. 5. *Yna efe a ysgrifenodd y breuddwyd*—fel na byddai iddo ei annghofio; *ac a draethodd swm y geiriau*—a glywsai yn ei freuddwyd, trwy eu hysgrifenu mewn llyfr; fel, pan gyflawnid y broffwydoliaeth, y gellid cymharu y naill â'r llall.

Adn. 2. *Llefarodd Daniel, a dywedodd*] Yn yr ysgrifen hòno, i'r perwyl hwn; *Mi a welwn yn fy ngweledigaeth y nos*—sef yn ei freuddwyd; *ac wele bedwar gwynt y nefoedd yn ymryson ar y môr mawr*—sef Môr-y-canoldir, yr hwn a elwir yn *fawr*, mewn cymhariaeth i fôr Galilea a'r môr marw. 'Y mae y breuddwyd hwn,' ebai *Clarke*, 'yr un mewn ystyr, dan wahanol *arwydd-luniau*, a breuddwyd Nebuchodonosor am y ddelw fettelaidd, ond fod yn mreuddwyd Daniel lawer o amgylchiadau yn cael eu chwanegu. Meddylir i Daniel gael y breuddwyd hwn yn mhen oddeutu 48 mlynedd ar ol i Nebuchodonosor weled y ddelw fawr.'

Adn. 3. *A phedwar bwystfil mawr a ddaethant i fyny o'r môr*] Yn arwyddo y pedair amherodraeth a godent yn olynol yn y byd, yn tarddu oddiwrth *ryfeloedd* a *chwyldroadau*, y rhai a osodir allan yn fynych trwy fôr neu ddyfroedd cynhyrfus; *yn amryw y naill oddiwrth y llall*—yn eu cyfreithiau, eu defodau, a'u dulliau.

Adn. 4. *Y cyntaf oedd fel llew*] Cryf, eofn, a chreulon, yn arddangos yr amherodraeth BABILONAIDD, yr hon a osodid allan trwy y 'pen aur' yn mreuddwyd Nebuchodonosor, pen. ii. 32, 37; *ac iddo adenydd eryr*—yn dynodi eangder a chyflymdra ei fuddugoliaethau. *Edrychais hyd oni thynwyd ei adenydd*—oddiwrth ei gorff, i attal iddo ddwyn yn mlaen ei fuddugoliaethau; *a'i gyfodi oddiwrth y ddaear*—hyny yw, i attal iddo gyfodi neu ehedeg; neu, 'trwy y rhai yr ymgyfodasai;' neu, 'ei gyfodi trwy ryw foddau ereill amgen na'i adenydd.' *A sefyll o hono ar ei draed fel dyn*—ac nid ar ei adenydd fel eryr; neu ynte, ei amddifadu o'i nerth a'i wroldeb llewaidd, a'i ddarostwng i gyflwr dyn egwan. *A rhoddi iddo galon dyn*—sef tueddiadau mwy rhesymol, a llai anifeilaidd.

Adn. 5. *Ac wele anifel arall, yr ail, yn debyg i arth*] Sef yr amherodraeth BERSIAIDD, yr hon a osodid allan trwy y 'ddwyfron a'r breichiau arian' yn mreuddwyd Nebuchodonosor, pen. ii. 32, 39; a'r hon, er ei bod yn wanach na'r llall, eto, fel *arth*, oedd yn dra chreulon, rheibus, a sychedig am waed. *Ac efe a ymgyfododd ar y naill ystlys*—tybia rhai fod yr 'ystlys' yma yn cyfeirio at y parth hwnw o'r byd o ba un y daethai y Persiaid; a thybia ereill fod yr 'ymgyfodiad' hwn yn cyfeirio at ddyrchafiad y Persiaid uwchlaw y Mediaid a'r Babiloniaid; tra y tybia ereill fod yr ymadrodd 'ar y naill ystlys' yn cyfeirio at ymuniad y Mediaid a'r Persiaid yn un lywodraeth. *Ac yr oedd tair asen yn ei safn ef rhwng ei ddannedd*—fel pe buasai

en yn ei safn ef rhwng ei ddannedd :
ac fel hyn y dywedent wrtho, Cyfod,
bwyta gig lawer.
6 Wedi hyn yr edrychais, ac wele
un arall megys llewpard, ac iddo
bedair aden aderyn ar ei gefn: a
phedwar pen oedd i'r bwystfil ; a
rhoddwyd llywodraeth iddo.
7 Wedi hyn y gwelwn mewn
gweledigaethau nos, ac wele bed-
warydd bwystfil, ofnadwy, ac erch-
yll, a chryf ragorol ; ac iddo yr oedd
dannedd mawrion o haiarn: yr oedd
yn bwyta, ac yn dryllio, ac yn
sathru y gweddill dan ei draed:
hefyd *yr ydoedd* efe yn amryw oddi-
wrth y bwystfilod oll y rhai *a fuasai*
o'i flaen ef, ac *yr oedd* iddo ddeg o
gyrn.
8 Yr oeddwn yn ystyried y cyrn;
ac wele, cyfododd corn bychan arall
yn eu mysg hwy, a thynwyd o'r
gwraidd dri o'r cyrn cyntaf o'i flaen
ef: ac wele lygaid fel llygaid dyn
yn y corn hwnw, a genau yn traethu
mawrhydri.

---

newydd fod yn gwledda ar ryw ysglyfaeth a ddaliasai. Tybia rhai fod y 'tair asen' hyn yn dynodi y tair brenhiniaeth a ddarostyngwyd gan Cyrus, sef yr Aifft, Babilon, a Lydia ; a'u bod yn cael eu galw yn *asenau*, o herwydd i'r fuddugoliaeth arnynt fod yn gryfder mawr i'r amherodraeth Bersiaidd. *Ac fel hyn y dywedent wrtho*—y dywedai ei gadfridogion ; *Cyfod, bwyta gig lawer*—dos rhagot yn dy fuddugoliaethau gwaedlyd.

Adn. 6. *Wedi hyn yr edrychais, ac wele un arall megys llewpard*] Sef yr amherodraeth ROEGAIDD neu FACEDONAIDD, yr hon a ddarlunid yn mreuddwyd Nebuchodonosor trwy y 'bol a'r morddwydydd pres,' pen. ii. 32, 39. Dywedir fod y *llewpard* yn greadur hyf, bywiog, cyflym, cyfrwys, a chreulon ; ac felly yr oedd yn arwyddlun priodol o Alexander Fawr, sylfaenydd amherodraeth Groeg, a gorchfygwr y Persiaid. *Ac iddo bedair aden aderyn ar ei gefn*— yn arwyddo cyflymdra mawr ei fuddugoliaethau. *A phedwar pen oedd i'r bwystfil*—yn dynodi y pedair brenhiniaeth i'r rhai y rhenid yr amherodraeth hon ar ol marwolaeth Alexander ; pryd y byddai i *Cassander* lywodraethu ar Macedon a Groeg, *Lysimachus* ar Thrace a Bithynia, *Ptolemy* ar yr Aifft, a *Seleucus* ar Syria. *A rhoddwyd llywodraeth iddo* — trwy gyfryngiad dwyfol ; canys 'oni buasai fod rhagluniaeth Duw yn ei gynorthwyo,' fel y sylwa yr *Esgob Newton*, 'pa fodd y gallasai efe, gyda dim ond 30,000 o wŷr, orchfygu Darius gyda 600,000 o wŷr, a darostwng mewn cyn lleied o amser yr holl wledydd o dir Groeg hyd yr India?'

Adn. 7. *Wedi hyn y gwelwn mewn gweledigaethau nos*] Sef yn ei freuddwyd hwnw; *ac wele bedwarydd bwystfil*—yn gosod allan yr amherodraeth RUFEINAIDD ; *ofnadwy, ac erchyll, a chryf ragorol*—ac felly a gyffelybid i *haiarn* yn mreuddwyd Nebuchodonosor, pen. ii. 33, 40. *Ac iddo yr oedd dannedd mawrion o haiarn*—i rwygo a dryllio pob cenedl nad ymostyngai iddo yn y fan. *Yr oedd yn bwyta, ac yn dryllio, ac yn sathru y gweddill dan ei draed*—fel bwystfil rheibus yn dryllio ac yn sathru y gweddill o'r ysglyfaeth nad allai ei fwyta ar y pryd. *Hefyd yr ydoedd efe yn amryw*—yn amrywio oddiwrth y bwystfilod neu yr amherodraethau ereill, nid yn unig mewn iaith, ac yn ffurf ei lywodraeth, ond hefyd mewn gallu, mawredd, eangder, a pharhad ei lywodraeth. *Ac yr oedd iddo ddeg o gyrn*—yn cyfateb i nifer bysedd traed y ddelw a welsai Nebuchodonosor, pen. ii. 41 ; ac yn arddangos y deg brenhiniaeth a gyfodent o'r amherodraeth Rufeinaidd, adn. 24. Y mae *corn* yn arwyddlun cyffredin o nerth neu awdurdod, ac felly yn gosod allan benaduriaeth neu lywodraeth. Tybia *Calmet* mai deg brenin olynol *Syria* a olygir yma; ond y dyb fwyaf cyffredin yw, eu bod yn golygu deg brenhiniaeth *wahanol*. Y mae yr *Esgob Newton* yn rhoddi amrai restrau gwahanol o honynt, un gan *Machiavel*, un arall gan *Mede*, un arall gan yr *Esgob Lloyd*, ac un arall gan *Syr I. Newton;* ac yna yn chwanegu rhestr arall, wedi ei dethol ganddo ei hun o'r lleill : (1) Senedd Rhufain ; (2) Y Groegiaid yn Ravenna; (3) Y Lombardiaid ; (4) Yr Hungariaid ; (5) Yr Almaeniaid ; (6) Y Ffrancod ; (7) Y Burgundiaid ; (8) Y Gothiaid neu yr Hispaeniaid ; (9) Y Brythoniaid ; (10) A'r Saxoniaid. Dyry *Bickersteth* restr arall o'r gwledydd yma, fel hyn : Ravenna, Lombardy, Rhufain, Naples, Sardinia, Ffrainc, Awstria, Hispaen, Portugal, Prydain. Nid ydym i feddwl eu bod yn *ddeg* brenhiniaeth yn wastadol ; canys yr oeddynt weithiau yn fwy, ac weithiau yn llai: ond, fel y sylwa Syr Isaac Newton, 'pa faint bynag oedd eu nifer wedi hyn, gelwir hwynt fyth yn *ddeg* brenhiniaeth, oddiwrth eu nifer cyntaf.'

Adn. 8. *Yr oeddwn yn ystyried y cyrn*] Neu yn sylwi yn fanwl arnynt yn fy ngweledigaeth ; *ac wele, cyfododd corn bychan arall yn eu mysg hwy*—tybia rhai fod hwn yn golygu yr amherodraeth *Dyrcaidd*, neu ynte *Antiochus Epiphanes;* ond y dyb gyffredin, a'r debycaf i fod yn iawn, yw, ei fod yn arddangos y *gallu pabaidd;* ac yn y goleuni hwn yr edrychwn arno yn y rhan ddilynol o'r bennod. *A thynwyd o'r gwraidd dri o'r cyrn cyntaf o'i flaen ef*—sef Ravenna, Lombardy, a Rhufain, fel y tybir yn gyffredin. Darostyngwyd y taleithiau hyn yn yr wythfed canrif; ac y mae y llythyrau neu yr ordeiniadau a gyhoeddwyd gan y pab wedi yr amser hwnw, yn cael eu dyddio o flynyddoedd dechread llywodraeth *dymhorol* y pab, neu ei ddyrchafiad i'r orsedd babaidd ; ac y mae y pab, wrth wisgo ei goron driphlyg, yn ei ddang-

9 ¶ Edrychais hyd oni fwriwyd
i lawr y gorseddfeydd, a'r Hen Ddi-
henydd a eisteddodd: ei wisg *oedd*
cyn wyned a'r eira, a gwallt ei ben
fel gwlan pur; ei orseddfa yn fflam
dân, *a'i* olwynion *yn* dân poeth.
10 Afon danllyd oedd yn rhedeg,
ac yn dyfod allan oddi ger ei fron
ef: mil o filoedd a'i gwasanaethent,
a myrdd myrddiwn a safent ger ei
fron: y farn a eisteddodd, ac agor-
wyd y llyfrau.
11 Edrychais yna, o achos llais y
geiriau mawrion a draethodd y corn;
*ie*, edrychais hyd oni laddwyd y
bwystfil, a dyfetha ei gorff ef, a'i
roddi i'w losgi yn tân.
12 A'r rhan arall o'r bwystfilod,
eu llywodraeth a ddygpwyd ymaith;
a rhoddwyd iddynt einioes dros ys-
paid ac amser.
13 Mi a welwn mewn gweledig-
aethau nos, ac wele, megys Mab y
dyn oedd yn dyfod gyda chymylau
y nefoedd; ac at yr Hen Ddihenydd
y daeth, a hwy a'i dygasant ger ei
fron ef.
14 Ac efe a roddes iddo lywodr-

---

os ei hun fel yr un a fwriedir yma: gwel NEWTON a WINTLE. *Ac wele lygaid fel llygaid dyn yn y corn hwnw*—cyfeiria hyn at ofal, gwyliadwriaeth, a chyfrwysdra y pabau i ddal ar bob cyfle i chwanegu eu gallu a'u hawdurdod; *a genau yn traethu mawrhydri*—yn ymffrostio yn eu huwchafiaeth a'u hanffaeledigrwydd, a'u gallu i faddeu pechodau, &c. Gwel ar adn. 25, ac hefyd ar 2 Thes. ii. 9, 10, Dat. xiii. 5, 6.

Adn. 9. *Edrychais hyd oni fwriwyd i lawr y gorseddfeydd*] Tybia rhai mai y meddwl yw, hyd oni ddymchwelwyd y teyrnasoedd daearol uchod; ond y mae ereill yn ei gyfieithu, 'hyd oni *osodwyd* y gorseddfeydd;' hyny yw, hyd oni pharotowyd gorseddau i'r Barnwr a'i weinyddwyr eistedd arnynt. *A'r Hen Ddihenydd a eisteddodd*—ystyr y gair *dihenydd* yw un *heb hânu*, sef bôd diddechre, neu dragwyddol; a chyfeirir yma at Dduw Dad: gwel ar adn. 13 *Ei wisg oedd cyn wyned a'r eira*—i arwyddo ei gyfiawnder, ac uniondeb ei weinyddiadau; *a gwallt ei ben fel gwlan pur*—yn arddangos ei henafiaeth, ac, o ganlyniad, ei gyfaddasrwydd i'w swydd. *Ei orseddfa yn fflam dân*—yn arwyddo ei fawredd arswydus, neu doster ei farnedigaethau ar ei elynion ef a'i bobl; *a'i olwynion yn dân poeth*—dywed *Grotius* fod olwynion yn perthyn gynt i'r hen orseddfeinciau; a gall eu bod yma yn arwyddo amrywiol chwyldroadau dinystriol ei ragluniaeth: gwel ar Ezec. i. 15.

Adn. 10. *Afon danllyd oedd yn rhedeg, ac yn dyfod allan oddi ger ei fron ef*] Yn arwyddo ei ddialedd cyflym ac ofnadwy ar ei elynion. *Mil o filoedd a'i gwasanaethent*—sef mil o filoedd o angylion santaidd, fel ei osgorddlu ardderchog; *a myrdd myrddiwn a safent ger ei fron*—i gael eu barnu ganddo. *Y farn a eisteddodd*—ymddanghosai y Barnwr fel yn dechreu ar ei waith; *ac agorwyd y llyfrau*—sef llyfr *holiwybodaeth* Duw yn datguddio, llyfr *cyfiawnder* yn gofyn, llyfr *cydwybod* yn tystio, a llyfr *buchedd* pob un yn cyfateb: gwel ar Dat. xx. 12. Nid at y farn ddiweddaf y cyfeirir yma; canys y Mab, ac nid y Tad, fydd y Barnwr yno, Ioan v. 22: eithr cyfeirir yma yn unig at yr hyn sydd i ddisgyn ar y pedwarydd bwystfil a'r corn bychan, sef yr amherodraeth Rufeinaidd a'r gallu pabaidd, a hyny cyn i'r milflwyddiant ddechreu.

Adn. 11. *Edrychais yna*] Neu 'edrychais yn *ddyfal*,' fel y mae *Grotius* yn ei gyfieithu; *o achos llais y geiriau mawrion a draethodd y corn*—gwel ar adn. 8, 25; hyny yw, efe a edrychai yn graff, i weled pa fath ddedfryd a gyhoeddid ar y gallu ymffrostgar a chableddus hwn. *Ie, edrychais hyd oni laddwyd y bwystfil*—hyd oni lwyr ddiddymwyd yr unbenaeth Rufeinig a'r corn pabaidd; *a dyfetha ei gorff ef, a'i roddi i'w losgi yn tân*—yr hyn a arwydda ddinystr hollol ac anadferol. Pan gymerwyd y llywodraeth oddiar y bwystfilod ereill, ni ddyfethwyd eu *cyrff* hwy, eithr goddefwyd iddynt barhau i fodoli mewn rhyw ystyr wedi hyny; ond pan gymerid y llywodraeth oddiar y bwystfil hwn, byddai i'w *gorff* ef gael ei lwyr ddyfetha. Dylynwyd amherodraethau y bwystfilod cyntaf gan ereill yn olynol; ond ni fydd i un amherodraeth ddaearol o'r natur hyny ddylyn y pedwarydd bwystfil. Y llywodraeth gyffredinol nesaf fydd eiddo Brenin Seion yn ystod y milflwyddiant.

Adn. 12. *A'r rhan arall o'r bwystfilod*] Y tri a grybwyllwyd o flaen hwn, sef Caldea, Persia, a Groeg; *eu llywodraeth a ddygwyd ymaith*—i'w rhoddi i hwn, sef y pedwarydd: *a rhoddwyd iddynt einioes dros yspaid ac amser*—hyny yw, er colli eu llywodraeth, cawsant fodoli yn genhedloedd gwahanredol am yspaid maith, fel y gwna y Persiaid a'r Groegiaid hyd heddyw; ac y maent fyth yn dal rhyw fath o lywodraeth annibynol, er ei bod yn wahanol i'r hon a ddalient gynt. Ond pan lwyr ddyfethir y pedwarydd bwystfil, dyfethir y gweddillion o'u natur fwystfilaidd i hwythau; hyny yw, derfydd eu creulondeb a'u heilunaddoliaeth, a llyncir hwynt oll gan ysbryd yr efengyl, a gelwir hwynt yn wir Gristionogion.

Adn. 13. *Mi a welwn mewn gweledigaethau y nos*] Sef yn yr un breuddwyd ag a grybwyllwyd uchod, adn. 1, 7; *ac wele, megys Mab y dyn oedd yn dyfod gyda chymylau y nefoedd* — yn gyflym, ac mewn urddas a gogoniant mawr. Cyfeirir yma yn ddiamau at yr Arglwydd Iesu, yr hwn wedi hyny a gymerodd natur dyn i undeb â'i natur ddwyfol.

aeth, a gogoniant, a brenhiniaeth,
fel y byddai i'r holl bobloedd, cen-
hedloedd, a ieithoedd ei wasanaethu
ef: ei lywodraeth *sydd* lywodraeth
dragwyddol, yr hon nid â ymaith,
a'i frenhiniaeth ni ddyfethir.
15 ¶ Myfi Daniel a ymofidiais yn
fy ysbryd yn nghanol *fy* nghorff, a
gweledigaethau fy mhen a'm dy-
chrynasant.
16 Neseais at un o'r rhai a safent
gerllaw, a cheisiais ganddo y gwir-
ionedd am hyn oll. Ac efe a ddy-
wedodd i mi, ac a wnaeth i mi wy-
bod deongliad y pethau.
17 Y bwystfilod mawrion hyn, y
rhai sydd bedwar, *ydynt* bedwar
brenin, *y rhai* a gyfodant o'r ddaear.
18 Eithr saint y Goruchaf a dder-
byniant y frenhiniaeth, ac a fedd-
iannant y frenhiniaeth hyd byth, a
hyd byth bythoedd.
19 Yna yr ewyllysiais wybod y
gwirionedd am y pedwarydd bwyst-
fil, yr hwn oedd yn amrywio oddi-
wrthynt oll, yn ofnadwy iawn, a'i
ddannedd o haiarn, a'i ewinedd o
bres; yn bwyta, ac yn dryllio, ac
yn sathru y gweddill â'i draed:
20 Ac am y deg corn *oedd* ar ei
ben ef, a'r llall yr hwn a gyfodasai,
ac y syrthiasai tri o'i flaen; sef y
corn *yr oedd* llygaid iddo, a genau
yn traethu mawrhydri, a'r olwg

---

Addefa yr Iuddewon eu hunain mai y Messia a feddylir yma wrth 'Fab y dyn;' ac y mae ein Harglwydd, i'r dyben i brofi mai efe oedd y Messia, yn cymhwyso y geiriau hyn ato ei hun o flaen yr archoffeiriad, Mat. xxvi. 64. *Ac at yr Hen Ddihenydd y daeth*—i dderbyn llywodraeth a gogoniant oddiar ei law ef, Jer. xxx. 21: *a hwy a'i dygasant ger ei fron ef*—hyny yw, dygwyd ef i wyddfod yr Hen Ddihenydd gan ei osgorddlu angylaidd, adn. 9, 10.

Adn. 14. *Ac efe a roddes iddo lywodraeth, a gogoniant, a brenhiniaeth*] Cyfeirir yma nid at ddyrchafiad Crist fel Cyfryngwr ar ddeheulaw ei Dad, canys y mae efe yn dal yr anrhydedd hwnw eisioes, Mat. xxviii. 18; ond at yr hyn a gymer le ar ddinystr Anghrist, pan y dyry efe ei allu mawr mewn gweithrediad, ac y teyrnasa fel Brenin ei eglwys dros yr holl ddaear. *Fel y byddai i'r holl bobloedd, cenhedloedd, a ieithoedd ei wasanaethu ef*—fel Brenin ysbrydol ei bobl. *Ei lywodraeth sydd lywodraeth dragwyddol, yr hon nid â ymaith*—yr hon ni throsglwyddir i un olynydd ar ei ol; *a'i frenhiniaeth ni ddyfethir*—gan un gelyn a ddichon godi i'w erbyn: gwel ar pen. ii. 44.

Adn. 15. *Myfi Daniel a ymofidiais yn fy ysbryd*] Yn yr olwg ar y cyfnewidiadau mawrion a rhyfedd a ddanghosid i mi yn fy mreuddwyd; *yn nghanol fy nghorff*—ymadrodd yn arwyddo fod y proffwyd yn ystyried fod ei ysbryd yn rhywbeth gwahanol i'w gorff, ac yn gallu meddwl a theimlo pan yr oedd synwyrau ei gorff wedi eu cloi i fyny gan gwsg. Y *Galdeacg* yw, 'yn nghanol *ei wain;*' canys gwain yr ysbryd yw y corff, yr hwn sydd yn wahanol iddo, fel y mae y wain yn wahanol i'r cleddyf a fyddo ynddi. *A gweledigaethau fy mhen a'm dychrynasant*—tra yr oeddwn eto yn cysgu.

Adn. 16. *Neseais at un o'r rhai a safent gerllaw*] Sef at un o'r angylion a safent yno fel gosgorddlu i'r Barnwr, adn. 10; *a cheisiais ganddo y gwirionedd am hyn oll*—neu eglurhad manwl o'r cwbl. *Ac efe a ddywedodd i mi*—a roddodd i mi ddeongliad neu ystyr yr oll, fel yr adroddir isod.

Adn. 17. *Y bwystfilod mawrion hyn*] Gwel ar adn. 3—7; *ydynt bedwar brenin*—neu bedair brenhiniaeth neu amherodraeth, fel y nodwyd eisioes; *y rhai a gyfodant o'r ddaear*—y rhai sydd ddaearol neu dymhorol yn eu natur, ac felly yn wahanol i frenhiniaeth ysbrydol Crist.

Adn. 18. *Eithr saint y Goruchaf a dderbyniant y frenhiniaeth*] Neu lywodraeth gyffredinol dros holl achosion y ddaear, adn. 22; neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, cânt fod yn gyfranogion o deyrnas gras ar y ddaear, ac yn etifeddion o deyrnas gogoniant byth yn y nef, Dat. i. 6, a xx. 4: *hyd byth*—hyd ddiwedd amser; *a hyd byth bythoedd*—yn dragwyddol yn y nef. Ond yn lle 'saint y Goruchaf,' y mae rhai yn deall y wreiddiol fel yn arwyddo 'y saint *uwchaf,*' neu 'y saint *penaf;*' am fod Cristionogaeth yn dyrchafu dynion yn uwch mewn cyfiawnder a santeiddrwydd na dim a fwynheid dan y goruchwyliaethau patriarchaidd a Moesenaidd.

Adn. 19. *Yna yr ewyllysiais wybod y gwirionedd am y pedwarydd bwystfil*] Sef yr hyn a arwyddai efe, neu a fwriedid wrtho; *yr hwn oedd yn amrywio oddiwrthynt oll*—yn fwy ofnadwy a dinystriol na'r tri bwystfil arall: gwel ar adn. 7. Yr oedd efe wedi cael boddlonrwydd i'w feddwl am y tri ereill; ond trwy fod hwn yn amrywio gymaint oddiwrth y lleill, ac mor greulon a dinystriol yn ei natur, efe a ewyllysiai gael eglurhad manwl ar hwn yn anad un, yr hwn a'i dychrynasai ac a'i gofidiasai ef fwyaf. *A'i ewinedd o bres*—ni chrybwyllir y rhai hyn yn y dysgrifiad a roddir o hono yn adn. 7; a thybia *Houbigant* fod y frawddeg hon wedi ei cholli o'r testyn. Modd bynag, nid oes un o'r hen gyfieithiadau yn ei chydnabod yn adn. 7.

Adn. 20. *Ac am y deg corn oedd ar ei ben ef*] Yr oedd Daniel yn awyddus iawn am gael eglurhad ar y rhai hyn; *a'r llall yr hwn a gyfodasai*—sef y 'corn bychan,' yr hwn y syrthiasai tri o'r cyrn ereill o'i flaen: gwel ar

arno *oedd* yn arwach na'i gyfeillion.
21 Edrychais, a'r corn hwn a
wnaeth ryfel ar y saint, ac a fu
drech na hwynt.
22 Hyd oni ddaeth yr Hen Ddi-
henydd, a rhoddi barn i saint y
Goruchaf, a dyfod o'r amser y
meddiannai y saint y frenhiniaeth.
23 Fel hyn y dywedodd efe; Y
pedwarydd bwystfil fydd y bedwar-
edd frenhiniaeth ar y ddaear, yr hon
a fydd amryw oddiwrth yr holl
freniniaethau, ac a ddifa yr holl
ddaear, ac a'i sathr hi, ac a'i dryllia.
24 A'r deg corn o'r frenhiniaeth
hon *fydd* deg brenin *y rhai* a gyfod-
ant: ac un arall a gyfyd ar eu hol
hwynt, ac efe a amrywia oddiwrth y
rhai cyntaf, ac a ddarostwng dri
brenin.
25 Ac efe a draetha eiriau yn er-
byn y Goruchaf, ac a ddifa saint y
Goruchaf, ac a feddwl newidio am-
seroedd a chyfreithiau: a hwy a
roddir yn ei law ef, hyd amser ac
amseroedd a rhan amser.

---

adn. 8. *A'r olwg arno oedd yn arwach na'i gyfeillion*—neu, 'yr oedd yn edrych yn *fwy*,' fel yr arwydda y wreiddiol. Ar y cyntaf nid oedd efe ond corn *bychan;* ond o'r diwedd efe a gynyddodd yn gorn *mawr*, nes yr aeth yn *fwy* na'r cyrn ereill oll.

Adn. 21. *Edrychais*] Yr oeddwn yn parbau i edrych arno; *a'r corn hwn a wnaeth ryfel ar y saint*—y rhai a dybiant mai *Antiochus Epiphanes* a olygir wrth y 'corn bychan,' a feddyliant mai yr *Iuddewon* a olygir yma wrth y *saint;* a'r rhai a dybiant mai y *gallu pabaidd* a feddylir wrtho, a ystyriant y *rhyfel* hon fel yn cyfeirio at yr erledigaethau pabaidd, yn erbyn y Waldensiaid, yr Albigensiaid, a'r eglwys Brotestanaidd yn gyffredinol: gwel ar Dat. xiii. 7, a xvii. 6. *Ac a fu drech na hwynt*—am hir amser, trwy iddo lwyddo i ddyfetha miloedd lawer o hwynt.

Adn. 22. *Hyd oni ddaeth yr Hen Ddihenydd*] Gwel ar adn. 9; *a rhoddi barn i saint y Goruchaf*—sef gallu i farnu a llywodraethu eu prif elyn hwn; neu, hyd oni ddaeth yr Hen Ddihenydd i amddiffyn achos ei saint, ac i ddiwreiddio llywodraeth Anghrist oddiar y ddaear; *a dyfod o'r amser y meddiannai y saint y frenhiniaeth*—mewn undeb â Christ eu pen: gwel ar Mat. xix. 28, ac yn enwedig ar 1 Cor. vi. 2.

Adn. 23. *Fel hyn y dywedodd efe*] Mewn ffordd o eglurhad ar yr hyn a barasai y fath ofid a dychryn i'r proffwyd, adn. 19—22. *Y pedwarydd bwystfil fydd y bedwaredd frenhiniaeth ar y ddaear*—sef yr amherodraeth Rufeinaidd, fel y nodwyd uchod, adn. 7; *yr hon a fydd amryw oddiwrth yr holl freniniaethau*—sef yn amrywio oddiwrth y tair amherodraeth flaenorol, nid yn unig yn ffurf ei llywodraeth, ond hefyd yn ei chreulonderau, ac yn eangder ei difrodiadau trwy yr holl ddaear. Yr oedd y trallodau a ddaethant ar yr Iuddewon a'u gwlad trwy y Rhufeiniaid, yn llawer mwy na'r rhai a ddaethai arnynt trwy law y Caldeaid, y Persiaid, a'r Groegiaid.

Adn. 24. *A'r deg corn o'r frenhiniaeth hon fydd deg brenin*] Gwel ar adn. 7. *Ac un arall a gyfyd ar eu hol hwynt*—sef y 'corn bychan,' yn arddangos y *gallu pabaidd*, fel y tybia yr holl esbonwyr Protestanaidd; *ac efe a amrywia oddiwrth y rhai cyntaf*—trwy ei fod yn y dechre yn allu ysbrydol neu eglwysig, ac wedi hyny yn allu tymhorol neu wladol; *ac a ddarostwng dri brenin*—fel y nodwyd ar adn. 8. Y mae y LXX yn darllen diwedd yr adnod hon fel hyn: 'Ac efe a ragora mewn *drygau* ar y rhai a fuont o'i flaen ef, ac a ddarostwng dri brenin.'

Adn. 25. *Ac efe a draetha eiriau*] Saes., 'geiriau mawrion,' neu 'fawrhydri,' adn. 8: *yn erbyn y Goruchaf*—'gan ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn Dduw, neu a addolir; hyd onid yw efe, megys Duw, yn eistedd yn nheml Duw, ac yn ei ddangos ei hun mai Duw ydyw,' 2 Thes. ii. 4. Nid yw y dysgrifiad hwn mor briodol i neb ag i *babau* Rhufain, y rhai a hònant anffaeledigrwydd, ac a broffesant eu bod yn gallu maddeu pechodau, ac agor a chau y nef, yr hyn a berthyn i Dduw yn unig. *Ac a difa saint y Goruchaf*—trwy eu merthyru wrth y miloedd: gwel ar adn. 21. *Ac a feddwl newidio amseroedd a chyfreithiau*—trwy benodi gŵyliau arbenig ar amseroedd neillduol yn ol ei fympwy ei hun, a cheisio newid cyfreithiau Duw a dynion am rai lawer yn waeth: ïe, fel y sylwa yr *Esgob Newton*, 'efe a sefydla ddulliau newyddion o addoliad, a esyd erthyglau newyddion o ffydd, a orchymyna reolau newyddion o ymarferiad, ac a newidia wrth ei ewyllys gyfreithiau Duw a dynion.' *A hwy a roddir yn ei law ef*—efe a gyrhaedda ei amcan hwn i raddau helaeth; *hyd amser ac amseroedd a rhan amser*—sef hyd *diwedd* y cyfnodau hyny. Meddylir yn gyffredin fod *amser* yma yn arwyddo 'blwyddyn;' *amseroedd*, 'dwy flynedd;' a *rhan amser*, 'hanner blwyddyn;' yr hyn a wna yn y cwbl *dair blynedd a hanner*, yn cyfateb i'r 'ddau fis a deugain' yn llyfr y Datguddiad, neu 'fil a deucant a thriugain o ddyddiau,' Dat. xi. 2, 3, a chyfrif pob mis yn 30 o ddyddiau, fel y gwnai yr Iuddewon. Y mae *diwrnod*, mewn iaith broffwydol, yn sefyll yn gyffredin am *flwyddyn*, Ezec. iv. 5, 6, Dan. ix. 24; ac felly y mae y 1260 o ddyddiau hyn, yn ol fel y tybir yn gyffredin, yn sefyll am 1260 o flynyddau. Pe gallem benderfynu pa bryd y *dechreuodd* y blynyddau hyn, yna gallem benderfynu hefyd pa bryd y *terfyna* gallu gormesol y pab. Y mae rhai yn gosod dechread y blynyddau hyn yn O. C. 606, pryd y gwnaed esgob Rhufain, trwy orchymyn *Phocas*, yn ben-esgob cyffredinol yr eglwys: os felly, hwy a derfynant y flwyddyn nesaf, sef yn 1866. Y mae ereill yn ei osod yn O. C.

26 Yna yr eistedd y farn, a'i llywodraeth a ddygant, i'w dyfetha ac i'w dystrywio hyd y diwedd.
27 A'r frenhiniaeth a'r llywodraeth, a mawredd y frenhiniaeth dan yr holl nefoedd, a roddir i bobl saint y Goruchaf, yr hwn y mae ei frenhiniaeth *yn* frenhiniaeth dragwyddol, a phob llywodraeth a wasanaethant ac a ufyddhant iddo.
28 Hyd yma *y mae* diwedd y peth. Fy meddyliau i Daniel a'm dychrynodd yn ddirfawr, a'm gwedd a newidiodd ynof; eithr mi a gedwais y peth yn fy nghalon.

## PENNOD VIII.

YN y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Belsassar y brenin, yr ymddanghosodd i mi weledigaeth, *sef i* myfi Daniel, wedi *yr hon* a ymddangosasai i mi ar y cyntaf.
2 Gwelais hefyd mewn gweledigaeth; (a bu pan welais, mai yn Susan y brenhinllys, yr hwn *sydd* o fewn talaeth Elam, *yr oeddwn* i,) ïe, gwelais mewn gweledigaeth, ac yr oeddwn i wrth afon Ulai.
3 Yna y cyfodais fy llygaid, ac a welais, ac wele ryw hwrdd yn sefyll

---

755, pryd y sefydlwyd y pab, gan *Pepin* brenin Ffrainc, yn dywysog gwladol: os felly, hwy a derfynant yn y flwyddyn 2015, sef yn mhen 150 o flynyddoedd o'r amser presenol (1865). Ond y mae yn well i ni beidio penderfynu yr amser hyd nes y delo y broffwydoliaeth i ben; ac yna gallwn wybod yn sicrach pa bryd y dechreuodd y tair blynedd a hanner hyn: gwel ar Dat. xi. 2, 3, a xii. 6, a xiii. 5—7.

Adn. 26. *Yna yr eistedd y farn*] Bydd i Dduw eistedd mewn barn, fel pe byddai, ar y gallu pabaidd gormesol ac erledigaethus hwn; *a'i lywodraeth a ddygant*—yn gwbl oddiarno; *i'w dyfetha ac i'w dystrywio hyd y diwedd* —nes rhoddi diwedd ar ei lywodraeth a'i fodaeth am byth, adn. 10, 11.

Adn. 27. *A'r frenhiniaeth a'r llywodraeth &c*] Gwel ar adn. 14, 18, 22. Y meddwl yw, y bydd i deyrnas ysbrydol Crist ymddyrchafu mewn gallu a gogoniant yn mhob rhan o'r ddaear, ac y bydd i wir grefydd ffynu yn gyffredinol dan nawdd ac amddiffyniad brenhinoedd Cristionogol, ar ol i deyrnas y bwystfil gael ei difodi. *A phob llywodraeth a wasanaethant*—Grist, yr hwn yw Brenin y brenhinoedd; *ac a ufyddhant iddo*—o'r galon yn mhob peth. Y pryd hyny bydd brenhinoedd y ddaear yn dadmaethod yn yr eglwys Gristionogol, a'u brenhinesau yn fammaethod i grefydd a chrefyddwyr; a gofalant am les tymhorol ac ysbrydol eu deiliaid, fel y gofala rhieni am les eu plant: gwel ar Esay xlix. 23.

Adn. 28. *Hyd yma y mae diwedd y peth*] Dyma ddiwedd y breuddwyd, neu sylwedd yr hyn a welodd ac a glywodd y proffwyd yn ei freuddwyd. *Fy meddyliau i Daniel a'm dychrynodd yn ddirfawr*—cyn i mi gael eglurhad yr angel ar y cwbl; *a'm gwedd a newidiodd ynof*—wrth feddwl fod y fath drallodau blin i gyfarfod â phobl yr Arglwydd dros gymaint o amser. *Eithr mi a gedwais y peth yn fy ngha'on*—heb ei ddywedyd wrth neb, nes i mi ei ysgrifenu yn fy llyfr, adn. 1.

PEN. VIII. Adn. 1. *Yn y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Belsassar*] Sef yn mhen dwy flynedd ar ol y weledigaeth yn y bennod ddiweddaf: gwel ar pen. vii. 1. Gorphenwyd y rhan *Galdeig* o'r llyfr hwn gyda'r bennod ddiweddaf, ac ysgrifenwyd yr oll oddiyma hyd ddiwedd y llyfr yn yr *Hebraeg*: gwel ar pen. ii. 4. *Yr ymddanghosodd i mi weledigaeth*—nid yn ei gwsg, fel yn y bennod o'r blaen, ond pan yn effro, fel y casgla rhai oddiwrth adn. 17, 18.

Adn. 2. *A bu pan welais*] Y weledigaeth hon, *mai yn Susan y brenhinllys*—yr oeddwn; *yr hwn sydd o fewn talaeth Elam*—Susan, neu Susa, ydoedd brifddinas *Elam*, lle y preswyliai brenhinoedd Persia yn ystod yr haf; ac ymddengys ei bod y pryd hyn yn meddiant y Babiloniaid, trwy i Nebuchodonosor ei chymeryd oddiar Astyages brenin Media, Jer. xlix. 34. Y mae fod Daniel yn awr yn y *brenhinllys* yn awgrymiad ei fod ef, yn nechre teyrnasiad Belsassar, yn dal y swydd a roddwyd iddo gan Nebuchodonosor; er iddo wedi hyny, fel yr ymddengys, ei cholli hi: gwel ar adn. 27, a pen. v. 10, 11. Ond tybia rhai mai yn *weledigaethol* yn unig yr oedd Daniel yn y brenhinllys, ac nid yn *bersonol*, yr un modd ag yr oedd Ezeciel yn Jerusalem, Ezec. viii. 3. *Ac yr oeddwn i wrth afon Ulai*—yr oedd yr afon hon yn rhedeg heibio i Susan, ac yn ymarllwys i unol ffrwd y Tigris a'r Euphrates, cyn iddi gyraedd i'r Forgainc Bersiaidd. Gelwir hi gan Pliny *Eulæus*, a chan yr ysgrifenwyr Groeg yn gyffredinol *Choaspes*; ac adwaenir hi yn awr wrth yr enw *Kerah* neu *Karasu*. Dywedir fod ei dyfroedd yn beraidd iawn, ac nad yfai brenhinoedd Persia ddim ond hwy.

Adn. 3. *Ac wele ryw hwrdd yn sefyll wrth yr afon, â deugorn iddo*] Yn arwyddlun o frenhinoedd Media a Phersia, adn. 20; *a'r ddau gorn oedd uchel*—yn arwydd o nerth mawr; *ac un yn uwch na'r llall*—sef Persia, yr hwn a gyfodasai ar ol Media. Nid yw y ddau gorn hyn yn arwyddo dwy deyrnas ar wahan, ond cyd-lywodraeth y Mediaid a'r Persiaid, yn gwneyd i fyny un amherodraeth fawr. Yr oedd *hwrdd* yn arwyddlun priodol o'r Persiaid; canys arferai eu brenhinoedd hwy wisgo coron ar lun pen hwrdd, wedi ei gwneuthur o aur, a'i haddurno â meini gwerthfawr; ar ba un yr oedd dau gorn, a'r naill yn hirach na'r llall, fel y gwelir ar golofnau adfeilion *Persepolis*.

wrth yr afon, a deugorn iddo: a'r ddau gorn *oedd* uchel, ac un yn uwch na'r llall; a'r uchaf a gyfodasai yn olaf.

4 Gwelwn yr hwrdd yn cornio tua'r gorllewin, tua'r gogledd, a thua'r deau, fel na safai un bwystfil o'i flaen ef, ac nid *oedd* a achubai o'i law ef; ond efe a wnaeth yn ol ei ewyllys ei hun, ac a aeth yn fawr.

5 Ac fel yr oeddwn yn ystyried, wele hefyd fwch geifr yn dyfod o'r gorllewin, ar hyd wyneb yr holl ddaear, ac heb gyffwrdd â'r ddaear; ac i'r bwch *yr oedd* corn hynod rhwng ei lygaid.

6 Ac efe a ddaeth hyd at yr hwrdd deugorn a welswn i yn sefyll wrth yr afon, ac efe a redodd ato ef yn angerdd ei nerth.

7 Gwelais ef hefyd yn dyfod hyd at yr hwrdd, ac efe a fu chwerw wrtho, ac a darawodd yr hwrdd, ac a dorodd ei ddau gorn ef, ac nid oedd nerth yn yr hwrdd i sefyll o'i flaen ef, eithr efe a'i bwriodd ef i lawr, ac a'i sathrodd ef; ac nid oedd a allai achub yr hwrdd o'i law ef.

8 Am hyny y bwch geifr a aeth yn fawr iawn; ac wedi ei gryfhau, torodd y corn mawr: a chododd pedwar o rai hynod yn ei le ef, tua phedwar gwynt y nefoedd.

9 Ac o un o honynt y daeth allan gorn bychan, ac a dyfodd yn rhagorol, tua'r deau, a thua'r dwyrain, a thua'r hyfryd *wlad.*

---

Adn. 4. *Gwelwn yr hwrdd yn cornio tua'r gorllewin*] Gan ddarostwng Babilonia, Mesopotamia, Syria, Asia Leiaf, a thir Groeg, y rhai a orweddent i'r gorllewin o Media a Phersia; *tua'r gogledd*—gan ddarostwng y Lydiaid, yr Iberiaid, yr Armeniaid, y Cappadociaid, a'r cenhedloedd cymydogaethol; *a thua'r deau*—gan orchfygu Palestina, Arabia, yr Aifft, ac Ethiopia. Ni chrybwyllir y *dwyrain* yma, am nad oedd buddugoliaethau y Mediaid a'r Persiaid yn ymestyn ar y cyntaf y ffordd hòno; eithr wedi hyny darostyngwyd *India* hefyd. *Efe a wnaeth yn ol ei ewyllys ei hun*—yn mhob dim, heb i neb allu ei wrthsefyll; *ac a aeth yn fawr*—y frenhiniaeth fwyaf ar yr holl ddaear y pryd hyny.

Adn. 5. *Wele hefyd fwch geifr yn dyfod o'r gorllewin*] Sef brenin Groeg, adn. 21. Yr oedd *gafr* yn arwyddlun tra phriodol o'r Groegiaid neu y Macedoniaid, nid yn unig am fod y wlad hòno yn llawn o eifr, ond hefyd am fod llun gafr ar eu batheiniau a'u banerau. Oddeutu 200 o flynyddau cyn amser Daniel, gelwid eu dinas Edessa yn *Ægæ* neu *Ægea*, 'tref y geifr;' a'r bobl yn *Ægeadæ*, 'pobl y geifr.' *Ar hyd wyneb yr holl ddaear*—sef y tri pharth o'r byd ag oedd yn adnabyddus y pryd hyny. *Ac heb gyffwrdd â'r ddaear*—yr oedd cyflymdra ei ddyfodiad buddugol mor fawr, nes yr oedd yn ymddangos fel yn *ehedeg* o'r naill fuddugoliaeth i'r llall. *Ac i'r bwch yr oedd corn hynod rhwng ei lygaid*—sef brenin neu frenhiniaeth gyntaf y Groegiaid yn Asia, adn. 21, yr hon a sylfaenwyd gan Alexander Fawr, ac a barhawyd dros rai blynyddau ar ei ol ef gan ei frawd Philip, a'i ddau fab Alexander Ægus a Hercules.

Adn. 6. *Ac efe a ddaeth hyd at yr hwrdd deugorn a welswn i yn sefyll wrth yr afon*] Sef yn erbyn amherodraeth y Mediaid a'r Persiaid, adn. 3; *ac efe a redodd ato ef yn angerdd ei nerth*—cyfeirir yma at fyddin Alexander yn nofio dros yr afon *Granicus* yn Phrygia, i fyned i ymladd â byddin Darius yr hon oedd yn gwylio y tu arall iddi, ac yn ymosod arnynt gyda'r ffyrnigrwydd a'r creulondeb mwyaf gwaedlyd.

Adn. 7. *Gwelais ef hefyd yn dyfod hyd at yr hwrdd*] Drachefn wrth gyfyngfor *Issus* yn Cilicia, ac wedi hyny yn ngwastadedd *Arbela* yn Assyria; *ac efe a fu chwerw wrtho*—wrth adgofio y creulonderau a arferasai y Persiaid tuag at y Groegiaid cyn hyny: *ac a darawodd yr hwrdd, ac a dorodd ei ddau gorn ef*—hyny yw, efe a ddarostyngodd amherodraeth Media a Phersia: *ac nid oedd nerth yn yr hwrdd i sefyll o'i flaen ef*—er fod ei fyddin yn llawer lluosocach na byddin y bwch; *eithr efe a'i bwriodd ef i lawr, ac a'i sathrodd ef*—heb i neb allu ei achub o'i law ef. Y mae hyn yn hynod, wrth ystyried fod byddin brenin Persia yn mrwydr *Issus* yn 600,000 o wŷr, ac yn mrwydr *Arbela* uwchlaw 1,000,000; tra nad oedd byddin Alexander yn y naill na'r llall ddim uwchlaw 47,000!

Adn. 8. *Am hyny y bwch geifr a aeth yn fawr iawn*] Sef yr amherodraeth Roegaidd; gwel ar pen. ii. 39: *ac wedi ei gryfhau*—felly, *torodd y corn mawr*—trwy i Alexander farw pan oddeutu 32 mlwydd oed; a'i frawd a'i feibion, y rhai a'i dylynasant ef ar yr orsedd, a laddwyd o fewn yspaid pymtheg mlynedd ar ol ei farwolaeth ef. *A chododd pedwar o rai hynod yn ei le ef*—hyny yw, yn fuan ar ol marwolaeth Alexander rhanwyd yr amherodraeth yn bedair brenhiniaeth, fel y nodwyd ar pen. vii. 6; *tua phedwar gwynt y nefoedd*—cafodd *Cassander* y parthau *gorllewinol*, a *Lysimachus* y parthau *gogleddol*, a *Ptolemy* y parthau *deheuol*, a *Seleucus* y parthau *dwyreiniol:* gwel ar pen. vii. 6.

Adn. 9. *Ac o un o honynt*] Sef o *Seleucus*, un o'r pedwar corn hynod a grybwyllwyd yn adn. 8; *y daeth allan gorn bychan*—sef 'Antiochus Epiphanes,' fel y chwanegir yma yn y *Syriaeg*, ac fel y tybir yn fwyaf cyffredin; *ac a dyfodd yn rhagorol*—yn fawr ac yn gyflym iawn; *tua'r deau*—sef tua'r Aifft, o

10 Aeth yn fawr hefyd hyd lu y
nefoedd, a bwriodd i lawr *rai* o'r
llu, ac o'r ser, ac a'u sathrodd
hwynt.
11 Ymfawrygodd hefyd hyd at
dywysog y llu, a dygwyd ymaith
yr *offrwm* gwastadol oddiarno ef, a
bwriwyd ymaith le ei gysegr ef.
12 A rhoddwyd iddo lu yn erbyn
yr *offrwm* beunyddiol o herwydd
camwedd, ac efe a fwriodd y gwir-
ionedd i lawr; felly y gwnaeth ac
y llwyddodd.
13 ¶ Yna y clywais ryw sant yn
llefaru, a dywedodd rhyw sant arall
wrth y rhyw *sant* hwnw oedd yn
llefaru, Pa hyd *y bydd* y weledig-
aeth *am* yr *offrwm* gwastadol, a
chamwedd anrhaith, i roddi y cy-
segr a'r llu yn sathrfa?
14 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Hyd ddwy fil a thri chant o ddiwr-

---

du y dean i Syria, lle yr aethai Antiochus, ac y cymerodd lawer o ddinasoedd; *a thua'r dwyrain*—lle y gorchfygodd efe Armenia, Persia, a'r gwledydd tuhwnt i'r Euphrates; *a thua'r hyfryd wlad*—sef gwlad Canaan, yr hon a elwir yn *hyfryd*, nid yn unig am ei bod yn 'llifeirio o laeth a mêl,' ond hefyd am ddarfod i Dduw ei dewis yn breswylfod iddo ei hun a'i bobl. Y mae tair o wahanol farnau o berthynas i'r CORN BYCHAN hwn, pob un o ba rai a amddiffynir yn alluog gan eu gwahanol bleidwyr. (1) Tybia rhai ei fod yn arwyddo y LLYWODRAETH RUFEINIG fel gallu gwladol; ac yn mhlith pleidwyr y dyb hon gallwn enwi yr *Esgob Newton*, *Syr Isaac Newton*, *Hales*, *Zouch*, *Horne*, *Clarke*, *Sutcliffe*, *&c.* (2) Tybia ereill mai MAHOMETANIAETH a olygir wrtho; ac yn mhlith pleidwyr y dyb hon cawn *Faber*, *Keith*, *Scott*, *&c.* (3) Tybia ereill mai ANTIOCHUS EPIPHANES a feddylir, yr hwn a ddisgynodd oddiwrth *Seleucus*, un o'r pedwar brenin a enwyd uchod; ac yn mhlith pleidwyr lluosog y golygiad hwn gallwn enwi *Cappellus*, *Lowth*, *Warburton*, *Brown*, *Hewlett*, *Gill*, *Poole*, *Henry*, *Barnes*, *Benson*, ac amrai ereill. Yr wyf yn addef fod llawer o bethau yn hanes y llywodraeth Rufeinig, yn gystal ag yn hanes Mahometaniaeth, y rhai y gellid eu cymhwyso yn ddigon priodol at yr hyn a ddywedir yma am y corn bychan; ond ymddengys i mi nad oes un o honynt yn cyfateb iddo yn mhob peth fel *Antiochus Epiphanes;* ac yn unol â'r golygiad hwn y ceisiwn egluro yr adnodau dylynol. Dealled y darllenydd fod y *corn bychan* hwn yn wahanol i'r un ag y soniwyd am dano yn y bennod flaenorol, sef y *gallu pabaidd:* gwel ar pen. vii. 8, 20, 24.

Adn. 10. *Aeth yn fawr hefyd hyd lu y nefoedd*] Bernir mai yr offeiriaid, a swyddogion ereill y cysegr, a feddylir yma wrth 'lu y nefoedd,' y rhai a wasanaethent Dduw yn y deml fel y gwna yr angylion yn y nefoedd; *a bwriodd i lawr rai o'r llu, ac o'r ser*—sef personau yn y swyddau a'r urddas uwchaf; *ac a'u sathrodd hwynt*—mewn llid a dirmyg. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn yr hyn a wnaeth Antiochus i'r Iuddewon: gwel ar 1 Mac. i. 10, &c., 2 Mac. viii. 2, &c.

Adn. 11. *Ymfawrygodd hefyd hyd at dywysog y llu*] Tybia *Grotius* ac ereill mai Onïas yr archoffeiriad a feddylir yma, yr hwn a ddiswyddwyd gan Antiochus, pryd y gosododd efe Jason annuwiol yn ei le ef, 2 Mac. iv. 7, &c.; eithr barna *Jerome* a *Theodoret* mai at Dduw ei hun y cyfeirir yma, neu at Grist, yr 'Offeiriad mawr ar dŷ Dduw,' Heb. x. 21. *A dygwyd ymaith yr offrwm gwastadol oddiarno ef*—diddymwyd neu attaliwyd yr aberth boreol a hwyrol am rai blynyddau; *a bwriwyd ymaith le ei gysegr ef*—attaliwyd y deml rhag bod yn lle cysegredig i wasanaeth Jehofa, a thröwyd hi yn deml i Jupiter Olympius, delw yr hwn a osododd Antiochus i fyny ynddi, gan halogi pob peth cysegredig ynddi â gwaed moch, 1 Mac. *i*. 21—64, 2 Mac. vi. 2, &c.

Adn. 12. *A rhoddwyd iddo lu yn erbyn yr offrwm beunyddiol*] Sef llu o *filwyr*, fel y dywed rhai, i attal i'r Iuddewon fyned yn mlaen â'u haberthau boreol a phrydnawnol; *o herwydd camwedd*—i gospi yr Iuddewon am eu camweddau. Ond wrth y *llu* yma y dealla ereill yr offeiriaid a'r Lefiaid; ac yn lle *yn erbyn*, darllenant *yn nghyd*, neu *ar yr un pryd;* ac felly yr ystyr yw, ddarfod i Dduw oddef i Antiochus gael awdurdod dros yr Iuddewon a'u haberthau *ar unwaith*, a gosod i fyny eilunaddoliaeth yn y deml, i'r dyben i'w cospi hwy am eu pechodau, fel y cawn hanes yn 1 Mac. i. 21—63. *Ac efe a fwriodd y gwirionedd i lawr*—sef 'llyfr y gyfraith,' yn gystal ag addoliad a gwasanaeth y gwir Dduw. *Felly y gwnaeth, ac y llwyddodd*—canys hwy 'a rwygasant lyfrau y gyfraith, ac a'u llosgasant â thân: a pha le bynag y ceid llyfr y cyfammod gyda neb, neu os cytunai neb â'r gyfraith, efe a leddid wrth orchymyn y brenin,' 1 Mac. i. 56, 57.

Adn. 13. *Yna y clywais ryw sant*] Neu ryw fôd santaidd, yr hwn nad oedd Daniel yn gwybod ei enw; *yn llefaru*—yn traethu ond odid ar yr anrhaith ofnadwy a ddygid yn mlaen gan Antiochus. *A dywedodd rhyw sant arall*—llai ei wybodaeth, *wrth y rhyw sant hwnw oedd yn llefaru*—yr hwn oedd yn gwybod mwy na'r llall am ddirgelion rhagluniaeth a chynghor Duw. Fe allai mai dau *angel* santaidd oedd y rhai hyn, er y tybia rhai mai Mab Duw ei hun oedd yr atebydd. *Pa hyd y bydd y weledigaeth am yr offrwm gwastadol? &c.*—hyny yw, pa hyd y bydd i'r hyn a arddanghosir trwy y weledigaeth *barhau*, sef diddymiad yr offrwm gwastadol, yr anrhaith camweddus yn y ddinas a'r deml, a mathriad y cysegr a phobl Dduw?

Adn. 14. *Ac efe a ddywedodd wrthyf*] Yma cyfeirir yr atebiad at Daniel, er mwyn

nodau: yna y purir y cysegr.
15 ¶ A phan welais i Daniel y
weledigaeth, a cheisio o honof y
deall, yna wele, safodd ger fy mron
megys rhith gŵr.
16 A chlywais lais dyn rhwng
*glanau* Ulai, ac efe a lefodd ac a
ddywedodd, Gabriel, gwna i hwn
ddeall y weledigaeth.
17 Ac efe a ddaeth yn agos i'r lle
y safwn; a phan ddaeth, mi a ddy-
chrynais, ac a syrthiais ar fy
wyneb: ac efe a ddywedodd wrthyf,
Deall, fab dyn; o herwydd y wel-
edigaeth *fydd* yn amser y diwedd.
18 A thra yr oedd efe yn llefaru
wrthyf, syrthiais mewn trymgwsg
i lawr ar fy wyneb: ac efe a gy-
ffyrddodd â mi, ac a'm cyfododd yn
fy sefyll.
19 Dywedodd hefyd, Wele fi yn
hysbysu i ti yr hyn a fydd yn niwedd
y digder; canys ar yr amser gosod-
edig *y bydd* y diwedd.
20 Yr hwrdd deugorn a welaist,
*yw* brenhinoedd Media a Phersia.

---

yr hwn a'i frodyr ond odid y rhoddwyd y gofyniad. *Hyd ddwy fil a thri chant o ddiwrnodau*—Hebr., 'hyd 2,300 o hwyrau a boreau.' *Yna y purir y cysegr*—oddiwrth yr halogedigaeth aflan hwn. Y mae yn debyg ein bod i ddeall yr 'hwyrau a'r boreau' hyn am ddiwrnodau *naturiol*, ac mai am hyny y gelwir hwynt yma yn 'hwyrau a boreau,' yn gyson â Gen. i. 5; ac felly gwnant ychydig dros *chwe blynedd*, yr hyn sydd yn cyfateb yn gywir i'r yspaid ag oedd rhwng dyfodiad cyntaf Antiochus i Judea yn 171 cyn Crist, a'r amser ag y darfu i Judas Maccabeus buro y deml yn 165. Dywed *Josephus* mai *tair* blynedd oedd yr amser ag y bu y cysegr yn sathrfa; ond dylem gofio fod y *chwe* blynedd uchod yn cynwys yr amser ag y bu Antiochus yn rhagbarotoi tuag at hyny, neu yn 'tyfu yn rhagorol,' fel y dywedir yn adn. 9. Ond dylid crybwyll fod ereill yn deall y diwrnodau hyn am *flynyddau*, gan gyfeirio yr hyn a ddywedir yma at yr *Anghrist*, o'r hwn yr oedd Antiochus yn gysgod digon priodol. 'Os bydd i ni ddyddio y blynyddau hyn o weledigaeth y bwch geifr, (neu ruthriad Alexander i Asia,) yr hyn oedd yn O. B. 3670, neu 334 cyn Crist,' fel y sylwa *Clarke*, 'bydd i 2,300 o flynyddau o'r pryd hyny gyraedd i O. C. 1966, yr hyn sydd yn lled agos i'r amser a nodwyd pen. vii. 25.' Ie, pe caniatäem fod y cyfnodau a grybwyllir yma, ac yn pen. vii. 25, a xii. 7, 11, 12, yn cyfeirio at yr un peth, ni ddanghosai hyny unrhyw annghysondeb, er fod rhif y dyddiau neu y blynyddoedd yn wahanol; canys ni wnai hyny ddim ond profi fod *dechread* y cyfnodau hyny yn cael ei osod mewn amserau gwahanol, neu fod y cyfrifiad yn cael ei wneuthur oddiwrth ryw bwynt gwahanol. Trwy fod ein terfynau yma yn rhy gyfyng i gynwys olrheiniad manwl o bethau fel hyn, rhaid i ni gyfeirio y darllenydd at weithiau *Prideaux*, *Newton*, ac ereill, y rhai a ysgrifenasant yn helaeth ar y pynciau hyn.

Adn. 15. *A phan welais i Daniel y weledigaeth*] Hynod hon; *a cheisio o honof y deall*—neu yr ystyr ag oedd iddi; *yna wele, safodd ger fy mron megys rhith gŵr*—yr hwn, fel y bernir yn gyffredin, oedd Mab Duw ei hun; ond ymddengys i mi yn debycach mai yr angel Gabriel ydoedd, yr hwn a enwir yn yr adnod nesaf.

Adn. 16. *A chlywais lais dyn*] Neu lais megys llais dyn, yr hwn mewn gwirionedd ydoedd lais Duw; *rhwng glanau Ulai*—sef rhwng y proffwyd a'r afon Ulai, adn. 2, neu yn llefaru o'r afon rhwng ei glanau hi. *Ac efe a lefodd ac a ddywedodd*—wrth yr hwn a ymddanghosai ar rith gŵr; *Gabriel, gwna i hwn ddeall y weledigaeth*—eglura hi iddo, fel y gallo ei deall. Ystyr yr enw *Gabriel* yw 'nerth Duw;' a chrybwyllir am dano eto yn pen. ix. 21, a Luc i. 19, 26.

Adn. 17. *Ac efe a ddaeth yn agos i'r lle y safwn*] Fel y gallai ymddyddan yn rhydd â mi: *a phan ddaeth*—yn agos ataf, ac y deallais nad *dyn* ydoedd; *mi a ddychrynais*—wrth yr olwg fawreddog a gogoneddus oedd arno; *ac a syrthiais ar fy wyneb*—nid i'w addoli ef, ond mewn arswyd ger ei fron. *Ac efe a ddywedodd wrthyf, Deall, fab dyn*—sylwa ar yr hyn a ddywedwyf, fel y gallot ei ddeall. *O herwydd y weledigaeth fydd yn amser y diwedd*—fydd gannoedd o flynyddau ar ol hyn, adn. 26; neu, fel y mae *Houbigant* yn ei gyfieithu, 'Bydd diwedd i'r weledigaeth yn yr amser priodol;' neu, y mae amser gosodedig wedi ei benodi i gyflawni y weledigaeth.

Adn. 18. *A thra yr oedd efe yn llefaru wrthyf, syrthiais mewn trymgwsg*] Neu mewn *llesmar*, fel y mae rhai yn ei ddarllen; *i lawr ar fy wyneb*—ar y ddaear: *ac efe a gyffyrddodd â mi, ac a'm cyfododd yn fy sefyll*—neu efe a'm dadebrodd, a daethym atat fy hun.

Adn. 19. *Dywedodd hefyd*] I'm cysuro; *Wele fi yn mynegu it' yr hyn a fydd yn niwedd y digder*—tybia rhai mai terfyniad y caethiwed yn Babilon, yr hwn oedd yn awr yn nesâu, a feddylir yma wrth 'ddiwedd y digder;' a thybia ereill mai diwedd holl ddyoddefiadau pobl Dduw yn amser y mil-flwyddiant a olygir; ond y mae yn debycach mai at ddiwedd y drygau ag yr oedd yr Iuddewon i'w dyoddef oddiwrth Antiochus y cyfeirir. *Canys ar yr amser gosodedig y bydd y diwedd*—sylwa, ddarllenydd, y mae diwedd i fod ar holl ddyoddefiadau pobl Dduw, ac y mae yr amser pryd y cymer le wedi ei benderfynu: gwel ar adn. 17.

Adn. 20. *Yr hwrdd deugorn a welaist yw brenhinoedd*] Neu amherodraeth Media a Phersia: gwel ar adn. 3.

Adn. 21. *A'r bwch blewog*] Neu y 'bwch

21 A'r bwch blewog *yw* brenin Groeg; a'r corn mawr, yr hwn *sydd* rhwng ei lygaid ef, dyna y brenin cyntaf.

22 Lle y torwyd ef, ac y cyfododd pedwar yn ei le, pedair brenhiniaeth a gyfodant o'r *un* genedl, ond nid un nerth ag ef.

23 A thua diwedd eu brenhiniaeth hwynt, pan gyflawner y troseddwyr, y cyfyd brenin wyneb-greulon, ac yn deall dammegion.

24 A'i nerth ef a gryfha, ond nid trwy ei nerth ei hun; ac efe a ddinystria yn rhyfedd, ac a lwydda, ac a wna, ac a ddinystria y cedyrn, a'r bobl santaidd.

25 A thrwy ei gyfrwysdra y ffyna ganddo dwyllo; ac efe a ymfawryga yn ei galon, a thrwy heddwch y dinystria efe lawer: ac efe a saif yn erbyn Tywysog y tywysogion: ond efe a ddryllir heb law.

26 A gweledigaeth yr hwyr a'r bore, yr hon a draethwyd, sydd wirionedd: selia dithau y weledigaeth, o herwydd dros ddyddiau lawer *y bydd*.

27 Minau Daniel a aethym yn llesg, ac a fûm glaf *enyd* o ddyddiau; yna y cyfodais, ac y gwnaethym orchwyl y brenin, ac a synais o herwydd y weledigaeth, ond nid oedd neb yn *ei* deall.

---

geifr,' adn. 5; *yw brenin Groeg*—neu yr amherodraeth Roegaidd: *a'r corn mawr, yr hwn sydd rhwng ei lygaid ef, dyna y brenin cyntaf*—y mae yn arddanghosiad o Alexander Fawr, sylfaenydd yr amherodraeth hòno: gwel ar adn. 5

Adn. 22. *Lle y torwyd ef*] Lle y cwympodd Alexander trwy farwolaeth; *ac y cyfododd pedwar yn ei le*—gwel ar adn. 8; *pedair brenhiniaeth a gyfodant o'r un genedl*—neu o'r amherodraeth Roegaidd; *ond nid un nerth ag ef*—ni fydd un o honynt yn dywysog mor alluog, mawreddog, ac urddasol ag Alexander.

Adn. 23. *A thua diwedd eu brenhiniaeth hwynt*] Pan fyddo eu gallu yn lleihau, a'r amherodraeth Rufeinaidd ar fin cael ei sefydlu yn ngwlad Groeg; *pan gyflawner y troseddwyr*—pan fyddo cwpan anwiredd yr Iuddewon yn llawn, a hwythau wedi addfedu i gosp; *y cyfyd brenin wyneb-greulon*—sef Antiochus Epiphanes, o linach Seleucus, adn. 8, 9; *ac yn deall dammegion*—Saes., 'yn deall brawddegau tywyllion,' neu y ffordd i dwyllo; hyny yw, un yn arferyd ystrywiau, dichellion, a thwyll, a hyny mewn ffordd fedrus, i hudo dynion oddiwrth eu crefydd. Dywedir fod hwn yn ddarluniad perffaith o nodwedd Antiochus, yr hwn oedd yn y pethau hyn yn gysgod priodol o'r 'anwir hwnw, yr hwn y mae ei ddyfodiad yn ol gweithrediad Satan, gyda phob nerth, ac arwyddion, a rhyfeddodau gau, a phob dichell annghyfiawnder,' 2 Thes. ii. 8—10.

Adn. 24. *A'i nerth ef a gryfha*] Yn Judea a manau ereill; *ond nid trwy ei nerth ei hun*—eithr trwy ddrygioni ac ymraniadau yr Iuddewon ac ereill: *ac efe a ddinystria yn rhyfedd*—canys pan gymerwyd Jerusalem gan Antiochus, lladdwyd 80,000 o'r Iuddewon mewn tri diwrnod, a gwerthwyd cynifer a hyny drachefn yn gaethweision: gwel 2 Mac. v. 14. *Ac a lwydda*—i osod i lawr ei gynlluniau; *ac a wna*—yn ol y cynlluniau hyny. *Ac a ddinystria y cedyrn*—sef yr Aifftiaid, y Parthiaid, a chenhedloedd ereill ag y bu yn rhyfela yn eu herbyn; *a'r bobl santaidd*—sef yr Iuddewon.

Adn. 25. *A thrwy ei gyfrwysdra y ffyna ganddo dwyllo*] Yr hyn a wnaeth Antiochus yn rhyfedd, fel y cawn hanes yn nau lyfr y Maccabeaid, a chan *Prideaux*, *Polybius*, *Schweighäuser*, ac ereill. *Ac efe a ymfawryga yn ei galon*—a ymfalchïa yn ei galon o herwydd ei lwyddiant. *A thrwy heddwch y dinystria efe lawer*—sef trwy gymeryd arno ddyfod atynt yn heddychol, tra yr oedd rhyfel yn ei galon, 1 Mac. i. 30. *Ac efe a saif yn erbyn Tywysog y tywysogion*—sef yn erbyn Duw ei hun, Brenin y brenhinoedd, ac Arglwydd nef a daear, trwy attal ei addoliad ef, a gosod i fyny eilunaddoliaeth yn y deml. *Ond efe a ddryllir heb law*—sef trwy ddialedd digyfrwng oddiwrth Dduw, a hyny 'trwy farwolaeth flin mewn gwlad ddyeithr;' canys 'dolur yn ei berfedd a ddaeth arno, yn gymaint ag i bryfed heidio allan o'i gorff; a thra yr ydoedd efe eto yn fyw, ei gnawd a syrthiai i lawr gan boen a gofid, a'i holl lu a ymofidient oblegid ei ddrygsawr ef:' gwel 1 Mac. vi. 8—13, 2 Mac. ix. 5—28.

Adn. 26. *A gweledigaeth yr hwyr a'r bore*] Sef gweledigaeth y 'ddwy fil a thri chant o ddiwrnodau,' adn. 14; a gelwir hi felly ond odid mewn cyfeiriad at yr offrwm *hwyrol* a *boreol*, yr hwn a attelid yn ystod y weledigaeth hon: *yr hon a draethwyd*—yn adn. 9—14; *sydd wirionedd*—a gyflawnir yn ddifeth. *Selia dithau y weledigaeth*—ysgrifena hi mewn llyfr, i'w chadw yn gudd neu yn ddiogel hyd nes ei cyflawnir; *o herwydd dros ddyddiau lawer y bydd*—sef dros 2,300 o ddiwrnodau, adn. 14; neu, bydd i lawer o ddyddiau fyned heibio cyn y cyflawnir hi. Cafodd Daniel y weledigaeth hon oddeutu 382 o flynyddoedd cyn amser Antiochus.

Adn. 27. *Minau Daniel a aethym yn llesg*] Yn yr olwg ar y trallodau ag oeddynt i ddyfod ar fy nghenedl, a'r halogiad a wneid o'r deml; *ac a fûm glaf enyd o ddyddiau*—ar ol y weledigaeth hon. *Yna y cyfodais*—o'm gwely; *ac y gwnaethym orchwyl y brenin*—fel ei swyddog ef yn mhenhinllys Susan, adn. 2; *ac a synais o herwydd y weledigaeth*—yr oeddwn yn parhau i synu, hyd

## PENNOD IX.

YN y flwyddyn gyntaf i Darïus mab Ahasferus, o had y Mediaid, yr hwn a wnaethid yn frenin ar deyrnas y Caldeaid,

2 Yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad ef, myfi Daniel a ddeallais wrth lyfrau rhifedi y blynyddoedd, *am* y rhai y daethai gair yr Arglwydd at Jeremi y proffwyd, y cyflawnai efe ddeng mlynedd a thriugain yn annghyfanedd-dra Jerusalem.

3 ¶ Yna y troais fy wyneb at yr Arglwydd Dduw, i geisio *trwy* weddi ac ymbil, yn nghydag ympryd, a sachlian, a lludw.

4 A gweddiais ar yr Arglwydd fy Nuw, a chyffesais, a dywedais, Atolwg, Arglwydd Dduw mawr ac ofnadwy, ceidwad cyfammod a thrugaredd i'r rhai a'i carant, ac i'r rhai a gadwant ei orchymynion ;

5 Pechasom, a gwnaethom gamwedd, a buom anwir, gwrthryfelasom hefyd, sef trwy gilio oddiwrth dy orchymynion, ac oddiwrth dy farnedigaethau.

6 Ni wrandawsom chwaith ar y proffwydi dy weision, y rhai a lefarasant yn dy enw di, wrth ein brenhinoedd, ein tywysogion, ein tadau, ac wrth holl bobl y tir.

7 I ti, Arglwydd, *y perthyn* cyfiawnder, ond i ni gywilydd wynebau, megys heddyw ; i wŷr Juda, ac i drigolion Jerusalem, ac i holl Israel, yn agos ac yn mhell, trwy yr holl wledydd lle y gyraist hwynt, am eu camwedd a wnaethant i'th erbyn.

8 Arglwydd, *y mae* cywilydd wynebau i ni, i'n brenhinoedd, i'n

---

yn nod tra yr oeddwn yn cyflawni fy ngorchwylion dan y brenin. *Ond nid oedd neb yn ei deall*—nid oedd neb o'i gyfeillion yn deall iddo weled y weledigaeth hon, neu yn ei hamgyffred os amlygodd efe hi iddynt ; ac nid oedd yntau ei hun chwaith yn deall ei hystyr yn gyflawn, er iddo gael goleuni ar ei phrif ranau hi gan angel Duw.

PEN. IX. Adn. 1. *Yn y flwyddyn gyntaf i Darïus*] Sef *Cyaxares*, neu Darïus y Mediad, yr hwn a ddylynodd Belsassar brenin y Caldeaid, pen. v. 31 ; *mab Ahasferus*—neu fab *Astyages*, brenin y Mediaid ; *o had y Mediaid*—felly y gelwir ef, i'w wahaniaethu oddiwrth Darïus y Persiad, am yr hwn y crybwyllir yn llyfr Ezra. *Yr hwn a wnaethid yn frenin ar deyrnas y Caldeaid*—pan y trosglwyddwyd hi i'r Mediaid a'r Persiaid.

Adn. 2. *Myfi Daniel a ddeallais wrth lyfrau*] Sef wrth broffwydoliaethau Jeremi, (pen. xxv. 11, 12, a xxix. 10,) y rhai a elwir yn *llyfrau*, Jer. xxv. 13, a xxx. 2 ; *rifedi y blynyddoedd*—ag yr oedd caethiwed yr Iuddewon yn Babilon i barhau. Ymddengys oddiyma fod y naill broffwyd yn darllen ac yn myfyrio llyfrau y lleill, er deall yn well yr amseroedd yn y rhai y cyflawnid eu proffwydoliaethau. *Y cyflawnai efe ddeng mlynedd a thriugain yn annnghyfanedd-dra Jerusalem*—y rhai oeddynt yn awr o fewn llai na dwy flynedd i'w gorpheniad. Am y 70 mlynedd hyn gwel ar Ezra iii. 12, a Jer. xxv. 11, 12.

Adn. 3. *Yna y troais fy wyneb at yr Arglwydd Dduw*] Sef tua Jerusalem, pen. vi. 10 ; *i geisio trwy weddi ac ymbil*—am waredigaeth yr Iuddewon o Babilon, yn ol addewid Duw ; *yn nghydag ympryd, a sachlian, a lludw*—yn arwydd o ymostyngiad a galar am eu pechodau, a gofid o herwydd meithder eu caethiwed. Er fod y waredigaeth hon wedi ei haddaw iddynt yn mhen 70 mlynedd, eto ar yr *ammod* iddynt hwy ei 'cheisio â'u holl galon' yr oeddynt i'w chael : gwel ar Jer. xxix. 10—14.

Adn. 4. *A gweddiais ar yr Arglwydd fy Nuw*] Gan hyderu yn ei allu a'i ffyddlondeb ef fel fy Nuw cyfammodol ; *a chyffesais*—ei gyfiawnder a'i santeiddrwydd ef, a'n hanffyddlondeb a'n hanwiredd ein hunain. *Atolwg, Arglwydd Dduw mawr ac ofnadwy*—yr hwn wyt ofnadwy i'th elynion, ac i'th ofni yn barchus gan dy bobl dy hun ; *Ceidwad cyfammod a thrugaredd i'r rhai a'i carant*—hyd fil o genedlaethau : gwel ar Exod. xx. 6.

Adn. 5. *Pechasom, a gwnaethom gamwedd, &c.*] Y mae Daniel yma yn arfer yr un gyffes ag a ragnodwyd yn ngweddi Solomon, 1 Bren. viii. 47, 48 : gwel y sylwadau yno. Y mae efe yn dechreu gydag addefiad o'u pechodau cyffredin, ac yna yn myned yn mlaen i gyfaddef eu gwrthryfel yn erbyn Duw, a'u gwrthgiliad oddiwrtho.

Adn. 6. *Ni wrandawsom chwaith ar y proffwydi dy weision*] Y rhai a alwent arnom i droi oddiwrth ein pechodau, gan ddysgu i ni dy ewyllys, a chyhoeddi dy fygythion yn erbyn yr anedifeiriol ; *y rhai a lefarasant yn dy enw di*—trwy dy awdurdod, ac fel dy genadau ; *wrth ein brenhinoedd*—a phob gradd o bobl y tir.

Adn. 7. *I ti, Arglwydd, y perthyn cyfiawnder*] Yr hwn ni wnaethost ddim cam â ni wrth ein cospi fel hyn ; *ond i ni gywilydd wynebau*—sef gwarth a gofid, fel a deimlir genym heddyw : *i wŷr Juda, ac i drigolion Jerusalem*—sef dau lwyth Juda a Benjamin, y rhai sydd yn 'agos,' wrth afonydd Babilon ; *ac i holl Israel*—sef y deg llwyth, y rhai sydd 'yn mhell' yn Assyria.

Adn. 8. *Arglwydd, y mae cywilydd wyn-*

tywysogion, ac i'n tadau, o herwydd
i ni bechu i'th erbyn.
9 Gan yr Arglwydd ein Duw *y
mae* trugareddau a maddeuant, er
gwrthryfelu o honom i'w erbyn.
10 Ni wrandawsom chwaith ar
lais yr Arglwydd ein Duw, i rodio
yn ei gyfreithiau ef y rhai a rodd-
odd efe o'n blaen ni, trwy law ei
weision y proffwydi.
11 Ie, holl Israel a droseddasant
dy gyfraith di, sef trwy gilio rhag
gwrando ar dy lais di: am hyny y
tywalltwyd arnom ni y felldith a'r
llw a ysgrifenwyd yn nghyfraith
Moses gwasanaethwr Duw, am
bechu o honom yn ei erbyn ef.
12 Ac efe a gyflawnodd ei eiriau
y rhai a lefarodd efe yn ein herbyn
ni, ac yn erbyn ein barnwyr y rhai
a'n barnent, gan ddwyn arnom ni
ddialedd mawr; canys ni wnaeth-
pwyd dan yr holl nefoedd megys y
gwnaethpwyd ar Jerusalem.
13 Megys y mae yn ysgrifenedig
yn nghyfraith Moses y daeth yr
holl ddrygfyd hyn arnom ni: eto
nid ymbiliasom o flaen yr Arglwydd
ein Duw, gan droi oddiwrth ein
hanwiredd, a chan ddeall dy wir-
ionedd di.
14 Am hyny y gwyliodd yr Ar-
glwydd ar y dialedd, ac a'i dyg
arnom ni; o herwydd cyfiawn *yw*
yr Arglwydd ein Duw yn ei holl
weithredoedd y mae yn eu gwneuth-
ur: canys ni wrandawsom ni ar ei
lais ef.
15 Eto yr awr hon, O Arglwydd
ein Duw, yr hwn a ddygaist dy
bobl allan o wlad yr Aifft â llaw
gref, ac a wnaethost i ti enw megys
heddyw, nyni a bechasom, ni a
wnaethom anwiredd.
16 ¶ O Arglwydd, yn ol dy holl
gyfiawnderau, atolwg, tröer dy lid-
iogrwydd a'th ddigder oddiwrth dy
ddinas Jerusalem, dy fynydd sant-

---

*ebau i ni*] Oll fel ein gilydd, *o herwydd i ni bechu i'th erbyn*—heb yr esgus lleiaf am hyny.

Adn. 9. *Gan yr Arglwydd ein Duw y mae trugareddau a maddeuant*] Yn gystal a 'chyfiawnder,' adn. 7; *er gwrthryfelu o honom i'w erbyn*—fel ag i haeddu y gosp hon. Ac yr oedd *trugareddau* Duw tuag atynt i'w gweled hyd yn nod yn eu cosp, trwy eu bod yn derbyn llai o gosp nag a haeddasant; ac yr oedd ei *faddeuant* ar gael ei estyn iddynt yn eu gwaredigaeth o'u caethiwed.

Adn. 10. *Ni wrandawsom chwaith ar lais yr Arglwydd ein Duw*] Er ein bod dan dragwyddol rwymedigaethau i wneuthur hyny, ac er fod ei weision y proffwydi yn ceisio ein perswadio i rodio yn ei gyfreithiau ef, a hyny trwy addewidion a bygythion.

Adn. 11. *Ie, holl Israel a droseddasant dy gyfraith di*] Nid ambell un yma a thraw, ond yr holl genedl yn gyffredinol: *am hyny y tywalltwyd arnom ni y felldith a'r llw*—sef y felldith a gadarnhawyd trwy lw yn nghyfraith Moses, neu a gyhoeddwyd trwy air digelwyddog Duw, yr hwn sydd mor gadarn a llw: gwel Deut. xxviii. 15, &c., Amos iv. 2, Heb. iii. 11.

Adn. 12. *Ac efe a gyflawnodd ei eiriau*] Ei fygythion o ddialedd mawr yn ein herbyn, o herwydd i ni a'n barnwyr droseddu ei gyfreithiau ef. *Canys ni wnaethpwyd dan yr holl nefoedd*—yn mhlith unrhyw bobl na chenedl cyn hyny; *megys y gwnaethpwyd ar Jerusalem*—yn amser ei dinystr hi gan y Caldeaid: gwel ar Galar. i. 12, a ii. 13, Ezec. v. 9. Ond cyfeirir yn niwedd y bennod at ddinystr llawer mwy trwy law y Rhufeiniaid.

Adn. 13. *Megys y mae yn ysgrifenedig yn nghyfraith Moses*] Gwel ar Lef. xxvi. 14—45; *y daeth yr holl ddrygfyd hyn arnom ni*—felly y mae Daniel yn cyfaddef eu bod wedi cael eu rhagrybyddio yn ddigonol cyn i'w drygfyd ddisgyn arnynt. *Eto nid ymbiliasom o flaen yr Arglwydd ein Duw*—am iddo ein harbed; *gan droi oddiwrth ein hanwireddau*—mewn gwir edifeirwch; *a chan ddeall dy wirionedd di*—sef gwirionedd dy fygythion i'n herbyn.

Adn. 14. *Am hyny y gwyliodd yr Arglwydd ar y dialedd*] Am gyfle i'w dywallt ef arnom yn ol ei fygythiad ef a'n haeddiant ninau: *o herwydd cyfiawn yw yr Arglwydd ein Duw*—yn ei holl farnedigaethau hyn: *canys ni wrandawsom ni ar ei lais ef*—ac felly rhaid i ni ei gyfiawnhau ef, a'n beio ein hunain yn unig.

Adn. 15. *Eto yr awr hon*] Er na wrandawsom ar dy lais; *O Arglwydd ein Duw*—sef ein Duw cyfammodol; *yr hwn a ddygaist dy bobl allan o wlad yr Aifft â llaw gref*—trwy wyrthiau mawrion a nerthol; *ac a wnaethost i ti enw megys heddyw*—sef enw gogoneddus fel Duw hollalluog a ffyddlon, wrth yr hwn yr adwaenid ef yn mysg yr holl genhedloedd yn amser Daniel. *Nyni a bechasom, ni a wnaethom anwiredd*—y mae ei waith yn crybwyll hyn, yn dangos pa mor drwm yr oedd pechod y genedl yn gorphwys ar feddwl Daniel; canys gallesid dysgwyl y buasai iddo ef yma, yn lle son am eu pechodau, ofyn am waredigaeth i'w frodyr o Babilon, megys yr hon a gawsai eu tadau o'r Aifft.

Adn. 16. *O Arglwydd, yn ol dy holl gyfiawnderau*] Neu dy *drugareddau*, fel y mae y gair yn arwyddo yn fynych; *tröer dy lidiogrwydd a'th ddigder oddiwrth dy ddinas Jerusalem*—yr hon sydd yn garneddau adfeil-

aidd; o herwydd am ein pechodau,
ac am anwireddau ein tadau, y mae
Jerusalem a'th bobl yn waradwydd
i bawb o'n hamgylch.
17 Ond yr awr hon gwrandaw, O
ein Duw ni, ar weddi dy was, ac ar
ei ddeisyfiadau, a llewyrcha dy
wyneb ar dy gysegr anrheithiedig,
er mwyn yr Arglwydd.
18 Gostwng dy glust, O fy Nuw,
a chlyw; agor dy lygaid, a gwel
ein hanrhaith ni, a'r ddinas y gelwir
dy enw di arni: oblegid nid o her-
wydd ein cyfiawnderau ein hun yr
ydym ni yn tywallt ein gweddiau
ger dy fron, eithr o herwydd dy aml
drugareddau di.
19 Clyw, Arglwydd; arbed, Ar-
glwydd; ystyr, O Arglwydd, a
gwna; nac oeda er dy fwyn dy hun,
O fy Nuw: o herwydd dy enw di a
alwyd ar y ddinas hon, ac ar dy
bobl.
20 ¶ A mi eto yn llefaru, ac yn
gweddio, ac yn cyffesu fy mhechod,
a phechod fy mhobl Israel, ac yn
tywallt fy ngweddi gerbron yr Ar-
glwydd fy Nuw dros fynydd sant-
aidd fy Nuw;
21 *Ie*, a mi eto yn llefaru mewn
gweddi, yna y gŵr Gabriel, yr hwn
a welswn mewn gweledigaeth yn y
dechread; gan ehedeg yn fuan, a
gyffyrddodd â mi yn nghylch pryd
yr offrwm prydnawnol.
22 Ac efe a barodd *i mi* ddeall,
ac a ymddyddanodd â mi, ac a ddy-
wedodd, Daniel, daethym yn awr
allan i beri i ti fedru deall.
23 Yn nechre dy weddiau yr aeth

---

iedig; *dy fynydd santaidd*—sef mynydd Moriah neu Seion, neu ynte y deml yr hon a adeiladwyd arno: *o herwydd am ein pechodau, ac am anwireddau ein tadau*—o oes i oes; *y mae Jerusalem a'th bobl yn waradwydd*—i'r holl genhedloedd o'n hamgylch. Fel hyn nid yw Daniel am feio Duw o herwydd cyflwr presenol y ddinas a'i thrigolion, eithr y mae yn rhoddi yr holl fai arno ei hun, a'i frodyr, a'i dadau.

Adn. 17. *Ond yr awr hon, gwrandaw, O ein Duw ni, ar weddi dy was*] Ar ran dy bobl a'th ddinas dy hun; *a llewyrcha dy wyneb ar dy gysegr anrheithiedig*—yr hwn a anrheithiwyd ac a losgwyd gan dy elynion; *er mwyn yr Arglwydd*—hyny yw, er mwyn dy enw a'th ogoniant dy hun, adn. 19; neu, fel y mae llawer yn ei ddeall, 'er mwyn Crist yr Arglwydd.' Y gair a gyfieithir 'Arglwydd' yma yw *Adonai*, yr hwn a ddefnyddir am y Messia, Salm cx. 1. Er mwyn a thrwy Grist yr ydym ni i gael gwrandawiad i'n holl weddiau. Hefyd, yr oedd yn rhaid adferu yr Iuddewon i'w gwlad, ac adgyweirio Jerusalem, er mwyn cyflawni addewidion Duw o berthynas i'r Messia.

Adn. 18. *Gostwng dy glust, O fy Nuw, a chlyw*] Fy ymbiliadau i; *agor dy lygaid, a gwel ein hanrhaith ni*—neu drueni dy bobl gyfammodol; *a'r ddinas y gelwir dy enw di arni*—sef anrhaith Jerusalem, 'dinas ein Duw ni,' neu 'ddinas y Brenin mawr,' Salm xlviii. 1, 2: *oblegid nid o herwydd ein cyfiawnderau ein hun*—neu weithredoedd cyfiawnder y rhai a wnaethom ni, *yr ydym ni yn tywallt ein gweddiau ger dy fron*—i haeddu dy sylw; *eithr o herwydd dy aml drugareddau di*—ffynnonell fawr ein holl fendithion.

Adn. 19. *Clyw, Arglwydd; arbed, Arglwydd; ystyr, O Arglwydd, a gwna*] Hyny yw, boed i ti glywed, arbed, ac ystyried. Dengys y geiriau hyn fawr daerineb Daniel, a'i ymdrech ddifrifol o flaen Duw. *Nac oeda*—waredu dy bobl, a throi ymaith dy ddigder oddiwrth Jerusalem, adn. 16; *er dy fwyn dy hun, O fy Nuw*—er mwyn dangos gogoniant dy allu dy hun, a'th ffyddlondeb i gyflawni dy addewidion i'th bobl. *O herwydd dy enw di, &c.*—gwel ar adn. 18.

Adn. 20. *A mi eto yn llefaru ac yn gweddio*] Neu yn llefaru wrth Dduw mewn gweddi, adn. 21; *ac yn cyffesu fy mhechod, a phechod fy mhobl Israel*—fel yr adroddwyd uchod, adn. 5, &c.; *ac yn tywallt fy ngweddi gerbron yr Arglwydd fy Nuw dros fynydd santaidd fy Nuw*—sef dros Jerusalem a'r cysegr anrheithiedig.

Adn. 21. *Ie, a mi eto yn llefaru mewn gweddi*] Tra yr oeddwn eto ar fy ngliniau yn gweddio o flaen Duw; *yna y gŵr Gabriel, yr hwn a welswn mewn gweledigaeth yn y dechread*—oddeutu pymtheg mlynedd cyn hyn, pen. viii. 15, 16; *gan ehedeg yn fuan*—neu ar frys, i lawr o'r nefoedd i dawelu fy ofnau; *a gyffyrddodd â mi yn nghylch pryd yr offrwm prydnawnol*—sef oddeutu tri o'r gloch yn y prydnawn.

Adn. 22. *Ac efe a barodd im' ddeall*] Dyben ei ddyfodiad ataf; *ac a ymddyddanodd â mi*—yn rhydd a chyfeillgar, fel y gwna y naill gyfaill wrth y llall; *ac a ddywedodd, Daniel, daethym yn awr allan*—o'r nefoedd oddiwrth Dduw; *i beri it' fedru deall*—i ddatguddio i ti bethau o anfeidrol bwys, ac i beri i ti eu deall. Dangosasai Gabriel iddo o'r blaen drallodau yr eglwys dan Antiochus Epiphanes, yn nghydag amser parhad y cyfryw, pen. viii. 19; ond yn awr y mae ganddo well newydd i'w ddangos iddo.

Adn. 23. *Yn nechre dy weddiau yr aeth y gorchymyn allan*] Neu y gorchymynwyd i mi gan Dduw ddyfod atat ti ar y neges hwn; *a mi a ddaethym i'w fynegu i ti*—cyn i ti orphen dy weddiau. Pa faint bynag o ffordd sydd o'r ddaear i'r nef, aeth gweddi Daniel i fyny, a daeth yr angel Gabriel i lawr, tra y bu

y gorchymyn allan, ac mi a ddaeth-
ym i'w fynegu *i ti;* canys anwyl
*ydwyt* ti: ystyr dithau y peth, a
deall y weledigaeth.
24 Deng wythnos a thriugain a
derfynwyd ar dy bobl, ac ar dy ddi-
nas santaidd, i ddybenu camwedd,
ac i selio pechodau, ac i wneuthur
cymod dros anwiredd, ac i ddwyn
cyfiawnder tragwyddol, ac i selio y
weledigaeth a'r broffwydoliaeth, ac
i eneinio y santeiddiolaf.
25 Gwybydd gan hyny, a deall *y
bydd* o fynediad y gorchymyn allan
am adferu ac am adeiladu Jerusa-
lem, hyd y blaenor Messia, saith
wythnos, a dwy wythnos a thriug-
ain: yr heol a adeiledir drachefn,
a'r mur, sef mewn amseroedd blin-
ion.

---

Daniel yn adrodd y geiriau a gynwysir yn adn. 4—19. Yn hyn cyflawnwyd yr addewid hono, 'Ac â hwy eto yn llefaru, mi a wrandawaf,' Esay lxv. 24. *Canys anwyl ydwyt ti*—gan Dduw. *Ystyr dithau y peth, a deall y weledigaeth*—fel hyn yr oedd yn rhaid i Daniel, er cael angel o'r nef i'w hyfforddi, arfer pob astudrwydd ei hun er mwyn deall y weledigaeth.

Adn. 24. *Deng wythnos a thriugain a derfynwyd*] A benderfynwyd neu a benodwyd; *ar dy bobl*—yr Iuddewon, dros y rhai yr wyt yn gweddio; *ac ar dy ddinas santaidd*—sef Jerusalem, yr hon a elwir '*dy* ddinas,' am fod Daniel yn gweddio am ei hadferiad, ac yn enedigol yno. Nid yw yr hyn a ddywedir yma yn atebiad uniongyrchiol i weddi Daniel; ond gan ei fod ef wedi bod yn gweddio am waredigaeth i'r Iuddewon a'u dinas yn niwedd y 70 mlynedd o'u caethiwed yn Babilon, y mae Duw yn cymeryd achlysur oddiwrth hyny i son am ddygwyddiad arall mwy pwysig ag ydoedd i gymeryd lle yn mhen 70 o wythnosau, trwy yr hyn y caent waredigaeth o gaethiwed Satan a phechod. Addefir gan bawb fod pob *dydd* o'r wythnosau hyn, yn ol y drefn broffwydoliaethol, i'w ddeall am *flwyddyn;* ac felly fod 70 o wythnosau, neu 70 gwaith 7 o ddyddiau, yn gwneyd 490 o flynyddau. Yn yr adnodau canlynol rhenir y 70 wythnos hyn i dri chyfnod, sef

| | | | |
|---|---|---|---|
| 7 wythnos, neu | | 49 o flynyddau. | |
| 62 | —— ,, | 434 | —— |
| 1 | —— ,, | 7 | —— |
| 70 | —— ,, | 490 | —— |

Yn awr, y mae y 7 wythnos uchod, neu y 49 o flynyddau, i ddechreu pryd y rhoddid y gorchymyn i adgyweirio ac adeiladu y ddinas a'r mur; ac o ddiwedd yr amser hwnw hyd ddechre gweinidogaeth Crist, ceid 62 o wythnosau, neu 434 o flynyddau; ac o ddechre ei weinidogaeth ef y mae yr *un* wythnos neu y 7 mlynedd, a grybwyllir adn. 27, i gael eu cyfrif; yr hyn yn nghyd a wna i fyny y rhif a nodir yma, sef 70 o wythnosau, neu 490 o flynyddau: gwel ar adn. 27. Ni chaniatâ ein terfynau i ni olrhain y materion hyn gyda manylwch; a'r neb a chwennycho hyny, cyfeirir ef at weithiau dysgedig *Prideaux, Apthorp, Hengstenberg, Newton, Barnes, Wintle,* ac ereill. Enwir yma chwech o bethau a wneid trwy ddyfodiad y MESSIA i'r byd: (1) *Dybenu camwedd*—hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, attal effeithiau camwedd cyntaf Adda ar ei hiliogaeth, fel na raid i neb farw yn *dragwyddol* am y camwedd hwnw; neu, yn ol ereill, dybenu rhwysg a llywodraeth camwedd yn y byd, yr hyn a wneir trwy bregethiad yr efengyl, a dylanwadau yr Ysbryd Glân; neu, yn ol ereill, dybenu camwedd trwy faddeuant. (2) *Selio pechodau*—dileu eu heuogrwydd trwy gyfiawnhad; eu cau o'r golwg, megys dan sêl, fel nad ymddanghosont byth i'n condemnio: neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'rhoddi terfyn ar y *pech-ebyrth*,' yr hyn a wnaeth Crist trwy ei aberthu ei hun. (3) *Gwneuthur cymod dros anwiredd*—neu roddi iawn i gyfiawnder Duw, yr hyn a wnaeth Crist trwy ei farwolaeth. (4) *Dwyn cyfiawnder tragwyddol*—hyny yw, dwyn i mewn drefn ddigyfnewid o gyfiawnhad, sef ffydd yn aberth Crist, trwy yr hon y mae pawb, o ddechre y byd i'w ddiwedd, yn cael eu cyfiawnhau: neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'dwyn i mewn gyfiawnder, neu *un cyfiawn,* yr oesau,' yr hwn y buwyd yn proffwydo am dano ac yn ymddiried ynddo am oesau. (5) *Selio y weledigaeth a'r broffwydoliaeth*—rhoddi terfyn ar yr angenrheidrwydd am ddatguddiad pellach, trwy orphen canon yr ysgrythyrau; neu selio a chadarnhau gwirionedd y broffwydoliaeth am ei berson, ei aberth, a'i waith, fel y cadarnheir ysgrifen neu weithred â sêl. (6) *Eneinio y santeiddiolaf*—cysegru neu neillduo ein Harglwydd bendigedig, Sant Israel ac Eneiniog Duw, i'w swyddau cyfryngol fel Proffwyd, Brenin, ac Offeiriad. Ond tybia rhai fod yr ymadrodd yn cyfeirio at yr anrhydedd neillduol a roddid i'r ail deml, trwy fynediad ein Harglwydd iddi. Neu gall fod yma gyfeiriad at ddoniau grasol yr Ysbryd Glân, y rhai a dywelltid ar yr eglwys Gristionogol.

Adn. 25. *Gwybydd gan hyny a deall*] Boed i ti dalu sylw i'r hyn a ddywedwyf, fel y gallot ei ddeall; neu, yn ol rhai, 'ti a'i gwybyddi ac a'i dealli;' *y bydd o fynediad y gorchymyn allan am adferu ac am adeiladu Jerusalem*—yr hwn a roddwyd gan Artaxerxes yn y *seithfed* flwyddyn o'i deyrnasiad, yn ol rhai, Ezra vii. 7, 13, 21; neu yn yr *ugeinfed,* yn ol ereill, Neh. ii. 1, 6, 7, 8. Y rheswm am y gwahaniaeth hwn yw, fod rhai yn cyfrif yn ol y blynyddau lleuadawl, ac ereill yn ol y blynyddau heulaidd, neu yn ol y cyfrif Caldeaidd. *Hyd y blaenor Messia*—nid hyd ei enedigaeth, eithr hyd ei fedydd gan Ioan, neu hyd ddechre ei weinidogaeth gyhoeddus. *Saith wythnos*—neu 7 waith 7,

26 Ac wedi dwy wythnos a thriugain y lleddir y Messia, ond nid o'i achos ei hun: a phobl y tywysog yr hwn a ddaw a ddinystria y ddinas a'r cysegr; a'i ddiwedd *fydd* trwy lifeiriant, a hyd ddiwedd y rhyfel *y bydd* dinystr anrheithiol:

27 Ac efe a sicrha y cyfammod â llawer dros un wythnos: ac yn hanner yr wythnos y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio; a thrwy luoedd ffiaidd yr anrheithia efe *hi*, hyd oni thywallter y dyben terfynedig ar yr anrheithiedig.

---

yn gwneyd 49 o flynyddau, fel y sylwyd ar adn. 24; canys buwyd cyhyd a hyny cyn llwyr adferu ac adeiladu Jerusalem. *A dwy wythnos a thriugain*—yn gwneyd 434 o flynyddau, sef yr yspaid ag oedd rhwng adeiladiad Jerusalem a bedydd Crist, neu rhwng diwedd y 'saith wythnos' uchod a dechre yr 'un wythnos,' a grybwyllir adn. 27. *Yr heol a adeiledir drachefn, a'r mur*—sef y ddinas, ei heolydd, a'i chaerau. Nid yn niwedd y ddwy wythnos a thriugain y gwneid hyn, eithr yn ystod y saith wythnos flaenorol. Adroddiad sydd yma o'r *ffaith* yr adeiledid hi, ac nid o'r *amser* pryd y gwneid hyny. *Sef mewn amseroedd blinion*—pryd y byddai gwrthwynebiad mawr i'r gwaith oddiwrth Sanbalat ac ereill: gwel ar Neh. ii. 19, a iv. 1, &c.

Adn. 26. *Ac wedi dwy wythnos a thriugain y lleddir y Messia*] Sef yn nghanol y drydedd wythnos a thriugain, adn. 27. *Ond nid o'i achos ei hun*—canys ni fydd efe wedi gwneuthur dim i haeddu hyny; eithr o'n hachos *ni*. Yn unol â hyn y dywed y proffwyd, 'Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni; cospedigaeth ein heddwch ni oedd arno ef; a thrwy ei gleisiau ef yr iachawyd ni,' Esay liii. 5. *A phobl y tywysog yr hwn a ddaw*—sef y Rhufeiniaid, pobl neu filwyr Titus Vespasian; *a ddinystria y ddinas a'r cysegr*—sef Jerusalem a'r deml: gwel ar Deut. xxviii. a Mat. xxiv. *A'i ddiwedd fydd trwy lifeiriant*—sef trwy ruthriad byddin luosog a chref fel llifeiriant; sef diwedd y mater ag y sonir am dano yma, neu ddiwedd y broffwydoliaeth, neu ynte diwedd y ddinas a'r wladwriaeth Iuddewig. *A hyd ddiwedd y rhyfel y bydd dinystr anrheithiol*—pryd y bydd i fwy na 1,400,000 o Iuddewon yn y cwbl gael eu lladd: gwel ar Deut. xxviii. 62.

Adn. 27. *Ac efe a sicrha y cyfammod â llawer*] Sef â'r holl Iuddewon crediniol. Yr un mewn effaith oedd y cyfammod hwn, a'r hwn a wnaed âg Abraham a'i had; a'r un oedd hwnw, drachefn, a'r cyfammod gras danyr efengyl, neu y 'cyfammod newydd: 'gwel ar Jer. xxxi. 31—34. Yr oedd bendithion y cyfammod hwn i gael eu cynyg yn gyntaf i'r *Iuddewon*, fel perffeithiad y cyfammod a wnaethai Duw â'u tadau, Act. iii. 26, a xiii. 46; eithr ni *sicrheid* hwynt ond i *rai*, sef i'r rhai a gyflawnent ammodau y cyfammod hwnw, neu a gredent yn Nghrist; a byddai y rhai hyny yn *llawer*. Felly y dywedodd yr henuriaid wrth Paul, 'Ti a weli, frawd, pa sawl myrddiwn sydd o'r Iuddewon, y rhai a gredasant,' Act. xxi. 20. *Dros un wythnos*—yr hon a orphena y 70 wythnos a grybwyllwyd adn. 24; canys 7 a 62 ac 1 a wnant 70. *Ac yn hanner yr wythnos*—neu yn mhen tair blynedd a hanner ar ol i Grist gael ei fedyddio, neu ar ol iddo ddechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus yn mhlith yr Iuddewon; *y gwna efe i'r aberth a'r bwyd-offrwm beidio*—sef pob math o aberthau ac offrymau seremonïol, trwy iddo ei offrymu ei hun yn aberth 'difai i Dduw,' Heb. ix. 14. Y mae yn wir i'r aberthau gael eu parhau am yn agos i 40 mlynedd wedi hyn, sef hyd ddinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid; ond yr oedd eu dyben, a'u heffeithioldeb fel cysgodau, wedi *peidio* o'r mynyd ag y dywedodd Crist, 'Gorphenwyd!' Ioan xix. 30. Ond gellir gofyn yma, Beth a feddylir wrth yr *hanner arall* i'r wythnos hon? I hyn yr wyf yn ateb, fod yr oll o'r *saith mlynedd* hyn wedi ei dreulio i sicrhau y cyfammod Abrahamaidd, neu y cyfammod gras, â'r *Iuddewon;* hyny yw, i geisio eu hennill hwy i gofleidio ammodau y cyfammod hwnw. Y tair blynedd a hanner *cyntaf*, sef o fedydd Crist hyd ei groes, a dreuliwyd ganddo ef yn bersonol i'r dyben yma; ac yn y tair blynedd a hanner *olaf*, sef o ddydd y pentecost hyd bregethiad yr efengyl i Cornelius, efe a wnaeth hyny trwy ei apostolion, sef cyn iddynt droi at y *Cenhedloedd:* gwel ar Act. x. a xi. Addefir yn gyffredin i Pedr fyned at Cornelius yn y bedwaredd flwyddyn ar ol esgyniad Crist; ac yn yr un flwyddyn y sefydlwyd yr eglwys yn *Antiochia*, lle y galwyd y dysgyblion yn *Gristionogion* gyntaf. Felly, hyn yn briodol oedd *diwedd* y 'deng wythnos a thriugain;' a'r geiriau nesaf a gyfeiriant at ddinystr y ddinas a'r deml, yr hyn a gymerodd le yn mhen oddeutu 32 mlynedd wedi hyn. *A thrwy luoedd ffiaidd yr anrheithia efe hi*—yma arddanghosir Crist, yn fuan ar ol iddo esgyn i'r nefoedd, a chymeryd meddiant o'i orsedd gyfryngol, yn 'anfon ei *luoedd*,' sef byddin *ffiaidd* y Rhufeiniaid eilunaddolgar a chreulon, i 'ddinystrio y lleiddiaid hyny, ac i losgi eu dinas hwynt,' Mat. xxii. 7. *Hyd oni thywallter y dyben terfynedig ar yr anrheithiedig*—hyd oni byddo i'r farn ragbenderfynedig ysgubo ymaith y ddinas, y deml, yr aberthau, a'r wladwriaeth Iuddewig, fel llifeiriant anwrthwynebol. Y mae cyflwr presenol yr Iuddewon yn gadarnhad hynod o wirionedd y broffwydoliaeth hon, ac yn brawf diamheuol mai Iesu o Nazareth yw y gwir Fessia.

PEN. X. Adn. 1. *Yn y drydedd flwyddyn i Cyrus brenin Persia*] Sef y drydedd ar ol marwolaeth Darïus, fel y meddylir yn gyffredin. Rhaid fod Daniel yn awr rhwng 85 a 90 mlwydd oed, ac wedi bod yn Babilon am

## PENNOD X.

YN y drydedd flwyddyn i Cyrus
brenin Persia, y datguddiwyd
peth i Daniel, (yr hwn y gelwid ei
enw Beltesassar,) a'r peth *oedd* wir,
ond yr amser nodedig *oedd* hir; ac
efe a ddeallodd y peth, ac a gafodd
wybod y weledigaeth.
2 Yn y dyddiau hyny y galerais
i Daniel dair wythnos o ddyddiau.
3 Ni fwyteais fara blasus, ac ni
ddaeth cig na gwin yn fy ngenau;
gan ymiro hefyd nid ymirais, nes
cyflawni tair wythnos o ddyddiau.
4 Ac yn y pedwarydd dydd ar
hugain o'r mis cyntaf, fel yr oedd-
wn i wrth ymyl yr afon fawr, hòno
*yw* Hidecel;
5 Yna y cyfodais fy llygaid, ac
yr edrychais, ac wele ryw ŵr wedi
ei wisgo â llian, a'i lwynau wedi eu
gwregysu âg aur coeth o Uphaz.
6 A'i gorff *oedd* fel *maen* beryl,
a'i wyneb fel gweledìad mellten, a'i
lygaid fel lampau tân, a'i freichiau
a'i draed fel lliw pres gloew, a sain
ei eiriau fel sain tyrfa.
7 A mi Daniel yn unig a welais
y weledigaeth: canys y dynion y
rhai oedd gyda mi ni welsant y
weledigaeth; eithr syrthiodd ar-
nynt ddychryn mawr, fel y ffoisant
i ymguddio.

---

oddeutu 73 o flynyddau o leiaf. *Y datguddiwyd peth i Daniel*—sef y weledigaeth a nodir ar ol hyn. *Yr hwn y gelwid ei enw Beltesassar*—gwel ar pen. i. 7. *A'r peth oedd wir*—oedd i gael ei gyflawni yn ddifeth; *ond yr amser nodedig oedd hir*—sef yr amser a benodwyd i'w gyflawni; neu 'y *filwriaeth* oedd hir,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu; hyny yw, bydd llawer o ymrysonau a rhyfeloedd cyn y gellir cyflawni y pethau hyn. *Ac efe a ddeallodd y peth*—cafodd Daniel olwg eglur ar olyniad y ddwy amherodraeth Bersiaidd a Groegaidd, ac ar y rhestr o frenhinoedd Syria a'r Aifft dan yr olaf; *ac a gafodd wybod y weledigaeth*—nes yr oedd y cwbl yn ymddangos iddo ef yn debycach i hanesiaeth nag i broffwydoliaeth.

Adn. 2. *Yn y dyddiau hyny*] Cyn cael y weledigaeth hon; *y galerais i Daniel dair wythnos o ddyddiau*—y rhai a enwir yma yn wrthgyferbyniol i'r wythnosau o *flynyddau* yn y bennod flaenorol. Ond paham yr oedd Daniel yn galaru? 'O herwydd tywyllwch y gweledigaethau blaenorol.'—*Calmet.* 'Oblegid y rhwystrau a deflid ar ffordd yr Iuddewon i adeiladu teml yr Arglwydd yn Jerusalem, yn ol y gorchymyn a roddasai Cyrus iddynt ddwy flynedd cyn hyny.'—*Usher.* 'O achos hwyrfrydigrwydd llawer o'r Iuddewon i ddychwelyd i Jerusalem.'—*Wintle.*

Adn. 3. *Ni fwyteais fara blasus, ac ni ddaeth cig na gwin yn fy ngenau*] Y casgliad naturiol yw, ei fod ef yn ymborthi ar y pethau hyn o'r blaen, onidê yn mha beth yr oedd y gwahaniaeth rhwng dyddiau ei alar a'i ddyddiau ereill? Yr oedd dau fath o ympryd yn mhlith yr Iuddewon, sef llwyr ymattaliad oddiwrth *bob math* o fwydydd a diodydd am ddiwrnod neu fwy, megys y gwnaeth Dafydd ar farwolaeth Abner, 2 Sam. iii. 35; ac ymattaliad am hir amser oddiwrth *ddanteithion*, fel yn yr achos hwn, pryd yr oeddynt yn byw yn unig ar ryw fwyd isel, megys llysiau a dwfr. *Gan ymiro hefyd nid ymirais*—âg olew; hyny yw, nid ymdrwsiai yn ei alar fel yr arferai wneyd, eithr gwisgai sachlian a lludw: gwel ar 2 Sam. xii. 20, Mat. vi. 17.

Er ei fod yn awr yn hen ŵr, a bod adfeiliad ei natur yn galw am fwyd maethlon, eto y mae efe yn ymwadu â'r pethau hyn yn gwbl dros dair wythnos; ac y mae yn debyg y parhausai efe lawer yn hwy oni buasai i'r angel ddyfod ato.

Adn. 4. *Ac yn y pedwarydd dydd ar hugain o'r mis cyntaf*] Sef *Abib*, ar yr hwn y cynelid y pasc pan yn Judea; ond tybia rhai mai y misoedd Persiaidd a olygir yma. *Fel yr oeddwn i wrth ymyl yr afon fawr, hòno yw Hidecel*—yr un a'r *Tigris*, afon fawr Assyria; neu yr *Euphrates*, yn ol y Syriaeg. Neu fe allai fod Daniel y pryd hyn yn y fan lle yr oedd y Tigris yn ymuno â'r Euphrates, cyn ymarllwys i Forgainc Persia.

Adn. 5. *Yna y cyfodais fy llygaid*] Pan yr oeddwn mewn myfyrdod a gweddi ar lan yr afon; *ac wele ryw ŵr wedi ei wisgo â llian*—yn debyg i'r archoffeiriad Iuddewig; *a'i lwynau wedi eu gwregysu âg aur coeth o Uphaz*—yr un ag *Ophir* ond odid, Jer. x. 9

Adn. 6. *A'i gorff oedd fel maen beryl*] O liw gwyrddlas dysglaer; *a'i wyneb fel gweledìad mellten*—yn ddysglaer a thanbaid; *a'i lygaid fel lampau tân*—yn oleu a fflamllyd, yn arwydd o'i wybodaeth dreiddiol; *a'i freichiau a'i draed fel lliw pres gloew*—neu bres dysglaer a llachar; *a sain ei eiriau fel sain tyrfa*—neu fel *llais* tyrfa, yn gryf, uchel, a llawn. Tybia rhai mai yr angel *Gabriel* oedd hwn, tra y tybia ereill mai *Mab Duw* ei hun ydoedd. Y mae y darluniad hwn yn debyg i'r un yn Dat. i. 13—16.

Adn. 7. *A mi Daniel yn unig a welais y weledigaeth*] A welais y gŵr hwn yn llawn ac eglur; *canys y dynion y rhai oedd gyda mi ni welsant*—yr un modd ag yn achos Saul a'i wŷr wrth fyned i Damascus, Act. ix. 7; *eithr syrthiodd arnynt ddychryn mawr, fel y ffoisant i ymguddio*—wrth glywed y llais, er na welsant neb. Fe allai mai Babiloniaid oedd y dynion hyn, y rhai oeddynt yn rhwym yn ngwasanaeth y brenin; neu ynte Iuddewon defosiynol, y rhai a ddaethent yno i alaru a gweddio gyda Daniel.

8 A mi a adawyd fy hunan, ac a welais y weledigaeth fawr hon, ac ni thrigodd nerth ynof: canys fy ngwedd a drôdd ynof yn llygredigaeth, ac nid atteliais nerth.

9 Eto mi a glywais sain ei eiriau ef: a phan glywais sain ei eiriau ef, yna yr oeddwn mewn trymgwsg ar fy wyneb, a'm hwyneb tua'r ddaear.

10 ¶ Ac wele, llaw a gyffyrddodd â mi, ac a'm gosododd ar fy ngliniau, ac *ar* gledr fy nwylaw.

11 Ac efe a ddywedodd wrthyf, Daniel, ŵr anwyl, deall y geiriau a lefaraf wrthyt, a saf yn dy sefyll: canys atat ti y'm hanfonwyd yr awr hon. Ac wedi iddo ddywedyd y gair hwn, sefais gan grynu.

12 Yna efe a ddywedodd wrthyf, Nac ofna, Daniel: o herwydd er y dydd cyntaf y rhoddaist dy galon i ddeall, ac i ymgystuddio gerbron dy Dduw, y gwrandawyd dy eiriau; ac o herwydd dy eiriau di y daethym i.

13 Ond tywysog teyrnas Persia a safodd yn fy erbyn un diwrnod ar hugain: ond wele Michael, un o'r tywysogion penaf, a ddaeth i'm cynorthwyo; a mi a arhosais yno gyda brenhinoedd Persia.

14 A mi a ddaethym i beri i ti ddeall yr hyn a ddygwydd i'th bobl

---

Adn. 8. *A mi a adawyd fy hunan*] I sylwi ar y weledigaeth fawr hon; *ac ni thrigodd nerth ynof*—eithr llesmeiriais a llewygais gan ofn: *canys fy ngwedd a drôdd ynof yn llygredigaeth*—a drôdd yn welwlas fel gwedd dyn marw; *ac nid atteliais nerth*—ni ellais gadw fy nerth, eithr ymadawodd oddiwrthyf.

Adn. 9. *Eto mi a glywais sain ei eiriau ef, &c.*] Hyny yw, er fod Daniel yn gorwedd â'i wyneb ar y ddaear fel mewn trymgwsg, eto nid oedd yn hollol analluog i glywed sain y geiriau; neu ynte, efe a aeth yn analluog i glywed ar ol iddo lesmeirio. Ond yn lle 'mewn *trymgwsg*,' y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Yr oeddwn mewn *mawr syndod* ar fy wyneb,' &c.

Adn. 10. *Ac wele, llaw a gyffyrddodd â mi*] Sef llaw Gabriel yn ddiamau, yr hwn a welsai efe adn. 5; *ac a'm gosododd ar fy ngliniau, ac ar gledr fy nwylaw*—hyny yw, efe a'i cododd ef mewn rhan o'i agwedd ymgreiniol ar y ddaear, ond nid yn gwbl ar ei draed, canys yr oedd efe i wneuthur hyny ei hunan.

Adn. 11. *Daniel, ŵr anwyl*] Sef anwyl gan Dduw, pen. ix. 23; *deall y geiriau a lefaraf wrthyt*—y rhai a fwriedir i'th gysuro, ac nid i'th frawychu; *a saf yn dy sefyll*—neu cyfod ar dy draed: *canys atat ti y'm hanfonwyd yr awr hon*—i'th addysgu, a'th gysuro, a'th gynorthwyo. *Ac wedi iddo ddywedyd y gair hwn*—yr hwn yr oedd dylanwad cynaliol yn cydfyned âg ef; *sefais gan grynu*—sefais ar fy nhraed, er nad oeddwn eto yn rhydd oddiwrth ddychryn.

Adn. 12. *Yna efe a ddywedodd wrthyf, Nac ofna, Daniel*] Wrth fy mhresenoldeb i, nac o achos fy nghenadwri: *o herwydd er y dydd cyntaf*—o dair wythnos dy alar, dy ympryd, a'th weddi, adn. 2,3; *y gwrandawyd dy eiriau*—sef dy weddiau: *ac o herwydd dy eiriau di y daethym i*—i lawr o'r nefoedd, i'th gysuro a'th addysgu mewn atebiad i'th weddiau.

Adn. 13. *Ond tywysog teyrnas Persia*] Y mae amrywiol farnau o berthynas i hwn. (1) Tybia rhai fod gwahanol deyrnasoedd a gwledydd y ddaear, ac hyd yn nod personau neillduol, (gwel ar Act. xii. 15,) wedi eu hymddiried gan Dduw i ofal rhyw angel amddiffynol; ac mai at yr un a wyliai dros deyrnas Persia y cyfeirir yma. Ond ar y dybiaeth hon rhaid fod hwnw yn *angel da*: a pha fodd y gallwn feddwl fod y naill angel da yn sefyll yn erbyn y llall? (2) Tybia ereill mai *angel drwg* a feddylir yma, yr hwn a elwir yn 'dywysog y byd hwn,' Ioan xii. 31, a 'thywysog llywodraeth yr awyr,' Eph. ii. 2; a bod hwn yn ceisio dylanwadu ar feddyliau llywodraethwyr Persia, i'r dyben i'w troi hwy yn erbyn yr Iuddewon. (3) Tybia ereill mai *Cyrus*, neu *Cambyses* ei fab, a feddylir yma, yr hwn oedd mewn gwirionedd yn 'dywysog teyrnas Persia.' Ond yn erbyn y golygiad hwn dywedir fod Cyrus a Cambyses yn gyfeillgar iawn i'r Iuddewon, ac yn caniatâu iddynt ryddid i ailadeiladu eu dinas a'u teml: ond gwel ar Ezra iv. 4—6. Modd bynag, y farn fwyaf cyffredin yw, mai rhyw *ysbryd drwg* a olygir. *A safodd yn fy erbyn un diwrnod ar hugain*—sef yn ystod yr amser ag y bu Daniel yn ymprydio ac yn gweddio, adn. 2, 3. *Ond wele Michael, un o'r tywysogion penaf*—yr hwn a elwir yn 'archangel,' Judas 9, ac a dybir yn gyffredin ei fod yn Fab Duw ei hun, trwy fod ei enw yn arwyddo 'un fel Duw;' *a ddaeth i'm cynorthwyo*—i gynorthwyo yr angel Gabriel yn erbyn yr ysbryd drwg a elwir uchod yn 'dywysog teyrnas Persia.' *A mi a arhosais yno*—neu, yn ol y LXX, 'mi a'i gadewais ef yno;' *gyda brenhinoedd Persia*—sef gyda phenaethiaid brenin Persia, i wrthweithio dylanwad yr ysbryd drwg ar eu meddyliau hwy yn erbyn yr Iuddewon. Fel hyn, er i weddi Daniel gael ei gwrandaw y dydd cyntaf, adn. 12, ni ddaeth yr atebiad ato ef am dair wythnos, a hyny o herwydd y rhwystrau a nodwyd uchod, y rhai nas gallwn ni eu deall yn drwyadl yn y fuchedd hon.

Adn. 14. *A mi a ddaethym i beri it' ddeall yr hyn a ddygwydd i'th bobl*] Sef i'r Iuddewon; *yn y dyddiau diweddaf*—hyd ddyfodiad y Messia, ac ar ol iddo ddyfod: *o herwydd y mae y weledigaeth eto dros ddyddiau lawer*

yn y dyddiau diweddaf: o herwydd
*y mae* y weledigaeth eto dros ddydd-
iau *lawer*.
15 Ac wedi iddo lefaru wrthyf y
geiriau hyn, gosodais fy wyneb tua'r
ddaear, ac a aethym yn fud.
16 Ac wele, tebyg i ddyn a gy-
ffyrddodd â'm gwefusau: yna yr
agorais fy safn, ac y llefarais, ac y
dywedais wrth yr hwn oedd yn sef-
yll ar fy nghyfer, O fy arglwydd,
fy ngofidiau a droisant arnaf gan y
weledigaeth, ac nid atteliais nerth.
17 A pha fodd y dichon gwasan-
aethwr fy arglwydd yma lefaru
wrth fy arglwydd yma? a minau
yna ni safodd nerth ynof, ac nid ar-
hôdd ffun ynof.
18 Yna y cyffyrddodd eilwaith â
mi fel dull dyn, ac a'm cryfhaodd i,
19 Ac a ddywedodd, Nac ofna,
ŵr anwyl; heddwch i ti, ymnertha,
ïe ymnertha. A phan lefarasai efe
wrthyf, ymnerthais, a dywedais,
Llefared fy arglwydd; o herwydd
cryfheaist fi.
20 Ac efe a ddywedodd, A wydd-
ost ti paham y daethym atat? ac yn
awr dychwelaf i ryfela â thywysog
Persia: ac wedi i mi fyned allan,
wele tywysog tir Groeg a ddaw.
21 Eithr mynegaf i ti yr hyn a
hysbyswyd yn ysgrythyr gwirion-
edd: ac nid *oes* un yn ymegnïo
gyda mi yn hyn, ond Michael eich
tywysog chwi.

---

—yn ymestyn hyd ddiwedd y byd, pen. xii. 2, &c.; neu, bydd i ddyddiau lawer fyned heibio cyn i'r pethau a hysbysaf i ti gymeryd lle.

Adn. 15. *Ac wedi iddo lefaru wrthyf y geiriau hyn*] Y rhai yr ymddengys eu bod yn wahanol i'r hyn a ddysgwyliai efe; *gosodais fy wyneb tua'r ddaear*—mewn ffordd o ymgrymiad; *ac a aethym yn fud*—fel na allwn ddywedyd gair.

Adn. 16. *Ac wele, tebyg i ddyn a gyffyrddodd â'm gwefusau*] Sef Gabriel eilwaith mewn rhith dyn. *Yna yr agorais fy safn, ac y llefarais*—wedi i mi gael fy ngalluogi i lefaru trwy ei gyffyrddiad ef. *O fy arglwydd*—nid enw dwyfol yw hwn, ond gair o barch; *fy ngofidiau a droisant arnaf gan y weledigaeth*—hyny yw, darfu i'r olwg arnat ti fy nychrynu a'm gofidio yn ddirfawr, a'm hamddifadu o'm nerth, adn. 8.

Adn. 17. *A pha fodd y dichon gwasanaethwr fy arglwydd yma, &c.*] Pa fodd y gall dy was, yr hwn wyf ddyn gwael, daearol, a marwol, lefaru wrth berson o'r fath radd ac urddas a thydi, yr hwn wyt angel o'r nef? *A minau yna*—mor fuan ag y gwelais di; *ni safodd nerth ynof, ac nid arhôdd ffun ynof*—collais fy nerth a'm hanadl yn mhresenol deb cenad nefol wedi ei anfon ataf oddiwrth Dduw! Mor dda yw i ni fod trysor yr efengyl wedi ei roddi mewn llestr pridd, a bod Duw yn llefaru wrthym trwy ddynion fel ni ein hunain, ac nid trwy angylion!

Adn. 18. *Yna y cyffyrddodd eilwaith â mi fel dull dyn*] Canys yr oedd Daniel mewn angen am ail gyffyrddiad o eiddo Gabriel, i'r dyben i gyfnerthu ei feddwl i wrandaw yn ddyladwy ar ei genadwri ef.

Adn. 19. *Ac a ddywedodd, Nac ofna, ŵr anwyl*] Yr hwn wyt anwylyd Duw, adn. 11: *heddwch it'*—neu heddwch sydd i ti; canys ni ddaethym i'th frawychu, eithr i'th ddyddanu. *Ymnertha, ïe ymnertha*—cymer galon, ac ymwrola. *A phan lefarasai efe wrthyf*—yn y modd tirion a charuaidd hwn; *ymnerthais*—cefais nerth i ofyn am iddo lefaru wrthyf, ac i wrandaw arno.

Adn. 20. *Ac efe a ddywedodd*] Mewn atebiad i'm cais; *A wyddost ti paham y daethym atat?*—neu, fel y mae yn y Roeg, 'Ti a wyddost paham y daethym atat;' canys yr oedd efe wedi clywed hyny eisioes, adn. 14. *Ac yn awr dychwelaf i ryfela â thywysog Persia*—sef â'r ysbryd drwg ag ydoedd yn dylanwadu ar feddyliau llywodraethwyr Persia; hyny yw, dychwelaf i orphen y trefniadau a ddechreuais yn llys Persia o blaid yr Iuddewon: gwel ar adn. 13. *Ac wedi i mi fyned allan*—yr hyn ni wnaeth efe cyn iddo adrodd y genadwri a draethir yn y ddwy bennod nesaf; *wele tywysog tir Groeg a ddaw*—sef Alexander Fawr, yr hwn a sefydla yr ymherodraeth Roegaidd yn nhir Asia, yn lle yr un Bersiaidd. Y pryd hyny byddai i'r gwrthwynebiad a gai yr Iuddewon o lys Persia ddarfod, fel na byddai angen mwyach am gyfryngiad angel o blaid yr Iuddewon yn llys Persia.

Adn. 21. *Eithr mynegaf it' yr hyn a hysbyswyd yn ysgrythyr gwirionedd*] Neu yn yr 'ysgrifen wir.' Tybia rhai fod hon yn cyfeirio at yr hyn a ysgrifenasai Daniel eisioes ar ol y gweledigaethau blaenorol, y rhai nad oedd efe ei hun eto yn eu deall yn gyflawn: a thybia ereill ei bod yn cyfeirio at y bwriadau neu yr arfaethau dwyfol, y rhai oeddynt mor sicr a phe buasent wedi cael eu hysgrifenu neu eu cofrestru mewn llyfr. *Ac nid oes un yn ymegnïo gyda mi yn hyn*—i hyrwyddo dymuniadau Daniel yn llys Persia o berthynas i'r Iuddewon; *ond Michael eich tywysog chwi*—yr hwn y tybid bob amser ei fod wedi ei benodi gan Dduw fel gwarcheidwad y genedl Iuddewig. Gan fod Duw yn dewis gwrthweithio dylanwadau yr ysbryd drwg ar feddwl llywodraethwyr Persia trwy weinidogaeth angylion, gellir meddwl fod yn angenrheidiol i *Gabriel* neu *Michael* fod yno yn barhaus; a phan y byddai y naill yn cael ei alw ymaith ar neges arall, fod y llall yn cymeryd ei le ef. Ond gan na wyddom ni nemawr am ddeddfau y byd anweledig, nis gallwn fanylu ar ddim o'r pethau hyn.

## PENNOD XI.

AC yn y flwyddyn gyntaf i Darïus
y Mediad, y sefais i i'w gryfhau
ac i'w nerthu ef.
2 Ac yr awr hon y gwirionedd a
fynegaf i ti; Wele, tri brenin eto a
safant o fewn Persia, a'r pedwarydd
a fydd cyfoethocach na *hwynt* oll:
ac fel yr ymgadarnhao efe yn ei gyf-
oeth, y cyfyd efe bawb yn erbyn
teyrnas Groeg.
3 A brenin cadarn a gyfyd, ac a
lywodraetha â llywodraeth fawr, ac
a wna fel y myno.
4 A phan safo efe, dryllir ei deyrn-
as, ac a'i rhenir tua phedwar gwynt
y nefoedd; ac nid i'w hiliogaeth ef,
nac fel ei lywodraeth a lywodraeth-
odd efe: o herwydd ei frenhiniaeth
ef a ddiwreiddir i ereill heblaw y
rhai hyny.
5 ¶ Yna y cryfha brenin y deau,
ac *un* o'i dywysogion: ac efe a
gryfha uwch ei law ef, ac a lywodr-
aetha: llywodraeth fawr *fydd* ei
lywodraeth ef.

---

ADFEDDYLIADAU.—Y mae y bennod hon wedi ei bwriadu fel arweiniad i mewn i'r proffwydoliaethau a gawn yn y ddwy bennod ganlynol, a'i swm a'i sylwedd hi yw hyn: (1) Fod gweddi Daniel ar ran ei frodyr yr Iuddewon wedi cael ei gwrandaw. (2) Ond y byddai i'r Iuddewon gael eu rhwystro yn eu hamcan i orphen adeiladu y ddinas a'r deml. (3) Ac y byddai i Dduw er hyny eu hamddiffyn hwy. (4) Y byddai i Alexander Fawr, tywysog tir Groeg, ddyfod yn erbyn y Persiaid, ac ennill y llywodraeth oddiarnynt. (5) Ac y byddai i Gabriel a Michael gael eu defnyddio gan Dduw i amddiffyn yr Iuddewon, a chryfhau y brenhinoedd a fyddent o'u plaid hwy, fel y dywedir yn nechre y bennod nesaf.

PEN. XI. Adn. 1. *Ac yn y flwyddyn gyntaf i Darïus y Mediad*] Yr hyn oedd o gylch pedair blynedd cyn y weledigaeth a grybwyllwyd yn y bennod flaenorol, pen. x. 1; *y sefais i*—ebai yr angel Gabriel; *i'w gryfhau ac i'w nerthu ef*—i nerthu Darïus yn ngosodiad ei orsedd i fyny yn Babilon, ac yn ei fwriadau daionus o blaid rhyddhad yr Iuddewon o'u caethiwed yno.

Adn. 2. *Ac yr awr hon y gwirionedd a fynegaf i ti*] Yn syml ac eglur, heb arwyddluniau cysgodol. *Wele, tri brenin eto a safant o fewn Persia*—ar ol Darïus a Cyrus: sef, (1) *Cambyses* mab Cyrus, yr hwn a deyrnasodd 7 mlynedd a 5 mis; (2) *Smerdis* y Magiad, sef y twyllwr a hònai ei fod yntau yn fab i Cyrus, ac a deyrnasodd 7 mis yn unig; (3) A *Darïus* mab Hystaspes, yr hwn a briododd *Mandane* merch Cyrus, ac a deyrnasodd 36 mlynedd. *A'r pedwarydd a fydd cyfoethocach na hwynt oll*—hwn oedd *Xerxes* mab Darïus, i'r hwn y disgynasai holl gyfoeth ei flaenoriaid, ac a ydoedd y pryd hyny y brenin cyfoethocaf yn yr holl fyd. *Ac fel yr ymgadarnhao efe yn ei gyfoeth, y cyfyd efe bawb yn erbyn teyrnas Groeg*—dywed Herodotus, yr hwn oedd yn byw yn ei amser ef, fod byddin Xerxes yn 5,283,220 o wŷr! Heblaw y rhai hyn, rhoddodd y Carthaginiaid iddo fyddin o 300,000 o wŷr, a 200 o longau. Efe a arweiniodd fyddin yn erbyn y Groegiaid o 800,000 o wŷr, a 1,207 o longau, i bob un o ba rai yr oedd tair rhes o rwyfwyr. Wrth ymdaith rhagddo, efe a orfodai bobl yr holl wledydd i ymuno âg ef.

Adn. 3. *A brenin cadarn a gyfyd*] Yn mhlith y Groegiaid; *ac a lywodraetha â llywodraeth fawr*—cyfeirir yma at *Alexander Fawr*, am fuddugoliaethau yr hwn gwel ar pen. vii. 6, a viii. 5—8; *ac a wna fel y myno*—a fyn ei ffordd ei hun yn mhob peth, heb i neb feiddio ei wrthwynebu dan boen marwolaeth. Ni ddywedir yma y byddai i hwn gyfodi yn erbyn *Xerxes* yn ei amser ef, canys ni aned Alexander 100 mlynedd ar ol Xerxes; ond y meddwl yw, y byddai iddo gyfodi rywbryd i deyrnasu yn nhir Groeg. Bu amrai frenhinoedd yn Persia ar ol Xerxes cyn i'r amherodraeth gael ei darostwng gan Alexander; ond ni sonir am danynt hwy yma, am nad oedd dim mewn cysylltiad â hwy yn perthyn i'r achos dan sylw, neu am mai dial y cam a ddyoddefasai y Groegiaid oddiwrth ruthrgyrch Xerxes a'i ragflaenwyr oedd amcan Alexander wrth ymosod ar amherodraeth Persia.

Adn. 4. *A phan safo efe*] Pan fyddo Alexander yn uwchder ei lwyddiant; *dryllir ei deyrnas*—trwy iddo ef farw yn Babilon pan yn 32 mlwydd ac 8 mis oed, ar ol bod yn teyrnasu am 12 mlynedd ac 8 mis; a lladdwyd ei frawd a'i feibion o fewn 15 mlynedd ar ol ei farwolaeth ef, nes y llwyr 'ddiwreiddiwyd y frenhiniaeth' oddiwrth ei 'hiliogaeth ef.' *Ac a'i rhenir tua phedwar gwynt y nefoedd*—rhwng ei bedwar cadfridog: gwel ar pen. vii. 6, a viii. 8.

Adn. 5. *Yna y cryfha brenin y deau*] Un o bedwar cadfridog Alexander, sef *Ptolemy Lagus*, brenin yr Aifft, yr hon a orweddai o du y deau i Judea. *Ac un o'i dywysogion*—un arall o gadfridogion Alexander, sef *Seleucus Nicator*, 'brenin y gogledd,' neu Syria, yr hon oedd o du y gogledd i Judea. *Ac efe a gryfha uwch ei law ef*—uwchlaw brenin yr Aifft, trwy i Seleucus chwanegu teyrnasoedd Macedonia, Thrace, a gwledydd ereill, at Syria. *Llywodraeth fawr fydd ei lywodraeth ef*—trwy iddo ddarostwng oddeutu tair rhan o bedair o holl amherodraeth Alexander. Er i deyrnas Alexander gael ei rhanu yn bedair rhan, eto am ddwy o honynt yn unig y

6 Ac yn niwedd blynyddoedd yr
ymgysylltant; canys merch brenin
y deau a ddaw at frenin y gogledd
i wneuthur cymod; ond ni cheidw
hi nerth y braich; ac ni saif yntau,
na'i fraich: eithr rhoddir hi i fyny,
a'r rhai a'i dygasant hi, a'r hwn a'i
cenhedlodd hi, a'i chymhorthwr, yn
yr amseroedd *hyn*.
7 Eithr yn ei le ef y saif *un* allan
o flaguryn ei gwraidd hi, yr hwn a
ddaw â llu, ac a â i amddiffynfa
brenin y gogledd, ac a wna yn eu
herbyn hwy, ac a orchfyga;
8 Ac a ddwg hefyd i gaethiwed i'r
Aifft, eu duwiau hwynt, a'u tywys-
ogion, a'u dodrefn anwyl o arian ac
aur, ac efe a bery *fwy* o flynydd-
oedd na brenin y gogledd.
9 A brenin y deau a ddaw i'*w*
deyrnas, ac a ddychwel i'w dir ei
hun.
10 A'i feibion a gyffroir, ac a
gasglant dyrfa o luoedd mawrion:
a chan ddyfod y daw *un*, ac a lifeir-
ia, ac a â trosodd: yna efe a ddy-
chwel, ac a gyffroir hyd ei amddiff-
ynfa ef.
11 Yna y cyffry brenin y deau,
ac yr â allan, ac a ymladd âg ef,

---

sonir yn y broffwydoliaeth hon, sef yr *Aifft* a *Syria;* canys y rhai hyn oeddynt y rhai mwyaf pwysig, ac a ymddanghosent un amser fel wedi llyncu i fyny y ddwy arall; ac oddiwrthynt hwy y dyoddefai yr Iuddewon fwyaf.

Adn. 6. *Ac yn niwedd blynyddoedd*] Yn mhen amrai flynyddoedd wedi hyny, neu ar ol i lawer o ryfeloedd gwaedlyd fod rhwng brenin y deau a brenin y gogledd; *yr ymgysylltant*—yr ymgymodant â'u gilydd: *canys merch brenin y deau a ddaw at frenin y gogledd i wneuthur cymod*—cytunasant i ymgymodi ar yr ammod i Antiochus Theos, trydydd brenin Syria, roddi ymaith ei wraig *Laodice* a'i dau fab; a phriodi *Berenice*, merch Ptolemy Philadelphus, ail frenin yr Aifft; yr hyn a wnaeth efe, ar ol cael cynysgaeth helaeth gyda hi. *Ond ni cheidw hi nerth y braich*—hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddeall, ni chaiff ei *hiliogaeth* hi ddyfod i'r orsedd; neu, ni cheidw hi ffafr a dylanwad gydag Antiochus; canys yn mhen amser, mewn pang o serch, efe a ddyg ei wraig gyntaf Laodice, a'i dau fab, yn ol i'r llys. *Ac ni saif yntau, na'i fraich*—sef efe, na'i hiliogaeth o Berenice; canys Loadice, gan ofni ansefydlogrwydd ei gŵr, a chan feddwl y byddai iddo ef wahodd Berenice eilwaith i'r llys, a barodd iddo ef gael ei wenwyno, ac i Berenice hefyd gael ei lladd; ac a osododd ei mab ei hun, *Seleucus Callinicus*, ar orsedd Syria. *Eithr rhoddir hi i fyny*—rhoddir Berenice i fyny i'w lladd trwy orchymyn Loadice; *a'r rhai a'i dygasant hi*—lleddir hefyd ei gweision a'i morwynion, y rhai a ddaethent â hi drosodd o'r Aifft; *a'r hwn a'i cenhedlodd hi*—sef ei thad; neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'yr hwn a *esgorodd* hi,' sef ei hunig blentyn; *a'i chymhorthwr*—rhyw noddwr neu gynghorwr iddi yn amser ei hysgariad oddiwrth ei gŵr.

Adn. 7. *Eithr yn ei le ef*] Yn lle ei thad neu ei chymhorthwr; *y saif un allan o flaguryn ei gwraidd hi*—hwn oedd *Ptolemy Euergetes*, brawd Berenice, yr hwn, i ddial marwolaeth ei chwaer, a aeth allan gyda llu mawr yn erbyn Seleucus Callinicus, ac a ennillodd oddiarno ef holl Asia, o Fynydd Taurus hyd yr India. *Ac a â i amddiffynfa brenin y gogledd*—sef i holl amddiffynfeydd a dinasoedd caerog Syria a Cilicia, gan estyn ei fuddugoliaethau hyd yr Euphrates a'r Tigris; *ac a orchfyga*—yn mhob man lle yr elo.

Adn. 8. *Ac a ddwg hefyd i gaethiwed i'r Aifft, eu duwiau hwynt, a'u tywysogion*] Sef eilunod a thywysogion Syria a'i hamgylchoedd. Dywedir iddo ddychwelyd i'r Aifft gyda 2,500 o ddelwau aur ac arian, a 40,000 o dalentau arian, a nifer mawr o lestri arian ac aur. *Ac efe a bery fwy o flynyddoedd na brenin y gogledd*—bu Ptolemy yn teyrnasu am 25 o flynyddoedd, ac yn byw bedair neu bum mlynedd ar ol Seleucus, yr hwn a fu farw mewn alltudiaeth trwy syrthio oddiar ei farch.

Adn. 9. *A brenin y deau*] Sef Ptolemy Euergetes, brenin yr Aifft; *a ddaw i'w deyrnas*—i Syria, teyrnas Seleucus Callinicus, i ddial marwolaeth ei chwaer, fel y nodwyd; *ac a ddychwel i'w dir ei hun*—heb gael ei aflonyddu gan frenin y gogledd. Dywed rhai y buasai iddo lwyr ddyfetha teyrnas Syria y pryd hyn, oni buasai iddo glywed fod gwrthryfel wedi tori allan yn yr Aifft, lle y gorfu iddo ddychwelyd yn ebrwydd i'r dyben i'w ddarostwng.

Adn. 10. *A'i feibion a gyffroir*] Sef *Seleucus Ceraunus* ac *Antiochus Fawr*, meibion Callinicus brenin Syria; *ac a gasglant dyrfa a lluoedd mawrion*—i fyned yn erbyn brenin yr Aifft. *A chan ddyfod y daw un*—un o'r ddau, sef Antiochus Fawr yn unig, yr hwn a daena ei fyddinoedd fel llifeiriant dros y wlad. Cafodd *Ceraunus*, yr hwn a ddylynodd ei dad ar yr orsedd, ei wenwyno gan ddau o'i gadfridogion cyn iddo lwyddo yn ei amcan; a'i frawd *Antiochus* a esgynodd i'r orsedd yn ei le ef, ac a adennillodd Syria a Seleucia oddiar frenin yr Aifft.

Adn. 11. *Yna y cyffry brenin y deau*] Sef *Ptolemy Philopator*, yr hwn a ddylynodd ei dad Euergetes ar yr orsedd; *ac yr â allan*—i ymladd âg Antiochus Fawr, brenin Syria, wrth Raphia. *Ac efe*—sef Antiochus, *a gyfyd dyrfa fawr*—dywed Polybias fod byddin Antiochus yn cynwys 62,000 o wŷr traed, 6,000 o wŷr meirch, a 102 o gawrfilod. *Ond y dyrfa a roddir i'w law ef*—sef i law Ptolemy,

*sef* â brenin y gogledd: ac efe a
gyfyd dyrfa fawr; ond y dyrfa a
roddir i'w law ef.
12 Pan gymerer ymaith y dyrfa,
yr ymddyrchafa ei galon, ac efe a
gwympa fyrddiwn; er hyny ni bydd
efe cryf.
13 Canys brenin y gogledd a ddy-
chwel, ac a gyfyd dyrfa fwy na'r
gyntaf, ac yn mhen enyd o flynydd-
oedd, gan ddyfod y daw â llu mawr,
ac â chyfoeth mawr.
14 Ac yn yr amseroedd hyny
llawer a safant yn erbyn brenin y
deau; a'r yspeilwyr o'th bobl a ym-
ddyrchafant i sicrhau y weledig-
aeth; ond hwy a syrthiant.
15 Yna y daw brenin y gogledd,
ac a fwrw glawdd, ac a ennill y di-
nasoedd caerog, ond breichiau y
deau ni wrthsafant, na'i bobl dde-
wisol ef, ac ni *bydd* nerth i sefyll.
16 A'r hwn a ddaw yn ei erbyn ef
a wna fel y myno, ac ni *bydd* a safo
o'i flaen; ac efe a saif yn y wlad
hyfryd, a thrwy ei law ef y dyfethir
hi.
17 Ac efe a esyd ei wyneb ar
fyned â chryfder ei holl deyrnas, a
rhai uniawn gydag ef; fel hyn y
gwna; ac efe a rydd iddo ferch
gwragedd, gan ei llygru hi; ond
ni saif hi *ar ei du ef*, ac ni bydd hi
gydag ef.

---

yr hwn a gafodd lwyr fuddugoliaeth ar Antiochus; canys lladdwyd o fyddin yr olaf oddeutu 10,000 o wŷr traed, ac uwchlaw 300 o wŷr meirch, a chymerwyd 4,000 yn garcharorion.

Adn. 12. *Pan gymerer ymaith y dyrfa*] Ar ol enciliad Antiochus i'w wlad ei hun; *yr ymddyrchafa ei galon*—sef calon Ptolemy, yr hwn a ymroddodd i gyflawni pob llygredigaeth: *ac efe a gwympa fyrddiwn*—neu, 'efe a *gwympodd* fyrddiwn,' yr hyn a grybwyllir fel yr achos o ymddyrchafiad ei galon, a'i falchder. Ond tybia rhai fod yma gyfeiriad at ei waith ef yn lladd oddeutu 60,000 o'r Iuddewon yn yr Aifft oddeutu y pryd hyn, o herwydd i'r Iuddewon ei attal ef rhag myned i gysegr santeiddiolaf y deml pan yn Jerusalem. *Er hyny ni bydd efe cryf*—canys darfu i lawer o'i bobl ei hun wrthryfela i'w erbyn, o herwydd iddo wneuthur heddwch âg Antiochus er mwyn cael tawelwch i ddylyn ei chwantau a'i nwydau drygionus.

Adn. 13. *Canys brenin y gogledd a ddychwel, ac a gyfyd dyrfa fwy na'r gyntaf*] Gwel ar adn. 11; *ac yn mhen enyd o flynyddoedd, gan ddyfod y daw â llu mawr*—yn mhen oddeutu 14 o flynyddau, sef ar ol i Antiochus Fawr ymuniawni oddiwrth effeithiau ei ddarostyngiad blaenorol, efe a ddychwelodd i ail ymosod ar yr Aifft gyda byddin lawer lluosocach na'r gyntaf; *ac â chyfoeth mawr*—wedi ei gael trwy ei fuddugoliaethau yn Parthia a rhanau ereill o'r dwyrain, i ddwyn traul yr ymosodiad hwn.

Adn. 14. *Ac yn yr amseroedd hyny llawer a safant yn erbyn brenin y deau*] Nid yn unig Antiochus Fawr, brenin y gogledd, ond hefyd Philip brenin Macedonia, Agathocles, a llawer o'r Iuddewon hefyd. Yr oedd Ptolemy Philopator yn awr wedi marw, a dylynid ef ar yr orsedd gan ei fab *Ptolemy Epiphanes*, yr hwn nid oedd y pryd hyn ond plentyn pum mlwydd oed. *A'r yspeilwyr o'th bobl*—sef y dynion mwyaf dewr a chreulon o'r Iuddewon, pobl Daniel; *a ymddyrchafant i sicrhau y weledigaeth*—a gyfranant yn fawr, er yn ddiarwybod iddynt eu hunain, tuag at gyflawni y broffwydoliaeth hon am y trallodau a ddygid ar yr Iuddewon gan frenhinoedd olynol Syria. *Ond hwy a syrthiant*—ni lwyddant yn eu hamcan. Y mae yn wir y bydd i'w hymddygiad yn yr achos hwn gyflawni y 'weledigaeth,' ond ni bydd iddo gyraedd y dybenion a fydd ganddynt hwy mewn golwg, megys eu hanrhydedd eu hunain, ffafr Antiochus, neu annibyniaeth eu gwlad. Daeth Scopas yn mlaen y pryd hyn gyda byddin gref oddiwrth Ptolemy, ac a ddarostyngodd yn fuan ddinasoedd Cœlosyria a Phalestina i'w hufydd-dod blaenorol. Dylai y darllenydd gofio mai prif eisteddle y rhyfeloedd rhwng Syria a'r Aifft oedd Palestina a'i hamgylchoedd, a'i bod yn meddiant brenhinoedd y deau a'r gogledd bob yn ail.

Adn. 15. *Yna y daw brenin y gogledd, &c.*] Dychwelodd Antiochus Fawr yn fuan wedi hyn, ac adennillodd yr hyn a gymerasai Scopas: yna gwarchaeodd ar Scopas a'i 10,000 o wŷr yn Sidon, a chymerodd y ddinas gadarn hòno, yn nghydag amddiffynfeydd ereill o eiddo Ptolemy, heb nerth gan ei filwyr dewisol ef i wrthsefyll Antiochus.

Adn. 16. *A'r hwn a ddaw yn ei erbyn ef a wna fel y myno*] Byddai i Antiochus, yr hwn a ddeuai yn erbyn Scopas cadfridog yr Aifft, gael ei ewyllys yn hollol arno ef a'i fyddin, heb i neb allu sefyll o'i flaen. *Ac efe a saif yn y wlad hyfryd*—sefydlir awdurdod Antiochus eilwaith yn Palestina; *a thrwy ei law ef y dyfethir hi*—neu 'y *bwyteir* hi,' nid yn fwriadol mewn digofaint, ond trwy orfod cynal ei fyddin a'i feirch ef. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'trwy ei law ef y *perffeithir* hi;' canys danghosodd Antiochus ffafr fawr i'r Iuddewon y pryd hyn, trwy ddwyn adref eu gwasgaredigion, a rhyddhau yr offeiriaid a'r Lefiaid oddiwrth bob treth.

Adn. 17. *Ac efe*] Sef Antiochus, *a esyd ei wyneb ar fyned â chryfder ei holl deyrnas*—tua'r Aifft hefyd; *a rhai uniawn gydag ef*—sef byddin o'r Iuddewon, yn ol rhai, i gynorthwyo ei fyddinoedd cryfion ereill: neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'efe a wna bob peth yn uniawn gydag ef;' hyny yw, efe a ymddyga yn mhob peth fel pe buasai yn

18 Yna y try efe ei wyneb at yr
ynysoedd, ac a ennill lawer; ond
penaeth a bair i'w warth ef beidio,
er ei fwyn ei hun, heb warth iddo
ei hun: efe a'i dettry arno ef.
19 Ac efe a dry ei wyneb at am-
ddiffynfeydd ei dir ei hun: ond efe
a dramgwydda, ac a syrth, ac nis
ceir ef.
20 Ac yn ei le ef y saif un a gyf-
yd drethau yn ngogoniant y deyrn-
as: ond o fewn ychydig ddyddiau
y dystrywir ef; ac nid mewn dig,
nac mewn rhyfel.

---

cael ei lywodraethu gan yr egwyddor gyfiawnaf. *Ac efe a rydd iddo ferch gwragedd*—sef ei ferch ei hun, yr hon a ystyrid y decaf o ferched gwragedd. Cynygiodd Antiochus yn ddichellgar roddi ei ferch *Cleopatra* yn wraig i *Ptolemy*, yr hwn oedd erbyn hyn tua 16 mlwydd oed; ac efe a'i dyg hi i Raphia, ar derfynau yr Aifft, lle y priodwyd hwynt; a rhoddodd Antiochus daleithiau Cœlosyria a Phalestina yn gynysgaeth iddo gyda'i ferch, ar yr ammod i'r trethi gael eu rhanu yn gyfartal rhwng y ddau frenin. *Gan ei llygru hi*—gan geisio ei hennill hi i fradychu hawliau ei gŵr drosodd i'w thad, neu droi yr Aifft dan ei lywodraeth ef. *Ond ni saif hi ar ei du ef*—ni bydd iddi hi bleidio ei thad, eithr hi a fydd yn ffyddlon yn hytrach i'w gŵr. Dywed *Livy*, llyfr xxxvii. pen. 3, iddi hi fyned gyda'i gŵr at y Rhufeiniaid i'w llongyfarch hwy ar ol iddynt orchfygu ei thad, ac i addaw eu pleidio hwy yn eu rhyfeloedd yn Asia.

Adn. 18. *Yna y try efe ei wyneb at yr ynysoedd, ac a ennill lawer*] Pan welodd Antiochus na allai gael yr Aifft at ei deyrnas, efe a barotodd dri chant o longau i ymosod ar ddinasoedd glanau Môr-y-canoldir, ac ennillodd lawer o'r ynysoedd yno, megys *Rhodes, Samos, Eubœa, Colophon*, ac ereill. *Ond penaeth a bair i'w warth ef beidio*—sef y gwarth ag y bwriadai efe ei osod ar wledydd ereill. Darfu i *Lucius Scipio*, penaeth neu gadfridog Rhufeinig, fyned yn erbyn Antiochus, a'i ddifeddiannu o'r gwledydd a ennillasai efe yn nhir Groeg ac Asia Leiaf, a'i orfodi i dalu cost y rhyfel, yr hyn a gyrhaeddai i 15,000 o dalentau. Yr oedd ef i dalu 500 o dalentau yn y fan, a 2,500 ar ol i'r heddwch gael ei gadarnhau gan y senedd, a'r 12,000 gweddill mewn deuddeng mlynedd, sef mil o dalentau bob blwyddyn; ac fel sicrwydd o hyn, yr oedd efe i roddi ugain o bersonau yn wystlon i'r Rhufeiniaid, a'r rhai hyny o'u dewisiad eu hunain, yn mhlith pa rai yr oedd ei fab Antiochus, yr hwn a gyfenwid wedi hyny Epiphanes: gwel *John's Hebrew Commonwealth*, dal. 248, 249. *Er ei fwyn ei hun*—er mwyn ei ogoniant ei hun; canys cafodd Scipio ei alw wedi hyn yn *Asiaticus*, mewn ffordd o anrhydedd iddo am waredu *Asia* o ddwylaw Antiochus. *Heb warth iddo ei hun*—oddiwrth y rhyfel hon; *efe a'i dettry arno ef*—hyny yw, yn lle i Scipio a'i wlad fod dan warth, trowyd y gwarth ar Antiochus a'i fyddin orchfygedig. Ni chollodd y Rhufeiniaid ond 325 o wŷr y pryd hyn; tra yr oedd 50,000 o wŷr traed, 4,000 o wŷr meirch, a 15 o gawrfilod perthynol i fyddinoedd Antiochus, wedi eu gadael yn feirw ar y maes! Heblaw hyn, cymerwyd 1,500 o'i wŷr yn garcharorion, a chydag anhawsder mawr y diangodd Antiochus ei hun i Sardis.

Adn. 19. *Ac efe a dry ei wyneb at amddiffynfeydd ei dir ei hun*] Ar ol i Antiochus gael ei warthruddio fel hyn, efe a enciliodd ar hyd y nos i Sardis, ac oddiyno i Apimea, ac oddiyno i Antiochia yn Syria, o ba le yr anfonodd genadau i wneuthur heddwch ar yr ammodau a enwyd uchod: ac yn chwanegol at ba rai, efe a ymrwymodd i beidio cadw cawrfilod, na mwy na deuddeng o longau. *Ond efe a dramgwydda, ac a syrth, ac nis ceir ef*—o herwydd anhawsdra i gael yr arian uchod i'r Rhufeiniaid, efe a aeth i yspeilio teml gyfoethog Jupiter Belus yn Elymais, yr hyn a gynhyrfodd y trigolion digofus i ruthro arno, a'i ladd ef a'i bobl; ac felly y tramgwyddodd ac y syrthiodd, fel nas caed ef ar dir y rhai byw: gwel *Diodorus Siculus, Strabo, Justin*, a *Jerome*. Y mae y broffwydoliaeth am Antiochus Fawr yn terfynu yma; ac y mae pob peth wedi cael ei ragfynegu mor fanwl, a'i gyflawni mor gywir ynddo ef, a phe buasai y cwbl yn *hanes* wedi ei hysgrifenu ar ol ei farwolaeth ef.

Adn. 20. *Ac yn ei le ef y saif un a gyfyd drethau*] Hwn oedd *Seleucus Philopator*, mab hynaf Antiochus Fawr, yr hwn a fu yn teyrnasu ar ol ei dad oddeutu 12 mlynedd, ac a oedd yn rhwym o dalu mil o dalentau i'r Rhufeiniaid yn flynyddol, yn ol cytundeb ei dad, adn. 18. *Yn ngogoniant y deyrnas*—er anrhydedd a diogelwch i'r deyrnas. Ond wrth 'ogoniant y deyrnas' y dealla rhai y *deml* yn Jerusalem, lle y danfonodd efe ei drysorydd *Heliodorus* i geisio yr arian a'r aur ag oedd yno. *Ond o fewn ychydig ddyddiau y dystrywir ef*—sef yn mhen ychydig ddyddiau ar ol iddo gysegr-yspeilio teml Dduw: *ac nid mewn dig*—nid mewn terfysg cartrefol; *nac mewn rhyfel*—â gelynion estronol; eithr yn fradwrus gan ei drysorydd Heliodorus, yr hwn a obeithiai gael y deyrnas ar ei ol ef: canys yr oedd Demetrius, etifedd cyfreithlon y goron, yn wystl am yr arian uchod yn Rhufain y pryd hyn, wedi ei anfon yno yn wystl yn lle Antiochus Epiphanes, brawd y brenin Philopator; ac yr oedd Antiochus eto heb gyraedd adref.

Adn. 21. *Ac yn ei le yntau y saif un dirmygus*] Hwn oedd yr *Antiochus Epiphanes* uchod, gelyn mawr y genedl a'r grefydd Iuddewig, at yr hwn y cyfeiriwyd eisioes yn pen. viii. *Ac ni roddant iddo ogoniant y deyrnas*—ni roddai y bobl iddo yr anrhydedd hwnw, am na byddai i neb feddwl am ei wneyd ef yn frenin; neu ni ddeuai efe i'r orsedd yn naturiol a rheolaidd. *Eithr efe a ddaw i mewn*—er hyny, *yn heddychol*—ac

21 Ac yn ei le yntau y saif *un*
dirmygus, ac ni roddant iddo ogon-
iant y deyrnas: eithr efe a ddaw i
mewn yn heddychol, ac a ymeifl yn
y frenhiniaeth trwy weniaith.
22 Ac â breichiau llifeiriant y
llifir drostynt o'i flaen ef, ac y dryllir
hwynt, a thywysog y cyfammod
hefyd.
23 Ac wedi ymgyfeillach âg ef, y
gwna efe dwyll; canys efe a ddaw
i fyny, ac a ymgryfha âg ychydig
bobl.
24 I'r dalaeth heddychol a bras y
daw efe, ac a wna yr hyn ni wnaeth
ei dadau, na thadau ei dadau; ys-
glyfaeth, ac yspail, a golud, a daena
efe yn eu mysg: ac ar gestyll y
bwriada efe ei fwriadau, *sef* dros
amser.
25 Ac efe a gyfyd ei nerth a'i
galon yn erbyn brenin y deau â llu
mawr: a brenin y deau a ymesyd i
ryfel â llu mawr a chryf iawn; ond
ni saif efe: canys bwriadant fwr-
iadau yn ei erbyn ef.
26 Y rhai a fwytânt ran o'i fwyd
ef a'i dyfethant ef, a'i lu ef a lifeir-
ia; a llawer a syrth yn lladdedig.
27 A chalon y ddau frenin hyn
*fydd* ar wneuthur drwg, ac ar un
bwrdd y traethant gelwydd; ond ni

---

nid trwy ryfel; *ac a ymeifl yn y frenhiniaeth trwy weniaith*—trwy gyfrwysdra, yn hytrach na thrwy rym arfau. Yr oedd yr hawl i'r goron, fel y sylwyd, yn perthyn i *Demetrius*, mab Seleucus Philopator, a nai Antiochus; ond gan fod hwnw yn wystl yn Rhufain pan fu farw ei dad trwy fradwriaeth Heliodorus, a chan i Antiochus glywed am farwolaeth ei frawd pan yn Athen ar ei ffordd adref o Rufain, cymerodd hwnw fantais ar absenoldeb yr etifedd, a brysiodd adref i ymaflyd yn y frenhiniaeth: a thrwy *wenieithio* i *Eumenes* brenin *Pergamus*, ac i *Attalus* ei frawd, cafodd eu cymhorth hwy yn erbyn y trawsymwthiwr Heliodorus. Efe a wenieithodd hefyd i'r *Rhufeiniaid*, ac a anfonodd genadau i ennill eu ffafr hwy, ac i dalu iddynt y gweddill o'r deyrnged, gan eu hanrhegu hefyd â llestri aur, yn pwyso 500 o bwysi. Ac efe a wenieithodd i'r *Syriaid*, ac a ennillodd eu cydsyniad hwythau, fel ag y daeth i mewn o'r diwedd yn 'heddychol.' Ac megys ag y gwenieithodd efe i'r Syriaid, felly y gwenieithodd y Syriaid iddo yntau, trwy roddi iddo y cyfenw *Epiphanes*, neu 'yr Ardderchog.' Ond y mae y teitl a roddir iddo yma gan yr angel, 'un *dirmygus*,' yn llawer mwy cyson â'i gymeriad ef. Efe a âi i'r tafarnau mwyaf cyffredin, ac i'r cwmnïau iselaf, i fwyta ac yfed gyda'r meddwon, ac i ganu caniadau halogedig; am yr hyn y gelwid ef gan rai yn *Epimanes*, 'y gwallgofddyn,' yn lle *Epiphanes*, 'yr ardderchog.'

Adn. 22. *Ac â breichiau llifeiriant*] Sef â nerth byddin gref Eumenes ac Attalus; *y llifir drostynt o'i flaen ef, ac y dryllir hwynt*—y dryllir Heliodorus ac ereill, y rhai a geisient am yr orsedd; *a thywysog y cyfammod hefyd*—hwn ond odid oedd *Onias* yr archoffeiriad, yr hwn y darfu i Antiochus ei ddiswyddo er mwyn cael arian am ei swydd ef gan *Jason*; ac wedi hyny gwerthodd yr archoffeiriadaeth i *Menelaus* ddrygionus, yr hwn a gynygiodd iddo fwy o arian am dani. Fel hyn efe a wnaeth 'dwyll' â Jason: gwel 2 Mac. iv. 8, 24. Ond tybia rhai mai brenin yr Aifft a feddylir yma wrth 'dywysog y cyfammod.'

Adn. 23. *Ac wedi ymgyfeillach âg ef, y gwna efe dwyll*] Hyny yw, yn ol rhai, efe a wna dwyll â thywysog y cyfammod, sef yr archoffeiriad, fel y nodwyd uchod; neu, fel y barna ereill, ar ol iddo wneyd cytundeb cyfeillgar â brenin yr Aifft, efe a ymddyga yn dwyllodrus tuag at hwnw. *Canys efe a ddaw i fyny*—yn erbyn yr Aifft, yn ol rhai; neu, yn ol ereill, efe a ddaw i fyny o Rufain i Syria; *ac a ymgryfha âg ychydig bobl*—ei bleidwyr ei hun, yn cael eu cynorthwyo gan fyddinoedd Eumenes ac Attalus, fel y nodwyd adn. 21.

Adn. 24. *I'r dalaeth heddychol a bras y daw efe*] Sef i'r Aifft, yn ol rhai; i Syria, yn ol ereill; neu i Palestina, yn ol ereill: *ac a wna yr hyn ni wnaeth ei dadau, na thadau ei dadau*—mewn ffordd o haelioni, neu ynte o fuddugoliaeth. *Ysglyfaeth, ac yspail, a golud, a daena efe yn eu mysg*—i'r dyben i ennill y bobl yn bleidwyr iddo: *ac ar gestyll y bwriada efe ei fwriadau*—efe a esyd ei fryd ar gadarnhau yr amddiffynfeydd, a'u diogelu iddo ei hun; *sef dros amser*—bu rai blynyddau yn ymbarotoi fel hyn.

Adn. 25. *Ac efe a gyfyd ei nerth a'i galon yn erbyn brenin y deau â llu mawr*] Ymosododd Antiochus bedair gwaith ar yr Aifft yn ystod ei deyrnasiad, a hyny gyda mwy neu lai o lwyddiant. *A brenin y deau a ymesyd i ryfel â llu mawr a chryf iawn*—yn erbyn Antiochus. *Ond ni saif efe*—yn ngwyneb byddin Antiochus; *canys bwriadant fwriadau yn ei erbyn ef*—yn erbyn Ptolemy Philometor, brenin yr Aifft, i'w orchfygu ef: gwel 1 Mac. i. 16—19.

Adn. 26. *Y rhai a fwytânt ran o'i fwyd ef*] Sef ei gynghorwyr, ei weision, a'i gyfeillion ei hun; *a'i dyfethant ef*—a droant yn anffyddlon ac yn fradychwyr iddo. *A'i lu ef a lifeiria*—bydd byddin brenin yr Aifft yn lluosog iawn; *a llawer a syrth yn lladdedig*—wrth ryfela â byddinoedd Antiochus.

Adn. 27. *A chalon y ddau frenin hyn*] Sef brenin yr Aifft a brenin Syria; *fydd ar wneuthur drwg*—fydd ar dwyllo eu gilydd. *Ac ar un bwrdd y traethant gelwydd*—ymgyfarfu y ddau hyn wrth yr un bwrdd yn

thycia: canys eto *y bydd* y diwedd
ar yr amser nodedig.
28 Ac efe a ddychwel i'w dir ei
hun â chyfoeth mawr; a'i galon
*fydd* yn erbyn y cyfammod sant-
aidd: felly y gwna efe, ac y dy-
chwel i'w wlad.
29 Ar amser nodedig y dychwel,
ac y daw tua'r deau; ac ni bydd fel
y *daith* gyntaf, neu fel yr olaf.
30 ¶ Canys llongau Chittim a
ddeuant yn ei erbyn ef; am hyny yr
ymofidia, ac y dychwel, ac y digia
yn erbyn y cyfammod santaidd:
felly y gwna efe, ac y dychwel, ac
efe a ymgynghora â'r rhai a adaw-
ant y cyfammod santaidd.
31 Breichiau hefyd a safant ar ei
du ef, ac a halogant gysegr yr am-
ddiffynfa, ac a ddygant ymaith y
gwastadol *aberth,* ac a osodant *yno* y
ffieidd-dra anrheithiol.
32 A throseddwyr y cyfammod a
lygra efe trwy weniaith: eithr y

---

Memphis i gytuno ar ammodau heddwch, lle y traethai y naill gelwydd wrth y llall mewn gweniaith a thwyll. *Ond ni thycia* — ni lwydda eu cynlluniau twyllodrus. *Canys eto y bydd y diwedd ar yr amser nodedig*—ni fydd y diwedd, neu y canlyniad, yn y modd ag y cytunwyd ganddynt hwy, nac ar yr amser a nodasant; eithr bydd yn ol trefn rhagluniaeth Duw, ac ar yr amser penodedig ganddo ef.

Adn. 28. *Ac efe*] Sef Antiochus; *a ddychwel i'w dir ei hun â chyfoeth mawr*—wedi ei gymeryd yn yspail o'r Aifft. *A'i galon fydd yn erbyn y cyfammod santaidd*—a wnaed rhwng Duw a'i bobl Israel, neu yn erbyn y sefydliadau Iuddewig. *Felly y gwna efe*—ei orchestion drygionus, megys halogi y deml, ei hyspeilio o'i thrysorau, a lladd a gwerthu miloedd o'r Iuddewon, 1 Mac. i. 20, &c.; *ac y dychwel i'w wlad*—sef i Antiochia yn Syria.

Adn. 29. *Ar amser nodedig y dychwel*] Antiochus brenin y gogledd; *ac y daw tua'r deau*—sef i'r Aifft. Yr oedd trigolion Alexandria yn yr Aifft wedi gwrthod ymostwng i Antiochus; a chan fod *Ptolemy Philometor* wedi eu tramgwyddo hwy wrth gynghreirio âg Antiochus, hwy a osodasant ei frawd *Euergetes* yn frenin yn ei le ef. Ond wedi hyny ymunodd y ddau frawd hyn i wrthwynebu Antiochus: ac yn mhen oddeutu dwy flynedd, sef ar yr amser nodedig gan ragluniaeth Duw, adn. 27, dychwelodd Antiochus i'r Aifft i ddial ar y ddau frawd hyn. *Ac ni bydd fel y daith gyntaf, neu fel yr olaf*—ni bu y daith hon mor lwyddiannus a'i deithiau ereill ef yn erbyn yr Aifft, am y rheswm a enwir isod.

Adn. 30. *Canys llongau Chittim*] Sef llongau perthynol i'r Rhufeiniaid, y rhai a forient yn Môr-y-canoldir, Jer. ii. 10, Ezec. xxvii. 5; *a ddeuant yn ei erbyn ef*—dywedir i Antiochus, pan o fewn saith milldir i Alexandria, glywed fod llongau wedi cyraedd yno gyda chenadau o Rufain, a llythyrau oddiwrth y senedd, yn gorchymyn iddo, dan boen eu hanfoddlonrwydd hwy, roddi ei arfau i lawr, a pheidio aflonyddu yr Aifftiaid. *Am hyny yr ymofidia ac y dychwel*—mewn siomedigaeth, anfoddlonrwydd, a dychryn; *ac y digia yn erbyn y cyfammod santaidd*—gwel ar adn. 28. Ar ol i Antiochus gael ei siomi yn ei fwriadau o berthynas i'r Aifftiaid, efe a droes ei holl lidiogrwydd yn erbyn yr Iuddewon a'u gwlad; ac anfonodd Apollonius i Jerusalem gyda byddin o 22,000 o wŷr, y rhai a laddasant niferoedd mawrion o'r Iuddewon, ac a yspeiliasant y ddinas, gan losgi a dystrywio rhanau helaeth o'r muriau a'r adeiladau. *Ac efe a ymgynghora â'r rhai a adawant y cyfammod santaidd*—sef â Menelaus yr archoffeiriad halogedig, ac Iuddewon gwrthgiliedig ereill, y rhai oeddynt annogwyr penaf y Syriaid yn erbyn eu crefydd a'u gwlad: gwel 1 Mac. i. 43, &c., 2 Mac. vi. 1—9. Gorfu i'r Iuddewon y pryd hyn gydymffurfio â chrefydd eilunaddolgar y Groegiaid, neu gael eu lladd.

Adn. 31. *Breichiau hefyd*] Neu fyddinoedd arfog y Rhufeiniaid, yn ol rhai; *a safant ar ei du ef*—sef ar du Antiochus; *ac a halogant gysegr yr amddiffynfa*—sef y deml, yr hon oedd yn gadarn iawn, ac yn wystl o amddiffyniad Duw i'r rhai a'i haddolent ef mewn gwirionedd; *ac a ddygant ymaith y gwastadol aberth*—trwy rwystro i'r Iuddewon ei offrymu, pen. viii. 11, 12; *ac a osodant yno y ffieidd-dra anrheithiol*—sef delw, allor, ac addoliad Jupiter, 1 Mac. i. 54. Er yr addefir yn gyffredin mai at Antiochus Epiphanes y cyfeirir o adn. 21 hyd yma, eto y mae amrywiaeth barnau o berthynas i'r un ag y cyfeirir ato o'r adnod hon hyd ddiwedd y bennod. (1) Tybia *Grotius*, *Lengerke*, *Barnes*, *Benson*, *Henry*, *Bertholdt*, *Maurer*, *Porphory*, *&c.*, mai at ANTIOCHUS EPIPHANES y cyfeirir oddiyma hyd ddiwedd y bennod. (2) Tybia *Syr Isaac Newton* ac ereill mai y RHUFEINIAID a olygir yn yr adnodau hyn. (3) Tra y tybia *Jerome*, a'r rhan fwyaf o'r tadau Cristionogol, mai at Antiochus fel cysgod o ANNGHRIST y cyfeirir, a bod y darluniad yn myned heibio oddiwrth y cysgod at y gwrthgysgod. (4) Ond y mae rhai yn cymhwyso hyn oll at Fahometaniaeth, ereill at Babyddiaeth, ereill at Napoleon, ac ereill at ryw bethau ag sydd eto heb eu cyflawni: eithr y golygiad cyntaf a ymddengys i mi fel y mwyaf rhesymol.

Adn. 32. *A throseddwyr y cyfammod a lygra efe trwy weniaith*] Sef yr Iuddewon gwrthgiliedig ond odid, y rhai a hudid i eilunaddoliaeth trwy weniaith Antiochus: ond tybia ereill mai cyfeiriad sydd yma at y dichellion a'r addewidion hudoliaethus a ddefnyddid gan amherawdwyr Rhufain i ddenu y Cristionogion cyntefig oddiwrth eu proffes o Grist. *Eithr y bobl a adwaenant eu Duw*

bobl a adwaenant eu Duw, a fydd-
ant gryfion, ac a ffynant.
33 A'r rhai synwyrol yn mysg y
bobl a ddysgant lawer; eto syrth-
iant trwy y cleddyf, a thrwy dân,
trwy gaethiwed, a thrwy yspail,
ddyddiau *lawer*.
34 A phan syrthiant, â chymhorth
bychan y cymhorthir hwynt; eithr
llawer a lŷn wrthynt hwy trwy
weniaith.
35 A *rhai* o'r deallgar a syrth-
iant i'w puro, ac i'*w* glanhau, ac i'*w*
cànu, hyd amser y diwedd: canys
*y mae* eto dros amser nodedig.
36 A'r brenin a wna wrth ei
ewyllys ei hun, ac a ymddyrcha, ac
a ymfawryga uwchlaw pob duw;
ac yn erbyn Duw y duwiau y traetha
efe bethau rhyfedd, ac a lwydda nes
diweddu y digder: canys yr hyn a
ordeiniwyd a fydd.
37 Nid ystyria efe dduw ei dad-
au, na serch ar wragedd, ïe, nid
ystyria un duw: canys goruwch
pawb yr ymfawryga.
38 Ac efe a anrhydedda dduw y
nerthoedd yn ei le ef: ïe, duw yr
hwn nid adwaenai ei dadau a ogon-
edda efe, âg aur ac âg arian, ac â

---

—sef y rhai cywir a ffyddlon i'w addoliad ef; *a fyddant gryfion, ac a ffynant*—a wrthsafant yn effeithiol y weniaith hon.

Adn. 33. *A'r rhai synwyrol yn mysg y bobl a ddysgant lawer*] Yn ffyrdd cyfiawnder, gan eu hannog yn erbyn gwrthgiliad. Tybia rhai mai at Mattathias, Eleazar, Judas Maccabeus, ac ereill yn amser Antiochus, y cyfeirir yma, 1 Mac. ii. 1, &c.; tra y tybia ereill mai at yr apostolion a'r Cristionogion cyntefig y cyfeirir. *Eto syrthiant trwy y cleddyf, &c.*—erlidir hwynt hyd farwolaeth dros ddyddiau lawer. Y mae y darluniad hwn yn eithaf cyson â'r hyn a ddygwyddodd yn amser Antiochus a'r Rhufeiniaid.

Adn. 34. *A phan syrthiant, â chymhorth bychan y cymhorthir hwynt*] Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at fyddinoedd y Maccabeaid yn gwrthsefyll Antiochus yn llwyddiannus, er nad oeddynt un amser yn lluosog iawn; tra y tybia ereill mai cyfeiriad sydd yma at yr ychydig lonyddwch a gai yr eglwys Gristionogol ar ol pob un o'r deg erledigaeth Rufeinig; neu at y cymhorth a roddai Constantius, Chlorus, a Chystenyn Fawr, i'r Cristionogion. *Eithr llawer a lŷn wrthynt hwy*—fel y dygwyddodd yn amser Judas Maccabeus; *trwy weniaith*—sef trwy addewid o anrhydedd, neu mewn gobaith am yspail.

Adn. 35. *A rhai o'r deallgar*] Sef rhai o'r gwŷr penaf am eu gwybodaeth a'u duwioldeb; *a syrthiant i'w puro, &c.*—a ddarostyngir i'r erledigaeth hon i brofi eu ffydd a'u hamynedd, ac i'w puro a'u glanhau oddiwrth eu llygredd, 1 Pedr i. 7; *hyd amser y diwedd*—hyd yr amser a benodwyd gan Dduw i osod diwedd ar y trallodau hyn: *canys y mae eto dros amser nodedig*—bydd eto gryn amser cyn y ceir gwaredigaeth oddiwrthynt.

Adn. 36. *A'r brenin a wna wrth ei ewyllys ei hun*] A fyn ei ffordd ei hun yn mhob peth; *ac a ymddyrcha ac a ymfawryga uwchlaw pob duw*—dywedir fod Antiochus yn yspeilio temlau y duwiau yn mhob man lle yr elai, ac yn trefnu pa dduwiau a gaent neu ni chaent eu haddoli. *Ac yn erbyn Duw y duwiau y traetha efe bethau rhyfedd*—neu gableddau rhyfedd; canys gelwir ef yn 'gablwr,' 2 Mac. ix. 28. *Ac a lwydda nes diweddu y digder*—nes diweddu digofaint Duw yn erbyn pechodau yr Iuddewon: gwel ar pen. viii. 19, &c. *Canys yr hyn a ordeiniwyd a fydd*—fel pe dywedasai, Y mae y drygau hyn, ac amser eu parhad, wedi eu hordeinio gan Dduw yn gosp am bechodau ei bobl. Y mae llawer o'r esbonwyr Cristionogol, megys yr *Esgob Newton*, *Gill*, ac ereill, yn nghydag amrai o'r Iuddewon, yn meddwl fod y cyfeiriad at *Antiochus* yn dybenu yma; a bod yr hyn a ganlyn yn cyfeirio at *Annghrist* yn unig. Y mae yn wir, fel y sylwa *Benson*, 'y gellir cymhwyso llawer o'r pethau a ganlyn, mewn ffordd o gyfaddasiad, at Annghrist, o'r hwn yr oedd Antiochus yn gysgod nodedig; ond ymddengys eu bod yn cyfeirio yn benaf at Antiochus ei hun.'

Adn. 37. *Nid ystyria efe dduw ei dadau*] Sef y duw a addolid yn Syria, gwlad ei enedigaeth; canys gwnaeth Antiochus ddeddfau i ddiddymu crefydd ei wlad, a dwyn i mewn dduwiau y Groegiaid. *Na serch ar wragedd*—Saes., 'na *dymuniad* gwragedd,' sef y *lloer*, brenhines y nefoedd, yr hon yr oedd gwragedd Syria yn arferol o'i haddoli. Ond tybia *Michaelis*, *Dereser*, *Gesenius*, a *Lengerke*, mai y meddwl yw, na pharchai efe ddelw brydferth y dduwies *Venus*, yr hon yr oedd teml iddi yn Elymais, pa un a yspeiliwyd ganddo; a thybia *Stäudlin* a *Dathe* mai yr ystyr yw, na pharchai efe *ddagrau* gwragedd, ond y byddai iddo yn ei greulondeb ladd 'gwragedd a phlant, gwyryfon a bechgyn,' 2 Mac. v. 13; tra y barna ereill fod yr ymadrodd yn arwyddo, na pharchai efe *briodas* anrhydeddus, ond y byddai iddo ymwerthu i aflendid a phuteindra. *Ie, nid ystyria un duw*—yn wrthddrych haeddiannol o addoliad ganddo ef ei hun; *canys goruwch pawb yr ymfawryga*—yn y nefoedd ac ar y ddaear. Ond dylid crybwyll, fod rhai yn cymhwyso hyn oll at y *pab*: gwel ar pen. vii. 25.

Adn. 38. *Ac efe a anrhydedda dduw y nerthoedd yn ei le ef*] Yn lle 'duw ei dadau,' adn. 37. Hebr., 'efe a anrhydedda y duw *Mauzzim*,' neu y 'duwiau amddiffynol.' Wrth hwn y dealla rhai naill ai *Jupiter Olympius*, neu ynte *Mars*, 'duw y rhyfel,' yr hwn y gorchymynodd Antiochus iddo gael ei

meini gwerthfawr, ac â phethau
dymunol.
39 Fel hyn y gwna efe yn yr am-
ddiffynfeydd cryfaf gyda duw dy-
eithr, yr hwn a gydnebydd efe, *ac*
a chwanega ei ogoniant: ac a wna
iddynt lywodraethu ar lawer, ac a
rana y tir am werth.
40 Ac yn amser y diwedd yr ym-
gornia brenin y deau âg ef, a bren-
in y gogledd a ddaw fel corwynt yn
ei erbyn ef, â cherbydau, ac â
marchogion, ac â llongau lawer;
ac efe a ddaw i'r tiroedd, ac a lifa,
ac a â trosodd.
41 Ac efe a ddaw i'r hyfryd wlad,
a llawer *o wledydd* a syrthiant: ond
y rhai hyn a ddiangant o'i law ef,
Edom, a Moab, a phenaf meibion
Ammon.
42 Ac efe a estyn ei law ar y
gwledydd; a gwlad yr Aifft ni bydd
diangol.
43 Eithr efe a lywodraetha ar
drysorau aur ac arian, ac ar holl
anwyl bethau yr Aifft: y Libyaid hef-
yd a'r Ethiopiaid *fyddant* ar ei ol ef.
44 Eithr chwedlau o'r dwyrain
ac o'r gogledd a'i trallodant ef: ac
efe a â allan mewn llid mawr i ddy-
fetha, ac i ddifrodi llawer.
45 Ac efe a esyd bebyll ei lys
rhwng y moroedd, ar yr hyfryd
fynydd santaidd: eto efe a ddaw
hyd ei derfyn, ac ni *bydd* cynorth-
wywr iddo.

---

addoli yn ei deyrnas ef. *Ie, duw yr hwn nid adwaenai ei dadau*—yr hwn ni bu y Syriaid erioed yn ei addoli; *a ogonedda efe âg aur ac âg arian, &c.*—hyny yw, efe a adeilada deml iddo â'r pethau hyn.

Adn. 39. *Fel hyn y gwna efe yn yr amddiffynfeydd cryfaf gyda duw dyeithr*] Y meddwl yw, y byddai iddo ddwyn yn mlaen ei fwriadau yn erbyn yr amddiffynfeydd cryfaf dan nawdd y duw dyeithr hwn; ac y mae yn wir ddarfod i Antiochus ddyfod i feddiant o amddiffynfeydd a dinasoedd caerog y bobloedd ag yr ymosododd efe yn eu herbyn, megys Jerusalem, Sidon, Pelusium, a Memphis. *Yr hwn a gydnebydd efe*—trwy adeiladu temlau ac allorau iddo, er nad adwaenai ei dadau mohono; *ac a chwanega ei ogoniant*—efe a estyn ei ddylanwad yn y byd trwy sefydlu ei addoliad ef. *Ac a wna iddynt lywodraethu ar lawer*—efe a wna i lawer gael eu llywodraethu gan ei dduwiau ef. *Ac a rana y tir am werth*—meddylir fod yma gyfeiriad at waith Antiochus yn gwerthu y taleithiau gorchfygedig i'r rhai a roddent fwyaf am danynt, neu yn gwerthu yr hawl i'w trethu: gwel *Barnes*.

Adn. 40. *Ac yn amser y diwedd*] Sef diwedd y dygwyddiadau dan sylw; *yr ymgornia brenin y deau âg ef*—hyny yw, byddai i frenin yr Aifft fyned yn erbyn Antiochus brenin Syria. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at ryw gweryl *newydd* rhwng brenin yr Aifft ac Antiochus, yn niwedd teyrnasiad yr olaf; ond gan nad yw yr haneswyr yn son dim am hyn, barna ereill mai *ail-adroddiad* sydd yma o'r hyn a grybwyllwyd eisioes, yn cael ei ddwyn yn mlaen mewn ffordd o eglurhad chwanegol. *A brenin y gogledd a ddaw fel corwynt yn ei erbyn ef*—yn ddisymwth, a chyda nerth mawr; *â cherbydau, ac â marchogion, ac â llongau lawer*—dygwyddodd hyn oll yn ystod ymosodiadau Antiochus ar Ptolemy. *Ac efe a ddaw i'r tiroedd*—sef i'r gwahanol wledydd yn meddiant brenin yr Aifft; *ac a lifa, ac a â trosodd*—efe a daena ei fyddinoedd dros y gwledydd hyny fel llifeiriant dinystriol.

Adn. 41. *Ac efe a ddaw i'r hyfryd wlad*] Sef i Palestina neu Judea; neu 'i wlad Israel,' fel y mae yn y Syriaeg. *A llawer o wledydd a syrthiant*—sef o'r gwledydd o amgylch Judea. Ond gan nad yw y gair *gwledydd* yn y wreiddiol, y mae rhai yn ei ddarllen, 'llawer o *ddinasoedd* a syrthiant.' *Ond y rhai hyn a ddiangant o'i law ef*—trwy fod ganddo ddigon i'w wneyd yn Judea a manau ereill, efe a adawai lonydd i'r Edomiaid, y Moabiaid, a'r Ammoniaid.

Adn. 42. *Ac efe a estyn ei law ar y gwledydd*] Ar ei ffordd i'r Aifft, yn gystal ag ar yr Aifft ei hun.

Adn. 43. *Eithr efe a lywodraetha ar drysorau aur ac arian*] Gwel ar adn. 28; *ac ar holl anwyl bethau yr Aifft*—megys ei themlau, ei cholofnau, ei hadeiladau gwerthfawr, &c. *Y Libyaid hefyd a'r Ethiopiaid fyddant ar ei ol ef*—ar ol Antiochus, yn creu am heddwch ganddo, neu ynte yn ei ddylyn fel caethion rhyfel.

Adn. 44. *Eithr chwedlau o'r dwyrain*] O wlad y Parthiaid; *ac o'r gogledd*—o wlad yr Armeniaid; *a'i trallodant ef*—trwy iddo glywed fod y rhai hyn wedi ymarfogi i'w erbyn. *Ac efe a â allan mewn llid mawr*—i'w dyfetha a'u difrodi hwynt.

Adn. 45. *Ac efe a esyd bebyll ei lys rhwng y moroedd, ar yr hyfryd fynydd santaidd*] Tybia rhai fod hyn yn golygu rhyw fynydd yn ngwlad Judea, rhwng y môr marw a Môr-y-canoldir, megys mynydd Seion neu Moriah; a thybia ereill ei fod yn golygu rhyw fynydd prydferth yn y dwyrain; rhwng Môr Caspia a'r Forgaine Bersiaidd, lle yr oedd teml at ryw fath o addoliad, a lle y bu Antiochus farw, fel y crybwyllir 1 Mac. vi. 8—13, 2 Mac. ix. 5—28. *Eto efe a ddaw hyd ei derfyn*—sef terfyn ei einioes ond odid; *ac ni bydd cynorthwywr iddo*—bydd i Dduw ei dori ef ymaith yn nghanol ei ddyddiau, ac ni fydd neb yn gallu ei waredu o'i law ef: gwel ar pen. viii. 25. Y mae yr holl brophwydoliaeth uchod, yr hon a draethwyd 370 o flynyddau cyn amser Antiochus, yn cyfateb mor briodol i'r hyn a ddygwyddodd yn ei fywyd ef, fel nad oedd yn

## PENNOD XII.

AC yn yr amser hwnw y saif Mi-
chael y tywysog mawr, yr hwn
sydd yn sefyll dros feibion dy bobl:
yna y bydd amser blinder, y cyfryw
ni bu er pan yw cenedl hyd yr amser
hwnw: ac yn yr amser hwnw y
gwaredir dy holl bobl, y rhai a ga-
ffer yn ysgrifenedig yn y llyfr.
2 A llawer o'r rhai sydd yn cysgu
yn llwch y ddaear, a ddeffroant,
rhai i fywyd tragwyddol, a rhai i
warth *a* dirmyg tragwyddol.
3 A'r doethion a ddysgleiriant fel
dysgleirdeb y ffurfafen; a'r rhai
a droant lawer i gyfiawnder, a *fydd-
ant* fel y ser byth yn dragywydd.
4 Tithau, Daniel, cau ar y geir-
iau, a selia y llyfr hyd amser y di-
wedd: llawer a gyniweiriant, a
gwybodaeth a amlheir.

---

rhyfedd i *Porphyry* ac ereill feddwl mai *hanes* wedi ei hysgrifenu ar ol ei ddyddiau ef yw y cwbl.

PEN. XII. Adn. 1. *Ac yn yr amser hwnw*] Ag y cyfeiriwyd ato yn y bennod flaenorol, sef pan fyddai trallodion pobl Dduw fwyaf; *y saif Michael y tywysog mawr*—o'u plaid hwy; *yr hwn sydd yn sefyll dros feibion dy bobl*—fel gwarcheidwad y genedl Iuddewig: gwel ar pen. x. 13, 21. *Yna y bydd amser blinder*—sef 'dan Antiochus Epiphanes.'—*Barnes.* 'Cyn ac yn ystod gwarchaead Jerusalem gan yr Rhufeiniaid.'—*Benson.* Amser 'ymdrech olaf Anghrist, a'r erledigaeth ddiweddaf ar y saint, a thywalltiad digofaint Duw ar yr holl daleithiau gwrthgristionogol.'—*Gill.* *Y cyfryw ni bu er pan yw cenedl hyd yr amser hwnw*—y mae hwn yn ddarluniad digon priodol o'r blinder a ddygwyddodd i'r Iuddewon yn amser Antiochus Epiphanes, fel y gwelsom yn y bennod flaenorol, ac yn amser dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, Mat. xxiv. 21; ond tybia llawer fod yma gyfeiriad neillduol at ddydd y farn. *Ac yn yr amser hwnw*—o flinder a dychryn; *y gwaredir dy holl bobl, y rhai a gaffer yn ysgrifenedig yn y llyfr*—hwn sydd ymadrodd tra chyffredin i osod allan y rhai sydd yn ofni, yn caru, ac yn gwasanaethu Duw: gwel ar Exod. xxxii. 32, Salm lxix. 28, Esay iv. 3, Luc x 20. Peth cyffredin yn mhlith y proffwydi, wrth ragfynegu blinderau yr eglwys, yw crybwyll am ryw waredigaeth i'w chynal a'i chysuro hi.

Adn. 2. *A llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear*] Sef pawb o honynt, y rhai a fyddant yn *llawer*: gwel ar Rhuf. v 19. *A ddeffroant*—ac a gyfodant drachefn. *Rhai i fywyd tragwyddol*—sef y rhai da; *a rhai i warth a dirmyg tragwyddol*—sef y rhai drwg. Diamau fod y geiriau hyn, yn eu hystyr llythyrenol, yn cyfeirio at yr adgyfodiad cyffredinol y dydd diweddaf; canys byddai yn afresymol ceisio gwthio unrhyw ystyr arall arnynt, yn enwedig ar y rhan olaf o'r adnod. Ar yr un pryd gall eu bod yn cael eu defnyddio yma mewn dau ystyr: (1) Yn *ffugyrol* neu *gyfaddasol*, i osod allan waredigaeth yr Iuddewon oddiwrth y blinder a gaent dan Antiochus Epiphanes, yr hon oedd fel adgyfodiad iddynt o farwolaeth. Yn yr ystyr yma, byddai rai o'r Iuddewon ddefnyddio y waredigaeth a gaent er eu tragwyddol les; tra y byddai i ereill ei chamddefnyddio er eu tragwyddol warth a dirmyg. (2) Yn *llythyrenol* neu *addysgiadol*, i ddwyn ar gof neu ddysgu iddynt fod adgyfodiad cyffredinol a barn i fod, pryd y byddai i'r holl dduwiolion gael eu gwobrwyo â bywyd tragwyddol; ac y byddai i'r holl annuwiolion, y rhai sydd yn eu blino hwy yn awr, gael eu cospi â gwarth a dirmyg tragwyddol. Yr oedd tuedd naturiol yn y crybwylliad am hyn i sirioli meddyliau yr Iuddewon adfydus yn y trallodau ag oeddynt i ddisgyn arnynt.

Adn. 3. *A'r doethion*] Sef rhai doeth mewn ystyr ysbrydol, neu y gwir dduwiolion yn mhob oes; *a ddysgleiriant fel dysgleirdeb y ffurfafen*—ar noson glir a serenog: *a'r rhai a droant lawer i gyfiawnder*—i ffydd crefydd, ac at addoliad y gwir Dduw; *a fyddant fel y ser byth yn dragywydd*—cyhyd ag y bodola Duw ei hun. Bydd holl dyrfa y gwarediggion yn dysgleirio byth fel ffurfafen oleu lawn o ser; a bydd y rhai a fuont yn offerynau eu gwaredigaeth, megys gweinidogion yr efengyl ac ereill, yn dysgleirio mewn hynodrwydd a dedwyddwch fel ser neu heuliau yn nghanol y ffurfafen hono, Mat. xiii. 43. Fe allai fod yma gyfeiriad mewn un ystyr at y 'rhai synwyrol yn mysg y bobl,' y rhai a 'ddysgent lawer' yn amser Antiochus Epiphanes, pen. xi. 33; a bod eu hanrhydedd tragwyddol hwy yn cael ei arddangos fel hyn, i'r dyben i'w gwneuthur yn fwy ymdrechgar yn ngwyneb yr erledigaethau a ddyoddefent.

Adn. 4. *Tithau, Daniel, cau ar y geiriau, a selia y llyfr*] Gall hyn arwyddo, (1) Fod y cwbl ag oedd i'w hysbysu iddo i'r dyben i'w ysgrifenu mewn llyfr, (pen. vii. 1,) yn awr wedi cael ei hysbysu, ac am hyny gorchymynir iddo gau a selio y llyfr. (2) Y byddai i'w gynwysiad fod i fesur mawr yn aneglur, fel llyfr caeedig, nes i'r dygwyddiadau a ragfynegid fod yn nghylch cymeryd lle. (3) Fod amser cyflawniad y proffwydoliaethau hyn eto yn mhell; canys gwaherddid selio proffwydoliaethau ag oeddynt i gael eu cyflawni yn ddiatreg, Dat. xxii. 10. (4) Fod gofal yn angenrheidiol i gadw y broffwydoliaeth hon yn ddiogel, fel trysor gwerthfawr, i'r oesoedd dyfodol, i'r rhai y byddai o les mawr. *Hyd amser y diwedd*—sef hyd yr amser penodedig gan Dduw i'r proffwydoliaethau hyn gael eu cyflawni. *Llawer a gyniweiriant*—o le i le, rhai i geisio deall y proffwydoliaethau hyn, ac ereill i geisio eu hegluro; *a gwybodaeth a*

5 ¶ Yna myfi Daniel a edrychais, ac wele ddau ereill yn sefyll, un o'r tu yma ar fin yr afon, ac un *arall* o'r tu arall ar fin yr afon.

6 Ac *un* a ddywedodd wrth yr hwn a wisgesid â llian, yr hwn *ydoedd* ar ddyfroedd yr afon, Pa hyd *fydd* hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn?

7 Clywais hefyd y gŵr a wisgesid â llian, yr hwn *ydoedd* ar ddyfroedd yr afon, pan ddyrchafodd efe ei law ddeau a'i aswy tua'r nefoedd, ac y tyngodd i'r hwn sydd yn byw yn dragywydd, *y bydd* dros amser, amserau, a hanner: ac wedi darfod gwasgaru nerth y bobl santaidd, y gorphenir hyn oll.

8 Yna y clywais, ond ni ddeallais: eithr dywedais, O fy arglwydd, beth *fydd* diwedd y *pethau* hyn.

9 Ac efe a ddywedodd, Dos, Daniel: canys cauwyd *a* seliwyd y geiriau hyd amser y diwedd.

---

*umlheir*—i ryw fesur trwy hyny, er na ddeallir hwynt yn llwyr nes i'r cyflawniad o honynt gymeryd lle. Y mae yn sicr fod y proffwydoliaethau yn cael eu deall yn well yn ein hoes ni nag yr oeddynt yn yr oesoedd blaenorol; eithr bydd iddynt gael eu deall yn well fyth ar ol iddynt gael eu cyflawni, set ar ol i wybodaeth yr Arglwydd lenwi yr holl ddaear. Ond tybia rhai fod yma gyfeiriad neillduol at genhadau yr efengyl yn taenu y wybodaeth am Grist yn ngwahanol barthau y byd. Dylasai y pedair adnod uchod fod yn niwedd pen. xi.

Adn. 5. *Yna myfi Daniel a edrychais*] Mewn cyfeiriad arall; canys hyd yn hyn yr oedd efe yn syllu yn fanwl ar y cenad nefol a lefarai wrtho. Yma cawn hanes gweledigaeth newydd a ymddanghosodd i Daniel. Awgrymasai Gabriel wrtho, adn. 4, ei fod ef wedi gorphen mynegu iddo 'yr hyn a hysbyswyd yn ysgrythyr gwirionedd,' pen. x. 21; a'r hyn a ganlyn a chwanegir yma mewn ffordd o eglurhad. *Ac wele ddau arall*—sef dau angel arall, yn sefyll ar lan yr afon Hidecel, un ar bob tu iddi: gwel ar pen. x. 4. Yr oedd yr angel a fuasai yn ymddyddan âg ef o'r blaen, yn sefyll yn awr *ar* neu *uwchben* dyfroedd yr afon, adn. 6.

Adn. 6. *Ac un a ddywedodd*] Sef un o'r ddau angel a safent ar lanau yr afon. Ond y mae y Syriaeg, yr Arabaeg, a rhai ailunau Groeg, yn nghyda'r Vulgate, yn ei ddarllen, 'A *mi* a ddywedais,' sef Daniel ei hun. *Wrth yr hwn a wisgesid â llian*—sef wrth Gabriel, yr hwn a lefarasai uchod, ac a ydoedd yn awr uwchben dyfroedd yr afon: gwel ar pen. x. 5, 6. *Pa hyd fydd hyd ddiwedd y rhyfeddodau hyn?*—pa amser a benderfynwyd yn y cynghor dwyfol i'r pethau rhyfedd a ragfynegaist gymeryd lle?

Adn. 7. *Clywais hefyd y gŵr a wisgesid â llian*] Yn ateb y gofyniad uchod; *pan ddyrchafodd efe ei law ddeau a'i aswy tua'r nefoedd*—yr hyn oedd arferiad wrth dyngu i Dduw y nefoedd, Exod. xiv. 22, Deut. xxxii. 40; *ac y tyngodd i'r hwn sydd yn byw yn dragywydd*—sef i'r tragwyddol Dduw; *y bydd dros amser, amserau, a hanner*—arwydda hyn 'dair blynedd a hanner,' neu 1260 o ddyddiau: gwel ar pen. vii. 25. Wrth ddeall y blynyddoedd hyn yn *llythyrenol*, gallant fod yn cyfeirio at yr amser ag y parhäai erledigaeth Antiochus, yr hwn oedd yn gysgod o Annghrist, at yr hwn y cyfeiriwyd yn pen. xi. 21—45; ac wrth eu deall yn *arwyddocaol*, neu yn ol y drefn *broffwydol*, gan gymeryd pob diwrnod am flwyddyn, gallant fod yn cyfeirio at yr amser ag y parha teyrnas Annghrist ei hun, sef 1260 o flynyddau: gwel ar pen. vii. 25, a viii. 14, Dat. xii. 6, 14. *Ac wedi darfod gwasgaru nerth y bobl santaidd*—hyny yw, yn niwedd gwasgariad yr Iuddewon, neu pan y byddont wedi eu casglu i eglwys Crist; *y gorphenir hyn oll*—y cyflawnir y pethau ag y cyfeiriwyd atynt yn y proffwydoliaethau uchod. Ond os oes yn y geiriau hyn gyfeiriad at Antiochus Epiphanes, yr ystyr yw, y byddai i'r Hebreaid gwasgaredig ymgynull at Judas Maccabeus, ac ennill buddugoliaeth ar y gelyn, ac ail sefydlu heddwch yn y wlad: gwel 1 Mac. iii—v.

Adn. 8. *Yna y clywais*] Yr atebiad uchod o eiddo Gabriel; *ond ni ddeallais*—pa un ai yn *llythyrenol* ai yn *arwyddocaol* yr oeddid i ddeall y tair blynedd a hanner hyn, neu ynte a oeddynt i gael eu deall yn y *ddau* ystyr; neu ni ddeallai efe pa bryd yr oeddynt i *ddechreu*, nac o ganlyniad pa bryd yr oeddynt i *ddiweddu*. Felly nid yw yn rhyfedd fod cynifer o wahanol farnau o berthynas iddynt yn ein dyddiau ni. *Eithr dywedais, O fy arglwydd*—gair o barch wrth gyfarch person uwchraddol, pen. x. 16; *beth fydd diwedd y pethau hyn?*—beth yw ystyr y diwedd hwn? neu pa bryd y cymer y diwedd hwn le mewn gwirionedd? Yr oedd Daniel yn awyddus iawn i ddeall y pethau hyn oll yn y modd llawnaf; canys nid oedd y proffwydi yn deall eu hunain bob amser yr hyn a ddatguddient i ereill, fel y dysgwn oddiwrth 1 Pedr i. 11, 12.

Adn. 9. *Ac efe a ddywedodd, Dos, Daniel*] Fel pe dywedasai, Nac ymofyn â mi yn mhellach, eithr bydd foddlon ar yr hyn a ddatguddiwyd i ti. *Canys cauwyd a seliwyd y geiriau hyd amser y diwedd*—fel nad ydynt i gael eu hamlygu yn eglur hyd oni chyflawner hwynt; ac yna bydd i'r cyflawniad sicrhau gwir ystyr y broffwydoliaeth. Felly hefyd y dywedodd ein Harglwydd wrth ei ddysgyblion ar ol iddo gyfodi o feirw, 'Ni pherthyn i chwi wybod yr amserau na'r prydiau, y rhai a osododd y Tad yn ei feddiant ei hun, Act. i. 7.

Adn. 10. *Llawer a burir, ac a gànir, ac a*

10 Llawer a burir, ac a gènir, ac
a brofir; eithr y rhai drygionus a
wnant ddrygioni: ac ni ddeall yr
*un* o'r rhai drygionus, ond y rhai
doethion a ddeallant.
11 Ac o'r amser y tỳner ymaith
y gwastadol *aberth*, ac y gosoder i
fyny y ffieidd-dra anrheithiol, *y*
*bydd* mil dau cant a deg a phedwar
ugain o ddyddiau.
12 Gwŷn ei fyd a ddysgwylio,
ac a ddel hyd y mil tri chant a
phymtheg ar hugain o ddyddiau.
13 Dos dithau hyd y diwedd:
canys gorphwysi, a sefi yn dy ran
yn niwedd y dyddiau.

---

*brofir*] Trwy yr erledigaethau a'r gwahanol ymweliadau rhagluniaethol a ddaw i'w cyfarfod, cyn y cymer y diwedd hwnw le, pen. xi. 35; ac y mae hyny yn ddigon i ti ei wybod yn awr. Y mae y gair cyntaf yma wedi ei fenthyca oddiwrth wenith yn cael ei *buro* oddiwrth yr ûs; a'r ail, oddiwrth lian neu frethyn yn cael ei *gànu* gan y panwr; a'r trydydd, oddiwrth fettel yn cael ei *brofi* gan y purwr. *Eithr y rhai drygionus a wnant ddrygioni*—hyd yn nod yn ngwyneb yr ymweliadau a'r triniaethau a fwriadwyd gan Dduw i buro ac achub dynion, a thra y byddo ereill yn cael eu puro a'u santeiddo trwyddynt. *Ac ni ddeall yr un o'r rhai drygionus*—bydd i'w drygioni ddallu eu meddyliau, fel na ddeallant amcan Duw yn ngoddefiad y trallodau a'r profedigaethau hyn yn y byd; *ond y rhai doethion a ddeallant*—ac a ymlesânt trwyddynt. Fel hyn bydd i farnedigaethau Duw, yr un modd a'r efengyl, fod yn arogl bywyd i fywyd i rai, ac yn arogl marwolaeth i farwolaeth i ereill, 2 Cor. ii. 16: gwel hefyd 1 Cor. ii. 12, 14, 15.

Adn. 11. *Ac o'r amser y tỳner ymaith y gwastadol aberth*] Ond odid gan Antiochus Epiphanes, fel y nodwyd ar pen. viii. 11, a xi. 31; neu ynte o'r amser ag y diddymid yr aberthau trwy farwolaeth Crist, pen. ix. 27; *ac y gosoder i fyny y ffieidd-dra anrheithiol*—yn y deml santaidd. Cyfeirir yma, yn ol rhai, at waith Antiochus yn gosod i fyny ddelw Jupiter Olympius yn y deml, 1 Mac. i. 54; ac yn ol ereill, fel y sylwyd o'r blaen, at waith y Rhufeiniaid yn dwyn eu llummanau halogedig i'r deml, ac yn aberthu iddynt yno; neu, fel y tybia rhai, at waith y Mahometaniaid yn troi yr eglwysi Cristionogol yn demlau Mahometanaidd. *Y bydd mil dau cant a deg a phedwar ugain o ddyddiau*—cynwysa hyn 30 o ddyddiau yn fwy na'r tair blynedd a hanner a nodwyd adn. 7; ac fe allai ei fod yn cyfeirio at ryw amgylchiad newydd, megys marwolaeth Antiochus, yr hyn a gymerodd le yn fuan ar ol ei orchfygu ef gan Judas Maccabeus. Neu os cymerwn y 1290 o ddyddiau hyn yn eu hystyr arwyddocaol, pob dydd yn arwyddo blwyddyn, gall eu bod yn cyfeirio at amser dymchweliad y gau-broffwyd MAHOMET, yr hyn a gymer le yn fuan ar ol dymchweliad y bwystfil PABAIDD: gwel ar Dat. xix. 19, 20. Er i'r angel ddywedyd ei fod ef wedi hysbysu i Daniel yr hyn ag yr *awdurdodwyd* ef i'w hysbysu iddo, adn. 4, 9; eto y mae efe yma, ar gais neillduol Daniel, adn. 8, yn gwneuthur dadleniad pellach iddo o *amserau* penodol yn y rhai y cymerai rhyw ddygwyddiadau pwysig ereill le; ond pa beth a fyddent, ni ddywedir i Daniel mwy nag i ninau: gwel ar adn. 12.

Adn. 12. *Gwŷn ei fyd a ddysgwylio ac a ddel*] Hyny yw, gwŷn ei fyd yr hwn a fydd byw yn yr amser ag y cyfeirir ato yma; *hyd y mil tri chant a phymtheg ar hugain o ddyddiau*—y mae hwn yn gyfnod hirach na'r un a grybwyllwyd adn. 11, o 45 o ddyddiau; ac yn hirach na'r un yn adn. 7, o 75 o ddyddiau. Os yw efe yn dechreu yr un pryd a'r ddau gyfnod arall, rhaid ei fod yn ymestyn yn mlaen at rywbeth ag sydd i gymeryd lle yn ganlynol i'r dygwyddiadau a nodwyd, megys at ddychweliad yr holl Iuddewon at Grist, neu ddychweliad yr holl Genhedloedd, neu rwymiad Satan. Ond yr wyf fi yn meddwl fod y cyfnod hwn o 1335 o ddyddiau, neu yn hytrach o *flynyddau*, yn sefyll ar ei ben ei hun, ac i ddechreu ar ol i'r lleill ddiweddu. Nid gwŷn ei fyd a ddel hyd eu *diwedd* hwy a dywedir, ond *a ddel hyd y mil, &c.*, sef hyd eu *dechreu* hwynt; hyny yw, bydd y neb a gaiff fyw i weled y cyfnod hwn yn ddedwydd yn wir. Tybia rhai mai y *milflwyddiant* a feddylir yma; ond nid yw hyd y cyfnod hwn yn cyfateb i hyd hwnw. Tueddir fi i feddwl fod y cyfnod hwn yn cyfeirio at yr yspaid fydd rhwng dychweliad yr Iuddewon at Grist, a dechre y milflwyddiant. Bydd hwnw yn amser gwynfydedig iawn i'r Iuddewon trallodus, er na ddechreua y milflwyddiant yn briodol hyd oni ddychweler yr holl Genhedloedd hefyd: gwel fy NARLITH i ar y *Milflwyddiant.*

Adn. 13. *Dos dithau hyd y diwedd*] Hyny yw, dos yn mlaen yn llwybrau crefydd hyd ddiwedd dy oes. Nid yw yr angel yn meddwl y cai Daniel fyw hyd y 'diwedd' ag y soniwyd am dano yn yr adnodau uchod; canys yr oedd ef yn awr yn tynu at 90 mlwydd oed, a diamau iddo farw yn fuan ar ol hyn. *Canys gorphwysi*—o ran dy gorff yn y bedd, ac o ran dy enaid yn y nefoedd, hyd ddiwedd amser. *A sefi yn dy ran*—mewn llawn fwynhad o'th etifeddiaeth wynfydedig dy hun. Fe allai fod yma gyfeiriad at raniad gwlad Canaan i'r gwahanol lwythau yn ol eu helfen neu eu chwaeth naturiol; sef y mynyddoedd i'r rhai a garent fugeilio, y dyffrynoedd i'r rhai a garent lafurio y ddaear, a glanau y môr i'r rhai a hoffent farsiandïaeth. *Yn niwedd y dyddiau*—nid yn unig yn niwedd y cyfnodau ag y cyfeiriwyd atynt uchod, ond hefyd yn niwedd amser, neu yn nhragwyddoldeb, lle y bydd olyniad dyddiau wedi darfod, a'r cwbl yn un dydd bythol, neu yn un nos dragwyddol. Ni ddywed efe mai y pryd hyny y byddai i

*Daniel* ddechreu sefyll yn ei ran, neu mai yn niwedd y byd yn unig y byddai iddo gael ei wobrwyo; eithr dangos y mae y byddai iddo sefyll yn ei ran hyd yn nod y pryd hyny; na fyddai i'r cyflusgiad cyffredinol ddyfetha ei ran ef, ond y byddai iddo ei mwynhau pan fyddai pob rhan ddaearol wedi diflanu. Fel hyn y mae yr angel yn cysuro Daniel, ac yn ei ollwng ef ymaith gydag addewid o etifeddiaeth dragwyddol, pan fyddai etifeddiaethau y ddaear wedi eu troi yn lludw. Ac y mae yr addewid hon yn cael ei gwneuthur hefyd i bob credadyn a 'barhao hyd y diwedd,' neu a fyddo 'ffyddlon hyd angau,' Mat. xxiv. 13, Dat. ii. 10.

---

# LLYFR Y PROFFWYD HOSEA.

---

YSTYR yr enw HOSEA yw 'iachawdwr,' neu 'iachawdwriaeth.' Bu Hosea yn proffwydo yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezeciah, brenhinoedd Juda; ac yn nyddiau Jeroboam fab Joas, ail frenin Israel; ac felly yr oedd yn gydoeswr â'r proffwyd Esay, trwy iddo ddechreu ar ei weinidogaeth tua'r flwyddyn c. C. 785, a pharhau ynddi am oddeutu 87 o flynyddau. Nid oes genym ddim gwybodaeth sicr yn ei gylch, yn mhellach na'r hyn a ddysgwn yn nechre y llyfr hwn. Ymddengys mai proffwyd yn *Israel* ydoedd, er ei fod yn cyfeirio weithiau at *Juda*. Tybia Epiphanius ei fod o lwyth *Issachar*; ond dywed y rabbiniaid Iuddewig mai un o lwyth *Reuben* ydoedd. Nid yw efe yn ymyraeth â'r cylchiadau y cenhedloedd amgylchynol, fel y gwna Esay, Jeremi, ac Ezeciel; nac âg amherodraethau mawrion y byd, fel y gwna Daniel; eithr cyfynga ei holl ymadroddion at amgylchiadau ei genedl ei hun: ac y mae ei arddull yn fyr, cynwysfawr, grymus, ac arddunawl. *Hosea* yw y cyntaf, mewn trefn, o'r 'deuddeg proffwyd lleiaf,' y rhai a elwir felly ar gyfrif eu *byrder* yn unig. Dywed Josephus fod llyfrau y deuddeg hyn wedi eu gwneyd i fyny yn un gyfrol gan wŷr y synagog fawr yn amser Ezra, at yr hon ond odid y cyfeirir yn Act. vii. 42. Eu trefn amseryddol, meddai yr *Archesgob Newcome*, sydd fel y canlyn: Jonah, Amos, Hosea, Micah, Nahum, Joel, Sephaniah, Habaccuc, Obadiah, Haggai, Zechariah, Malachi. Dechreuodd Jonah ar ei waith oddeutu y flwyddyn 823 cyn Crist; a Malachi, yr olaf, oddeutu 436.

---

## PENNOD I.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Hosea, fab Beeri, yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, *a* Hezeciah, brenhinoedd Juda, ac yn nyddiau Jeroboam fab Joas; brenin Israel.

2 Dechre ymadrodd yr Arglwydd trwy Hosea. Yr Arglwydd a ddywedodd wrth Hosea, Dos, cymer i ti wraig o odineb, a phlant o odineb: o herwydd y mae y wlad gan buteinio yn puteinio oddiar ol yr Arglwydd.

---

PEN. I. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd, yr hwn a ddaeth at Hosea fab Beeri*] Tybia rhai mai teitl y llyfr yw yr adnod hon, wedi ei ddodi yma gan gasglydd proffwydoliaethau Hosea; a bod y llyfr yn dechreu mewn gwirionedd yn adn. 2. *Yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezeciah*—hyny yw, yn ol rhai, yr oedd y pethau a ragfynegid gan Hosea i gymeryd lle dan deyrnasiad y brenhinoedd hyn; canys pe buasai ef ei hun yn proffwydo dros yr holl amseroedd hyny, buasai raid iddo, meddant hwy, fod yn y gwaith yn hir iawn, trwy fod o ddechre teyrnasiad Uzziah hyd ddiwedd teyrnasiad Hezeciah oddeutu 112 o flynyddau. *Ac yn nyddiau Jeroboam fab Joas*—ail frenin Israel o'r enw hwnw, yr hwn a gydoesai âg Uzziah brenin Juda.

Adn. 2. *Dechre ymadrodd yr Arglwydd trwy Hosea*] Neu '*wrth* Hosea.' Yr oedd Duw yn gyntaf yn llefaru wrth Hosea, a thrwyddo ef wrth Israel. *Dos, cymer it' wraig o odineb, a phlant o odineb*—ni orchymynir i'r proffwyd odinebu neu buteinio â hi, eithr ei phriodi: *o herwydd y mae y wlad gan buteinio yn puteinio oddiar ol yr Arglwydd*—yr hyn oedd i gael ei arddangos yn gysgodol trwy y weithred hon o eiddo y proffwyd. Y mae yr esbonwyr yn amrywio yn fawr ar ystyr y gorchymyn hwn. (1) Tybia *Maimonides*, ysgrifenydd Iuddewig enwog, mai yn *weledigaethol* yn unig yr oedd hyn i'w gyflawni; ac y mae llawer o ddysgedigion hen a diweddar o'r un farn ag ef. (2) Tybia *Jerome*, *Gill*, *Hutcheson*, *Witsius*, *Boothroyd*, ac ereill, mai yn *ddammegol* y dylid deall y geiriau hyn, fel yn arwyddo godineb ysbrydol Israel dan y ffug o wraig anniwair, ac o blant wedi eu cenhedlu mewn godineb; gan arwyddo eu bod hwy mor ffiaidd a'r cyfryw. (3) Tybia yr *Archesgob Newcome*, *Clarke*, ac amrai ereill, fod y briodas i'w deall yn *llythyrenol*, er fod iddi ystyr *cysgodol*; hyny yw, fod y gorchymyn yn cyfeirio at odineb ysbrydol Israel, neu eu heilunaddoliaeth hwy; ac mai yr ystyr yw, Dos, prioda un o'r rhai a buteiniasant yn fy erbyn; a

3 Ac efe a aeth ac a gymerodd
Gomer merch Diblaim, a hi a feichiogodd; ac a esgorodd iddo ef fab.
4 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrtho, Galw ei enw ef Jezreel: canys ar fyrder y dialaf waed Jezreel ar dŷ Jehu, ac y gwnaf i frenhiniaeth tŷ Israel ddarfod.
5 A'r dydd hwnw y toraf fwa Israel yn nglŷn Jezreel.
6 ¶ A hi a feichiogodd eilwaith,
ac a esgorodd ar ferch. A dywedodd *yr Arglwydd* wrtho, Galw ei henw hi Lo-ruhamah: am na chwanegaf drugarhau wrth dŷ Israel; eithr dygaf hwynt ymaith yn llwyr.
7 Ac eto mi a drugarhaf wrth dŷ
Juda, ac a'u cadwaf hwynt trwy yr Arglwydd eu Duw; ac nid â bwa, nac â chleddyf, nac â rhyfel, *nac* â meirch, nac â marchogion, y cadwaf hwynt.
8 ¶ A hi a ddiddyfnodd Lo-ruhamah, ac a feichiogodd, ac a esgorodd ar fab.
9 A *Duw* a ddywedodd, Galw ei
enw ef Lo-ammi: canys nid *ydych*

---

chenhedla blant, y rhai, trwy ddylanwad siampl, a ŵyrant eu hunain at eilunaddoliaeth, pen. v. 7. (4) Tybia *Diodati*, *Wells*, *Lowth*, ac ereill, nad yw Duw ddim ond yn gorchymyn iddo ef briodi un ag y rhagwelai efe y byddai iddi wedi hyny fod yn anffyddlon iddo ef, a throi yn odinebus. (5) Tybia *Williams* ac ereill mai gwraig a fuasai yn briod, ond a droisai yn anffyddlon i'w gŵr cyntaf, ac a gawsai blant trwy ei godineb, yw yr hon ag y gorchymynir iddo ef ei chymeryd hi a'i phlant i'w dŷ; ac nad oes dim sicrwydd iddi droi wedi hyny yn anffyddlon i'w hail ŵr; a bod y gorchymyn dwyfol yn cyfiawnhau y briodas. (6) Tybia *Henry* iddo briodi putan, ac nid un a fuasai yn briod, ac a wnaethai odineb; canys felly buasai yn rhaid ei rhoddi hi i farwolaeth. (7) A thybia yr *Esgob Horsley*, *Basil*, *Benson*, *Awstin*, *Pococke*, *Theodoret*, ac ereill, fod y proffwyd yn cael ei orchymyn i briodi un ag ydoedd y pryd hyny, neu a fuasai cyn hyny, yn butan wirioneddol; a'i derbyn hi i'w dŷ ar yr ammod iddi ymwrthod â'i drygioni, a bod yn flyddlon i'w chyfammod priodasol: ac y byddai iddi hi yno ymddwyn plant iddo ef, fel y darfu i'r hen eglwys Iuddewig, yn nghanol ei holl lygredigaethau, ymddwyn llawer o wir blant i Dduw: ond y byddai iddi wedi hyny syrthio i'w hen arferion, a thynu arni ei hun anfoddlonrwydd ei phriod; yr hwn er hyny ni wnai ei rhoddi hi i farwolaeth yn ol llymder y gyfraith, na'i llwyr ysgaru chwaith.

Adn. 3. *Ac efe a aeth ac a gymerodd Gomer merch Diblaim*] Yn wraig iddo, yr hon oedd yn euog o odineb *ysbrydol* o leiaf, os nid o odineb *cnawdol* hefyd, gan fod bron yr oll o ddeg llwyth Israel yn addoli lloi aur Jeroboam. *A hi a feichiogodd*—o'i gŵr cyfreithlon, sef o'r proffwyd; *ac a esgorodd iddo ef fab*—gwel ar adn. 6.

Adn. 4. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, Galw ei enw ef Jezreel*] Yr hyn a arwydda, 'had Duw,' neu 'Duw a wasgar.' Y mae rhai yn deall yr enw hwn fel yn arwyddo, y byddai i Dduw ar fyrder wasgaru Israel yn mysg y cenhedloedd, fel hau had; yr hyn a gyflawnwyd trwy Salmaneser brenin Assyria, 2 Bren. xvii. 5, 6. Ond tybia *Horsley* fod yr enw *Jezreel* yn dynodi gwir weision Duw, y rhai a wasgerid yn mhlith deuddeg llwyth Israel, a'r rhai, yn amser dirywiad mwyaf y genedl, a addolent Dduw mewn gobaith am y Gwaredwr ag ydoedd i ddyfod. *Canys ar fyrder y dialaf waed Jezreel ar dŷ Jehu*—hyny yw, 'gwaed yr had santaidd, gweision flyddlon Duw, yr hwn a dywalltwyd mewn erledigaeth gan dywysogion eilunaddolgar o deulu Jehu.'—*Horsley*. 'Nid dialedd Jehu ar deulu Ahab, ond ei greulondeb ef pan yn aros yn Jezreel, dinas yn llwyth Issacar, lle yr oedd palas gan frenhinoedd Israel, 1 Bren. xxi. 1.'—*Clarke*. *Ac y gwnaf i frenhiniaeth tŷ Israel ddarfod*—yn nheulu Jehu; neu torid ymaith frenhiniaeth Israel yn llwyr gan yr Assyriaid.

Adn. 5. *A'r dydd hwnw y toraf fwa Israel*] Sef eu grym milwraidd hwy; *yn nglŷn Jezreel*—cyfeirir yma at ryw fuddugoliaethau o eiddo yr Assyriaid ar Israel yn nyffryn Jezreel.

Adn. 6. *A hi a feichiogodd eilwaith, ac a esgorodd ar ferch*] Tybia *Horsley* a *Wells*, tra y mae yr hynaf yn fab i'r proffwyd, fod hon a'i brawd ieuangaf ill dau yn fastarddiaid. *Galw ei henw hi Lo-ruhamah*—yr hyn a arwydda, 'ni chawsai drugaredd;' i arwyddocâu na chwanegai yr Arglwydd drugarhau mwyach wrth ddeg llwyth tŷ Israel. *Eithr dygaf hwynt ymaith yn llwyr*—i gaethiwed yn nhir Assyria.

Adn. 7. *Ac eto mi a drugarhaf wrth dŷ Juda*] Arbedaf eu teyrnas hwy, ar ol i frenhiniaeth tŷ Israel ddarfod; *ac a'u cadwaf hwynt trwy yr Arglwydd eu Duw*—sef trwy gyfryngiad uniongyrchiol eu Duw; *ac nid â bwa, &c.*—nid trwy arfau neu offerynau rhyfel. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at orchfygiad goruwchnaturiol byddin Senacherib, 2 Bren. xix. 35; tra y cymhwysa ereill y geiriau at eu gwaredigaeth ysbrydol hwy trwy Grist.

Adn. 8. *A hi a ddiddyfnodd Lo-ruhamah*] Oddiwrth laeth y fron; *ac a feichiogodd, ac a esgorodd ar fab*—ni ddywedir yma, fel yn achos Jezreel, iddi esgor ar fab 'iddo *ef*,' sef i'r proffwyd: gwel ar adn. 6.

Adn. 9. *Galw ei enw ef Lo-ammi*] Yr hyn a arwydda, 'nid fy mhobl.' *Canys nid ydych bobl i mi*—trwy eich bod wedi fy ngwrthod i, a chofleidio eilunod yn fy lle i; *ac ni byddaf i chwithau yn Dduw*—i drugarhau wrthych a'ch achub.

bobl i mi, ac ni byddaf i chwithau
*yn Dduw.*
10 ¶ Eto bydd nifer meibion Is-
rael fel tywod y môr, yr hwn nis
mesurir, ac nis cyfrifir: a bydd, yn
y man lle y dywedwyd wrthynt, Nid
pobl i mi *ydych* chwi, y dywedir *yno*
wrthynt, Meibion y Duw byw
*ydych.*
11 Yna meibion Juda a meibion
Israel a gesglir yn nghyd, a hwy a
osodant iddynt un pen; a deuant i
fyny o'r tir: canys mawr *fydd* dydd
Jezreel.

## PENNOD II.

DYWEDWCH wrth eich brodyr,
Ammi; ac wrth eich chwiorydd,
Ruhamah.
2 Dadleuwch â'ch mam, dadleu-
wch: canys nid fy ngwraig *yw* hi,
ac nid ei gŵr hithau ydwyf finau:
bwried hithau ymaith ei phuteindra
o'i golwg, a'i godineb oddirhwng ei
bronau;
3 Rhag i mi ei dyosg hi yn noeth-
lymun, a'i gosod fel y dydd y ganed
hi, a'i gwneuthur fel anialwch, a'i
gosod fel tir diffaith, a'i lladd â
syched.
4 Ac ar ei phlant ni chymeraf
drugaredd; am eu *bod* yn blant
godineb.
5 Canys eu mam hwynt a butein-
iodd; gwaradwyddus y gwnaeth yr
hon a'u hymddyg hwynt: canys dy-
wedodd hi, Af ar ol fy nghariadau, y
rhai sydd yn rhoi fy mara a'm dwfr,
fy ngwlan a'm llin, fy olew a'm diod-
ydd.
6 ¶ Am hyny wele, mi a gauaf i

---

Adn. 10. *Eto*] Er i mi eich gwrthod chwi; ***bydd nifer meibion Israel***—sef Israel ysbrydol Duw, o blith Iuddewon a Chenhedloedd: *fel tywod y môr*—yr hwn nis gellir ei fesur na'i gyfrif: gwel ar Gen. xxxii. 12, Rhuf. ix 24—26. *A bydd yn y man lle y dywedwyd wrthynt, &c.*—y meddwl yw, y byddai iddynt gael eu harddel fel 'meibion y Duw byw,' lle yr oeddynt o'r blaen yn cael eu diarddel fel eilunaddolwyr a phlant diafol.

Adn. 11. *Yna meibion Juda a meibion Israel a gesglir yn nghyd, &c.*] Tybia rhai fod yn yr adnod hon gyfeiriad at ymuniad llawer o'r deg llwyth gyda gwŷr Juda a Benjamin ar eu dychweliad o gaethiwed Babilon dan arweiniad Zorobabel; ond diamau fod cyfeiriad y broffwydoliaeth yn benaf at ddychweliad yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, o'r holl diroedd lle y gwasgarwyd hwynt, i eglwys y Testament Newydd, dan Grist eu pen. *Canys mawr fydd dydd Jezreel*—sef dydd gwaredigaeth 'had Duw' o'u cyflwr gwasgaredig a thrallodus presenol.

PEN. II. Adn. 1. *Dywedwch wrth eich brodyr, Ammi*] 'Fy mhobl;' *ac wrth eich chwiorydd, Ruhamah*—'a gawsai drugaredd.' Y mae Duw yma yn galw y gwir gredinwyr ar enwau o ystyr gwrthgyferbyniol i'r rhai a roddid i'r annuwiolion, pen. i. 6—9. Er fod Israel yn nyddiau Hosea yn dra llygredig, eto yr oedd rhai yn eu mysg a'r na phlygasent eu gliniau i Baal: ac yr oedd y rhai hyny o hyd yn *Ammi* a *Ruhamah*, yn 'bobl i Dduw,' ac yn 'rhai a gawsent drugaredd.' Ac y mae Duw yma yn gorchymyn i'r ffyddloniaid hyny rybuddio gwlad neu genedl Israel.

Adn. 2. *Dadleuwch â'ch mam, dadleuwch*] Sef 'â Jerusalem, yr hon a adawodd fy addoliad i, ac a droes yn eilunaddolgar.'—*Clarke.* Neu 'â Samaria, sef tŷ Israel.'—*Williams.* Neu ynte â'r wlad, neu benaethiaid y genedl, y rhai a osodid allan trwy 'Gomer merch Diblaim,' pen. i. 2, 3. *Canys nid fy ngwraig yw hi, ac nid ei gŵr hi ydwyf finau*—fel pe dywedasai, Y mae hi wedi fforffetio pob hawl yn fy amddiffyniad i, trwy dori ei chyfammod â mi. *Bwried hithau ymaith ei phuteindra o'i golwg*—sef ei heilunaddoliaeth: *a'i godineb oddirhwng ei bronau*—sef yr arferiad o ymgrymu i'w heilunod, ac o ymserchu ynddynt.

Adn. 3. *Rhag i mi ei dyosg hi yn noethlymun*] Fel y gwneid gynt â gwragedd godinebus, ac â chaethion rhyfel, Esay iii. 17, Jer. xiii. 22, 26, Ezec. xvi. 37; *a'i gwneuthur fel anialwch*—diffaith a sych. Y meddwl yw, rhag i Dduw yn ei ddigofaint ddyosg Israel o'u holl ragorfreintiau, a'u darostwng i drallod, newyn, a gwarth.

Adn. 4. *Ac ar ei phlant ni chymeraf drugaredd*] Mwy nag y cymer gŵr ar fastarddiaid ei wraig anffyddlon ac encilgar oddiwrtho; *am eu bod yn blant godineb*—fel y rhai hyny; neu yn eilunaddolwyr eu hunain.

Adn. 5. *Canys eu mam hwynt a buteiniodd*] Yr hyn a enwir yma i gyfiawnhau tosder y gosp: *gwaradwyddus y gwnaeth yr hon a'u hymddyg hwynt* — ymddygodd y genedl gyda hyfdra digywilydd puteinwraig, Jer. iii. 3. *Canys dywedodd hi, Af ar ol fy nghariadau*—sef ar ol eilunod o bob math; *y rhai sydd yn rhoi fy mara a'm dwfr, &c.*—cyfrifent fod y llawnder a fwynhaent wedi ei roddi iddynt gan eu heilunod: gwel ar Jer. xliv. 18, 19. Ond tybia rhai fod y 'cariadau' uchod yn cyfeirio hefyd at y cenhedloedd eilunaddolgar, â'r rhai y chwenychent ymgyfeillio.

Adn. 6. *Am hyny wele, mi a gauaf i fyny dy ffordd di â drain*] Gan fod y genedl yn penderfynu myned ar ol ei chariadau, y mae Duw yn penderfynu gosod rhwystrau ar ei ffordd; *ac a furiaf fur*—Hebr. 'tur cerig,' o'i hamgylch, yr hwn nas gallai fyned trwyddo na

fyny dy ffordd di â drain, ac a fur-
iaf fur, fel na chaffo hi ei llwybrau.
7 A hi a ddylyn ei chariadau, ond
nis goddiwes hwynt; a hi a'u cais
hwynt, ond nis caiff: yna y dywed,
Af a dychwelaf at fy ngŵr cyntaf;
canys gwell *oedd* arnaf fi yna nag
yr awr hon.
8 Ac ni wyddai hi mai myfi a
roddais iddi ŷd, a gwin, ac olew, ac
a amlheais ei harian a'i haur, *y*
*rhai* a ddarparasant hwy i Baal.
9 Am hyny y dychwelaf, a chy-
meraf fy ŷd yn ei amser, a'm gwin
yn ei dymhor; a dygaf ymaith fy
ngwlan a'm llin, a guddiai ei noeth-
ni hi.
10 A mi a ddatguddiaf bellach ei
brynti hi yn ngolwg ei chariadau;
ac nis gwared neb hi o'm llaw i.
11 Gwnaf hefyd i'w holl orfoledd
hi, ei gwyliau, ei newydd-leuadau,
a'i sabbothau, a'i holl uchel-ŵyliau,
beidio.
12 A mi a anrheithiaf ei gwinwydd
hi a'i ffigyswydd, am y rhai y dy-
wedodd, Dyma fy ngwobrwyon y
rhai a roddodd fy nghariadau i mi;
ac mi a'u gosodaf yn goedwig, a
bwystfilod y maes a'u difa hwynt.
13 A mi a ymwelaf â hi am
ddyddiau Baalim, *yn* y rhai y llosg-
odd hi arogldarth iddynt, ac y
gwisgodd ei chlust-fodrwyau a'i
thlysau, ac yr aeth ar ol ei chariad-
au, ac yr anghofiodd fi, medd yr
Arglwydd.
14 ¶ Am hyny wele, mi a'i denaf
hi, ac a'i dygaf i'r anialwch, ac a
ddywedaf wrth *fodd* ei chalon.
15 A mi a roddaf iddi ei gwinllan-
oedd o'r fan hòno, a dyffryn Acor

---

throsto; *fel na chaffo hi ei llwybrau*—fel na allo fyned lle y myno. Cyfeirir yma at waith un yn cau o amgylch anifeiliaid aflywodraethus. Gwnai y drain eu rhwygo os ceisient fyned trwyddo; ac os llwyddent i ymwthio trwy y drain, attelid hwynt rhag dianc gan y mur cerig.

Adn. 7. *A hi a ddylyn ei chariadau*] Hi a geisia gymhorth gan ei heilunod a'i chyngbreirwyr; *ond nis goddiwes hwynt*—ni lwydda yn ei chais. *Yna y dywed*—ar ol ei siomi yn ei chariadau; *Af a dychwelaf at fy ngŵr cyntaf, &c.*—bydd i'w chystudd a'i chaethiwed ei dwyn ati ei hun, fel y mab afradlon; a pheri iddi hiraethu am y dedwyddwch a fwynhaai pan yr oedd yn ffyddlon i addoliad Jehofa, ei Duw cyfammodol.

Adn. 8. *Ac ni wyddai hi*] Neu, fel y mae *Horsley* yn ei gyfieithu, 'ond ni fynai hi wybod;' *mai myfi a roddais iddi ŷd, a gwin, ac olew*—ac nid ei chariadau, adn. 5; *ac a amlheais ei harian a'i haur*—y rhai a ddefnyddiodd hi yn ngwasanaeth ei heilunod, neu i wneuthur delwau i Baal.

Adn. 9. *Am hyny y dychwelaf*] I'w chospi hi yn nhrefn fy rhagluniaeth; *a chymeraf fy ŷd yn ei amser*—yn yr amser ag yr arferai fod yn addfed; *a'm gwin yn ei dymhor*—hyny yw, amddifadaf hi o'r trugareddau tymhorol ag y gobeithiai hi eu mwynhau yn ddiffeth. Hyn a wneid ond odid trwy anfon sychder, lindys, neu falldod i'w dyfetha, neu trwy ruthrgyrch gelynion. *A dygaf ymaith fy ngwlan a'm llin*—fel na chaiff wisgoedd i guddio ei noethni.

Adn. 10. *A mi a ddatguddiaf bellach ei brynti hi yn ngolwg ei chariadau*] Bydd i ffolineb a drygioni ei heilunaddoliaeth fod yn amlwg yn ei chosp: *ac nis gwared neb hi o'm llaw i*—hyny yw, ni all neb o'i heilunod na'i chyngbreirwyr ei gwaredu.

Adn. 11. *Gwnaf hefyd i'w holl orfoledd hi*] Yn amser ei huchel-ŵyliau, y rhai a gynelid yn addoliad y lloi aur, 1 Bren. xii. 32; *beidio*—yr hyn a gyflawnwyd trwy gaethgludiad y deg llwyth i Assyria.

Adn. 12. *A mi a anrheithiaf ei gwinwydd hi a'i ffigyswydd*] Sef y ffrwythau a dadogai hi ar ei duwiau, adn. 5; *a bwystfilod y maes a'u difa hwynt*—yn ei lle hi.

Adn. 13. *A mi a ymwelaf â hi am ddyddiau Baalim*] Sef am y dyddiau a dreuliodd hi mewn eilunaddoliaeth er amser Jeroboam; *yn y rhai y llosgodd hi arogldarth iddynt*—mewn efelychiad o'r hyn a wnai fy mhobl wrth fy addoli i yn Jerusalem; *ac y gwisgodd ei chlust-fodrwyau*—neu ei 'ffroen-fodrwyau,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu; *a'i thlysau*—er anrhydedd i'w heilunod; *ac yr anghofiodd fi*—ei Duw cyfammodol. Yr oedd prif dduw pob gwlad yn cael ei alw yn *Baal*, yr hyn a arwydda 'arglwydd:' felly Baal-peor oedd duw y Moabiaid, Baal-zebub oedd duw Ecron, 2 Bren. i. 2, a Baal-berith oedd duw y Pheniciaid, Barn. viii. 33. Y mae y gwahanol dduwiau hyn yn cael eu galw yn y rhif lluosog *Baalim*, 'arglwyddi;' canys yr oedd ganddynt 'arglwyddi lawer,' 1 Cor. viii. 5. Cynwysa *Baalim* yr holl eilunod gwrywaidd, fel y gwna *Astaroth* yr holl rai menywaidd.

Adn. 14. *Am hyny wele*] Neu, 'er hyny;' *mi a'i denaf hi*—fel y denwyd hi gan ei chariadau oddiwrthyf fi, felly y denaf finau hi oddiwrthynt hwythau; *ac a'i dygaf i'r anialwch*—hyny yw, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'mi a'i denaf hi *ar ol* i mi ei dwyn i'r anialwch.' Ond tybia ereill fod yma gyfeiriad at ei dygiad adref o'i chaethiwed ar hyd ffordd yr anialwch. *Ac a ddywedaf wrth fodd ei chalon*—fel gŵr tirion yn ceisio denu ac ennill ei briod anffyddlon i ddychwelyd adref, heb ddannod iddi ei hanffyddlondeb a'i drygioni.

Adn. 15. *A mi a roddaf iddi ei gwinllan-*

yn ddrws gobaith; ac yno y cân hi,
fel yn nyddiau eu hieuenctid, ac
megys *yn* y dydd y daeth hi i fyny
o wlad yr Aifft.
16 Y dydd hwnw, medd yr Ar-
glwydd, y'm gelwi Issi, ac ni'm
gelwi mwyach Baali.
17 Canys bwriaf enwau Baalim
allan o'i genau hi, ac nis coffeir
hwy mwyach wrth eu henwau.
18 A'r dydd hwnw y gwnaf am-
mod drostynt âg anifeiliaid y maes,
ac âg ehediaid y nefoedd; ac *âg* ym-
lusgiaid y ddaear; a'r bwa, a'r
cleddyf, a'r rhyfel, a doraf ymaith
o'r ddaear, a gwnaf iddynt orwedd
yn ddiogel.
19 A mi a'th ddyweddïaf â mi fy
hun yn dragywydd; ïe, dyweddïaf
di â mi fy hun mewn cyfiawnder, ac
mewn barn, ac mewn tiriondeb, ac
mewn trugareddau.
20 A dyweddïaf di â mi mewn
ffyddlondeb; a thi a adnabyddi yr
Arglwydd.
21 A'r dydd hwnw y gwrandawaf,
medd yr Arglwydd, ar y nefoedd y
gwrandawaf; a hwythau a wrandaw-
ant ar y ddaear;
22 A'r ddaear a wrendy ar yr ŷd,
a'r gwin, a'r olew; a hwythau a
wrandawant ar Jezreel.
23 A mi a'i hauaf hi i mi fy hun
yn y ddaear, ac a drugarhaf wrth yr

---

*oedd o'r fan hòno*] Neu, fel y mae rhai yn ei gyfieithu, 'o'r *awr* hòno,' pryd y dychwel hi ataf fi mewn edifeirwch: *a dyffryn Acor*—neu 'ddyffryn blinder,' *yn ddrws gobaith*—am waredigaeth iddi o'i blinder. Y mae yma gyfeiriad at *flinder* Israel, yn nyffryn Acor, o achos Acan gynt, Jos. vii. 24, 25; ac at y *gobaith* a ddygwyd iddynt yno ar ol ei labyddio ef, pryd y dywedodd Duw wrth Josua, 'Nac ofna, ac na arswyda,' Jos. viii. 1: gwel y sylwadau yno. *Ac yno y cân hi*—hyd yn nod yn nyffryn blinder; *fel yn nyddiau ei hieuenctid*—pan yr ymgysylltodd â mi trwy gyfammod yn Horeb; *ac megys yn y dydd y daeth hi i fyny o wlad yr Aifft*—trwy y môr coch, Exod. xv. 1, &c. Y mae yr hyn a ddywedir yn yr adnodau uchod yn fwy cyson â hanes gwŷr Juda, nag â hanes y deg llwyth; a diamau ei fod yn gysgod o'r waredigaeth ysbrydol trwy Grist.

Adn. 16. *Y dydd hwnw, medd yr Arglwydd, y'm gelwi Issi*] Neu 'fy mhriod,' yr hwn sydd enw o hoffder a serch; *ac ni'm gelwi mwyach Baali*—'fy arglwydd,' enw yn arwyddo darostyngiad ac ofn.

Adn. 17. *Canys bwriaf enw Baalim allan o'i genau hi*] Gwaherddid i Israel enwi duwiau ereill, na chofio eu henwau hwynt, rhag i hyny eu denu i eilunaddoliaeth: gwel ar Exod. xxiii. 13, Jos. xxiii. 7.

Adn. 18. *A'r dydd hwnw y gwnaf ammod drostynt âg anifeiliaid y maes, &c.*] Na byddo iddynt eu niweidio na'u haflonyddu hwynt; *a'r bwa, a'r cleddyf, a'r rhyfel, a doraf ymaith o'r ddaear*—fel na byddo iddynt gael eu niweidio na'u dychrynu gan elynion cartrefol nac estronol; *a gwnaf iddynt orwedd yn ddiogel*—mewn llawnder a dedwyddwch. Y mae rhai yn deall hyn oll yn ffugyrol am dröedigaeth cenhedloedd anwaraidd trwy yr efengyl, ac am eu hymddygiad brawdol a chyfeillgar hwy tuag at yr Iuddewon adferedig.

Adn. 19. *A mi a'th ddyweddïaf â mi fy hun yn dragywydd*] Fel pe buasit forwyn bur, ac heb fod erioed yn euog o anffyddlondeb: *ïe, dyweddïaf di â mi fy hun*—fel ag i roddi hawl i ti yn holl freintiau a bendithion y cyfammod newydd; *mewn cyfiawnder ac mewn barn*—ar delerau têg ac uniawn; *ac mewn tiriondeb*—yn tarddu oddiar dynerwch a hynawsedd fy natur; *ac mewn trugareddau*—gan faddeu ac annghofio dy holl gamymddygiadau blaenorol.

Adn. 20. *A dyweddïaf di â mi mewn ffyddlondeb*] Gan gyflawni yn ffyddlon fy holl addewidion hyn i ti: *a thi a adnabyddi yr Arglwydd*—sef dy Briod a'th Waredwr holldddigonol.

Adn. 21. *A'r dydd hwnw y gwrandawaf, medd yr Arglwydd*] Sef y dydd y gwneler y cyfammod newydd hwn rhyngof fi a thi: *ar y nefoedd y gwrandawaf*—sef ar y cymylau, pan fyddont yn gofyn caniatâd, fel pe byddai, i godi dwfr o'r môr, neu i'w dywallt ar y ddaear: *a hwythau a wrandawant ar y ddaear*—pan fyddo yn ei hiaith yn gofyn iddynt am wlaw i ireiddio ei gwyneb sych ac agenog.

Adn. 22. *A'r ddaear a wrendy ar yr ŷd, a'r gwin, a'r olew*] Pan fyddont hwythau fel yn gofyn am faeth a magwraeth i gyraedd addfedrwydd; *a hwythau a wrandawant ar Jezreel*—sef ar 'had Duw,' neu y duwiolion, pen. i. 4, pan fyddont hwythau mewn angen am gynaliaeth neu gysuron natur. Y mae yr ymadroddion hyn yn brydferth iawn, ac yn dangos cydweithrediad holl natur, dan ofal rhagluniaeth Duw, i ddiwallu anghenion pobl Dduw. Ar ol i'r undeb newydd hwn gymeryd lle, ni chaent mwyach y nefoedd yn bres uwchben, i attal ei gwlith a'i gwlaw; na'r ddaear yn agenu gan sychder a gwres, fel ag i fethu dwyn ffrwythau; na'r ffrwythau yn gwywo ac yn dihoeni, heb allu diwallu anghenion dyn. Ond y mae yn debyg fod yma gyfeiriad hefyd at fendithion ysbrydol dan yr efengyl.

Adn. 23. *A mi a'i hauaf hi im' fy hun yn y ddaear*] Y mae y gair a gyfieithir yma *hauaf*, yn cyfeirio at ac yn egluro y gair *Jezreel*, neu 'had Duw,' fel ei defnyddir yn adn. 22, ac yn pen. i. 4, 11. Arddanghosir yma amlder mawr y gwir dduwiolion mewn

hon ni chawsai drugaredd; ac a ddywedaf wrth *y rhai* nid *oedd* bobl i mi, Fy mhobl *wyt* ti; a hwythau a ddywedant, *O* fy Nuw!

## PENNOD III.

YNA yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf, Dos eto, câr wraig, (hoff gan *ei* chyfaill, a hithau wedi tori ei phriodas,) yn ol cariad yr Arglwydd ar feibion Israel, a hwythau yn edrych ar ol duwiau dyeithr, ac yn hoffi costrelau gwin.
2 A mi a'i prynais hi i mi er pym-
theg o arian, ac *er* homer o haidd,
a hanner homer o haidd:
3 A dywedais wrthi, Aros am
danaf lawer o ddyddiau; na phut-
einia, ac na fydd i ŵr *arall:* a mi-
nau *a fyddaf* felly i tithau.
4 Canys llawer o ddyddiau yr
erys meibion Israel heb frenin, a
heb dywysog, a heb aberth, a heb
ddelw, a heb ephod, a *heb* tera-
phim.
5 Wedi hyny y dychwel meibion

---

amser dyfodol, fel cynyrch had wedi ei hau yn y ddaear; a danghosir yr Iuddewon dychweledig fel yr had oddiwrth ba un y cyfyd cnwd mawr o Genhedloedd dychweledig. *Ac a drugarhaf wrth yr hon ni chawsai drugaredd*—sef wrth 'Lo-ruhamah,' pen. i. 6, yn gosod allan yr Iuddewon a'r Cenhedloedd dychweledig, pan yn eu cyflwr llygredig blaenorol: gwel ar Rhuf. ix. 24—26, a xi. 12, 15. *Ac a ddywedaf wrth y rhai nid oedd bobl im'*—sef wrth 'Lo-ammi,' pen. i. 9; *Fy mhobl wyt ti*—neu 'Ammi:' gwel ar adn. 1. *A hwythau a ddywedant*—wrthyf finau; *O fy Nuw!*—bydd yr anwyldeb a'r berthynas gyfammodol yr un mor gryf a llawn o bob tu.

PEN. III. Adn. 1. *Yna yr Arglwydd a ddywedodd wrthyf*] Yr ail waith; *Dos eto, câr wraig*—un wahanol i Gomer, yr hon y soniwyd am dani pen. i. 3; canys yr oedd hono naill ai wedi marw, neu ynte wedi ei hysgaru am ei hanffyddlondeb i'r proffwyd. Felly y mae *Jerome* a *Cyril* yn deall yr achos, yn nghydag *Estius*, *Menochius*, *Tirinus*, *Newcome*, ac amrai esbonwyr dysgedig ereill. *Hoff gan ei chyfaill*—neu ei 'gŵr,' Jer. iii. 20; sef ei gŵr cyntaf, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu ei hail ŵr, sef y proffwyd, yn ol ereill: neu, fel y mae y LXX, yr *Arabaeg*, a'r *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'yn hoffi *drygioni*;' pa ddarlleniad a gymeradwyir gan *Newcome*, *Horsley*, *Clarke*, ac ereill. *A hithau wedi tori ei phriodas*—neu, '*er* ei bod wedi tori ei phriodas,' trwy ei hanffyddlondeb i'w gŵr. *Yn ol cariad yr Arglwydd*—hyny yw, yr oedd hi fyth yn cael ei charu gan ei gŵr, fel yr oedd meibion Israel yn cael eu caru gan yr Arglwydd, hyd yn nod tra yr oeddynt hwy yn edrych ar ol duwiau dyeithr. *Ar feibion Israel*—tybia llawer fod 'meibion Israel' yma yn golygu yr Iuddewon, neu lwythau Juda a Benjamin, fel y mae 'Israel,' a 'thŷ Israel,' yn golygu y deg llwyth yn pen. i. Neu gall fod 'meibion Israel' yn cyfeirio yma at yr holl genedl. *A hwythau yn edrych ar ol duwiau dyeithr*—i'w caru a'u haddoli; *ac yn hoffi costrelau gwin*—yr hwn a dywalltent yn ddiod-offrwm i'w duwiau yn nheml yr eilunod, neu a yfent eu hunain er anrhydedd iddynt, Amos ii. 8. Y mae cariad y gŵr tyner hwn at ei wraig anffyddlon yn cael ei gymharu yma i gariad Duw at ei bobl, yr hwn oedd yn parhau yn ngwyneb eu heilunaddoliaeth hwy; ac y mae yn cael ei ddwyn yn mlaen yma fel *cysgod* o'r cariad dwyfol. Tybia *Poole*, *Gill*, *Lowth Sutcliffe*, *Boothroyd*, *Williams*, ac ereill, mai yn *weledigaethol* neu *ddammegol* yr oedd y proffwyd i garu neu briodi y wraig odinebus hon, ac nid yn *llythyrenol* neu *wirioneddol*, am y buasai gweithredu felly yn droseddiad o gyfraith Moses a Christ: ond gwel ar pen. i. 2.

Adn. 2. *A mi a'i prynais hi i mi er pymtheg o arian*] Os pymtheg *sicl* a feddylir, yr oedd y swm hwn yn gyfartal i £1 17*s.* 6*c.* o'n harian ni; *ac er homer o haidd, a hanner homer o haidd*—yr hyn oedd tua deuddeg bwsiel, yn ol ein mesur ni. Tybia rhai mai ei *gwaddol* hi oedd y pethau hyn; tra y tybia ereill iddo roddi yr arian a'r haidd tuag at ei *chynal* hi, rhag iddi gael ei hudo mwyach i ymwerthu i aflendid. Neu fe allai fod y pris isel hwn yn arwyddo mor ddiwerth ydoedd meibion Israel yn ngolwg Duw yn amser eu gwrthgiliad.

Adn. 3. *A dywedais wrthi, Aros am danaf lawer o ddyddiau*] Fel y caffwyt brawf o'th ddiwygiad cyn dy briodi: *na phuteinia, ac na fydd i ŵr arall*—yn ystod dyddiau dy brawf, eithr cadw dy hun yn bur a ffyddlon: *a minau a fyddaf felly i tithau*—byddaf finau yn ffyddlon i'm cyfammod â thithau. Y mae hyn yn arddanghosiad o gyflwr yr Iuddewon yn Babilon, neu o'u cyflwr presenol heb ymgymysgu âg eilunaddolwyr.

Adn. 4. *Canys llawer o ddyddiau yr erys meibion Israel*] Cyfeiria hyn yn mlaenaf, fe allai, at gyflwr yr Iuddewon tra y buont yn nghaethiwed Babilon; ac y mae yn wir hefyd am eu cyflwr o amser dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid hyd heddyw. *Heb frenin, a heb dywysog*—o'r eiddynt eu hunain i'w llywodraethu. *A heb aberth*—trwy eu bod yn gwrthod aberth Crist, ac yn meddwl ei bod yn anweddaidd iddynt aberthu yn ol y gyfraith mewn gwlad estronol. *A heb ddelw*—neu, fel y mae y LXX a'r *Vulgate* yn ei ddarllen, 'heb allor.' *A heb ephod*—sef heb offeiriad yn gwisgo ephod, i wasanaethu iddynt yn ol y gyfraith. *A heb teraphim*—sef heb Urim a Thummim, neu 'heb ddatguddiad.'—*Coverdale.* Gwel ar Gen. xxxi. 19, Exod. xxviii. 30. Y meddwl yw, y byddai meibion Israel dros lawer o flynyddoedd heb

Israel, ac y ceisiant yr Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu Brenin; ac a barchant yr Arglwydd a'i ddaioni yn y dyddiau diweddaf.

## PENNOD IV.

MEIBION Israel, gwrandewch air yr Arglwydd: canys *y mae* cwyn rhwng yr Arglwydd a thrigolion y wlad, am nad *oes* na gwirionedd, na thrugaredd, na gwybodaeth o Dduw, yn y wlad.
2 *Trwy* dyngu, a dywedyd celwydd, a lladd celain, a lladrata, a thori priodas, y maent yn tori allan, a gwaed a gyffwrdd â gwaed:
3 Am hyny y galara y wlad, ac y llesgâ oll sydd yn trigo ynddi, yn nghyda bwystfilod y maes, ac ehediaid y nefoedd; pysgod y môr hefyd a ddarfyddant.
4 Er hyny nac ymrysoned, ac na cherydded neb eu gilydd: canys dy bobl *sydd* megys rhai yn ymryson â'r offeiriad.
5 Am hyny ti a syrthi y dydd, a'r proffwyd hefyd a syrth gyda thi y nos, a mi a ddyfethaf dy fam.
6 ¶ Fy mhobl a ddyfethir o eis-

---

addoliad o ffydd yn y byd, ac heb foddion i wybod ewyllys Duw.

Adn. 5. *Wedi hyny y dychwel meibion Israel*] O'u cyflwr amddifad, gresynus, a thywyll, a hyny mewn gwir edifeirwch am eu pechodau; *ac y ceisiant yr Arglwydd eu Duw*—sef eu Duw cyfammodol, a hyny trwy ymbiliau a gweddiau taerion; *a Dafydd eu Brenin*—hyny yw, fel y mae y *Targum* yn ei egluro yn briodol, 'hwy a ufyddhant i'r Messia, Mab Dafydd, eu Brenin.' Ni ddywedir y byddai i Dafydd eu Brenin ddyfod atynt hwy, ond y byddai iddynt hwy ei geisio ef; oblegid y mae efe wedi dyfod atynt hwy eisioes, ond eu bod hyd yma yn ei wrthod. Yr oedd y *Messia* wedi cael ei addaw yn fynych iddynt dan yr enw *Dafydd:* gwel Jer. xxx. 9, Esec. xxxiv. 23, a xxxvii. 22—25. *Ac a barchant yr Arglwydd a'i ddaioni*—hwy a'i hofnant ac a'i carant ef, gan ei ganmol a'i fawrygu am ei ddaioni iddynt yn mhob oes, ac yn enwedig am gyflawni o hono ei addewid iddynt yn rhoddiad y Messia, a'r bendithion ysbrydol a gawsent hwy trwyddo ef. *Yn y dyddiau diweddaf*—sef dan yr oruchwyliaeth efengylaidd, ar ol iddynt gael eu dwyn i gofleidio Cristionogaeth.

PEN. IV. Adn. 1. *Meibion Israel, gwrandewch air yr Arglwydd*] Ymddengys fod yr hyn a ddywedir yma yn cael ei gyfeirio yn benaf at ddeg llwyth Israel, er fod yr ymadroddion a ddefnyddir yn gyfaddasol i'r Iuddewon hefyd. *Canys y mae cwyn rhwng yr Arglwydd a thrigolion y wlad*—sef cynghaws, dadl, neu achos o gyhuddiad. *Am nad oes na gwirionedd*—cywirdeb, geirwiredd, gonestrwydd, neu ffyddlondeb; *na thrugaredd*—sef tosturi tuag at y tylawd a'r anghenus; *na gwybodaeth o Dduw, yn y wlad*—hyny yw, nid oes dim gwybodaeth achubol a gwirioneddol o Dduw yn y wlad. Yr oeddynt yn gwybod fod Duw; ond nid oeddynt yn ei ofni, yn ei garu, nac yn ei wasanaethu ef.

Adn. 2. *Trwy dyngu*] Neu wneuthur llw drwg; *a dywedyd celwydd*—i geisio cyflawnhau y llw hwnw; *a lladd celain*—sef cyflawni llofruddiaeth neu fwrddrad; *a lladrata*—neu yspeilio dynion o'u meddiannau; *a thori priodas*—trwy anlladrwydd a godineb; *y maent yn tori allan*—fel afon lifeiriol yn tori dros y glanau, ac yn ysgubo y cwbl o'i blaen; *a gwaed a gyffwrdd â gwaed*—y mae celaneddau y rhai a lofruddir yn gorwedd mor aml ar y ddaear, nes y maent fel yn cydio wrth eu gilydd yn ddidor.

Adn. 3. *Am hyny y galara y wlad*] Dan effeithiau y sychder, y prinder, a'r malldod a ddisgyn arni yn gosp am y pechodau uchod; *ac y llesgâ oll sydd yn trigo ynddi*—gan newyn, a chan yr heintiau a'i dylynant; *yn nghyda bwystfilod y maes, ac ehediaid y nefoedd*—byddai i'r anifeiliaid drengu o ddiffyg porfa, ac i'r adar feirw, neu gilio i wledydd ereill, o ddiffyg ffrwythau: *pysgod y môr hefyd a ddarfyddant*—byddai i'r heigiau pysgod drengu yn y môr, neu gilio oddiwrth ei lanau, fel na ellid eu dal i'w bwyta. Ond gan fod *môr*, yn yr Hebraeg, yn arwyddo hefyd afonydd neu lynoedd, fe allai mai at waith y rhai hyny yn sychu i fyny y cyfeirir yma.

Adn. 4. *Er hyny nac ymrysoned, ac na cherydded neb eu gilydd*] Am mai ofer fyddai ceisio eu perswadio i ymadael â'u ffyrdd drygionus: *canys dy bobl sydd megys rhai yn ymryson â'r offeiriad*—yr hyn oedd yn drosedd o'r fath waethaf, ac i'w gospi â marwolaeth, Deut. xvii. 12. Ond Newcome a'i cyfieitha, 'Eto nid oes neb yn ymryson, na neb yn ceryddu: canys fel cythruddiad yr offeiriad yw cythruddiad y bobl:' hyny yw, y mae y naill cyn waethed a'r llall.

Adn. 5. *Am hyny ti*] O Israel wrthnysig, *a syrthi y dydd*—pan y byddot yn dy ystyried dy hun yn fwyaf diogel, heb neb yn cynllwyn i'th faglu; *a'r proffwyd hefyd a syrth gyda thi y nos*—sef y gau broffwydi, y rhai a gymerent arnynt ddatguddio pethau tywyll trwy y ser: *a mi a ddyfethaf dy fam*—sef Samaria, mam-ddinas y deg llwyth; neu Jerusalem, mam-ddinas yr holl genedl.

Adn. 6. *Fy mhobl a ddyfethir o eisiau gwybodaeth*] Er fod goleuni o fewn eu cyrhaedd, eto yr oeddynt yn rhodio yn y tywyllwch: ni feddent wybodaeth ymarferol o gyfraith Duw, gwerth gwir grefydd, nac o'u perygl eu hunain. *Am it ddiystyru gwybodaeth*—dy hun, ac

iau gwybodaeth: am i ti ddiystyru
gwybodaeth, minau a'th ddiystyraf
dithau, fel na byddech offeiriad i
mi; *ac* am i ti annghofio cyfraith dy
Dduw, minau a annghofiaf dy blant
dithau hefyd.
7 Fel yr amlhasant, felly y pech-
asant i'm herbyn: *am hyny* eu go-
goniant a newidiaf yn warth.
8 Bwyta y maent bechod fy
mhobl, ac at eu hanwiredd hwynt y
maent yn dyrchafu eu calon.
9 A bydd yr un fath, bobl ac off-
eiriad: ac ymwelaf â hwynt am eu
ffyrdd, a thalaf iddynt eu gweith-
redoedd.
10 Bwytânt, ac nis diwellir; put-
einiant, ac nid amlhânt; am iddynt
beidio â dysgwyl wrth yr Arglwydd.
11 Godineb, a gwin, a gwin new-
ydd, a ddwg y galon ymaith.
12 ¶ Fy mhobl a ofynant gyng-
hor i'w cyffion, a'u ffon a ddengys
iddynt: canys ysbryd godineb a'*u*
cyfeiliornodd *hwynt*, a phuteinias-
ant oddiwrth eu Duw.
13 Ar benau y mynyddoedd yr
aberthant, ac ar y bryniau y llosg-
ant arogldarth, dan y dderwen, a'r
boplysen, a'r llwyfen, am *fod* yn dda
eu cysgod: am hyny y puteinia eich
merched chwi, a'ch gwragedd a
dorant briodas.
14 Nid ymwelaf â'ch merched
pan buteiniont, nac â'ch gwragedd
pan dorant briodas: am fod y rhai
hyn yn ymddidoli gyda phuteiniaid,
ac aberthasant gyda dyhirogod: a'r

---

esgeuluso ei dysgu i'm pobl; *minau a'th ddiystyraf dithau, fel na byddech offeiriad i mi*—hyny yw, mi a ddymchwelaf yr eglwys, yr offeiriadaeth, a'r wladwriaeth. Ymddengys fod hyn yn cael ei ddywedyd wrth offeiriaid y genedl yn ngwlad Judea, ac nid wrth offeiriaid y lloi aur; canys nid oedd y rhai hyny yn 'offeiriaid iddo ef.' *Ac am it' annghofio cyfraith dy Dduw*—heb ei dysgu i'r bobl; *minau a annghofiaf dy blant dithau hefyd*—gan eu rhoddi yn nwylaw eu gelynion; neu, ni chaiff dy blant di dy ddylyn yn yr offeiriadaeth.

Adn. 7. *Fel yr amlhasant*] Fel yr oedd yr offeiriaid yn cynyddu mewn bri, urddas, a gogoniant uwchlaw y bobl gyffredin; *felly y pechasant i'm herbyn*—nes yr oedd graddau eu drygioni yn cyfateb i raddau eu bri a'u gogoniant. *Am hyny eu gogoniant a newidiaf yn warth*—trwy eu darostwng hwy i gaethiwed gwarthus o ganol eu mawredd a'u gogoniant.

Adn. 8. *Bwyta y maent bechod fy mhobl*] Neu '*bech offrwm* fy mhobl;' *ac at eu hanwiredd hwynt y maent yn dyrchafu eu calon*—y maent mor bell oddiwrth geisio attal fy mhobl rhag cyflawni anwiredd, nes y maent yn ymhyfrydu yn hyny; canys pa fwyaf y pechai y bobl, mwyaf fyddai nifer y pech-offrymau, y rhai oeddynt ran yr offeiriaid.

Adn. 9. *A bydd yr un fath*] O ran eu cosp, *bobl ac offeiriad*—gan eu bod yr un fath o ran eu pechodau: *ac ymwelaf â hwynt am eu ffyrdd*—sef â'r bobl a'r offeiriaid fel eu gilydd; *a thalaf iddynt eu gweithredoedd*—sef ffrwyth neu haeddiant eu drwg-weithredoedd.

Adn. 10. *Bwytânt, ac nis diwellir*] Ni chânt ddigon, neu ni fydd i'r hyn a fwytânt eu maethloni: *puteiniant, ac nid amlhânt*—er iddynt luosogi gwragedd neu ordderchadon i ysgoi y felldith o fod yn ddiblant, eto ni lwyddant yn eu hamcan, gan y bydd i'w gwragedd fod yn ddiffrwyth, neu i'w plant feirw: *am iddynt beidio â dysgwyl wrth yr Arglwydd*—yr hwn y mae ei fendith yn anhebgorol er peri i'r hyn a fwytawn fod yn faethlon i ni, ac er lluosogi ein hiliogaeth, Salm cxxvii. 3, a cxxviii. 3.

Adn. 11. *Godineb, a gwin, a gwin newydd, a ddwg y galon ymaith*] A amddifadant ddynion o'u rheswm, ac a dywyllant eu deall, ac a galedant eu calonau: neu, yn ol rhai cyfieithiadau, 'calon fy mhobl a osodwyd ar odineb, a gwin, a meddwdod.'

Adn. 12. *Fy mhobl a ofynant gynghor i'w cyffion*] Sef gan eu duwiau a wnaed o gyff; *a'u ffon a ddengys iddynt*—ceisiant wybodaeth trwy ddewinio â ffon, yn ol arferiad y dwyreinwyr, y rhai a osodent ddwy ffon i sefyll ar eu penau ar y ddaear; ac ar ol adrodd rhyw gyfaredd, rhoddent gynghor yn ol fel y syrthiai y rhai hyny yn ol neu yn mlaen, ar y ddeau neu ar yr aswy. Yr oedd y math yma o ddewiniaeth rywbeth yn debyg i'r hyn a grybwyllwyd ar Ezec. xxi. 21. *Canys ysbryd godineb a'u cyfeiliornodd hwynt*—a barodd iddynt syrthio i'r cyfeiliornadau gwarthus hyn, yn ol siampl y cenhedloedd eilunaddolgar; *a phuteiniasant oddiwrth eu Duw*—oddiwrth ei grefydd a'i addoliad ef, gan fyned ar ol duwiau a defodau y cenhedloedd paganaidd o'u hamgylch.

Adn. 13. *Ar benau y mynyddoedd yr aberthant*] I'w duwiau gau, yn ol arferiad y cenhedloedd eilunaddolgar; *dan y dderwen, a'r boplysen, a'r llwyfen, am fod yn dda eu cysgod*—neu am eu bod yn dewfrig, i'w diogelu hwynt rhag gwres yr haul, neu i guddio eu gweithredoedd aflan. *Am hyny y puteinia eich merched chwi*—yn llythyrenol ac ysbrydol: *a'ch gwragedd a dorant briodas*—trwy odineb cnawdol er anrhydedd i'w duwiau aflan; a goddefid iddynt gyflawni y pechodau hyn fel cosp am bechodau eu tadau a'u gwŷr.

Adn. 14. *Nid ymwelaf â'ch merched pan buteiniont, &c.*] Hyny yw, nid ymwelid â'u merched a'u gwragedd mewn ffordd o gosp; *am fod y rhai hyn*—sef y tadau a'r gwŷr, *yn*

bobl ni ddeallant, a dramgwyddant.
15 ¶ Er i ti, Israel, buteinio, *eto*
na phechod Juda: nac ewch i Gil-
gal, nac ewch i fyny i Beth-afen;
ac na thyngwch, Byw *yw* yr Ar-
glwydd.
16 Fel anner anhywaith yr anhy-
weithiodd Israel: yr Arglwydd yr
awr hon a'u portha hwynt fel oen
mewn eangder.
17 Ephraim a ymgysylltodd âg
eilunod: gad iddo.
18 Surodd eu diod hwy; gan but-
einio y puteiniasant: hoff yw, Moes-
wch, *trwy* gywilydd gan ei llywodr-
aethwyr hi.
19 Y gwynt a'i rhwymodd hi yn
ei hadenydd, a bydd arnynt gywil-
ydd o herwydd eu haberthau.

PENNOD V.

CLYWCH hyn, chwi offeiriaid;
gwrandewch, tŷ Israel; a thŷ y
brenin, rhoddwch glust: canys *y*
*mae* barn tuag atoch, am eich bod
yn fagl ar Mispah, ac yn rhwyd
wedi ei lledu ar Tabor.
2 Y rhai a ŵyrant i ladd a ânt i'r
dwfn, er i mi eu ceryddu hwynt oll.
3 Myfi a adwaen Ephraim, ac nid
yw Israel guddiedig oddiwrthyf:

---

*ymddidoli gyda phuteiniaid*—eu hunain; *ac aberthasant gyda dyhirogod*—gyda'r putanod gwaethaf a mwyaf digywilydd, y rhai a ymwerthent i bob aflendid: gwel ar Num. v. 28. Ond y mae *Newcome* yn darllen yr adnod hon yn holiadol: 'Ai nid ymwelaf â'ch merched pan buteiniont, ac â'ch gwragedd pan doront briodas, &c.?' *A'r bobl ni ddeallant*—sef y genedl anwybodus a drwg yn gyffredinol; *a dramgwyddant*—a syrthiant o flaen eu gelynion; neu 'a gospir,' fel y mae ar ymyl y dda en.

Adn. 15. *Er i ti, Israel, buteinio*] Ar ol y lloi aur; *eto na phechod Juda*—na fydded i ddau lwyth Juda a Benjamin ddylyn siampl y deg llwyth. *Nac ewch i Gilgal*—lle hynod am eilunaddoliaeth; *nac ewch i fyny i Beth-afen*—yr un lle oedd hwn a *Bethel*, 'tŷ Dduw;' ond ar ol i Jeroboam osod un o'i loi aur yno, galwyd ef *Beth-afen*, 'tŷ drygioni.' *Ac na thyngwch, Byw yw yr Arglwydd*—hyny yw, na thyngwch i enw Jehofa yn nheml eilunod; neu, na chymysgwch addoliad y gwir Dduw gydag addoliad y lloi aur.

Adn. 16. *Fel anner anhywaith*] Neu anner gildyn, ystyfnig, a gwrthnysig, yr hon dan yr iau a dŷn yn ol yn lle yn mlaen; *yr anhyweithiodd Israel*—y tynodd yntau yn ol oddiwrth waith yr Arglwydd. *Yr Arglwydd yr awr hon*—yn gosp am eu gwrthgiliad; *a'u portha hwynt fel oen*—yr hwn sydd greadur gwan a diamddiffyn; *mewn eangder*—mewn maes agored, lle na byddo clawdd i'w hamddiffyn hwynt rhag bleiddiaid. Cyfeirir yma at eu caethgludiad hwynt i Assyria.

Adn. 17. *Ephraim*] Sef y deg llwyth, Ezec. xxxvii. 16, 19; *a ymgysylltodd âg eilunod*—a gydymgorfforodd âg eilunod, neu a ymroddodd mor lwyr i'w gwasanaeth a phe buasai wedi tyngu llw o ffyddlondeb iddynt: *gad iddo*—gad lonydd iddo i ddylyn ei ffordd ei hun, nes y byddo wedi addfedu i ddinystr. Cyflwr arswydus yw eiddo y dyn hwnw, am yr hwn y dywed Duw, 'Gydwybod, gad lonydd iddo; fy Ysbryd, gad lonydd iddo; weinidogion yr efengyl, gadewch lonydd iddo: na foed i neb na dim ei ddihuno, nes i fflamau uffern wneyd hyny!'

Adn. 18. *Surodd eu diod hwy*] Y mae eu holl dduwioldeb yn rhagrith a thwyll; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'efe a aeth ar ol eu gwin hwy,' sef gwin neu wleddoedd i yr eilunod. *Gan buteinio y puteiniasant*—mewn ystyr cnawdol ac ysbrydol. *Hoff yw, Moeswch, trwy gywilydd gan ei llywodraethwyr hi*—y mae y geiriau hyn yn dra aneglur. Fe allai mai yr ystyr yw, 'Eu llywodraethwyr a buteiniasant, a hoffasant roddion: O y fath gywilydd!'

Adn. 19. *Y gwynt a'i rhwymodd hi yn ei hadenydd*] A rwymodd deyrnas y deg llwyth, fel ag i'w chario ymaith i gaethiwed Assyria: *a bydd arnynt gywilydd*—ar ol cyraedd yno, *o herwydd eu haberthau*—eilunaddolgar, y rhai a ddygasant y fath gosp drom arnynt.

PEN. V. Adn. 1. *Clywch hyn, chwi offeiriaid*] Neu 'chwi dywysogion,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; canys y mae y wreiddiol yn arwyddo y naill neu y llall. *Gwrandewch, tŷ Israel*—sef y deg llwyth; *a thŷ y brenin, rhoddwch glust*—i wrandaw ar y cyhuddiad a ddygir i'ch erbyn. *Canys y mae barn tuag atoch*—yn cael ei chyhoeddi uwch eich penau; *am eich bod yn fagl ar Mispah*—mynydd a dinas yn Gilead, tuhwnt i'r Iorddonen; *ac yn rhwyd wedi ei lledu ar Tabor*—mynydd prydferth yn llwyth Zabulon. Dywedir fod Mispah a Tabor yn leoedd hynod am *helwriaeth*; ac mewn cyfeiriad at hyny arddangosir Israel fel yn gosod magl a rhwyd yno i faglu dynion i eilunaddoliaeth.

Adn. 2. *Y rhai a ŵyrant i ladd a ânt i'r dwfn*] Cyfeirir yma at waith yr helyddion yn cloddio pydew dwfn yn y ddaear i ddal eu hysglyfaeth; ac felly yr oedd tŷ Israel yn arfer pob ystryw i hudo gwŷr Juda i'w heilunaddoliaeth hwy. *Er i mi eu ceryddu hwynt oll*—neu eu rhybyddio hwynt oll trwy y proffwydi a gyfodais i fyny yn eu plith, megys Elias, Eliseus, ac ereill: neu, fel y mae *Newcome* a *Horsley* yn ei ddarllen, 'Mi a'u ceryddaf hwynt oll.'

Adn. 3. *Myfi a adwaen Ephraim*] Pen y deg llwyth; *ac nid yw Israel guddiedig oddiwrthyf*—eithr mi a adwaen y naw llwyth

canys yn awr ti Ephraim a butein-
iaist, *ac* Israel a halogwyd.
4 Ni roddant eu gwaith ar droi at
eu Duw; am *fod* yspryd godineb
o'u mewn, ac nid abnabuant yr Ar-
glwydd.
5 A balchder Israel a ddwg dyst-
iolaeth yn ei wyneb: am hyny Is-
rael ac Ephraim a syrthiant yn eu
hanwiredd; Juda hefyd a syrth
gyda hwynt.
6 A'u defaid ac â'u gwartheg y
deuant i geisio yr Arglwydd; ond
nis cânt *ef:* ciliodd efe oddiwrth-
ynt.
7 Yn erbyn yr Arglwydd y buant
anffyddlon: canys cenedlasant blant
dyeithr: mis bellach a'u difa hwynt
yn nghyda'u rhanau.
8 Cenwch y corn yn Gibeah, yr
udgorn yn Ramah; bloeddiwch *yn*
Beth-afen ar dy ol di, Benjamin.

9 Ephraim fydd yn anrhaith yn
nydd y cerydd: yn mysg llwythau
Israel y perais wybod yr hyn fydd
yn sicr.
10 Bu tywysogion Juda fel sy-
mudwyr terfyn: *am hyny* y tywalltaf
arnynt fy llid fel dwfr.
11 Gorthrymwyd Ephraim, dryll-
iwyd ef mewn barn, am iddo yn ew-
yllysgar fyned ar ol y gorchymyn.
12 Am hyny *y byddaf* fel gwyfyn
i Ephraim, ac fel pydredd i dŷ Juda.
13 Pan welodd Ephraim ei lesg-
edd, a Juda ei archoll; yna yr aeth
Ephraim at yr Assyriad, ac a heb-
ryngodd at frenin Jareb: eto ni
allai efe eich meddyginiaethu, na'ch
iachâu o'ch archoll.
14 Canys mi *a fyddaf* i Ephraim
fel llew, ac i dŷ Juda fel cenaw llew:
myfi a ysglyfaethaf, ac a âf ymaith;
dygaf ymaith, ac ni *bydd* a achubo.

---

ereill hefyd: *canys yn awr ti Ephraim a buteiniaist*—yr wyt yn awr yn dylyn dy eilunod, er fy holl gynghorion a'm ceryddon; *ac Israel a halogwyd*—yr un modd ag Ephraim.

Adn. 4. *Ni roddant eu gwaith*] Neu eu bryd, *ar droi at eu Duw*—oddiwrth eu heilunod; *am fod ysbryd godineb o'u mewn*—neu am fod godineb wedi gwreiddio yn eu serchiadau; *ac nid adnabuant yr Arglwydd*—trwy fod eu godineb wedi dallu eu meddyliau, a dwyn eu calon hwynt ymaith, pen. iv. 11.

Adn. 5. *A balchder Israel a ddwg dystiolaeth yn ei wyneb*] Ei fod yn falch, caled, a drygionus: *am hyny Israel ac Ephraim a syrthiant yn eu hanwiredd*—i gaethiwed a chosp; *Juda hefyd a syrth gyda hwynt*—nid ar yr un pryd, ond *fel* hwythau, neu dan yr un gosp.

Adn. 6. *A'u defaid ac â'u gwartheg y deuant i geisio yr Arglwydd*] Sef trwy amledd o aberthau; *ond nis cânt ef*—am ei fod wedi cilio oddiwrthynt o herwydd iddynt wrthod ei geisio ef yn nydd gras, Diar. i. 28.

Adn. 7. *Yn erbyn yr Arglwydd y buant anffyddlon*] Fel gwraig yn tori ei chyfammod â'i gŵr: *canys cenedlasant blant dyeithr*—sef plant dyeithr i Dduw a'i addoliad, neu rai ymroddgar i wasanaethu duwiau dyeithr, yr un modd a'u rhieni. *Mis bellach a'u difa hwynt yn nghyda'u rhanau*—neu eu rhandiroedd; hyny yw, nid oes ond amser byr bellach rhyngddynt a syrthio dan y farn fygythiedig, yr hon a'u difa hwy a'u meddiannau ar unwaith.

Adn. 8. *Cenwch y corn yn Gibeah, yr udgorn yn Ramah*] Dwy o ddinasoedd Juda yn llwyth Benjamin; *bloeddiwch yn Beth-afen*—yr un a *Bethel* yn llwyth Ephraim ond odid, pen. iv. 15; neu le arall o'r enw hwn ar gyffiniau gogleddol llwyth Benjamin, Jos. xviii. 12. Y meddwl yw, rhybyddiwch hwynt fod y gelyn yn nesâu. *Ar dy ol di, Benjamin*—math o rybydd byr a brysiog, yn arwyddo, 'O Benjamin, ffo am dy einioes; y mae y gelyn ar dy ol, ac yn dy ymyl!'

Adn. 9. *Ephraim fydd yn anrhaith yn nydd y cerydd*] Yn gystal a Juda, at y rhai y cyfeiriwyd adn. 8: *yn mysg llwythau Israel*—sef y deg llwyth, *y perais wybod yr hyn fydd yn sicr*—o ddyfod i ben, sef eu cosp anocheladwy

Adn. 10. *Bu tywysogion Juda fel symudwyr terfyn*] Mor ddrygionus a'r rhai hyny; neu troseddasant gyfraith bendant Duw yr un modd a'r rhai a symudent farc neu arwyddnod terfyn etifeddiaethau, Deut. xix. 14; neu aethant dros yr holl derfynau a osodwyd gan Dduw a dynion: *am hyny y tywalltaf arnynt fy llid fel dwfr*—yn helaethlawn, fel llifeiriant gorthrechol a disymwth afonydd.

Adn. 11. *Gorthrymwyd Ephraim, drylliwyd ef mewn barn*] Gorthrymwyd a drylliwyd y deg llwyth yn ddirfawr trwy ryfeloedd gwaedlyd, i'r rhai y darostyngwyd hwynt trwy farn Duw; *am iddo yn ewyllysgar fyned ar ol y gorchymyn*—am iddo ufyddhau yn ewyllysgar i'r gorchymyn a roddodd Jeroboam i addoli y lloi aur.

Adn. 12. *Am hyny y byddaf fel gwyfyn i Ephraim*] I'w hysu, fel yr ysa gwyfyn ddilledyn; *ac fel pydredd i dŷ Juda*—i'w difa, fel y difa pydredd bren neu gnawd.

Adn. 13, 14. *Pan welodd Ephraim ei lesgedd, a Juda ei archoll*] Sef eu llesgedd a'u harcholl gwladwriaethol; *yna yr aeth Ephraim at yr Assyriad*—i geisio cynorthwy 'i sicrhau y frenhiniaeth yn ei law ef,' 2 Bren. xv. 19; *ac a hebryngodd at frenin Jareb*—hyny yw, 'hebryngodd *Juda* at frenin Jareb,' fel y mae *Secker* a *Pococke* yn ei

15 ¶ Af *a* dychwelaf i'm lle, hyd
oni chydnabyddont eu bai, a cheisio
fy wyneb: pan fyddo adfyd arnynt,
y'm bore-geisiant.

## PENNOD VI.

DEUWCH, a dychwelwn at yr Arglwydd: canys efe a'n drylliodd,
ac efe a'n hiachâ ni; efe a darawodd, ac efe a'n meddyginiaetha ni.
2 Efe a'n bywha ni ar ol deuddydd, a'r trydydd dydd y cyfyd ni
i fyny, a byddwn fyw ger ei fron ef.
3 Yna yr adnabyddwn, *os* dylynwn adnabod yr Arglwydd: ei fynediad a ddarperir fel y bore; ac efe a ddaw fel gwlaw atom, fel y diweddar-wlaw *a'r* cynar-wlaw i'r ddaear.
4 ¶ Beth a wnaf i ti, Ephraim? beth a wnaf i ti, Juda? eich mwynder sydd yn ymado fel cwmwl y bore, ac fel gwlith boreol.
5 Am hyny y tarewais *hwynt* trwy y proffwydi; lleddais hwynt â geiriau fy ngenau: a'th farnedigaethau *sydd fel* goleuni yn myned allan.
6 Canys ewyllysiais drugaredd,

---

ddarllen. Y mae y geir *jareb* yn arwyddo unrhyw un a ddadleua dros un arall, i amddiffyn ei achos ef yn erbyn ei wrthwynebwr; ac arwydda hefyd 'ddialydd' neu 'gynorthwywr;' ac nid ymddengys ei fod ef yma yn enw priodol: ond gwel ar pen. x. 6. *Eto ni allai efe eich meddyginiaethu, na'ch iachâu o'ch archoll*—am fod Duw ei hun yn eu rhwygo ac yn eu hysglyfaethu 'fel llew,' ac 'fel cenaw llew,' adn. 14.

Adn. 15. *Af a dychwelaf i'm lle*] Enciliaf oddiwrthynt, gan eu gadael i'w gelynion; *hyd oni chydnabyddont eu bai*—mewn dwys edifeirwch, *a cheisio fy wyneb*—trwy weddi daer. Wrth y 'lle' hwn y dealla rhai y *nefoedd*, preswylfa gogoniant Duw; ac ereill, y *drugareddfa*, lle priodol Duw yn mysg ei bobl, yr hon a adawsai efe pan yn tywallt ei lid arnynt, ac i'r hon y dychwelai pan yn dysgwyl i drugarhau. *Pan fyddo adfyd arnynt, y'm bore-geisiant*—y ceisiant waredigaeth genyf oddiwrtho, Salm lxxviii. 34. Ac felly y bu y waith hon, fel yr ymddengys oddiwrth y bennod nesaf.

PEN. VI. Adn. 1. *Deuwch, a dychwelwn at yr Arglwydd*] Y mae rhai yn deall y geiriau hyn fel cyfarchiad annogaethol o eiddo y proffwyd: ac y mae ereill yn meddwl mai iaith y bobl eu hunain ydyw, yn cymhell eu gilydd i ddychwelyd yn edifeiriol at yr Arglwydd. *Canys efe a'n drylliodd*—trwy ei farnedigaethau, pen. v. 11; *ac efe a'n hiachâ ni*—nid oes neb ond efe a all ein hiachâu a'n meddyginiaethu.

Adn. 2. *Efe a'n bywha ni ar ol deuddydd*] Meddylir yn gyffredin mai ymadrodd diarebol yw y geiriau hyn, yn arwyddo y caent eu bywhau neu eu gwaredu mewn *byr amser*. Edrychai yr Iuddewon arnynt eu hunain yn eu caethiwed fel rhai *meirw*, ac ar eu gwaredigaeth oddiyno fel *bywyd* o feirw, Ezec. xxxvii. 11, 12. *A'r trydydd dydd y cyfyd ni i fyny, a byddwn fyw ger ei fron ef*—bernir yn gyffredin fod yn y geiriau hyn gyfeiriad at adgyfodiad Crist y trydydd dydd, trwy yr hyn y cyfodwyd yr holl gredinwyr i obaith am fywyd ac anfarwoldeb: a phan y dywed yr apostol i Grist 'gyfodi y trydydd dydd, yn ol yr ysgrythyrau,' 1 Cor. xv. 4, meddylir ei fod yn cyfeirio yn neillduol at yr adnod hon yn mysg ereill. Wrth son am waredigaethau tymhorol, yr oedd y proffwydi yn fynych yn cael eu cario uwchlaw iddynt eu hunain, a'u dyrchafu uwchlaw i'r mater dan sylw, i ragfynegu am bethau mwy pwysig dan amseroedd yr efengyl.

Adn. 3. *Yna yr adnabyddwn*] Y cawn brofiad llawn o iachawdwriaeth Duw; *os dylynwn adnabod yr Arglwydd*—os bydd i ni barhau yn ffyddlon a dyfal i geisio adnabyddiaeth achubol o hono ef. *Ei fynediad a ddarperir fel y bore*—mor sicr ag y mae y bore yn dylyn y nos, sef mynediad neu ddyfodiad yr Arglwydd atom i'n bywhau, ein goleuo, a'n hachub. *Ac efe a ddaw fel gwlaw atom*—fel y mae y gwlaw ireiddiol yn adfywio, yn sirioli, ac yn ffrwythloni y ddaear; felly y bydd i ddyfodiad yr Arglwydd at y rhai a 'ddylynant ei adnabod ef,' eu hadfywio, eu sirioli, a'u ffrwythloni hwythau. *Fel y diweddar-wlaw a'r cynar-wlaw*—gwel ar Deut. xi. 14.

Adn. 4. *Beth a wnaf i ti, Ephraim? beth a wnaf i ti, Juda?*] Hyny yw, beth a wnaf i chwi yn fwy nag a wnaethym? neu, pa fodd y gallaf ddangos i chwi arwyddion o'm ffafr, gan nad oes na chywirdeb na sefydlogrwydd yn eich cymeriad? *Eich mwynder sydd yn ymado fel cwmwl y bore*—y mae pob daioni ynoch o fyr barhad, ac yn ymadael oddiwrthych yn ngwyneb y brofedigaeth leiaf, fel yr ymadawa y cwmwl a'r gwlith ar gyfodiad yr haul.

Adn. 5. *Am hyny y tarewais hwynt trwy y proffwydi*] Trwy fygythion y proffwydi; *lleddais hwynt â geiriau fy ngenau*—cyhoeddais y byddai iddynt gael eu lladd. Dywedir fod y proffwydi, a Duw trwy y proffwydi, yn gwneyd yr hyn na byddont ond yn ei ragfynegu neu yn ei fygwth, Jer. i. 10. *A'th farnedigaethau sydd fel goleuni yn myned allan*—wrth y 'barnedigaethau' hyn y dealla rhai y rheolau ymarferol o fywyd moesol a chrefyddol a draddodwyd iddynt gan y proffwydi. Tybia ereill mai y proffwyd sydd yma yn cyfarch Duw, gan arwyddo fod ei gospau barnol ef ar y bobl hyn yn dynesu yn raddol, eto yn sicr, fel gwawriad y dydd;

ac nid aberth; a gwybodaeth o
Dduw, yn fwy na phoeth-offrymau.
7 A'r rhai hyn fel dynion a dor-
asant y cyfammod: yno y buant
anffyddlon i'm herbyn.
8 Dinas gweithredwyr anwiredd
*yw* Gilead, wedi ei halogi gan
waed.
9 Ac fel y mae mintai o ladron yn
dysgwyl gŵr, *felly* y mae cynull-
eidfa yr offeiriaid yn lladd ar y
ffordd yn gytun: canys gwnant
ysgelerder.
10 Gwelais yn nhŷ Israel beth
erchyll: yno *y mae* godineb Eph-
raim; halogwyd Israel.
11 Gosododd hefyd gynauaf i
tithau, Juda, a mi yn dychwelyd
caethiwed fy mhobl.

## PENNOD VII.

A MI yn ewyllysio iachâu Israel,
datguddiwyd anwiredd Eph-
raim, a drygioni Samaria: canys
gwnant ffalsder; a'r lleidr a ddaw
i mewn, *a* mintai o yspeilwyr a an-
rheithia oddiallan.
2 Ac nid ydynt yn meddwl yn
eu calonau fy mod i yn cofio eu
holl ddrygioni hwynt: weithian eu
gweithredoedd eu hun a'u ham-
gylchynodd; y maent gerbron fy
wyneb.
3 Llawenhant y brenin â'u dryg-

---

neu, y byddai i gyfiawnder ei weinyddiadau ef ymddangos mor oleu a'r haul.

Adn. 6. *Canys ewyllysiais drugaredd*] Y mae y gair 'trugaredd' i'w ddeall yma yn ei ystyr eangaf, ac yn cynwys duwioldeb tuag at Dduw, yn gystal a thiriondeb a daioni tuag at ddyn; *ac nid aberth*—hyny yw, yn *fwy* nag aberth, yn enwedig lle na byddo gweithredoedd o drugaredd yn cydfyned âg ef: *a gwybodaeth o Dduw*—y fath ag a bair gariad ato, ufydd-dod iddo, ac ymddibyniad arno; *yn fwy na phoeth-offrymau*—heb y gyfryw wybodaeth o Dduw: gwel ar 1 Sam. xv. 22, 23, Salm l. 8, 9, Preg. xxi. 3, Esay i. 11, Mat. ix. 13.

Adn. 7. *A'r rhai hyn fel dynion*] Fel yr arfera dynion llygredig wneuthur; Hebr., *keadam*, 'fel Adda;' *a dorasant y cyfammod*—hyny yw, pechasant yn erbyn goleuni a gwybodaeth fel yntau. *Yno*—sef yn y cyfammod, *y buant anffyddlon i'm herbyn*—fel y bu Adda yn mharadwys. Yr oedd tebygolrwydd mawr rhwng pechod Israel a phechod Adda. Darfu i Adda yn mharadwys dori cyfammod Duw, a bwriwyd ef allan oddiyno; a darfu i Israel, pan yn y meddiant o wlad yr addewid, dori cyfammod Jehofa, a bwriwyd hwythau oddiyno i gaethiwed. Troseddodd Adda yn erbyn gorchymyn eglur, a hawdd ei gadw; a throseddodd Israel yn erbyn y deddfau egluraf a hawddaf. Ciliodd Adda oddiwrth Dduw at Satan; a gadawodd Israel addoliad y Goruchaf am addoliad cythreuliaid.

Adn. 8. *Dinas gweithredwyr anwiredd yw Gilead*] Sef Ramoth Gilead, un o'r dinasoedd noddfa tuhwnt i'r Iorddonen, yn llwyth Gad, lle yr oedd yr offeiriaid a'r Lefiaid yn cyfanedhlu; *wedi ei halogi gan waed*—yr hwn a dywelltid gan yr offeiriaid: gwel isod.

Adn. 9. *Ac fel y mae mintai o ladron yn dysgwyl gŵr*] I ddyfod heibio i'r fan lle y cynllwynant; *felly y mae cynulleidfa yr offeiriaid yn lladd ar y ffordd yn gytun*—y sawl a ânt heibio Gilead: *canys gwnant ysgelerder*—yr oedd yr offeiriaid eilunaddolgar yno, fel y dywed *Clarke*, yn ymuno yn finteicedd, ac yn cadw meddiant o'r ffyrdd a'r bylchau; ac os caent neb yn myned i Jerusalem i addoli y gwir Dduw, hwy a'i laddent ef.

Adn. 10. *Gwelais yn nhŷ Israel beth erchyll*] Y fath wrthgiliad oddiwrth Dduw ag nas gellir meddwl am dano heb ddychrynu. *Yno y mae godineb Ephraim*—neu eilunaddoliaeth y deg llwyth. *Halogwyd Israel*—â lloi aur Jereboam mab Nebat.

Adn. 11. *Gosododd hefyd gynauaf i tithau, Juda*] Yn yr hwn y torir di i lawr fel un addfed i ddinystr; *a mi yn dychwelyd caethiwed fy mhobl*—neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'pan y troaf i gaethiwo fy mhobl.' Ond tybia ereill mai addewid o waredigaeth i Juda o'u caethiwed sydd yma.

PEN. VII. Adn. 1. *A mi yn ewyllysio iachâu Israel*] A phan yn defnyddio moddion i'w hiachâu; *datguddiwyd anwiredd Ephraim, a drygioni Samaria*—cythruddasant fi o'r newydd trwy eu heilunaddoliaeth, eu godineb, eu trais, eu balchder, eu meddwdod, a'u pechodau ereill. *Canys gwnant ffalsder*—arferant dwyll, celwydd, a rhagrith. *A'r lleidr a ddaw i mewn*—i ladrata yn ddirgelaidd; *a mintai o yspeilwyr a anrheithia oddiallan*—yn y modd mwyaf cyhoeddus. Neu fe allai fod yr 'yspeilwyr oddiallan' yn cyfeirio at elynion estronol yn eu gwlad. Y *deg llwyth* a olygir yma wrth Israel, Ephraim, a Samaria.

Adn. 2. *Ac nid ydynt yn meddwl yn eu calonau*] Neu yn ystyried yn ddifrifol; *fy mod i yn cofio eu holl ddrygioni hwynt*—i'w cospi am dano. *Weithian eu gweithredoedd eu hun a'u hamgylchynodd*—fel byddin arfog yn gwarchae ar ddinas, rhag cleddyf pa rai nis gallant ddianc. *Y maent gerbron fy wyneb*—y mae eu gweithredoedd drygionus yn hysbys i mi o ran eu rhif, eu hysgelerder, a'u heuogrwydd.

Adn. 3. *Llawenhant y brenin â'u drygioni*] Wrth gofleidio mor ewyllysgar yr eilunod a osodasai efe i fyny yn eu plith; *a'r tywysogion â'u celwyddau*—neu 'â'u duwiau gau,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu. Ond *Secker*

ioni, a'r tywysogion â'u celwyddau.

4 Pawb o honynt *sydd* yn tori priodas, fel ffwrn wedi ei thwymno gan y pobydd, *yr hwn* a baid â chodi wedi iddo dylino y toes, hyd oni byddo wedi ei lefeinio.

5 Yn niwrnod ein brenin y tywysogion a'*i* gwnaethant yn glaf â chostrelau gwin: estynodd ei law gyda gwatwarwyr.

6 Fel yr oeddynt yn cynllwyn, darparasant eu calon fel ffwrn: eu pobydd a gwsg ar hyd y nos, y bore y llysg fel fflam dân.

7 Pawb o honynt a wresogant fel y ffwrn, ac a ysant eu barnwyr: eu holl frenhinoedd a gwympasant, heb *un* o honynt yn galw arnaf fi.

8 Ephraim a ymgymysgodd â'r bobloedd; Ephraim sydd *fel* teisen heb ei throi.

9 Estroniaid a fwytânt ei gryfder, ac nis gŵyr efe: ymdaenodd penwŷni ar hyd-ddo, ac nis gwybu efe.

10 Ac y mae balchder Israel yn tystiolaethu yn ei wyneb; ac er hyn oll ni throant at yr Arglwydd eu Duw, ac nis ceisiant ef.

11 ¶ Ephraim *sydd* fel colomen ynfyd heb galon: galwant ar yr Aifft, ânt i Assyria.

12 Pan elont, taenaf fy rhwyd drostynt, a thynaf hwynt i lawr fel ehediaid y nefoedd: cospaf hwynt fel y clybu eu cynulleidfa hwynt.

---

a'i cyfieitha, 'Llawenha y brenhinoedd yn eu drygioni, a'r tywysogion yn eu twyll.'

Adn. 4. *Pawb o honynt sydd yn tori priodas, fel ffwrn wedi ei thwymno gan y pobydd*] Yr oedd godineb yn bechod cyffredin yn eu mysg, a'u chwantau halogedig a gyneuent fel ffwrn boeth. Y mae yn debyg fod yma gyfeiriad hefyd at eu godineb ysbrydol hwy, neu eu heilunaddoliaeth, a'u gorawydd am dano. *Yr hwn*—sef y pobydd, *a baid â chodi, &c*—i wylio y ffwrn, wedi iddo dylino y toes, hyd oni byddo wedi ei gwbl lefeinio. Fel y mae y pobydd, ar ol iddo dwymno y ffwrn, yn gadael i'r tân barhau i gyneu hyd nes y byddo y toes yn barod; felly y maent hwythau yn parhau i ymlosgi ar ol eu puteindra cnawdol ac ysbrydol, fel ffwrn wedi ei thwymno.

Adn. 5. *Yn niwrnod ein brenin*] Sef ar gylchwyl ei enedigaeth neu ei goroniad; *y tywysogion a'i gwnaethant yn glaf â chostrelau gwin*—gan ei annog i yfed i ormodedd: *estynodd ei law gyda gwatwarwyr*—wedi iddo feddwi, efe a ymddygai at bethau cysegredig yn y modd mwyaf dirmygus ac annuwiol, fel gwatwarwyr ereill.

Adn. 6. *Fel yr oeddynt yn cynllwyn, darparasant eu calon fel ffwrn*] Fe allai fod rhai o'r tywysogion drygionus uchod yn cynllwyn ac yn gwylio am gyfleusdra i ladd eu brenin meddw, fel y gallent drawsfeddiannu ei orsedd ef. *Eu pobydd a gwsg ar hyd y nos*—ar ol iddo dwymno ei ffwrn: *y bore y llysg fel fflam dân*—hyny yw, bydd ei ffwrn yn y bore mor boeth ag y dymunai efe iddi fod. Fe allai mai y meddwl yw, fel y mae y pobydd, ar ol cyneu tân yn ei ffwrn, yn myned i orphwys dros nos, ac yn y bore yn cael ei ffwrn wedi ei thwymno yn dda, ac yn barod at ei orchwyl ef; felly y rhai hyn, ar ol iddynt hwythau ddyfeisio rhyw cynllun drwg, er y gallant ymddangos fel yn cysgu am dro, eto y mae eu tân yn eirias oddifewn, ac yn barod i fflamio allan mewn gweithrediad cyn gynted ag y byddo cyfleusdra iddo.

Adn. 7. *Pawb o honynt a wresogant fel y ffwrn*] Sef y tywysogion a'r bobl; *ac a ysant eu barnwyr*—neu eu llywodraethwyr, trwy gydfradwriaeth waedlyd. *Eu holl frenhinoedd a gwympasant*—sef eu chwe brenin olaf, Zachariah, Salum, Menahem, Pecahïah, Pecah, a Hosea, 2 Bren. xv. 8—31. *Heb un o honynt yn galw arnaf fi*—yn eu cyfyngder; neu, heb un o honynt yn addolwr y gwir Dduw.

Adn. 8. *Ephraim a ymgymysgodd â'r bobloedd*] Sef â'r cenhedloedd oddiamgylch, trwy gyngreiriau a phriodasau, ac mewn eilunaddoliaeth a defodau paganaidd. *Ephraim sydd fel teisen heb ei throi*—ar y marwor, yr hon sydd yn grystyn odditanodd, tra y mae yn does oddiarnodd, ac felly heb fod yn dda i ddim: hyny yw, nid yw Ephraim y naill beth na'r llall, ond y mae yn mhob peth yn llawn o anghysondeb.

Adn. 9. *Estroniaid a fwytânt ei gryfder*] Neu ei nerth gwladwriaethol; *ac nis gŵyr efe*—hyny yw, y mae y cenhedloedd â pha rai yr ymgymysga, adn. 8, yn ei yspeilio o'i gyfoeth a'i awdurdod yn ddiarwybod iddo: *ymdaenodd penwŷni ar hyd-ddo*—sef holl arwyddion dadfeiliad, fel y mae penwŷni yn arwydd o henaint neu lesgedd corfforol.

Adn. 10. *Ac y mae balchder Israel yn tystiolaethu yn ei wyneb*] Neu yn ei erbyn, ei fod yn haeddu ei gospi. *Ac er hyn oll ni throant at yr Arglwydd eu Duw*—mewn edifeirwch: *ac nis ceisiant ef*—mewn gweddi: hyny yw, ni cheisiant ei ffafr ef, ac ni ofynant am i'w lid gael ei droi ymaith oddiwrthynt.

Adn. 11. *Ephraim sydd fel colomen ynfyd heb galon*] Heb wroldeb i'w hamddiffyn eu hunain, na deall i attal iddynt syrthio i'r maglau a osodwyd iddynt. *Galwant ar yr Aifft*—am gynorthwy; *ânt i Assyria*—i geisio amddiffyniad, heb ystyried mai oddiwrth yr Arglwydd yn unig y daw diogelwch.

Adn. 12. *Pan elont*] At y cenhedloedd hyny am ymwared; *taenaf fy rhwyd drostynt*—i'w maglu, eu dyrysu, a'u dal: *a thynaf hwynt i lawr fel ehediaid y nefoedd*—y rhai

13 Gwae hwynt; canys ffoisant
oddiwrthyf: dinystr arnynt; o her-
wydd gwnaethant gamwedd i'm
herbyn: er i mi eu gwared hwynt,
eto hwy a ddywedasant gelwydd
arnaf fi.
14 Ac ni lefasant arnaf â'u calon,
pan udasant ar eu gwelyau: am ŷd
a melyswin yr ymgasglant, cilias-
ant oddiwrthyf.
15 Er i mi rwymo *a* nerthu eu
breichiau hwynt, eto meddyliasant
ddrwg i mi.
16 Dychwelasant, nid at y Gor-
uchaf: y maent fel bwa twyllodrus:
eu tywysogion a syrthiant gan y
cleddyf am gynddaredd eu tafod.
Dyma eu gwatwar hwynt yn ngwlad
yr Aifft.

## PENNOD VIII.

1 AT dy safn â'r udgorn: fel yr
eryr *y daw* yn erbyn tŷ yr Ar-
glwydd, am iddynt droseddu fy
nghyfammod, a phechu yn erbyn fy
nghyfraith.
2 Israel a lefant arnaf, Fy Nuw,
nyni a'th adwaenom di.
3 Israel a fwriodd heibio ddaioni:
y gelyn a'i herlid yntau.
4 Hwy a wnaethant frenhinoedd,
ac nid trwyof fi; gwnaethant dy-
wysogion, ac nis gwybûm: o'u har-
ian a'u haur y gwnaethant iddynt
eu hun ddelwau, fel y torer hwynt
ymaith.
5 ¶ Samaria, dy lo a'*th* fwriodd

---

a ddelir yn magl yr adarwr. *Cospaf hwynt fel y clybu eu cynulleidfa*—fel y clywsant fi yn eu bygwth trwy fy mhroffwydi. Ond *Newcome* a'i cyfieitha, 'Cospaf hwynt pan wrandawant ar eu cynulleidfa;' hyny yw, pan y cymerant eu cynghori gan eu henuriaid i fyned i'r Aifft ac i Assyria am gynorthwy.

Adn. 13. *Gwae hwynt, canys ffoisant oddiwrthyf*] Oddiwrth fy addoliad i, at addoliad eilunod, ac i geisio cynorthwy gan genhedloedd eilunaddolgar! *Dinystr arnynt*—y canlyniad o'u gwrthgiliad fydd dinystr eu llywodraeth a'u gwlad; *o herwydd gwnaethant gamwedd i'm herbyn*—trwy ddiystyru fy ffafr a'm hamddiffyniad i, a thrwy droseddu fy neddfau. *Er i mi eu gwared hwynt*—gynt o law Pharao, ac wedi hyny lawer gwaith o ddwylaw gelynion ereill; *eto hwy a ddywedasant gelwydd arnaf fi*—trwy fy narlunio i fel meistr creulon, a'm gwasanaeth fel yn galed a difudd; neu trwy briodoli i'w heilunod y gwaredigaethau a estynaswn i iddynt.

Adn. 14. *Ac ni lefasant arnaf â'u calon*] Yn gywir a diragrith; *pan udasant ar eu gwelyau*—pan yr oeddynt yn cwynfan dan ddwylaw eu gelynion, fel cleifion ar wely cystudd. *Am ŷd a melyswin yr ymgasglant*—i ofyn am danynt gan eu duwiau, pan fyddo prinder yn eu bygwth: *ciliasant oddiwrthyf*—ar y cyfryw amserau, gan nesâu at eu heilunod.

Adn. 15. *Er i mi rwymo a nerthu eu breichiau hwynt*] Fel meddyg yn gosod esgyrn braich doredig yn eu lle, gan eu hadfer i'w nerth blaenorol ar ol eu gwanychu; *eto meddyliasant ddrwg i mi*—defnyddiasant y breichiau hyny i wrthryfela yn fy erbyn, ac i'm dianrhydeddu i. Ond y mae y gair a gyfieithir yma *rhwymo*, yn fwy priodol yn arwyddo *ceryddu;* ac felly y cyfieithir ef gan *Newcome*, *Horsley*, ac ereill. Fel pe dywedasai, Pa un bynag a wnelwyf ai dangos ffafr iddynt, ynte eu ceryddu, y maent hwy fyth yr un, yn fy ngwrthod i er mwyn eu heilunod.

Adn. 16. *Dychwelasant, nid at y Goruchaf*] Eithr at eu heilunod. *Y maent fel bwa twyllodrus*—yr hwn nid yw un amser yn anfon y saeth at y nôd priodol. Felly hwythau, pan adawsant addoliad Baal, troisant at addoliad y lloi aur, ac nid ataf fi. *Eu tywysogion a syrthiant gan y cleddyf*—yr hwn a ddygaf fi ar y wlad; *am gynddaredd eu tafod*—sef am eu hymadroddion cableddus yn fy erbyn i a'm rhagluniaeth. *Dyma eu gwatwar hwynt yn ngwlad yr Aifft*—y mae yn debyg i lawer o'r deg llwyth ffoi i'r Aifft pan ddaeth yr Assyriaid i mewn i'w gwlad, ac i'w cableddau yno eu dwyn hwy dan warth haeddiannol; neu, yr oedd eu cwymp hwy yn destyn gwawd i'r Aifftiaid.

PEN. VIII. Adn. 1. *At dy safn â'r udgorn*] I gyhoeddi nesâd Salmaneser, brenin Assyria, yn erbyn tŷ Israel. *Fel yr eryr y daw*—gyda chyflymder, nerth, a gwancusrwydd eryr; *yn erbyn tŷ yr Arglwydd*—neu *bobl* yr Arglwydd. Ond tybia rhai mai y *deml* yn Jerusalem a olygir, ac mai at ddyfodiad Nebuchodonosor yno yn erbyn yr Iuddewon y cyfeirir, yr hwn a gyffelybir yn fynych i eryr: gwel ar Jer. xlviii. 40, a xlix. 22, Ezec. xvii. 3, Dan. vii. 4. *Am iddynt droseddu fy nghyfammod*—trwy gilio oddiwrthyf fi at eilunod; *a phechu yn erbyn fy nghyfraith*—yr hyn oedd wir am Israel a Juda.

Adn. 2. *Israel a lefant arnaf*] Pan ddelo ddrygfyd arnynt; *Fy Nuw, nyni a'th adwaenom di*—fel ein Duw cyfammodol, neu yr unig wir Dduw: gwel siampl gyffelyb, Mat. vii. 21, 22.

Adn. 3. *Israel a fwriodd heibio ddaioni*] A gefnodd ar Dduw, a'i deml, a'i addoliad: *y gelyn a'i herlid yntau*—allan o'i wlad.

Adn. 4. *Hwy a wnaethant frenhinoedd*] I deyrnasu arnynt yn Samaria; *ac nid trwyof fi*—nid trwy fy ngorchymyn na'm hawdurdod i. Darfu i Sallum, Menahem, Pecah, a Hosea, drawsfeddiannu yr orsedd trwy fradwriaeth a

heibio: fy nig a gyneuodd i'w her-
byn; pa hyd ni fedrant *ddylyn* di-
niweidrwydd?
6 Canys o Israel *y mae,* y saer
a'i gwnaeth: am hyny nid *yw* efe
Dduw: ond yn ddrylliau y bydd
llo Samaria.
7 Canys gwynt a hauasant, a
chorwynt a fedant: corsen ni bydd
iddo: y dwysen ni wna flawd: *ac*
os gwna, dyeithriaid a'i llwnc.
8 Israel a lyncwyd: bellach y
byddant yn mysg y cenhedloedd fel
dodrefnyn heb hoffder ynddo.
9 Canys hwy a aethant i fyny i
Assyria, yn asyn gwyllt unig iddo
ei hun: Ephraim a gyflogodd gar-
iadau.
10 Hefyd er iddynt gyflogi *rhai*
yn mysg y cenhedloedd, yn awr mi
a'u casglaf hwynt: canys tristânt
ychydig, o herwydd baich brenin y
tywysogion.
11 O herwydd amlhau o Ephraim
allorau i bechu, allorau fydd gan-
ddo i bechu.
12 Mi a ysgrifenais iddo bethau
mawrion fy nghyfraith, *ac* fel dy-
eithr-beth y cyfrifwyd.
13 *Yn lle* ebyrth fy offrymau, cig
a aberthant, ac a fwytânt; yr Ar-
glwydd nid yw foddlon iddynt: efe

---

llofruddiaeth, 2 Bren. xv. 10, 14, 25, 30. *Gwnaethant dywysogion*—yn cynwys barnwyr, ynadon, ac offeiriaid; *ac nis gwybûm*—neu ni *chymeradwyais* hwynt, fel yr arwydda y gair yn fynych; neu, nid ymgynghorasant â mi, ac ni cheisiasant fy mendith i ar y gosodiad o honynt yn eu swyddau. *O'u harian a'u haur y gwnaethant iddynt eu hun ddelwau*—i'w haddoli yn fy lle i; *fel y torer hwynt ymaith*—fel pe buasent am fy nghyffroi i yn fwriadol i'w tori hwynt ymaith; neu, bydd hyny yn achlysur i'w tori hwynt ymaith.

Adn. 5. *Samaria, dy lo a'th fwriodd heibio*] Gan fod yn analluog i'th waredu yn nydd fy nigofaint i. Ond *Newcome* a'i cyfieitha, 'O Samaria, bwrw dy lo yn mhell oddiwrthyt!' Hyn a ddywedir wrth deyrnas Samaria, ac nid wrth y ddinas Samaria, oddieithr y tybiwn eu bod wedi gosod llo yno hefyd, yn chwanegol at y rhai oedd yn Dan a Bethel. *Fy nig a gyneuodd i'w herbyn*—eisioes. *Pa hyd ni fedrant ddylyn diniweidrwydd?*—Saes., 'pa hyd y bydd cyn y cyrhaeddant ddiniweidrwydd?' neu cyn yr edifarhant ac y diwygiant?

Adn. 6. *Canys o Israel y mae*] Y llo aur hwn; *y saer a'i gwnaeth*—â'i ddwylaw ei hun: *am hyny nid yw efe Dduw*—gan y rhaid fod Duw yn ddiddechre, neu heb ei wneuthur gan neb, ac yn Greawdwr y nefoedd a'r ddaear ei hun, Jer. x. 11. *Ond yn ddrylliau y bydd llo Samaria*—nid yn unig y mae dechre iddo, ond bydd diwedd iddo hefyd; canys dryllir ef yn ddarnau gan yr Assyriaid ar gaethgludiad y deg llwyth.

Adn. 7. *Canys gwynt a hauasant, a chorwynt a fedant*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo y byddai eu cosp yn cyfateb i natur eu pechod; neu y caent fedi yr un peth ag a hauasent, ond ei fod mewn graddau helaethach. Fel y mae y grawn a heuir yn tyfu weithiau ar ei ganfed, felly y bydd i'r gwynt a hauasant hwythau droi yn gorwynt. *Corsen ni bydd iddo*—ni thŷf corsen oddiwrth eu had: *y dwysen ni wna flawd*—hyd yn nod pe tyfai yr hedyn yn gorsen a thwysen: *ac os gwna*—os cynyrcha flawd; *dyeithriaid a'i llwnc*—ac nid yr hauwr. Y meddwl yw, y byddai i holl lafur y bobl hyn droi yn ddifudd iddynt trwy gyfiawn farn Duw.

Adn. 8. *Israel a lyncwyd*] A gânt eu llyncu neu eu chwalu gan y corwynt. *Bellach y byddant yn mysg y cenhedloedd*—ar hyd gwlad Assyria; *fel dodrefnyn heb hoffder ynddo*—edrychir arnynt gan bawb gyda ffieidd-dra a dirmyg, fel 'croen-gostrel' wedi llygru a braenu, ac heb fod yn dda i ddim ond i'w thaflu i'r domen.

Adn. 9. *Canys hwy a aethant i fyny i Assyria*] Neu at frenin Assyria am nawdd; *yn asyn gwyllt unig iddo ei hun*—hyny yw, aeth Ephraim i chwilio am gynghreirwyr eilunaddolgar gyda'r un awydd ag y chwilia asyn gwyllt a fyddo yn unig wrtho ei hun yn yr anialwch, am ei gymharesau. *Ephraim a gyflogodd gariadau*—a brynodd gynorthwy yr Assyriaid, yn lle troi am gynorthwy at Dduw: gwel ar 2 Bren. xv. 19, 20.

Adn. 10. *Hefyd er iddynt gyflogi rhai yn mysg y cenhedloedd*] Gan feddwl y gallent trwy hyny ddianc rhag y dinystr bygythiol; *yn awr mi a'u casglaf hwynt*—yn gaethion i Assyria; neu efe a gasglai yr Assyriaid, y rhai a gyflogasent hwy, i'w wasanaeth ei hun yn eu herbyn hwy. *Canys tristânt ychydig*—neu, yn mhen ychydig amser; *o herwydd baich brenin y tywysogion*—o herwydd y trethi a osodid ar Israel gan frenin Assyria, a chan dywysogion y taleithiau dano ef. Ond tybia *Horsley* ac ereill mai cyfeiriad sydd yma at dristwch tywysogion Israel o herwydd y trethi trymion a osodwyd gan eu brenin hwy eu hunain i wobrwyo eu cynghreirwyr anffyddlon.

Adn. 11. *O herwydd amlhau o Ephraim allorau i bechu*] Gyda'i eilunod yn wirfoddol yn ei wlad ei hun; *allorau fydd ganddo i bechu*—yn ngwlad ei gaethiwed, lle y gorfodir ef i eilunaddoli. Neu gall mai yr ystyr yw, y byddai i Dduw eu rhoddi hwynt i fyny yn farnol i dywyllwch eilunaddoliaeth, nes y byddent yn addfed i ddinystr, o herwydd eu bod hwy yn caru eilunod.

Adn. 12. *Mi a ysgrifenais iddo bethau mawrion fy nghyfraith*] Y rhai o'u cadw a'u dyrchafasent hwy yn ngolwg eu cymydogion;

a gofia bellach eu hanwiredd, ac efe
a ofwya eu pechodau; dychwelant
i'r Aifft.
14 Canys anghofiodd Israel ei
Wneuthurwr, ac a adeiladodd deml-
au; a Juda a amlhaodd ddinasoedd
caerog: ond myfi a anfonaf dân i'w
ddinasoedd, ac efe a ysa ei balasau.

## PENNOD IX.

ISRAEL, na orfoledda gan lawen-
ydd, fel pobloedd *ereill:* can-
ys puteiniaist oddiwrth dy Dduw,
gwobrau a hoffaist ar bob llawr-
dyrnu ŷd.
2 Y llawr-dyrnu na'r gwinwrŷf
nis portha hwynt, a'r gwin newydd
a'i twylla hi.
3 Ni thrigant yn ngwlad yr Ar-
glwydd; ond Ephraim a ddychwel
i'r Aifft, ac yn Assyria y bwytânt
*beth* aflan.
4 Nid offrymant win i'r Arglwydd,
a'u haberthau ni bydd melys gan-
ddo; *byddant* iddynt fel bara galar-
wyr; pawb a fwytao o hono a halog-
ir: o herwydd eu bara dros eu
heneidiau ni ddaw i dŷ yr Ar-
glwydd.
5 Beth a wnewch ar ddydd yr
uchel-ŵyl, ac ar ddydd gŵyl yr Ar-
glwydd?
6 Canys wele, aethant ymaith

---

*ac fel dyeithr-beth y cyfrifwyd*—hwynt ganddo; neu fel peth diwerth, dirmygus, a ffiaidd.

Adn. 13. *Yn lle ebyrth fy offrymau, cig a aberthant ac a fwytânt*] Hyny yw, offrymant lawer o ebyrth, i'r dyben i gael gwledda arnynt eu hunain; neu, yr ebyrth a'r offrymau ag y dylasent yn ol y gyfraith eu rhoddi i Dduw, a fwytäent eu hunain. *Yr Arglwydd nid yw foddlon iddynt*—o herwydd y fath ymddygiad. *Efe a gofia bellach eu hanwiredd*—i'w gospi; *ac efe a ofwya eu pechodau*—neu a 'ymwêl' â hwynt mewn barn am eu pechodau. *Dychwelant i'r Aifft*—ymadrodd diarebol fe allai, yn arwyddo y darostyngid hwy i gaethiwed cyffelyb i eiddo eu tadau yn yr Aifft: neu, ceisiant gymhorth yr Aifftiaid yn groes i'w cyfammod â'r Assyriaid, yr hyn a fu yn achlysur o'u caethgludiad hwy, 2 Bren. xvii. 4—6.

Adn. 14. *Canys anghofiodd Israel ei Wneuthurwr*] Yr hwn a'i gwnaethai ef yn bobl, a'r hwn y dylasai efe ei addoli yn unig; *ac a adeiladodd demlau*—i addoli ei eilunod ynddynt. *A Juda a amlhaodd ddinasoedd caerog*—i ymddiried yn nghryfder y rhai hyny am ddiogelwch rhag eu gelynion, yn lle yn fy ngallu i. *Ond myfi a anfonaf dân i'w ddinasoedd, ac efe a ysa ei balasau*—hyny yw, mi anfonaf fy marnedigaethau i'w ddinasoedd a'i balasau, y rhai a'u difant mor sicr a phe byddai tân ynddynt. Ond fe allai y dylid deall y gair yn llythyrenol yma, am yr arferai y gorchfygwyr losgi y dinasoedd a orchfygid ganddynt.

PEN. IX. Adn. 1. *Israel, na orfoledda gan lawenydd fel pobloedd ereill*] Fel yr arfera y cenhedloedd eilunaddolgar orfoleddu yn eu gwleddoedd ar amser cynauaf: *canys puteiniaist oddiwrth dy Dduw*—ac am hyny yr wyt ti yn agored i drymach cosp na hwynthwy, gan it' bechu yn erbyn mwy o oleuni a gwybodaeth. *Gwobrau a hoffaist ar bob llawr-dyrnu ŷd*—priodolaist dy gnydau toreithiog i fendith dy eilunod; neu, ceraist dy eilunod er mwyn iddynt hwy lenwi dy ysguboriau.

Adn. 2. *Y llawr-dyrnu na'r gwinwrŷf nis portha hwynt*] Gan na roddai yr Arglwydd ei fendith ar eu hŷd na'u gwin hwynt; *a'r gwin newydd a'i twylla hi*—a dwylla y genedl, trwy iddo aflwyddo yn yr ymweithiad, neu trwy i Israel gael eu symud ymaith oddiwrtho.

Adn. 3. *Ni thrigant yn ngwlad yr Arglwydd*] Yn Nghanaan, yr hon a roddasai yr Arglwydd i'w tadau: *ond Ephraim a ddychwel i'r Aifft*—i gaethiwed blin fel caethiwed yr Aifft, pen. viii. 13; *ac yn Assyria y bwytânt beth aflan*—y gorfodir hwynt i ymborthi ar fwydydd gwaharddedig yn nghyfraith Moses, Ezec. iv. 13.

Adn. 4. *Nid offrymant win i'r Arglwydd*] Yn ddiod-offrwm yn ngwlad eu caethiwed, Exod. xxix. 40; *a'u haberthau ni bydd melys ganddo*—ni fyddai eu haberthau yn gymeradwy ganddo pe byddai iddynt gael eu hoffrymu. *Byddant iddynt fel bara galarwyr*—fel bara y rhai a alarant dros y meirw, yr hwn a haloga y neb a fwytao o hono: gwel ar Deut. xxvi. 14. *O herwydd eu bara dros eu heneidiau*—sef eu *hebyrth* i wneyd cymod dros eu heneidiau, Lef. xvii. 11; *ni ddaw i dŷ yr Arglwydd*—ni fyddai yn gymhwys i'w ddwyn i'r deml. Neu gall mai yr ystyr yw, na fyddai i'w bara er cynaliaeth *bywyd* gael ei santeiddio iddynt trwy offrymiad y *blaenffrwyth* yn y deml.

Adn. 5. *Beth a wnewch ar ddydd yr uchel-ŵyl, &c.*] Beth a wnewch yn ystod eich caethiwed, pan ddelo eich sabbothau, eich newydd-loerau, a'ch gŵyliau arbenig oddiamgylch? Diamau y byddent yn awyddus i ymattal oddiwrth lafur ar y dyddiau hyny, ac i'w cadw hwynt yn edmygol yr un fath a phan yn eu gwlad eu hunain; ond ni fyddai i'w meistriaid oddef hyny: ac heblaw hyny, byddent heb deml, heb offeiriaid, a heb ebyrth. Er nad oedd y deg llwyth yn myned i Jerusalem i addoli ar y gŵyliau arbenig, eto yr oeddynt yn eu cynal mewn rhyw ddull yn eu

gan ddinystr; yr Aifft a'u casgl
hwynt, Memphis a'u cladd hwynt:
danadl a oresgyn hyfryd-*leoedd* eu
harian hwynt; drain *a dŷf* yn eu
pebyll.
7 Dyddiau i ymweled a ddaeth-
ant, dyddiau talu y pwyth a ddaeth-
ant; Israel a gânt wybod *hyn:* y
proffwyd *sydd* ffol, ynfyd *yw* y gŵr
ysbrydol, am amlder dy anwiredd,
a'r cas mawr.
8 Gwyliedydd Ephraim *a fu*
gyda'm Duw; *aeth* y proffwyd yn
fagl adarwr yn ei holl lwybrau, *ac*
yn gasineb yn nhŷ ei Dduw.
9 *Ym*-lygrasant yn ddwfn, megys
yn amser Gibeah: *am hyny* efe a
goffa eu hanwiredd, efe a ymwêl
â'u pechod.
10 Cefais Israel fel grawnwin yn
yr anialwch; gwelais eich tadau
megys y ffrwyth cynaraf yn y ffig-
ysbren yn ei dechread: *ond* hwy a
aethant at Baal-peor, ymddidolas-
ant at y gwarth hwnw; a bu *eu* ffi-
eidd-dra fel y carasant.
11 *Am* Ephraim, eu gogoniant
hwy a eheda fel aderyn; o'r ened-
igaeth, o'r groth, ac o'r beichiogi.
12 Er iddynt fagu eu plant, gwnaf
hwynt yn amddifad o ddynion: a
gwae hwynt, pan ymadawyf oddi-
wrthynt.
13 Ephraim, fel y gwelais Tyrus,

---

gwlad eu hunain, a hyny gyda gwleddoedd a llawenydd; a rhaid fod yn ofid mawr iddynt feddwl na chaent eu cynal hwynt mwyach yn ngwlad eu caethiwed: a pha beth a wnaent?

Adn. 6. *Canys wele, aethant ymaith gan ddinystr*] Ffodd llawer o honynt i'r Aifft, i ochel y dinystr a ddygid arnynt gan yr Asyriaid. *Memphis a'u cladd hwynt*—cleddir hwynt yn Memphis, sef yn *Cairo* neu *Kahira*, fel ei gelwir yn awr. *Danadl a oresgyn hyfryd-leoedd eu harian hwynt*—sef y tiroedd a'r gerddi hyfryd a brynasant am arian; *drain a dŷf yn eu pebyll*—o herwydd fod eu gwlad wedi ei gadael yn anghyfanedd.

Adn. 7. *Dyddiau i ymweled a ddaethant*] Sef i ymweled â hwynt mewn ffordd o gosp; *dyddiau talu y pwyth a ddaethant*—i wneuthur iddynt hwy fel y gwnaethant hwy i ereill. *Israel a gânt wybod hyn*—trwy brofiad chwerw, a hyny yn fuan iawn. *Y proffwyd sydd ffol*—sef y gau-broffwyd; *ynfyd yw y gŵr ysbrydol*—yr hwn a gymer arno ei fod wedi ei ddwyfol ysbrydoli, wrth iddo weled fod pob peth yn dyfod yn groes i'w ragfynegiad ef. *Am amlder dy anwiredd, a'r cas mawr*—yr hwn a ddanghosaist tuag at yr Arglwydd a'i wir broffwydi ef. Ond *Horsley* a'i cyfieitha, 'Yn gyfatebol i fawredd dy anwiredd, mawr hefyd yw y dialedd.'

Adn. 8. *Gwyliedydd Ephraim*] Sef y gwir broffwydi, megys Elias, Eliseus, ac ereill; *a fu gyda'm Duw*—a fu yn ei gyfrinach a'i gymdeithas ef, ac yn ffyddlon iddo ef a'i bobl. *Aeth y proffwyd*—sef y gau-broffwyd a grybwyllwyd adn. 7; *yn fagl adarwr yn ei holl lwybrau*—gan dwyllo dynion â'i gelwyddau i'w dinystr eu hunain; *ac yn gasineb yn nhŷ ei Dduw*—gan eu llenwi hwynt â chasineb a rhagfarn yn erbyn teml ac addoliad y gwir Dduw. Y meddwl yw, fod y gwir broffwyd, fel gwyliedydd ffyddlon, yn rhybyddio y bobl o'u perygl; ond fod geiriau y gau-broffwyd megys magl niweidiol iddynt. Tybia *Horsley* fod yma gyfeiriad at Elias, yr hwn oedd y pryd hyny 'gyda Duw,' yn derbyn gwobr ei ffyddlondeb; tra yr oedd y proffwydi twyllodrus, y rhai oeddynt y pryd hyny ar y ddaear, wedi eu gadael yn ysglyfaeth i dwyll barnol.

Adn. 9. *Ymlygrasant yn ddwfn, megys yn amser Gibeah*] Cyfeirir yma at y trais a'r llofruddiaeth erchyll a gyflawnwyd gan wŷr Gibeah ar wraig y Lefiad, fel y cawn hanes yn Barn. xix. 16, &c. *Am hyny efe a goffa eu hanwiredd*—i'w cospi hwy am dano; *efe a ymwêl â'u pechod*—fel yr ymwelodd efe â phechod gwŷr Gibeah.

Adn. 10. *Cefais Israel fel grawnwin yn yr anialwch, &c.*] Fel y mae cael gwinrawn a ffigys cynar yn hyfryd iawn gan ymdeithydd sychedig mewn anialwch poeth, felly yr ymhyfrydai yr Arglwydd yn ei bobl Israel pan yn eu dwyn hwynt o wlad yr Aifft. *Ond hwy a aethant at Baal peor*—wedi hyny, fel y cawn hanes yn Num. xxv. 3: *ymddidolasant at y gwarth hwnw*—ymgyflwynasant neu ymwerthasant i'r aflendid gwarthus ag oedd yn nglŷn â'r addoliad hwnw; *a bu eu ffieidd-dra fel y carasant*—neu, 'aethant hwythau mor ffiaidd a gwrthddrych eu serch.'—*Newcome.*

Adn. 11. *Am Ephraim, eu gogoniant hwy a eheda fel aderyn*] A eheda ymaith mor gyflym ag aderyn. Cyfeirir yma at eu lluosogiad dirfawr a chyflym, yr hyn a ystyrient yn ogoniant iddynt. *O'r enedigaeth*—hyny yw, bydd i'w plant yn gyffredin feirw mor fuan ag y genir hwynt; *o'r groth*—genir ereill yn blant meirw; *ac o'r beichiogi*—bydd i wragedd ereill erthylu mor fuan ag y beichiogant.

Adn. 12. *Er iddynt fagu eu plant*] Ie, pe byddai i ereill o'u gwragedd feichiogi, esgor, a magu eu plant i fyny; *gwnaf hwynt yn amddifad o ddynion*—trwy beri i'r plant hyny feirw cyn dyfod yn ddynion, neu gael eu lladd mewn rhyfel, neu gael eu caethgludo o'u gwlad. *A gwae hwynt pan ymadawyf oddiwrthynt*—pan lwyr adawyf hwynt: gwel ar Deut. xxxi. 17, 2 Bren. xvii. 18—23. Colled fawr oedd iddynt golli eu plant; ond colled fwy fyddai iddynt golli eu Duw!

Adn. 13. *Ephraim, fel y gwelais Tyrus, a blanwyd mewn hyfryd gyfanedd*] Neu a blanwyd mewn lle hyfryd, yr un modd a

*a* blanwyd mewn hyfryd gyfanedd:
eto Ephraim a ddwg ei blant allan
at y lleiddiad.
14 Dyro iddynt, Arglwydd: beth
a roddi? dyro iddynt groth yn er-
thylu, a bronau hespion.
15 Eu holl ddrygioni *sydd* yn
Gilgal: canys yno y caseais hwynt:
am ddrygioni eu gweithredoedd y
bwriaf hwynt allan o'm tŷ; ni
chwanegaf eu caru hwynt: eu holl
dywysogion *sydd* wrthryfelgar.
16 Ephraim a darawyd, eu gwr-
aidd a wywodd, dwyn ffrwyth nis
gwnant, ac os cenhedlant, eto lladd-
af anwyl *blant* eu crothau.
17 Fy Nuw a'u gwrthyd hwynt,
am na wrandawsant arno ef: am
hyny y byddant grwydriaid yn
mhlith y cenhedloedd.

## PENNOD X.

GWINWYDDEN wâg *yw* Israel;
efe a ddwg ffrwyth iddo ei hun:
yn ol amlder ei ffrwyth yr amlha-
odd efe allorau; yn ol daioni ei dir
gwnaethant ddelwau têg.
2 Eu calon a ymranodd; yn awr
y ceir hwy yn feius: efe a dyr i
lawr eu hallorau hwynt; efe a
ddystrywia eu delwau.

---

Tyrus. Yr oedd Tyrus wedi ei hadeiladu yn gadarn ar graig yn y môr; ac yr oedd Samaria wedi ei hadeiladu ar fynydd, yn gadarn a hyfryd: ond ni fyddai i gadernid a harddwch y dinasoedd hyn eu cadw rhag dinystr. *Eto Ephraim a ddwg ei blant allan at y lleiddiad*—bydd raid iddo eu traddodi hwynt i ddwylaw gelynion gwaedlyd. Ond yn lle *Tyrus*, cyfieitha rhai ef yn *graig*, gan ddarllen yr adnod fel hyn: 'Ephraim, yr hwn, pan yr edrychais arno, oedd fel *craig* wedi ei phlanu mewn hyfryd le, a ddwg ei blant allan at y lleiddiad.'

Adn. 14. *Dyro iddynt, Arglwydd: beth a roddi?*] Y mae y proffwyd, yn yr olwg ar y trychineb uchod, fel yn ymddyrysu, ac heb wybod pa beth i'w ofyn iddynt gan yr Arglwydd. *Dyro iddynt groth yn erthylu*—fel na ddyger eu plant i addfedrwydd bywyd yn y groth; *a bronau hespion*—fel na fyddo gan y mamau laeth i fagu eu plant, os genir hwynt yn fyw; canys y mae hyny, fel pe dywedasai, yn well iddynt na gorfod dwyn eu plant allan at y lleiddiad ar ol eu magu!

Adn. 15. *Eu holl ddrygioni sydd yn Gilgal*] Neu, 'eu holl ddrygioni yn Gilgal sydd ger fy mron,' fel y mae *Newcome* yn ei ddarllen. Fel yr oedd Gilgal yn le enwog gynt ar lawer o gyfrifon, (gwel ar Jos. iv. 19,) felly y daeth efe wedi hyny yn gyrchfa eilunaddolwyr a phob math o bechaduriaid, pen. iv. 15. *Canys yno y caseais hwynt*—am iddynt bechu yno. Tybia rhai fod yr Arglwydd yn cyfeirio at ei waith yn digio wrthynt yno gynt o achos Acan. *Am ddrygioni eu gweithredoedd y bwriaf hwynt allan o'm tŷ*—neu o fod yn *deulu* i mi, fel fy mhlant neu fy ngweision. *Ni chwanegaf eu caru hwynt*—fel y gwnaethym hyd yma. *Eu holl dywysogion sydd wrthryfelgar*—yr oedd rhai o frenhinoedd *Juda* yn dywysogion duwiol; ond nid oedd un o frenhinoedd *Israel* âg arwyddion duwioldeb arno!

Adn. 16. *Ephraim a darawyd*] A diflaniad; *eu gwraidd a wywodd*—fel pren yn pydru yn y ddaear; *dwyn ffrwyth nis gwnant*—neu nis gallant, byth mwyach. Meddylir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio at eu diflaniad gwladwriaethol, fel na byddent byth mwyach yn frenhiniaeth; ond ymddengys i mi ei fod yn cyfeirio yn benaf at *ddiffrwythder* eu gwragedd; canys hyny yw y gosp ag y cyfeirir ati yn y geiriau nesaf. *Ac os cenhedlant*—os na byddant oll yn ddiffrwyth, neu heb blant; *eto lladdaf anwyl blant eu crothau*—y rhai y parodd eu genedigaeth y fath lawenydd i'r rhieni: gwel ar adn. 11, 12.

Adn. 17. *Fy Nuw a'u gwrthyd hwynt*] Y mae y proffwyd yma yn galw Jehofa ei Dduw *ef*, i arwyddo na fyddai efe yn Dduw i *Israel* mwyach. *Am na wrandawsant arno ef*—pan yn eu galw i ufyddhau i'w orchymynion a'i ddeddfau, neu i edifarhau am eu hanufydddod. *Am hyny y byddant grwydriaid yn mhlith y cenhedloedd*—nes iddynt o'r diwedd gael eu colli yn eu mysg hwynt, neu lwyr ddarfod o'r byd: gwel ar 2 Bren. xvii. 6. Tybia awdwr 'Y Seren yn y Gorllewin,' mai hiliogaeth y deg llwyth yw *Indiaid yr America*, yn mhlith pa rai y cafodd efe lawer o ddefodau cyffelyb i eiddo yr hen Iuddewon, y rhai a orchymynir yn y gyfraith. Efe a dybia hefyd fod yr enw *Ye-ho-vah* i'w gael yn y llef a wnant yn eu gŵyliau edmygol, *Ye-ho-wa-he*. Os y rhai hyn yw y deg llwyth, y mae hyny yn hollol anadnabyddus iddynt hwy eu hunain, trwy fod eu gwreiddyn wedi ei golli er's oesoedd lawer. Ai tybed nad yw y *diffrwythder* ag y soniwyd am dano uchod, wedi peri iddynt syrthio erbyn hyn i lwyr *ddihanfodedd?*

PEN. X. Adn. 1. *Gwinwydden wâg yw Israel*] Heb arno ddim ffrwyth i Dduw; neu 'gwinwydden frigog.'—LXX. *Efe a ddwg ffrwyth iddo ei hun*—i foddhau ei chwantau ei hun. *Yn ol amlder ei ffrwyth*—yn ol amlder ei ddeadellau, ei gyfoeth, a'i lwyddiant gwladol; *yr amlhaodd efe allorau*—i'w eilunod. *Yn ol daioni ei dir*—neu fawredd cynyrch eu tir; *gwnaethant ddelwau têg*—hyny yw, yr oedd traul eu haddoliad gau yn cyfateb i fawredd eu cyfoeth.

Adn. 2. *Eu calon a ymranodd*] Rhwng Duw a mammon, neu rhwng Jehofa a'u heilunod: *yn awr y ceir hwy yn feius*—dan

3 Canys yr awr hon y dywedant,
Nid *oes* i ni frenin, am nad ofnasom
yr Arglwydd; a pheth a wnai
brenin i ni?
4 Dywedasant eiriau, gan dyngu
anudon wrth wneuthur ammod;
tarddodd barn megys wermod yn
rhychau y maesydd.
5 Preswylwyr Samaria a ofnant
o herwydd lloiau Beth-afen; canys
ei bobl a alara drosto, a'i offeiriaid
*y rhai* a lawenychant ynddo, o achos
ei ogoniant, am iddo ymadaw oddi-
wrtho ef.
6 *Hefyd* efe a ddygir i Assyria
yn anrheg i frenin Jareb: Ephraim
a dderbyn gywilydd, ac Israel a fydd
cywilydd ganddo ei gynghor ei hun.
7 Samaria, ei brenin a dorir ym-
aith fel ewyn ar wyneb y dwfr.
8 *A* dystrywir uchelfeydd Afen,
pechod Israel; dring drain a mieri
ar eu hallorau: a dywedant wrth
y mynyddoedd, Gorchuddiwch ni;
ac wrth y bryniau, Syrthiwch ar-
nom.
9 O Israel, ti a bechaist er dydd-
iau Gibeah: yno y safasant; a'r
rhyfel yn Gibeah yn erbyn plant an-
wiredd ni oddiweddodd hwynt.
10 Wrth fy ewyllys y cospaf
hwynt: a phobl a gesglir yn eu

---

euogrwydd y pechod hwn; neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'yn awr y cospir hwynt.' *Efe a dyr i lawr eu hallorau hwynt*—trwy ddwylaw yr Assyriaid; *efe a ddystrywia eu delwau*—bydd i Dduw wneyd yn awr mewn barn, yr hyn y dylasent hwy ei wneyd mewn edifeirwch.

Adn. 3. *Canys yr awr hon y dywedant*] Y dywed Israel, neu y deg llwyth; *Nid oes i ni frenin*—tybia rhai fod yma gyfeiriad at yr wyth mlynedd ag y bu Israel heb frenin addefedig, sef yr amser rhwng lladdiad Pecah a sefydliad Hosea ar yr orsedd, 2 Bren. xvii. 1. *Am nad ofnasom yr Arglwydd*—am i ni wrthod Brenin y brenhinoedd, a bwrw ymaith ei addoliad ef. *A pheth a wnai brenin i ni*—pan y mae Duw i'n herbyn?

Adn. 4. *Dywedasant eiriau*] Gweigion a drwg; *gan dyngu anudon wrth wneuthur ammod*—â'u gilydd, neu wrth dyngu llw o ffyddlondeb i'w brenin neu i'w cynghreirwyr. *Tarddodd barn megys wermod*—megys 'cegid,' neu wenwyn marwol; *yn rhychau y maesydd*—hyny yw, bydd i drallodau dinystriol, yn tarddu oddiwrth gyfiawn farn Duw, amlhau mor naturiol ag yr amlha cegid neu wermod yn rhychau y maesydd; neu bydd i'w hanffyddlondeb i'w gilydd fod mor niweidiol i gymdeithas, ag a fyddai cegid i'r bywyd anifeilaidd.

Adn. 5. *Preswylwyr Samaria*] Sef y deg llwyth yn nheyrnas Samaria; *a ofnant o herwydd lloiau Beth afen*—neu Bethel, pen. iv. 15. Y mae traddodiad yn mhlith yr Iuddewon ddarfod i Tiglath-pileser ddwyn ymaith y llo aur ag oedd yn Dan, pan ddarostyngodd efe Galilea, 2 Bren. xv. 29; ac i Salmaneser wneyd yr un peth â'r llo aur arall yn Bethel, am yr hyn y proffwydir yma. *Canys ei bobl a alara drosto*—wrth ei weled yn cael ei ddwyn ymaith; *a'i offeiriaid y rhai a lawenhant ynddo*—a lawenychent o herwydd eu bod yn cael eu porthi, eu dilladu, a'u cyfoethogi trwyddo; *am iddo ymadaw oddiwrtho ef*—am i'w ogoniant ymadaw oddiwitho, neu am iddo ef ddyfod i'r fath ddirfawr warth.

Adn. 6. *Hefyd efe a ddygir i Assyria yn anrhaith i frenin Jareb*] Os yw hwn yn enw priodol, nid yw y person ag y cyfeirir ato yn cael son am dano mewn hanesiaeth: gwel ar pen. v. 13. Ond fe allai mai *Pul* brenin Assyria a feddylir, a bod i hwnw fwy nag un enw. *Ephraim a dderbyn gywilydd*—wrth weled fod ei dduw, yn yr hwn yr ymddiriedai, yn analluog hyd yn nod i'w amddiffyn ei hun; *ac Israel a fydd cywilydd ganddo ei gynghor ei hun*—iddo erioed roddi ei hyder yn y fath dduw egwan.

Adn. 7. *Samaria, ei brenin a dorir ymaith*] Sef Hosea, brenin diweddaf Samaria, yr hwn a dorid ymaith neu a leddid gan frenin Assyria, 2 Bren. xvii. 6; *fel ewyn ar wyneb y dwfr*—cyn hawdded ag y chwytha gwynt yr ewyn ymaith, neu mor ebrwydd ag y chwelir cloch y dwfr ar ol iddi ymffurfio.

Adn. 8. *A dystrywir uchelfeydd Afen*] Sef Beth-afen neu Bethel, adn. 5. pen. iv. 15; *pechod Israel*—sef temlau ac allorau y lloi aur, trwy y rhai y pechai Israel. *Dring drain a mieri ar eu hallorau*—am na fydd neb yn cyrchu atynt. *A dywedant wrth y mynyddoedd, Gorchuddiwch ni, &c.*—dengys y geiriau hyn y dyryswch a'r anobaith i'r hwn y darostyngid Israel trwy ddinystr eu gwlad. Defnyddiodd ein Harglwydd yr un geiriau i osod allan gyfyngder yr Iuddewon ar warchaead diweddaf Jerusalem, Luc xxiii. 30; a St. Ioan, Dat. vi. 16. i ddynodi dychryn dynion yn amser y chwyldroad dan agoriad y chweched sel.

Adn. 9. *O Israel, ti a bechaist er dyddiau Gibeah*] Yn barhaus er y pryd hyny, pen. ix. 9; neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'Ti a bechaist *yn fwy* nag yn nyddiau Gibeah.' *Yno y safasant*—y safodd Israel yn barod i ryfela yn erbyn y Benjaminiaid. *A'r rhyfel yn Gibeah yn erbyn plant anwiredd*—y rhai a dreisiasant ac a laddasant wraig y Lefiad; *ni oddiweddodd hwynt*—neu ni 'orchfygodd' llwythau ereill Israel yn eu hymgais i gospi y fath droseddwyr anfad. Ond y mae rhai yn ei ddarllen, 'Ai ni oddiweddodd y rhyfel yn Gibeah blant anwiredd?' Gwel ar Barn. xix a xx.

Adn. 10. *Wrth fy ewyllys y cospaf hwynt*]

herbyn, pan ymrwymont yn eu dwy
gŵys.
11 Ac Ephraim *sydd* anner wedi
ei dysgu, yn dda ganddi ddyrnu;
a minau a aethym dros degwch ei
gwddf hi: paraf i Ephraim farch-
ogaeth; Juda a ardd, *a* Jacob a
lyfna iddo.
12 Heuwch i chwi mewn cyfiawn-
der, medwch mewn trugaredd;
braenerwch i chwi fraenar: canys
*y mae* yn amser i geisio yr Ar-
glwydd, hyd oni ddelo a gwlawio
cyfiawnder arnoch.
13 Arddasoch i chwi ddrygioni,
medasoch anwiredd, bwytasoch
ffrwyth celwydd; am i ti ymddiried
yn dy ffordd dy hun, yn lluosog-
rwydd dy gedyrn.
14 Am hyny y cyfyd terfysg yn
mysg y bobl, a'th holl amddiffyn-
feydd a ddinystrir, fel y darfu i
Salman ddinystrio Betharbel yn
amser rhyfel; *lle* y drylliwyd y fam
ar y plant.
15 Fel hyny y gwna Bethel i
chwi am eich mawr-ddrwg; gan
ddyfetha y dyfethir brenin Israel
ar fore-gwaith.

PENNOD XI.

PAN *oedd* Israel yn fachgen, mi
a'i cerais ef, ac a elwais fy mab
o'r Aifft.
2 *Fel* y galwent arnynt, felly
hwythau a aent o'u gwydd hwy;
aberthasant i Baalim, llosgasant

---

Gan ymhyfrydu yn hyny. *A phobl a gesglir yn eu herbyn*—sef yr Assyriaid; *pan ymrwymont yn eu dwy gŵys*—neu 'pan geryddwyf hwynt am eu dau gamwedd,' (sef dau lo Dan a Bethel,) fel y mae y LXX a *Newcome* yn ei ddarllen. Ond yr alleirydd Caldeaidd a'i darllena, 'Y bobl a gesglir yn eu herbyn a arferant lywodraeth arnynt, fel y rhwymir dwy anner yn eu dwy gŵys.'

Adn. 11. *Ac Ephraim sydd anner wedi ei dysgu*] Trwy hir ymarferiad; *yn dda ganddi ddyrnu*—yr oedd yn hoffi sathru yr ŷd i'w ddyrnu, am fod rhyddid iddi i fwyta o hono. *A minau a aethym dros degwch ei gwddf hi*—neu a osodais iau ar ei gwddf hi, i'w darostwng i lafur caletach. *Paraf i Ephraim farchogaeth*—neu gael ei farchogaeth gan yr Assyriaid, fel yr oedd y gyrwr yn y dwyrain yn eistedd ar yr ŷch neu yr anner a yrid ganddo i weithio. *Juda a ardd*—i'w elyn; *a Jacob a lyfna iddo*—i'w elyn yntau, a hyn oll am iddynt wrthod iau esmwyth gorchymynion Duw. Ond tybia rhai fod y geiriau diweddaf yn arwyddo y cai Juda ryw ragorfraint uwchlaw Jacob neu y deg llwyth.

Adn. 12. *Heuwch iwch' mewn cyfiawnder*] Ymarferwch â gweithredoedd o gyfiawnder tuag at Dduw a dynion; *medwch mewn trugaredd*—a chwi a gewch fedi trugaredd, neu bydd i Dduw yn ei drugaredd eich gwobrwyo yn helaeth. *Braenerwch iwch' fraenar*—mewn dwfn edifeirwch; *canys y mae yn amser i geisio yr Arglwydd*—y mae yn llawn bryd i chwi ei geisio ef, trwy fod y farn yn agosâu; neu, nid yw eto yn rhy ddiweddar i'w geisio ef mewn edifeirwch; *hyd oni ddelo a gwlawio cyfiawnder arnoch*—sef helaethrwydd o ras a bendithion, yn dymhorol ac ysbrydol.

Adn. 13. *Arddasoch iwch' ddrygioni*] Yn lle cyfiawnder hyd yn hyn: *medasoch anwiredd*—yn lle trugaredd; neu medasoch drallod a gofid, yr hyn yw ffrwyth anwiredd: *bwytasoch ffrwyth celwydd*—sef ffrwyth eich rhagrith a'ch eilunaddoliaeth; neu ymborthasoch ar obeithion ofer a gwâg, y rhai a'ch twyllasant. *Am it' ymddiried yn dy ffordd dy hun*—yn dy gynghor dy hun, neu yn dy eilunod; *yn lluosogrwydd dy gedyrn*—yn rhif a nerth dy filwyr, yn lle yn yr Arglwydd.

Adn. 14. *Am hyny y cyfyd terfysg yn mysg dy bobl*] Gan ddychryn o herwydd nesâd y gelyn; *a'th holl amddiffynfeydd a ddinystrir*—hyd y llawr; *fel y darfu i Salman ddinystrio Betharbel yn amser rhyfel*—tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at waith Salmaneser yn dinystrio Arbela, dinas yn Armenia; tybia ereill mai at fuddugoliaeth Gedeon ar Salmunna y cyfeirir, Barn. viii. 21; tra y barna ereill mai at ryw ryfel nad oes genym hanes am dani, ond eto a oedd yn dra adnabyddus y pryd hyny, y cyfeirir. *Lle y drylliwyd y fam ar y plant*—pan yr oedd y fam yn feichiog; neu, lle y drylliwyd y mamau gyda'r plant.

Adn. 15. *Fel hyny y gwna Bethel i chwi am eich mawr-ddrwg*] Neu y gwneir i chwi o achos eich eilunaddoliaeth yn Bethel. *Gan ddyfetha y dyfethir brenin Israel*—sef Hosea, gan yr Assyriaid; *ar fore-gwaith*—yn sydyn ac annysgwyliadwy; neu 'ar fore eu llwyddiant,' fel y mae rhai yn ei ddeall, sef pan yn dysgwyl am ddyddiau gwell oddiwrth eu cynghrair â'r Aifft yn erbyn yr Assyriaid.

PEN. XI. Adn. 1. *Pan oedd Israel yn fachgen*] Sef yn mabandod eu bodaeth genedlaethol; *mi a'i cerais ef*—amlygais serch tadol tuag at holl hiliogaeth Jacob; *ac a elwais fy mab o'r Aifft*—o dŷ eu caethiwed; yr hyn oedd yn gysgod o alwad yr Iesu o'r Aifft, Mat. ii. 15.

Adn. 2. *Fel y galwent arnynt*] Fel y galwai y proffwydi ar Israel o oes i oes; *felly hwythau a aent o'u gwydd hwy*—pa fwyaf y galwai y proffwydi arnynt i lynu wrth y gwir Dduw, mwyaf y cilient hwythau oddiwrtho ef at eu heilunod: *aberthasant i Baalim*—sef i

arogl-darth i ddelwau cerfiedig.
3 Myfi hefyd a ddysgais i Eph-
raim gerdded, gan eu cymeryd er-
byn eu breichiau; ond ni chydnabu-
ant mai myfi a'u meddyginiaethodd
hwynt.
4 Tynais hwynt â rheffynau
dynol, â rhwymau cariad; ac oedd-
wn iddynt megys y rhai a godant
yr iau ar eu bochgernau hwynt; a
bwriais atynt fwyd.
5 ¶ Ni ddychwel efe i wlad yr
Aifft; ond yr Assyriad fydd ei
frenin, am iddynt wrthod troi.
6 A'r cleddyf a erys ar ei ddinas-
oedd ef, ac a dreulia ac a ysa ei geinc-
iau ef, am eu cynghorion eu hun.
7 A'm pobl i sydd ar feddwl cilio
oddiwrthyf fi; er iddynt eu galw
at y Goruchaf, eto ni ddyrchafai
neb *ef*.
8 Pa fodd y'th roddaf ymaith,
Ephraim? y'th roddaf i fyny, Is-
rael? pa fodd y'th wnaf fel Admah?
*ac* y'th osodaf megys Zeboim? trôdd
fy nghalon ynof, a'm hedifeirwch a
gydgynheuwyd.
9 Ni chyflawnaf angerdd fy llid,
ni ddychwelaf i ddinystrio Eph-
raim: canys Duw *ydwyf* fi, ac nid
dyn; y Sant yn dy ganol di; ac nid
âf i mewn i'r ddinas.
10 Ar ol yr Arglwydd yr ânt;
efe a rua fel llew: pan ruo efe, yna
meibion o'r gorllewin a ddychryn-
ant.

---

wahanol dduwiau, pen. ii. 13; *llosgasant arogldarth i ddelwau cerfiedig*—i ddelwau a wnaed â'u dwylaw eu hunain, pa un bynag ai trwy eu cerfio ynte trwy eu toddi.

Adn. 3. *Myfi hefyd a ddysgais i Ephraim gerdded*] Yn ei fabandod; *gan eu cymeryd erbyn eu breichiau*—gan ymaflyd yn eu breichiau rhag iddynt syrthio, fel y gwna tad wrth ddysgu i'w blentyn gerdded. *Ond ni chydnabyddant mai myfi a'u meddyginiaethodd hwynt*—o'r doluriau a gawsant trwy eu codymau yn yr Aifft. Yn mhen ychydig fisoedd ar ol eu dwyn o'r Aifft, priodolent eu gwaredigaeth i'r llo tawdd, Exod. xxxii. 4.

Adn. 4. *Tynais hwynt*] Ar fy ol fy hun; *â rheffynau dynol, â rhwymau cariad*—sef trwy y fath annogaethau a chymhelliadau ag a oeddynt addas i weithredu ar ddeall, ewyllys, a serchiadau dynion fel creaduriaid moesol, rhesymol, a chyfrifol: *ac oeddwn iddynt megys y rhai a godant yr iau ar eu bochgernau hwynt*—cyfeiriad at amaethwr yn symud rhanau o'r harnais oddiar safnau meirch neu ychain ar ol iddynt fod yn gweithio yn galed, i'r dyben iddynt gael gorphwys a bwyta ychydig; *a bwriais atynt fwyd*—i'w sirioli a'u cyfnerthu.

Adn. 5. *Ni ddychwel efe i wlad yr Aifft*] Mwyach fel cenedl, er y gallai rhai personau neu deuluoedd fyned yno, pen. ix. 6; *ond yr Assyriad fydd ei frenin*—hwy a gaethgludir i Assyria; *am iddynt wrthod troi*—oddiwrth eu heilunod at y gwir Dduw.

Adn. 6. *A'r cleddyf a erys ar ei ddinasoedd ef*] Sef cleddyf yr Assyriaid, neu derfysgoedd cartrefol gwaedlyd; *ac a dreulia ac a ysa ei geinciau ef*—sef pentrefi y wlad, neu drigolion eu dinasoedd; *am eu cynghorion eu hun*—am iddynt ddylyn eu cynghorion eu hun, yn lle gwrando ar lais yr Arglwydd; neu am iddynt geisio cynorthwy gan yr Aifftiaid.

Adn. 7. *A'm pobl i sydd ar feddwl cilio oddiwrthyf fi*] Yn hollol ac am byth. *Er iddynt eu galw at y Goruchaf*—er iddynt gael eu galw gan y proffwydi, a duwiolion ereill, i addoli a gwasanaethu yr Arglwydd yn unig; *eto ni ddyrchafai neb ef*—yn eu calonau, neu yn wirioneddol. Ond trwy nad yw *ef* yn y wreiddiol, cyfieithir y frawddeg gan rai, 'Eto ni chodai neb,' i ddyfod at y Goruchaf mewn atebiad i'r alwad.

Adn. 8. *Pa fodd y'th roddaf ymaith, Ephraim*] O fod yn bobl i mi, neu i ddwylaw yr Assyriaid? *y'th roddaf i fyny, Israel*—i lwyr ddinystr? *Pa fodd y'th wnaf fel Admah, ac y'th osodaf megys Zeboim?*—y rhai hyn oeddynt ddinasoedd a lwyr ddyfethwyd ar unwaith â Sodom a Gomorra, Deut. xxix. 23. *Trôdd fy nghalon ynof*—pan feddyliais am dy lwyr ddyfetha di felly; *a'm hedifeirwch a gydgynheuwyd*—fel tad tyner a thosturiol yn edifarhau am fygwth cospi ei blentyn cyndyn. Y mae y geiriau hyn wedi eu llefaru yn ol dull dynion, ac yn dangos mor drugarog, tosturiol, a hwyrfrydig i lid, yw yr Arglwydd: gwel ar Jer. xxxi. 20.

Adn. 9. *Ni chyflawnaf angerdd fy llid*] Hyny yw, ni chospaf hwynt hyd eithaf manylrwydd fy nghyfiawnder; *ni ddychwelaf i ddinystrio Ephraim*—meddylir fod yma gyfeiriad at waith cadfridog, ar ol iddo orchfygu dinas a dwyn ymaith ei thrysorau, yn dychwelyd i ladd ei thrigolion ac i losgi y ddinas yn lludw: ond ni ddychwelai Duw i lwyr ddyfetha Ephraim felly. *Canys Duw ydwyf fi*—tosturiol, trugarog, a maddeugar, yr hwn a allaf gymedroli gweinyddiadau fy nghyfiawnder yn unol â gogoniant fy nhrugaredd; *ac nid dyn*—annoeth, byrbwyll, a dialgar. *Y Sant yn dy ganol di*—sef Sant Israel, neu eu Duw cyfammodol: *ac nid âf i mewn i'r ddinas*—ni ddychwelaf i ddifrodi yr holl ddinasoedd a'u trigolion, fel y gwnai cadfridogion buddugol.

Adn. 10. *Ar ol yr Arglwydd yr ânt*] Yr â llawer o honynt ar ol hyn. Meddylir fod yma gyfeiriad at y rhai hyny o'r deg llwyth a ymgorfforent â'r Iuddewon ar ol caethiwed Babilon. *Efe a rua fel llew*—tybia rhai mai at orchymyn Darius, (Ezra vi. 12,) neu at waith Cyrus yn cyhoeddi rhyddid i'r caethion, cyfeirir yma; barna ereill mai pregethiad

11 Dychrynant fel aderyn o'r
Aifft, ac fel colomen o dir Assyria:
a mi a'u gosodaf hwynt yn eu tai,
medd yr Arglwydd.
12 Ephraim a'm hamgylchynodd
â chelwydd, a thŷ Israel â thwyll;
ond y mae Juda eto yn llywodraethu
gyda Duw, ac yn ffyddlon gyda'r
saint.

## PENNOD XII.

EPHRAIM sydd yn ymborthi ar
wynt, ac yn dylyn gwynt y
dwyrain: ar hyd y dydd yr amlhaodd gelwydd a dinystr; ammod a
wnaethant â'r Assyriaid; *ac* olew a
ddygwyd i'r Aifft.
2 Ac *y mae* gan yr Arglwydd
gŵyn ar Juda; ac efe a ymwêl â
Jacob yn ol ei ffyrdd: yn ol ei
weithredoedd y tâl iddo y pwyth.
3 ¶ Yn y groth y daliodd efe
sawdl ei frawd, ac yn ei nerth y
cafodd allu gyda Duw.
4 Ie, cafodd nerth ar yr angel, a
gorchfygodd: ŵylodd, ac ymbiliodd
âg ef: cafodd ef *yn* Bethel, ac yno
yr ymddyddanodd â ni;
5 Sef Arglwydd Dduw y llu-

---

yr efengyl a osodir allan trwy y 'rhuad' hwn; tra y tybia ereill mai cyhoeddiad Duw o'i farnedigaethau yn erbyn y Babiloniaid, neu ynte yn erbyn gelynion Cristionogaeth, a olygir. *Pan ruo efe*—trwy ei genadau neu ei offerynau; *yna meibion o'r gorllewin a ddychrynant*—neu a 'brysurant' i ddychwelyd o leoedd eu caethiwed, fel y gwna adar dychrynedig.

Adn. 11. *Dychrynant fel aderyn o'r Aifft, &c.*] Hyny yw, 'ehedant' neu 'prysurant' o'r Aifft ac o Assyria, ac o holl wledydd ereill eu gwasgariad, fel colomen wedi ei dychrynu: *a mi a'u gosodaf hwynt yn eu tai*—yn eu gwlad eu hunain; neu yn eu *teml*, fel y mae rhai yn ei ddeall. Cyflawnwyd hyn yn llythyrenol yn amser y dychweliad o Babilon; ac fe'i cyflawnir mewn ail ystyr ar ddychweliad yr Iuddewon i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf.

Adn 12. *Ephraim a'm hamgylchynodd â chelwydd, a thŷ Israel â thwyll*] Y mae y bobl hyn yn wastadol yn llawn rhagrith a thwyll, yn addaw llawer, ond heb gyflawni dim. Gosodir yr adnod hon yn nechre y bennod nesaf yn y Beiblau Hebreig, a bernir yn gyffredin nad yw yr hyn a ddywedir yma yn dal un cysylltiad â'r hyn a ddywedwyd uchod. *Ond y mae Juda eto yn llywodraethu gyda Duw*—yn glynu fyth wrth y llywodraeth frenhinol a sefydlwyd gan Dduw yn nheulu Dafydd; *ac yn ffyddlon gyda'r saint*—yn cadw yn ffyddlon yr ordinhadau hyny a roddasai Duw i'w saint: neu, 'y maent yn saint ffyddlon;' neu, 'y maent yn ffyddlon i'r saint,' sef i Bersonau y Drindod Santaidd, fel y mae *Horsley* ac ereill yn ei ddeall.

PEN. XII. Adn. 1. *Ephraim sydd yn ymborthi ar wynt*] Yn ymwenieithio iddo ei hun y derbyn efe gynorthwy effeithiol oddiwrth ei gynghreirwyr; *ac yn dylyn gwynt y dwyrain*—sef yr hyn a dry allan mor ddinystriol iddo a gwynt y dwyrain. Hwn sydd ymadrodd diarebol yn arwyddo llafur neu obeithion ofer, y rhai a barant niwed yn hytrach na lles. *Ar hyd y dydd yr amlhaodd gelwydd a dinystr*—neu gelwydd yn esgor ar ddinystr iddo ei hun. *Ammod a wnaethant â'r Assyriaid*—i fod dan deyrnged iddynt hwy; *ac olew a ddygwyd i'r Aifft*—i bwrcasu cynorthwy yr Aifft yn erbyn yr Assyriaid, yr hyn a brysurodd eu dinystr hwy: gwel ar 2 Bren. xvii. 3, 4.

Adn. 2. *Ac y mae gan yr Arglwydd gŵyn ar Juda*] Nad yw yntau mor bur ag y proffesa ei fod, er i Hezeciah adferu addoliad Duw yn y deml, 2 Cron. xxix. 3, &c. *Ac efe a ymwêl â Jacob yn ol ei ffyrdd*—sef â llwythau Juda a Benjamin, y rhai oeddynt o hiliogaeth Jacob; er y tybia rhai fod *Jacob* yma yn arwyddo yr holl genedl. *Yn ol ei weithredoedd y tâl iddo y pwyth*—trwy anfon byddin Senacherib yn erbyn ei holl ddinasoedd caerog, 2 Bren. xviii. 13, &c.

Adn. 3. *Yn y groth y daliodd efe sawdl ei frawd*] Gwel ar Gen. xxv. 26. Oddiwrth y crybwylliad am *Jacob* yn yr adnod flaenorol, y mae y proffwyd yn cymeryd achlysur i goffâu i'w hiliogaeth ef fendithion neillduol Duw iddo. *Ac yn ei nerth y cafodd allu gyda Duw*—i orchfygu, Gen. xxxii. 24, &c. Yr oedd y nerth corfforol a roddwyd iddo gan Dduw i ymdrechu gyda'r angel, yn arwydd o nerth ei ffydd ef, ac o'i allu mewn gweddi. Ond yn lle ymdrechu gyda Duw fel y gwnaethai Jacob eu tad, yr oedd ei hiliogaeth ef yn troi at eilunod!

Adn. 4. *Ie, cafodd nerth ar yr angel, a gorchfygodd*] Nerthwyd ef i ddal ei afael ynddo nes iddo ei fendithio. Yr angel hwn oedd Mab Duw, sef Angel mawr y cyfammod; canys gelwir ef yn 'Dduw' yn adn. 3, ac yn 'Arglwydd Dduw y lluoedd' yn adn. 5. Yr oedd ef yn *Dduw* o ran ei natur neu ei sylwedd, ac yn *angel* o ran ei swydd a'i neges ar y pryd. *Wylodd, ac ymbiliodd âg ef*—felly dagrau a gweddïau Jacob oedd yr arfau trwy y rhai y gorchfygodd efe.—*Cafodd ef yn Bethel*—sef yn y fan a droisoch chwi yn *Beth-afen*, 'tŷ drygioni,' trwy addoli y llo aur yn y 'tŷ Dduw' hwnw, pen. iv. 15. Cyfeirir yma at ymddangosiad yr Arglwydd iddo yn Bethel, Gen. xxviii. 19, a xxxv. 9—15. *Ac yno yr ymddyddanodd â ni*—y rhai oeddym y pryd hyny yn lwynau ein tad Jacob. Ond y mae yr ailun Alexandriaidd o'r LXX yn ei ddarllen, 'Ac yno yr ymddyddanodd âg *ef*.'

oedd: yr Arglwydd *yw* ei goffadwr-
iaeth.
6 Tro dithau at dy Dduw; cadw
drugaredd a barn, a dysgwyl wrth
dy Dduw bob amser.
7 ¶ Marsiandwr *yw efe;* yn ei
law ef *y mae* clorianau twyll: da
ganddo orthrymu.
8 A dywedodd Ephraim, Eto mi
a gyfoethogais, cefais i mi olud; ni
chafwyd *yn* fy holl lafur anwiredd
ynof, *a fyddai* bechod.
9 A mi, *yr hwn yw* yr Arglwydd
dy Dduw *a'th ddyg* o dir yr Aifft, a
wnaf i ti drigo eto mewn pebyll,
megys ar ddyddiau uchel-ŵyl.
10 Ymddyddenais trwy y proff-
wydi, a mi a amlheais weledig-
aethau, ac a arferais gyffelybiaeth-
au, trwy law y proffwydi.
11 A *oes* anwiredd yn Gilead? yn
ddiau gwagedd ydynt; yn Gilgal
yr aberthant ychain: eu hallorau
*hefyd sydd* fel carneddau yn rhych-
au y maesydd.
12 Ffodd Jacob hefyd i wlad
Syria, a gwasanaethodd Israel am
wraig, ac am wraig y cadwodd
*ddefaid.*
13 A thrwy broffwyd y dyg yr
Arglwydd Israel o'r Aifft, a thrwy
broffwyd y cadwyd ef.

---

Adn. 5. *Sef Arglwydd Dduw y lluoedd*] Efe oedd yr angel ag y bu ein tad Jacob yn ymdrechu âg ef. *Yr Arglwydd yw ei goffadwriaeth*—hyny yw, JEHOFA yw yr enw wrth ba un y cofleir ac yr adwaenir ef trwy yr holl genedlaethau: gwel ar Exod. iii. 14, 15.

Adn. 6. *Tro dithau at dy Dduw*] Mewn dagrau ac ymbiliau, fel y gwnaeth dy dad Jacob. *Cadw drugaredd a barn*—dangos drugaredd i'r rheidus, a gwna farn neu gyfiawnder â'r gorthrymedig; *a dysgwyl wrth dy Dduw bob amser*—glŷn yn ddyfal a diysgog wrth ei addoliad a'i wasanaeth ef.

Adn. 7. *Marsiandwr yw efe*] Y rhai hyn ydynt eiriau yr Arglwydd mewn atebiad i'r proffwyd. Fel pe dywedasai, Edwicwr twyll odrus yw Ephraim, ac nid un yn cadw trugaredd a barn. *Yn ei law ef y mae clorianau twyll*—i brynu i mewn â'r naill, a gwerthu allan â'r llall. *Da ganddo orthrymu*—ei gymydog, trwy brynu ganddo â phwysi trymion, a gwerthu iddo â phwysi ysgeifn.

Adn. 8. *A dywedodd Ephraim*] Mewn atebiad i'r cyhuddiad uchod; *Eto mi a gyfoethogais*—trwy fy marsiandïaeth; *cefais im' olud*—yn y ffordd hon, a hyny yn gyfiawn: *ni chafwyd yn fy holl lafur anwiredd ynof*—neu ddim a fyddai bechod yn erbyn y gyfraith. Eithr *Newcome* a'i darllena, 'Ei holl lafur ni lesâ iddo, o herwydd yr anwiredd trwy yr hwn y pechodd.' Tybia *Horsley* mai iaith Ephraim yn nydd ei edifeirwch yw yr adnod hon, yr hon a gyfieitha efe, 'Er i mi gyfoethogi, cefais im' olid: ni ddyg fy holl lafur i mi yr hyn a ddynudda bechod.'

Adn. 9. *A mi yr hwn yw yr Arglwydd dy Dduw, &c.*] Neu, yn fwy llythyrenol, 'A mi yr Arglwydd dy Dduw o dir yr Aifft;' hyny yw, yr hwn wyf Dduw i ti er pan ddygais di o dir yr Aifft; *a wnaf it' drigo eto mewn pebyll*—yn ngwlad dy gaethiwed; *megys ar ddyddiau uchel-ŵyl*—neu ŵyl y pebyll, yr hon a gynelid er cof am eu trigiad mewn pebyll gwael a symudol yn yr anialwch, Lef. xxiii 34—39. Yn y goleuni yma, *bygythiad* yw y geiriau. Ond y mae rhai yn eu deall fel *addewid* y byddai iddynt, ar eu hedifeirwch, gael trigo yn eu pebyll, neu eu tai, yn dawel a dedwydd fel ar amser eu huchel-ŵyliau.

Adn. 10. *Ymddyddenais trwy y proffwydi*] Gan eich rhybyddio, eich cynghori, a'ch annog mewn geiriau eglur a dealladwy, i'r dyben i'ch ennill oddiwrth eich drygioni. *A mi a amlheais weledigaethau*—i gynhyrfu eich sylw a'ch ystyriaeth yn fwy, y rhai a eglurwyd i chwi yn dangosol gan y proffwydi. *Ac a arferais gyffelybiaethau*—agos atoch, a hawdd eu deall, er mwyn eich dwyn i'r iawn ffordd. Felly efe a gyffelybai yr eglwys i winllan, Esay v. 1; dinystr Jerusalem, i goedwig ar dân, Ezec. xx. 46—49, neu grochan berwedig, Ezec. xxiv. 3; ac yr oedd y proffwyd ei hun i fod yn gyffelybiaeth neu ddammeg iddynt, wrth iddo gymeryd gwraig o odineb i arddangos eilunaddoliaeth allan tŷ Israel, pen i. 2, &c. Y mae yn debyg fod yr apostol â'i olwg ar y geiriau hyn pan y dywedodd, 'Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith a llawer modd gynt wrth y tadau trwy y proffwydi,' &c., Heb. i. 1.

Adn. 11. *A oes anwiredd yn Gilead*] Neu eilunaddoliaeth? *Yn ddiau gwagedd ydynt*—ac o herwydd hyny y caethgludwyd hwynt i Assyria trwy law Tiglath-pileser. *Yn Gilgal yr aberthant ychain*—i'w heilunod, yr un modd ag yn Gilead, ac am hyny caethgludir hwythau. *Eu hallorau hefyd sydd fel carneddau yn rhychau y maesydd*—sydd mor aml a cherig wedi eu casglu yn garneddau ar y maesydd. Ond y mae rhai yn deall hyn fel bygythiad y byddai i'w hallorau gael eu dryllio yn garneddau.

Adn. 12. *Ffodd Jacob hefyd*] At Laban, *i wlad Syria*—neu Mesopotamia, yr hon yn fynych a elwir *Syria* yn yr ysgrythyrau, Deut. xxvi. 5; *a gwasanaethodd Israel am wraig, &c.*—gwel ar Gen. xxix. 18, &c. Crybwyllir am gyflwr isel eu tad Jacob fel ffoadur, i ddarostwng balchder Israel, y rhai a ymffrostient yn eu gwaedoliaeth, ac i ddangos daioni Duw yr hwn a'u dyrchafodd i'w mawredd presenol.

Adn. 13. *A thrwy broffwyd y dyg yr Arglwydd Israel o'r Aifft*] O gyflwr o gaethiwed; *a thrwy broffwyd y cadwyd ef*—rhag trengu yn yr anialwch. Wrth y 'proffwyd'

14 Ephraim a'*i* cyffrôdd *ef* i ddig
yn nghyda chwerwedd; am hyny
y gâd efe ei waed ef arno, a'i Ar-
glwydd a dâl iddo ei waradwydd.

## PENNOD XIII.

PAN lefarodd Ephraim, dychryn,
ymddyrchafodd efe yn Israel;
ond pan bechodd gyda Baal y bu
farw.
2 Ac yr awr hon chwanegasant
bechu, ac o'u harian y gwnaethant
iddynt ddelwau tawdd, *ac* eilunod,
yn ol eu deall eu hun, y cwbl o
waith y crefftwyr, am y rhai y
maent yn dywedyd, Y rhai a aberth-
ant, cusanant y lloi.
3 Am hyny y byddant fel y bore-
gwmwl, ac megys y gwlith yr ym-
edy yn fore, fel mân us a chwelir
gan gorwynt allan o'r llawr-dyrnu,
ac fel mŵg o'r ffumer.
4 Eto myfi *yw* yr Arglwydd dy
Dduw, *a'th ddwg di* o dir yr Aifft;
ac ni chai gydnabod Duw ond myfi:
ac nid *oes* Iachawdwr ond myfi.
5 ¶ Mi a'th adnabûm yn y di-
ffaethwch, yn nhir sychder mawr.
6 Fel *yr oedd* eu porfa, y cawsant
eu gwala: cawsant eu gwala, a
chodasant eu calonau; ac annghof-
iasant fi.
7 Ond mi a fyddaf fel llew idd-
ynt; megys llewpard ar y ffordd y
dysgwyliaf *hwynt*.
8 Cyfarfyddaf â hwynt fel arth
wedi colli *ei chenawon*, rhwygaf

---

hwn y golygir *Moses*, er y tybia rhai fod yr olaf yn cyfeirio at *Josua*.

Adn. 14. *Ephraim a'i cyffrôdd ef i ddig yn nghyda chwerwedd*] Neu 'gyda'i chwerwedd,' sef ei eilunaddoliaeth, a'i bechodau chwerwon ereill: neu, fel y mae *Schindler* yn ei gyfieithu, 'gyda'i *garneddau*,' sef allorau ei eilunod. *Am hyny y gâd efe ei waed ef arno*—sef ar ei ben ei hun; neu, y gâd efe i euogrwydd y gwaed gwirion a dywalltasai orphwys arno mewn ffordd o gosp. *A'i Arglwydd a dâl iddo ei waradwydd*—a dâl iddo am y gwaradwydd a ddyg efe ar Dduw a'i addoliad wrth ddewis eilunod yn ei le ef; hyny yw, efe a'i gwnai yntau yn wawd ac yn ddiareb yn mysg y cenhedloedd.

PEN. XIII. Adn. 1. *Pan lefarodd Ephraim, dychryn*] Pan lefarai Ephraim mewn dychryn, neu dan grynu: neu, pan yr oedd Ephraim yn ostyngedig a gwael yn ei olwg ei hun: *ymddyrchafodd efe yn Israel*—efe a ddaeth yn fawr yn ngolwg Duw, ac yn nghyfrif y cenhedloedd o'i amgylch: *ond pan bechodd gyda Baal*—pan giliodd efe oddiwrth yr Arglwydd, ac y trôdd at eilunod; *y bu farw*—aeth yn llesg a dinerth fel dyn marw, neu dan ddedfryd marwolaeth.

Adn. 2. *Ac yr awr hon chwanegasant bechu*] Trwy chwanegu eu heilunod; *ac o'u harian y gwnaethant iddynt ddelwau tawdd ac eilunod*—sef delwau bychain cludadwy o'r llo aur ond odid: *yn ol eu deall eu hun*—wedi eu gwneuthur yn ol eu dyfais eu hun: *y cwbl o waith y crefftwyr*—heb neb yn hòni eu bod, fel delw Diana, wedi disgyn oddiwrth Jupiter, Act. xix. 35: *am y rhai y maent yn dywedyd*—y mae eu hoffeiriaid yn dywedyd; *Y rhai a aberthant, cusanant y lloi*—i ddangos eu bod yn wir addolwyr o honynt. Yr oedd delw Herculus yn *Agrigentum*, yr hon a wnaed o bres, â'i gên a'i gwefusau wedi treulio ymaith gan fynych gusanau ei haddolwyr: gwel ar 1 Bren. xix. 18, Job xxxi. 27. Ond y mae *Coke* ac ereill yn ei gyfieithu, 'Boed i aberthwyr *dynion* gusanu y lloi,' sef y rhai a aberthent eu plant i Moloch.

Adn. 3. *Am hyny y byddant fel y bore-gwmwl, &c.*] Defnyddir yma bedair cymhariaeth i ddangos eu dinystr llwyr a chyflym o herwydd eu heilunaddoliaeth. O flaen barnedigaethau yr Hollalluog ni fyddent ond megys cwmwl a gwlith o flaen pelydr haul y bore, neu fel ûs a mŵg o flaen corwynt.

Adn. 4. *Eto myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, &c.*] Er i ti gyrchu at eilunod, myfi yw y Duw a'th ddyg di o gaethiwed yr Aifft: *ac ni chai gydnabod Duw ond myfi*—o'm bodd i; neu ni ddylit gydnabod neb yn Dduw ond myfi: *ac nid oes Iachawdwr ond myfi*—yn y nefoedd nac ar y ddaear.

Adn. 5. *Mi a'th adnabûm yn y diffaethwch*] Mi a'th arddelais ac a'th gerais yn y diffaethwch sych a chras, gan dy borthi â manna, a'th ddisychedu â dwfr o'r graig: neu, yn ol y LXX, 'mi a'th *borthais* yn y diffaethwch.'

Adn. 6. *Fel yr oedd eu porfa, y cawsant eu gwala*] Neu, yn ol *Houbigant*, 'cawsant eu gwala yn eu porfeydd.' *Cawsant eu gwala*—o bob peth angenrheidiol er cysur a chynaliaeth iddynt; *a chodasant eu calonau*—mewn balchder ac uchder ysbryd: *ac annghofiasant fi*—gan faint eu hawddfyd a'u llwyddiant: gwel ar Deut. xxxii. 13—15.

Adn. 7. *Ond mi a fyddaf fel llew iddynt*] Yn elyn cryf a didosturi: *megys llewpard ar y ffordd y dysgwyliaf hwynt*—i'w dyfetha; hyny yw, megys ag y dysgwylia llewpard ar ochr y ffordd am ryw ysglyfaeth yn myned heibio.

Adn. 8. *Cyfarfyddaf â hwynt fel arth*] Neu arthes, *wedi colli ei chenawon*—yr hon y pryd hyny yw y greulonaf a'r gynddeiriocaf o'r holl fwystfilod: gwel ar Diar. xvii. 12. *Rhwygaf orchudd eu calon hwynt*—fel y gwna bwystfilod i gael gwaed eu hysglyfaeth, yr hwn a hoffant hwy yn fwy na'r cig. *Ac*

orchudd eu calon hwynt; ac yna fel
llew y difaf hwynt: bwystfil y maes
a'u llarpia hwynt.
9 ¶ O Israel, tydi a'th ddinystr-
iaist dy hun; ond ynof fi *y mae* dy
gymhorth.
10 Dy frenin fyddaf: pa le *y
mae arall* a'th waredo di yn dy holl
ddinasoedd, a'th frawdwyr, am y
rhai y dywedaist, Dyro i mi frenin
a thywysogion?
11 Rhoddais i ti frenin yn fy nig,
a dygais *ef* ymaith yn fy llid.
12 Rhwymwyd anwiredd Eph-
raim; cuddiwyd ei bechod ef.
13 Gofid un yn esgor a ddaw arno:
mab annghall yw efe; canys ni
ddylasai efe sefyll yn hir yn esgor-
eddfa y plant.
14 O law y bedd yr achubaf
hwynt; oddiwrth angau y gwared-
af hwynt: byddaf angau i ti, O
angau; byddaf dranc i ti, y bedd:
cuddir edifeirwch o'm golwg.
15 ¶ Er ei fod yn ffrwythlon yn
mysg *ei* frodyr, daw gwynt y dwyr-
ain, gwynt yr Arglwydd o'r anial-
wch a ddyrchafa, a'i ffynnonell a
sych, a'i ffynnon a â yn hesp: efe a
yspeilia drysor pob llestr dymunol.

---

*yna fel llew y difaf hwynt*—gnawd ac esgyrn: *bwystfil y maes a'u llarpia hwy*—cyflawnodd Duw hyn oll ar Israel trwy yr Assyriaid, y rhai yn eu gwanc am gyfoeth oeddynt gyffelyb i fwystfilod rheibus.

Adn. 9. *O Israel, tydi a'th ddinystriaist dy hun*] Gallasai Israel feddwl, oddiwrth y bygythion uchod, mai yr Arglwydd a'i di nystriasai; eithr efe ei hun a wnaethai hyny trwy ei bechodau, y rhai oeddynt yr achos o'r dinystr hwn. *Ond ynof fi y mae dy gymhorth*—nid oes neb ond myfi a all dy gymhorth; neu, dy gymhorth, ac nid dy ddinystr, sydd yn deilliaw oddiwrthyf fi. *Dr. Pococke* a gyfieitha yr adnod fel hyn: 'O Israel, hyn a'th ddinystriodd di, mai ynof fi y mae dy gymhorth;' ac y mae *Rabbi Tanchum* yn ei deongli i'r un ystyr. Tybiant mai yr achos o ddinystr Israel oedd ei hyder ef yn mharodrwydd Duw i'w gynorthwyo. Ymgaledent yn eu harferion drygionus oddiar obaith y byddai i Dduw, er maint ei fygythion, gyfryngu i'w gwaredu hwy o ddwylaw eu gelynion.

Adn. 10. *Dy frenin fyddaf*] Ni roddaf i fyny fy hawl i'th lywodraethu, neu i'th gospi am dy wrthryfel i'm herbyn. *Pa le y mae arall a'th waredo di yn dy holl ddinasoedd?* —pa le y mae brenin arall a all dy waredu? *A'th frawdwyr*—pa le y mae dy farnwyr, a'th swyddogion ereill, y rhai a ddewisaist i'th lywodraethu yn fy lle i? Ond y mae y LXX, a'r holl hen gyfieithiadau, yn ei darllen yn wahanol: 'Pa le y mae dy frenin? gwareded efe dydi yn dy holl ddinasoedd,' &c. *Dyro i mi frenin a thywysogion*—sef brenin, a'r cyfryw swyddogion ereill ag a ddewiso efe i'w gynorthwyo.

Adn. 11. *Rhoddais it' frenin yn fy nig*] Sef *Saul*, yr hwn a roddais i chwi pan yr oeddwn wedi digio wrthych o herwydd eich anfoddlonrwydd i mi deyrnasu arnoch; *a dygais ef ymaith yn fy llid*—gan adael iddo syrthio yn archolledig trwy ddwylaw y Philistiaid, 1 Sam. viii. 6. a xxxi. 3. Ond tybia rhai mai at frenhinoedd y deg llwyth y cyfeirir yma: gwel ar pen. viii. 4.

Adn. 12. *Rhwymwyd anwiredd Ephraim*] Gan ei selio ef fel mewn côd, Job xiv. 17; *cuddiwyd ei bechod ef*—nid o olwg Duw trwy faddeuant, eithr mewn llyfr erbyn dydd y cyfrif.

Adn. 13. *Gofid un yn esgor a ddaw arno*] Cyffelybir trallodau mawrion yn fynych i wewyr gwraig yn esgor, Esay xiii. 8. a xxxvii. 3, Jer. xxx. 6. *Mab annghall yw efe*—yr hwn ni wna yr hyn sydd oraf er ei les ei hun. *Canys ni ddylasai efe sefyll yn hir yn esgoreddfa y plant*—mewn cyflwr yn yr hwn y mae ei ddinystr yn anocheladwy. Bu amser pryd y gallasai Ephraim gael diangfa rhag y trychineb oedd yn dyfod arno, trwy ddychwelyd yn edifeiriol at Dduw; ond yr oedd ef wedi esgeuluso yr adeg werthfawr hono trwy ei ddiofalwch: ac felly, a llefaru yn ddynol, ymddygodd mor annghall ag y gwnai plentyn, yr hwn, a thybied fod ganddo synwyr a nerth i ymryddhau, a safai yn yr esgoreddfa nes colli ei fywyd.

Adn. 14. *O law y bedd yr achubaf hwynt, oddiwrth angau y gwaredaf hwynt*] Arddanghosir cyflwr Israel yn eu caethiwed fel rhai wedi marw a chael eu claddu; ond er hyny y mae yr Arglwydd yma yn rhoddi addewid rasol o waredigaeth i'r gweddill o honynt: gwel ar Ezec. xxxvii. 1—14. *Byddaf angau i ti, O angau*—trwy dy lwyr ddiddymu, neu dy lyncu mewn buddugoliaeth, Esay xxv. 8. *Byddaf dranc i ti, y bedd*—hyny yw, byddaf yn achos o ddinystr hollol i tithau. *Cuddir edifeirwch o'm golwg*—ni fydd byth yn edifar genyt wneuthur yr hyn yr wyf yn ei addaw yma. Y mae y proffwyd, wrth son am waredigaeth dymhorol Ephraim, yn arferyd iaith ag sydd yn cynwys hefyd addewid o waredigaeth i'r credinwyr oddiwrth bechod a marwolaeth ysbrydol dan yr efengyl, ac adgyfodiad y meirw yn y dydd diweddaf: gwel ar 1 Cor. xv. 54—57.

Adn. 15. *Er ei fod yn ffrwythlon yn mysg ei frodyr*] Y mae yr enw *Ephraim* yn arwyddo *ffrwythlon*: ac yr oedd y llwyth hwn yn cyfateb i'w enw, trwy ei fod y lluosocaf o'r deg llwyth. *Daw gwynt y dwyrain*—daw byddinoedd brenin Assyria fel poethwynt dinystriol y dwyrain, y rhai a wywant ei ffrwythlondeb, fel y gwywa llysiau pan sychir y ffynnonau, ac y collant bob gwlybaniaeth. *Gwynt yr Arglwydd o'r anialwch*—felly y

16 Diffeithir Samaria, am ei bod yn anufydd i'w Duw: syrthiant ar y cleddyf: eu plant a ddryllir, a'u gwragedd beichiogion a rwygir.

## PENNOD XIV.

YMCHWEL, Israel, at yr Arglwydd dy Dduw; canys ti a syrthiaist trwy dy anwiredd.

2 Cymerwch eiriau gyda chwi, a dychwelwch at yr Arglwydd: dywedwch wrtho, Maddeu yr holl anwiredd; derbyn *ni* yn ddaionus: a thalwn *i ti* loi ein gwefusau.

3 Ni all Assur ein hachub ni; ni farchogwn ar feirch; ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O ein duwiau! o herwydd ynot ti y caiff yr amddifad drugaredd.

4 ¶ Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt, caraf hwynt yn rhad: canys trôdd fy nig oddiwrtho.

5 Byddaf fel gwlith i Israel: efe a flodeua fel y lili, ac a leda ei wraidd megys Libanus.

---

gelwir byddin yr Assyriaid, am eu bod yn dyfod i Samaria yn ol ewyllys a threfniad yr Arglwydd, a thrwy anialwch Syria. *Efe a yspeilia drysor pob llestr dymunol*—byddai i Salmaneser yspeilio Israel o'u holl lestri a'u dodrefn gwerthfawr.

Adn. 16. *Diffeithir Samaria, am ei bod yn anufydd i'w Duw*] Ac yn rhoddi ei ogoniant a'i fawl ef i'w delwau cerfiedig. *Syrthiant ar y cleddyf*—neu trwy y cleddyf, llawer o honynt. *Eu plant a ddryllir*—trwy iddynt gael eu pwyo yn erbyn y muriau a'r palmant; *a'u gwragedd beichiogion a rwygir*—yn y modd mwyaf creulon a didosturi, yn ol arferiad rhai buddugoliaethwyr cenhedlig barbaraidd: gwel ar 2 Bren. viii. 12.

PEN. XIV. Adn. 1. *Ymchwel, Israel, at yr Arglwydd dy Dduw*] Mewn gwir edifeirwch a diwygiad buchedd; *canys ti a syrthiaist*—oddiwrtho ef, ac o'i gymeradwyaeth a'i ffafr; *trwy dy anwiredd*—trwy dy eilunaddoliaeth, a'th bechodau ffiaidd ereill. Tybia rhai mai wrth y deg llwyth y dywedir hyn, ar ol eu caethiwo i Assyria, i'r rhai yr oedd gobaith fyth am gymeradwyaeth gyda Duw ar eu dychweliad yn edifeiriol ato; ond y mae yn debycach fod yr enw *Israel* yma yn arwyddo yr holl genedl yn ei dwy gangen.

Adn. 2. *Cymerwch eiriau gyda chwi*] 'Y mae y proffwyd yma yn rhoddi iddynt *ffurf* dra phriodol o gyffesiad, deisyfiad, a gweddi, i'w harferyd ar eu hedifeirwch a'u dychweliad. Cynwys, mewn sylwedd, Cyffeswch eich pechodau, erfyniwch am faddeuant, ac addewwch ddiwygio.'—*Benson.* Fel pe dywedasai, 'A gallwch fod yn sicr eich bod yn gweddio yn iawn, pan yn arferyd y geiriau a roddodd Duw ei hun yn eich geneuau. Ar y tir hwn y mae nerth yn NGWEDDI'R ARGLWYDD, pan yn cael ei hoffrwm i fyny yn grediniol, tuhwnt i ddim a ellir ei gael mewn unrhyw gyfansoddiad dynol. A gellir meddwl mai yr ystyriaeth hon a dueddodd ein *diwygwyr* i'w dwyn hi i mewn mor *fynych* i'r wasanaeth gyhoeddus.'—*Clarke.* *A dychwelwch at yr Arglwydd*—mewn calon a buchedd, mewn ffydd, cariad, a gwirionedd, heb yr hyn ni fydd eich cyffesiadau a'ch gweddiau o ddim lles. *Dywedwch wrtho, Maddeu yr holl anwiredd*—a gyflawnasom mewn meddwl, gair, a gweithred; ein pechodau gommeddol a gweithredol. *Derbyn ni yn ddaionus*—i'th gymeradwyaeth a'th ffafr, i'th amddiffyniad a than dy arweiniad. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'Derbyn y daioni,' sef y daioni a all fod ynom ni ar ol cael ein santeiddio gan dy Ysbryd, a'n galluogi i rodio er dy glod. Neu, fel y gellir ei gyfieithu, 'Dyro i ni ddaioni,' sef y bendithion a'r grasau angenrheidiol i ni yn ein cyflwr presenol. *A thalwn i'r loi ein gwefusau*—sef yr ebyrth hyny o fawl a diolchgarwch a draethir â'r gwefusau. Wrth alw ein defosiynau llafar yn 'lloi' neu 'fustych,' danghosir fod y ffurf hon wedi ei bwriadu erbyn yr amserau hyny pryd y byddai i'r aberthau anifeilaidd gael eu diddymu, ac y byddai i weddi, mawl, a diolchgarwch fod yr unig offrymau a delir genym ni i Dduw.

Adn. 3. *Ni all Assur ein hachub ni*] Neu yr Assyriaid, at y rhai y cyrchai Israel yn fynych am gynorthwy rhag eu gelynion. *Ni farchogwn ar feirch*—ni cheisiwn gymhorth meirch-filwyr yr Aifft, fel y gwnaethom lawer gwaith cyn hyn. *Ac ni ddywedwn mwyach wrth waith ein dwylaw, O ein duwiau!*—hyny yw, nid ymddiriedwn mwyach yn y duwiau gau a wnaethom â'n dwylaw. *O herwydd ynot ti*—ac ynot ti yn unig, *y caiff yr amddifad drugaredd*—ac nid mewn dynion nac eilunod.

Adn. 4. *Meddyginiaethaf eu hymchweliad hwynt*] Neu eu 'gwrthgiliad,' trwy symud yr euogrwydd o hono, a dileu eu tueddfryd ato. *Caraf hwynt yn rhad*—o'm gras, a'm ffafr, a'm haelioni fy hun yn unig, heb ddim ynddynt hwy yn teilyngu hyny. *Canys trôdd fy nig oddiwrtho*—ar ei waith ef yn ymchwelyd mewn edifeirwch ataf fi. Hon yw addewid rasol Duw i annog Israel i ddychwelyd ato ef yn ol y cyfarwyddyd yn adn. 2, 3.

Adn. 5. *Byddaf fel gwlith i Israel*] I'w hadfywio, eu maethu, a'u ffrwythloni, fel y gwna disgyniad gwlith ar yr egin grawn mewn tir sych a chrasboeth. *Efe a flodeua fel y lili*—yn hardd a pheraroglaidd. Dywed naturiaethwyr nad yw y lili gwŷn yn adnabyddus yn Palestina, ac mai at ryw flodau amryliw a pheraroglaidd y cyfeirir yma: gwel ar Mat. vi. 29. *Ac a leda ei wraidd megys Libanus*—megys cedrwydd Libanus, y rhai a dyfant yno i faintioli mawr. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y 'byddant wedi gwreiddio mor gadarn a diysgog a sylfaeni mynydd Libanus.'

6 Ei geinciau a gerddant, a bydd
ei degwch fel yr olewwydden, a'i
arogl fel Libanus.
7 Y rhai a arhosant dan ei gys-
god ef a ddychwelant: adfywiant
*fel* ŷd, blodeuant hefyd fel y win-
wydden: *bydd* ei goffadwriaeth fel
gwin Libanus.
8 Ephraim *a ddywed*, Beth *sydd*
i mi mwyach *a wnelwyf* âg eilunod?
gwrandewais, ac edrychais arno:
myfi *sydd* fel ffynidwydden îr; o
honof fi y ceir dy ffrwyth di.
9 Pwy *sydd* ddoeth, ac efe a
ddeall hyn? *a* deallgar, ac efe a'i
gwybydd? canys uniawn *yw* ffyrdd
yr Arglwydd, a'r rhai cyfiawn a
rodiant ynddynt: ond y troseddwyr
a dramgwyddant ynddynt.

---

Adn. 6. *Ei geinciau a gerddant*] A ledant, a amlhant, ac a gryfhant fel ceinciau y gedrwydden; *a bydd ei degwch fel yr olewwydden*—yn arbosol fel gwyrddlesni yr olewwydden, yr hon sydd yn iraidd a thirf hyd yn nod yn y gauaf: *a'i arogl fel Libanus*—fel arogl mynydd Libanus, yr hwn sydd yn orchuddedig âg amrywiol lysiau, blodau, a phrenau tra pheraroglaidd. Ymddengys mai llwyddiant cyflym yr eglwys a osodir allan yma, yn nghyda ffrwythlondeb dymunol gwir Israel Duw hyd yn nod yn nghanol gauaf o gystudd a phrofedigaethau, nes peri i berarogledd eu grasau a'u doniau ysbrydol iachâu awyrgylch moesol y byd.

Adn. 7. *Y rhai a arhosant dan ei gysgod ef*] Dan gysgod yr Hollalluog, neu y Messia, yn ol rhai: neu, yn hytrach, dan gysgod y pren cauadfrig a ddarluniwyd uchod, sef eglwys Dduw; *a ddychwelant*—i'w cyflwr gwreiddiol o ddiogelwch a dedwyddwch. *Adfywiant fel ŷd*—yr hwn a fuasai yn gorwedd yn farw yn y ddaear am beth amser ar ol ei hau: gwel ar Ioan xii. 24, 1 Cor. xv. 36. *Blodeuant hefyd fel y winwydden*—yr hon a ymddangosasai fel yn farw yn ystod y gauaf. *Bydd ei goffadwriaeth fel gwin Libanus*—yr hwn sydd yn dra melys, pereidd, a dymunol.

Adn. 8. *Ephraim a ddywed*] Ar ol ei ddychweliad at Dduw; *Beth sydd i mi mwyach a wnelwyf âg eilunod?*—fel pe dywedasai, Er i mi unwaith ymgysylltu â hwy, pen. iv. 7, eto yr wyf yn awr wedi cefnu arnynt am byth. Dealla rhai y geiriau uchod fel cyffes Ephraim wrth Dduw, a'r geiriau canlynol fel atebiad Duw iddynt. *Gwrandewais*—ar gyffes edifeiriol Ephraim; *ac edrychais arno*—â golwg o drugaredd neu hoffder. *Myfi sydd fel ffynidwydden îr*—yn gysgod a diogelwch iddo haf a gauaf; neu, yn ol darlleniad *Newcome*, 'Gwrandewis ef, ac edrychais arno fel ffynidwydden îr.' *O honof fi y ceir dy ffrwyth di*—y mae yr holl ddaioni sydd ynot wedi deilliaw o honof fi: nid yn unig dy edifeirwch a'th ddychweliad, ond hefyd dy ffydd, a'th gariad, a'r holl ffrwythau o santeiddrwydd trwy y rhai y'm gogoneddi. Ond trwy nad yw yr ymadrodd 'a ddywed' yn y wreiddiol, y mae *Horsley* yn deall yr holl adnod fel geiriau Duw, neu ei ymorfoleddiad ef ar yr eilunod: ac yn ei chyfieithu, 'Ephraim! beth sydd i mi mwyach a wnelwyf âg eilunod?' Fel pe dywedasai, Trwy dy fod di, Ephraim, wedi cefnu arnynt, nid oes genyf fi mwyach ddim achos i ymryson â hwy, trwy eu bod hwy wedi cael eu llwyr adael, a bod fy Nuwdod inau wedi cael ei gyfaddef.

Adn. 9. *Pwy sydd ddoeth, ac efe a ddeall hyn*] Sef y pethau a driniwyd yn y llyfr hwn, ac yn enwedig yn y bennod hon? *a deallgar, ac efe a'i gwybydd?*—hyny yw, pwy sydd mor ddoeth a deallgar fel ag i'w deall a'u gwybod? neu, pwy bynag sydd yn ymarferol ddoeth a deallgar, efe a gaiff eu deall a'u gwybod. *Canys uniawn yw ffyrdd yr Arglwydd*—y rhai y mynai efe i ni rodio ynddynt, sef ffyrdd cyfiawnder, neu ffyrdd ei orchymynion a'i addoliad ef. *A'r rhai cyfiawn a rodiant ynddynt*—yn ddigwymp hyd y diwedd, sef y rhai a barhant i ddylyn cyfiawnder: *ond y troseddwyr a dramgwyddant ynddynt*—neu 'a gwympant ynddynt,' hyd yn nod yn ffyrdd *cyfiawnder*, sef pob un a drosedda orchymynion yr Arglwydd yn wirfoddol, ar ol bod unwaith yn ufyddhau iddynt. Felly y dywed yr apostol, 'Canys os o'n gwirfodd y pechwn, ar ol derbyn gwybodaeth y gwirionedd, nid oes aberth dros bechodau wedi ei adael mwyach,' &c., Heb. x. 26, 27. 'Canys gwell fuasai iddynt fod heb adnabod ffordd cyfiawnder, nag, wedi ei hadnabod, troi oddiwrth y gorchymyn santaidd yr hwn a draddodwyd iddynt:' gwel ar 2 Pedr ii. 21, 22.

---

# LLYFR Y PROFFWYD JOEL.

---

Ystyr yr enw Joel yw, 'ei Dduw yw Jehofa.' Enw ei dad oedd *Pethuel*, yr hwn y tybia Epiphanes ei fod o lwyth *Reuben*. Modd bynag, y mae yn dra thebyg mai yn *Juda* yr oedd yn proffwydo. Y mae gwahanol farnau o berthynas i'r amser yr oedd yn proffwydo. Tybia *Jerome* ac ereill ei fod yn byw yn amser Uzziah brenin Juda, a Jeroboam yr ail, brenin Is-

rael; barna *Calmet* ac ereill ei fod yn byw yn amser Josia; tybia *Kimchi* ac ereill mai yn amser Joram; tra y tybia *Jarchi*, *Newcome*, *Clarke*, ac ereill, mai yn amser Manasseh yr oedd yn byw, sef cyn dychweliad y brenin hwnw.—(1) Y mae y proffwyd, o herwydd y newyn trwm a achoswyd gan y lindys, y ceiliog rhedyn, pryf y rhwd, a'r locust, yn galw ar y genedl i edifarhau mewn ympryd a gweddi, pen. i. (2) Y mae yn rhagfynegu dinystr gwaeth trwy yr un offerynau; yn galw ar y bobl i edifarhau, gan addaw adferiad iddynt; ac yn rhagfynegu tywalltiad cyffredinol yr Ysbryd Glân yn y dyddiau diweddaf, pen. ii. (3) Yn cyhoeddi barnedigaethau Duw ar elynion ei bobl, a dedwyddwch Israel ysbrydol Duw yn Seion, pen. iii.—Ystyrir hwn yn un o'r cyfansoddiadau godidocaf yn y byd, yn enwedig y ddwy bennod flaenaf. Y mae yn llawn nerth, teimlad, ac ardduniant y farddoniaeth buraf; er fod rhai rhanau o hono yn dra aneglur ar gyfrif natur ei destynau.

## PENNOD I.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a
ddaeth at Joel fab Pethuel.
2 Gwrandewch hyn, chwi henur-
iaid; a rhoddwch glust, holl drig-
olion y wlad: a fu hyn yn eich
dyddiau, neu yn nyddiau eich
tadau?
3 Mynegwch hyn i'ch plant, a'ch
plant i'w plant hwythau, a'u plant
hwythau i genhedlaeth arall.
4 Gweddill y lindys a fwytaodd
y ceiliog rhedyn, a gweddill y ceil-
iog rhedyn a ddifaodd pryf y rhwd,
a gweddill pryf y rhwd a ysodd y
locust.
5 Deffrowch, feddwyr, ac ŵyl-
wch; ac udwch, holl yfwyr gwin,
am y gwin newydd; canys torwyd
ef oddiwrth eich min.
6 O herwydd cenhedlaeth gref
annifeiriol a ddaeth i fyny ar fy
nhir; dannedd llew *yw* ei dannedd,
a childdannedd hen lew *sydd* iddi.
7 Gosododd fy ngwinwydden yn
ddifrod, a'm ffigysbren a ddirisgl-
iodd: gan ddynoethi dynoethodd hi,
a thaflodd *hi* ymaith: ei changau a
wŷnasant.

PEN. I. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Joel fab Pethuel*] Y mae yn eglur oddiyma fod Joel yn wir broffwyd i'r Arglwydd, yr un modd ag Esay, Jeremi, Ezeciel, &c., y rhai oll a draethent i'r bobl yr hyn a glywsent gan yr Arglwydd.

Adn. 2. *Gwrandewch hyn, chwi henuriaid*] Saes, 'chwi hen wŷr,' y rhai a welsoch ac a glywsoch lawer o bethau; *a rhoddwch glust, holl drigolion y wlad*—yn ieuanc ac yn hen. *A fu hyn yn eich dyddiau, neu yn nyddiau eich tadau?*—a glywodd neb o honoch erioed am y fath adfyd a'r hwn yr wyf fi yn awr yn myned i'w draethu?

Adn. 3. *Mynegwch hyn i'ch plant*] Fel y gallont hwythau ei fynegu i'ch ŵyrion, a'r ŵyrion hyny i genedlaethau ereill yn olynol.

Adn. 4. *Gweddill y lindys*] Sef yr hyn a weddillwyd gan y lindys heb ei ddifa; *a fwytaodd y ceiliog rhedyn*—neu a *fwyty* y ceiliog rhedyn; canys cyfeirio y mae y proffwyd yn y bennod hon at yr hyn a fyddai, ac nid at yr hyn a fu. *A gweddill y ceiliog rhedyn a ddifaodd pryf y rhwd, &c.*—tybia *Bochart* fod y pedwar gair Hebreig a ddefnyddir yma yn cyfeirio at bedwar math o locustiaid; a thybia *Clarke* fod y pedwar enw hyn yn arwyddo y locust yn ei bedwar cyflwr, o'r milrith hyd y locust yn ei lawn dwf: gwel ar adn. 7.

Adn. 5. *Deffrowch, feddwyr, ac ŵylwch*] Ymddengys fod meddwdod yn bechod cyffredin yn Juda y pryd hyn; *ac udwch, holl yfwyr gwin, am y gwin newydd*—yr hwn ni cheid rai blynyddau ar ol i'r locustiaid ddisgyn ar y gwinwŷdd: *canys torwyd ef oddiwrth eich min*—neu oddiwrth eich genau, trwy y pla hwn.

Adn. 6. *O herwydd cenhedlaeth gref annifeiriol a ddaeth i fyny ar fy nhir*] Felly y gelwir yr haid o locustiaid a ddisgynent ar wlad Juda: *dannedd llew yw ei dannedd*—yn tori ac yn difa pob peth o'u blaen.

Adn. 7. *Gosododd fy ngwinwydden yn ddifrod, a'm ffigysbren a ddirisgliodd*] Dywed *Pliny* ac ereill fod y locustiaid nid yn unig yn bwyta y dail a'r ffrwythau, ond hefyd rhisgl y coed, gan adael y canghenau yn wŷnion ar eu hol. Tybia rhai fod hon yn broffwydoliaeth *ddyblyg*, yn cyfeirio hefyd at ddinystr yr Iuddewon gan y Caldeaid; a bod y pedwar math o locustiaid a enwyd uchod yn cyfeirio at y pedwar ymosodiad gwahanol a wnaed ar Judea ganddynt hwy: y *cyntaf*, yn y flwyddyn olaf i Nabonassar, tad Nebuchodonosor, yr hon oedd y drydedd i Jehoiacim; yr *ail*, pan gymerwyd Jehoiacim yn garcharor yn yr unfed flwyddyn ar ddeg o'i deyrnasiad; y *trydydd*, yn y nawfed flwyddyn i Zedeciah; a'r *pedwarydd*, yn mhen tair blynedd wedi hyny, pryd y dinystriwyd Jerusalem gan Nebuchodonosor. Dywed ereill eu bod yn arwyddo y *pedwar gallu* a fuont yn elynion i'r Iuddewon: (1) Y *lindys*, yr Assyriaid a'r Caldeaid; (2) Y *ceiliog rhedyn*, y Mediaid a'r Persiaid; (3) *Pryf y rhwd*, y Groegiaid, ac yn enwedig Antiochus Epiphanes; (4) Y *locust*, y Rhufeiniaid. Y mae ereill yn eu deall am bedwar *brenin*, sef Tiglath-pileser, Salmaneser, Senacherib, a Nebuchodonosor. Ond y mae yn debycach mai at ddifrod y locustiaid yn unig y cyfeirir yn y bennod hon a'r nesaf.

8 ¶ Uda fel gwyryf wedi ym-
wregysu *mewn* sach-lian am briod
ei hieuenctid.
9 Torwyd oddiwrth dŷ yr Ar-
glwydd yr offrwm bwyd, a'r offrwm
diod: y mae yr offeiriaid, gweini-
dogion yr Arglwydd, yn galaru.
10 Difrodwyd y maes, y ddaear a
alara; canys gwnaethpwyd difrod
ar yr ŷd: sychodd y gwin newydd,
llesgaodd yr olew.
11 Cywilyddiwch, y llafurwyr;
udwch, y gwinwyddwyr, am y
gwenith, ac am yr haidd: canys
darfu am gynauaf y maes.
12 Gwywodd y winwydden, llesg-
aodd y ffigysbren, y pren pomgran-
ad, y balmwydden hefyd, a'r afallen,
*a* holl brenau y maes a wywasant;
am wywo llawenydd oddiwrth feib-
ion dynion.
13 Ymwregyswch a griddfenwch,
chwi offeiriaid; udwch, weinidogion
yr allor; deuwch, weinidogion fy
Nuw, gorweddwch ar hyd y nos
mewn sach-lian: canys attelir oddi-
wrth dŷ eich Duw yr offrwm bwyd,
a'r offrwm diod.
14 ¶ Cysegrwch ympryd, gel-
wch gymanfa, cesglwch yr henur-
iaid, *a* holl drigolion y wlad, i dŷ
yr Arglwydd eich Duw, a gwaedd-
wch ar yr Arglwydd;
15 Och o'r diwrnod! canys dydd
yr Arglwydd *sydd* yn agos, ac fel
difrod oddiwrth yr Hollalluog y
daw.
16 Oni thorwyd yn ngwydd ein
llygaid ni oddiwrth dŷ ein Duw, y
bwyd, y llawenydd, a'r digrifwch?
17 Pydrodd yr hadau dan eu
priddellau, yr ysguboriau a an-
rheithiwyd, yr ŷdlanau a fwriwyd i
lawr; canys yr ŷd a wywodd.
18 O! o'r griddfan y mae yr ani-
feiliaid! y mae yn gyfyng ar y
minteioedd gwartheg, am nad *oes*
borfa iddynt; y deadellau defaid
a anrheithiwyd.
19 Arnat ti, Arglwydd, y llefaf;

---

Adn. 8. *Uda fel gwyryf*] A fyddo wedi ei dyweddïo i ŵr; *am briod ei hieuenctid*—yr hwn a fuasai farw cyn eu dyfod hwy yn nghyd fel gŵr a gwraig. Ar y fath achos gwisgai hi *sach-lian*, yn arwydd o alar: gwna dithau felly.

Adn. 9, 10. *Torwyd oddiwrth dŷ yr Arglwydd yr offrwm bwyd, a'r offrwm diod*] Trwy i'r locustiaid ddifrodi yr egin a'r ffrwythau, y maesydd a'r gwinllanoedd. *Y mae yr offeiriaid, gweinidogion yr Arglwydd, yn galaru*—am na fedrant ddwyn yn mlaen wasanaeth ddyddiol y cysegr yn ol y gyfraith, Lef. ii. 1—10, Num. xxviii. 7, 8.

Adn. 11, 12. *Cywilyddiwch, y llafurwyr; udwch, y gwinwyddwyr*] Wrth ystyried na bu eich medrusrwydd a'ch diwydrwydd yn trin y maesydd a'r gwinllanoedd yn ddigonol i ragflaenu y trychineb hwn, ac wrth feddwl mai eich pechodau eich hunain a ddygodd y farn hon arnoch. *Am wywo llawenydd oddiwrth feibion dynion*—sef y llawenydd a gaent yn amser y cynauaf.

Adn. 13. *Ymwregyswch a griddfenwch, chwi offeiriaid*] Y rhai a arferech offrymu yr offrwm bwyd a'r offrwm diod: *udwch, weinidogion yr allor*—mewn gofid a griddfan o flaen yr allor: *deuwch, weinidogion fy Nuw, gorweddwch ar hyd y nos mewn sach-lian*—mewn ymostyngiad a galar, yn lle bod yn canu y salmau ag yr arferech eu canu: *canys attelir oddiwrth dŷ eich Duw yr offrwm bwyd a'r offrwm diod*—bydd i'r difrod hwn attal i Dduw gael ei offrymau, ac i chwithau gael eich cynaliaeth.

Adn. 14. *Cysegrwch ympryd, gelwch gymanfa*] Neillduwch amser penodol i ymattal oddiwrth orchwylion tymhorol a phob mwynniant naturiol; *cesglwch yr henuriaid, a holl drigolion y wlad, i dŷ yr Arglwydd*—i gyffesu yno eich pechodau, ac i ymostwng ger ei fron ef; *a gwaeddwch ar yr Arglwydd*—am iddo droi ymaith y farn hon oddiwrthych.

Adn. 15. *Och o'r diwrnod!*] Neu, gwae ni o'i herwydd! Y mae y LXX, y *Vulgate*, a'r *Arabaeg*, yn treblu y gair: "Och, och, och o'r diwrnod!" *Canys dydd yr Arglwydd sydd yn agos*—y mae y trychineb hwn yn ein hymyl. *Ac fel difrod oddiwrth yr Hollalluog y daw*—yr hwn sydd anfeidrol mewn gallu, ac ofnadwy yn ei ddialedd cyfiawn.

Adn. 16. *Oni thorwyd yn ngwydd ein llygaid ni oddiwrth dŷ ein Duw*] Y mae y proffwyd yn llefaru yma fel pe buasai y farn eisioes wedi dechreu, i ddangos y sicrwydd o honi; *y bwyd, y llawenydd, a'r digrifwch*—yr arferem eu cael? Gan fod y cynauaf wedi methu, ni allai y bobl ddwyn eu bwyd-offrymau i'r deml, na chynal eu gwyliau gosodedig mewn llawenydd a sirioldeb.

Adn. 17. *Pydrodd yr hadau dan eu priddellau*] Gan sychder a gwres, neu trwy i'r locustiaid ddifa y blagur hyd y gwraidd; *yr ysguboriau a anrheithiwyd*—fel nad oes ynddynt hen ystôr; *yr ŷdlanau a fwriwyd i lawr*—neu a adawyd i ddadfeilio, am nad oes ŷd i'w gywain iddynt mwyach.

Adn. 18. *O! o'r griddfan y mae yr anifeiliaid*] Am nad oes iddynt wellt i'w bori, na dwfr i'w yfed, adn. 20. Yr oedd y gwartheg a'r defaid yn dyoddef o herwydd pechodau dynion: a thrwy eu griddfanau a'u brefiadau adgofient i ddynion eu pechodau.

Adn. 19. *Arnat ti, Arglwydd, y llefaf*] Ar

canys y tân a ddifaodd borfeydd yr
anialwch, y fflam a oddeithiodd holl
brenau y maes.
20 Anifeiliaid y maes hefyd sydd
yn brefu arnat; canys sychodd y
ffrydiau dwfr, a'r tân a ysodd bor-
feydd yr anialwch.

## PENNOD II.

CENWCH yr udgorn yn Seion, a
bloeddiwch ar fynydd fy sant-
eiddrwydd: dychryned holl bres-
wylwyr y wlad; canys daeth dydd
yr Arglwydd, canys *y mae* yn agos.
2 Diwrnod tywyll dû, diwrnod
cymylog a niwlog, fel y wawr wedi
ymwasgaru ar y mynyddoedd: pobl
fawr a chryfion, ni bu eu bath er-
ioed, ac ni bydd eilwaith ar eu hol,
hyd flynyddoedd cenhedlaeth a
chenhedlaeth.
3 O'u blaen y difa y tân, ac ar eu
hol y fflam; *y mae* y wlad o'u blaen
fel gardd baradwys, ac ar eu hol yn
ddiffaethwch anrheithiedig; a hef-
yd ni ddianc dim ganddynt.
4 Yr olwg arnynt *sydd* megys
golwg o feirch; ac fel marchogion,
felly y rhedant.
5 Megys sŵn cerbydau ar benau
y mynyddoedd y llamant, fel swn
tân ysol yn difa y sofl, *ac* fel pobl
gryfion wedi ymosod i ryfel.
6 O'u blaen yr ofna y bobl, pob
wyneb a gasgl barddu.
7 Rhedant fel glewion, dringant
y mur fel rhyfelwyr, a cherddant
bob un yn ei ffordd ei hun, ac ni
ŵyrant oddiar eu llwybrau.

---

ol i'r proffwyd annog yr offeiriaid a'r bobl i waeddi ar yr Arglwydd, y mae yntau ei hun yma yn cyduno a hwynt i lefain arno, gan mor fawr oedd eu trueni. *Canys y tân a ddifaodd borfeydd yr anialwch*—hyny yw, y locustiaid fel tân; *a'r fflam a oddeithiodd holl brenau y maes*—fel nad oes arnynt na ffrwyth, na dail, na rhisgl, adn. 12. Yn gyffredin yr oedd sychder a gwres mawr yn rhagflaenu dyfodiad y locustiaid, a gall fod yma gyfeiriad at hyny.

Adn. 20. *Anifeiliaid y maes hefyd sydd yn brefu arnat*] Sydd yn cyduno â dynion i lefain arnat yn eu hiaith: *canys sychodd y ffrydiau dwfr*—fel nad oes ganddynt ddim i dori eu syched; *a'r tân*—sef gwres mawr, a'r locustiaid ar ol y gwres, *a ysodd borfeydd yr anialwch*—fel nad oes ganddynt ddim i dori eu newyn!

PEN. II. Adn. 1. *Cenwch yr udgorn yn Seion*] Cawi offeiriaid; *a bloeddiwch ar fynydd fy santeiddrwydd*—i alw y bobl yn nghyd i'r deml, i ymprydio, ŵylo, a gweddio. *Dychryned holl breswylwyr y wlad*—rhag y locustiaid hyn, megys rhag y gelynion crytaf. *Canys daeth dydd yr Arglwydd*—neu, y mae y dydd hwnw 'yn agos,' pryd yr ymwêl yr Arglwydd â'r wlad yn ei farnedigaethau.

Adn. 2. *Diwrnod tywyll dû, diwrnod cymylog a niwlog*] Yn cael ei achosi gan gwmwl o locustiaid yn tywyllu yr haul ganol dydd. Dywed *Aloysius* i gwmwl o locustiaid 'dywyllu yr haul am ddeuddeng milldir;' a *Mr. Barrow*, wrth son am eu difrod yn neheubarth Affrica, a ddywed i 'ddwy fil o filldiroedd ysgwâr gael eu llwyr orchuddio ganddynt:' gwel ar Exod. x. 5. *Fel y wawr wedi ymwasgaru ar y mynyddoedd*—neu 'fel y cyfnos,' neu 'gaddug yr hwyr,' yn ol *Newcome*, *Horsley*, a *Boothroyd*, yr hwn sydd yn ymestyn dros yr holl wlad. *Pobl fawr a chryfion*—felly y gelwir y locustiaid, am eu bod fel byddin fawr wedi dyfod yn mlaen i ddystrywio y wlad. *Ni bu eu bath erioed, ac ni bydd eilwaith ar eu hol*— ymadrodd diarebol, yn arwyddo eu dirfawr nerth a'u lluosogrwydd. Dywedir yr un peth am locustiaid yr Aifft, Exod. x. 14.

Adn. 3. *O'u blaen y difa y tân, ac ar eu hol y fflam*] Hyny yw, y maent yn difa gwyneb y ddaear, yn ol ac yn mlaen, fel pe buasai wedi ei ysu gan dân fflamllyd. *Y mae y wlad o'u blaen fel gardd baradwys*—yn llawn llysiau, blodau, a ffrwythydd; *ac ar eu hol yn ddiffaethwch anrheithiedig*—lle y mae y cwbl wedi ei ddifa: *a hefyd ni ddianc dim ganddynt*—a dyfo o'r ddaear.

Adn. 4. *Yr olwg arnynt sydd megys golwg o feirch*] O ran eu cyflymdra, a llun eu penau; *ac fel marchogion, felly y rhedant*—sef fel byddin o wŷr meirch yn prysuro i'r frwydr. Sylwa *Bochart*, ar ol ysgrifenydd Arabaidd, fod y locust yn debyg i ddeg math o anifeiliaid: (1) Y *march* yn ei ben; (2) Y *cawrfil* yn ei lygaid; (3) Y *tarw* yn ei wddf: (4) Yr *hŷdd* yn ei gyrn; (5) Y *llew* yn ei fynwes; (6) Yr *ysgorpion* yn ei fol; (7) Yr *eryr* yn ei adenydd; (8) Y *camel* yn ei forddwydydd; (9) Yr *estrys* yn ei draed; (10) A'r *sarff* yn ei gynffon.

Adn. 5. *Megys swn cerbydau, &c.*] Y mae eu swn, wrth lamu ar y mynyddoedd, yn gyffelyb i swn cerbydau yn gyru ar ffrwst; *fel swn tân ysol yn difa y sofl*—gan glecian wrth ddifa; *ac fel pobl gryfion wedi ymosod i ryfel*—y mae eu swn fel rhugl-drystiad byddin arfog yn myned i faes y frwydr.

Adn. 6. *O'u blaen yr ofna y bobl*] Wrth eu gweled yn dynesu: *pob wyneb a gasgl barddu*—a ddua gan ofn.

Adn 7. *Rhedant fel glewion*] Yn eofn a nerthol: *dringant y mur fel rhyfelwyr*—i fyned i mewn i'r ddinas; *a cherddant bob un yn ei ffordd ei hun*—heb gael eu dychrynu gan ddim i ŵyro oddiar eu llwybrau.

Adn. 8. *Ni wthiant y naill y llall*] Trwy

8 Ni wthiant y naill y llall;
cerddant bob un yn ei lwybr ei hun:
ac er eu syrthio ar y cleddyf, nid
archollir hwynt.
9 Gwibiant ar hyd y ddinas;
rhedant ar y mur, dringant i'r tai;
ânt i mewn trwy y ffenestri fel
lleidr.
10 O'u blaen y cryn y ddaear, y
nefoedd a gynhyrfir; yr haul a'r
lleuad a dywyllir, a'r ser a attaliant
eu llewyrch.
11 A'r Arglwydd a rydd ei lef o
flaen ei lu: canys mawr iawn *yw* ei
wersyll ef: canys cryf *yw* yr hwn
sydd yn gwneuthur ei air ef: o her-
wydd mawr *yw* dydd yr Arglwydd,
ac ofnadwy iawn; a phwy a'i herys?
12 ¶ Ond yr awr hon medd yr
Arglwydd, Dychwelwch ataf fi â'ch
holl galon, âg ympryd hefyd, ac âg
ŵylofain, ac â galar.
13 A rhwygwch eich calon, ac nid
eich dillad; ac ymchwelwch at yr
Arglwydd eich Duw: o herwydd
graslawn a thrugarog *yw* efe, hwyr-
frydig i ddigofaint, a mawr ei dru-
garedd, ac edifeiriol am ddrwg.
14 Pwy a ŵyr a dry efe, ac edifar-
hau, a gweddill bendith ar ei ol,
sef bwyd-offrwm a diod-offrwm i'r
Arglwydd eich Duw?

---

fyned ar draws eu gilydd yn afreolaidd: *cerddant bob un ei lwybr ei hun*—mor drefnus a byddin wedi ei hiawn ddysgyblu: *ac er eu syrthio ar y cleddyf, nid archollir hwynt*—hyny yw, nid ellir eu hattal, eu gorchfygu, na'u lladd trwy unrhyw foddion. Tybia rhai fod yma gyfeiriad at y cèn â pha un y gwisgir y locust, fel pe byddai mewn llurig emawg: gwel ar 1 Sam. xvii. 5.

Adn. 9. *Gwibiant ar hyd y ddinas*] Ar ol dringo y mur i fyned i mewn iddi, adn. 7; *rhedant ar y mur*—rheda ereill o honynt ar y mur, fel pe byddent yn chwilio am y lle mwyaf manteisiol i ddisgyn; *dringant i'r tai*—ânt i mewn i'r ystafelloedd trwy y ffenestri fel lladron.

Adn. 10. *O'u blaen y cryn y ddaear*] Wrth weled ei llysiau yn cael eu difa ganddynt; *y nefoedd a gynhyrfir*—wrth ganfod ei goleuadau yn cael eu tywyllu ganddynt. Hon sydd iaith farddonol brydferth, yn gosod allan y terfysg a'r trallod mwyaf. *Yr haul a'r lleuad a dywyllir, a'r ser a attaliant eu llewyrch*—yr hyn a gyflawnir yn llythyrenol pan fyddo y locustiaid yn ymgodi fel cwmwl i'r awyr: gwel ar adn. 2. Ond tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at ddychryn a chynhwrf penaethiaid yr eglwys a'r wladwriaeth.

Adn. 11. *A'r Arglwydd a rydd ei lef o flaen ei lu*] I lywodraethu eu symudiadau hwy: *canys mawr iawn yw ei wersyll ef*—y mae nifer ei offerynau ef yn aneirif: *canys cryf yw yr hwn sydd yn gwneuthur ei air ef*—y mae pob un sydd yn ufyddhau iddo ef, pa mor ddistadl bynag ynddo ei hun, yn cael ei wisgo â nerth anorchfygol i wneuthur ei ewyllys ef. *O herwydd mawr yw dydd yr Arglwydd, ac ofnadwy iawn*—sef dydd ei ddigofaint cyfiawn ef yn erbyn ei elynion; *a phwy a'i herys*—neu a all ei oddef? Tybia rhai fod yn y geiriau hyn gyfeiriad hefyd at ddinystr y wlad trwy luoedd y Caldeaid: ond gwel ar adn. 25, &c.

Adn. 12. *Ond yr awr hon medd yr Arglwydd*] Cyn i'r barnedigaethau uchod eich goddiweddyd; *Dychwelwch ataf fi â'ch holl galon*—yn gywir a diragrith: *ag ympryd hefyd, ac âg ŵylofain, ac â galar*—gydag arwyddion allanol o'ch gwir ofid mewnol.

Adn. 13. *A rhwygwch eich calon, ac nid eich dillad*] Yn unig. Yr oedd rhwygo y dillad yn arferiad gan yr Iuddewon ac ereill ar amserau o alar mawr, Gen. xxxvii. 29, 34, 2 Sam. i. 11. Ezra ix. 3, Job i. 20, a ii. 12. Nid yw y proffwyd yn gwahardd iddynt rwygo eu *dillad* fel arwydd allanol o alar, eithr eu cynghori y mae i dalu mwy o sylw i rwygiad y *galon*, heb yr hyn ni fuasai yr arwydd allanol o ddim lles yn ngolwg Duw. Y mae yr ysgrifenwyr Hebreig yn fynych yn gosod allan bwysigrwydd y naill beth ragor y llall, trwy eiriau a arddanghosent y gwrthodiad o'r hyn sydd lai pwysig. Felly y darllenwn yn Hos. vi. 6, 'Canys ewyllysiais drugaredd, ac nid aberth;' hyny yw, yn *fwy* nag aberth. *Ac ymchwelwch at yr Arglwydd eich Duw*—sef gyda chalon ddrylliog; canys hòno, ac nid y dillad rhwygedig, sydd yn tynu ei sylw grasol ef. *O herwydd graslawn a thrugarog yw efe*—fel y cyhoeddodd am dano ei hun, Exod. xxxiv. 6, 7; *hwyrfrydig i ddigofaint*—er fod ein haml bechodau ni yn uchel alw am farn; *a mawr ei drugaredd*—i'r rhai oll a ymchwelant ato mewn gwirionedd; *ac edifeiriol am ddrwg*—sef y drwg hwnw a pha un y bygythiodd efe ein cospi. Y mae Duw bob amser yn barod i newid ei fwriad o ddyfetha, pan y gwelo efe y pechadur yn newid ei fwriad o bechu, ac yn foddlon i gael ei achub yn nhrefn Duw: gwel ar Exod. xxxiv. 6, 7.

Adn. 14. *Pwy a ŵyr a dry efe, ac edifarhau*] Am y drwg a fygythiodd i'n herbyn; *a gweddill bendith ar ei ol*—Saes., 'a gadael bendith ar ei ol;' *sef bwyd-offrwm a diod-offrwm i'r Arglwydd eich Duw?*—neu, mewn geiriau ereill, pwy a ŵyr na fydd iddo naill ai attal y farn fygythiedig, neu ynte ysgafnhau ei llymder hi, fel ag i adael gweddill o ffrwythau y ddaear fel bendith iddynt, o'r hwn y gallant gyflwyno offrymau i'r Arglwydd yn ei deml? Y mae y proffwyd yn llefaru fel rhwng gobaith ac ofn, rhag iddo eu llenwi â gormod o sicrwydd ar un llaw, na'u gyru ar y llaw arall, trwy anobaith am faddeuant, i esgeuluso edifeirwch a diwygiad, ac i barhau yn eu pechodau.

15 ¶ Cenwch udgorn yn Seion, cy-
segrwch ympryd, gelwch gymanfa:
16 Cesglwch y bobl; cysegrwch
y gynulleidfa: cynullwch yr henur-
iaid; cesglwch y plant, a'r rhai yn
sugno bronau: deued y priodfab
allan o'i ystafell, a'r briodferch allan
o ystafell ei gwely.
17 Wyled yr offeiriaid, gweini-
dogion yr Arglwydd, rhwng y porth
a'r allor, a dywedant, Arbed dy bobl,
O Arglwydd, ac na ddyro dy eti-
feddiaeth i warth; i lywodraethu
o'r cenhedloedd arnynt: paham y
dywedent yn mhlith y bobloedd,
Pa le *y mae* eu Duw hwynt?
18 ¶ Yna yr Arglwydd a eiddig-
edda am ei dir, ac a arbed ei bobl.
19 A'r Arglwydd a etyb ac a ddy-
wed wrth ei bobl, Wele fi yn anfon
i chwi ŷd, a gwin, ac olew: a di-
wellir chwi o hono: ac ni wnaf chwi
mwyach yn waradwydd yn mysg y
cenhedloedd.
20 Eithr bwriaf yn bell oddiwrth-
ych y gogledd *lu*, a gyraf ef i dir
sych diffaith, a'i wyneb tua môr y
dwyrain, a'i ben ol tua'r môr eithaf:

---

Adn. 15. *Cenwch udgorn yn Seion*] I alw y bobl yn nghyd i geisio yr Arglwydd, ac i ymostwng ger ei fron ef; *cysegrwch ympryd, gelwch gymanfa*—neu, fel y mae *Newcome* yn ei gyfieithu, 'penodwch i chwi ympryd, cyhoeddwch ddydd edmygol:' gwel ar pen. i. 14.

Adn. 16. *Cesglwch y bobl*] O bob gradd ac oedran, hyd yn nod y plant, a'r rhai yn sugno bronau; oblegid gan y rhaid i bawb deimlo effeithiau y farn hon os disgyna, y mae yn addas i bawb ymddangos gerbron Duw. *Cysegrwch y gynulleidfa*—gelwch y bobl i ymbarotoi i ymddangos gerbron Duw, nid yn unig trwy olchi eu cnawd a'u dillad, Exod. xix. 10—15, ond hefyd trwy wir edifarhau am bechu o honynt, a thrwy ymattal oddiwrth fwyniannau a allent fod yn gyfreithlon ar amserau ereill. *Deued y priodfab allan o'i ystafell, a'r briodferch allan o ystafell ei gwely*—hyd yn nod ar ddydd eu priodas, neu yn ystod y wledd briodasol, i gystuddio eu heneidiau gerbron Duw yn ei dŷ.

Adn. 17. *Wyled yr offeiriaid, gweinidogion yr Arglwydd*] Sef ei weinidogion cysegredig ef at wasanaeth y deml. Fel yr oedd yr offeiriaid i aberthu dros y bobl, felly hefyd yr oeddynt i ŵylo a gweddio drostynt. *Rhwng y porth a'r allor*—sef yn nghyntedd yr offeiriaid, rhwng porth y deml ac allor y poethoffrwm, lle y gallai y bobl eu gweled a'u clywed. *A dywedant*—yn ngeiriau y ffurfweddi hon; *Arbed dy bobl, O Arglwydd*—rhag y dinystr bygythiedig; *ac na ddyro dy etifeddiaeth i warth*—fel pe na byddai gan dy bobl Dduw a allai eu harbed; *i lywodraethu o'r cenhedloedd arnynt*—yr hyn y gallant yn hawdd ei wneuthur ar ol i'th bobl gael eu darostwng gan bla y locustiaid. *Paham y dywedent yn mhlith y bobloedd*—neu paham y dywedai y bobloedd wrth eu gilydd, *Pa le y mae eu Duw hwynt*—yr hwn a addawodd eu harbed a'u gwaredu? Prif ddadl yr eiriolaeth hon yw, (1) Perthynas gyfammodol yr Arglwydd â hwy fel ei bobl a'i etifeddiaeth ei hun; (2) A'r gwarth a ddisgynai arnynt hwy ac yntau os nad arbedid hwy.

Adn. 18. *Yna yr Arglwydd*] Ar ol i chwi ymostwng fel hyn mewn gwir edifeirwch ger ei fron ef; *a eiddigedda am ei dir*—lle y mae ei deml a'i addoliad ef; *ac a arbed ei bobl*—rhag difrodiadau y locustiaid.

Adn. 19. *A'r Arglwydd a etyb ac a ddywed wrth ei bobl*] Mewn atebiad i'w gweddiau diffuant hwy; *Wele fi yn anfon i chwi ŷd, a gwin, ac olew*—i fod yn offrymau yn fy nhŷ, ac at eich gwasanaeth a'ch cysur eich hunain: *a diwellir chwi o hono*—cewch arddigonedd o'r holl bethau hyn: *ac ni wnaf chwi mwyach yn waradwydd*—yn destyn gwawd i'r cenhedloedd o'ch amgylch, adn. 17.

Adn. 20. *Eithr bwriaf yn bell oddiwrthych y gogledd lu*] Sef y *locustiaid*, y rhai a allent ddyfod i Judea o'r gogledd, trwy fod amledd mawr o honynt yn *Circassia* a'*Mingrelia*. Tybia rhai mai y *Caldeaid* a feddylir yma, y rhai a ddeuent ar hyd ffordd y gogledd; ond y dyb gyntaf yw y fwyaf rhesymol, ac a dderbynir amlaf: gwel ar adn. 25. *A gyraf ef i dir sych diffaith*—sef i anialwch Arabia, fel y barna rhai, lle nas gall wneuthur nemawr o niwed. *A'i wyneb tua môr y dwyrain*—sef y môr marw, yr hwn oedd o du y dwyrain i Judea: *a'i ben ol tua'r môr eithaf*—sef môrgainc Persia, yn mhellach fyth i'r dwyrain. Y dyb gyffredin yw, mai Môr-y-canoldir a feddylir yma wrth y 'môr eithaf;' ond os felly, rhaid fod llu y locustiaid yn gorwedd ar hyd holl wlad Judea, o Fôr-y canoldir hyd y môr marw; a pha fodd y byddai ef felly wedi ei fwrw yn 'mhell oddiwrthynt,' fel yr addewir yma? *A'i ddrewi a gyfyd*—oddiwrth yr aneirif gelaneddau meirwon hyny; *a'i ddrygsawr a â i fyny*—yr hwn yn fynych a bair heintiau angeuol yn y wlad, fel y profwyd yn helaeth; *am iddo wneuthur mawrhydri*—neu '*er* iddo wneuthur pethau mawrion;' hyny yw, er i'r fyddin hon o drychfilod wneuthur dinystr arswydus yn y wlad trwy oddefiad Duw, eto hwy a ddeuant eu hunain o'r diwedd i'r dinystr hwn. Dywed *Barrow*, wrth son am y locustiaid yn neheubarth Affrica pan y gyrwyd hwynt i'r môr gan wynt gogledd-orllewin, ddarfod i'r tònau daflu eu cyrff yn domenau ar y traeth am fwy na 50 milldir o hyd, ac o dair i bedair troedfedd o drwch; a phan drôdd y gwynt i'r deau-ddwyrain, fod eu sawr gwenwynig mor gryf fel ag y gellid ei arogli 150 o filldiroedd oddiyno! Bu feirw 80,000 o wŷr yn nheyrnas *Massinissa* trwy

a'i ddrewi a gyfyd, a'i ddrygsawr a
â i fyny, am iddo wneuthur mawr-
hydri.
21 ¶ Nac ofna di, ddaear, gorfol-
edda a llawenycha; canys yr Ar-
glwydd a wna fawredd.
22 Nac ofnwch, anifeiliaid y
maes: canys tarddu y mae porfeydd
yr anialwch; canys y pren a ddwg
ei ffrwyth, y ffigysbren a'r winwydd-
en a roddant eu cnwd.
23 Chwithau, plant Seion, gor-
foleddwch, ac ymlawenhewch yn yr
Arglwydd eich Duw; canys efe a
roddes i chwi y cynar-wlaw yn gy-
mhedrol, ac a wna i'r cynar-wlaw
a'r diweddar-wlaw ddisgyn i chwi
yn y *mis* cyntaf.
24 A'r ysguboriau a lenwir o ŷd,
a'r gwin newydd a'r olew a â dros y
llestri.
25 A mi a dalaf i chwi y blynydd-
oedd a ddifaodd y ceiliog rhedyn,
pryf y rhwd, a'r locust, a'r lindys, fy
llu mawr i, yr hwn a anfonais yn
eich plith.
26 Yna y bwytewch, gan fwyta
ac ymddigoni; ac y moliennwch
enw yr Arglwydd eich Duw, yr hwn
a wnaeth â chwi yn rhyfedd: ac ni
waradwyddir fy mhobl byth.
27 A chewch wybod fy *mod* i yn
nghanol Israel, ac *mai* myfi *yw* yr
Arglwydd eich Duw, ac nid *neb*
arall: a'm pobl nis gwaradwyddir
byth.
28 ¶ A bydd ar ol hyny, y ty-
walltaf fy Ysbryd ar bob cnawd,
a'ch meibion a'ch merched a broff-
wydant, eich henuriaid a welant
freuddwydion, eich gwŷr ieuainc a
welant weledigaethau:

---

baint a fagwyd fel hyn: a bu feirw 30,000 yn ngwarchawdlu *Utica*, lle nad achubwyd ond deg yn unig!

Adn. 21. *Nac ofna di, ddaear*] Rhag y locustiaid dychrynllyd hyn; *gorfoledda a llawenycha*—wrth feddwl eu bod oll dan lywodraeth rhagluniaeth Duw: *canys yr Arglwydd a wna fawredd*—wrth eu dinystrio hwynt, neu wrth beri i'r maesydd a'r coed ffrwytho eto.

Adn. 22. *Nac ofnwch, anifeiliaid y maes*] Y gadewir i chwi drengu o newyn; *canys tarddu y mae porfeydd yr anialwch*—ar ol i'r locustiaid gael eu gyru ymaith: *canys y pren a ddwg ei ffrwyth*—fel yn y blynyddoedd gynt.

Adn. 23. *Chwithau, plant Seion, gorfoleddwch ac ymlawenhewch yn yr Arglwydd*] Nid yn y ffrwythlondeb a'r helaethrwydd a roddir i chwi, ond yn y Rhoddwr haelionus o honynt: *canys efe a roddes i chwi y cynar-wlaw yn gymhedrol*—mewn amser dyladwy, ac mewn iawn gyfartalwch; *ac a wna i'r cynar-wlaw a'r diweddar-wlaw*—gwel ar Deut. xi. 14. *ddisgyn i chwi yn y mis cyntaf*—neu 'megys *gynt*.'

Adn. 24. *A'r ysguboriau a lenwir o ŷd*] Er eu bod yn weigion yn y blynyddau o brinder; *a'r gwin newydd a'r olew a â dros y llestri*—gan y llawnder a fydd o honynt.

Adn. 25. *A mi a dalaf i chwi y blynyddoedd a ddifaodd y ceiliog rhedyn, &c.*] Mi a roddaf iawn i chwi am y golled a barodd y locustiaid i chwi yn y blynyddoedd a aethant heibio, trwy eich bendithio â helaethrwydd o bob math o ffrwythau a chnydau: *fy llu mawr i, yr hwn a anfonais yn eich plith*—felly y mae yn amlwg mai am y difrodiadau trwy y locustiaid y sonir yn y ddwy bennod hyn, ac nid am ruthriad y Caldeaid i wlad Judea.

Adn. 26. *Yna y bwytewch*] Hyd ddigonedd; *ac y moliennwch enw yr Arglwydd eich Duw*—am ei aml drugareddau i chwi; *yr hwn a wnaeth â chwi yn rhyfedd*—wrth ddyfetha y locustiaid hyn, ac adferu y wlad i'w ffrwythlondeb arferol: *ac ni waradwyddir fy mhobl byth*—mwyach, fel rhai wedi eu gadael gan eu Duw.

Adn. 27. *A chewch wybod fy mod i yn nghanol Israel*] I'w gwarchodu a'u bendithio: *ac mai myfi yw yr Arglwydd eich Duw*—sef eich Duw cyfammodol; *ac nid neb arall*—fel na fydd raid i chwi gyrchu at un duw arall: *a'm pobl nis gwaradwyddir byth*—gwel ar adn. 26.

Adn. 28. *A bydd ar ol hyny*] Sef yn nyddiau y Messia, fel y mae yr Iuddewon eu hunain yn ei ddeall; *y tywalltaf fy Ysbryd ar bob cnawd*—ar y Cenhedloedd yn gystal a'r Iuddewon, neu ar ddynion o bob gradd, rhyw, ac oedran. Y mae genym awdurdod yr apostol Pedr i gymhwyso y broffwydoliaeth hon at yr hyn a gymerodd le ar ddydd y pentecost, Act. ii. 16—21. Modd bynag, ni ddylem gyfyngu y broffwydoliaeth hon i'r amseroedd boreol hyny; oblegid gan fod llawer o'r proffwydoliaethau i gael eu cyflawni yn raddol, gallwn ddeall hon hefyd fel yn ymestyn dros yr holl oruchwyliaeth Gristionogol, ac i gael ei chyflawni yn arbenig yn nhywalltiad yr Ysbryd Glân ar yr Iuddewon cyn eu tröedigaeth gyffredinol, ac ar bob cnawd yn ystod y milflwyddiant. *A'ch meibion a'ch merched a broffwydant*—a lefarant dan ddwyfol ddylanwad, Act ii. 17; *eich henuriaid a welant freuddwydion*—yn amlygu iddynt ewyllys Duw; *eich gwŷr ieuainc a welant weledigaethau*—yn egluro i'w meddyliau, trwy arddanghosiad dwyfol, ddirgelion teyrnas nefoedd, yn gyfartal i ddim a gawsai y proffwydi gynt. Tybia rhai fod hyn oll yn cyfeirio at ddoniau gwyrthiol yr Ysbryd Glân, y fath ag a roddid i'r proffwydi gynt, ac i swyddogion eglwysig yn yr oes apostolaidd; tra y barna

29 Ac ar y gweision hefyd ac ar y morwynion y tywalltaf fy Ysbryd yn y dyddiau hyny.

30 A gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd; ac yn y ddaear, gwaed, a thân, a cholofnau mŵg.

31 Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed, o flaen dyfod mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd.

32 A bydd yr achubir pob un a alwo ar enw yr Arglwydd; canys bydd ymwared, fel y dywedodd yr Arglwydd, yn mynydd Seion, ac yn Jerusalem, ac yn y gweddillion a alwo yr Arglwydd.

## PENNOD III.

CANYS wele, yn y dyddiau hyny, ac yn yr amser hwnw, pan ddychwelwyf gaethiwed Juda a Jerusalem,

2 Casglaf hefyd yr holl genhedloedd, a dygaf hwynt i waered i ddyffryn Jehosaphat; a dadleuaf â hwynt yno dros fy mhobl, a'm hetifeddiaeth Israel, y rhai a wasgarasant hwy yn mysg y cenhedloedd, a rhanasant fy nhir.

3 Ac ar fy mhobl y bwriasant goelbrenau, a rhoddasant y bachgen

---

ereill mai dylanwadau achubol a santeiddiol yr Ysbryd ar y credinwyr o bob gradd a feddylir yn unig.

Adn. 29. *Ac ar y gweision hefyd ac ar y morwynion*] Sef ar bersonau o'r radd isaf; *y tywalltaf fy Ysbryd yn y dyddiau hyny*—yn ei ddylanwadau achubol, ac weithiau, yn enwedig yn nechread Cristionogaeth, yn ei ddylanwadau a'i ddoniau annghyffredinol.

Adn. 30. *A gwnaf ryfeddodau yn y nefoedd*] Addefir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio at ddinystr Jerusalem a'r deml, ac anrheithiad Judea gan y Rhufeiniaid, yn ol rhagfynegiad ein Hiachawdwr, Mat. xxiv. 29, Luc xxi. 11; *ac yn y ddaear gwaed, a thân, a cholofnau mŵg*—yr hyn a arwydda y byddai i luoedd o ddynion gael eu lladd, a'u dinasoedd gael eu llosgi: gwel ar Act. ii. 19.

Adn. 31. *Yr haul a droir yn dywyllwch, a'r lleuad yn waed*] Gan i'r Iuddewon wrthod y Messia, a dirmygu gweinidogaeth yr Ysbryd Glân yr hon a osodwyd i fyny ganddo ef, byddai i farnedigaethau trymion Duw ddisgyn ar y genedl, trwy yr hyn y llwyr ddymchwelid eu llywodraeth wladol ac eglwysig: gwel ar Math. xxiv. 29. *O flaen dyfod mawr ac ofnadwy ddydd yr Arglwydd*—felly y gelwir dydd dinystr Jerusalem, yr hwn oedd yn gysgod o ddydd y farn ddiweddaf.

Adn. 32. *A bydd yr achubir pob un a alwo ar enw yr Arglwydd*] Neu 'a alwo am achubiaeth *yn* enw yr Arglwydd,' sef yr Arglwydd Iesu Grist; hyny yw, achubir ef rhag dinystr tymhorol a thragwyddol. Cyfeiria hyn yn yr ystyr blaenaf at ddiogelwch y Cristionogion yn amser dinystr Jerusalem, Mat. xxiv. 16; ond y mae yn eglur oddiwrth y defnydd a wna yr apostol o'r geiriau hyn yn Rhuf. x. 13, fod iddynt ystyr llawer eangach. *Canys bydd ymwared, fel y dywedodd yr Arglwydd*—fel yr addawodd efe trwy ei broffwydi; *yn mynydd Seion, ac yn Jerusalem*—sef yn yr eglwys Gristionogol, yr hon a sefydlwyd gyntaf yn Jerusalem, ac a ymdaenodd oddiyno dros ran fawr o'r byd; *ac yn y gweddillion a alwo yr Arglwydd*—neu yn *mysg* y gweddillion a alwo yr Arglwydd i gredu yn Nghrist, a chofleidio ei iachawdwriaeth ef. Wrth y 'gweddillion' hyn y dealla rhai y gweddill duwiolion yn mysg yr Iuddewon, o'r rhai yr hànodd Crist yn ol y cnawd, ac yn mhlith y rhai yr oedd Mair a'i theulu. Ond y mae un ailun Groeg yn ei ddarllen, 'Canys bydd yn mynydd Seion ac yn Jerusalem *bobl gadwedig*, fel y dywedodd yr Arglwydd; a *chyhoeddwyr newyddion da*, y rhai a eilw yr Arglwydd.' Wrth y rhai hyn, yn ol y darlleniad yma, y golygir yr efengylwyr, neu apostolion Crist.

PEN. III. Adn. 1. *Canys wele, yn y dyddiau hyny*] Sef yn benaf yn nyddiau y MESSIA, fel eu deallir gan lawer, pen. ii. 28; *pan ddychwelwyf gaethiwed Juda a Jerusalem*—nid eu caethiwed yn Babilon yn unig, eithr hefyd, ac yn benaf, eu caethiwed ysbrydol hwy dan iau pechod a Satan.

Adn. 2. *Casglaf hefyd yr holl genhedloedd*] Os deallwn y geiriau hyn yn llythyrenol, cyfeirir at y cenhedloedd a fuont o dro i dro yn gorthrymu yr Iuddewon; ond os deallwn hwynt yn gysgodol neu gyfriniol, cyfeirir at holl elynion Crist a'i eglwys yn mhob oes. *A dygaf hwynt i waered i ddyffryn Jehosaphat*—hyny yw, i le y farn; canys y mae y gair *Jehosaphat* yn arwyddo 'barn Duw,' neu y fan lle y gweinydda Jehofa ei farnedigaethau ar ei elynion. Dywedir fod dyffryn o'r enw hwn yn agos i Jerusalem; ond meddylir fod y gair i'w ddeall yma yn gyfriniol, heb gyfeirio at unrhyw le penodol: ond gwel isod. *A dadleuaf â hwynt yno dros fy mhobl, a'm hetifeddiaeth Israel*—y rhai a orthrymwyd ganddynt o oes i oes; *y rhai a wasgarasant hwy yn mysg y cenhedloedd*—trwy werthu rhai o honynt yn gaethion, a pheri i'r lleill ffoi: *a rhanasant fy nhir*—sef gwlad Canaan, rhyngddynt hwy eu hunain. Tybia *Newcome* fod yma gyfeiriad at ryw fan benodol, lle yr ennillai Nebuchodonosor fuddugoliaeth fawr ar ben elynion yr Iuddewon, gyffelyb i fuddugoliaeth Jehosaphat ar yr Ammoniaid, y Moabiaid, a'r Edomiaid, 2 Cron. xx. 22—26. Ond ymddengys yn debycach, ebai *Benson*, fod y rhagfynegiad yn cyfeirio yn benaf at faeddiad cyffredinol gelynion eglwys Dduw yn

er putan, a gwerthasant fachgenes
er gwin, fel yr yfent.
4 Tyrus hefyd a Sidon, a holl ar-
daloedd Palestina, beth sydd i chwi
*a wneloch* â mi? a delwch i mi y
pwyth? ac os telwch i mi, buan
iawn y dychwelaf eich tâl ar eich
pen eich hunain.
5 Am i chwi gymeryd fy arian
a'm haur, a dwyn i'ch temlau fy
nhlysau dymunol.
6 Gwerthasoch hefyd feibion Ju-
da a meibion Jerusalem i'r Groeg-
iaid, i'w pellhau oddiwrth eu har-
daloedd.
7 Wele, mi a'u codaf hwynt o'r
lle y gwerthasoch hwynt iddo, ac
a ddattroaf eich tâl ar eich pen eich
hunain.
8 A minau a werthaf eich meibion
a'ch merched i law meibion Juda,
a hwythau a'u gwerthant i'r Sabe-
aid, i genedl o bell; canys yr Ar-
glwydd a lefarodd *hyn*.
9 ¶ Cyhoeddwch hyn yn mysg y
cenhedloedd, gosodwch ryfel, de-
ffrowch y gwŷr cryfion, nesäed y
gwŷr o ryfel, deuant i fyny.
10 Gyrwch eich sychau yn gledd-
yfau, a'ch pladuriau yn waewffyn:
dyweded y llesg, Cryf *ydwyf*.
11 Ymgesglwch, a deuwch y cen-
hedloedd o amgylch ogylch, ac ym-
gynullwch: yno disgyn, O Ar-
glwydd, dy gedyrn.
12 Deffröed y cenhedloedd, a
deuant i fyny i ddyffryn Jehosaphat:
o herwydd yno yr eisteddaf i farnu

---

y dyddiau diweddaf; ond odid at yr un a rag-fynegwyd gan Esay, pen. lxvi. 16; neu at faeddiad Gog a Magog, Ezec. xxxix. 1, &c.; neu at ryfel Armagedon, Dat. xvi. 16.

Adn. 3. *Ac ar fy mhobl y bwriasant goelbrenau*] Arferai y gorchfygwyr gynt ranu eu carcharorion rhyfel rhyngddynt wrth goelbren; ac felly y gwnaed â'r Iuddewon, Nahum iii. 10, Obad. 11. *A rhoddasant y bachgen er putan*—rhoddent fechgyn yr Iuddewon yn wobr i butanod yn lle arian; *a gwerthasant fachgenes*—neu enethod Iuddewig, *er gwin*—yn gyfnewid am win i'w yfed, neu gwerthent hwynt am win i gael eu halogi gan ereill.

Adn. 4. *Tyrus hefyd a Sidon, a holl ardaloedd Palestina*] Y rhai a gynorthwyent y gelynion yn eu hymosodiad ar Judea; *beth sydd i chwi a wneloch â mi*—pan yr ydych yn ymosod fel hyn ar fy mhobl? *A delwch i mi y pwyth?*—a ydych chwi, wrth ddial ar fy mhobl, yn meddwl dial arnaf fi? *Ac os telwch i mi, buan iawn y dychwelaf eich tâl ar eich pen eich hunain*—fel pe dywedasai, Chwychwi gaiff y niwed, ac nid myfi.

Adn 5. *Am i chwi gymeryd fy arian a'm haur*] O'm teml i yn Jerusalem; *a dwyn i'ch temlau fy nhlysau dymunol*—neu 'fy *llestri* dymunol,' fel y mae yn y Galdeaeg: gwel ar 2 Bren. xii. 18, xvi. 8, xviii. 15, 16, xxiv. 13, a xxv. 13—17.

Adn. 6. *Gwerthasoch hefyd feibion Juda a meibion Jerusalem i'r Groegiaid*] Trwy yr hyn y gyrwyd hwynt yn mhell o'u gwlad. Darfu i Antiochus Epiphanes werthu 80.000 o'r Iuddewon, 2 Mac. v. 14; a darfu i Titus, yn amser dinystr Jerusalem, werthu oddeutu 97,000 o honynt i gaethiwed.

Adn. 7. *Wele, mi a'u codaf hwynt o'r lle y gwerthasoch hwynt iddo*] Dywed Grotius i Alexander a'i olynwyr ryddhau llawer o'r Iuddewon ag oeddynt yn gaethion yn nhir Groeg; *ac a ddattroaf eich tâl ar eich pen eich hunain*—trwy werthu eich meibion a'ch merched chwithau, fel yr adroddir yn yr adnod nesaf. Cawn esboniad helaeth ar yr adnodau hyn yn Ezec. xxvi—xxviii.

Adn. 8. *A minau a werthaf eich meibion a'ch merched i law meibion Juda*] Cyflawnwyd hyn pan y darfu i Alexander gymeryd Gaza, Tyrus, a Sidon, a gwerthu 30.000 o'u trigolion hwy yn gaethion, y rhai a brynwyd gan yr Iuddewon, ac a werthwyd ganddynt hwythau i'r *Sabeaid*, neu yr Arabiaid: gwel *Arrian, Calmet, &c.* Ond yn y dyddiau diweddaf y mae prif gyflawniad y broffwydoliaeth hon, mewn rhyw ystyr, i gymeryd lle.

Adn. 9. *Cyhoeddwch hyn yn mysg y cenhedloedd*] Sef yn mysg gelynion eglwys Dduw; *gosodwch ryfel, &c.*—a deued y rhyfelwyr cryfaf a dewraf yn mlaen yn erbyn pobl yr Arglwydd, neu i attal gweithrediadau rhagluniaeth Duw.

Adn. 10. *Gyrwch eich sychau yn gleddyfau, a'ch pladuriau yn waewffyn*] Gwnewch bob parotoad a alloch o'ch plaid eich hunain, neu yn erbyn pobl Dduw. *Dyweded y llesg*—yn eich plith, ar ol cael yr arfau hyn yn barod; *Cryf ydwyf*—i orchfygu yn y frwydr hon.

Adn. 11. *Ymgesglwch a deuwch, y cenhedloedd*] O bob parth yn erbyn gwersyll y saint. *Yno disgyn, O Arglwydd, dy gedyrn*—ar ol i'r proffwyd, mewn ffordd o wawd, wahodd yr holl genhedloedd i ymgynull yn arfog yn erbyn y saint, y mae efe yma yn galw ar Dduw i anfon ei angylion cedyrn i wneuthur â hwy fel y gwnaethai efe â byddin Senacherib. Ond y mae y *Galdeaeg* yn ei ddarllen, 'Yno y disgyn yr Arglwydd dy gedyrn,' sef milwyr cedyrn y cenhedloedd.

Adn. 12. *Deffröed y cenhedloedd*] Bydded iddynt ymwroli, a chasglu yn nghyd eu holl nerth; *a deuant i fyny i ddyffryn Jehosaphat*—i'r fan a ddewiso Duw i ddadlenu yno ei farnedigaethau dwyfol yn erbyn ei elynion, adn. 2. *O herwydd yno yr eisteddaf i farnu yr holl genhedloedd o amgylch*—i gyhoeddi eu dedfryd, ac i'w rhoddi mewn gweithrediad.

yr holl genhedloedd o amgylch.
13 Rhowch i mewn y cryman;
canys addfedodd y cynauaf: deu-
wch, ewch i waered; o herwydd y
gwryf a lanwodd, a'r gwasg-gafnau
a aethant trosodd, am amlhau eu
drygioni hwynt.
14 Torfeydd, torfeydd *a fydd* yn
nglŷn terfyniad: canys agos *yw*
dydd yr Arglwydd yn nglŷn ter-
fyniad.
15 Yr haul a'r lloer a dywyllant,
a'r ser a attaliant eu llewyrch.
16 A'r Arglwydd a rua o Seion,
ac a rydd ei lef o Jerusalem: y nef-
oedd hefyd a'r ddaear a grynant:
ond yr Arglwydd *fydd* gobaith ei
bobl; a chadernid meibion Israel.
17 Felly y cewch wybod mai myfi
*yw* yr Arglwydd eich Duw, yn trigo
yn Seion fy mynydd santaidd: yna
y bydd Jerusalem yn santaidd,
ac nid â dyeithriaid trwyddi mwy-
ach.
18 ¶ A'r dydd hwnw y bydd i'r
mynyddoedd ddefnynu melyswin,
a'r bryniau a lifeiriant o laeth, a
holl ffrydiau Juda, a redant gan
ddwfr, a ffynnon a ddaw allan o dŷ
yr Arglwydd, ac a ddyfrha ddyffryn
Sittim.
19 Yr Aifft a fydd annghyfanedd,
ac Edom fydd anialwch annghyfan-
eddol, am y traha *yn erbyn* meibion

---

Adn. 13. *Rhowch i mewn y cryman*] Chwi weinyddion dwyfol ddialedd; *canys addfedodd y cynauaf*—y mae gelynion yr eglwys yn addfed i ddinystr, fel y mae y twysenau llawnion yn addfed i'w medi. *Deuwch, ewch i waered*—i'r dyffryn penodedig, 'a sethrwch y gwinrawn,' fel y chwanegir yma gan y LXX a'r Arabaeg; *o herwydd y gwryf a lanwodd, a'r gwasg-gafnau a aethant trosodd*—ymadrodd cyffelybiaethol, yn arwyddo 'amlhad eu drygioni hwynt.' Fel y sethrir y gwinrawn yn y cafnau, felly y sethrir gelynion eglwys Dduw yn ngherwyn ei ddigofaint ef: gwel ar Dat. xiv. 14—20.

Adn. 14. *Torfeydd, torfeydd a fydd yn nglŷn terfyniad*] Yr un a 'dyffryn Jehosaphat.' Y rhai hyn ydynt eiriau cyffrous y proffwyd; fel pe dywedasai, Gwelwch y fath dorfeydd mawrion a gesglir yn nghyd i'w dinystrio! Gelwir y lle hwn 'glŷn *terfyniad*,' am mai yma y byddai i'r achos gael ei *derfynu* rhwng Duw a'i elynion, lle y cyhoeddid eu dedfryd hwy, ac y gweinyddid y farn arnynt. *Canys agos yw dydd yr Arglwydd yn nglŷn terfyniad*—sef dydd ei ddigofaint ef ar y torfeydd ymgynulledig yno.

Adn. 15. *Yr haul a'r lloer a dywyllant*] Bydd i amherodraethau a theyrnasoedd mawrion y ddaear gael eu dymchwelyd; *a'r ser a attaliant eu llewyrch*—sef y taleithiau llai. Tybia rhai mai dinystr awdurdod gwladol ac eglwysig Annghrist a feddylir yma, yn nghyda'i swyddogion o bob gradd: gwel ar Dat. vi. 12, 13. Ond barna ereill fod yr hyn a ddywedir yma am y cyrff nefol i gael ei ddeall yn llythyrenol.

Adn. 16. *A'r Arglwydd a rua o Seion, ac a rydd ei lef o Jerusalem*] Sef o'i eglwys, i ddychrynu ei elynion a chysuro ei bobl. *Y nefoedd hefyd a'r ddaear a grynant*—y mae terfysgoedd a chynhyrfiadau mawrion ar y ddaear yn cael eu gosod allan yn aml, mewn iaith brophwydoliaethol, dan y dyniaeth o ddaeargryn, neu derfysgoedd a chyfnewidiadau yn y nefoedd, Mat. xxiv. 29. *Ond yr Arglwydd fydd gobaith ei bobl*—hwy a obeithiant am amddiffyniad oddiwrth ei allu, ei ddaioni, a'i ffyddlondeb ef; *a chadernid meibion Israel*—yn ngwyneb cryndod a symudiad y nefoedd a'r ddaear, Mat. xxiv. 35.

Adn. 17. *Felly y cewch wybod*] Trwy fy marnedigaethau ar eich gelynion, a'm hamddiffyniad o honoch chwithau; *mai myfi yw yr Arglwydd eich Duw*—sef eich Duw cyfammodol; *yn trigo yn Seion, fy mynydd santaidd*—sef yn fy eglwys, i wrando eich gweddiau, i ddyddanu eich eneidiau, ac i'ch gwaredu oddiwrth bob drwg. *Yna y bydd Jerusalem yn santaidd*—bydd fy eglwys wedi ei phuro a'i glanhau oddiwrth bob halogrwydd a rhagrith; *ac nid â dyeithriaid trwyddi mwyach*—i'w haflonyddu; neu, bydd ei holl aelodau yn wir blant i Dduw. Ni chyflawnir hyn yn hollol tu yma i'r milflwyddiant.

Adn. 18. *A'r dydd hwnw y bydd i'r mynyddoedd ddefnynu melyswin, &c.*] Ar ol i'r eglwys gael ei gwaredu oddiwrth ei holl elynion, hi a dderbynia y fath gawodydd o fendithion ysbrydol a santeiddiol yr Ysbryd Glân, nes y bydd iddi fod yn iraidd a ffrwythlon, fel mynyddoedd yn cynyrchu melyswin, a bryniau yn llifeirio o laeth, a dyffrynoedd yn cael eu dyfrhau yn dda â ffynnonau aml. *A ffynnon a ddaw allan o dŷ yr Arglwydd, ac a ddyfrha ddyffryn Sittim*—yr oedd y dyffryn hwn yn rhosydd Moab, tuhwnt i'r Iorddonen, Num. xxxiii. 49; a chan nad allai ffrydiau dwfr redeg yno o'r deml dros yr Iorddonen, rhaid fod 'dyffryn Sittim' i gael ei ddeall yma yn gysgodol, yr un modd a 'dyffryn Jehosaphat,' adn. 2. Y meddwl yw, y byddai i eglwys Dduw fod yn ffynnonell o fendithion ysbrydol i barthau mwyaf anial a diffrwyth y ddaear.

Adn. 19. *Yr Aifft a fydd annghyfanedd, ac Edom fydd anialwch, &c.*] Wrth yr 'Aifft ac Edom' yma y golygir holl elynion creulon eglwys Dduw, y rhai a ymddygasant tuag ati hi yn gyffelyb i'r modd yr ymddygasai y cenhedloedd hyny tuag at Israel gynt.

Adn. 20. *Eto Juda a drig byth*] Bydd i eglwys Dduw barhau yn flodeuog a llwydd-

Juda, am iddynt dywallt gwaed
gwirion yn eu tir hwynt.
20 Eto Juda a drig byth, a Jeru-
salem o genhedlaeth i genhedlaeth.
21 Canys glanhaf waed y rhai nis
glanheais: canys yr Arglwydd sydd
yn trigo yn Seion.

---

iannus ar ol i'w holl elynion gael eu dyfetha; *a Jerusalem*—sef y Jerusalem ysbrydol, *o genhedlaeth i genhedlaeth*—hi a barha hyd ddiwedd amser.

Adn. 21. *Canys glanhaf waed y rhai nis glanheais*] Tybia rhai fod 'gwaed' yn cael ei enwi yma am aflendid moesol neu bechod yn gyffredinol; eithr barna *Lowth* fod y geiriau yn cynwys addewid neillduol o faddeuant i'r Iuddewon edifeiriol am y pechod mawr o dywallt gwaed Crist, o herwydd yr hwn y maent yn aros hyd heddyw dan anfoddlonrwydd cyfiawn Duw, Mat. xxvii. 25. *Canys yr Arglwydd sydd yn trigo yn Seion*—lle y mae yn eistedd 'fel purwr a glanhäwr arian,' Mal. iii. 3. Gwel ar Ezec. xlviii. 35.

# LLYFR Y PROFFWYD AMOS.

Amos ydoedd fugail o Tecoa, tref fechan yn Judea, oddeutu deg milldir o du y deau i Jerusalem; ac yr oedd yn wahanol i *Amoz*, neu *Amots*, tad y proffwyd Esay. Yr oedd ef yn byw yn nyddiau Uzziah brenin Juda, a Jeroboam yr ail, brenin Israel; ac yn gydoeswr ag Esay, Hosea, a Joel; ac ymddengys oddiwrth pen. vii. 12, mai yn ngwlad Israel y traethodd efe ei broffwydoliaethau.—(1) Y mae yn dechreu gyda rhagfynegiadau am ddinystr y Syriaid, y Philistiaid, y Tyrusiaid, yr Edomiaid, yr Ammoniaid, a'r Moabiaid. pen. i a ii. 1–3. (2) Wedi hyny efe a fygythia Juda ac Israel am eu heilunaddoliaeth, eu gorthrwm, eu traha, eu creulondeb, a'u cyndynrwydd, pen. ii. 4—16. (3) Y mae yn bygwth barnau Duw ar Israel o herwydd eu hamrywiol bechodau, ac yn eu hannog i ddychwelyd at yr Arglwydd mewn gwir edifeirwch, pen. iii—ix. 1—10. (4) Efe a orphena ei waith trwy gyhoeddi dedwyddwch teyrnas y Messia, a dychweliad cysurlawn Israel, pen. ix. 11—15. Y mae yn debyg i'r proffwyd fyw i weled rhan fawr o'i ragddywediadau yn cael eu cyflawni, yn enwedig y rhyfeloedd cartrefol yn Israel, a chaethgludiad y deg llwyth.—Darfu i rai, ar ol St. *Jerome*, ystyried cyfansoddiad y llyfr hwn fel yn wael o ran ei arddull, er yn odidog o ran ei faterion; ond y mae *Lowth*, *Newcome*, ac ereill, wedi profi yn ddigonol nad yw y 'bugail,' o ran ei athrylith a'i fedrusrwydd fel cyfansoddwr, ddim yn ol i'r proffwydi penaf.—Dywed rhai o'r hen awduron ddarfod i Amaziah, offeiriad Bethel, dori dannedd Amos i'r dyben i'w ddystewi ef; a dywed ereill i fab yr offeiriad hwnw ei daro ef ar ei ben, fel ag y syrthiodd ar y ddaear; ac wedi iddo gael ei gario i Tecoa, iddo farw yno, a chael ei gladdu gyda'i dadau.

## PENNOD I.

GEIRIAU Amos (yr hwn oedd yn
mhlith bugeiliaid Tecoa) y rhai
a welodd efe am Israel, yn nyddiau
Uzziah brenin Juda, ac yn nyddiau
Jeroboam mab Joas brenin Israel,
ddwy flynedd o flaen y ddaeargryn.
2 Ac efe a ddywedodd, Yr Ar-
glwydd a rua o Seion, ac a rydd ei
lef o Jerusalem; a chyfaneddau y
bugeiliaid a alarant, a phen Carmel
a wywa.
3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
O herwydd tair o anwireddau Da-

---

PEN. I. Adn. 1. *Geiriau Amos*] Yr hwn oedd ar y cyntaf yn fugail yn Tecoa, a chasglydd ffigys gwylltion, pen. vii. 14; *y rhai a welodd efe am Israel*—neu a dderbyniodd efe trwy ddwyfol ysbrydoliaeth o berthynas i'r deg llwyth ac ereill; *yn nyddiau Uzziah, &c.*—gwel y rhagarweiniad uchod; *ddwy flynedd o flaen y ddaeargryn*—at yr hon y cyfeirir, fel y meddylir yn gyffredin, yn Esay v. 25, a Zech. xiv. 5. Dywed yr Iuddewon iddi gymeryd lle pan y rhyfygodd Uzziah fyned i'r deml i arogldarthu, 2 Cron. xxvi. 16; a dywed Josephus, *Henaf.* ix. 11, i 'hanner mynydd gael ei symud trwy y cryndod hwnw i wastadedd hanner milldir oddiyno, trwy yr hyn y dyfethwyd gerddi y brenin.'

Adn. 2. *Yr Arglwydd a rua o Seion, &c.*] Efe a grea ddychryn yn y wlad, fel y gwna llew pan y rhua, pen. iii. 8; *a chyfaneddau y bugeiliaid a alarant*—neu y bugeiliaid a alarant yn eu cyfaneddau neu eu pebyll, am na fydd porfa i'w hanifeiliaid; *a phen Carmel a wywa*—trwy wres a sychder mawr, er mor ffrwythlon ydoedd y mynydd hwnw o'r blaen.

Adn. 3. *O herwydd tair o anwireddau Damascus*] Yr hon oedd brifddinas Syria;

mascus, ac o herwydd pedair, nis
troaf ymaith ei *chosp* hi ; am iddynt
ddyrnu Gilead âg offer dyrnu o
heiyrn.
4 Ond anfonaf dân i dŷ Hazael,
ac efe a ddifa balasau Benhadad.
5 Drylliaf drosol Damascus, a
thoraf ymaith y preswylwyr o ddy-
ffryn Afen, a'r hwn sydd yn dal
teyrnwialen o dŷ Eden ; a phobl
Syria a ânt yn gaeth i Cir, medd yr
Arglwydd.
6 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd, Am dair *o* anwireddau Ga-
za, ac am bedair, ni throaf ymaith
ei *chosp* hi ; am iddynt gaethgludo
y gaethiwed gyflawn, i'*w* rhoddi i
fyny i Edom.
7 Eithr anfonaf dân ar fur Gaza,
ac efe a ddifa ei phalasau hi.
8 A mi a doraf y preswylwyr o
Asdod, a'r hwn a ddeil deyrnwialen
o Ascelon ; a throaf fy llaw yn er-
byn Ecron, a derfydd am weddill
y Philistiaid, medd yr Arglwydd
Dduw.
9 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd ; Am dair o anwireddau
Tyrus, ac am bedair, ni throaf ym-
aith ei *chosp* hi ; o herwydd iddynt
hwy roddi i fyny gwbl o'r gaeth-
iwed i Edom, ac na chofiasant y
cyfammod brawdol.
10 Eithr anfonaf dân i fur Tyrus,
ac efe a ddifa ei phalasau hi.
11 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd ; Am dair o anwireddau
Edom, ac am bedair, ni throaf ym-
aith ei *chosp* hi ; am iddo erlid ei
frawd â'r cleddyf, a llygru ei dru-
garedd, a bod ei ddig yn rhwygo yn
wastadol, a'i fod yn cadw ei lid yn
dragwyddol.
12 Eithr anfonaf dân i Teman,

---

*ac o herwydd pedair*—rhif penodol am un anmhenodol, neu ddull o ymadrodd yn arwyddo anwireddau aml a lluosog iawn ; (gwel ar Job v. 19 ;) *nis troaf ymaith ei chosp hi*—hyny yw, nid arbedaf hi yn hwy heb ei chospi. *Am iddynt ddyrnu Gilead âg offer dyrnu o heiyrn*—neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'am iddynt rwygo gwragedd beichiogion yn Gilead â llifiau heiyrn.' Cyfeirir yma at greulonderau Hazael a Benhadad, brenhinoedd Syria, fel yr adroddir 2 Bren. x. 32, 33, a xiii. 3—7.

Adn. 4. *Ond anfonaf dân i dŷ Hazael*] Wrth y *tân* yma, ac yn yr adnodau dylynol, y meddylir barnedigaethau Duw, y rhai a gyffelybir yn fynych i dân ; a chyfeirir yn neillduol yn yr adnod hon at y rhyfel a ddygwyd yn mlaen mor lwyddiannus gan Jeroboam yr ail yn erbyn y Syriaid, 2 Bren. xiv. 25—28. *Ac efe a ddifa balasau Benhadad*—y rhai a adeiladwyd yn orwych gan Benhadad, mab Hazael, brenin Syria.

Adn. 5. *Drylliaf drosol Damascus*] Sef ei phyrth, ei bàrau, a'i hamddiffynfeydd, yn y rhai yr oedd ei chryfder ; *a thoraf ymaith y preswylwyr o ddyffryn Afen*—neu 'ddyffryn y *gwagedd*,' lle hynod yn Syria am eilunaddoliaeth fe allai, neu ryw bechodau ysgeler ereill ; *a'r hwn sydd yn dal teyrnwialen o dŷ Eden*—neu 'dŷ *hyfrydwch*,' sef rhyw balas dymunol ond odid yn perthyn i frenin Syria. *A phobl Syria a ânt yn gaeth i Cir*—yr hyn a gyflawnwyd trwy Tiglath pileser brenin Assyria : gwel ar 2 Bren. xvi. 9.

Adn. 6. *Am dair o anwireddau Gaza*] Gaza oedd un o ddinasoedd y Philistiaid, gelynion greddfol yr Iuddewon ; *ac am bedair, &c.*—gwel ar adn. 3. *Am iddynt gaethgludo y gaethiwed gyflawn*—yr hen a'r ieuanc o'r ddau ryw, y rhieni a'r plant ; *i'w rhoddi i fyny i Edom*—i'w gwerthu yn gaethion i'r Edomiaid, y rhai a fuont yn greulon iawn wrthynt.

Adn. 7. *Eithr anfonaf dân ar fur Gaza*] Drylliai y gelynion y mur, a dinystrient y ddinas : gwel ar adn. 4. *Ac efe a ddifa ei phalasau hi*—yr hyn a gyflawnwyd gan Hezeciah, 2 Bren. xviii. 8.

Adn. 8. *A mi a doraf y preswylwyr o Asdod*] Dinas arall yn perthyn i'r Philistiaid, yn gystal ag Ascelon ac Ecron, 1 Sam. vi. 17 ; *a derfydd am weddill y Philistiaid*—yr hyn a gyflawnwyd wedi hyny trwy yr Assyriaid, yr Aifftiaid, yr Iuddewon, a'r Caldeaid : gwel ar Esay xiv. 29, &c.

Adn. 9. *Am dair o anwireddau Tyrus*] Dinas gyfoethog yn Phenicia, Esay xxiii. 1 ; *ac am bedair, &c.*—gwel ar adn. 3. *O herwydd iddynt hwy roddi i fyny gwbl o'r gaethiwed i Edom*—gwel ar adn. 6 ; *ac na chofiasant y cyfammod brawdol*—a ddechreuwyd rhwng Dafydd a Hiram, 2 Sam. v. 11, ac a barhawyd gan Solomon, 1 Bren. v. 1, &c., a ix. 11, &c.

Adn. 10. *Eithr anfonaf dân i fur Tyrus*] Gwel ar adn. 7 ; *ac efe a ddifa ei phalasau hi*—yr hyn a wnaed trwy Nebuchodonosor, Ezec. xxvi. 7—14.

Adn. 11. *Am dair o anwireddau Edom*] Yr oedd yr Edomiaid, hiliogaeth Esau, yn elynion greddfol i'r Iuddewon, hiliogaeth Jacob ei frawd, ac yn eu blino hwy yn barhaus fel y dywedir yma ; *ac am bedair, &c.*—gwel ar adn. 3. *Am iddo erlid ei frawd â'r cleddyf*—gwel ar Ezec. xxv. 12—14 ; *a llygru ei drugaredd*—Saes., 'a bwrw ymaith bob tosturi ;' *a bod ei ddig yn rhwygo yn wastadol*—yn erbyn Israel, y rhai y dylasent hwy eu parchu fel brodyr wedi hanu o'r un teulu.

Adn. 12. *Eithr anfonaf dân i Teman*] Teman a Bozrah oeddynt ddwy o ddinasoedd yr Edomiaid ; *yr hwn a ddifa balasau Boz-*

yr hwn a ddifa balasau Bozrah.
13 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Am dair o anwireddau
meibion Ammon, ac am bedair, ni
throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddynt
hwy rwygo gwragedd beichiogion
Gilead, er mwyn helaethu eu terfynau.
14 Eithr cyneuaf dân yn mur
Rabbah, ac efe a ddifa ei phalasau
gyda gwaedd ar ddydd y rhyfel,
gyda thymhestl ar ddydd corwynt.
15 A'u brenin a â yn gaeth, efe
a'i benaethiaid yn nghyd, medd yr
Arglwydd.

## PENNOD II.

FEL hyn y dywed yr Arglwydd; Am dair o anwireddau Moab, ac
am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp*
hi; am iddo losgi esgyrn brenin
Edom yn galch.
2 Eithr anfonaf dân i Moab, yr
hwn a ddifa balasau Cerioth: a
Moab fydd marw mewn terfysg,
gwaeddi, *a* llais udgorn.
3 A mi a doraf ymaith y barnwr
o'i chanol hi, a'i holl benaethiaid a
laddaf gydag ef, medd yr Arglwydd.
4 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Am dair o anwireddau
Juda, ac am bedair, ni throaf ymaith ei *chosp* hi; am iddynt ddirmygu cyfraith yr Arglwydd, ac nas
cadwasant ei ddeddfau ef, a'u celwyddau a'u cyfeiliornodd hwynt, y
rhai yr aeth eu tadau ar eu hol.
5 Eithr anfonaf dân i Juda, ac efe
a ddifa balasoedd Jerusalem.
6 ¶ Fel hyn y dywed yr Arglwydd; Am dair o anwireddau Israel, ac am bedair, ni throaf ymaith
ei *chosp* hi; am iddynt werthu y
cyfiawn am arian, a'r tylawd er pâr
o esgidiau.
7 Y rhai a ddyheuant ar ol llwch

---

*rah*—am gyflawniad o'r bygythiad hwn gwel ar Jer. xlix. 7—22. Ezec. xxv. 12—14.

Adn. 13. *Am dair o anwireddau meibion Ammon*] Yr oedd gwlad yr Ammoniaid yn terfynu ar Gilead o du y dwyrain i'r Iorddonen; *ac am bedair, &c.*—gwel ar adn. 3. *Am iddynt hwy rwygo gwragedd beichiogion Gilead*—i ddiwreiddio Israel yn y parthau hyny, a chael eu gwlad hwy iddynt eu hunain. Fel hyn dylynasant sampl greulon y Syriaid o'r blaen: gwel ar adn. 3.

Adn 14. *Eithr cyneuaf dân yn mur Rabbah*] Prifddinas yr Ammoniaid; *ac efe a ddifa ei phalasau gyda gwaedd ar ddydd y rhyfel*—bydd y dinystr hwn yn cael ei ddylyn â gwaedd alaethus y dyoddefwyr, neu â bloddest fuddugol eu gelynion; *gyda thymhestl ar ddydd corwynt*—y mae aflonyddiadau rhyfel yn cael eu cymharu yn fynych i'r dinystr a achosir gan dân, corwynt, a thymhestl.

Adn. 15. *A'u brenin a â yn gaeth*] Sef brenin meibion Ammon; *efe a'i benaethiaid yn nghyd*—gwel gyflawniad o hyn, Jer. xlix. 1—6. Ond wrth y gair *malcham*, yr hwn a gyfieithir yma 'brenin,' y dealla rhai *Milcom*, prif dduw yr Ammoniaid; ac wrth ei *benaethiaid* y deallant ei *offeiriaid* ef. Cafodd y rhai hyny hefyd eu caethiwo neu eu dyfetha.

PEN. II. Adn. 1. *Am dair o anwireddau Moab*] Sef brenin Moab, fe allai. Yr oedd gwlad Moab yn gorwedd o du y dwyrain i'r môr marw, rhwng gwlad yr Ammoniaid a gwlad y Midianiaid; *ac am bedair, &c.*—gwel ar pen. i. 3. *Am iddo losgi esgyrn brenin Edom yn galch*— i blastro muriau ei dŷ ag ef,' fel y mae yr aralleiriad Caldeaidd yn ei egluro, yr hyn oedd yn sarhad ac anmharch mawr i'r marw.

Adn. 2. *Eithr anfonaf dân i Moab*] I wlad Moab: gwel ar pen. i. 4. *Yr hwn a ddifa balasau Cerioth*—prifddinas y Moabiaid, yr hon a enwir yma am yr holl ddinasoedd ereill yn y wlad hono. *A Moab fydd marw mewn terfysg, &c.*—bydd i'r Moabiaid gael eu lladd yn nghanol terfysg a bloeddiadau rhyfel.

Adn. 3. *A mi a doraf ymaith y barnwr o'i chanol hi*] Sef ei brenin ond odid; *a'i holl benaethiaid a laddaf gydag ef*—sef ei dywysogion, ei farnwyr, a'i swyddogion gwladol: gwel ar Jer. xlviii. 1, &c.

Adn. 4. *Am dair o anwireddau Juda, ac am bedair, &c.*] Gwel ar pen. i. 3. Ar ol i'r proffwyd gyhoeddi barnau Duw yn erbyn y cenhedloedd paganaidd, efe a â rhagddo i'w cyhoeddi hwy yn erbyn pobl broffesedig yr Arglwydd, y rhai oeddynt yn fwy euog ac anesgusodol trwy iddynt bechu yn erbyn mwy o oleuni. *Am iddynt ddirmygu cyfraith yr Arglwydd*—yr hon oedd yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda; *ac nas cadwasant ei ddeddfau ef*—y rhai a'u dyrchafasant hwy i urddas ac anrhydedd goruwch pob cenedl arall. *A'u celwyddau a'u cyfeiliornodd hwynt*—eu heilunod a barasant iddynt gyfeiliorni; *y rhai yr aeth eu tadau ar eu hol*—y naill genhedlaeth ar ol y llall, er amled y rhybyddion a roddasai Duw iddynt trwy ei broffwydi.

Adn. 5. *Eithr anfonaf dân i Juda, &c.*] Y 'tân' hwn oedd byddin Nebuchodonosor, yr hon a losgodd lawer o ddinasoedd Juda, ac o'r diwedd Jerusalem ei hun.

Adn 6. *Am dair o anwireddau Israel*] Sef teyrnas y deg llwyth; *ac am bedair, &c.*—gwel pen. i. 3. *Am iddynt werthu y cyfiawn am arian*—trwy ei gyhoeddi ef yn euog, neu yn anghyfiawn, am wobr o arian; *a'r tylawd er pâr o esgidiau*—neu sandalau: gwel ar pen. v. 11, 12, a viii. 6.

Adn. 7. *Y rhai a ddyheuant ar ol llwch y*

y ddaear ar ben y tylodion, ac a
ŵyrant ffordd y gostyngedig: a gŵr
a'i dad a â at yr *un* llances, i halogi
fy enw santaidd.
8 Ac ar ddillad wedi eu rhoi yn
wystl y gorweddant wrth bob
allor; a gwin dirwyol a yfant *yn*
nhŷ eu duw.
9 ¶ Eto myfi a ddinystriais yr
Amoriad o'u blaen hwynt, yr hwn
*yr oedd* ei uchder fel uchder y cedr-
wŷdd, ac efe *oedd* gryf fel derw;
eto mi a ddinystriais ei ffrwythau
oddiarnodd, a'i wraidd odditanodd.
10 Myfi hefyd a'ch dygais chwi i
fyny o wlad yr Aifft, ac a'ch ar-
weiniais chwi ddeugain mlynedd
trwy yr anialwch, i feddiannu gwlad
yr Amoriad.
11 A mi a gyfodais o'ch meibion
chwi *rai* yn broffwydi, ac o'ch gwŷr
ieuainc rai yn Nazareaid. Oni *bu*
hyn, O feibion Israel? medd yr
Arglwydd.
12 Ond chwi a roisoch i'r Nazare-
aid win i'w yfed; ac a orchymynas-
och i'ch proffwydi, gan ddywedyd,
Na phroffwydwch.
13 Wele fi wedi fy llethu tanoch
fel y llethir y fen lwythog lawn o
ysgubau.
14 A metha gan y buan ddianc,
a'r cryf ni chadarnhâ ei rym, a'r
cadarn ni wared ei enaid ei hun;
15 Ni saif a ddalio y bwa, ni
ddianc y buan o draed, nid achub
marchog march ei einioes ei hun;
16 A'r cryfaf ei galon o'r cedyrn a
ffy y dwthwn hwnw yn noeth-lymun,
medd yr Arglwydd.

## PENNOD III.

GWRANDEWCH y gair a lefar-
odd yr Arglwydd i'ch erbyn

---

*ddaear ar ben y tylodion*] Y rhai a drachwantant aur ac arian, gan eu codi oddiar y tylodion trwy drethu pob pen o honynt: neu, yn ol y *Vulgate*, 'y rhai a fathrant benau y tylodion yn llwch y ddaear.' *Ac a ŵyrant ffordd y gostyngedig*—gan gymeryd mantais ar ei ddiniweidrwydd a'i ddyoddefgarwch i wneyd cam âg ef. *A gŵr a'i dad a â at yr un llances*—i buteinio gyda hi yn ngwleddoedd neu addoliadau aflan eu duwiau; *i halogi fy enw santaidd*—wrth ddiystyru cyfraith yr Arglwydd yr hon a waharddai hyny, a dwyn gwarth ar ei enw santaidd ef yn ngolwg y cenhedloedd: gwel ar 1 Cor. v. 1.

Adn. 8. *Ac ar ddillad wedi eu rhoi yn wystl y gorweddant wrth bob allor*] Yn lle dychwelyd dillad y tlawd iddo yn ol y gyfraith, Deut. xxiv. 12, 13, y rhai y gorfu i'r tlawd ond cdid eu gwystlo i dalu dirwyon annghyfiawn y barnwyr hyn, hwy a'u defnyddient i orwedd arnynt wrth wledda o flaen alloran eu heilunod. *A gwin y dirwyol*—yr hwn a brynasent â'r arian dirwyol, neu a gymerasent yn wobr am gyhoeddi y diniwed yn euog; *a yfant yn nhŷ eu duw*—yn ngwleddoedd eu heilunod.

Adn. 9. *Eto myfi a ddinystriais yr Amoriad o'u blaen hwynt*] Sef yr hen Ganaaneaid gwreiddiol; *yr hwn yr oedd ei uchder fel uchder y cedrwŷdd, ac efe oedd gryf fel derw*—y rhai oeddynt wŷr o faintioli mawr, a chryfder hynod. *Eto mi a ddinystriais ei ffrwythau oddiarnodd, &c.*—mi a'u dyfethais hwynt wreiddyn a changen, hen ac ieuanc, i roddi eu gwlad i Israel.

Adn. 10 *Myfi hefyd a'ch dygais chwi i fyny o wlad yr Aifft*] Trwy y môr coch; *ac a'ch arweiniais chwi ddeugain mlynedd trwy yr anialwch*—gan eich bwydo â manna o'r nefoedd, a'ch diodi â dwfr o'r graig; *i feddiannu gwlad yr Amoriad*—sef gwlad Canaan.

Adn. 11. *A mi a gyfodais o'ch meibion chwi rai yn broffwydi*] I'ch dysgu yn fy ffyrdd, megys Moses, Josua, Samuel, a llawer ereill: *ac o'ch gwŷr ieuainc rai yn Nazareaid*—i fod yn siamplau i chwi o hunan ymwadiad, ac o lwyr ymgyflwyniad i wasanaeth Duw: gwel ar Num. vi. 2, &c. *Oni bu hyn, O feibion Israel?*—fel hyn efe a apelis atynt hwy eu hunain ei fod yn dywedyd y gwir.

Adn. 12. *Ond chwi a roisoch i'ch Nazareaid win i'w yfed*] Gan eu hudo i dori eu hadduneddau; *ac a orchymynasoch i'ch proffwydi, &c.*—na phroffwydent i chwi: gwel brawf o hyn, pen. vii. 12, 13, Esay xxx. 8—11.

Adn. 13. *Wele fi wedi fy llethu tanoch, &c.*] Dan faich eich pechodau: neu, fel y mae *Newcome* ac ereill yn ei gyfieithu, 'Wele, mi a lethaf eich lle chwi, fel y lletha mèn lwythog yr ysgubau.' Meddylir mai at ddechread eu cosp y cyfeirir yma.

Adn. 14. *A metha gan y buan ddianc*] Am y bydd ei elynion yn gyflymach nag ef, neu am y byddai i farnedigaethau Duw lethu y buan, y cryf, a'r cadarn.

Adn. 15. *Ni saif a ddalio y bwa*] Ni saif eu milwyr gwrolaf yn ngwyneb eu gelynion; *ni ddianc y buan o draed*—rhag eu dialedd hwynt; *nid achub marchog march ei einioes ei hun*—sef yr hwn a farchogo ar farch, neu eu meirch-filwyr.

Adn. 16. *A'r cryf ei galon o'r cedyrn a ffy y dwthwn hwnw yn noeth-lymun*] Wedi taflu i lawr ei arfau a'i wisgoedd uwchaf, fel y gallo ffoi ymaith yn gyflymach.

PEN. III. Adn. 1. *Gwrandewch y gair a lefarodd yr Arglwydd i'ch erbyn chwi, plant Israel*] Cyfeirir hyn at yr oll o'r deuddeg llwyth, y rhai a ddygwyd i fyny o wlad yr Aifft.

chwi, plant Israel, yn erbyn yr holl
deulu a ddygais i fyny o wlad yr
Aifft, gan ddywedyd,
2 Chwi yn unig a adnabûm o holl
deuluoedd y ddaear: am hyny ym-
welaf â chwi *am* eich holl anwir-
eddau.
3 A rodia dau yn nghyd, heb fod
yn gytun?
4 A rua y llew yn y goedwig, heb
ganddo ysglyfaeth? a leisia cenaw
llew o'i ffau, heb ddal dim?
5 A syrth yr aderyn yn y fagl ar
y ddaear, heb *fod* croglath iddo? a
gyfyd un y fagl oddiar y ddaear,
heb ddal dim?
6 A genir udgorn yn y ddinas,
heb ddychrynu o'r bobl? a fydd
niwed yn y ddinas, heb i'r Ar-
glwydd *ei* wneuthur?
7 Canys ni wna yr Arglwydd
ddim, a'r nas dangoso ei gyfrinach
i'w weision y proffwydi.
8 Rhuodd y llew, pwy nid ofna?
yr Arglwydd Ior a lefarodd, pwy
ni phroffwyda?
9 ¶ Cyhoeddwch o fewn y palas-
au yn Asdod, ac yn y palasau yn
ngwlad yr Aifft, a dywedwch, Deu-
wch yn nghyd ar fynyddoedd Sa-
maria, a gwelwch derfysgoedd la-
wer o'i mewn, a'r gorthrymedigion
yn ei chanol hi.
10 Canys ni fedrant wneuthur
uniondeb, medd yr Arglwydd:
pentyru y maent drais ac yspail yn
eu palasau.
11 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Gelyn *fydd* o
amgylch y tir; ac efe a dyn i lawr

---

Adn. 2. *Chwi yn unig a adnabûm o holl deuluoedd y ddaear*] Hyny yw, chwi yn unig a neillduais neu a gymeradwyais i fod yn bobl i mi, i hysbysu iddynt fy neddfau a'm barnedigaethau, ac i osod i fyny fy addoliad yn eu plith. *Am hyny*—gan i chwi fy nirmygu i ar ol cael y fath ffafr genyf, *ymwelaf â chwi am eich holl anwireddau*—i'ch cospi yn gyfatebol i fawredd eich pechodau. Fel pe dywedasai, Gan i chwi bechu yn erbyn mwy o oleuni a manteision na neb, bydd eich cosp yn drymach na chosp neb.

Adn. 3. *A rodia dau yn nghyd*] Yn gysurus fel cyfeillion, *heb fod yn gytun*—neu mewn heddwch â'u gilydd? Na wnant. Felly nis gallaf finau rodio yn eich mysg chwithau, tra yr ydych mor groes i mi mewn calon a buchedd.

Adn. 4. *A rua y llew yn y goedwig, heb ganddo ysglyfaeth?*] Dywed naturiaethwyr, pan welo y llew ei ysglyfaeth, ei fod yn rhuo yn ddychrynllyd cyn neidio arno, yn gystal a phan yn sefyll uwch ei ben. Ymddengys mai yr ystyr yw, Fel y rhua llew yn yr olwg ar ei ysglyfaeth, felly yr oedd yr Arglwydd yn 'rhuo o Seion,' pen. i. 2, neu yn llefain yn erbyn Israel fel pobl ag oeddynt bron a syrthio yn ysglyfaeth i'w farnedigaethau ef.

Adn. 5. *A syrth yr aderyn yn y fagl ar y ddaear, heb fod croglath iddo*] Neu heb fod *magl* iddo? *A gyfyd un y fagl oddiar y ddaear, heb ddal dim?*—y meddwl yw, Megys na ddelir adar heb i'r adarwr osod ei rwyd i lawr, ac nad yw yntau yn codi ei rwyd cyn iddo ddal ei ysglyfaeth; felly nid yw Duw yn bygwth y barnau hyn, heb benderfynu eu gweinyddu. Yr Assyriaid a'r Caldeaid oedd y maglau a osodai Duw i ddal y bobl hyn.

Adn. 6. *A genir udgorn yn y ddinas*] I rybyddio y bobl o nesâd eu gelynion; *heb ddychrynu o'r bobl*—ac felly ymgrynhoi yn nghyd i ystyried pa beth a ellid ei wneuthur er amddiffyniad iddynt eu hunain? *A fydd niwed yn y ddinas*—megys newyn, haint, neu ryfel; *heb i'r Arglwydd ei wneuthur*—naill ai yn ddigyfrwng, neu trwy ei offerynau? Fel pe dywedasai, Gallwch fod yn sicr am yr adfydau a ddyoddefwch neu a ofnwch, nad effaith damwain ydynt, ond eu bod yn dyfod arnoch trwy drefniad rhagluniaeth Duw: gwel ar Esay xlv. 7. Nid yw y gair 'niwed' yma yn golygu 'drwg moesol,' eithr *drwg naturiol* fel *cosp* am *ddrwg moesol;* ac y mae Duw yn cospi dynion fel hyn, am eu bod yn mynu cyflawni drwg moesol.

Adn. 7. *Canys ni wna yr Arglwydd ddim*] Mewn ffordd o gosp ar ei bobl; *a'r nas dangoso ei gyfrinach i'w weision y proffwydi*—fel y gallont hwy rybyddio y bobl hyny, a'u cymhell i edifeirwch, fel ag i gael eu harbed rhag y gosp fygythiedig.

Adn. 8. *Rhuodd y llew*] Y mae Duw wedi cyhoeddi bygythion dychrynllyd; *pwy nid ofna*—rhag iddynt ddisgyn arnynt? *Yr Arglwydd Ior a lefarodd*—gan ddangos ei gyfrinach i'w weision y proffwydi, adn. 7; *pwy ni phroffwyda?*—neu pwy a all lai nag ufyddhau iddo trwy rybyddio y bobl o'u perygl? Ond tybia *Clarke* fod *naba* yma yn meddwl, 'pwy ni *weddia* am i'r farn fygythiedig gael ei throi ymaith?'

Adn. 9. *Cyhoeddwch o fewn y palasau yn Asdod, &c.*] Y mae Duw yma yn galw ar y Philistiaid a'r Aifftiaid i ymgynull ar fynyddoedd Samaria, i fod yn dystion o ddirfawr bechodau y trigolion, ac o'i farnedigaethau yntau arnynt, fel ag i gymeryd rhybydd eu hunain oddiwrth hyny. *A gwelwch derfysgoedd lawer o'i mewn*—yn cael eu hachosi gan drais, yspail, a gorthrwm y bobl.

Adn. 10. *Canys ni fedrant wneuthur uniondeb*] Am na fynant; canys yr oedd eu hanallu yn gynwysedig yn eu hanewyllysgarwch. *Pentyru y maent drais ac yspail yn eu palasau*—neu gyfoeth wedi ei gyrhaedd trwy drais ac yspail.

Adn. 11. *Am hyny—gelyn a fydd o am-*

dy nerth oddiwrthyt, a'th balasoedd
a yspeilir.
12 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Fel yr achub y bugail o safn y llew
y ddwy goes, neu ddarn o glust;
felly yr achubir meibion Israel, y
rhai sydd yn trigo yn Samaria
mewn cwr gwely, ac yn Damascus
*mewn* gorweddle.
13 Gwrandewch, a thystiolaeth-
wch yn nhŷ Jacob, medd yr Ar-
glwydd Dduw, Duw y lluoedd,
14 Mai y dydd yr ymwelaf âg
anwiredd Israel arno ef, y gofwyaf
hefyd allorau Bethel: a chyrn yr
allor a dorir, ac a syrthiant i'r
llawr.
15 A mi a darawaf y gauafdy a'r
hafdy; a derfydd am y tai ifori,
a bydd dyben ar y teiau mawrion,
medd yr Arglwydd.

## PENNOD IV.

GWRANDEWCH y gair hwn,
gwartheg Basan, y rhai *ydych*
yn mynydd Samaria, y rhai ydych
yn gorthrymu y tylawd, yn ysigo
yr anghenog, yn dywedyd wrth eu
meistriaid, Dygwch, ac yfwn.
2 Tyngodd yr Arglwydd Dduw
i'w santeiddrwydd, y daw, wele, y
dyddiau arnoch, y dwg efe chwi
ymaith â drain, a'ch hiliogaeth â
bachau pysgota.
3 A chwi a ewch allan i'r adwy-
au, bob un ar ei chyfer, a chwi a'u
teflwch hwynt i'r palas, medd yr
Arglwydd.
4 ¶ Deuwch i Bethel, a thros-
eddwch; i Gilgal, a throseddwch
fwyfwy: dygwch bob bore eich

---

*gylch y tir, &c.*] Bydd i'r Assyriaid ac ereill anrheithio eich gwlad, darostwng eich nerth, ac yspeilio eich palasau o'u cyfoeth.

Adn. 12. *Fel yr achub y bugail o safn y llew y ddwy goes, &c.*] Fel pe dywedasai, Prin y bydd i neb o honoch ddianc; a'r rhai a ddiangant, a wnant hyny gydag anhawsder mawr; fel bugail yn achub rhyw ranau o ddafad rwygedig o safn y llew. *Felly yr achubir meibion Israel, y rhai sydd yn trigo yn Samaria mewn cwr gwely*—y rhai sydd yn ymguddio mewn gwely; neu, fel y mae rhai yn ei ddeall, 'y rhai sydd yn byw yn foethus ar eu glythau esmwyth;' *ac yn Damascus mewn gorweddle*—wedi dianc yno er diogelwch.

Adn. 13. *Gwrandewch*] 'Chwi offeiriaid,' fel y mae y LXX a'r *Arabaeg* yn chwanegu yma, yn cynwys hefyd y proffwydi; *a thystiolaethwch yn nhŷ Jacob*—yn mhlith ei hiliogaeth ef.

Adn. 14. *Mai y dydd yr ymwelaf âg anwiredd Israel*] I'w gospi ef am ei annghyfiawnder a'i drais, pen. ii. 6; *y gofwyaf hefyd allorau Bethel*—i'w gospi am ei eilunaddoliaeth; neu, amlygir fy marnedigaethau hyd yr eithaf yn erbyn allorau a themlau y lloi aur yn Bethel a Dan: *a chyrn yr allor a dorir*—yr hyn a gyflawnwyd gan Josiah, 2 Bren. xxiii. 15, &c.

Adn. 15. *A mi a darawaf y gauafdy a'r hafdy*] Yr oedd gan y pendefigion dwyreiniol dai cynhes a chlyd i dreulio y gauaf ynddynt, a thai ereill mwy hyfrydol i gartrefu ynddynt yr haf. *A derfydd am y tai ifori*—y rhai a addurnid oddifewn âg ifori, 1 Bren. xxii. 39; *a bydd dyben ar y teiau mawrion*—trwy i'r naill a'r llall gael eu dystrywio gan eu gelynion.

PEN. IV. Adn. 1. *Gwrandewch y gair hwn, gwartheg Basan*] Yr oedd y cyfarchiad hwn yn dyfod yn ddigon naturiol oddiwrth fugail Tecoa; *y rhai ydych yn mynydd Samaria*—neu yn perthyn i deyrnas y deg llwyth; *y rhai ydych yn gorthrymu y tylawd*—a'r anghenog, trwy eu treisio a'u hyspeilio, neu trwy eu gwerthu yn gaethion i estroniaid; *yn dywedyd wrth eu meistriaid*—sef wrth y rhai a'u prynasent ganddynt; *Dygwch, ac yfwn*—seliwch neu wellhewch y fargen trwy ein hanrhegu ni â gwin. Ond tybia rhai mai *gwragedd* Basan a gyferchir yma dan yr enw 'gwartheg,' fel y mae y *dynion* yn cael eu galw yn 'deirw Basan,' Salm xxii. 12; ac mai eu *gwŷr* hwynt a olygir wrth eu 'meistriaid.' Neu fe allai fod y gwŷr yn cael eu galw yn 'wartheg,' yn y rhyw fenywaidd, ar gyfrif eu hysbryd llwfr a merchedaidd.

Adn. 2. *Tyngodd yr Arglwydd Dduw i'w santeiddrwydd*] Sef iddo ei hun fel Bôd santaidd; *y daw, wele, y dyddiau arnoch, y dwg efe chwi ymaith â drain*—neu â chawelli pysgota wedi eu gwneuthur o ddrain neu wiail; *a'ch hiliogaeth â bachau pysgota*—y meddwl yw, y byddai i'r gorthrymwyr hyn a'u hiliogaeth gael eu caethiwo gan yr Assyriaid, fel y delir pysgod â rhwydau neu fachau. Y mae anrheithwyr gwlad yn cael eu cyffelybu yn fynych i bysgotwyr.

Adn. 3. *A chwi a ewch allan i'r adwyau*] A wnaed gan y gelyn yn muriau eich dinasoedd; *bob un ar ei chyfer*—hyny yw, bydd i bob un o'r 'gwartheg' uchod geisio ffoi rhag y gelyn trwy yr adwy nesaf ati, fel buwch yn ceisio myned allan ar ei chyfer: *a chwi a'u teflwch hwynt i'r palas*—neu 'a deflwch ymaith *bethau* y palas,' fel y mae ar ymyl y ddalen, sef llestri ac addurniadau y palas; neu dygid hwynt ymaith yn llwyr o'u palasau, lle y buont yn gwledda ac yn ymbesgi fel gwartheg erbyn dydd y lladdfa.

Adn. 4. *Deuwch i Bethel*] Lle yr oedd allor y llo aur; *a throseddwch*—addolwch yr

aberthau, *a'ch* degymau wedi tair
blynedd *o ddyddiau;*
5 Ac offrymwch o surdoes *aberth*
diolch, cyhoeddwch *a* hysbyswch
aberthau gwirfodd: canys hyn a
hoffwch, meibion Israel, medd yr
Arglwydd Dduw.
6 ¶ A rhoddais i chwi lendid
dannedd yn eich holl ddinasoedd,
ac eisiau bara yn eich holl leoedd:
eto ni ddychwelasoch ataf fi, medd
yr Arglwydd.
7 Myfi hefyd a atteliais y gwlaw
rhagoch, pan *oedd* eto dri mis hyd
y cynauaf: gwlawiais hefyd ar un
ddinas, ac ni wlawiais ar ddinas
arall: un rhan a gafodd wlaw; a'r
rhan ni chafodd wlaw a wywodd.
8 Gwibiodd dwy ddinas *neu* dair
i un ddinas i yfed dwfr; ond nis
diwallwyd: eto ni ddychwelasoch
ataf fi, medd yr Arglwydd.
9 Tarewais chwi â diflaniad ac â
mallder: pan amlhaodd eich gerddi,
a'ch gwinllanoedd, a'ch ffigyswydd,
a'ch olewwydd, y lindys a'*u* hys-
odd: eto ni throisoch ataf fi, medd
yr Arglwydd.
10 Anfonais yr haint yn eich
mysg, megys yn ffordd yr Aifft:
eich gwŷr ieuainc a leddais â'r
cleddyf, gyda chaethgludo eich
meirch; a chodais ddrewi eich
gwersylloedd i'ch ffroenau: eto ni
throisoch ataf fi, medd yr Arglwydd.
11 Mi a ddymchwelais *rai* o hon-
och, fel yr ymchwelodd Duw So-
dom a Gomorra; ac yr oeddych fel
pentewyn wedi ei achub o'r gyneu
dân: eto ni throisoch ataf fi, medd
yr Arglwydd.
12 O herwydd hyny yn y modd
yma y gwnaf i ti, Israel: *ac* o her-
wydd mai hyn a wnaf i ti, bydd

---

eilun hwnw, gan mai hyny a fynwch ei wneuthur: *i Gilgal, a throseddwch fwyfwy*—gwawdiaith gref, yn eu harddangos hwynt fel yn anfeddyginiaethol ddrwg; yr un modd ag yn Ezec. xx. 39, 'Ewch, gwasanaethwch bob un ei eilunod.' Yr oedd Gilgal yn lle nodedig am eilunaddoliaeth, Hos. iv. 15, er i Dduw yno dreiglo gwaradwydd yr Aifft oddiar eu tadau, trwy eu derbyn hwy i gyfammod âg ef ei hun trwy enwaediad. *Dygwch bob bore eich aberthau*—i'ch duwiau meirwon yno; *a'ch degymau wedi tair blynedd o ddyddiau*—neu 'bob tair blynedd,' y rhai oeddynt eiddo y Lefiaid a'r tylodion, Deut. xiv. 28. Fel pe dywedasai, Efelychwch ddefodau fy nghrefydd i yn mhob rhan o addoliad eich duwiau gau.

Adn. 5. *Ac offrymwch o surdoes aberth diolch*] Yn ol trefniad fy nghyfraith i, Lef. vii. 13, i *ddiolch* i'r duwiau meirwon hyny y rhai ni wnaethant i chwi ddim llesâd: *cyhoeddwch a hysbyswch aberthau gwirfodd*—gwel ar Lef. vii. 16, &c. *Canys hyn a hoffwch*—neu a fynwch ei wneuthur, fel na wiw ceisio eich ennill oddiwrtho.

Adn. 6. *A rhoddais iwch lendid dannedd yn eich holl ddinasoedd*] Ymadrodd yn arwyddo prinder ymborth, neu newyn. Meddylir mai at y newyn dros saith mlynedd, a grybwyllir 2 Bren. viii. 1, y cyfeirir yma. *Eto ni ddychwelasoch ataf fi, medd yr Arglwydd*—yr hyn a ddengys mai amcan Duw, hyd yn nod yn ei ymweliadau barnedigaethol, ydyw dwyn dynion at ei draed mewn edifeirwch, fel ag i gael eu hachub ganddo.

Adn. 7. *Myfi hefyd a atteliais y gwlaw rhagoch*] Yr hwn a arferai ddisgyn tua diwedd Mawrth, i baratoi yr ŷd erbyn y cynauaf, Deut. xi. 14, 15. *Gwlawiais hefyd ar un ddinas, ac ni wlawiais ar ddinas arall*—er ei bod yn ymyl y llall, i'ch argyhoeddi mai fy rhagluniaeth arbenig i sydd yn trefnu y gwlawogydd, ac nid damwain ddall. *Un rhan*—o'r tir a gafodd wlaw i'w ffrwythloni; *a'r rhan ni chafodd wlaw, a wywodd*—o achos y sychder mawr. Yr oedd y gwahaniaeth hwn yn debyg i hwnw gynt rhwng yr Aifft a gwlad Gosen, Exod. ix. 26.

Adn. 8. *Gwibiodd dwy ddinas neu dair*] Sef eu trigolion a'u hanifeiliaid; *i un ddinas i yfed dwfr*—ar yr hon y gwlawiasai Duw: *ond nis diwallwyd*—am nad oedd yno ddigon iddynt oll, neu am fod syched yn eu dal hwy eilwaith ar ol cyraedd adref. *Eto ni ddychwelasoch ataf fi*—gwel ar adn. 6.

Adn. 9. *Tarewais chwi â diflaniad ac â mallder*] Gwel ar Deut. xxviii. 22. *Pan amlhaodd eich gerddi*—neu pan amlhaodd y ffrwythau yn eich gerddi a'ch gwinllanoedd; *y lindys a'u hysodd*—yn cynwys ond odid y locustiaid hefyd, Joel i. 4. *Eto ni throisoch ataf fi*—gwel ar adn. 6.

Adn. 10. *Anfonais yr haint yn eich mysg*] Cyffelyb i hwnw yn yr Aifft gynt, Exod. ix. 3, &c. *Eich gwŷr ieuainc a leddais â'r cleddyf*—wrth iddynt ryfela â'u gelynion; *gyda chaethgludo eich meirch*—y rhai a roddais yn yspail i'ch gelynion: *a chodais ddrewi eich gwersylloedd i'ch ffroenau*—yn cael ei achosi gan gelaneddau y lladdedigion yno, y rhai oeddynt yn rhy aml i'w claddu. *Eto ni throisoch ataf fi*—gwel ar adn. 6.

Adn. 11. *Mi a ddymchwelais rai o honoch*] Sef rhai o'u dinasoedd; *fel yr ymchwelodd Duw Sodom a Gomorra*—sef â llwyr ddymchweliad: *ac yr oeddych*—sef yr ychydig o honoch, megys Lot gynt, a allodd ddianc; *fel pentewyn wedi ei achub o'r gyneu dân*—ar ol iddo ddechreu llosgi. *Eto ni throisoch ataf fi*—mewn edifeirwch, yr hyn oedd fy amcan i wrth eich bwrw i'r tân, ac wrth eich achub o hono: gwel ar adn. 6.

barod, Israel, i gyfarfod â'th Dduw.
13 Canys wele, Lluniwr y myn-
yddoedd a Chreawdwr y gwynt, yr
hwn a fynega i ddyn beth *yw* ei
feddwl, *ac* a wna y bore yn dywyll-
wch, ac a gerdd ar uchelderau y
ddaear, yr Arglwydd, Duw y llu-
oedd, *yw* ei enw.

## PENNOD V.

GWRANDEWCH y gair hwn a
godaf i'th erbyn, *sef* galarnad,
O dŷ Israel!
2 Y wyryf Israel a syrthiodd; ni
chyfyd mwy: gadawyd hi ar ei
thir; nid *oes* a'i cyfyd.
3 Canys y modd hyn y dywed yr
Arglwydd Dduw; Y ddinas a aeth
allan *â* mil a weddill gant; a'r hon
a aeth allan *ar* ei chanfed a weddill
ddeg i dŷ Israel.
4 ¶ O herwydd fel hyn y dywed
yr Arglwydd wrth dŷ Israel; Ceis-
iwch fi, a byw fyddwch.
5 Ond nac ymgeisiwch â Bethel,
ac nac ewch i Gilgal, ac na thram-
wywch i Beerseba: o herwydd gan
gaethgludo y caethgludir Gilgal, a
Bethel a fydd yn ddiddim.
6 Ceiswch yr Arglwydd, a byw
fyddwch; rhag iddo dori allan yn
nhŷ Joseph fel tân, a'*i* ddifa, ac na
*byddo* a'*i* diffoddo yn Bethel.
7 Y rhai a drowch farn yn wer-

---

Adn. 12. *O herwydd hyny yn y modd yma y gwnaf i ti, Israel*] Gan na lwyddodd y cospedigaethau uchod i ddwyn Israel i edifeirwch, y mae Duw yma yn bygwth eu cospi hwy yn drymach fyth, nes eu llwyr ddyfetha. *Ac o herwydd mai hyn a wnaf it,' bydd barod, Israel, i gyfarfod â'th Dduw*—mewn brwydr. Fel pe dywedasai, Cynull yn nghyd dy holl fyddinoedd, a gwisga hwynt â'r arfogaeth oraf, a galw dy holl dduwiau i'th gynorthwyo, a dos allan i'r maes, i gael gweled pa un ai tydi, ynte Arglwydd Dduw y lluoedd, yw y cryfaf. Ond er mai hyn yw ystyr llythyrenol y geiriau, gellir eu benthyca yn briodol fel galwad ar ddynion i ymbarotoi i gyfarfod â Duw yn nydd angau a barn.

Adn. 13. *Canys wele, Lluniwr y mynyddoedd a Chreawdwr y gwynt*] Fel pe dywedasai, Yr hwn sydd yn dyfod i'th gyfarfod di, Israel, yw Creawdwr mawr pob peth gweledig ac anweledig; *yr hwn a fynega i ddyn beth yw ei feddwl*—hyny yw, yr hwn sydd yn hollwybodol yn gystal ag yn hollalluog; *ac a wna y bore yn dywyllwch*—neu, fel y mae y LXX a'r *Arabaeg* yn ei ddarllen, 'ac a wna y bore *a'r* tywyllwch,' sef dydd a nos; *ac a gerdd ar uchelderau y ddaear*—hyny yw, yn ol *Grotius*, 'yr hwn a fathra y balch;' neu, mewn geiriau ereill, yr hwn a ddarostwng yr uchel a'r galluog, ac a ddymchwela yr amddiffynfeydd cadarnaf. *Yr Arglwydd, Duw y lluoedd, yw ei enw*—sef Bôd hunan-fodol, annibynol, a thragwyddol, a Phenllywydd anfeidrol holl luoedd nef a daear.

PEN. V. Adn. 1. *Gwrandewch y gair hwn a godaf i'ch erbyn*] Neu a ganaf uwch eich pen; *sef galarnad*—y fath ag a genid mewn angladdau: gwel ar Jer. ix. 17, Ezec. xix. 1. Yr oedd y proffwyd yn edrych ar gyflwr y deg llwyth fel yn farw.

Adn. 2. *Y wyryf Israel*] Felly yr oedd Israel pan eu dyweddïwyd gyntaf i Dduw, sef yn forwyn bur a dihalog; *a syrthiodd*—o'i gogoniant a'i thegwch; neu a syrthiodd i gyflwr o farwoldeb a phuteindra ysbrydol. *Gadawyd hi ar ei thir*—ar y fan lle y gorweddai, fel celan farw, heb neb a allai ei chyfodi ond Duw yn unig, adn. 4.

Adn. 3. *Y ddinas a aeth allan â mil, a weddill gant*] Gwanychid a lleiheid y genedl yn fuan trwy amrafaelion cartrefol a rhuthrgyrch gelynion estronol, fel nas gadewid yn eu dinasoedd ond y ddegfed ran o'r milwyr a arferent fod ynddynt; ac felly byddent yn hollol analluog i wrthsefyll yr Assyriaid.

Adn. 4. *O herwydd fel hyn y dywed yr Arglwydd wrth dŷ Israel*] Hyd yn nod yn ei gyflwr egwan a marwol presenol; *Ceisiwch fi*—teflwch ymaith eich eilunod, a dychwelwch mewn edifeirwch at fy addoliad a'm gwasanaeth i; *a byw fyddwch*—maddeuaf eich gwrthgiliadau, derbyniaf chwi eilwaith i'm ffafr, a diogelir chwi rhag eich gelynion. Fel hyn, er nad allai dynion eu *bywhau* hwynt, y mae Duw yn addaw gwneuthur hyny.

Adn. 5. *Ond nac ymgeisiwch â Bethel, &c.*] Yr oedd Bethel, Gilgal, a Beerseba, yn cael eu hystyried yn brif eisteddleoedd eu heilunaddoliaeth hwy; ac os oeddynt yn meddwl cael ffafr a chymeradwyaeth Duw, rhaid iddynt beidio myned yno i eilunaddoli. *O herwydd gan gaethgludo y caethgludir Gilgal*—sef yr eilunaddolwyr yno; *a Bethel a fydd yn ddiddim*—ni fydd yr eilunod, a'u hoffeiriaid, a'u haddolwyr oll, ond megys llai na dim o flaen eu gelynion.

Adn. 6. *Ceisiwch yr Arglwydd, a byw fyddwch*] Y mae y proffwyd yma yn cadarnhau yr hyn a ddywedasai Duw o'r blaen, adn. 4. *Rhag iddo dori allan yn nhŷ Joseph fel tân*—sef yn nheyrnas y deg llwyth, y penaf o ba rai oedd Ephraim mab Joseph; *a'i ddifa*—hyny yw, ceisiwch yr Arglwydd, rhag i dân ei ddigofaint ef enyn yn erbyn y deg llwyth nes eu difa; *ac na byddo a'i diffoddo yn Bethel*—yn mhlith yr eilunod na'u hoffeiriaid yno.

Adn. 7. *Y rhai a drowch farn yn wermod*] Yn ffrwd chwerw o orthrymder a thrais; *ac a adewch gyfiawnder ar y llawr*—gan ddyrchafu anghyfiawnder yn ei le. Cyfeirir yma at

mod, ac a adewch gyfiawnder ar y
llawr.
8 *Ceisiwch yr hwn* a wnaeth y
saith seren ac Orion, ac a dry
gysgod angau yn fore-ddydd, ac a
dywylla y dydd yn nos; yr hwn a
eilw ddyfroedd y môr, ac a'u tywallt
ar wyneb y ddaear: Yr Arglwydd
*yw* ei enw:
9 Yr hwn sydd yn nerthu yr an-
rheithiedig yn erbyn y cryf, fel y
delo yr anrheithiedig yn erbyn yr
amddiffynfa.
10 Cas ganddynt a geryddo yn y
porth, a ffiaidd ganddynt a lefaro
yn berffaith.
11 O herwydd hyny am i chwi
sathru y tylawd, a dwyn y beichiau
gwenith oddiarno; chwi a adeilad-
asoch dai o gerig nadd, ond ni
thrigwch ynddynt; planasoch win-
llanoedd hyfryd, ac nid yfwch eu
gwin hwynt.
12 Canys mi a adwaen eich an-
wireddau lawer, a'ch pechodau
cryfion: y maent yn blino y cyfiawn,
yn cymeryd iawn, ac yn troi heibio
y tylawd yn y porth.
13 Am hyny y neb a fyddo call a
ostega yr amser hwnw: canys am-
ser drwg *yw*.
14 Ceisiwch ddaioni, ac nid dryg-
ioni; fel y byddoch fyw: ac felly
yr Arglwydd, Duw y lluoedd, fydd
gyda chwi, fel y dywedasoch.
15 Casewch ddrygioni, a hoffwch
ddaioni, a gosodwch farn yn y
porth: fe allai y bydd Arglwydd
Dduw y lluoedd yn raslawn i wedd-
ill Joseph.
16 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Duw y lluoedd, yr Ar-

---

y llywodraethwyr a'r barnwyr annghyfiawn, y rhai a ŵyrent farn.

Adn. 8. *Ceisiwch yr hwn a wnaeth y saith seren ac Orion*] Gwel ar Job xxxviii. 31; *ac a dry gysgod angau yn oleu-ddydd*—neu a dry y nos dywyllaf yn ddydd goleu; *ac a dywylla y dydd yn nos*—fel y gwnaeth efe yn yr Aifft, Exod. x. 22: *yr hwn a eilw ddyfroedd y môr*—trwy eu codi yn agerau i'r cymylau; *ac a'u tywallt ar wyneb y ddaear*—yn wlaw maethlon ac adfywiol. *Yr Arglwydd yw ei enw*—gwel ar pen. iv. 13.

Adn. 9. *Yr hwn sydd yn nerthu yr anrheithiedig yn erbyn y cryf*] Fel ag i'w alluogi i orchfygu ei yspeilwyr, ac i ennill eu hamddiffynfeydd cadarnaf hwynt. Crybwyllir y pethau hyn i ddangos hollalluogrwydd Jehofa, ac mor ofer fyddai i'r llywodraethwyr a'r barnwyr uchod geisio ei wrthwynebu ef.

Adn. 10. *Cas ganddynt a geryddo yn y porth*] Sef yr hwn a wrthwynebo eu hannghyfiawnder hwynt; *a ffiaidd ganddynt a lefaro yn berffaith*—sef y proffwydi neu y barnwyr cyfiawn, y rhai a annghefnogent eu ffyrdd hwy, neu a gynghorent ddynion i fyw yn gyfiawn a rhinweddol. Ar ol i'r proffwyd fod yn traethu ar ddirfawr allu Duw, y mae efe yma yn sylwi ar bechodau llywodraethwyr Israel.

Adn. 11. *O herwydd hyny am iwch sathru y tylawd*] Trwy ei yspeilio o'i feddiannau; *a dwyn y beichiau gwenith oddiarno*—y rhai a loflasai efe i gynal ei deulu; *chwi a adeiladasoch dai o gerig nadd*—âg eiddo nad oedd genych hawl ynddo; *planasoch winllanoedd hyfryd*—â ffrwyth eich gorthrwm a'ch trais. Ond er hyny, fel y dywedir yma, ni chaent hwy drigo yn y naill, nac yfed gwin o'r llall.

Adn. 12. *Canys mi a adwaen eich anwireddau lawer, a'ch pechodau cryfion*] Eich eilunaddoliaeth, eich annghyfiawnder, a'ch trais, am y rhai y soniwyd uchod; ac y maent oll, o ran eu natur a'u heffeithiau, yn adnabyddus i mi. *Y maent yn blino y cyfiawn*—diniwed; *yn cymeryd iawn*—am ŵyro barn; *ac yn troi heibio y tylawd yn y porth*—heb wrando ei gŵyn mewn llys barn, am na feddai wobr i'w roddi iddynt.

Adn. 13. *Am hyny y neb a fyddo call a ostega yr amser hwnw*] Gan wybod mai ofer yw cwyno, neu geryddu y fath weithredoedd annghyfiawn: *canys amser drwg yw*—pan y mae barnwyr diegwyddor yn attal cyfiawnder oddiwrth y neb ni allo ei brynu âg arian.

Adn. 14. *Ceisiwch ddaioni, ac nid drygioni*] Chwi farnwyr a llywodraethwyr Israel; hyny yw, gwnewch yr hyn sydd dda, a chiliwch oddiwrth yr hyn sydd ddrwg; *fel y byddoch fyw*—fel y byddo daioni i chwi, a'ch teuluoedd, a'ch teyrnas. *Ac felly yr Arglwydd, Duw y lluoedd, fydd gyda chwi*—i'ch bendithio a'ch achub eto, er amled eich pechodau blaenorol; *fel y dywedasoch*—fel y bostiasoch ei fod gyda chwi.

Adn. 15. *Casewch ddrygioni*] A wnaed genych chwi neu ereill; *a hoffwch ddaioni*—gan ei arferyd eich hunain, a'i wasgu ar ereill; *a gosodwch farn yn y porth*—gwnewch gyfiawnder yn eich llysoedd barn. *Fe allai*—os gwnewch felly, *y bydd Arglwydd Dduw y lluoedd yn raslawn i weddill Joseph*—y rhai a adawyd o'r deg llwyth heb eu dyfetha gan amrafaelion mewnol neu elynion allanol: gwel ar adn. 6. Fel pe dywedasai, Nid yw eich cyflwr mor anobeithiol fel na all Duw eto, ar eich edifeirwch a'ch diwygiad, droi ymaith ei farnedigaethau, a thosturio yn rasol wrth y rhai a weddilliwyd o honoch.

Adn. 16. *Am hyny*] Gan na fynant hwy wrando ar y cynghorion uchod; *fel hyn y dywed yr Arglwydd*—Jehofa, Duw y lluoedd; *Yn mhob heol y bydd cwynfan*—gan y dinasyddion; *ac yn mhob prif-ffordd y dy-*

glwydd; Yn mhob heol *y bydd*
cwynfan, ac yn mhob prif-fordd y
dywedant, Oh! oh! a galwant yr
arddwr i alaru; a'r neb a fedro
alaru, i gwynfan.
17 Ac yn mhob gwinllan *y bydd*
cwynfan: canys tramwyaf trwy dy
ganol di, medd yr Arglwydd.
18 Gwae y neb sydd yn dymuno
dydd yr Arglwydd: beth *yw* hwnw
i chwi? tywyllwch, ac nid goleuni
*yw* dydd yr Arglwydd.
19 Megys pe ffoai gŵr rhag llew,
ac arth yn cyfarfod âg ef; a myned
i'r tŷ, a phwyso ei law ar y pared,
a'i frathu o sarff.
20 Oni *bydd* dydd yr Arglwydd
yn dywyllwch, ac nid yn oleuni? yn
dywyll iawn, ac heb lewyrch ynddo?
21 ¶ Caseais a ffieiddiais eich
gwyliau, ac nid arogiaf yn eich
cymanfaoedd.
22 Canys er i chwi offrymu i
mi boeth-offrymau, a'ch offrymau
bwyd, ni fyddaf foddlon *iddynt;* ac
nid edrychaf ar hedd-offrwm eich
pasgedigion.
23 Symud oddiwrthyf drwst dy
ganiadau: canys ni wrandawaf ber-
oriaeth dy nablau.
24 Ond rheded barn fel dyfroedd,
a chyfiawnder fel ffrwd gref.
25 A offrymasoch chwi i mi
aberthau a bwyd-offrymau yn y di-
ffaethwch ddeugain mlynedd, tŷ
Israel?

---

*wedant, Oh! oh!*—hyny yw, cwynfana yr ymdeithwyr hefyd. *A galwant yr arddwr i alaru*—am golli o hono ei gnydau trwy ruthriad yspeilwyr; *a'r neb a fedro alaru*—sef y rhai a arferent alaru mewn angladdau, &c., Jer. ix. 17; *i gwynfan*—fel hyn gwahoddent eu gilydd i gwynfan yn chwerw dan eu trallodau blin.

Adn. 17. *Ac yn mhob gwinllan y bydd cwynfan*] Lle yr arferid llawenychu a bloeddio wrth gasglu y ffrwythau haf i mewn: *canys tramwyaf trwy dy ganol di*—i'th ddinystrio, fel y tramwyais gynt trwy wlad yr Aifft i daro eu cyntafanedigion hwy, Exod. xii. 23.

Adn. 18. *Gwae y neb sydd yn dymuno dydd yr Arglwydd*] Y rhai yn wawdlyd a ddymunent weled y pethau a ragfynegai y proffwyd yn dyfod i ben; neu a wawdient fygythion Duw, gan ei herio ef i'w cyflawni, Esay v. 19; neu ynte a ddysgwylient yn rhyfygus na fyddai cynddrwg arnynt yn y dydd hwnw ag y dywedai y proffwyd. *Beth yw hwnw i chwi?*—neu beth fydd dydd yr Arglwydd i chwi pan ddelo? *Tywyllwch, ac nid goleuni*—hyny yw, bydd dydd yr Arglwydd yn drallod, cyfyngder, a gofid dû i chwi, ac nid yn ddiwrnod o heddwch a chysur.

Adn. 19. *Megys pe ffoai gŵr rhag llew*] Yr hwn y mae rhywfaint o haelfrydedd yn ei natur; *ac arth yn cyfarfod âg ef*—yr hwn nid arbeda neb a ddelo yn ei ffordd: *a myned i'r tŷ, a phwyso ei law ar y pared*—i ymddadebru o'i ddychryn; *a'i frathu o sarff*—yr hon y mae ei brathiad yn angeuol. Dywedir fod nadrodd gwenwynig i'w cael yn fynych yn mharwydydd tai y dwyrain; ac yn yr India Ddwyreiniol cadwant greadur a elwir *mongose* yn eu tai i'r dyben i'w dyfetha. Y meddwl yw, pan ddeuai dydd digofaint yr Arglwydd ar eu gwarthaf, y byddai iddynt syrthio o'r naill drallod i'r llall, neu o'r naill ddrwg i un arall gwaeth nag ef.

Adn. 20. *Oni bydd dydd yr Arglwydd yn dywyllwch*] Heb un llewyrch o obaith am ymwared ynddo? Fel pe dywedasai, Da y gellir ei alw yn 'dywyll iawn, ac heb lewyrch ynddo,' wrth ystyried y dinystr fydd ynddo ar ddinasoedd a phentrefi, a'r dymchweliad a fydd y pryd hyny ar yr holl deyrnas, pryd y lleddir y trigolion, neu y cymerir hwynt yn gaethion i Assyria.

Adn. 21. *Caseais a ffieiddiais eich gwyliau*] Am eu bod yn llawn o ragrith a thwyll: *ac nid arogiaf yn eich cymanfaoedd*—ni foddheir fi ynddynt, fel y boddheir un âg arogl peraidd: gwel ar Gen. viii. 21. Cyfeirir yma at y tair gŵyl arbenig, y rhai a gedwid mewn rhith hyd yn nod yn mhlith y deg llwyth.

Adn. 22. *Canys er i chwi offrymu i mi boeth-offrymau, &c.*] Mewn efelychiad o'm haddoliad yn nheml Jerusalem; *ni fyddaf foddlon iddynt*—am na wneir hyny yn y lle a nodais i, nac yn y modd a orchymynais: *ac nid edrychaf ar hedd-offrwm eich pasgedigion*—gyda boddlonrwydd: gwel ar Esay i. 11—15.

Adn. 23. *Symud oddiwrthyf drwst dy ganiadau, &c.*] Pa faint bynag o beroriaeth gelfyddydol a allai fod yn eu lleisiau a'u hofferynau cerdd, nid oedd y cwbl ddim ond trwst aflafar ac anhyfryd yn nghlustiau yr Arglwydd, ac ni wrandawai efe arnynt.

Adn. 24. *Ond rheded barn fel dyfroedd*] Yn helaeth a diattal; *a chyfiawnder fel ffrwd gref*—yn ysgubo y cwbl o'i blaen. Yn lle ymorphwys ar y cyflawniadau rhagrithiol uchod, boed i gyfiawnder ac uniondeb darddu o'r llysoedd barn, a rhedeg yn ffrwd gref trwy yr holl wlad er lles i bawb. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y byddai i gyfiawn farn Duw gael ei gweinyddu fel ffrwd gref, yn ysgubo y cwbl o'i blaen.

Adn. 25. *A offrymasoch chwi i mi aberthau a bwyd-offrymau yn y diffaethwch ddeugain mlynedd, tŷ Israel?*] Eu bod yn aberthu yn y diffaethwch sydd eglur oddiwrth Exod. xxiv. 5, Num. vii. 12, &c., ac amrai leoedd ereill. Ond nid oedd yr Arglwydd yn eu hystyried hwy fel yn aberthu iddo *ef*, (1) Am nad oeddynt yn gwneuthur hyny yn gywir a diragrith, o wir gariad at Dduw, a golwg ar ei

26 Ond dygasoch babell eich Mo-
loch a Chïwn, eich delwau, seren
eich duw, a wnaethoch i chwi eich
hunain.
27 Am hyny y caethgludaf chwi
i'r tuhwnt i Ddamascus, medd yr
Arglwydd; Duw y lluoedd *yw* ei
enw.

## PENNOD VI.

GWAE y rhai esmwyth arnynt yn
Seion, ac sydd yn ymddiried yn
mynydd Samaria, y rhai a enwir yn
benaf o'r cenhedloedd, y rhai y
daeth tŷ Israel atynt.
2 Tramwywch i Calneh, ac ed-
rychwch, ac ewch oddiyno i He-
math fwyaf; yna disgynwch i Gath
y Philistiaid: ai gwell *ydynt* na'r
teyrnasoedd hyn? ai helaethach eu
terfyn hwy na'ch terfyn chwi?
3 Y rhai ydych yn pellhau y dydd
drwg, ac yn nesâu eisteddle trais;
4 Gorwedd y maent ar welyau
ifori, ac ymestyn ar eu glythau, a
bwyta yr ŵyn o'r praidd, a'r lloi o
ganol y cut;
5 Y rhai a ddatganant gyda llais
y nabl; dychymygasant iddynt eu
hun offer cerdd, megys Dafydd;

---

ogoniant ef. (2) Am eu bod yn corffori addoliad eu heilun-dduwiau gydag addoliad y gwir Dduw; ac felly, 'tra yr oeddynt yn ofni yr Arglwydd, nid oeddynt yn ei ofni:' gwel ar 2 Bren. xvii. 33, 34.

Adn. 26. *Ond dygasoch babell eich Moloch a Chïwn, &c.*] Dywedir mai delw yn cynrychioli yr *haul* ydoedd *Moloch*, ac mai seren eu duw *Chïwn* oedd y blaned *Sadwrn*, pa un a elwir *Remphan* gan y LXX. With deithio, cludent y delwau hyn gyda hwynt mewn math o flwch bychan ar lun pabell neu deml, tebyg i demlau arian Diana, Act. xix. 24; a dysgwylient i'r rhai hyn eu llwyddo a'u hamddiffyn hwynt: gwel ar Act. vii. 43. Tybia rhai mai am eu tadau y dywedir hyn, fel yn adn. 25; tra y tybia ereill mai atynt hwy eu hunain y cyfeirir: ond ymddengys i mi eu bod hwy a'u tadau yn euog o'r un eilunaddoliaeth: gwel ar Num. xxv. 2, Jos. xxiv. 14, Ezec. xx. 7, 16, a xxiii. 3, 8.

Adn. 27. *Am hyny y caethgludaf chwi i'r tuhwnt i Ddamascus*] Sef i Assyria a Media, 2 Bren. xvii. 6; ac yr oedd *Media* y tuhwnt nid yn unig i Damascus, ond i Babilon hefyd, fel y dywed Stephan: gwel ar Act. vii. 43.

PEN. VI. Adn. 1. *Gwae y rhai esmwyth arnynt yn Seion*] Neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'gwae y rhai *difraw* yn Seion,' sef y rhai nad ystyriant y farn fygythiedig, ac na ofalant am iachawdwriaeth eu heneidiau eu hunain. Ond y mae y LXX, yn nghyda'r *Syriaeg* a'r *Arabaeg*, yn ei ddarllen, 'Gwae y rhai a *ddirmygant* Seion,' sef y deg llwyth, y rhai a ddirmygent Seion neu Jerusalem, er i Dduw ei dewis hi i osod ei enw yno. Y mae ereill yn ei ddarllen, 'Gwae y rhai sydd yn *ymbwyso yn hyderus* ar Seion,' gan feddwl y bydd iddynt hwy gael eu hachub er mwyn Seion, er maint eu drygioni. Y mae yr ystyr hwn yn cytuno yn dda â'r geiriau nesaf. *Ac sydd yn ymddiried yn mynydd Samaria*—yn nghadernid eu prifddinas, yr hon a adeiladwyd ar fynydd Samaria. *Calmet* a *Houbigant* a'i darllenant, 'Gwae y rhai a *ddiystyrant* Seion, ac a *ymddiriedant* yn Samaria.' *Y rhai a enwir yn benaf o'r cenhedloedd, y rhai y daeth tŷ Israel atynt*—Seion a Samaria oeddynt ddau eisteddle penaf y ddwy deyrnas, i'r rhai y cyrchai yr holl genedl am ddiogelwch. Y *Galdeaeg* a'i deongla, 'Y rhai a enwant eu plant ar enwau penaethiaid y cenhedloedd, y rhai y daeth tŷ Israel atynt am ddiogelwch.' Fel hyn, mewn amseroedd diweddarach, darfu i rai o'r Iuddewon gymeryd enwau Alexander, Antipater, Agrippa, a'r cyffelyb, o barch i wŷr mawrion o'r enwau hyny yn mhlith y Groegiaid a'r Rhufeiniaid.

Adn. 2. *Tramwywch i Calneh*] Yr un a Calno, (Esay x. 9,) neu Ctesiphon, ar yr afon Tigris; *ac ewch oddiyno i Hemath fwyaf*—yr un ag Emesa, ar yr Orontes, yn Syria; *yna disgynwch i Gath y Philistiaid*—sef y ddinas a gymerasid yn ddiweddar gan Uzziah, 2 Cron. xxvi. 6. *Ai gwell ydynt na'r teyrnasoedd hyn*—sef Juda ac Israel? *Ai helaethach eu terfyn hwy na'ch terfyn chwi?*—rhoddir dau fath o atebiad i'r cwestiynau hyn: (1) Yr oeddynt yn well ac yn helaethach: a chan iddynt hwy gael eu dyfetha, pa sail sydd genych chwi i feddwl yr arbedir chwi, neu y gall eu duwiau hwy eich gwaredu, pan y methasant waredu eu dinasoedd eu hunain? gwel *Poole, Benson, &c.* (2) Nid oeddynt yn well: ac am hyny yr ydych chwi, gwŷr Israel a Juda, yn fwy anniolchgar a drwg wrth bechu yn erbyn Duw a wnaethai fwy i chwi nag iddynt hwy: gwel *Newcome, Gill, &c.*

Adn. 3. *Y rhai ydych yn pellhau y dydd drwg*] Gan feddwl na fydd i farnau Duw eich goddiweddyd mor fuan ag y dywed y proffwyd, os gwnant hyny rywbryd; *ac yn nesâu eisteddle trais*—sef yn hiraethu am ddyfodiad y dydd ar yr hwn y cynelir y llys, fel y galloch wneuthur trais; neu, yr ydych yn prysuro dyfodiad yr Assyriaid i'ch anrheithio trwy barhau yn eich drygioni.

Adn. 4. *Gorwedd y maent ar welyau ifori*] Neu welyau wedi eu haddurno âg ifori, yn y rhai y cysgent yn esmwyth: *ac ymestyn ar eu glythau*—i wledda ac ymbesgi: *a bwyta yr ŵyn o'r praidd*—y rhai, ebai *Chardin*, a ystyrid eu prif ddanteithfwyd yn y dwyrain; *a'r lloi o ganol y cut*—sef y rhai brasaf o honynt.

Adn. 5. *Y rhai a ddatganant gyda llais y*

6 Y rhai a yfant win mewn phiol-
au, ac a ymirant â'r enaint penaf;
ond nid ymofidiant am ddryllio Jo-
seph.
7 ¶ Am hyny yr awr hon hwy a
ddygir yn gaeth gyda'r cyntaf a
ddygir yn gaeth; a gwledd y rhai
a ymestynant, a symudir.
8 Tyngodd yr Arglwydd Dduw
iddo ei hun, Ffiaidd genyf odidog-
rwydd Jacob, a chaseais ei balasau:
am hyny y rhoddaf i fyny y ddinas
ac sydd ynddi, medd Arglwydd
Dduw y lluoedd.
9 A bydd os gweddillir mewn un
tŷ ddeg o ddynion, y byddant feirw.
10 Ei ewythr a'i cyfyd i fyny, a'r
hwn a'i llysg, i ddwyn yr esgyrn
allan o'r tŷ, ac a ddywed wrth yr
hwn a fyddo wrth ystlysau y tŷ, *A
oes* eto *neb* gyda thi? ac efe a ddy-
wed, Nac *oes:* yna y dywed yntau,
Taw; am na *wasanaetha* cofio enw
yr Arglwydd.
11 O herwydd wele yr Arglwydd
yn gorchymyn, ac efe a dery y tŷ
mawr âg agenau, a'r tŷ bychan â
holltau.
12 ¶ A red meirch ar y graig? a
ardd *neb hi* âg ychain? canys trois-
och farn yn fustl, a ffrwyth cyfiawn-
der yn wermod.
13 O chwi y rhai sydd yn llawen-
ychu mewn peth diddim, yn dy-
wedyd, Onid o'n nerth ein hun y
cymerasom i ni gryfder?
14 Ond wele mi a godaf i'ch er-
byn chwi, tŷ Israel, medd Arglwydd
Dduw y lluoedd, genedl; a hwy
a'ch cystuddiant chwi, o'r ffordd
yr ewch i Hemath, hyd afon y di-
ffaethwch.

---

*nabl, &c.*] Neu a ymddifyrent â chaniadau gwageddus, gan ddyfeisio offer cerdd soniarus i foddhau eu chwaeth anianol, megys y gwnaethai Dafydd i foliannu ei Dduw yn ysbrydol, 1 Cron. xxiii. 5, 2 Cron. xxix. 25.

Adn. 6. *Y rhai a yfant win mewn phiolau*] A hyny i ormodedd, o lestri mawrion a chostus; *ac a ymirant â'r enaint penaf*—sef yr un goraf a drutaf: gwel ar Mat. xxvi. 9. *Ond nid ymofidiant am ddryllio Joseph*—am drallodau eu brodyr gorthrymedig, a'r dinystr ag ydoedd yn dyfod ar y deg llwyth, y rhai a elwir 'Joseph,' pen. v. 6, 15. Y mae y gair 'gwae' yn ddealledig yn nechre adn. 3, 4, 5, 6, fel yn adn. 1.

Adn. 7. *Am hyny yr awr hon hwy a ddygir yn gaeth gyda'r cyntaf*] Fel yr oedd y bobl hyn yn cael eu hystyried yn gyntaf neu yn mlaenaf mewn glythineb a phechodau ereill, felly byddent yn mlaenaf yn mhlith y rhai a gaethgludid. *A gwledd y rhai a ymestynant*—ar eu glythau i'w pesgi eu hunain, adn. 4; *a symudir*—yn mhell oddiwrthynt; hyny yw, derfydd am eu danteithion a'u cyfeddach.

Adn. 8. *Tyngodd yr Arglwydd Dduw iddo ei hun*] I'w enw a'i briodoliaethau ei hun; *Ffiaidd genyf odidogrwydd Jacob*—neu '*falchder* Jacob,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; neu unrhyw beth yn yr hwn yr oedd y bobl hyn yn ymfalchïo, megys eu cyfoeth, eu palasau, eu dinasoedd, &c. *Am hyny y rhoddaf i fyny y ddinas ac sydd ynddi*—sef dinasoedd Samaria a Jerusalem, a'u trigolion, i law eu gelynion.

Adn. 9. *A bydd os gweddillir mewn un tŷ ddeg o ddynion*] Heb eu lladd gan gleddyf eu gelynion; *y byddant feirw*—o'r haint.

Adn. 10. *Ei ewythr a'i cyfyd i fyny*] Sef rhyw berthynas o bell, am y byddai ei deulu oll wedi meirw; *a'r hwn a'i llysg*—sef cynorthwywr ei ewythr; *i ddwyn yr esgyrn allan o'r tŷ*—i'w llosgi yn lludw, fel y gwneid â chelaneddau y meirwon mewn amser o haint neu bla, am na byddai amser y pryd hyny i eneinio y marw, a'i gladdu yn barchus. *Ac a ddywed wrth yr hwn a fyddo wrth ystlysau y tŷ*—hyny yw, yr ewythr a ddywedai wrth ei gynorthwywr; *A oes eto neb gyda thi*—yn aros heb ei losgi? *Ac efe a ddywed, Nac oes*—hwn yw yr olaf. *Yna y dywed yntau, Taw*—paid â grwgnach dan y trallodau hyn; neu paid â gweddio am ymwared yn awr, wedi iddi fyned yn rhy ddiweddar; *am na wasanaetha cofio enw yr Arglwydd*—mwyach, wedi i ddinystr ein cyfiawn oddiweddyd ni.

Adn. 11. *O herwydd wele yr Arglwydd yn gorchymyn*] I'r Assyriaid ddyfod i fyny yn erbyn Israel; *ac efe a dery y tŷ mawr âg agenau, a'r tŷ bychan â holltau*—hyny yw, bydd i ddynion o bob gradd, mawr a bychan, ddyoddef fel eu gilydd yn y dinystr hwn.

Adn. 12. *A red meirch ar y graig*] I'w haredig hi? *a ardd neb hi âg ychain?*—na wnant, am y byddai hyny yn llafur ofer. Felly ofer yw ceisio eich dwyn chwithau, y rhai y mae eich calon mor galed, i ddwyn ffrwyth er gogoniant i Dduw. *Canys troisoch farn yn fustl, a ffrwyth cyfiawnder yn wermod*—Saes., 'yn *gegid;*' hyny yw, parasoch i weinyddiadau cyfiawnder yn eich llysoedd barn fod mor chwerw a bustl, ac mor wenwynig a chegid.

Adn. 13. *O chwi y rhai sydd yn llawenychu mewn peth diddim*] Mewn eilunod, neu yn eich nerth eich hunain, yr hwn sydd yn llai na dim; *yn dywedyd, Onid o'n nerth ein hun y cymerasom i ni gryfder*—y fath na fedrai ein gelynion ei wrthsefyll?

Adn. 14. *Ond wele, mi a gyfodaf i'ch erbyn chwi. tŷ Israel—genedl*] Sef yr Assyriaid dan Pul, Tiglath-pileser, a Salmaneser, y rhai a ddarostyngasant Israel amrai weithiau, ac o'r diwedd a'u caethgludasant hwy allan o'u

## PENNOD VII.

FEL hyn y danghosodd yr Ar-
glwydd i mi: ac wele ef yn ffurf-
io ceiliogod rhedyn pan ddechreu-
odd yr adladd godi; ac wele, adladd
wedi lladd *gwair* y brenin *oedd*.
2 A phan ddarfu iddynt fwyta
glaswellt y tir, yna y dywedais, Ar-
bed, Arglwydd, atolwg, pwy a gy-
fyd Jacob? canys bychan *yw*.
3 Edifarhaodd yr Arglwydd am
hyn: Ni bydd hyn, eb yr Arglwydd.
4 ¶ Fel hyn y danghosodd yr Ar-
glwydd Dduw i mi: ac wele yr Ar-
glwydd Dduw yn galw i farn trwy
dân; a difaodd *y tân* y dyfnder
mawr, ac a ysodd beth.
5 Yna y dywedais, Arglwydd
Dduw, paid, atolwg: pwy a gyfyd
Jacob? canys bychan *yw*.
6 Edifarhaodd yr Arglwydd am
hyn: Ni bydd hyn chwaith, eb yr
Arglwydd Dduw.
7 ¶ Fel hyn y danghosodd efe i
mi: ac wele yr Arglwydd yn sefyll
ar gaer *a wnaethpwyd* wrth linyn,
ac yn ei law linyn.
8 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrthyf, Beth a weli di, Amos? a mi
a ddywedais, Llinyn: a'r Arglwydd
a ddywedodd, Wele, gosodaf linyn
yn nghanol fy mhobl Israel, *ac* ni
chwanegaf fyned heibio iddynt
mwyach.
9 Uchelfeydd Isaac hefyd a wneir
yn annghyfanedd, a chysegrau Is-
rael a ddyfethir; a mi a gyfodaf yn
erbyn tŷ Jeroboam â'r cleddyf.

---

gwlad, 2 Bren. xvii. 5. 6: *a hwy a'ch cystuddiant chwi*—yn mhob rhan o'r wlad; *o'r ffordd yr ewch i Hemath*—sef terfyn gogleddol gwlad Israel; *hyd afon y diffaethwch*—sef Besor, yr hon a ymarllwysai i Fôr-y-canoldir yn ymyl Gaza, ac a ydoedd eu terfyn deheuol hwy yn rhandir Simeon, Num. xxxiv. 5.

PEN. VII Adn. 1. *Fel hyn y danghosodd yr Arglwydd i mi*] Mewn gweledigaeth arwyddluniol. Yma sonia y proffwyd am y gyntaf o'r barnedigaethau ag oeddynt i ddisgyn ar y bobl hyn. *Ac wele ef yn ffurfio ceiliogod rhedyn*—neu locustiaid, fel y mae y gair *gobai* yn arwyddo yma: gwel ar Joel i. 4. *Pan ddechreuodd yr adladd godi*—ar ol i'r gwair gael ei ladd, neu ynte ei bori. Casgla rhai oddiwrth ddiwedd yr adnod hon ddarfod i'r brenin gymeryd y cnwd cyntaf yn borthiant i'w feirch rhyfel; a chan fod y bobl yn ymddibynu ar yr ail gnwd am gynaliaeth i'w hanifeiliaid hwy, byddai i ddyfethiant yr adladd gan y locustiaid eu taflu hwy i gyfyngder dirfawr.

Adn. 2. *A phan ddarfu iddynt fwyta glaswellt y tir*] Neu pan yr oedd y locustiaid wedi dechreu bwyta yr adladd uchod; *yna y dywedais, Arbed, Arglwydd, atolwg*—y bobl hyn rhag cael eu llwyr andwyo. *Pwy a gyfyd Jacob*—os bydd i ti ei daflu ef i lawr? *Canys bychan yw*—mewn nerth a rhifedi, i allu gwrthsefyll dy aneirif luoedd di.

Adn. 3. *Edifarhaodd yr Arglwydd am hyn*] Efe a newidiodd ei fwriad o'u llwyr ddyfetha, ar eiriolaeth y proffwyd: gwel ar 1 Sam. xv. 11, Jer. xviii. 8. *Ni bydd hyn*—ni lwyr ddyfethaf eu cnwd hwy trwy y locustiaid. Tybia rhai fod y weledigaeth hon yn ddarluniad cyffelybiaethol o ymosodiad cyntaf yr Assyriaid ar y wlad dan *Pul*, yr hwn ni bu mor ddinystriol ag yr ofnid: gwel ar 2 Bren. xv. 19, 20.

Adn. 4. *Fel hyn y danghosodd yr Arglwydd Dduw i mi*] Mewn ail weledigaeth. *Ac wele yr Arglwydd Dduw yn galw i farn trwy dân*—sef yn cospi Israel yn drymach trwy boethder a sychder mawr, yr hwn a ddifaai y môr mewn rhan trwy ei godi yn ageran, ac hefyd a ysai beth o'r tir. Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at ymosodiad *Tiglath-pileser*, yr hwn a gaethgludodd ymaith lawer o'r Israeliaid: gwel ar 2 Bren. xv. 29.

Adn. 5, 6. *Yna y dywedais, Arglwydd Dduw, paid, atolwg*] Eiriolodd y proffwyd eilwaith ar ran ei bobl, a llwyddodd i droi ymaith y farn hon hefyd fel y llall, adn. 2, 3.

Adn. 7. *Fel hyn y danghosodd efe i mi*] Mewn gweledigaeth arall. *Ac wele yr Arglwydd yn sefyll ar gaer a wnaethpwyd wrth linyn*—neu a wnaethpwyd yn uniawn, prydferth, a chadarn; *ac yn ei law linyn*—i brofi pa mor bell yr oedd y gaer hon wedi gŵyro oddiwrth uniondeb.

Adn. 8. *Beth a weli di, Amos*] Yn fy llaw i? *A mi a ddywedais, Llinyn*—y fath ag a ddefnyddid gan seiri wrth adeiladu. *Wele, gosodaf linyn yn nghanol fy mhobl Israel*—i'w mesur a'u profi hwynt yn ol rheolau uniona cyfiawnder. Fel hyn y mae yr offerynau a ddefnyddir i adeiladu, yn cael eu defnyddio weithiau i dynu i lawr ac i ddystrywio: gwel ar 2 Sam. viii. 2, Esay xxxiv 11, Galar. ii. 8. Y meddwl yma yw, y byddai i Dduw gymeryd golwg fanol ar holl deyrnas y deg llwyth, ac edrych pa mor bell yr oeddynt yn gywir ac uniawn, a pha mor bell yr oeddynt yn ŵyrgam, a'u barnu a'u cospi hwynt yn ol eu pechodau. *Ac ni chwanegaf fyned heibio iddynt mwyach*—yn ddisylw, neu heb eu cospi.

Adn. 9. *Uchelfeydd Isaac hefyd a wneir yn annghyfanedd*] Sef y temlau a'r allorau eilunaddolgar a godasent hwy yn Beerseba, lle y codasai eu tad Isaac allor i'r gwir Dduw, Gen. xxvi. 25; *a chysegrau Israel a ddyfethir*—sef y temlau a adeiladwyd ganddynt

10 ¶ Yna Amaziah offeiriad
Bethel a anfonodd at Jeroboam
brenin Israel, gan ddywedyd, Cyd-
fwriadodd Amos i'th erbyn yn
nghanol tŷ Israel: ni ddichon y tir
ddwyn ei holl eiriau ef.
11 Canys fel hyn y dywed Amos,
Jeroboam a fydd farw trwy y cledd-
yf, ac Israel a gaethgludir yn llwyr
allan o'i wlad.
12 Dywedodd Amaziah hefyd
wrth Amos, Ti weledydd, dos, ffo
ymaith i wlad Juda; a bwyta fara
yno, a phroffwyda yno.
13 Na chwanega broffwydo yn
Bethel mwy: canys capel y brenin
a llys y brenin *yw*.
14 ¶ Yna Amos a atebodd ac a ddy-
wedodd wrth Amaziah, Nid proff-
wyd *oeddwn* i, ac nid mab i broffwyd
*oeddwn* i; namyn bugail *oeddwn* i,
a chasglydd ffigys gwylltion:
15 A'r Arglwydd a'm cymerodd
oddiar ol y praidd, a'r Arglwydd a
ddywedodd wrthyf, Dos, a phroff-
wyda i'm pobl Israel.
16 ¶ Yr awr hon gan hyny gwr-
ando air yr Arglwydd; ti a ddywedi,
Na phroffwyda yn erbyn Israel, ac
nac yngan yn erbyn tŷ Isaac.
17 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd; Dy wraig a butteinia yn
y ddinas, dy feibion a'th ferched a
syrthiant gan y cleddyf, a'th dir a
renir wrth linyn; a thithau a fyddi
farw mewn tir halogedig, a chan
gaethgludo y caethgludir Israel
allan o'i wlad.

---

i'w heilunod, megys hòno yn Dan, Bethel, Gilgal, &c.; *a mi a gyfodaf yn erbyn tŷ Jeroboam â'r cleddyf*—cyflawnwyd y bygythiad hwn ar Zachariah mab Jeroboam, 2 Bren. xv. 10.

Adn. 10. *Yna Amaziah offeiriad Bethel*] Nid offeiriad o lwyth Lefi, ond un o 'wehilion y bobl,' y rhai a aberthent i'r lloi aur, 1 Bren. xii. 31, 32, a xiii. 33; *a anfonodd at Jeroboam brenin Israel*—i fynegu iddo fod Amos wedi cydfwriadu i'w erbyn ef, *yn nghanol tŷ Israel*—sef yn y modd mwyaf hyf a chyhoeddus. *Ni ddichon y tir ddwyn ei holl eiriau ef*—ni all cyfeillion y llywodraeth ddyoddef ei eiriau ef, a bydd i elynion y wlad gymeryd achlysur oddiwrthynt i godi mewn gwrthryfel a brad.

Adn. 11. *Canys fel hyn y dywed Amos*] Wrth y bobl; *Jeroboam a fydd farw trwy y cleddyf*—yr oedd hyn yn ŵyrdroad maleisus ar eiriau y proffwyd; canys ni phroffwydasai Amos yn erbyn Jeroboam ei hun, eithr yn erbyn ei deulu neu ei hiliogaeth ef; yr hyn a gyflawnwyd, fel y soniwyd eisioes, trwy lofruddiad Zachariah ei fab ef gan Salum, adn. 9. *Ac Israel a gaethgludir*—pa un bynag a ddywedasai y proffwyd hyny ai peidio, y mae yr Arglwydd yn ei ddywedyd ar ol hyn trwy ei enau ef, adn. 17.

Adn. 12. *Dywedodd Amaziah hefyd wrth Amos*] Ar ol iddo anfon y cyhuddiad uchod yn ei erbyn ef at y brenin: *Ti weledydd*—enw arall ar y proffwydi, 1 Sam. ix. 9; *dos, ffo ymaith i wlad Juda*—os wyt am gadw dy einioes; *a bwyta fara yno*—ymofyn am dy gynaliaeth yn ngwlad Juda: *a phroffwyda yno*—os wyt am broffwydo. Efe a awgrymai mai er mwyn cael ei gynaliaeth y daethai Amos allan o'i wlad i broffwydo.

Adn. 13. *Na chwanega broffwydo yn Bethel mwy*] Lle y mae teml y llo aur: *canys capel y brenin*—lle y mae efe yn addoli ei eilun: *a llys y brenin yw*—lle y mae efe a'i lys yn cartrefu yn fynych, fel y gallont gael gwell cyfleusdra i addoli, 1 Bren. xiii. 1.

Adn. 14. *Yna Amos a atebodd ac a ddywedodd wrth Amaziah*] Gydag cofadra cyfaddas i genad anfonedig yr Arglwydd; *Nid proffwyd oeddwn i*—ar y cyntaf; *ac nid mab i broffwyd oeddwn i*—ni chyrhaeddais i yr anrhydedd hwn trwy dreftadaeth, neu trwy coeliad dynol, na thrwy ddygiad i fyny yn ysgolion y proffwydi: *namyn bugail oeddwn i*—yn Tecoa, pen. i. 1; *a chasglydd ffigys gwylltion*—y rhai a dyfent nid mewn gerddi, eithr ar ochrau y ffyrdd; ac yr oeddwn yn cael rhan o'm cynaliaeth wrth gasglu a gwerthu y rhai hyny.

Adn. 15. *A'r Arglwydd a'm cymerodd oddiar ol y praidd*] Pan yr oeddwn yn bugeilio yn Tecoa, yn ngwlad Juda; *ac a ddywedodd wrthyf*—trwy weithrediad digyfnewid ei Ysbryd ar fy meddwl; *Dos, a phroffwyda i'm pobl Israel*—rhybyddia hwynt o'r perygl ag y maent ynddo, a'r dinystr a syrth arnynt onid edifarhant. Felly yr oedd gwaith Amaziah yn gwahardd i Amos broffwydo yn Bethel, yn wrthwynebiad uniongyrchiol i orchymyn Duw.

Adn. 16. *Yr awr hon gan hyny*] O Amaziah ryfygus; *gwrandaw air yr Arglwydd*—yr hwn a roddes efe i mi yn awr i'w ddywedyd wrthyt ti yn bersonol. *Ti a ddywedi, Na phroffwyda, &c.*—yr wyt ti yn defnyddio dy awdurdod i geisio fy attal i rhag proffwydo yn erbyn Israel, nac yngan gair yn erbyn tŷ Isaac; (gwel ar adn. 9:) ond yr wyf fi, fel ye dywedasai, yn myned i ddywedyd gair oddi wrth Dduw yn dy erbyn di a'th deulu yn bersonol.

Adn. 17. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Yr hwn yr wyt ti yn ei wrthwynebu; *Dy wraig a buteinia yn y ddinas*—nid yn unig hi a dreisir, ond hefyd hi a ymwertha i aflendid gyda milwyr Assyria ar heolydd Bethel; *dy feibion a'th ferched a syrthiant*—gan gleddyf yr Assyriaid; *a'th dir a renir wrth linyn*—rhwng y milwyr, yn ol arferiad rhai buddugoliaethwyr: *a thithau a fyddi farw mewn tir halogedig*—yn ngwlad y cen-

## PENNOD VIII.

FEL hyn y danghosodd yr Arglwydd i mi; ac wele, gawellaid o ffrwythydd haf.

2 Ac efe a ddywedodd, Beth a wele di, Amos? a mi a ddywedais, Cawellaid o ffrwythydd haf: yna *y* dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Daeth y diwedd ar fy mhobl Israel; nid âf heibio iddynt mwyach.

3 Caniadau y deml hefyd a droir yn udo ar y dydd hwnw, medd yr Arglwydd Dduw: llawer o gelanedd*au a fydd* yn mhob lle; bwrir *hwynt* allan yn ddystaw.

4 ¶ Gwrandewch hyn, y sawl ydych yn llyncu yr anghenog, i ddifa tylodion y tir,

5 Gan ddywedyd, Pa bryd yr â y mis heibio, fel y gwerthom ŷd? a'r sabboth, fel y dygom allan y gwenith, gan brinhau yr epha, a helaethu y sicl, ac annghyfiawnu y clorianau trwy dwyll?

6 I brynu y tylawd er arian, a'r anghenus er pâr o esgidiau, ac i werthu gwehilion y gwenith?

7 Tyngodd yr Arglwydd i ragorfraint Jacob, Diau nid annghofiaf byth yr un o'u gweithredoedd hwynt.

8 Oni chryn y ddaear am hyn? ac oni alara ei holl breswylwyr? cyfyd hefyd i gyd fel llif; a bwrir hi ym-

---

hedloedd paganaidd; *a chan gaethgludo y caethgludir Israel allan o'i wlad*—i Assyria a dinasoedd Media, yr hyn a gyflawnwyd yn fuan wedi hyn, 2 Bren. xvii. 6.

PEN. VIII Adn. 1. *Fel hyn y danghosodd yr Arglwydd i mi*] Mewn gweledigaeth arwyddluniol arall: gwel ar pen. vii. 1. *Ac wele, gawellaid o ffrwythydd haf*—yn llawn addfed, i arwyddo fod Israel bellach wedi llawn addfedu i ddinystr. Ond y mae rhai yn ei gyfieithu, 'cawellaid o ffrwythydd *hydrefol*,' sef y ffrwythydd *diweddaf* yn y tymhor; a thybiant mai mewn cyfeiriad at hyny y sonir am y *diwedd* yn yr adnod nesaf.

Adn. 2. *Daeth y diwedd ar fy mhobl Israel*] Sef diwedd fy amynedd i tuag atynt, a diwedd eu llwyddiant a'u hawddfyd hwythau. *Nid âf heibio iddynt mwyach*—heb eu cospi.

Adn. 3. *Caniadau y deml hefyd a droir yn udo ar y dydd hwnw*] Sef teml eu heilunod; neu 'ganiadau y *palas*,' fel y geilir ei gyfieithu: gwel ar pen. vi. 5. Gan mai yn erbyn Israel y proffwydir yma, y mae yn eglur nad at ganiadau y deml yn Jerusalem y cyfeiria y proffwyd. *Llawer o gelanedd*au a *fydd yn mhob lle*—trwy gleddyf yr Assyriaid, a thrwy yr haint a ganlyna y rhyfel. *Bwrir hwynt allan yn ddystaw*—i'w claddu neu eu llosgi, neu bwrir hwynt allan gyda'r brys mwyaf, heb neb yn galarnadu yn ol yr arferiad cyffredin mewn angladdau.

Adn. 4. *Gwrandewch hyn, y sawl ydych yn llyncu*] Neu yn gorthrymu yr anghenog; *i ddifa tylodion y tir*—trwy eu diwreiddio, neu ynte eu gwerthu yn gaethion. Cyfeirir yma at lywodraethwyr, barnwyr, a marsiandwyr anghyfiawn y wlad.

Adn. 5. *Gan ddywedyd, Pa bryd yr â y mis heibio*] Saes., 'y newydd-loer,' sef dydd a gedwid yn wyl ganddynt; *fel y gwerthom ŷd*—er elw i ni ein hunain? *a'r sabboth, fel y dygom allan y gwenith*— i'r farchnad? Gwaherddid iddynt faelerio ar ddydd y newydd-loer, yn gystal ag ar y sabboth: ac yr oedd hyny yn achos o ofid mawr i'r cybyddion trachwantus hyn, y rhai a hiraethent am gyfleusdra i gynyddu eu cyfoeth. *Gan brinhau yr epha*—sef y mesur â'r hwn y gwerthent allan, er mwyn rhoddi llai o ŷd i'r tylodion am eu harian; *a helaethu y sicl*—neu bwysi y sicl, er mwyn cael chwaneg o arian am eu heiddo; *ac annghyfiawnu y clorianau trwy dwyll*—gan wneyd y naill ben iddynt yn ysgafnach wrth brynu i mewn, ac yn drymach wrth werthu allan.

Adn. 6. *I brynu y tylawd er arian*] Neu eu gwneuthur yn gaethweision iddynt eu hunain am yr amser, trwy roddi iddynt yr arian gofynol i dalu eu dyledion i ereill, a'u rhyddhau oddiwrth eu gofynion hwy; *a'r anghenus er pâr o esgidiau*—ymadrodd diarebol, yn arwyddo eu cael i'w gwasanaethu am bris bychan. Yr oedd yn arferiad y pryd hyny, pan na allai dyn dalu ei ddyledion, fod iddo ei werthu ei hun a'i deulu yn gaethweision i'w ofynwr: gwel Exod. xxii. 3, Lef. xxv. 39—47, 2 Bren. iv. 1, Mat. xviii. 25. *Ac i werthu gwehilion y gwenith*—fel hyn, heb foddloni ar dwyllo y tylodion mewn mesur, pwysau, a phris, cymysgent eu gwenith neu eu peillied â rhyw sothach nad oedd yn addas i wneuthur bara.

Adn. 7. *Tyngodd yr Arglwydd i ragorfraint Jacob*] Sef i'w *enw* ei hun, fel y mae yr Iuddewon yn ei ddeall, yr hwn oedd rhagorfraint Jacob a'i hiliogaeth: *Diau nid annghofiaf byth, &c.*—hyny yw, ni faddeuai efe byth yr un o'u gweithredoedd hwynt, eithr efe a'u cospai hwynt am danynt oll. Felly ni a welwn mor ffiaidd yn ngolwg Duw yw cribddeiliaeth, neu gymeryd mantais ar angen y tylodion!

Adn. 8. *Oni chryn y ddaear am hyn*] Sef am eu pechodau dirfawr hwy, a chosp Jehofa arnynt? *ac oni alara ei holl breswylwyr*—wrth ystyried eu bod oll yn euog o'r un pechodau, ac yn agored i'r un gosp? *Cyfyd hefyd i gyd fel llif*—neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Cyfyd *dinystr* fel llif;' *a bwrir hi ymaith, a hi a foddir, megys gan afon yr Aifft*—y meddwl yw, fel y mae yr Aifft yn cael ei gorlifo yn flynyddol gan y Nilus, felly y bydd i holl wlad Israel gael ei gorlifo gan fyddinoedd yr Assyriaid, y rhai a ddinystriant y cwbl o'u blaen.

aith, a hi a foddir, megys *gan* afon
yr Aifft.
9 A'r dydd hwnw, medd yr Ar-
glwydd Dduw, y gwnaf i'r haul
fachludo hanner dydd, a thywyllaf
y ddaear *liw* dydd goleu.
10 Troaf hefyd eich gŵyliau yn
alar, a'ch holl ganiadau yn oernad;
dygaf sach-lian ar yr holl lwynau, a
moelni ar bob pen: a mi a'i gwnaf
fel galar *am* unmab, a'i ddiwedd
fel dydd chwerw.
11 ¶ Wele, y mae y dyddiau yn
dyfod, medd yr Arglwydd Dduw,
yr anfonaf newyn i'r tir; nid newyn
am fara, ac nid syched am ddwfr,
ond am wrando geiriau yr Ar-
glwydd.
12 A hwy a grwydrant o fôr i fôr,
ac a wibiant o'r gogledd hyd y
dwyrain, i geisio gair yr Arglwydd,
ac nis cânt.
13 Y diwrnod hwnw y gwyryfon
glân, a'r meibion ieuainc a ddiffodd-
ant o syched.
14 Y rhai a dyngant i bechod Sa-
maria, ac a ddywedant; Byw *yw* dy
dduw di, O Dan; a byw yw ffordd
Beerseba; hwy a syrthiant, ac ni
chodant mwy.

## PENNOD IX.

GWELAIS yr Arglwydd yn sefyll
ar yr allor: ac efe a ddywedodd,
Taro gapan y drws, fel y siglo y
gorsingau; a thor hwynt oll yn y
pen; minau a laddaf y rhai olaf o
honynt â'r cleddyf: ni ffy ymaith o
honynt a ffo, ac ni ddianc o honynt
a ddiango.

---

Adn. 9. *A'r dydd hwnw*] Sef dydd dinystr Israel; *y gwnaf i'r haul fachludo hanner dydd*—derfydd eu holl lawenydd, eu llwyddiant, a'u cysur ar unwaith, pan fyddant yn uwchder eu mwyniant; *a thywyllaf y ddaear*—trwy ddwyn ar eu gwlad gwmwl dû o ofidiau a thrallodion; *liw dydd goleu*—pan y byddant hwy yn meddwl fod pob peth yn ddiogel.

Adn. 10. *Troaf hefyd eich gŵyliau yn alar*] Sef eu gŵyliau eilunaddolgar; *a'ch holl ganiadau yn oernad*—gwel ar adn. 3. *Dygaf sach-lian ar yr holl lwynau, a moelni ar bob pen*—sef arwyddion allanol o alar neu ofid mewnol: *a mi a'i gwnaf fel galar am unmab*—fel galar rhieni ar farwolaeth eu huniganedig fab, yr hwn yw y galar mwyaf. *A'i ddiwedd*—sef diwedd y 'dydd hwnw,' a In. 9; *fel dydd chwerw*—yr hwn a derfynai yn nghaethgludiad y gweddill o'r deg llwyth allan o'u gwlad.

Adn. 11. *Wele, y mae y dyddiau yn dyfod*] Yn chwanegol at y barnedigaethau tymhorol uchod, bygythir yma gosp ysbrydol; *yr anfonaf newyn i'r tir*—nid newyn am fara, ond newyn *enaid*, neu hiraeth am broffwyd i lefaru wrthynt eiriau yr Arglwydd, ar ol i foddion gras ac iachawdwriaeth gael eu symud oddiwrthynt.

Adn. 12. *A hwy a grwydrant o fôr i fôr*] O'r naill derfyn y tir i'r llall, neu o fôr Tiberias hyd Fôr-y-canoldir; *ac a wibiant o'r gogledd hyd y dwyrain*—i geisio gair yr Arglwydd, yr hwn nis cânt. Ni sonir yma am y *deau*, am y byddai yn well gan yr eilunaddolwyr hyn wibio i bob man nag at wir broffwydi yr Arglwydd, y rhai a drigent yn ngwlad Judea, yr hon oedd o du y *deau* i deyrnas y deg llwyth. Meddylia rhai fod yn y bygythiad hwn gyfeiriad neillduol at gyflwr yr Iuddewon yn ystod eu gwasgariad presenol.

Adn. 13. *Y diwrnod hwnw y gwyryfon glân a'r meibion ieuainc*] Y rhai a fyddant yn mlodau eu dyddiau ac yn nghanol eu nerth; *a ddiffoddant o syched*—a ballant ac a ddiffygiant yn eu hymchwil ofer am air yr Arglwydd, fel rhai yn trengu o eisiau dwfr.

Adn. 14. *Y rhai a dyngant i bechod Samaria*] Sef i'r eilun a addolid yno; *ac a ddywedant*—mewn ffordd o lw difrifol neu addoliad crefyddol; *Byw yw dy dduw di, O Dan*—sef y llo a osodasai Jeroboam yno; *a byw yw ffordd Beerseba*—sef ffordd crefydd Beerseba, neu y modd yr addolid yno. Ond y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Byw yw *duw* Beerseba.' *Hwy a syrthiant, ac ni chodant mwy*—am nad allai y duwiau meirwon a addolent, eu codi, na'u gwaredu rhag soriant y Duw byw.

PEN. IX. Adn. 1. *Gwelais yr Arglwydd*] Neu gwelais arddanghosiad gweledig o'r presenoldeb dwyfol, megys y Secina; *yn sefyll ar yr allor*—neu uwchben yr allor. Tybia *Poole, Benson, Sutcliffe*, ac eraill, mai allor y poeth-offrwm yn Jerusalem a feddylir yma; ond gan mai parhad o'r broffwydoliaeth flaenorol yn nghylch Israel yw y geiriau hyn, barna *Lowth, Boothroyd, Gill, Clarke*, ac amrai ereill, mai allor yr eilunod yn nheml Bethel neu Beerseba a olygir yma. *Ac efe a ddywedodd*—wrth un o'i angylion, fel y mae *Jerome* yn ei ddeall; neu ynte wrth gadfridog byddin yr Assyriaid, gan roddi iddo orchymyn i ddinystrio Israel a'u temlau. *Taro gapan y drws, fel y siglo y gorsingau*—sef dau ystlysbost drws y deml hono. Meddylir fod y geiriau hyn yn arwyddo y brenin a'i dywysogion; neu ynte cyfeirir at ddymchweliad y temlau hyn a'u gwasanaeth. *A thor hwynt oll yn y pen*—gan ymosod ar yr holl benaethiaid gwladol ac eglwysig: *minau a laddaf y rhai olaf o honynt â'r cleddyf*—sef eu teuluoedd hwynt, neu y bobl gyffredin. *Ni ffy ymaith o honynt a ffo*—neu a geisio ffoi; *ac ni ddianc o honynt a ddiango*—ni ddiangant yn mhell, am y delir ac y cwympir hwynt trwy y cleddyf.

2 Pe cloddient hyd uffern, fy llaw
a'u tynai hwynt oddiyno; a phe
dringent i'r nefoedd, mi a'u disgyn-
wn hwynt oddiyno:
3 A phe llechent ar ben Carmel,
chwiliwn a chymerwn hwynt oddi
yno; a phe ymguddient o'm golwg
yn ngwaelod y môr, oddiyno y gor-
chymynaf i'r sarff eu brathu hwynt:
4 Ac os ânt i gaethiwed o flaen
eu gelynion, oddiyno y gorchymyn-
af i'r cleddyf, ac efe a'u lladd
hwynt: a gosodaf fy ngolwg yn eu
herbyn er drwg, ac nid er da *idd-
ynt*.
5 Ac Arglwydd Dduw y lluoedd
a gyffwrdd â'r ddaear, a hi a dawdd;
a galara pawb a'r a drig ynddi, a hi
a gyfyd oll fel llifeiriant, ac a foddir
megys *gan* afon yr Aifft.
6 Yr hwn a adeilada ei esgyn-
feydd yn y nefoedd, ac a sylfaenodd
ei fintai ar y ddaear, yr hwn a eilw
ddyfroedd y môr, ac a'u tywallt ar
wyneb y ddaear: Yr Arglwydd *yw*
ei enw.
7 Onid *ydych* chwi, meibion Is-
rael, i mi fel meibion yr Ethiopiaid?
medd yr Arglwydd: oni ddygais i
fyny feibion Israel allan o dir yr
Aifft, a'r Philistiaid o Caphtor, a'r
Syriaid o Cir?
8 Wele lygaid yr Arglwydd ar y
deyrnas bechadurus, a mi a'i dy-
fethaf oddiar wyneb y ddaear: ond
ni lwyr-ddyfethaf dŷ Jacob, medd yr
Arglwydd.
9 Canys wele, myfi a orchymynaf,
ac a ogrynaf dŷ Israel yn mysg yr
holl genhedloedd, fel y gogrynir *yd*

---

Adn. 2. *Pe cloddient hyd uffern*] I ymguddio o'm golwg yn y dyfnderau isaf; *fy llaw a'u tynai hwynt oddiyno*—i'w cospi: *a phe dringent i'r nefoedd*—i ben y bryniau neu y creigiau uwchaf; *mi a'u disgynwn hwynt oddiyno*—i weinyddu arnynt fy nghyfiawn ddialedd.

Adn. 3. *A phe llechent ar ben Carmel*] Yn mysg y llwyni tewfrig yno, neu mewn ogof; *chwiliwn a chymerwn hwynt oddiyno*—er dirgeled fydd [illegible] i eu lloches: *a phe ymguddient o'm golwg yn ngwaelod y môr*—neu 'yn ngwaelod y môr,' fel y mae y *Caldaeg* yn ei ddarllen; *oddiyno y gorchymynaf i'r sarff eu brathu hwynt*—defnyddiwn sarff yn yr ynys, neu bysgodyn ysglyfaethus yn ngwaelod y môr, yn offeryn yn fy llaw i ddial arnynt. Y rhai hyn ydynt ymadroddion ffugyrol, i ddangos yr anmhosibilrwydd iddynt ddianc rhag barn Duw: gwel ar Salm cxxxix. 7, &c.

Adn. 4. *Ac os ânt i gaethiwed o flaen eu gelynion*] Ni fyddant ddiogel yno, eithr dyfethir hwynt gan y cleddyf, yr hwn a'u lladd hwynt yn lleoedd eu gwasgariad. *A gosodaf fy ngolwg yn eu herbyn er drwg*—pa le bynag y byddant: *ac nid er da iddynt*—edrychaf arnynt i'w dyfetha, ac nid i ddosturio wrthynt.

Adn. 5. *Ac Arglwydd Dduw y lluoedd*] Yr hwn y mae pob gallu ac awdurdod yn ei law; *a gyffwrdd â'r ddaear, a hi a dawdd*—[illegible] ei sorriant ef: *a galara pawb a'r a drig ynddi*, &c.—gwel ar pen. viii. 8, lle y ceir yr un geiriau.

Adn. 6. *Yr hwn a adeilada ei esgynfeydd yn y nefoedd*] Cyfeirir yma ond odid at y naill gylch [illegible] uwchlaw y llall yn y nefoedd; *ac a sylfaenodd ei fintai ar y ddaear*—sef y gwahanol elfenau, y rhai sydd genedo dan ei lywodraeth, fel y meddylir yn gyffredin; megys tân, dwfr, awyr, &c. *Yr hwn a eilw ddyfroedd y môr*—yn darth ac agerau i'r cymylau: *ac a'u tywallt ar wyneb y ddaear*—yn wlaw maethlon ac ireiddiol. *Yr Arglwydd yw ei enw*—gwel ar pen. iv. 13. Cawn yn y pum adnod uchod ddarluniad mawreddog o hollwybodaeth a hollalluogrwydd Jehofa.

Adn. 7. *Onid ydych chwi, meibion Israel, i mi fel meibion yr Ethiopiaid?*] Hyny yw, onid ydych chwi, trwy eich pechodau, wedi fforffetio fy amddiffyniad i, a dwyn eich hunain dan fy melldith, fel y gwnaeth Cam, tad yr Ethiopiaid? gwel ar Gen. ix. 22, &c. *Oni ddygais i fyny feibion Israel allan o dir yr Aifft?*—do: y mae hyny yn ddigon gwir. Onid mi a wnaethym yr un peth i genhedloedd ereill, y rhai a felldithiwyd. Canys dygais *y Philistiaid o Caphtor*—sef o *Cappadocia* yn ol rhai, neu o *Creta* yn ol ereill: *a'r Syriaid o Cir*—sef rhan o Media Uwchaf: gwel ar 2 Bren. xvi. 9. Y meddwl yw, fod Duw wedi trawsblanu cenhedloedd ereill yn gystal a'r Israeliaid; ac am hyny nas gallent hwy hyderu y byddai iddo ef ddangos ffafrau iddynt hwy yn barhaus, o herwydd yr hyn a wnaethai i'w tadau, mwy na'r Philistiaid a'r Syriaid eu gelynion hwy.

Adn. 8. *Wele lygaid yr Arglwydd ar y deyrnas bechadurus*] Sef teyrnas Israel, i'w dyfetha hi mewn rhan oddiar wyneb y ddaear, adn. 1—4: *ond ni lwyr-ddyfethaf dŷ Jacob*—ni ddyfethaf yr holl genedl, eithr arbedaf rai o honynt i fod yn gofgolofn o'm *cyfiawnder*, ac wedi hyny o'm *trugaredd*.

Adn. 9. *Canys wele, myfi a orchymynaf*] I dŷ Israel gael eu gogrynu neu eu nithio yn mysg yr holl genhedloedd lle y gwasgerir hwynt; *fel y gogrynir yd mewn gogr*—y da a'r drwg yn nghyd: *ac ni syrth y gronyn lleiaf i'r llawr*—o'r gwenith pur; hyny yw, ni syrth dim trwy ogr fy nigofaint i ond yr ûs.

Adn. 10. *Holl bechaduriaid fy mhobl a fyddant feirw gan y cleddyf*] Neu trwy ryw farnedigaeth arall; *y rhai a ddywedant*—yn ymffrostgar, er maint eu twyll, eu trais, a'u diystyrwch o gyfraith yr Arglwydd; *Ni*

mewn gogr; ac ni syrth y gronyn
lleiaf i'r llawr.
10 Holl bechaduriaid fy mhobl a
fyddant feirw gan y cleddyf, y rhai
a ddywedant, Ni oddiwes drwg ni,
ac ni achub ein blaen.
11 ¶ Y dydd hwnw y codaf
babell Dafydd yr hon a syrthiodd,
ac a gauaf ei bylchau, ac a godaf ei
hadwyau, ac a'i hadeiladaf fel yn y
dyddiau gynt:
12 Fel y meddianno y rhai y gel-
wir fy enw arnynt, weddill Edom,
a'r holl genhedloedd, medd yr Ar-
glwydd yr hwn a wna hyn.
13 Wele y dyddiau yn dyfod,
medd yr Arglwydd, y goddiwes yr
arddwr y medelwr, a sathrydd y
grawnwin yr hauwr had; a'r myn-
yddoedd a ddefnynant felyswin, a'r
holl fryniau a doddant.
14 A dychwelaf gaethiwed fy
mhobl Israel; a hwy a adeiladant y
dinasoedd anghyfanedd, ac a'u
preswyliant; a hwy a blanant win-
llanoedd, ac a yfant o'u gwin;
gwnant hefyd erddi, a bwytânt eu
ffrwyth hwynt.
15 Ac mi a'u planaf hwynt yn eu
tir, ac nis diwreiddir hwynt mwyach
o'u tir a roddais i iddynt, medd yr
Arglwydd dy Dduw.

---

*oddiwes drwg ni*—yr hwn a fygythir i'n herbyn; *ac ni achub ein blaen*—hyny yw, ni ddaw drwg atom o'r tu ol nac o'r tu blaen.

Adn. 11. *Y dydd hwnw y codaf babell Dafydd yr hon a syrthiodd*] Hyny yw, adferaf y frenhiniaeth i dŷ a theulu Dafydd yn mherson y Messia: gwel yr ystyr hwn i'r geiriau yn cael ei brofi ar Act. xv. 16. *Ac a gauaf ei bylchau, ac a godaf ei hadwyau, &c.*—adferaf fy eglwys i'w harddwch a'i chadernid blaenorol; ïe, hi a ragora yn fawr mewn purdeb, ysbrydolrwydd, ac eangder, ar ddim a feddiannodd dan yr hen oruchwyliaeth.

Adn. 12. *Fel y meddianno y rhai y gelwir fy enw arnynt*] Sef gwir Israel Duw, neu y Cristionogion; *weddill Edom*—sef prif elynion yr eglwys Gristionogol, fel yr oedd yr Edomiaid yn brif elynion Israel; *a'r holl genhedloedd*—hyny yw, fel y meddiannant holl ddynolryw, y rhai a ddygir i eglwys Crist trwy *weithrediad* Ysbryd yr Arglwydd ar eu meddyliau a'u calonau. Ond yn lle *Edom*, y mae yr Esgob Newcome yn darllen *Adam*, 'dynion,' yr hwn hefyd yw y darlleniad yn yr *Arabaeg*, a rhai ysgrifLyfrau o'r *Syriaeg*, ac yn Act. xv. 17; ac yn lle *yireshu*, 'fel y meddianno,' efe a ddarllena *yidreshu*, 'fel y ceisiont;' ac felly y mae y testyn yn debyg i'r dyfyniad gan St. Iago, Act. xv. 17: 'Fel y byddo i hyn a weddiller o ddynion geisio yr Arglwydd,' &c.

Adn. 13. *Wele y dyddiau yn dyfod*] Cawn yma addewid arall am ffrwythlondeb y ddaear yn amser y milflwyddiant; *y goddiwes yr arddwr y medelwr, &c.*—fel pe dywedasai, Bydd y fath helaethrwydd o ŷd i'w fedi, nes y bydd yn bryd i'r arddwr ddechreu aredig y ddaear at gnwd arall cyn y gellir casglu y cnwd cyntaf i mewn i'r ysguboriau, gan mor doreithiog y bydd. *A'r mynyddoedd a ddefnynant felyswin*—y fath fydd ffrwythlondeb y gwinllanoedd ar lechweddau y mynyddoedd, nes y bydd nôdd y gwinrawn yn barod i redeg i lawr i'r dyffrynoedd; *a'r holl fryniau a doddant*—Hebr., 'a lifeiriant,' o olew, llaeth, ac ymenyn. Ond y mae rhai yn deall hyn am fendithion ysbrydol: gwel ar Joel iii. 18.

Adn. 14. *A dychwelaf gaethiwed fy mhobl Israel*] Sef eu caethiwed ysbrydol hwynt, Esay xi. 11, 12; *a hwy a adeiladant y dinasoedd anghyfanedd, ac a'u preswyliant, &c.*—y meddwl yw, y cânt hwy yn yr amseroedd dedwydd hyn fwynhau ffrwyth eu llafur eu hunain, ac nid adeiladu a phlanu er budd rhai ereill, fel y bygythir yn pen. v. 11.

Adn. 15. *Ac mi a'u planaf hwynt yn eu tir*] Sef yn eglwys Dduw, yr hon a roddwyd iddynt; *ac nis diwreiddir hwynt mwyach*—fel y gwnaed gynt trwy eu gwrthodiad o'r Messia. Casgla llawer oddiwrth y geiriau hyn y bydd i'r holl genedl gael eu dychwelyd eto i Ganaan, ac aros yno byth; ond yr wyf fi yn meddwl, fel y nodwyd amrai weithiau o'r blaen, mai bendithion ysbrydol sydd yn cael eu haddaw yma, a hyny mewn iaith gyfatebol i'r hon a ddefnyddid wrth addaw dychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon: gwel ar Jer. xxx. 3, Ezec. xxxvii. 25, Joel iii. 20.

---

# LLYFR Y PROFFWYD OBADIAH.

Nid oes genym ddim sicrwydd pwy oedd OBADIAH, nac o ba wlad yr hanodd, na pha bryd yr oedd yn proffwydo; ac nid yw y cwbl a ddywedwyd ar y petnau hyn ddim ond dychymygion yn unig. Y dyb fwyaf cyffredin yw, ei fod yn blodeuo tua'r amser ag y cymerwyd Jerusalem gan Nebuchodonosor, ac felly ei fod yn gydoeswr â Jeremi ac Ezeciel. Ei brif destyn yw proffwydo am ddinystr Edom gan y Caldeaid, ac wedi hyny gan yr Iuddewon, yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol. Y mae rhai o ymadroddion Obadiah yn cael eu defnyddio hefyd gan Jeremi yn pen. xlix; ond pa un o'r ddau a fenthycodd gan y llall, chwedl *Clarke*, nis gellir ei benderfynu. Ond ymddengys oddiwrth ddechre y llyfr hwn fod yr un peth wedi ei ddatguddio i'r ddau: gwel ar adn. 1.

GWELEDIGAETH Obadiah. Fel
hyn y dywed yr Arglwydd Dduw
am Edom; Clywsom son oddiwrth
yr Arglwydd, a chenad a hebryng-
wyd yn mysg y cenhedloedd; Cod-
wch, a chyfodwn i ryfela yn ei
herbyn hi.
2 Wele, mi a'th wnaethym yn
fychan yn mysg y cenhedloedd;
dibris iawn *wyt*.
3 ¶ Balchder dy galon a'th dwyll-
odd: ti yr hwn wyt yn trigo yn
holltau y graig, *yn* uchel ei drigfa;
yr hwn a ddywed yn ei galon, Pwy
a'm tyn i'r llawr?
4 Ped ymddyrchefit megys yr
eryr, a phe rhoit dy nyth yn mhlith
y ser, mi a'th ddisgynwn oddiyno,
medd yr Arglwydd.
5 Pe deuai lladron atat, neu ys-
peilwyr nos, (pa fodd y'th dorwyd
ymaith!) oni ladratasent hwy eu
digon? pe daethai cynllunwyr
grawnwin atat, oni weddillasent
rawn?
6 Pa fodd y chwiliwyd Esau, *ac*
y ceisiwyd ei guddfeydd ef!
7 Yr holl wŷr y rhai yr oedd
cyfammod rhyngot â hwynt, a'th
yrasant hyd y terfyn; *y* gwŷr yr
oedd heddwch rhyngot â hwynt, a'th
dwyllasant, *ac* a'th orfuant; *bwyta-*
*wyr* dy fara a roddasant archoll
danat: nid *oes* deall ynddo.
8 Oni ddinystriaf y dydd hwnw,
medd yr Arglwydd, y doethion
allan o Edom, a'r deall allan o fyn-
ydd Esau?
9 Dy gedyrn di, Teman, a ofnant;
fel y torer ymaith bob un o fynydd
Esau trwy laddfa.
10 ¶ Am *dy* draha yn erbyn dy

---

Adn. 1. *Gweledigaeth Obadiah*] 'Gwas yr Arglwydd,' fel yr arwydda ei enw. Hwn yw teitl y llyfr. *Fel hyn*—sef fel yr adroddir yn y llyfr hwn; *y dywed yr Arglwydd Dduw am Edom*—am y wlad a'i thrigolion, y rhai oeddynt hiliogaeth Esau brawd Jacob. *Clywsom son oddiwrth yr Arglwydd*—hyny yw, adroddwyd i Jeremi ac Obadiah gan yr Arglwydd, fod cenad wedi ei anfon i fysg y cenhedloedd gyda'r genadwri ganlynol: *Codwch, a chyfodwn i ryfela yn ei herbyn hi*—hon yw iaith y cenad hwnw yn annog y Caldeaid a'u cynghreirwyr i godi yn erbyn Edom, a hyny trwy gynhyrfiad oddiwrth yr Arglwydd: gwel ar Jer xlix. 14.

Adn. 2. *Wele, mi a'th wnaethym*] Di Edom, *yn fychan yn mysg y cenhedloedd*—yn wan a hawdd dy orchfygu: *dibris iawn wyt*—yn ngolwg y Caldeaid ac ereill.

Adn. 3. *Balchder dy galon a'th dwyllodd*] Gan beri i ti feddwl dy fod yn gryfach nag yr ydwyt; *ti yr hwn wyt yn trigo yn holltau y graig*—neu yn ymguddio mewn ogofau yn y creigiau mewn amseroedd o berygl, gan feddwl nad all neb dy dynu i lawr.

Adn. 4. *Ped ymddyrchefit megys yr eryr, &c.*] Yr hwn a nytha yn y creigiau uwchaf, y rhai a ymddanghosant fel yn cyraedd at y ser; *mi a'th ddisgynwn oddiyno*—gwel ar Jer. xlix. 16.

Adn. 5. *Pe deuai lladron atat, &c.*] Y meddwl yw, fod pob math o ladron yn gadael peth ar eu hol, ar ol lladrata digon; ond y byddai i'r Edomiaid gael eu dyfetha yn llwyr: gwel ar Jer. xlix. 9.

Adn. 6. *Pa fodd y chwiliwyd Esau*] Y chwiliwyd ei guddfeydd ef, fel ag i'w yspeilio o'i holl drysorau! I ddangos sicrwydd y cyflawniad, y mae y prophwyd yn son am hyn fel peth wedi cymeryd lle eisioes.

Adn. 7. *Yr holl wŷr y rhai yr oedd cyfammod rhyngot â hwynt*] Sef y Caldeaid a'r rhai y gwnaethai yr Edomiaid gyfammod pan yr oeddynt yn myned i fyny yn erbyn Judea; *a'th yrasant hyd y terfyn*—a droisant i'th erbyn, ac a'th yrasant allan o'th wlad; neu, cauasant am danat o bob tu, gan dy dwyllo a'th orchfygu. *Bwytawyr dy fara*—y rhai a broffesent eu bod dy gyfeillion penaf; *a roddasant archoll danat*—a roddasant *fagl* danat, neu a daenasant *rwyd* i ti, fel y mae *Newcome* ac ereill yn ei ddarllen. *Nid oes deall ynddo*—neu 'ynot:' nid wyt yn canfod dy ddirfawr berygl.

Adn. 8. *Oni ddinystriaf y dydd hwnw, medd yr Arglwydd, y doethion allan o Edom*] Fel na byddo yno neb yn gallu deall pa gynghor i'w roddi, na pha fodd i ddyfod allan o'u cyfyngder? gwel ar Jer. xlix. 7.

Adn. 9. *Dy gedyrn di, Teman*] Teman oedd ddinas yn ngwlad Edom, yr hon a gawsai ei henw oddiwrth Teman ŵyr Esau, Gen. xxxvi. 11; *a ofnant*—er mor wrol ydynt. Dywed Josephus fod y Temaniaid yn arferol o fyned allan i ryfel gyda chymaint o sirioldeb a phe buasent yn myned i wledd; ond yma bygythir hwynt âg ofn neu lwfrdra, fel nad allent sefyll yn ngwyneb eu gelynion i'w hamddiffyn eu hunain.

Adn. 10. *Am dy draha yn erbyn dy frawd Jacob*] Sef y niwed a wnaethai yr Edomiaid i'r Iuddewon, hiliogaeth Jacob, brawd Esau eu tad; *gwarth a'th orchuddia*—a deflir arnat gan bawb a glywant am dy ymddygiad creulon: *a thi a dorir ymaith byth*—oddiwrth y meddiant o'th wlad.

Adn. 11. *Y dydd y sefaist o'r tu arall*] Yn erbyn Jacob, yn lle bod o'i blaid ef: *y dydd y caethgludodd estroniaid ei olud ef*—Saes., 'ei *fyddin* ef,' o Judea i Babilon: *a myned o ddyeithriaid i'w byrth ef*—sef y Caldeaid dyeithr; *a bwrw coelbrenau ar Jerusalem*—i ranu ei golud neu ei chaethion hi rhyngddynt; *tithau hefyd oeddit megys un o*

frawd Jacob, gwarth a'th orchuddia,
a thi a dorir ymaith byth.
11 Y dydd y sefaist o'r tu arall,
y dydd y caethgludodd estroniaid
ei olud ef, a myned o ddyeithriaid
i'w byrth ef, a bwrw coelbrenau ar
Jerusalem, tithau hefyd *oeddit*
megys un o honynt.
12 Ond ni ddylesit ti edrych ar
ddydd dy frawd, y dydd y dyeithr-
wyd ef; ac ni ddylesit lawenychu
o achos plant Juda, y dydd y dyfeth-
wyd hwynt; ac ni ddylesit ledu dy
safn ar ddydd y cystudd.
13 Ni ddylesit ddyfod o fewn
porth fy mhobl yn nydd eu haf-
lwydd; ïe, ni ddylesit edrych ar eu
hadfyd yn nydd eu hallwydd; ac ni
ddylesit estyn *dy law* ar eu golud
yn nydd eu dyfethiad hwynt.
14 Ac ni ddylesit sefyll ar y
croesffyrdd, i dori ymaith y rhai a
ddiangai o hono; ac ni ddylesit roi
i fyny y gweddill o hono ar ddydd
yr adfyd.
15 Canys agos *yw* dydd yr Ar-
glwydd ar yr holl genhedloedd:
fel y gwnaethost, y gwneir i tithau;
dy wobr a ddychwel ar dy ben dy
hun.
16 Canys megys yr yfasoch ar fy
mynydd santaidd, *felly* yr holl gen-
hedloedd a yfant yn wastad; ïe, yf-
ant a llyncant, a byddant fel pe na
buasent.
17 ¶ Ond ar fynydd Seion y bydd
ymwared, ac y bydd santeidd-
rwydd; a thŷ Jacob a berchenog-
ant eu perchenogaeth hwynt.
18 Yna y bydd tŷ Jacob yn dân,
a thŷ Joseph yn fflam, a thŷ Esau yn
sofl, a chyneuant ynddynt, a difäant
hwynt; ac ni bydd *un* gweddill o
dŷ Esau: canys yr Arglwydd a'*i*
dywedodd.
19 Goresgyn y deau hefyd fynydd

---

*honynt*—yn gyfranog fel hwythau o'r creulondeb ac o'r ysglyfaeth.

Adn. 12. *Ond ni ddylesit ti edrych*] Gyda boddlonrwydd a llawenydd, fel y gwnaethost, *ar ddydd dy frawd*—sef dydd ei drallod a'i gystudd ef; *y dydd y dyeithrwyd ef*—neu y gyrwyd ef allan o'i wlad; *ac ni ddylesit lawenychu o achos plant Juda y dydd y dyfethwyd hwynt*—lawer o honynt, gan gleddyf eu gelynion; *ac ni ddylesit ledu dy safn*—mewn crechwen ddirmygus ar ddydd eu cystudd hwynt.

Adn. 13. *Ni ddylesit ddyfod o fewn porth fy mhobl*] I gynorthwyo eu gelynion hwy yn nydd eu haflwydd; *ïe, ni ddylesit edrych ar eu hadfyd*—ac ymlawenychu o'i herwydd, fel y gwnaethost; *ac ni ddylesit estyn dy law ar eu golud*—i gymeryd rhan o hono yr un modd a'r Caldeaid.

Adn. 14. *Ac ni ddylesit sefyll ar y croesffyrdd*] I ddal yr Iuddewon a ddiangent o Jerusalem yn amser y gwarchae, gan naill ai eu lladd, neu eu hanfon yn ol at y Caldeaid; *ac ni ddylesit roi i fyny y gweddill*—sef y rhai a lwyddasent i ddianc i wlad Edom am ddiogelwch. Felly ymddengys i'r Edomiaid gymeryd rhan arbenig yn ninystr yr Iuddewon a'u dinas, am yr hyn y bygythir hwynt yma: gwel ar Salm cxxxvii. 7, Ezec. xxv. 12—14, a xxxv. 5, &c., Amos i. 11, 12.

Adn. 15. *Canys agos yw dydd yr Arglwydd*] Yn yr hwn y diala efe ar yr holl genhedloedd ag sydd yn elynion iddo ef a'i bobl. *Fel y gwnaethost, y gwneir i tithau*—yspeilir a dyfethir dithau, a llawenychir yn dy ddinystr, fel y gwnaethost tithau yn ninystr yr Iuddewon: *dy wobr a ddychwel ar dy ben dy hun*—gwel ar Ezec. xxxv. 11—15.

Adn 16. *Canys megys yr yfasoch ar fy mynydd santaidd*] Ymddengys fod y proffwyd yn troi yma i lefaru wrth yr Iuddewon dyoddefus; a'r ystyr yw, Megys yr yfasoch chwi o gwpan fy nigofaint i yn Jerusalem; *felly yr holl genhedloedd a yfant yn wastad*—y rhai a barhant yn elynion i chwi a minau: *ïe, yfant a llyncant*—yfant yn helaeth, hyd y gwaelodion; *a byddant fel pe na buasent*—llwyr ddyfethir hwynt fel cenedl allan o fodolaeth.

Adn. 17. *Ond ar fynydd Seion y bydd ymwared*] Meddylir fod hyn yn cyfeirio yn llythyrenol at ddychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon, pryd y byddai ymwared, neu 'rai diangol,' ar fynydd Seion eto; *ac y bydd santeiddrwydd*—yn brif nodwedd eu cymeriad, heb neb yn myned ar ol eilunod, ond pawb wedi ymgyflwyno i wasanaethu yr Arglwydd: *a thŷ Jacob a berchenogant eu perchenogaeth hwynt*—sef eu perchenogaeth eu hunain yn Nghanaan. Ond diamau fod yn y geiriau gyfeiriad pellach at ddyddiau yr efengyl, a'u bod yn arddangos gwaredigaeth a santeiddrwydd yr eglwys Gristionogol, yn enwedig ar ol dychweliad yr Iuddewon iddi, ac yn ystod y milflwyddiant.

Adn. 18. *Yna y bydd tŷ Jacob yn dân, a thŷ Joseph yn fflam*] I lwyr ddifa *tŷ Esau*, yr hwn a fydd megys *sofl* o'u blaen: *ac ni bydd un gweddill o dŷ Esau*—cyflawnwyd hyn mewn rhan gan yr Iuddewon dan Judas Maccabeus, 1 Mac. v. 3—5; ond cyflawnir y geiriau yn llawnach pan y bydd i'r Arglwydd wneyd ei eglwys fel tân i ddifa Anghrist yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 19. *Goresgyn y deau hefyd*] Sef yr Iuddewon a drigent yn mharthau deheuol gwlad Judea; *fynydd Esau*—neu 'fynydd Seir,' fel ei gelwir weithiau: *a'r gwastadedd*—sef yr Iuddewon a breswylient yn nyffrynoedd gorllewinol Judea; *y Philistiaid*—hyny

Esau, a'r gwastadedd y Philistiaid;
a pherchenogant faesydd Ephraim,
a maesydd Samaria, a Benjamin *a*
*feddianna* Gilead;
20 A chaethglud y llu hwn o
blant Israel, yr hyn *a fu eiddo* y
Canaaneaid, hyd Sarephath; a
chaethion Jerusalem, y rhai *sydd* yn
Sepharad, a feddiannant ddinasoedd
y deau.
21 A gwaredwyr a ddeuant i fyny
ar fynydd Seion i farnu mynydd
Esau: a'r frenhiniaeth fydd eiddo
yr Arglwydd.

---

yw, hwy a oresgynant ac a feddiannant diriogaethau y Philistiaid. *A pherchenogant faesydd Ephraim, a maesydd Samaria*—sef yr holl wlad a berthynai i'r deg llwyth o du y gorllewin i'r Iorddonen. *A Benjamin*—mewn cysylltiad â llwyth Juda, *a feddianna Gilead*—rhan y ddau lwyth a hanner tu hwnt i'r Iorddonen. Danghosir yma fuddugoliaethau yr Iuddewon, ar ol eu dychweliad o Babilon, ar eu cymydogion eilunaddolgar; sef ar Edom o du y deau, ar y Philistiaid o du y gorllewin ar Ephraim a Samaria o du y gogledd, ac ar Gilead o du y dwyrain. Ond diamau fod helaethiad eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf yn cael ei awgrymu hefyd yn yr adnod hon a'r nesaf.

Adn. 20. *A chaethglud y llu hwn o blant Israel, yr hyn a fu, &c.*] Hyny yw, 'a *feddiannant* yr hyn a fu eiddo y Canaaneaid;' *hyd Zarephath*—neu Sarepta yn Sidon: *a chaethion Jerusalem, y rhai sydd yn Sepharad*—lle yn Babilon, fel y tybia rhai; neu, yn ol *Lightfoot*, yn Edom; *a feddiannant ddinasoedd y deau*—ymddengys mai y meddwl yw, y bydd i'r rhai a fuont mewn caethiwed yn mhlith y Canaaneaid, feddiannu gwlad y Canaaneaid; a'r rhai a fuont mewn caethiwed yn Edom, feddiannu gwlad yr Edomiaid: gwel *Newcome* a *Lowth*.

Adn. 21. *A gwaredwyr a ddeuant i fyny ar fynydd Seion*] Wrth ei ddeall yn llythyrenol, gall fod yma gyfeiriad at Zorobabel, Ezra, a Nehemiah, y rhai a arweiniasant yr Iuddewon o Babilon i Jerusalem; *i farnu mynydd Esau*—neu i ddial yr Iuddewon ar yr Edomiaid: *a'r frenhiniaeth fydd eiddo yr Arglwydd*—trwy y bydd y gallu gwladol ac eglwysig gan yr archoffeiriad yn ei law ei hun. Ond os deallwn y geiriau mewn ystyr cyfriniol neu ysbrydol, gall mai wrth y *gwaredwyr* hyn yr ydym i ddeall Crist a'i apostolion, a phregethwyr ereill yr efengyl, trwy weinidogaeth pa rai y dygir iachawdwriaeth i Seion neu yr eglwys, ac y darostyngir *Edom* neu Anghrist, yn ei wahanol agweddau; a'r pryd hyny yn unig y gellir dywedyd mewn gwirionedd, 'A'r frenhiniaeth fydd eiddo yr Arglwydd.'

---

# LLYFR Y PROFFWYD JONAH.

Jonah yw y cyntaf, o ran amser, o'r rhai a elwir y Proffwydi Lleiaf, er ei fod wedi ei osod yn bummed yn eu plith: ïe, yr oedd efe yn proffwydo o flaen Esay, Jeremi, Ezeciel, a Daniel. Enw ei dad ef oedd Amittai, o Gath-Hepher, yn rhandir Zabulon yn Galilea: ac ymddengys ei fod yn proffwydo yn Israel tua diwedd teyrnasiad Jehu, oddeutu y flwyddyn 862 cyn Crist: gwel ar 2 Bren. x. 30, a xv. 25. Dywed y rabbiniaid mai efe oedd mab y weddw o Sarepta, yr hwn a adferwyd i fywyd gan Elias; ond nid yw hyny yn debygol: gwel ar 1 Bren. xvii. 17.—Er fod y llyfr hwn i'w ystyried yn fwy fel *hanes* nag fel *proffwydoliaeth*, eto yr oedd Jonah yn wir *broffwyd* i'r Arglwydd, i'r hwn yr amlygai efe ddygwyddiadau dyfodol: gwel ar 2 Bren. xv. 25.—Y mae rhai rhanau o'r llyfr hwn o'r fath hynodrwydd, nes y tueddwyd rhai i'w ystyried ef fel *breuddwyd* Jonah pan yn cysgu yn y llong, pen. i. 5; tra yr edrycha ereill arno fel *arallea*, ac ereill fel *ffug-chwedl*. Ond dylid cofio ddarfod i'n Harglwydd ddwyn tystiolaeth iddo fel hanes gwirioneddol, gan ddangos fod y dygwyddiadau hynod a grybwyllir ynddo wedi cael eu bwriadu fel cysgod o'i farwolaeth, ei gladdedigaeth, a'i adgyfodiad ei hun y trydydd dydd.—Cawn yma. (1) Hanes Jonah yn ffoi i Tarsis, yn lle myned i Ninefe, pen. i. (2) Gweddi Jonah o fol y pysgodyn, a'i waredigaeth ryfeddol, pen. ii. (3) Pregeth Jonah yn Ninefe, a'r effaith a gafodd ar y trigolion, pen. iii. (4) Jonah yn digio o herwydd i'r Arglwydd arbed y Ninefeaid, ac yn cael ei geryddu am hyny, pen. iv.—Dywed Jerome fod bedd Jonah i'w weled yn ngwlad ei enedigaeth yn ei amser ef.

---

## PENNOD I.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
at Jonah mab Amittai, gan
ddywedyd,
2 Cyfod, dos i Ninefe y ddinas
fawr, a llefa yn ei herbyn; canys eu
drygioni hwynt a ddyrchafodd ger
fy mron.

---

PEN. I. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth at Jonah*] Mewn ffordd o orchymyn dwyfol yn cael ei argraffu ar ei feddwl ef ond odid.

3 A Jonah a gyfododd i ffoi i Tarsis oddi gerbron yr Arglwydd: ac efe a aeth i waered i Joppa, ac a gafodd long yn myned i Tarsis, ac a dalodd ei llong-log hi, ac a aeth i waered iddi i fyned gyda hwynt i Tarsis, oddi gerbron yr Arglwydd.

4 ¶ Ond yr Arglwydd a gyfododd wynt mawr yn y môr, a bu yn y môr dymhestl fawr, fel y tebygwyd y drylliai y llong.

5 Yna y morwyr a ofnasant, ac a lefasant bob un ar ei dduw, a bwriasant y dodrefn *oedd* yn y llong i'r môr, i ymysgafnhau o honynt: ond Jonah a aethai i waered i ystlysau y llong, ac a orweddasai, ac a gysgasai.

6 A meistr y llong a ddaeth ato ef, ac a ddywedodd wrtho, Beth *a ddarfu* i ti, gysgadur? cyfod, galw ar dy Dduw: fe allai yr ystyr y Duw hwnw wrthym, fel na'n coller.

7 A dywedasant bob un wrth ei gyfaill, Deuwch, a bwriwn goelbrenau, fel y gwypom o achos pwy *y mae* y drwg hwn arnom. A bwriasant goelbrenau, a'r coelbren a syrthiodd ar Jonah.

8 A dywedasant wrtho, Atolwg, dangos i ni er mwyn pwy *y mae* i ni y drwg hwn: beth *yw* dy gelfyddyd di? ac o ba le y daethost? pa le *yw* dy wlad? ac o ba bobl *yr wyt* ti?

9 Ac efe a ddywedodd wrthynt, Hebread *ydwyf* fi; ac ofni yr wyf

---

Adn. 2. *Cyfod, dos i Ninefe y ddinas fawr*] Sef prifddinas amherodraeth Assyria, yr hon oedd yn un o'r rhai mwyaf a hynaf yn y byd, Gen. x. 11. Yr oedd yn sefyll ar lan yr afon Tigris. O ran llun yr oedd yn hirgrwn fel ŵy, ac oddeutu 60 milldir o amgylchedd. Yr oedd yn cael ei hamgylchynu gan fur 100 troedfedd o uchder, yr hwn oedd yn ddigon llydan i dri cherbyd redeg yn gyfochrog ar ei ben; ac yr oedd arno 500 o dŷrau, a phob un yn 200 o droedfeddi o uchder. Dywed *Eustathius* i 140,000 o wŷr fod am wyth mlynedd yn ei hadeiladu hi: gwel ar pen. iii. 3, a iv. 11. *A llefa yn ei herbyn*—cyhoedda y farn ag sydd ar ddisgyn arni hi a'i thrigolion. *Canys eu drygioni hwynt a ddyrchafodd ger fy mron*—hyd y nefoedd, gan alw yn uchel am ddialedd.

Adn. 3. *A Jonah a gyfododd i ffoi i Tarsis*] Sef i *Tartessus* yn yr Hispaen yn ddiamau, lle yr oedd y Pheniciaid yn masnachu yn helaeth, Ezec. xxvii. 12; er y tybia rhai mai *Tarsus* yn Cilicia a feddylir; *oddi ger bron yr Arglwydd*—sef o wlad Israel, lle yr oedd Jehofa yn preswylio yn neillduol yn mhlith ei wir addolwyr. *Ac efe a aeth i waered i Joppa*—porthladd tra adnabyddus ar lan Môr-y-canoldir, oddeutu 60 milldir o Gath-Hepher, cartref Jonah: ac yma efe a gafodd long yn myned i Tarsis; *ac a dalodd ei llong-log hi*—sef yr arian gofynol am ei gario yno. Fel hyn, yn lle myned i *Ninefe*, yr hon oedd oddeutu 600 o filldiroedd i'r dwyrain o'i wlad ef, efe a fynai fyned i *Tarsis*, yr hon oedd yn mhellach na hyny i'r gorllewin. Yr oedd ef yn meddwl, ond iddo ffoi o'i wlad, y byddai i Dduw benodi rhywun arall i fyned i Ninefe; a gwyddai fod Duw mor drugarog a hwyrfrydig i ddig, fel y byddai iddo arbed y Ninefeaid ar ol bygwth eu cospi, (pen. iv. 2,) ac felly beri i Jonah ymddangos fel gau-broffwyd yn eu mysg, a chael ei wawdio gan bawb, os nid ei ladd hefyd.

Adn. 4. *Ond yr Arglwydd a gyfododd wynt mawr yn y môr*] Yr hwn ydoedd oruwchnaturiol; *a bu yn y môr dymhestl fawr*—nes yr oedd pawb yn meddwl y drylliai neu y suddai y llong.

Adn. 5. *Yna y morwyr a ofnasant*] Am eu bywyd; *ac a lefasant bob un ar ei dduw*—canys paganiaid oeddynt, heb wybod dim am y gwir Dduw; *a bwriasant y dodrefn oedd yn y llong i'r môr*—sef ei llwyth hi, i'r dyben i'w hysgafnhau. *Ond Jonah a aethai i waered i ystlysau y llong*—i'w wely i gysgu. Yr oedd yntau hefyd wedi ei orchfygu gan ofn a thristwch, yr hyn yn fynych a bair gwsg: gwel ar Mat, xxvi. 41.

Adn. 6. *A meistr y llong a ddaeth ato*] Daeth y cadben ato i'w ddihuno ef; *ac a ddywedodd wrtho, Beth a ddarfu i ti, gysgadur*—pan yr wyt yn medru cysgu ar y fath dymhestl? *Cyfod, galw ar dy Dduw*—fel pe dywedasai, Yr ydym ni bob un wedi galw ar ei dduw, galw dithau ar dy Dduw; canys, fel pagan, efe a dybiai fod gan Jonah hefyd ryw wrthddrych addoliad. *Fe allai yr ystyr y Duw hwnw wrthym*—yn ein cyfyngder presenol, os na wna ein duwiau ein hunain; *fel na'n coller*—ni a'n llong.

Adn. 7. *A dywedasant bob un wrth ei gyfaill*] Sef y naill forwr wrth y llall; *Deuwch, a bwriwn goelbrenau*—gwel ar Jos. xiv. 2; *fel y gwypom o achos pwy y mae y drwg hwn arnom*—yr oeddynt yn deall fod y dymhestl yn oruwchnaturiol, a chasglent yn dra naturiol ei bod wedi ei hachosi o herwydd rhyw drosedd mawr a gyflawnesid gan un o honynt. *A'r coelbren a syrthiodd ar Jonah*—trwy lywodraethiad rhagluniaeth Duw: gwel ar Diar. xvi. 33.

Adn. 8. *Atolwg, dangos i ni er mwyn pwy*] Neu 'am ba *achos* y mae i ni y drwg hwn.' Gwyddent eisioes er mwyn pwy yr ydoedd, trwy i'r coelbren syrthio ar Jonah; ond dymunent wybod pwy oedd efe, a pha beth a wnaethai i beri i ddialedd dwyfol eu dylyn hwy fel hyn.

Adn. 9. *Hebread ydwyf fi*] O hiliogaeth Abraham; *ac ofni yr wyf fi Arglwydd Dduw y nefoedd*—yr wyf yn addolwr JEHOFA, Creawdwr y nefoedd; *yr hwn a wnaeth y*

fi Arglwydd Dduw y nefoedd, yr
hwn a wnaeth y môr a'r sychdir.
10 A'r gwŷr a ofnasant *gan* ofn
mawr, ac a ddywedasant wrtho, Pa-
ham y gwnaethost hyn? (canys y
dynion a wyddent iddo ffoi oddi ger
bron yr Arglwydd, o herwydd efe a
fynegasai iddynt.)
11 ¶ A dywedasant wrtho, Beth
a wnawn i ti, fel y gostego y môr
oddiwrthym? (canys gweithio yr
oedd y môr, a therfysgu.)
12 Ac efe a ddywedodd wrthynt,
Cymerwch fi, a bwriwch fi i'r môr;
a'r môr a ostega i chwi; canys gwn
mai o'm hachos i *y mae* y dymhestl
fawr hon arnoch chwi.
13 Er hyn y gwŷr a rwyfasant
i'*w* dychwelyd i dir; ond nis gall-
ent: am fod y môr yn gweithio, ac
yn terfysgu yn eu herbyn hwy.
14 Llefasant gan hyny ar yr Ar-
glwydd, a dywedasant, Atolwg,
Arglwydd, atolwg, na ddyfether ni
am einioes y gŵr hwn, ac na ddyro
i'n herbyn waed gwirion: canys ti,
O Arglwydd, a wnaethost fel y
gwelaist yn dda.
15 Yna y cymerasant Jonah, ac
a'i bwriasant ef i'r môr: a pheid-
iodd y môr â'i gyffro.
16 A'r gwŷr a ofnasant yr Ar-
glwydd âg ofn mawr, ac a aberth-
asant aberth i'r Arglwydd, ac a
addunasant addunedau.
17 ¶ A'r Arglwydd a ddarparasai
bysgodyn mawr i lyncu Jonah. A
Jonah a fu yn mol y pysgodyn dri
diwrnod a thair nos.

---

*môr a'r sychdir*—a'r hwn o ganlyniad sydd â'i lywodraeth drostynt hwy. Yna efe a fynegodd ddarfod iddo anufyddhau i'w orchymyn ef, a'i fod yn ceisio ffoi oddiwrtho, adn. 10.

Adn. 10. *A'r gwŷr a ofnasant gan ofn mawr*] Wrth ddeall fod Creawdwr y nefoedd a'r ddaear yn eu herbyn, yr hwn yr oedd ei awdurdod yn cyraedd dros y gwynt a'r môr; *ac a ddywedasant wrtho, Paham y gwnaethost hyn?*—paham y rhyfygaist anufyddhau i'w orchymyn ef, a ffoi oddiwrtho, pan yr wyt yn ei gydnabod yn Fôd mor fawr a galluog? *Canys y dynion a wyddent iddo ffoi oddi ger bron yr Arglwydd*—oddiwrth ei gyfaddefiad ef ei hun, adn. 9.

Adn. 11. *Beth a wnawn i ti, fel y gostego y môr oddiwrthym*] Yr hwn y mae ei dònau yn ymgynddeiriogi fwyfwy yn barhaus i'n herbyn? Yr oeddynt wedi deall oddiwrth yr hanes a roddasai efe am dano ei hun ei fod yn broffwyd anufydd i'r Arglwydd, a gwelent ei fod yn awr yn edifeiriol am ei fai; ac ni fynent ei fwrw ef i'r môr, heb gael gwybod ganddo a oedd rhyw ffordd arall i'w gwaredu hwynt.

Adn. 12. *Cymerwch fi, a bwriwch fi i'r môr*] Yr hyn yw yr unig ffordd i'w dawelu ef; *canys gwn*—oddiwrth gynhyrfiad goruwchnaturiol y tònau, *mai o'm hachos i y mae y dymhestl fawr hon arnoch chwi*—yma y gwelwn gyfaddefiad gonest Jonah o'i bechod, ac addefiad o gyfiawn anfoddlonrwydd Duw i'w erbyn, a'i ewyllysgarwch i farw ei hun er mwyn eu cadw hwy yn fyw.

Adn. 13. *Er hyn y gwŷr a rwyfasant i'w dychwelyd i dir*] I achub, os ydoedd bosibl, fywyd Jonah hefyd: *ond nis gallent*—am fod y gwynt a'r môr yn terfysgu yn eu herbyn, ac am y mynai yr Arglwydd ogoniant i'w enw ei hun oddiwrth hyn oll.

Adn. 14. *Llefasant gan hyny*] Gan na allent gadw bywyd Jonah yn hwy; *ar yr Arglwydd*—nid ar eu duwiau eu hunain fel o'r blaen, adn. 5, eithr ar JEHOFA, Creawdwr a Llywydd y môr a'r sychdir. *Atolwg, Arglwydd, atolwg*—gwelwn yma eu difrifoldeb a'u taerineb yn eu gweddi; *na ddyfether ni am einioes y gŵr hwn*—am fyned â'i einioes ef oddiarno; *ac na ddyro i'n herbyn waed gwirion*—na chyfrif ni yn llofruddion bwriadol wrth ei daflu ef i'r môr: *canys ti, O Arglwydd, a wnaethost fel y gwelaist yn dda*—yr ydym ni yn credu mai ei fwrw ef i'r môr yw dy ewyllys di wrth beri y dymhestl hon.

Adn. 15. *Yna y cymerasant Jonah*] Gerfydd ei ddwylaw a'i draed; *ac a'i bwriasant ef i'r môr*—fel yr unig foddion i gadw eu bywydau eu hunain: *a pheidiodd y môr â'i gyffro*—aeth yn dawel yn y fan, yr hyn oedd yn arwydd iddynt o gymeradwyaeth Duw o'u gweithred.

Adn. 16. *A'r gwŷr a ofnasant yr Arglwydd âg ofn mawr*] Wrth weled ei fawredd a'i allu yn nghyfodiad a gostegiad y dymhestl; *ac a aberthasant aberth i'r Arglwydd*—yr hwn a ddygasent gyda hwy i'w offrymu i'w duwiau gau; *ac a addunasant addunedau*—y byddai iddynt ymwrthod â'u heilunod o hyny allan, ac ymgyflwyno i wasanaethu Duw Israel.

Adn. 17. *A'r Arglwydd a ddarparasai bysgodyn mawr i lyncu Jonah*] Pan y bwrid ef i'r môr. Ni ddywedir pa bysgodyn ydoedd, ond yn unig ei fod yn *fawr*, ac ond odid o rywogaeth y *siarc*, y rhai sydd aml yn Môr-y-canoldir; a chafwyd dyn yn gyfan ynddynt rai gweithiau, ac unwaith â'i arfogaeth am dano. Gelwir ef yn *forfil* yn St. Matthew, yr hyn a arwydda 'anifel y môr;' ond nad oedd ef yr hyn a alwn ni yn 'forfil,' sydd eglur oddiwrth hyn, nad oes morfilod yn y môr hwnw, a bod eu gyddfau yn gyffredin yn rhy gul i lyncu cymaint a braich dyn. Dywed rhai o'r beirniaid Almaenaidd mai *llong* a olygir yma, ar yr hon yr oedd llun *morfil;* ond pa ddyben a atebid wrth fwrw Jonah o'r naill long i'r llall, sydd anhysbys i ni. *A*

## PENNOD II.

A JONAH a weddiodd ar yr Arglwydd ei Dduw o fol y pysgodyn,
2 Ac a ddywedodd, O'm hing y gelwais ar yr Arglwydd, ac efe a'm hatebodd; o fol uffern y gwaeddais, *a* chlywaist fy llef.
3 Ti a'm bwriaist i'r dyfnder, i ganol y môr; a'r llanw a'm hamgylchodd: dy holl dònau a'th lifeiriaint a aethant drosof.
4 A minau a ddywedais, Bwriwyd fi o wydd dy lygaid; er hyny mi a edrychaf eto tua'th deml santaidd.
5 Y dyfroedd a'm hamgylchasant hyd yr enaid; y dyfnder a ddaeth o'm hamgylch; ymglymodd yr hesg am fy mhen.
6 Disgynais i odre y mynyddoedd; y ddaear a'i throsolion *oedd* o'm hamgylch yn dragywydd: eto ti a ddyrchefaist fy einioes o'r ffos, O Arglwydd fy Nuw.
7 Pan lewygodd fy enaid ynof, cofiais yr Arglwydd; a'm gweddi a ddaeth i mewn atat i'th deml santaidd.
8 Y neb a gadwant oferedd celwydd, a wrthodant eu trugaredd eu hun.
9 A minau mewn llais clodforedd a aberthaf i ti, talaf *yr hyn* a addunedais: iachawdwriaeth *sydd* eiddo yr Arglwydd.
10 ¶ A llefarodd yr Arglwydd wrth y pysgodyn, ac efe a fwriodd Jonah ar y tir sych.

---

*Jonah a fu yn mol y pysgodyn dri diwrnod a thair nos*—yr hyn oedd yn gysgod o arhosiad ein Harglwydd am gymaint a hyny o amser yn y bedd, fel yr eglurir ar Mat. xii. 40.

PEN. II. Adn. 1. *A Jonah a weddiodd ar yr Arglwydd ei Dduw o fol y pysgodyn*] Os gofynir, 'pa fodd y gallai Jonah anadlu a gweddio yn mol y pysgodyn?' yr atebiad yw, fod hyny yn ddigon hawdd trwy gyfryngiad gwyrthiol Duw. Ymddengys i'r proffwyd ffurfio cynwysiad y weddi hon pan yn mol y pysgodyn, ac iddo ei chyfansoddi drachefn ar ddull barddonol ar ol ei waredu oddiyno; canys cyfeirir yma at ei waredigaeth fel wedi cymeryd lle eisioes, adn. 2, 6, 9.

Adn. 2. *O'm hing y gelwais ar yr Arglwydd*] Yn mol y pysgodyn; *ac efe a'm hatebodd*—trwy fy ngwared o'm hing. *O fol uffern y gwaeddais*—y mae *sheol*, yr hwn a gyfieithir yma 'uffern,' yn arwyddo y bedd, neu y dyfnder, neu le yr ysbrydion ymadawedig; ac yr oedd Jonah yn ystyried bol y pysgodyn iddo ef fel *bedd*, lle yr oedd wedi ei gladdu o'r golwg. *A chlywaist fy llef*—hyd yn nod o'r carchar dwfn hwnw.

Adn. 3. *Ti a'm bwriaist i'r dyfnder, i ganol y môr*] I'm cospi am fy anufydd-dod i ti; *a'r llanw a'm hamgylchodd*—yr hyn oedd yn wirionedd llythyrenol: *dy holl dònau a'th lifeiriaint a aethant drosof*—yn llythyrenol, tra yr oeddwn felly yn y dyfnder. Defnyddiwyd y geiriau hyn gan Dafydd mewn ystyr allegawl, i osod allan amledd ei drallodau, Salm xlii. 7.

Adn. 4. *A minau a ddywedais*] Y pryd hyny, yn fy anobaith; *Bwriwyd fi o wydd dy lygaid*—am byth, o herwydd fy anufydd-dod a'm cyndynrwydd. *Er hyny mi a edrychaf eto tua'th deml santaidd*—mewn gweddi tua'r nef, neu tua'r drugareddfa yn nheml Jerusalem.

Adn. 5. *Y dyfroedd a'm hamgylchasant hyd yr enaid*] Neu hyd yr 'einioes,' fel nad oedd genyf obaith am fy einioes; *y dyfnder a ddaeth o'm hamgylch*—a gauodd am danaf pan y'm bwriwyd iddo; *ymglymodd yr hesg am fy mhen*—yn ngwaelod y môr, cyn i'r pysgodyn fy llyncu; neu yr oedd yr hesg a lyncesid gan y pysgodyn fel rhwydwaith am ei ben tra yn ei gylla ef.

Adn. 6. *Disgynais i odre y mynyddoedd*] I dyllau dyfnion yn ngwaelod y môr; *y ddaear a'i throsolion oedd o'm hamgylch*—fel barau cryfion yn fy attal i dir; ac yn y cyflwr hwnw y buaswn yn dragywydd oni buasai i ti gyfryngu i'm gwaredu. *Eto ti a ddyrchefaist fy einioes o'r ffos*—yn ol dy ddirfawr allu a'th drugaredd. Hyn a ddywed efe ar ol ei waredu o'i berygl.

Adn. 7. *Pan lewygodd fy enaid ynof*] Mewn anobaith am fy mywyd; *cofiais yr Arglwydd*—cofiais am ei ddaioni, ei drugaredd, a'i allu diderfyn: *a'm gweddi a ddaeth i mewn atat i'th deml santaidd*—a gwrandewaist hi.

Adn. 8. *Y neb a gadwant oferedd celwydd*] Neu a ymddiriedant mewn eilunod meirwon, yn lle yn y Duw byw; *a wrthodant eu trugaredd eu hun*—yr hon nis gellir ei chael ond gan Dduw yn unig. Fe allai ei fod ef yn cyfeirio yma at waith y morwyr yn llefain yn ofer 'bob un ar ei dduw,' pen. i. 5.

Adn. 9. *A minau mewn llais clodforedd a aberthaf i ti*] Aberth moliant a diolch; *talaf yr hyn a addunedais*—pan yr oeddwn yn mol y pysgodyn. *Iachawdwriaeth sydd eiddo yr Arglwydd*—oddiwrtho ef yn unig y daw pob gwaredigaeth dymhorol ac ysbrydol.

Adn. 10. *A dywedodd yr Arglwydd wrth y pysgodyn*] Ar ol y weddi uchod; hyny yw, efe a'i tueddodd ef trwy ei ddylanwad anfeidrol i nofio tua'r lan; *ac efe a fwriodd Jonah ar y tir sych*—yn iach a diangol. Tybia rhai mai yn agos i Joppa y glaniwyd ef; tra y tybia ereill mai ar derfynau Syria, ar y ffordd i Ninefe.

## PENNOD III.

A GAIR yr Arglwydd a ddaeth
yr ail waith at Jonah, gan ddy-
wedyd,
2 Cyfod, dos i Ninefe y ddinas
fawr, a phregetha iddi y bregeth a
lefarwyf wrthyt.
3 A Jonah a gyfododd, ac a aeth
i Ninefe, yn ol gair yr Arglwydd: (a
Ninefe oedd ddinas fawr iawn, o
daith tri diwrnod :)
4 A Jonah a ddechreuodd fyned
i'r ddinas daith un diwrnod, ac efe
a lefodd ac a ddywedodd, Deugain
niwrnod *fydd* eto, a Ninefe a
gwympir.
5 ¶ A gwŷr Ninefe a gredasant i
Dduw, ac a gyhoeddasant ympryd,
ac a wisgasant sach-lian, o'r mwyaf
hyd y lleiaf o honynt.
6 Canys gair a ddaeth at frenin
Ninefe, ac efe a gyfododd o'i fren-
hinfainc, ac a ddyosgodd oddi am
dano ei frenhinwisg, ac a roddes
am dano lian sach, ac a eisteddodd
mewn lludw.
7 Ac efe a barodd gyhoeddi, a
dywedyd trwy Ninefe, (trwy orchy-
myn y brenin a'i bendefigion,) gan
ddywedyd, Dyn ac anifel, eidion a
dafad, na phrofant ddim ; na phor-
ant, ac nac yfant ddwfr.
8 Gwisger dyn ac anifel â sach-
len, a galwant ar Dduw yn lew : ïe,
dychwelant bob un oddiwrth ei
ffordd ddrygionus, ac oddiwrth y
trawsder *sydd* yn eu dwylaw.
9 Pwy a ŵyr a dry Duw ac edif-

---

PEN. III. Adn. 1. *A gair yr Arglwydd a ddaeth yr ail waith at Jonah*] Yr un modd a'r tro cyntaf, pen. i. 1.

Adn. 2. *Cyfod, dos i Ninefe y ddinas fawr*] Gwel ar pen. i. 2 ; *a phregetha iddi y bregeth a lefarwyf wrthyt*— ni a welwn oddiwrth adn. 4 mai y bregeth oedd, 'Deugain niwrnod fydd eto, a Ninefe a gwympir ;' ac nid oes genym hanes iddo ddywedyd dim ond hyn.

Adn. 3. *A Jonah a gyfododd, ac a aeth i Ninefe*] Efe a ufyddhaodd yn y fan i orchymyn yr Arglwydd y tro hwn, trwy i'r cerydd a gafodd gael effaith briodol arno. *A Ninefe oedd ddinas fawr iawn, o daith tri diwrnod* —a cherdded yn ol ugain milldir y dydd ; canys yr oedd yn driugain milldir o amgylchedd : gwel ar pen. i. 2.

Adn. 4. *A Jonah a ddechreuodd fyned i'r ddinas daith un diwrnod*] Hyny yw, efe a gerddodd ar hyd y ddinas cyn belled ag y gallodd gyraedd y diwrnod cyntaf, gan lefain a dywedyd, *Deugain niwrnod fydd eto, a Ninefe a gwympir*—hyny yw, onid *edifarhäent* hwy. Yr oedd ammod felly yn ddealledig yn holl f[illegible]thion Duw, Jer. xviii. 8 ; ac y mae yn eglur ei bod felly yma, trwy i'r Ninefeaid gael eu harbed ar eu hedifeirwch, adn. 10. Y mae yn debyg i ddiwygiad gymeryd lle yn y fan, ac nid aeth Jonah allan yr ail ddiwrnod, onide buasai raid iddo gael pregeth newydd, 'Pedwar niwrnod ar bymtheg ar hugain fydd eto, a Ninefe a gwympir : gwel ar pen. iv. 5.

Adn. 5. *A gwŷr Ninefe a gredasant i Dduw*] Y byddai iddo ef eu dyfetha hwynt yn mhen deugain niwrnod, onid edifarhäent ; *ac a gyhoeddasant ympryd*—i'w cystuddio eu hunain trwy ymattaliad oddiwrth fwydydd a diodydd ; *ac a wisgasant sach-lian, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt*—i fod yn arwydd allanol o'u galar a'u gofid mewnol.

Adn. 6. *Canys gair a ddaeth at frenin Ninefe*] Fod Duw yn eu bygwth hwynt trwy Jonah ; *ac efe a gyfododd o'i frenhinfainc, &c.*—gan roddi heibio ei holl rwysg brenhinol, a gwisgo am dano lian sach, ac eistedd mewn lludw, i roddi siampl i'w holl ddeiliaid o wir ymostyngiad gerbron Duw : gwel ar Esther iv. 3, Job ii. 8, Esay lviii. 5, Jer. vi. 26, Mat. xi. 21. Tybia *Usher* mai *Pul* brenin Assyria oedd hwn, 2 Bren. xv. 19 ; tra y tybia ereill mai *Sardanapalus* ei fab ef ydoedd, yr hwn a adwaenir yn mhlith yr haneswyr cyffredin dan yr enw *Anacyndaraxa* neu *Anabaxarus.*

Adn. 7. *Ac efe a barodd gyhoeddi a dywedyd trwy Ninefe*] Ar ol iddo yn gyntaf ymgynghori â'i bendefigion ; *Dyn ac anifel, eidion a dafad, na phrofant ddim*—mewn ffordd o fwyta ac yfed. Gwaherddid hyny i'r creaduriaid direswm, fel y byddai i'w brefiadau hwy am wellt a dwfr chwanegu at ddwysder yr amgylchiad, a chynhyrfu dynion yn fwy i alar ac edifeirwch gwirioneddol.

Adn. 8. *Gwisger dyn ac anifel â sachlen*] Arferent wisgo eu meirch a'u camelod mewn harneisiau ysblenydd ; ond rhaid iddynt eu gwisgo yn awr mewn sachlen fras, fel y byddai i'r hyn a welai dynion, yn gystal a'r hyn a glywent (adn. 7), adael argraff dwfn ar eu meddyliau. *A galwant ar Dduw yn lew* —hyny yw, galwed dynion arno mewn gweddi daer ac egniol. *Ie, dychwelant bob un oddiwrth ei ffordd ddrygionus*—heb yr hyn ni buasai eu harwyddion allanol o edifeirwch ddim ond ffug ; *ac oddiwrth y trawsder sydd yn eu dwylaw*—tuag at y gwan a'r tylawd.

Adn. 9. *Pwy a ŵyr a dry Duw ac edifarhau*] Er na addawyd mo hyny yn mhregeth Jonah ; *a throi oddiwrth angerdd ei ddig*— gan ein harbed ni yn lle ein dyfetha ? Fe allai eu bod wedi clywed cyn hyn am gymeriad trugarog Duw Israel, ac felly anturient rhwng ofn a gobaith ar ei hynawsedd ef. Ond gwelwn y fath sail gadarn sydd genym ni i fyned yn hyderus at orseddfainc y gras, pan y

arhau, a throi oddiwrth angerdd ei
ddig, fel na ddyfether ni?
10 ¶ A gwelodd Duw eu gweith-
redoedd hwynt, droi o honynt o'u
ffyrdd drygionus; ac edifarhaodd
Duw am y drwg a ddywedasai y
gwnai iddynt, ac nis gwnaeth.

## PENNOD IV.

A BU ddrwg iawn gan Jonah hyn,
ac efe a ddigiodd yn fawr.
2 Ac efe a weddiodd ar yr Ar-
glwydd, ac a ddywedodd, Atolwg i
ti, Arglwydd, oni ddywedais i hyn
pan oeddwn eto yn fy ngwlad? am
hyny yr achubais flaen i ffoi i
Tarsis; am y gwyddwn dy *fod* di
yn Dduw graslawn a thrugarog,
hwyrfrydig i ddig, aml o drugar-
edd, ac edifeiriol am ddrwg.
3 Am hyny yn awr, O Arglwydd,
cymer, atolwg, fy einioes oddiwrth-
yf; canys gwell i mi farw na byw.
4 ¶ A'r Arglwydd a ddywedodd,
Ai da yw y gwaith ymddigio o
honot?
5 A Jonah a aeth allan o'r ddinas,
ac a eisteddodd o'r tu dwyrain i'r
ddinas, ac a wnaeth yno gaban iddo
ei hun, ac a eisteddodd dano yn y
cysgod, hyd oni welai beth a fyddai
yn y ddinas.
6 A'r Arglwydd Dduw a ddar-
parodd cicaion, ac a wnaeth *iddo*
dyfu dros Jonah, i fod yn gysgod
uwch ei ben ef, i'w waredu o'i ofid:
a bu Jonah lawen iawn am y cicaion.

---

mae genym addewid a llw y digelwyddog Dduw, y caiff pob pechadur edifeiriol a gredo yn Nghrist, arbediad a maddeuant hyd yr eithaf, Esay lv. 7, Ezec. xxxiii. 11.

Adn. 10. *A gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt*] Efe a sylwodd arnynt gyda chymeradwyaeth; *droi o honynt o'u ffyrdd drygionus*—mewn gwirionedd, yn gystal ag mewn ymddanghosiad allanol, adn. 5—8: *ac edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasai y gwnai iddynt*—sef dyfetha eu dinas yn mhen deugain niwrnod; *ac nis gwnaeth*—canys pan yr edifarhasant hwy am y drwg a wnaethant yn ei erbyn ef, edifarhaodd yntau am y drwg a fygythiodd yn eu herbyn hwythau, ac nis cyflawnodd ef, 'am fod yn hoff ganddo drugaredd,' Micah vii. 18.

PEN. IV. Adn. 1. *A bu ddrwg iawn gan Jonah hyn*] Fod Duw wedi arbed Ninefe; *ac efe a ddigiodd yn fawr*—hyd yn nod wrth Dduw ei hun. Buasai yn well ganddo i Ninefe fawr gael ei llyncu gan ddaeargryn, ac i'w holl drigolion hi gael eu cyfrgolli yn dragywydd, nag i'w anrhydedd ef fel proffwyd gael ei ddibrisio yn ngolwg y byd!

Adn. 2. *Ac efe a weddiodd ar yr Arglwydd*] Gan gymeryd achlysur oddiwrth ei drugaredd ef i'w gyfiawnhau ei hun am ei anufydd-dod blaenorol i orchymyn Duw. *Atolwg it', Arglwydd, oni ddywedais i hyn pan oeddwn eto yn fy ngwlad*—y byddai i ti arbed y Ninefeaid ar ol i mi eu bygwth hwynt? *Am hyny yr achubais flaen i ffoi i Tarsis*—yn lle myned â'th genadwri di i Ninefe, pen. i. 2, 3; *am y gwyddwn dy fod di yn Dduw graslawn a thrugarog, &c.*—fel y dywedaist wrth Moses dy fod: gwel ar Exod. xxxiv. 6, 7.

Adn. 3. *Am hyny yn awr, O Arglwydd, cymer, atolwg, fy einioes oddiwrthyf*] Fel pe dywedasai, Gan i ti wrando ar weddi y Ninefeaid, gwrando ar fy ngweddi inau, a lladd fi: *canys gwell i mi farw na byw*—dan yr amgylchiadau poenus presenol. Yma y gwelwn fod Jonah yn ddyn anynad, hunanol, a balch iawn, er ei fod yn broffwyd: gwel ar adn. 9. Nid yw yn debyg y daethai ef i anmharch fel proffwyd yn ngolwg y Ninefeaid; canys gwrandawsant ar ei genadwri ef, edifarhasant am eu drygioni, a phriodolent eu harbediad i'w hedifeirwch a'u hymostyngiad eu hunain, ac nid i annghywirdeb ei dystiolaeth ef.

Adn. 4. *A'r Arglwydd a ddywedodd*] Wrth Jonah yn y modd tyneraf, gan roddi iddo brawf trwy hyny ei fod ef yn 'Dduw graslawn a thrugarog, a hwyrfrydig i ddig,' fel y dywedasai efe, adn. 2; *Ai da yw y gwaith ymddigio o honot?*—a ydyw hyny yn dda ynddo ei hun, neu yn anrhydedd i ti fel dyn, ac yn enwedig fel proffwyd yr Arglwydd? Ymddengys fod Jonah yn rhy euog, neu yn rhy ddig, i roddi un atebiad iddo y tro hwn.

Adn. 5. *A Jonah a aeth allan o'r ddinas*] Neu a *aethai* allan, ond odid yr ail ddiwrnod, ar ol bod yn pregethu; *ac a eisteddodd o'r tu dwyrain i'r ddinas*—lle y gallai gael golwg ar ranau o'r ddinas, i edrych beth fyddai effaith ei bregeth ar y trigolion; *ac a wnaeth yno gaban iddo ei hun*—i aros ynddo hyd ddiwedd y deugain niwrnod, i weled beth a gymerai le yn y ddinas. Ymddengys i'r hyn a grybwyllwyd yn yr adnodau blaenorol gymeryd lle yn niwedd y deugain niwrnod hyny, ar ol iddo weled fod Duw wedi arbed y ddinas.

Adn. 6. *A'r Arglwydd Dduw a ddarparodd cicaion*] Math ar blanhigyn tyner a elwir *ricinus* neu *palma christi*, o'r hwn y ceir yr hyn a elwir *castor oil*. Y mae yn tyfu mewn byr amser mor uchel a'r olewwydden, ac y mae ei ganol yn genol fel hesg, a'i ddail yn llydain a chysgodfawr. *Ac a wnaeth iddo dyfu dros Jonah*—sef dros ei gaban ef, i'w gysgodi rhag gwres yr haul, yr hwn oedd yn ofidus iawn yn y wlad hòno. *A bu Jonah lawen iawn am y cicaion*—yr hwn a'i cysgodai ef mor effeithiol tra y bu yn aros yno.

Adn. 7. *A'r Arglwydd a barotôdd bryf ar godiad y wawr dranoeth*] Nid yr ail ddiwrnod ar ol iddo dyfu, ond yr ail ar ol iddo fod yn

7 A'r Arglwydd a barotôdd bryf
ar godiad y wawr dranoeth, ac efe
a darawodd y cicaion, ac yntau a
wywodd.
8 A phan gododd haul, bu i
Dduw ddarparu poethwynt y dwyr-
ain; a'r haul a darawodd ar ben
Jonah, fel y llewygodd, ac y deisyf-
odd farw o'i einioes, ac a ddywed-
odd, Gwell i mi farw na byw.
9 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrth Jonah, Ai da yw y gwaith
ymddigio o honot am y cicaion?
Ac efe a ddywedodd, Da yw i mi
ymddigio hyd angau.
10 A'r Arglwydd a ddywedodd,
Ti a dosturiaist wrth y cicaion ni
lafuriaist wrtho, ac nis peraist iddo
dyfu: mewn noswaith y bu, ac
mewn noswaith y darfu:
11 Ac onid arbedwn i Ninefe y
ddinas fawr, yr hon y mae ynddi
fwy na deuddeng myrdd o ddyn-
ion, y rhai ni wyddant *ragor* rhwng
eu llaw ddeau a'u llaw aswy, ac
anifeiliaid lawer?

---

ei gysgodi ef y dydd o'r blaen. Felly y mae yr alleirydd Caldeaidd yn deall yr ymadrodd: gwel ar adn. 10. *Ac efe a darawodd y cicaion*—trwy fwyta ei wraidd ef, neu dyllu trwyddo fel ag i beri i'w nôdd redeg allan; *ac yntau a wywodd*—trwy hyny a gwres yr haul.

Adn. 8. *A phan gododd haul*] I uchder ei wres ganol dydd; *bu i Dduw ddarparu poethwynt y dwyrain*—yr hwn ynddo ei hun oedd o natur ddeifiol a gwywol, yn chwanegol at wres yr haul. Yr oedd hwn nid fel gwyntyll i oeri gwres yr haul, ond fel megin i'w chwythu ef yn boethach. *A'r haul a darawodd ar ben Jonah*—trwy nad oedd dail y cicaion yn ei gysgodi ef mwyach; *fel y llewygodd*—fel y gorchfygwyd ef gan y gwres, nes yr oedd yn barod i lewygu; *ac y deisyfodd farw*—gan farnu fod hyny yn *well* iddo na dyoddef y fath wres angherddol. Na, cyn y buasai yn 'well iddo farw,' yr oedd yn rhaid gwella llawer ar ei dymherau ef, a'i ddysgu i brisio ei fywyd ei hun, a bywydau rhai ereill hefyd.

Adn. 9. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Jonah*] A ymostyngodd yn rasol i ofyn iddo eilwaith; *Ai da yw y gwaith ymddigio o honot am y cicaion*—yr hwn nid yw ond planhigyn dibwys, ac o fyr barhad? *Ac efe a ddywedodd*—gan ei ateb ef y waith hon; *Da yw i mi ymddigio hyd angau*—fel ag i ddymuno angau. Yma y gwelwn fod Jonah hyd yn hyn, er ei fod yn broffwyd fel Balaam, yn amddifad o'r gras hwnw ag sydd yn lladd yr 'hen ddyn' ynom ni, ac yn ein gwneyd yn 'greadur newydd.' Hwn yw y *cariad* ag y sonia yr apostol am dano, yr hwn, os bydd dyn hebddo, er fod ganddo 'broffwydoliaeth,' a gallu gwyrthiol i 'symudo mynyddoedd;' eto yn ngolwg Duw, ac o ran dim llesâd i'r enaid, nid yw efe ond 'fel efydd yn seinio, a symbal yn tincian,' 1 Cor. xiii. 1, &c.

Adn. 10. *A'r Arglwydd a ddywedodd*] Yn mhellach, gan gymeryd sylw o dosturi Jonah tuag at y cicaion, i gyfiawnhau ei ymddygiad ei hun tuag at Ninefe; *Ti a dosturiaist wrth y cicaion*—yr hwn nid oedd ond un planhigyn; ac onid oedd yn iawn i minau dosturio wrth y Ninefeaid, y rhai sydd lawer? *Ni lafuriaist wrtho, ac nis peraist iddo dyfu*—ac felly mewn gwirionedd nid oedd ef yn perthyn dim i ti; tra y mae y Ninefeaid oll yn waith fy nwylaw i. *Mewn noswaith y bu, ac mewn noswaith y darfu*—nid yw y cicaion ar yr hwyaf ond o fyr barhad; tra y mae y Ninefeaid, o ran eu heneidiau, i barhau byth. Y geiriau diweddaf hyn sydd ymadrodd diarebol am rywbeth o dyfiad cyflym a diflaniad cyflym; ac felly y mae y Galdeaeg yn eu deall, yn nghyda'r Hebreigwyr goraf. Y mae yn dra thebyg i'r cicaion hwn fod yn cysgodi Jonah am y rhan fwyaf o'r deugain niwrnod uchod.

Adn. 11. *Ac onid arbedwn i Ninefe y ddinas fawr?*] Gwel ar pen. i. 2; *yr hon y mae ynddi fwy na deuddeng myrdd o ddynion*—neu 'fwy na chwech ugain mil o bersonau,' fel y mae yn y Saesonaeg; *y rhai ni wyddant ragor rhwng eu llaw ddeau a'u llaw aswy*—trwy eu bod yn *fabanod*, ac felly heb wneyd dim drwg yn bersonol i haeddu cael eu dyfetha; *ac anifeiliaid lawer*—y rhai a borent ar y parciau eang yn nghanol y ddinas fawr hon. Os ystyriwn y babanod hyny dan ddwyflwydd oed, rhaid nad oeddynt yn gwneyd mwy nag un o bob ugain o'r trigolion ag oeddynt uwchlaw dwyflwydd; ac felly rhaid fod nifer yr holl eneidiau yn Ninefe oddeutu *dwy filiwn a hanner.* Yn awr, os tosturia Jonah 'hyd *angau*' dros yr un planhigyn hwnw, ai ni chaiff Duw dosturio hyd *fywyd* wrth gynifer a hyny o eneidiau gwerthfawr, fel ag i'w cadw yn fyw ar eu hedifeirwch? Yr ydym yn gobeithio i ystyriaethau fel hyn gael eu priodol effaith ar feddwl y proffwyd hwn, ac iddo gael ei ddwyn i gydnabod ei fai, ac i edifarhau am dano. Ymddengys i'r Ninefeaid syrthio cyn hir at eu harferion drygionus eilwaith, oblegid ni a gawn y proffwyd Nahum ar ol hyn yn proffwydo am eu dinystr hwy, yr hyn a gyflawnwyd mewn rhan yn mhen oddeutu 150 o flynyddau wedi hyn: gwel y sylwadau ar lyfr Nahum. Cynghorem ein darllenwyr eto i ddarllen gweithiau BOTTA a LAYARD ar 'Ninefe a'i Gweddillion,' at y rhai y cyfeiriasom o'r blaen ar Gen. x. 11.

# LLYFR Y PROFFWYD MICAH.

Micah ydoedd broffwyd yn Juda, er fod ei broffwydoliaethau yn cyfeirio at Juda ac Israel: gwel ar pen. i. 1. Yr oedd ef yn cydoesi âg Esay, Hosea, ac Amos, ac yn traethu ar yr un gwirioneddau pwysig a hwythau.—Mewn amrai ranau o'r llyfr hwn nis gallwn lai na rhyfeddu wrth brydferthwch ei arddull, nerth ei ymadroddion, ac ardduniant ei gyfansoddiad. Efe a gyfeiria mor eglur at le genedigaeth Crist, pen. v. 2, nes yr oedd yr holl archoffeiriaid ac ysgrifenyddion y bobl yn gorfod cyfaddef wrth Herod mai am dano ef y llefarai y proffwyd: gwel ar Mat. ii. 4—6.—Bu Micah yn proffwydo am oddeutu 40 mlynedd, sef o'r flwyddyn 750 hyd 710 cyn Crist.—Dywed *Jerome* i'r proffwyd hwn gael ei gladdu yn Morasthi neu Maresah, lle y ganesid ef, pen i. 1.

## PENNOD I.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth
at Micah y Morasthiad yn nydd-
iau Jotham, Ahaz, *a* Hezeciah,
brenhinoedd Juda, yr hwn a welodd
efe am Samaria a Jerusalem.
2 Gwrandewch, bobl oll; clyw
dithau y ddaear, ac sydd ynddi; a
bydded yr Arglwydd Dduw yn dyst
i'ch erbyn, yr Arglwydd o'i deml
santaidd.
3 Canys wele yr Arglwydd yn
dyfod o'i le; *efe* hefyd a ddisgyn,
ac a sathr ar uchelderau y ddaear.
4 A'r mynyddoedd a doddant tano
ef, a'r glynoedd a ymholltant fel
cŵyr o flaen y tân, *ac* fel y dyfroedd
a dywelltir ar y goriwaered.
5 Hyn i gyd *sydd* am anwiredd
Jacob, ac am bechodau tŷ Israel.
Beth *yw* anwiredd Jacob? onid Sa-
maria? Pa rai *yw* uchel-leoedd Ju-
da? onid Jerusalem?
6 Am hyny y gosodaf Samaria yn
garnedd-faes *dda* i blanu gwinllan;
a gwnaf i'w cherig dreiglo i'r dyff-
ryn, a datguddiaf ei sylfaeni.
7 A'i holl ddelwau cerfiedig a

---

PEN. I. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Micah y Morasthiad*] Yr hwn y tybir ei fod yn enedigol o Morasthi neu Maresah, (Jos. xv. 44,) pentref yn agos i ddinas Eleutheropolis, yn mharth deheuol Judea; *yn nyddiau Jotham, Ahaz, a Hezeciah, brenhinoedd Juda* —a Peca a Hosea, brenhinoedd Israel; *yr hwn a welodd efe am Samaria a Jerusalem*—neu am deyrnasoedd Israel a Juda. Gan fod *gweledydd* yn enw cyffredin ar broffwyd, yr oedd pob math o broffwydoliaeth yn cael ei galw yn *weledigaeth*, hyd yn nod yr hon a *glywai* un, megys yma.

Adn. 2. *Gwrandewch, bobl oll*] Sef holl bobl Samaria a Jerusalem; *clyw dithau y ddaear, ac sydd ynddi*—sef gwlad Canaan, a'i holl drigolion; *a bydded yr Arglwydd Dduw yn dyst i'ch erbyn*—fy mod i wedi eich rhybyddio yn ffyddlon o'ch perygl nesaol; *yr Arglwydd o'i deml santaidd*—sef o'r nefoedd, neu ynte o'i deml yn Jerusalem, lle yr oedd efe eto yn aros fel eu Brenin a'u Barnwr.

Adn. 3. *Canys wele yr Arglwydd yn dyfod o'i le*] I wneuthur barn ar y ddaear; *ac a sathr ar uchelderau y ddaear*—efe a bair i'r amddiffynfeydd cadarnaf gael eu dystrywio, ac i ddynion o'r graddau uwchaf gael eu darostwng.

Adn. 4. *A'r mynyddoedd a doddant tano ef*] Sef y brenhinoedd a'r tywysogion uchel, fel y mae rhai yn ei ddeall; *a'r glynoedd a ymholltant fel cŵyr o flaen y tân*—sef y bobl gyffredin ond odid; *ac fel y dyfroedd a dywelltir ar y goriwaered*—sef gyda chyflymdra dinystriol. Y meddwl yw, na allai neb na dim wrthsefyll barnedigaethau Duw.

Adn. 5. *Hyn i gyd sydd am anwiredd Jacob, ac am bechodau tŷ Israel*] Sef am eu heilunaddoliaeth hwy, a'u pechodau ffiaidd ereill. *Beth yw anwiredd Jacob? onid Samaria?*—onid gwaith brenin a thywysogion Samaria yn gosod i fyny addoliad y lloi aur fel crefydd sefydledig y wlad? *Pa rai yw uchel-leoedd Juda? onid Jerusalem*—lle yr oedd eilunaddoliaeth yn cael ei arferyd gan henuriaid Israel hyd yn nod yn nheml Jehofa? gwel ar Ezec. viii. 3, &c.

Adn. 6. *Am hyny y gosodaf Samaria yn garnedd-faes dda i blanu gwinllan, &c.*] Y meddwl yw, yr ymwelid yn gyntaf â Samaria gan Salmaneser, er rhybydd i Jerusalem. Chwelid y ddinas hyd ei sylfaeni, a threiglid ei cherig i lawr i'r dyffryn, nes y byddai yn faes priodol i blanu gwinllan ynddo.

Adn. 7. *A'i holl ddelwau cerfiedig*] O aur ac arian, *a gurir yn ddrylliau*—i'w dwyn ymaith gan y gorchfygwyr; *a'i holl wobrau a losgir yn tân*—ond odid y dillad â pha rai

gurir yn ddrylliau, a'i holl wobrau a losgir yn tân, a'i holl eilunod a osodaf yn anrheithiedig: o herwydd o wobr putan y casglodd hi *hwynt*, ac yn wobr putan y dychwelant.

8 O herwydd hyn galaraf ac udaf; cerddaf yn noeth ac yn llwm: gwnaf alar fel dreigiau, a gofid fel cywion y dylluan.

9 O herwydd dolurus *yw* ei harcholl: canys daeth hyd at Juda, daeth hyd borth fy mhobl, hyd Jerusalem.

10 ¶ Na fynegwch *hyn* yn Gath, gan ŵylo na ŵylwch ddim: ymdreigla mewn llwch yn nhŷ Aphrah.

11 Dos heibio, preswylferch Saphir, yn noeth dy warth: ni ddaeth preswylferch Zaanan allan yn ngalar Beth-esel, efe a dderbyn genych ei sefyll-fan.

12 Canys trigferch Maroth a ddysgwyliodd yn ddyfal am ddaioni; eithr drwg a ddisgynodd oddiwrth yr Arglwydd hyd at borth Jerusalem.

13 Preswylferch Lacis, rhwym y cerbyd wrth y buan-farch: dechread pechod *yw* hi i ferch Seion: canys ynot ti y cafwyd anwireddau Israel.

14 Am hyny y rhoddi anrhegion i Moreseth-gath: tai Achzib *a fyddant* yn gelwydd i frenhinoedd Israel.

15 Eto mi a ddygaf etifedd i ti, preswylferch Maresah; daw hyd Adulam, gogoniant Israel.

---

yr addurnid eu delwau, y rhai a roddwyd fel gwobr iddynt gan eu haddolwyr brwdfrydig; *a'i holl eilunod a osodaf yn anrheithiedig*—fel na bydd un yn aros ar ol: *o herwydd o wobr putan y casglodd hi hwynt*—yr oedd llawer o'i heilunod a'u haddurniadau yn ffrwyth deilliedig oddiwrth wobrwyon putanod; *ac yn wobr putan y dychwelant*—gwerir hwynt gan y gorchfygwyr yn wobrwyon i butanod ereill, neu dychwelid hwynt yn wobrwyon i'r butan ysbrydol Ninefe.

Adn. 8. *O herwydd hyn galaraf ac udaf*] Ebai y proffwyd, am y trueni ag oedd yn dyfod ar Israel; *cerddaf yn noeth ac yn llwm*—yn arwydd o'r cyflwr i'r hwn y darostyngir hwynt gan eu gelynion: *gwnaf alar fel dreigiau*—fel 'llwynogod,' neu 'weision y llew;' *a gofid*—sef arwyddion gofid, *fel cywion y dylluan*—neu 'cywion yr estrys,' y rhai a udant yn y nos fel pe baent yn y poenau mwyaf: gwel *Pococke* a *Shaw*, a'r sylw ar Job xxx. 29.

Adn. 9. *O herwydd dolurus*] Neu 'anfeddyginiaethol,' *yw ei harcholl*—yr hwn a roddir i Israel gan yr Assyriaid: *canys daeth hyd at Juda*—hyny yw, daeth ei phechod hyd at Juda a Jerusalem, a chaethgludir hwythau hefyd i Babilon yn gosp am eu pechodau.

Adn. 10. *Na fynegwch hyn yn Gath*] Rhag i'r Philistiaid orfoleddu; *gan ŵylo na ŵylwch ddim*—'na ŵylwch yn *uchel*,' rhag i'r newydd ymledaenu. *Ymdreigla mewn llwch yn nhŷ Aphrah*—neu 'dŷ y llwch;' yr hyn a all gyfeirio at gyflwr dadfeiliedig a llychlyd eu holl dai hwy y pryd hyny. Ond tybia rhai mai *Ophrah* a feddylir, sef dinas yn llwyth Benjamin, Jos. xviii. 23.

Adn. 11. *Dos heibio, preswylferch Saphir, yn noeth dy warth*] 'Saphir' a arwydda 'teg neu brydferth;' ac yr oedd yn enw digon addas ar unrhyw le dymunol a hyfryd, megys Samaria neu Jerusalem. Ond dywed *Eusebius* mai enw dinas ydoedd yn llwyth Juda, rhwng Eleutheropolis ac Ascelon. Cyfeirir yma at gaethgludiad ei thrigolion i gaethiwed, wedi eu dyosg o'u gwisgoedd. *Ni ddaeth preswylferch Zaanan allan yn ngalar Beth-esel*—Zaanan (neu Senan, Jos. xv. 37,) ydoedd ddinas yn llwyth Juda, yn agos i Jerusalem; ond ni ddaethai ei thrigolion hi allan i gynorthwyo y dref agosaf ati, sef Beth-esel, pan yn cael ei hanrheithio gan y gelyn. *Efe a dderbyn genych ei sefyll-fan*—byddai i'r gelyn ddyfod yn fuan i sefyll o'u blaen hwythau, pryd y caent brofi yr un trychineb a'u cymydogion.

Adn. 12. *Canys trigferch Maroth a ddysgwyliodd yn ddyfal am ddaioni*] Sef am heddwch a llwyddiant. Maroth (neu Maarath, Jos. xv. 59,) oedd ddinas yn llwyth Juda; ond tybia rhai fod yr enw, yr hwn a arwydda 'chwerwder neu alar,' yn cael ei roddi yma am ddinasoedd trallodus Juda yn gyffredinol. *Eithr drwg a ddisgynodd oddiwrth yr Arglwydd*—sef cleddyf, newyn, a haint; *hyd at borth Jerusalem*—a thrwy y porth i'r ddinas.

Adn. 13. *Preswylferch Lacis*] Dinas gadarn yn llwyth Juda, Jos. xv. 39; *rhwym y cerbyd wrth y buan-farch*—fel y gallot ffoi rhag y gelynion nesaol. *Dechread pechod yw hi i ferch Seion*—ymddengys mai yma y dechreuodd eilunaddoliaeth gyntaf yn Juda; *canys ynot ti y cafwyd anwireddau Israel*—y cafwyd gyntaf yr eilunaddoliaeth a arferid yn Israel.

Adn. 14. *Am hyny y rhoddi anrhegion i Moreseth-gath*] I wobrwyo y Philistiaid am dy gynorthwyo yn erbyn dy elynion. *Tai Achzib a fyddant yn gelwydd i frenhinoedd Israel*—yn siomedigaeth i'r rhai a ymddiriedant ynddynt. Ystyr yr enw *Achzib* yw *celwydd*: ac felly y mae yn yr adnodau hyn chwareuad ar eiriau, yr hyn sydd beth cyffredin iawn yn ysgrifau y proffwydi.

Adn. 15. *Eto mi a ddygaf etifedd i ti, preswylferch Maresah*] Hon oedd ddinas yn Juda, lle genedigol Micah, yr hon yr oedd ei

16 Ymfoela, ac ymeillia am dy
blant moethus: helaetha dy foelder
fel eryr: canys caethgludwyd hwynt
oddiwrthyt.

## PENNOD II.

GWAE a ddychymygo anwiredd,
ac a wnelo ddrygioni ar eu
gwelyau: pan oleuo y bore y gwnant
hyn; am ei fod ar eu dwylaw.
2 Maesydd a chwennychant hefyd,
ac a ddygant trwy drais; a theiau,
ac a'*u* dygant: gorthrymant hefyd
ŵr a'i dŷ, dyn a'i etifeddiaeth.
3 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd, Wele, yn erbyn y teulu
hwn y dychymygais ddrwg, yr hwn
ni thynwch eich gyddfau o hono, ac
ni rodiwch yn falch; canys amser
drygfyd *yw*.
4 ¶ Yn y dydd hwnw y cyfyd *un*
ddammeg am danoch chwi, ac a
alara alar gofidus, gan ddywedyd,
Dinystriwyd ni yn llwyr; newidiodd
ran fy mhobl: pa fodd y dyg *ef*
oddiarnaf! gan droi ymaith, efe a
ranodd ein maesydd.
5 Am hyny ni bydd i ti a fwrio
reffyn coelbren yn nghynulleidfa yr
Arglwydd.
6 Na phroffwydwch, *meddant*
*wrth y rhai* a broffwydant: ond ni
phroffwydant iddynt na dderbyniont
gywilydd.
7 ¶ Oh yr hon a elwir Tŷ Jacob, a
fyrhawyd Ysbryd yr Arglwydd? ai
dyma ei weithredoedd ef? oni wna
fy ngeiriau les i'r neb a rodio yn
uniawn?
8 *Y rhai oedd* fy mhobl ddoe, a

---

henw yn arwyddo *etifeddiaeth*. Yr 'etifedd' hwn fyddai ei gelyn gorchfygol, yr hwn a gymerai feddiant o honi. *A daw hyd Adulam, gogoniant Israel*—dinas arall yn Juda, rhwng Bethlehem a Lacis, yr hon y mae ei henw yn arwyddo 'addurn neu ogoniant:' neu deuai y gelyn i ogof Adulam, lle y byddai y penaethiaid yn ymguddio, fel y gwnaeth Dafydd rhag Saul, 1 Sam. xxii. 1.

Adn. 16. *Ymfoela*] Tydi Israel a Juda, trwy gneifio dy wallt; *ac ymeillia*—trwy dori dy farf, yr hyn oedd yn arferiad gan lawer o genhedloedd ar farwolaeth perthynasau agos; *am dy blant moethus*—y rhai a fagwyd yn foethus, ac a laddwyd â'r cleddyf, neu a dorwyd ymaith gan newyn a haint, neu a gaethgludwyd oddiwrthyt: *helaethu dy foelder fel eryr*—wedi bwrw ei blu: *canys caethgludwyd hwynt oddiwrthyt*—i Assyria a Babilon; neu gwneir hyny mor sicr a phe buasai wedi cymeryd lle eisioes.

PEN. II. Adn. 1. *Gwae a ddychymygo anwiredd*] Ar eu gwelyau y nos, yn erbyn eu cymydogion diniwed a gweiniaid: *pan oleuo y bore y gwnant hyn*—y cyflawnant eu hanwiredd a'u drygioni; *am ei fod ar eu dwylaw*—am fod ganddynt allu neu gyfleusdra i'w wneuthur.

Adn. 2. *Maesydd a chwennychant hefyd*] Yn nghyda thai eu cymydogion, y rhai a ddygant trwy drais: *gorthrymant hefyd ŵr a'i dŷ*—neu 'ŵr a'i dylwyth;' *dyn a'i etifeddiaeth*—fel y gwnaeth Jezebel â gwinllan Naboth, 1 Bren. xxi 5, &c.

Adn. 3. *Wele, yn erbyn y teulu hwn y dychymygais ddrwg*] Sef teulu Israel, y rhai a ddychymygent ddrwg yn erbyn ereill; *yr hwn ni thynwch eich gyddfau o hono*—yr hwn nid ymryddhäent oddiwrtho, fel ag i rodio mwyach yn warsyth a balch: *canys amser drygfyd yw*—sef amser i'ch cospi am dreisio o honoch y gwan a'r tylawd.

Adn. 4. *Yn y dydd hwnw y cyfyd un ddammeg am danoch chwi*] Bydd eich pechod a'ch cosp yn destyn cwynfan cyffredin gan bawb; *ac a alara alar gofidus*—am danoch, fel y galar a arferir mewn angladdau: *gan ddywedyd, Dinystriwyd ni yn llwyr*—gan y gelyn: *newidiodd ran fy mhobl*—gan droi ein llawnder, ein hanrhydedd, a'n rhyddid, yn dylodi, anmharch, a chaethiwed. *Pa fodd y dyg ef oddiarnaf*—fy holl feddiannau! Hyn a ddywedir am Dduw, neu am y gelyn fel ei offeryn ef. *Gan droi ymaith*—ei dosturi oddiwrthym, *efe a ranodd ein maesydd*—rhwng estroniaid paganaidd.

Adn. 5. *Am hyny ni bydd i ti a fwria reffyn coelbren*] I ranu y tir hwn i'th blant, fel y gwnaed gynt i'th dadau; *yn nghynulleidfa yr Arglwydd*—y rhai oeddynt gynulleidfa yr Arglwydd: hyny yw, ni chaent byth fwynhau eu breintiau gwladol nac eglwysig.

Adn. 6. *Na phroffwydwch, meddant wrth y rhai a broffwydant*] Yr oeddynt am ddystewi gwir broffwydi yr Arglwydd, y rhai a gyhoeddent fygythion uwch eu penau hwynt: *ond ni phroffwydant iddynt na dderbyniont gywilydd*—canys hwy a gywilyddir yn ddiau, yn ol tystiolaeth y gwir broffwydi. Neu, yn ol *Newcome*, 'bydd i'r gwir broffwyd ei ddarostwng ei hun i warth cyhoeddus wrth gyflawni ei swydd.'

Adn. 7. *Oh yr hon a elwir Tŷ Jacob*] Ac a ddywedi mewn digywilydd-dra, gan hyderu ar dy berthynas â'r patriarch duwiol hwnw, *A fyrhawyd Ysbryd yr Arglwydd?*—a ydyw ei allu, ei ddoethineb, ei gariad, a'i ffyddlondeb tuag atom ni, yn llai na thuag at Jacob a'i hiliogaeth gynt? *Ai dyma ei weithredoedd ef*—sef ein dyfetha ni, yn lle ein hamddiffyn? I hyn y mae Duw yn ateb, *Oni wna fy ngeiriau*—y rhai yr wyf yn eu llefaru trwy fy mhoffwydi, *les i'r rhai a rodiant yn uniawn*—sef i'r rhai a wrandawant arnynt, ac a ufyddhant iddynt?

godasant yn elyn: dyosgwch y dilledyn gyda'r wisg oddiam y rhai a ânt heibio yn ddiofal, *fel* rhai yn dychwelyd o ryfel.
9 Gwragedd fy mhobl a fwriasoch allan o dŷ eu hyfrydwch; *a* dygasoch oddiar eu plant hwy fy harddwch byth.
10 Codwch, ac ewch ymaith; canys nid dyma *eich* gorphwysfa: am ei halogi, y dinystria hi chwi â dinystr tost.
11 Os un yn rhodio yn yr ysbryd a chelwydd, a ddywed yn gelwyddog, Proffwydaf it' am win a diod gadarn; efe a gaiff fod yn broffwyd i'r bobl hyn.
12 ¶ Gan gasglu y'th gasglaf, Jacob oll: gan gynull cynullaf weddill Israel; gosodaf hwynt yn nghyd fel defaid Bozrah, fel y praidd yn nghanol eu corlan: trystiant rhag *amled* dyn.
13 Daw y rhwygydd i fyny o'u blaen hwynt; rhwygasant a thramwyasant trwy y porth, ac aethant allan trwyddo, a thramwya eu brenin o'u blaen, a'r Arglwydd ar eu penau hwynt.

## PENNOD III.

DYWEDAIS hefyd, Gwrandewch, atolwg, benaethiaid Jacob, a thywysogion tŷ Israel: Onid i chwi *y perthyn* gwybod barn?
2 Y rhai ydych yn casâu y da, ac yn hoffi y drwg, gan flingo eu croen oddiam danynt, a'u cig oddiwrth eu hesgyrn;

---

Adn. 8. *Y rhai oedd fy mhobl ddoe*] Yn yr amser gynt; *a godasant yn elyn*—i mi erbyn heddyw, fel y mae eu gweithredoedd canlynol yn dangos. *Dyosgwch y dilledyn gyda'r wisg*—yr ydych yn cymeryd y dilledyn isaf gyda'r uwchaf, y bais yn gystal a'r cochl, *oddiam y rhai a ânt heibio yn ddiofal*—oddi am ddynion diriwed, a di-feddwl drwg; *fel rhai yn dychwelyd o ryfel*—gan eu gadael yn noethion fel rhai yn dychwelyd o ryfel.

Adn. 9. *Gwragedd fy mhobl a fwriasoch allan o dŷ eu hyfrydwch*] Sef o'u cartref dedwydd; *a dygasoch oddiar eu plant hwy fy harddwch byth*—sef eu rhyddid, eu gwlad, a'u breintiau crefyddol, y rhai a roddasai Duw yn harddwch a gogoniant iddynt. Meddylir fod yma gyfeiriad at eu gwaith yn gwerthu y plant yn gaethion i'r cenhedloedd eilunaddolgar, trwy yr hyn y deuent yn addolwyr duwiau gau.

Adn. 10. *Codwch, ac ewch ymaith*] I ryw le arall am ddiogelwch; *canys nid dyma eich gorphwysfa*—am eich bod trwy eich pechodau wedi fforffetio eich gwlad. *Am ei halogi*—trwy eich eilunod, *y dinystria hi chwi â dinystr tost*—trwy i chwi gael eich lladd ynddi, neu gael eich 'chwydu allan o honi:' gwel ar Lef xviii. 25—28.

Adn. 11. *Os un yn rhodio yn yr ysbryd a chelwydd*] Neu yn cymeryd arno yn gelwyddog ei fod yn meddu ysbryd proffwydoliaeth; *ac a ddywed yn gelwyddog, Proffwydaf it' am win a diod gadarn*—sef am y cyflog o win a diod gadarn, fel y mae rhai yn ei ddeall: ond y mae yn debycach mai yr ystyr yw, proffwydo y caent hwy win, a digrifwch, a bendithion naturiol, *efe a gaiff fod yn broffwyd i'r bobl hyn*—derbynir y cyfryw un ganddynt yn awyddus, tra y ceisiant ddystewi y gwir broffwydi, y rhai a broffwydent am gleddyf, newyn, a chaethiwed, adn. 6.

Adn. 12. *Gan gasglu y'th gasglaf, Jacob oll, &c.*] Y mae rhai yn deall yr adnod hon a'r canlynol fel bygythiad o'u casglu hwynt oll i gaethiwed; ond y mae yn debycach mai addewid sydd yma o'u cynull hwy yn ol o'u caethiwed, ac yn enwedig o'u dygiad hwy oll i gorlan eglwys Crist yn y dyddiau diweddaf. *Gosodaf hwynt yn nghyd fel defaid Bozrah*—lle enwog am ei borfeydd a'i ddeadellau breision; *fel y praidd yn nghanol eu corlan.*—hyny yw, adferir hwynt eilwaith i'w gwlad eu hunain mewn diogelwch, llawnder, a llawenydd. *Trystiant rhag amled dyn*—Saes., 'gan luaws dynion;' hyny yw, cynyddant i luosogrwydd mawr.

Adn. 13. *Daw y rhwygydd i fyny o'u blaen hwynt*] Neu y 'gwaredydd,' yr hwn a rwyga eu carcharau, ac a egyr ffordd rydd o'u blaen hwynt. *Rhwygasant a thramwyasant trwy y porth*—ar ei ol ef, fel defaid yn dylyn eu gilydd. *A thramwya eu brenin o'u blaen*—sef eu harweinydd a'u llywodraethwr, megys Zorobabel, Ezra, Nehemiah, &c.; *a'r Arglwydd ar eu penau hwynt*—neu yn ben arnynt oll. Ond diamau fod yn y geiriau hyn gyfeiriad pellach at ddygiad Israel, fel y nodwyd, i eglwys Crist; ac y mae yr esbonwyr Iuddewig yn gyffredin yn deall y *rhwygydd* a'r *brenin* yn yr adnod hon am y Gwaredwr a'r Brenin MESSIA: gwel *Pococke.*

PEN. III. Adn. 1. *Dywedais hefyd*] Wrth benaethiaid Jacob a thywysogion tŷ Israel; *Onid i chwi y perthyn gwybod barn*—fel llywodraethwyr a barnwyr y bobl? Oni ddylech chwi wybod pa fodd i wneyd cyfiawnder eich hunain, a chospi pob trosedd ac anghyfiawnder mewn ereill?

Adn. 2. *Y rhai ydych*] Yn lle hyny, *yn casâu y da, ac yn hoffi y drwg*—trwy orthrymu y gweiniaid a'r tylodion; *gan flingo eu croen oddiam danynt, a'u cig oddiwrth eu hesgyrn*—yr ydych yn trin fy mhobl mor greulon a phe byddai i fugail, yn lle boddloni ar wlan ei ddefaid, dynu ymaith eu croen a'u

3 Y rhai hefyd a fwytânt gig fy
mhobl, a'u croen a flingant oddiam
danynt, a'u hesgyrn a ddrylliant, ac
a friwant, megys i'r crochan, ac fel
cig yn y badell.
4 Yna y llefant ar yr Arglwydd,
ac nis etyb hwynt; efe a guddia ei
wyneb oddiwrthynt y pryd hwnw,
fel y buant ddrwg yn eu gweithred-
oedd.
5 ¶ Fel hyn y dywed yr Ar-
glwydd am y proffwydi sydd yn cy-
feiliorni fy mhobl, y rhai a frathant
â'u dannedd, ac a lefant, Heddwch:
a'r neb ni roddo yn eu penau hwynt,
darparant ryfel yn ei erbyn.
6 Am hyny *y bydd* nos i chwi, fel
na chaffoch weledigaeth; a thywyll-
wch i chwi, fel na chaffoch ddewin-
iaeth: yr haul hefyd a fachluda ar
y proffwydi, a'r dydd a ddua arnynt.
7 Yna y gweledyddion a gywil-
yddiant, a'r dewiniaid a warad-
wyddir; ïe, pawb o honynt a gauant
ar eu genau, am na *bydd* Duw ateb.
8 ¶ Ond yn ddiau llawn wyf fi o
rym gan Ysbryd yr Arglwydd, ac o
farn a nerth, i ddangos ei anwiredd
i Jacob, a'i bechod i Israel.
9 Gwrandewch hyn, atolwg, pen-
aethiaid tŷ Jacob, a thywysogion tŷ
Israel, y rhai sydd ffiaidd ganddynt
farn, ac yn gŵyro pob uniondeb.
10 Adeiladu Seion y maent â
gwaed, a Jerusalem âg anwiredd.
11 Ei phenaethiaid a roddant farn
er gwobr, a'i hoffeiriaid a ddysgant
er cyflog, a'r proffwydi a ddewiniant
er arian; eto wrth yr Arglwydd yr
ymgynaliant, gan ddywedyd, Onid

---

cig hefyd. Yr ydych yn ymddwyn yn debycach i fwystfilod ysglyfaethus, nag i fugeiliaid ffyddlon a gofalus.

Adn. 3. *A'u hesgyrn a ddrylliant ac a friwant, &c.*] Fel cigydd yn darnio y llwdn i'w ferwi neu i'w ffrïo, neu yn dryllio yr esgyrn i gael y mêr o honynt. Y rhai hyn ydynt ymadroddion cyffelybiaethol, yn arwyddo creulondeb y penaethiaid hyn tuag at bobl yr Arglwydd, yn cymeryd eu heiddo oddiarnynt, ac yna yn ei ranu yn eu plith eu hunain.

Adn. 4. *Yna y llefant ar yr Arglwydd*] Sef y penaethiaid a'r tywysogion gorthrymus uchod, pan ddeuai eu gelynion i'w gwlad i'w gorthrymu hwythau; *ac nis etyb hwynt*—ni wrandawa efe arnynt, ac ni thosturia wrthynt: *efe a guddia ei wyneb oddiwrthynt y pryd hwnw*—fel y cuddiasant hwythau eu tosturi oddiwrth ereill trwy eu gweithredoedd drwg.

Adn. 5. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd am y proffwydi sydd yn cyfeiliorni fy mhobl*] Y rhai a broffwydant *heddwch* iddynt pan yn cael cnoi â'u dannedd, neu pan yn cael cyfranogi o'u danteithion hwynt: *a'r neb ni roddo yn eu penau*—ni wahoddo hwynt at ei fwrdd; *darparant ryfel yn ei erbyn*—cyhoeddant *wae* uwch ei ben, neu gosodant ef allan fel dyn drwg, gan annog pawb i godi yn ei erbyn fel gelyn i'r llywodraeth.

Adn. 6. *Am hyny y bydd nos i chwi*] Heb weledigaeth oddiwrth yr Arglwydd; *a thywyllwch i chwi*—heb ddim goleuni chwaith oddiwrth ddewiniaeth: *yr haul hefyd a fachluda ar y proffwydi*—sef ar y gau-broffwydi, fel y mae yn eglur oddiwrth adn. 8; *a'r dydd a ddua arnynt*—nes y bydd y cwbl yn dywyllwch o ddallod ac anobaith iddynt.

Adn. 7. *Yna y gweledyddion a gywilyddiant*] Am ffuantu o honynt fod ganddynt ysbryd proffwydoliaeth: *ïe, pawb o honynt a gauant ar eu genau*—a roddant heibio eu twyll a'u celwydd, am y bydd yn eglur nad yw Duw yn llefaru trwyddynt.

Adn. 8. *Ond yn ddiau llawn wyf fi o rym gan Ysbryd yr Arglwydd*] Yma y mae Micah yn llefaru am dano ei hun mewn gwrthgyferbyniad i'r gau-broffwydi uchod, gan dystio ei fod ef dan ddylanwad grymus gwir ysbryd proffwydoliaeth, tra yr oeddynt hwy hebddo: *ac o farn a nerth*—hyny yw, yr oedd ef yn llawn o allu i wahaniaethu rhwng gwirionedd a chyfeiliornad, neu rhwng yr hyn a ddeuai i ben, a'r hyn ni ddenai; *i ddangos ei anwiredd i Jacob, a'i bechod i Israel*—yn nghyda'i ganlyniadau, a hyny yn wrol a diofn.

Adn. 9. *Gwrandewch hyn, atolwg, penaethiaid tŷ Jacob, &c.*] Y mae y cyfarchiad hyf hwn wrth y penaethiaid a'r tywysogion yn profi fod gan Micah wroldeb a nerth, fel y dywedasai uchod; *y rhai sydd ffiaidd ganddynt farn*—neu wneuthur cyfiawnder yn yr achosion a ddeuant o'ch blaen; *ac yn gŵyro pob uniondeb*—am lwgr-wobrwyon.

Adn. 10. *Adeiladu Seion y maent â gwaed*] Neu â gwobr gwaed; *a Jerusalem âg anwiredd*—sef â ffrwyth anwiredd. Fe allai eu bod wedi chwanegu at adeiladau y deml, ac wedi harddu a chadarnhau muriau neu balasau Jerusalem, â rhan o'r arian a gyraeddasent yn annghyfiawn.

Adn. 11. *Ei phenaethiaid a roddant farn er gwobr*] Sef barn annghyfiawn; *a'i hoffeiriaid a ddysgant er cyflog*—a draethant, am gyflog, yr hyn a fyddo yn foddhaol gan y brenin a'r bobl; *a'r proffwydi a ddewiniant er arian*—sef y gau-broffwydi, y rhai a gymerent arnynt ddewinio am gyflog: *eto wrth yr Arglwydd yr ymgynaliant*—neu yr hyderant am nawdd a bendith; *gan ddywedyd*—mewn hyder gau, *Onid yw yr Arglwydd i'n plith*—i'n hamddiffyn ni? *Ni ddaw drwg arnom*—ni ddaw cleddyf, newyn, na chaethiwed i'n trallodi, tra y mae yr Arglwydd yn darian i ni.

*yw* yr Arglwydd i'n plith? ni ddaw
drwg arnom.
12 Am hyny o'ch achos chwi yr
erddir Seion *fel* maes, a Jerusalem
a fydd yn garneddau, a mynydd y
tŷ fel uchel-leoedd y goedwig.

## PENNOD IV.

A BYDD yn niwedd y dyddiau, i
fynydd tŷ yr Arglwydd fod wedi
ei sicrhau yn mhen y mynyddoedd;
ac efe a ddyrchefir goruwch y bryn-
iau; a phobloedd a ddylifant ato.
2 A chenhedloedd lawer a ânt ac
a ddywedant, Deuwch, ac awn i
fyny i fynydd yr Arglwydd, ac i dŷ
Dduw Jacob; ac efe a ddysg i ni ei
ffyrdd, ac yn ei lwybrau y rhodiwn:
canys y gyfraith a â allan o Seion,
a gair yr Arglwydd o Jerusalem.
3 ¶ Ac efe a farna rhwng pobl-
oedd lawer, ac a gerydda genhedl-
oedd cryfion hyd yn mhell; a thor-
ant eu cleddyfau yn sychau, a'u
gwaewffyn yn bladuriau: ac ni chy-
fyd cenedl gleddyf yn erbyn cenedl,
ac ni ddysgant ryfel mwyach.
4 Ond eisteddant bob un dan ei
winwydden a than ei ffigysbren, heb
neb i'*w* dychrynu; canys genau
Arglwydd y lluoedd a'*i* llefarodd.
5 Canys yr holl bobloedd a rod-
iant bob un yn enw ei dduw ei hun,
a ninau a rodiwn yn enw yr Ar-
glwydd ein Duw byth ac yn dra-
gywydd.
6 Yn y dydd hwnw, medd yr Ar-
glwydd, y casglaf y gloff, ac y cy-
nullaf yr hon a yrwyd allan, a'r hon
a ddrygais:
7 A gwnaf y gloff yn weddill, a'r
hon a daflwyd yn mhell, yn genedl
gref; a'r Arglwydd a deyrnasa ar-
nynt yn mynydd Seion o hyn allan
byth.
8 ¶ A thithau, tŵr y praidd, cas-
tell merch Seion, hyd atat y daw,
ïe, y daw yr arglwyddiaeth benaf, y
deyrnas i ferch Jerusalem.

---

Adn. 12. *Am hyny o'ch achos chwi*] O achos pechodau y barnwyr, yr offeiriaid, a'r proffwydi gau hyn; *yr erddir Seion fel maes*—yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol gan Terentius Rufus trwy orchymyn Titus; (gwel ar Mat. xxiv. 2:) *a Jerusalem a fydd yn garneddau*—neu grugiau o adfeilion; *a mynydd y tŷ*—sef mynydd Moriah, ar yr hwn y safai y deml, *fel uchel-leoedd y goedwig*—fel anialwch llawn o wellt a llwyni, heb neb i'w sangu. Gwnaed hyn i raddau gan y Caldeaid, ac yn llwyrach fyth gan y Rhufeiniaid.

PEN. IV. Adn. 1—3. *A bydd yn niwedd y dyddiau*] Neu 'yn y dyddiau diweddaf;' *i fynydd tŷ yr Arglwydd fod wedi ei sicrhau yn mhen y mynyddoedd*, &c.—cenir y tair adnod hyn wedi eu hegluro ar Esay ii. 3—5: gwel y sylwadau yno. Tybia *Louth* i Micah gymeryd y geiriau hyn oddiwrth Esay; neu gall ddarfod i'r Ysbryd Glân roddi yr un geiriau yn ngenau y ddau broffwyd, i gadarnhau yr un gwirionedd.

Adn. 4. *Ond eisteddant bob un dan ei winwydden a than ei ffigysbren*] Ymadrodd diarebol, yn arwyddo y tawelwch a'r diogelwch mwyaf, 2 Bren. xviii. 31; *heb neb i'w dychrynu*—heb neb yn meiddio eu dychrynu, nac yn dymuno gwneuthur hyny: *canys genau Arglwydd y lluoedd a'i llefarodd*—ac am hyny y mae yn wirionedd sier.

Adn. 5. *Canys yr holl bobloedd a rodiant bob un yn enw ei dduw ei hun*] Felly y mae y cenhedloedd paganaidd yn gwneyd yn awr; neu, yr un Duw hollbresenol fydd gan yr holl bobloedd i'w addoli y pryd hyny: *a ninau a rodiwn yn enw yr Arglwydd ein Duw byth ac yn dragywydd*—hyny yw, bydd i bawb y pryd hyny addoli a gwasanaethu Jehofa yn unig.

Adn. 6. *Yn y dydd hwnw—y casglaf y gloff*] Sef y genedl Iuddewig, yr hon oedd yn cloffi rhwng Duw a'i heilunod; *ac y cynullaf yr hon a yrwyd allan*—o'i gwlad, o herwydd ei heilunaddoliaeth; *a'r hon a ddrygais*—neu a ddarostyngais i gaethiwed. Er mai at ddychweliad yr Iuddewon o Babilon y cyfeirir yn mlaenaf yn y geiriau hyn, eto y mae y cwbl gyflawniad o honynt i gymeryd lle yn nghynulliad yr Iuddewon a'r Cenhedloedd i eglwys Crist cyn dechread y milflwyddiant. Yr oedd gwaredigaeth dymhorol yr Iuddewon o Babilon yn gysgod o'u gwaredigaeth ysbrydol hwy trwy Grist; a chyfeirir yma at y naill a'r llall.

Adn. 7. *A gwnaf y gloff yn weddill*, &c.] Cadwaf yr Iuddewon, ar ol eu dychweliad o Babilon, yn bobl wahanedig, ac yn genedl gref, i'r dyben i ddwyn oddiamgylch amcanion mawrion fy ngras a'm trugaredd: *a'r Arglwydd a deyrnasa arnynt yn mynydd Seion o hyn allan byth*—sef ar ol iddynt gael eu dwyn i'r eglwys Gristionogol. Y mae yr Iuddewon eu hunain yn deall y geiriau hyn am deyrnasiad y Messia.

Adn. 8. *A thithau, tŵr y praidd*] Sef Jerusalem a'r deml, yr hon oedd yn gastell amddiffynol i'r eglwys Iuddewig: *hyd atat y daw, ïe y daw, yr arglwyddiaeth benaf*—neu 'y gyntaf;' *y deyrnas i ferch Jerusalem*—y meddwl yw, y byddai i frenhiniaeth Dafydd gael ei hail sefydlu yn mherson y Messia; sef brenhiniaeth ysbrydol Crist, yr hon a gysgodid gan frenhiniaeth dymhorol Dafydd a Solomon.

Adn. 9. *Paham gan hyny y gwaeddi waedd*] Fel gwraig mewn gwewyr esgor? Meddylir fod yma gyfeiriad at yr amser y

9 Paham gan hyny y gwaeddi waedd? onid *oes* ynot frenin? a ddarfu am dy gynghorydd? canys gwewyr a'th gymerodd megys gwraig yn esgor.

10 Ymofidia a griddfana, merch Seion, fel gwraig yn esgor: o herwydd yr awr hon yr âi di allan o'r ddinas, a thrigi yn y maes; ti a âi hyd Babilon: yno y'th waredir; yno yr achub yr Arglwydd di o law dy elynion.

11 ¶ Yr awr hon hefyd llawer o genhedloedd a ymgasglasant i'th erbyn, gan ddywedyd, Haloger hi, a gweled ein llygaid *hyny* ar Seion.

12 Ond ni wyddant hwy feddyliau yr Arglwydd, ac ni ddeallant ei gynghor ef: canys efe a'u casgl hwynt fel ysgubau i'r llawr dyrnu.

13 Cyfod, merch Seion, a dyrna; canys gwnaf dy gorn yn haiarn a'th garnau yn bres; a thi a ddrylli bobloedd lawer: a chysegraf i'r Arglwydd eu helw hwynt, a'u golud i Arglwydd yr holl ddaear.

## PENNOD V.

YR awr hon ymfyddina, merch y fyddin; gosododd gynllwyn i'n herbyn: tarawant farnwr Israel â gwialen ar *ei* gern.

2 A thithau, Bethlehem Ephratah, *er* dy fod yn fechan yn mhlith miloedd Juda, *eto* o honot ti y daw allan i mi *un* i fod yn llywydd yn Israel; yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechread, er dyddiau tragwyddoldeb.

3 Am hyny y rhydd efe hwynt i

---

daliwyd Zedeciah gan y Caldeaid, 2 Bren. xxv. 5. *Onid oes ynot frenin*—eto, sef dy Dduw, er colli o honot Zedeciah? *A ddarfu am dy gynghorydd?*—naddo: canys y mae rhai offeiriaid a phroffwydi eto yn mhlith y gaethglud. *Canys gwewyr a'th gymerodd megys gwraig yn esgor*—fel pe dywedasai, Gwewyr *esgor* yw dy wewyr di, ac nid gwewyr *angau.*

Adn. 10. *Ymofidia a griddfana, merch Seion*] Dyoddefa dy ofidiau yn amyneddgar, y rhai a dynaist yn wirfoddol arnat dy hun; *fel gwraig yn esgor*—gan ddysgwyl ymwared oddiwrthynt. *O herwydd yr awr hon yr âi di allan o'r ddinas*—sef o Jerusalem; *a thrigi yn y maes*—mewn cyflwr gresynus a diamddiffyn. *Ti a âi hyd Babilon*—lle y byddi mewn caethiwed. *Yno yr achub yr Arglwydd di o law dy elynion*—yn niwedd y 70 mlynedd.

Adn. 11. *Yr awr hon hefyd llawer o genhedloedd a ymgasglasant i'th erbyn*] Sef y Caldeaid, yr Edomiaid, a'r cynghreirwyr; *gan ddywedyd, Haloger hi*—darostynger Jerusalem, a bwrier hi ymaith fel peth ffiaidd a halogedig; *a gweled ein llygaid hyny ar Seion*—bydded i ni gael yr hyfrydwch o weled dinystr y deml, a'r ddinas, a'r trigolion.

Adn. 12. *Ond ni wyddant hwy feddyliau yr Arglwydd*] Wrth oddef i hyn ddisgyn ar ei bobl, sef glanhau eu hanwiredd, a thynu ymaith eu pechod, Esay xxvii. 9; *ac ni ddealiant ei gynghor ef*—sef ei fwriad gyda golwg arnynt hwy eu hunain, y rhai ydynt elynion Seion: *canys efe a'u casgl hwynt fel ysgubau i'r llawr dyrnu*—i'w sathru dan draed.

Adn. 13. *Cyfod, merch Seion, a dyrna*] Y meddwl yw, pan gesglid gelynion Seion fel ysgubau i'r llawr dyrnu, y rhoddid awdurdod a nerth i Seion wan eu gorchfygu a'u dryllio hwynt: *canys gwnaf dy gorn yn haiarn a'th garnau yn bres*—hyny yw, galluogaf di i'w dryllio a'u sathru hwy yn effeithiol. *A chysegraf i'r Arglwydd eu helw hwynt, a'u golud i Arglwydd yr holl ddaear*—cyflawnwyd hyn mewn rhan pan adferwyd llestri y deml trwy orchymyn Cyrus, a thrwy fuddugoliaethau y Maccabeaid; ac fe'i cyflawnir yn helaethach pan y rhoddir golud yr holl genhedloedd at wasanaeth teyrnas y Cyfryngwr: gwel ar Esay lx. 5, &c.

PEN. V. Adn. 1. *Yr awr hon ymfyddina, merch y fyddin*] Neu, fel y mae *Newcome* yn ei gyfieithu, 'Ymfyddina, o ferch, yn fyddinoedd.' Cyn y cai pobl yr Arglwydd y fuddugoliaeth ag y soniwyd am dani yn niwedd y bennod flaenorol, yr oedd yn rhaid iddynt ymfyddino yn erbyn eu gelynion. *Gosododd gynllwyn i'n herbyn*—meddylir fod hyn yn cyfeirio at waith Nebuchodonosor yn gwarchae ar Jerusalem. *Tarawant farnwr Israel â gwialen ar ei gern*—cyfeirir yma ond odid at yr anmharch a ddanghoswyd i Zedeciah gan y Caldeaid, 2 Bren. xxv. 7. Ond tybia rhai mai Rhufain a feddylir yma wrth 'ferch y fyddin;' ac mai galwad sydd yma ar y Rhufeiniaid i gasglu eu byddinoedd yn erbyn Jerusalem, o herwydd ymddygiad yr Iuddewon at Grist, Barnwr Israel.

Adn. 2. *A thithau, Bethlehem Ephratah*] Yr oedd Bethlehem arall yn llwyth Zabulon, Jos. xix. 15; ond hon oedd 'Bethlehem Judea,' Mat. ii. 5; a gelwir hi *Ephratah*, oddiwrth 'ffrwythlondeb' y tir lle y safai, fel yr arwydda yr enw hwn. *Er dy fod yn fechan yn mhlith miloedd Juda*—yn rhy fechan braidd i wneyd sylw o honot ti na'th drigolion. Nid yw y gair 'er' yn y wreiddiol, yr hon a gyfieithir gan lawer, 'Ai bychan wyt yn mhlith miloedd Juda?' Y mae St. Matthew yn darllen '*tywysogion* Juda;' canys yr oedd y llwythau y pryd hyn wedi eu dosbarthu yn *filoedd*, ar y rhai yr oedd *tywysogion*: gwel ar Mat. ii. 6. *Eto o honot ti y daw allan i*

fyny, hyd yr amser y darffo i'r hon
a esgoro esgor: yna gweddill ei
frodyr ef a ddychwelant at feibion
Israel.
4 ¶ Ac efe a saif ac a bortha â
nerth yr Arglwydd, yn arddercholg-
rwydd enw yr Arglwydd ei Dduw;
a hwy a drigant: canys yr awr hon
efe a fawrheir hyd eithafoedd y
ddaear.
5 A hwn fydd yr heddwch, pan
ddel yr Assyriad i'n tir ni: a phan
sathro o fewn ein palasau, yna cyf-
odwn yn ei erbyn saith fugail, ac
wyth o'r dynion penaf.
6 A hwy a ddinystriant dir Assyr-
ia â'r cleddyf, a thir Nimrod â'i
gleddyfau noethion ei hun: ac efe
a'n hachub rhag yr Assyriad, pan
ddel i'n tir, *a* phan sathro o fewn
ein terfynau.
7 A bydd gweddill Jacob yn
nghanol llawer o bobl, fel y gwlith
oddiwrth yr Arglwydd, megys ca-
wodydd ar y gwelltglas, yr hwn nid
erys ar ddyn, *ac* ni ddysgwyl wrth
feibion dynion.
8 ¶ A gweddill Jacob a fydd yn
mysg y Cenhedloedd yn nghanol
pobl lawer, fel llew yn mysg bwyst-
filod y goedwig, ac fel cenaw llew
yn mhlith y deadellau defaid: yr
hwn, pan êl trwyodd, a sathr ac a
ysglyfaetha, ac ni *bydd* achubydd.

---

*mi*—neu 'y *genir* i mi.' Nid yw y gair 'eto' yn y wreiddiol, eithr dodwyd ef i mewn gan ein cyfieithwyr ni i gyfateb i'r gair 'er' blaenorol. *Un i fod yn llywydd yn Israel*—neu yn Frenin, Bugail, a Gwaredwr iddynt. *Yr hwn yr oedd ei fynediad allan o'r dechread*—sef 'er dyddiau tragwyddoldeb,' fel ei heglurir yn y geiriau nesaf. Cyfeiria hyn at gynhanfodiad Crist, neu ei dragwyddol genhedliad, neu ei neillduad er tragwyddoldeb i'w waith cyfryngol. Nid yn Bethlehem y 'daeth efe allan' gyntaf, eithr yr oedd ei fynediad allan 'er dyddiau tragwyddoldeb.' Yr oedd yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion yn cyfaddef wrth Herod mai am Grist y llefara y proffwyd yma: gwel ar Mat. ii. 4—6.

Adn. 3. *Am hyny*] Neu '*er* hyny,' sef *er* yr addewid fawr hon o'r Messia; *y rhydd efe hwynt i fyny*—sef yr Iuddewon, i ddwylaw y Caldeaid; *hyd yr amser y darffo i'r hon a esgoro esgor*—hyd nes y byddo i ferch Seion, yr hon a gydmherir yma i wraig mewn gwewyr, gael ei phlant wedi eu gwaredu allan o gaethiwed: neu hyd nes y byddo i eglwys Dduw, o'r hon yr oedd merch Seion yn gysgod, esgor ar blant ysbrydol i Grist o blith y Cenhedloedd, trwy bregethiad yr efengyl, Gal. iv. 27. *Yna gweddill ei frodyr ef a ddychwelant*—dychwelir yr Iuddewon hefyd i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf, *at feibion Israel*—at Israel ysbrydol Duw o blith y Cenhedloedd: gwel ar Esay lxvi. 7—11, Rhuf. xi. 25, 26.

Adn. 4. *Ac efe*] Sef Crist, *a saif*—fel Llywydd a Bugail mawr ei bobl; *ac a bortha*—neu a fugeilia ei braidd ysbrydol, *â nerth yr Arglwydd*—yn cynwys ei wyrthiau dwyfol, a nerth ei ras; *yn ardderchogrwydd enw yr Arglwydd ei Dduw*—trwy yr awdurdod a roddai ei Dad iddo fel Cyfryngwr. *A hwy a drigant*—yn ddiogel dan ei gysgod ef; neu, 'a hwy a *ddychwelir*,' fel y mae tri o'r ysgrifyfrau Hebreig yn ei ddarllen, yn nghyda'r Syriaeg, y Galdeaeg, a'r Vulgate. *Canys yr awr hon efe a fawrheir hyd eithafoedd y ddaear*—fel Gwaredwr galluog, trugarog, ewyllysgar, a ffyddlon.

Adn. 5. *A hwn fydd yr heddwch*] Crist yn mhob oes, cyn ac ar ol ei gnawdoliad, sydd yn sicrhau heddwch a llwyddiant ei eglwys a'i bobl, yn dymhorol ac ysbrydol; *pan ddel yr Assyriaid i'n tir ni*—cyfeirir yma yn llythyrenol at y waredigaeth a gai Hezeciah rhag Senacherib, a hyny trwy Grist fel yr achos haeddiannol; ond, yn gyfriniol, golygir gwaredigaeth eglwys Dduw oddiwrth ei holl elynion hyd ddiwedd amser. *Yna cyfodwn yn ei erbyn saith fugail, ac wyth o'r dynion penaf*—y mae yn debyg fod yma nifer penodol yn cael ei roddi am nifer anmhenodol, (Preg. xi. 2,) i arwyddo na fyddai ar yr Arglwydd ddim prinder offerynau i ddwyn oddiamgylch waredigaeth ei bobl, a dinystr ei elynion. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio, yn mlaenaf, at benaethiaid y Mediaid a'r Babiloniaid, y rhai a oresgynent Ninefe ac Assyria.

Adn. 6. *A hwy a ddinystriant dir Assyria â'r cleddyf*] Yr hyn a wnaeth y Mediaid a'r Babiloniaid dan arweiniad Merodach-Baladan; *a thir Nimrod*—yr un a thir yr Assyriaid: *ac efe a'n hachub rhag yr Assyriaid*—y rhai yn gyfriniol a olygant holl elynion pobl Dduw.

Adn. 7. *A bydd gweddill Jacob yn nghanol llawer o bobl*] Ar ol iddynt gael eu gwaredu o Babilon, ac yn enwedig yn nyddiau yr efengyl; *fel y gwlith oddiwrth yr Arglwydd*—yn lluosog eu hunain, ac yn fendith i'r byd; *megys cawodydd ar y gwelltglas*—yn ireiddio ac yn ffrwythloni y byd moesol; *yr hwn nid erys ar ddyn, &c.*—yr hwn ni ddisgwyla trwy drefniad neu gynorthwy dynion. Cyfeirir yma ond odid at effeithiau pregethiad yr efengyl yn mhlith y Cenhedloedd, trwy ddylanwad gras Duw.

Adn. 8. *A gweddill Jacob a fydd yn mysg y Cenhedloedd—fel llew*] O ran eu nerth a'u gwroldeb, y rhai nis gall bwystfilod y goedwig eu gwrthsefyll, llawer llai y deadellau defaid. Cyfeirir yma yn mlaenaf at fuddugoliaethau yr Iuddewon yn amser y Maccabeaid, ac wedi hyny at lwyddiant pregethiad yr efengyl gan yr apostolion a'u canlynwyr.

Adn. 9. *Dy law a ddyrchefir yn erbyn dy*

9 Dy law a ddyrchefir yn erbyn dy wrthwynebwyr, a'th holl elynion a dorir ymaith.

10 A bydd y dwthwn hwnw, medd yr Arglwydd, i mi dori ymaith dy feirch o'th ganol di, a dinystrio dy gerbydau:

11 Toraf hefyd i lawr ddinasoedd dy wlad, a dymchwelaf dy holl amddiffynfeydd:

12 A thoraf ymaith o'th law y swynion, ac ni bydd i ti ddewiniaid.

13 Toraf hefyd i lawr dy luniau cerfiedig, a'th ddelwau o'th blith; ac ni chei ymgrymu mwyach i weithredoedd dy ddwylaw dy hun.

14 Diwreiddiaf dy lwyni o'th ganol hefyd; a dinystriaf dy ddinasoedd.

15 Ac mewn dig a llid y gwnaf ar y cenhedloedd y fath ddialedd ag na chlywsant.

## PENNOD VI.

GWRANDEWCH, atolwg, y peth a ddywed yr Arglwydd; Cyfod, ymddadleu â'r mynyddoedd, a chlywed y bryniau dy lais.

2 Gwrandewch y mynyddoedd, a chedyrn sylfaeni y ddaear, gŵyn yr Arglwydd; canys *y mae* cŵyn rhwng yr Arglwydd a'i bobl, ac efe a ymddadleu âg Israel.

3 Fy mhobl, beth a wnaethym i ti? ac yn mha beth y'th flinais? tystiolaetha i'm herbyn.

4 Canys mi a'th ddygais o dir yr Aifft, ac y'th ryddheais o dŷ y caethiwed, ac a anfonais o'th flaen Moses, Aaron, a Miriam.

5 Fy mhobl, cofia, atolwg, beth a fwriadodd Balac brenin Moab, a pha ateb a roddes Baalam mab Beor

---

*wrthwynebwyr*] Er cryfed ac amled fyddont; *a'th holl elynion a dorir ymaith*—sef yr Assyriaid, gelynion Israel; a'r Babiloniaid, gelynion Juda, y rhai a gysgodent elynion pobl Dduw yn mhob oes o'r byd.

Adn. 10. *A bydd y dwthwn hwnw*] Ar ol i'th holl elynion gael eu tori ymaith, ac i heddwch cyffredinol gael ei sefydlu: *i mi dori ymaith dy feirch o'th ganol di*—nid mewn barn, eithr mewn trugaredd; *a dinystrio dy gerbydau*—sef eu cerbydau rhyfel, y rhai ni byddai eu heisiau mwyach.

Adn. 11. *Toraf hefyd i lawr ddinasoedd dy wlad*] Neu *gaerau* eu dinasoedd, a'u holl amddiffynfeydd, fel pethau diangenrhaid, trwy fod yr Arglwydd yn amddiffynwr iddynt.

Adn. 12. *A thoraf ymaith o'th law y swynion*] Gan mai â'r Arglwydd yn unig yr ymgynghori y pryd hyny.

Adn. 13. *Toraf hefyd i lawr dy luniau cerfiedig*] Trwy na byddi mwyach yn genedl eilunaddolgar.

Adn. 14. *Diwreiddiaf dy lwyni o'th ganol*] Lle yr arferent eilunaddoli; *a dinystriaf dy ddinasoedd*—neu 'dy *elynion*,' fel y mae ar ymyl y ddalen.

Adn. 15. *Ac mewn dig a llid y gwnaf ar y cenhedloedd y fath ddialedd ag na chlywsant*] Son am ei gyffelyb. Cyflawnwyd hyn mewn rhan yn ninystr yr Assyriaid gan y Caldeaid, ac yn nymchweliad amherodraeth Babilon gan Cyrus; ond y mae y llwyr gyflawniad o'r broffwydoliaeth hon i gymeryd lle eto, pan ddarostyngir pob llywodraeth a wrthsafo deyrnas y Cyfryngwr. Bydd i Dduw roddi i'w Fab galonau neu yddfau ei holl elynion, a'u gwneuthur naill ai yn gyfeillion ai yn droedfainc iddo.

PEN. VI. Adn. 1. *Gwrandewch, atolwg, y peth a ddywed yr Arglwydd*] Yma geilw y proffwyd ar Israel i wrando. *Cyfod, ymddadleu â'r mynyddoedd*—hyn a ddywedir wrth y proffwyd gan Dduw; *a chlywed y bryniau dy lais*—dadleua y cŵyn ag sydd rhyngof fi a'm pobl wrth y mynyddoedd a'r bryniau.

Adn. 2. *Gwrandewch y mynyddoedd*] Yma y mae y proffwyd yn ufyddhau i'r alwad, ac yn dechreu ar ei waith; *a chedyrn sylfaeni y ddaear*—gwel ar Salm civ. 5; *gŵyn yr Arglwydd*—yn erbyn ei bobl Israel, o achos eu pechodau. Fel hyn y mae Duw yn apelio yn fynych yn yr ysgrythyrau at y greadigaeth ddifywyd, i argyhoeddi ystyfnigrwydd a chyndynrwydd dynion.

Adn. 3. *Fy mhobl, beth a wnaethym i ti*] Ar fai? *ac yn mha beth y'th flinais*—trwy wneuthur cam â thi? *Tystiolaetha i'm herbyn*—os oes genyt ryw achwyniad i'w ddwyn i'm herbyn. Yna efe a enwa rai o'r cymwynasau aneirif a wnaethai efe iddynt.

Adn. 4. *Canys mi a'th ddygais o dir yr Aifft*] Gan hollti y môr coch o'th flaen; *ac a'th ryddheais o dŷ y caethiwed*—sef o'r Aifft, lle yr oeddit mewn caethiwed a chaledi mawr, Exod. i. 11, 14; *ac a anfonais o'th flaen Moses, Aaron, a Miriam*—y deddfwr a'r offeiriad a'r broffwydes, i'th lywodraethu a'th wasanaethu a'th addysgu yn yr anialwch, mewn pethau gwladol a chrefyddol.

Adn. 5. *Fy mhobl, cofia, atolwg, beth a fwriadodd Balac*] Ei wneuthur i ti, sef dy felldithio; *a pha ateb a roddes Balaam mab Beor iddo*—sef, 'Pa fodd y rhegaf yr hwn ni regodd Duw? a pha fodd y ffieiddiaf yr hwn ni ffieiddiodd yr Arglwydd?' Num. xxiii. 7, 8. *O Sittim hyd Gilgal*—hyny yw, cofiwch y trugareddau mawrion a wnaethym i chwi o'r amser ag yr oeddych yn Sittim, Num. xxv. 1, hyd eich gwersylliad yn Gilgal, Jos. iv. 19, megys hollti yr Iorddonen o'ch blaen, a'ch dwyn yn ddiogel i wlad yr addewid. *Fel y*

iddo, o Sittim hyd Gilgal; fel y
galloch wybod cyfiawnder yr Ar-
glwydd.
6 ¶ A pha beth y deuaf ger bron
yr Arglwydd, *ac* yr ymgrymaf ger
bron yr uchel Dduw? a ddeuaf fi
ger ei fron ef â phoeth-offrymau,
ac a dyniewaid?
7 A foddlonir yr Arglwydd a mil-
oedd o fyheryn, *neu* â myrddiwn o
ffrydiau olew? a roddaf fi fy nghynt-
afanedig *dros* fy anwiredd, ffrwyth
fy nghroth *dros* bechod fy enaid?
8 Danghosodd efe it', ddyn, beth
*sydd* dda: a pha beth a gais yr Ar-
glwydd genyt, ond gwneuthur barn,
a hoffi trugaredd, ac ymostwng i
rodio gyda'th Dduw.
9 Llef yr Arglwydd a lefa ar y
ddinas, a'r doeth a wel dy enw:
gwrandewch y wialen, a phwy a'i
hordeiniodd.
10 ¶ *A oes* eto drysorau anwir-
edd o fewn tŷ y gŵr anwir, a'r
mesur prin, *peth sydd* ffiaidd?
11 A gyfrifwn yn lân un â chlor-
ianau anwir, ac â chôd o gerig
twyllodrus?
12 Canys y mae ei chyfoethogion
yn llawn trais, a'i thrigolion a ddy-
wedasant gelwydd; a'u tafod *sydd*
dwyllodrus yn eu genau.
13 A minau hefyd a'*th* glwyfaf
wrth dy daro, wrth *dy* anrheithio
am dy bechodau.
14 Ti a fwytêi, ac ni'th ddigonir;

---

*galloch wybod cyfiawnder yr Arglwydd*—cofiwch y pethau hyn, fel y galloch weled fy nhrugaredd, fy ngwirionedd, a'm ffyddlondeb i tuag atoch; neu fel y galloch wybod fy mod i yn gyfiawn wrth eich cospi.

Adn. 6. *A pha beth y deuaf gerbron yr Arglwydd, &c.*] Ar ol i'r Arglwydd, fel achwynydd yn y cynghaws hwn, osod ei achos o flaen y rheithwyr yn yr adnodau blaenorol; arddanghosir y bobl yma, fel diffynwyr, yn gofyn, trwy eu blaenor neu eu cynghorwr, pa fodd y gallent heddychu â Duw, a throi ymaith ei lid a'i farnedigaethau ef. *A ddeuaf fi ger ei fron ef â phoeth-offrymau, ac â dyniewaid*—neu 'loi blwydd?'

Adn. 7. *A foddlonir yr Arglwydd â miloedd o fyheryn*] Yn ebyrth dros ein pechodau? *neu â myrddiwn o ffrydiau olew?*—yr oedd ychydig olew yn ofynol gan y gyfraith, i wneyd y bwyd-offrwm yn flasus, Lef. ii. 15; ond a brisia yr Arglwydd helaethrwydd dirfawr o hono, megys deng mil o ffrydiau olew? *A roddaf fi fy nghyntafanedig dros fy anwiredd*—sef yr anwylaf o'm plant? *ffrwyth fy nghroth*—neu yr oll o'm plant, *dros bechod fy enaid*—yn iawn dros fy mhechod? Y mae yn dra hysbys fod y Pheniciaid a'r Carthaginiaid yn aberthu eu plant i'w duwiau, ac, mewn perygl mawr, yn aberthu yr anwylaf o honynt; ac ymddengys fod rhai o'r Israeliaid yn gwneyd yr un peth: gwel ar Lef. xviii. 21. Ond, fel pe dywedasent, a wna aberthau o'r fath hyny droi digofaint Duw oddiwrthym ni? Y mae y ddwy adnod hon yn ddarluniad cywir o lawer eto, y rhai a ddysgwyliant gael trugaredd gan Dduw ar gyfrif rhyw gyflawniadau allanol, ac a ydynt yn foddlon i brynu maddeuant ar unrhyw ammodau heblaw edifeirwch, ffydd, a diwygiad buchedd: gwel ar Salm l. 8—14, a li. 16.

Adn. 8 *Danghosodd efe it', ddyn*] Yn ei air santaidd, *beth sydd dda*—i ti, a chymeradwy ganddo yntau: gwel ar 1 Sam. xv. 22, 23. Hyn yw atebiad Duw, neu y proffwyd, i ofyniad y bobl yn adn. 6, 7. *A pha beth a gais yr Arglwydd genyt*—mewn trefn i fod yn gymodlawn â thi, *ond gwneuthur barn*—neu gyfiawnder, tuag at Dduw a dynion; *a hoffi trugaredd*—sef hoffi dangos trugaredd a thosturi tuag at bawb, yn enwedig y tylawd, a'r amddifad, a'r dyeithr; *ac ymostwng i rodio gyda'th Dduw*—yn holl lwybrau gwir grefydd? gwel ar Deut. x. 12—22.

Adn. 9. *Llef yr Arglwydd*] Yn ei ragluniaeth a'i farnedigaethau, a thrwy ei broffwydi; *a lefa ar y ddinas*—ar bob dinas yn Israel a Juda, yn enwedig ar Jerusalem a Samaria. Hyn a ddywedir gan y proffwyd. *A'r doeth a wel dy enw*—neu 'a *ofna* dy enw,' yn ol darlleniad y LXX, y Syriaeg, y Vulgate, yr Arabaeg, yn nghyda deuddeg o'r ysgriflyfrau Hebreig. *Gwrandewch y wialen, a phwy a'i hordeiniodd*—ystyriwch mai Duw a'i trefnodd, ac mai efe sydd yn taraw â hi; neu gwrandewch ar lais Duw yn y barnedigaethau ag y mae efe yn eu bygwth neu yn eu gweinyddu.

Adn. 10. *A oes eto drysorau anwiredd*] Wedi eu casglu trwy anwiredd, *o fewn tŷ y gŵr anwir*—ar ol yr holl gynghorion a'r rhybyddion a'r bygythion a roddwyd iddo? *a'r mesur prin*—i werthu ei eiddo allan, yr hyn y mae Duw yn ei ffieiddio? gwel ar Amos viii. 5.

Adn. 11. *A gyfrifwn yn lân un â chlorianau anwir?*] A fydd i mi ei gyfiawnhau a'i gymeradwyo ef fel pe byddai yn lân neu gyfiawn? *ac â chôd o gerig twyllodrus*—i brynu i mewn gyda phwysi trymion, a gwerthu allan gyda phwysi ysgafn? gwel ar Diar. xi. 1.

Adn. 12. *Canys y mae ei chyfoethogion*] Sef cyfoethogion y ddinas, adn. 9, *yn llawn trais*—neu ormes a chreulondeb; *a'i thrigolion a ddywedasant gelwydd*—wrth brynu a gwerthu; *a'u tafod sydd dwyllodrus yn eu genau*—fel nad ellir credu dim a ddywedant.

Adn. 13. *A minau hefyd a'th glwyfaf wrth dy daro*] Bydd i'r gosp a roddaf arnat am dy bechodau, dreulio dy nerth hyd farwolaeth.

Adn. 14. *Ti a fwytêi, ac ni'th ddigonir*]

a'th ostyngiad *fydd* yn dy ganol dy
hun: ti a ymafli, ac nid achubi; a'r
hyn a achubech a roddaf i'r cleddyf.
15 Ti a haui, ond ni fedi; ti a
sethri yr olewwydd, ond nid ymiri
âg olew; a gwin newydd, ond nid
yfi win.
16 ¶ Cadw yr ydys ddeddfau
Omri, a holl weithredoedd Ahab, a
rhodio yr ydych yn eu cynghorion;
fel y'th wnawn yn anghyfanedd,
a'i thrigolion i'w hwtio: am hyny
y dygwch warth fy mhobl.

## PENNOD VII.

GWAE fi! canys ydwyf fel casgl-
iadau ffrwythydd haf, fel lloffion
grawnwin y cynauaf gwin; nid
*oes* swp o rawn i'*w* bwyta; fy enaid
a flysiodd yr addfed ffrwyth cyntaf.
2 Darfu am y duwiol oddiar y
ddaear, ac nid *oes* un uniawn yn
mhlith dynion; cynllwyn y maent
oll am waed; pob un sydd yn hela
ei frawd â rhwyd.
3 ¶ I wneuthur drygioni â'r ddwy
ddwylaw yn egnïol, y tywysog a
ofyn, a'r barnwr am wobr; a'*r hwn*
*sydd* fawr a ddywed lygredigaeth ei
feddwl: felly y plethant ef.
4 Y goraf o honynt *sydd* fel mi-
eren, yr unionaf *yn arwach* na chae
drain; dydd dy wylwyr, *a*'th ofwy
sydd yn dyfod; bellach y bydd eu
penbleth hwynt.
5 ¶ Na chredwch i gyfaill, nac
ymddiriedwch i dywysog: cadw
ddrws dy enau rhag yr hon a orwedd
yn dy fynwes.

---

Am na chai ddigon i'w fwyta, neu am na fydd i'th fwyd fod yn faethlon i ti; *a'th ostyngiad fydd yn dy ganol dy hun*—yn nghanol y ddinas, yn cael ei achosi gan ymrysonau a bradwriaethau oddifewn. *Ti a ymafli*—yn dy eiddo i geisio ei ddiogelu; *ac nid achubi*—ef rhag dy yspeilwyr: *a'r hyn a achubech*—am amser byr, megys dy blant a'th dylwyth; *a roddaf i'r cleddyf*—i'w lladd gan eu gelynion.

Adn. 15. *Ti a haui, ond ni fedi, &c.*] Ni chai fwynhau ffrwyth dy lafur yn dy faes na'th winllan, eithr bydd i'th elynion ei feddiannu: gwel ar Amos v. 11.

Adn. 16. *Cadw yr ydys ddeddfau Omri*] Sef y deddfau eilunaddolgar a wnaethai Omri, brenin Israel, lawer o flynyddoedd cyn hyny, 1 Bren. xvi. 25, 26; *a holl weithredoedd Ahab*—ei fab ef, yr hwn a chwanegodd dduwiau ereill at y lloi aur; *a rhodio yr ydych yn eu cynghorion*—gan wneuthur yr un pechodau ag a wneid gan Omri ac Ahab; *fel y'th wnawn yn anghyfanedd*—sef y wlad yn anghyfanedd; *a'i thrigolion i'w hwtio*—i gael eu dirmygu gan bawb a'u gwelent yn cael eu caethgludo allan o'u gwlad. *Am hyny y dygwch warth fy mhobl*—meddylir fod hyn yn cael ei ddywedyd wrth y cyfoethogion, adn. 12, y rhai y byddai i'r bobl gyffredin eu gwarthruddo fel y prif achos o'r trallodau hyn.

PEN. VII. Adn. 1. *Gwae fi! canys ydwyf fel casgliadau ffrwythydd haf*] Yr ydwyf mor unig, fel nad oes braidd neb ond fy hunan wedi ei adael o du yr Arglwydd; *fel lloffion grawnwin y cynauaf gwin*—y rhai ni cheir swp o honynt yn nghyd, eithr rhyw un wedi ei adael yma a thraw. *Fy enaid a flysiodd yr addfed ffrwyth cyntaf*—sef cymdeithas y duwiolion, y rhai a gydgyfarfyddent i annog eu gilydd i rinwedd a duwioldeb; ac yr oedd y rhai hyny yn rhagori gymaint ar wŷr yr oes hon, ag a wna addfed ffrwyth cyntaf yr haf ar ffrwythau diweddaraf yr hydref, y rhai ni ddeuant byth i faintioli nac addfedrwydd.

Adn. 2. *Darfu am y duwiol*] Yr hwn sydd yn ofni Duw, ac yn cilio oddiwrth ddrygioni; *oddiar y ddaear*—o wlad Israel a Juda: *ac nid oes un uniawn*—nid oes braidd un dyn cyfiawn, gonest, a rhinweddol, wedi ei adael ar ol yn mhlith dynion. *Cynllwyn y maent oll am waed*—eu cymydogion diniwed: *pob un sydd yn hela ei frawd â rhwyd*—i'w faglu, ei yspeilio, a'i ladd! gwel ar Salm xii. 1, Esay lvii. 1.

Adn. 3. *I wneuthur drygioni â'r ddwy ddwylaw*] Neu 'â'r ddwy law,' *yn egnïol*—yn drwyadl ac effeithiol; *y tywysog a ofyn, a'r barnwr am wobr*—neu 'y tywysog a'r barnwr a ofyn am wobr,' sef gwobr am ŵyro barn: *a'r hwn sydd fawr*—mewn awdurdod yn y llys, *a ddywed lygredigaeth ei feddwl*—a draetha yn hyf y drygioni ag sydd yn ei fwriad: *felly y plethant ef*—felly y cyduna y tywysog a'r barnwr a'r gŵr mawr, fel rhaff deircainc, i rwymo a gorthrymu y tylodion a'r gweiniaid.

Adn. 4. *Y goraf o honynt sydd fel mieren*] Nid yn unig yn ddiddefnydd, ond hefyd yn bigog a niweidiol; *yr unionaf yn arwach na chae drain*—neu 'glawdd drain,' yn trallodi ac yn archolli y neb a nesao ato, neu a geisia fyned trwyddo. *Dydd dy wylwyr*—yn yr hwn y cyhoeddant nesâd y gelyn, neu y dydd y rhagfynegodd dy broffwydi am dano, neu ddydd cosp dy farnwyr annghyfiawn; *a'th ofwy*—sef y dydd yr ymwelir â thi mewn barn; *sydd yn dyfod*—ar dy warthaf yn brysur. *Bellach y bydd eu penbleth hwynt*—byddant wedi ymddyrysu mewn trallodau a gofidiau, fel na wyddant pa fodd i ymryddhau oddiwrthynt.

Adn. 5. *Na chredwch i gyfaill*] Yn y dyddiau trallodus hyny; *nac ymddiriedwch i dywysog* — neu 'arweinydd,' yr hwn a

6 Canys mab a anmharcha ei dad,
y ferch a gyfyd yn erbyn ei mam,
a'r waudd yn erbyn ei chwegr: a
gelynion gŵr *yw* dynion ei dŷ.
7 Am hyny mi a edrychaf ar yr
Arglwydd, dysgwyliaf wrth Dduw
fy iachawdwriaeth: fy Nuw a'm
gwrendy.
8 ¶ Na lawenycha i'm herbyn,
fy ngelynes: pan syrthiwyf, cyfod-
af; pan eisteddwyf mewn tywyll-
wch, yr Arglwydd a lewyrcha i mi.
9 Dyoddefaf ddig yr Arglwydd,
canys pechais i'w erbyn; hyd oni
ddadleuo fy nghŵyn, a gwneuthur
i mi farn: efe a'm dwg allan i'r go-
leuad, a mi a welaf ei gyfiawnder
ef.
10 A'm gelynes a gaiff weled, a
chywilydd a'i gorchuddia hi, yr hon
a ddywedodd wrthyf, Mae yr Ar-
glwydd dy Dduw? fy llygaid a'i
gwelant hi; bellach y bydd hi yn
sathrfa, megys tom yr heolydd.
11 Y dydd yr adeiledir dy furiau,
y dydd hwnw yr ymbellha y ddeddf.
12 Y dydd hwnw y daw efe hyd
atat o Assyria, ac o'r dinasoedd ced-
yrn, ac o'r cadernid hyd yr afon, ac
o fôr i fôr, ac *o* fynydd i fynydd.
13 Eto y wlad a fydd yn anrhaith
o achos ei thrigolion, am ffrwyth eu
gweithredoedd.
14 ¶ Portha dy bobl â'th wialen,
defaid dy etifeddiaeth, y rhai sydd
yn trigo *yn* y coed yn unig, yn
nghanol Carmel: porant *yn* Basan
a Gilead, megys yn y dyddiau gynt.

---

broffesa eich arwain allan o'ch dyrysweh: *cadw ddrws dy enau rhag yr hon a orwedd yn dy fynwes*—nac eglura dy gyfrinach hyd yn nod i'th wraig, rhag iddi gael ei gwobrwyo i'th fradychu.

Adn. 6. *Canys mab a anmharcha ei dad, &c.*] Bydd i'r plant godi i fyny yn erbyn eu rhieni; *a'r waudd yn erbyn ei chwègr*—sef y ferch-yn-nghyfraith yn erbyn ei mam-yn-nghyfraith: *a gelynion gŵr yw dynion ei dŷ*—sef ei wasanaethyddion. Gwel y defnydd a wna ein Harglwydd o'r geiriau hyn yn Mat. x. 21, &c.

Adn. 7. *Am hyny*] Gan nad ellir ymddiried mewn dynion; *mi a edrychaf ar yr Arglwydd*—neu a weddiaf ar yr Arglwydd: *dysgwyliaf wrth Dduw fy iachawdwriaeth*—am nawdd a chysur: *fy Nuw a'm gwrendy*—ac a'm cynorthwya yn nydd fy nghyfyngder.

Adn. 8. *Na lawenycha i'm herbyn, fy ngelynes*] Yma y dechreua mater newydd, lle y danghosir yr eglwys fel yn cyfarch Babilon yn amser ei chaethiwed, yr hon a lawenychai yn ei darostyngiad. *Pan syrthiwyf, cyfodaf*—er i mi syrthio i gyfyngder dirfawr, deuaf allan o hono drachefn. *Pan eisteddwyf mewn tywyllwch, yr Arglwydd a lewyrcha i mi*—fel pe dywedasai, Na lawenycha am fy mod i yn awr mewn nos dywell o gystudd a thrallod, canys bydd i'r Arglwydd eto droi fy nhywyllwch yn oleu ddydd.

Adn. 9. *Dyoddefaf ddig yr Arglwydd*] Yn amyneddgar; *canys pechais i'w erbyn*—fel ag i haeddu y gosp hon; *hyd oni ddadleuo fy nghŵyn, a gwneuthur i mi farn*—hyd oni bydd iddo weled yn dda fy ngwaredu o'm caethiwed, a chospi fy ngelynion. *Efe a'm dwg allan i'r goleuad*—i ryddid a llwyddiant; *a mi a welaf ei gyfiawnder ef*—caf weled ei [illegible] a'i [illegible] yn fy ngwaredigaeth i, neu ei gyfiawnder yn nghospedigaeth fy ngelynion.

Adn. 10. *A'm gelynes a gaiff weled*] Caiff Babilon weled daioni yr Arglwydd i mi; *a chywilydd a'i gorchuddia hi*—am ddywedyd o honi wrthyf yn ddirmygus yn nydd fy nghaethiwed, *Mae yr Arglwydd dy Dduw*—yr hwn yr wyt yn ymddiried yn ei allu, ei ddaioni, a'i ffyddlondeb? Fel pe dywedasent, Os yw efe yn dy garu, ac yn hollalluog, fel yr haeri ei fod, paham na ddeuai efe allan i'th waredu o'n dwylaw ni? *Fy llygaid a'i gwelant hi*—a welant Babilon yn cael ei sathru fel dom yr heolydd. Yr oedd y cenhedloedd yn dymuno gweled dinystr Seion, pen. iv. 11; ac yn awr cai Seion weled dinystr y cenhedloedd hyn.

Adn. 11. *Y dydd yr adeiledir dy furiau*] Y rhai a ddinystriwyd gan y Babiloniaid. Hyn a ddywedir wrth Jerusalem. *Y dydd hwnw yr ymbellha y ddeddf*—neu y gorchymyn a roddwyd gan frenin Persia i wahardd ei hadeiladu, Ezra iv. 21, a vi. 3—12. Ond tybia rhai mai wrth y *ddeddf* hon y golygir *bwriad* blaenorol Duw i'w dinystrio hi, a'u caethiwo hwythau.

Adn. 12. *Y dydd hwnw y daw efe hyd atat*] Neu 'y deuant *hwy*,' fel y mae yr *Arabaeg* ac ereill yn ei ddarllen, sef gwasgaredigion Israel; *o Assyria, ac o'r dinasoedd cedyrn*—lle y gwasgaresid hwynt: *ac o'r cadernid hyd yr afon*—neu 'o'r *Aifft* hyd yr afon,' sef afon Euphrates; *ac o fôr i fôr, ac o fynydd i fynydd*—hyny yw, dychwelir hwynt o bob man lle y gwasgaresid hwynt. Ond tybia rhai mai addewid sydd yma y byddai i'r Iuddewon etifeddu y gwledydd hyn, yr hyn a wnaethant dan yr Asmoneaid.

Adn. 13 *Eto y wlad a fydd yn anrhaith, &c.*] Er fod yr Iuddewon i fwynhau y bendithion hyn mewn oesoedd dyfodol, eto yr oedd annuwioldeb y genedl y pryd hyn yn sicr o ddwyn arnynt y barnau bygythiedig uchod yn gyntaf.

Adn. 14. *Portha dy bobl â'th wialen*] Neu bugeilia a llywodraetha dy bobl, 'defaid dy etifeddiaeth,' â'th fugeilffon; *y rhai sydd yn trigo yn y coed yn unig*—y rhai a neillduaist oddiwrth bobloedd ereill i gadw yn mlaen dy

15 Megys y dyddiau y daeth-
ost allan o dir yr Aifft, y danghosaf
iddo ryfeddodau.
16 ¶ Y cenhedloedd a welant, ac
a gywilyddiant gan eu holl gryfder
hwynt: rhoddant *eu* llaw ar *eu*
genau; eu clustiau a fyddarant.
17 Llyfant y llwch fel sarff; fel
pryfed y ddaear y symudant o'u
llochesau: arswydant rhag yr Ar-
glwydd ein Duw ni, ac o'th achos
di yr ofnant.
18 ¶ Pa Dduw *sydd* fel tydi, yn
maddeu anwiredd, ac yn myned
heibio i anwiredd gweddill ei eti-
feddiaeth? ni ddeil efe ei ddig byth,
am fod yn hoff ganddo drugaredd.
19 Efe a ddychwel, efe a druggar-
ha wrthym: efe a ddarostwng ein
hanwireddau; a thi a defli eu holl
bechodau i ddyfnderoedd y môr.
20 Ti a gyflawni y gwirionedd i
Jacob, y drugaredd *hefyd* i Abra-
ham, yr hwn a dyngaist i'n tadau
er y dyddiau gynt.

---

addoliad yn ddilwgr; *yn nghanol Carmel*—hyny yw, portha hwynt yn y porfeydd breision yno: *porant yn Basan a Gilead*—lleoedd nodedig am eu ffrwythlondeb; *megys yn y dyddiau gynt*—hon yw gweddi y proffwyd ar ran ei bobl, am iddynt gael yr un amgeledd gan Dduw ag a gaent gynt.

Adn. 15. *Megys y dyddiau y daethost allan o dir yr Aifft*] Hyn yw atebiad Duw i weddi y proffwyd: *y danghosaf iddo ryfeddodau*—bydd y rhyfeddodau a wnaf yn adferiad y bobl hyn i'w gwlad, yn gyffelyb i'r hyn a wnaethym wrth ddwyn eu tadau o'r Aifft: gwel ar Salm lxviii. 22.

Adn. 16. *Y cenhedloedd a welant*] Y rhyfeddodau hyny; *ac a gywilyddiant gan eu holl gryfder hwynt*—wrth weled cryfder pobl Dduw, y rhai ni bydd neb yn alluog i'w gwrthsefyll, pen. v. 8; neu cywilyddir y cenhedloedd wrth weled fod eu holl gryfder eu hunain yn rhy wan i'w rhwystro hwynt i'w gwlad. *Rhoddant eu llaw ar eu genau*—rhag son am y pethau rhyfedd hyn; *eu clustiau a fyddarant*—rhag gwrando am danynt gan ereill.

Adn. 17. *Llyfant y llwch fel sarff*] Hyny yw, darostyngir hwynt i'r llwch, lle yr ymgreiniant fel sarff: *fel pryfed y ddaear y symudant o'u llochesau*—gan ofni i neb eu gweled: *arswydant rhag yr Arglwydd ein Duw ni*—yr hwn a ddadleua dros ei bobl; *ac o'th achos di yr ofnant*—wrth weled yr hyn a wna yr Arglwydd i ti.

Adn. 18. *Pa Dduw sydd fel tydi*] Yn mhlith holl dduwiau y cenhedloedd; *yn maddeu anwiredd*—yn gallu ei faddeu, ac yn gwneuthur hyny; *ac yn myned heibio i anwiredd gweddill ei etifeddiaeth*—heb barhau i'w cospi hwynt am dano? Wrth 'weddill ei etifeddiaeth' y golygir y rhai a orfuceddant y dinystr a ddygwydd ar eu tadau am eu hanwiredd; ac yr oedd y rhai hyny yn gysgod o'r rhai a fyddant byw yn amser dychweliad yr Iuddewon i eglwys Crist. *Ni ddeil efe ei ddig byth*—er iddo ddigio wrthynt yn gyfiawn, a goddef i'w gelynion anrheithio eu gwlad, a'u caethgludo hwythau; eto efe a'u hadfer hwynt drachefn, ac a'u dyg i gyflwr o ryddid, dedwyddwch, a llwyddiant mawr. Efe a gerydda weddill ei etifeddiaeth; ond ni lwyr ddyfetha efe hwynt, am y rheswm a enwir yma: *Am fod yn hoff ganddo drugaredd*—am ei fod o naturiaeth yn hoffi trugarhau wrth yr edifeiriol, a maddeu i bechadur a fyddo yn llefain am faddeuant: gwel ar Esay lxvi. 6.

Adn. 19. *Efe a ddychwel*] Eto at ei bobl, er iddo eu gadael megys am enyd; *efe a drugarha wrthym*—'am fod yn hoff ganddo drugaredd;' *efe a ddarostwng ein hanwireddau*—fel na lywodraethont arnom mwyach; *a thi a defli eu holl bechodau i ddyfnderoedd y môr*—i'w claddu am byth o'th olwg. Ond yn lle '*eu* pechodau,' y mae pump o'r ysgriflyfrau Hebreig, yn nghyda'r LXX, y Syriaeg, y Vulgate, a'r Arabaeg, yn darllen '*ein* pechodau.'

Adn. 20. *Ti a gyflawni y gwirionedd i Jacob*] Sef dy addewid wir i Jacob a'i had, Gen. xxviii. 13, 14; *y drugaredd hefyd i Abraham*—yr hon a addawyd i Abraham, mai 'yn ei had ef y bendithid holl genhedloedd y ddaear,' Gen. xxii. 18; *yr hwn a dyngaist i'n tadau er y dyddiau gynt*—y byddai i ti ei gyflawni yn ddifeth: yr hyn hefyd a wnaed yn nghnawdoliad ein Harglwydd bendigedig, fel yr ymddengys oddi wrth ddyfyniad Zacharias o'r geiriau hyn yn Luc i. 72, 73.

---

# LLYFR Y PROFFWYD NAHUM.

---

NAHUM a aned yn *Elcos*, pentref bychan yn Galilea, adfeilion pa un a welid yn amser St. Jerome; er y tybia rhai mai *Elcosai* oedd enw ei dad ef, a darfod ei eni yn *Bethabara*, tu hwnt i'r Iorddonen. Testyn ei broffwydoliaeth yw dinystr Ninefe, a dymchweliad yr ymherodraeth Assyriaidd, yr hyn a gymerodd le yn mhen oddeutu can mlynedd ar ol ei amser ef. Cesglir

oddiwrth pen. ii. 2, iddo broffwydo ar ol caethiwed y deg llwyth, ac ychydig cyn caethgludiad Juda i Babilon. Y mae *Josephus* yn ei osod dan deyrnasiad Jotham, ac ereill dan deyrnasiad Hezeciah a Manasseh, tua'r un amser ag Esay.—Ystyrir Nahum yn rhagori fel cyfansoddwr ar yr oll o'r 'proffwydi lleiaf,' mewn arddunlant, teimlad, a gwres; ac y mae ei broffwydoliaeth yn farddoniaeth hynod o goethedig.

## PENNOD I.

BAICH Ninefe. Llyfr gweledig-
aeth Nahum yr Elcosiad.
2 Duw *sydd* eiddigus, a'r Ar-
glwydd sydd yn dial; yr Arglwydd
sydd yn dial ac yn berchen llid:
dial yr Arglwydd ar ei wrthwyneb-
wyr, a dal *dig* y mae efe i'w elynion.
3 Yr Arglwydd *sydd* hwyrfrydig
i ddig, a mawr ei rym, ac ni ddieu-
oga yr *anwir:* yr Arglwydd *sydd*
â'i lwybr yn y corwynt, ac yn y rhy-
ferthwy, a'r cymylau *yw* llwch ei
draed ef.
4 Efe a gerydda y môr, ac a'i
sych; yr holl afonydd a ddyhys-
bydda efe: llesgaodd Basan a Char-
mel, a llesgaodd blodeuyn Libanus.
5 Y mynyddoedd a grynant rhag-
ddo, a'r bryniau a doddant, a'r
ddaear a lysg gan ei olwg, a'r byd
hefyd a chwbl ag a drigant ynddo.
6 Pwy a saif o flaen ei lid ef? a
phwy a gyfyd yn nghynddaredd ei
ddigofaint ef? ei lid a dywelltir fel
tân, a'r creigiau a fwrir i lawr gan-
ddo.
7 Daionus *yw* yr Arglwydd, am-
ddiffynfa yn nydd blinder: ac efe a
edwyn y rhai a ymddiriedant yn-
ddo.
8 A llifeiriant yn myned trosodd

PEN. I. Adn. 1. *Baich Ninefe*] Sef y *farn* ag oedd i ddisgyn fel *baich trwm* ar Ninefe, neu *broffwydoliaeth* am ei dinystr hi: gwel ar Jonah i. 2. *Llyfr gweledigaeth Nahum yr Elcosiad*—gwel y rhagarweiniad uchod. Fel yr oedd y proffwydi yn cael eu galw yn 'weledyddion,' felly yr oedd eu proffwydoliaeth yn cael ei galw yn 'weledigaeth.' Ystyr yr enw *Nahum* yw *dyddanydd;* ac amcan ei broffwydoliaeth ef oedd dyddanu Israel yn Assyria, yn gystal a Juda, trwy ragfynegu dinystr eu gorthrymwyr creulon.

Adn. 2. *Duw sydd eiddigus*] Dros ei ogoniant ei hun; *a'r Arglwydd sydd yn dial*—gadawyd allan y geiriau hyn o argraffiad Cymreig y Feibl Gymdeithas yn 1836, end onid trwy esgeulusdra yr argraffydd. *Yr Arglwydd sydd yn dial ac yn berchen llid*—i'w elynion ei hun a'i bobl, a hyny yn gyfiawn. *Dial yr Arglwydd ar ei wrthwynebwyr*—yn y diwedd, trwy eu dinystrio hwynt oll. *A dal dig y mae efe i'w elynion*—gan ei ffrwyno neu ei attal am dro, i edrych a edifarhant hwy.

Adn. 3. *Yr Arglwydd sydd hwyrfrydig i ddig, a mawr ei rym*] Neu '*er ei fod yn* fawr ei rym;' *ac ni ddieuoga yr anwir*—ni fydd iddo beidio cospi pechadur cyndyn ac anedifeiriol, er ei fod yn 'hwyrfrydig i ddig.' Y meddwl yw, Er fod Duw yn hwyrfrydig i gospi pechaduriaid, eto y mae ganddo ddigon o allu i wneuthur hyny pryd y myno; ac efe a wna hyny o'r diwedd, os na fydd i'w hir-amynedd eu tywys hwynt i edifeirwch. *Yr Arglwydd sydd â'i lwybr yn y corwynt, ac yn y rhyferthwy*—hyny yw, gall ddefnyddio y corwynt a'r dymhestl pryd y myno i ddyfetha ei elynion: *a'r cymylau yw llwch ei draed ef*—y rhai y gall ef eu defnyddio fel y myno i gyflawni ei amcanion ei hun.

Adn. 4. *Efe a gerydda y môr, ac a'i sych*] Fel y gwnaeth â'r môr coch a'r Iorddonen; *yr holl afonydd a ddyhysbydda efe*—neu a sych efe i fyny, os bydd achos; *llesgaodd Basan a Charmel, &c.*—hyny yw, gall beri i'r mynyddoedd ffrwythlon hyn wywo a malurio o'i flaen ar unwaith.

Adn. 5. *Y mynyddoedd a grynant rhagddo*] Fel y gwnaeth Sinai gynt; *a'r bryniau a doddant*—fel cŵyr yn ngwres y tân; *a'r ddaear a lysg gan ei olwg*—gan ei edrychiad ef, neu yn ei bresenoldeb: *a'r byd hefyd a chwbl ag a drigant ynddo*—y meddwl yw, fod un edrychiad o eiddo Duw yn ddigon i beri i'r ddaear a'i thrigolion gael eu hysu yn lludw; a pha beth, gan hyny, yw Ninefe a'i thrigolion i wrthsefyll ei lid ef!

Adn. 6. *Pwy a saif o flaen ei lid ef*] Pan y penderfyna efe eu dinystrio? *a phwy a gyfyd yn nghynddaredd ei ddigofaint ef*—i'w wrthwynebu? *Ei lid a dywelltir fel tân*—o'r hyn y caed prawf yn Sodom a Gomorra; *a'r creigiau*—er eu cadarned, *a fwrir i lawr ganddo*—pan y meddylia efe am wneuthur hyny. Y mae y darluniad bywiog ac arddunawl hwn o fawredd a gallu Jehofa yn ddigonol, gallai un feddwl, i daro ei holl elynion ef â dychryn ac ymostyngiad iddo.

Adn. 7. *Daionus yw yr Arglwydd*] I bawb a ymddiriedant ynddo, er y bydd iddo 'ddial ar ei wrthwynebwyr,' adn. 2; *amddiffynfa yn nydd blinder*—fel y bu i Hezeciah a'i ddeiliaid yn amser bygythion Senacherib: *ac efe a edwyn y rhai a ymddiriedant ynddo*—efe a'u cydnebydd ac a'u harddel, efe a'u cymeradwya ac a'u gwared.

Adn. 8. *A llifeiriant yn myned trosodd y gwna efe ddiwedd ar ei lle hi*] Meddylir fod yma gyfeiriad at y modd y cymerwyd Ninefe; canys wedi i'r afon orlifo dros ran o'r

y gwna efe dranc ar ei lle hi, a thy-
wyllwch a erlid ei elynion ef.
9 Beth a ddychymygwch yn er-
byn yr Arglwydd? efe a wna dranc;
ni chyfyd blinder ddwywaith.
10 Canys tra yr ymddyrysont fel
drain, a thra meddwont *fel* medd-
won, ysir hwynt fel sofl wedi llawn
wywo.
11 O honot y daeth allan a ddy-
chymyga ddrwg yn erbyn yr Ar-
glwydd: cynghorwr drygionus.
12 Fel hyn y dywed yr Arglwydd,
Pe *byddent* heddychol, ac felly yn
aml, eto fel hyn y torir hwynt i
lawr, pan elo efe heibio. Er im' dy
flino, ni'th flinaf mwyach.
13 Canys yr awrhon y toraf ei
iau ef oddiarnat, drylliaf dy rwym-
au.
14 Yr Arglwydd hefyd a orchy-
mynodd o'th blegid, na hauer o'th
enw mwyach: toraf o dŷ dy dduw-
iau y gerfiedig a'r dawdd ddelw:
gwnaf dy fedd; canys gwael ydwyt.
15 Wele ar y mynyddoedd draed
yr efengylwr, cyhoeddwr heddwch:
cadw di, O Juda, dy ŵyliau, tâl dy
addunedau: canys nid â y drygion-
us trwyot mwy; cwbl dorwyd ef
ymaith.

## PENNOD II.

DAETH y chwalwr i fyny o flaen
dy wyneb: cadw yr amddiffynfa,
gwylia y ffordd, nertha *dy* lwynau,
cadarnha *dy* nerth yn fawr.
2 Canys dychwelodd yr Ar-
glwydd ardderchogrwydd Jacob,
fel ardderchogrwydd Israel: canys
y dyhysbyddwyr a'u dyhysbyddodd

---

ddinas, syrthiodd oddeutu dwy filldir a hanner o'i mur hi; a thrwy y bwlch hwnw yr aeth y gelynion i mewn i'w chymeryd hi. *A thywyllwch a erlid ei elynion ef*—sef blinderau a thrallodau dinystriol. Wedi i'r brenin ddeall fod y gelynion i mewn, efe a gasglodd ei holl drysorau, a'i ordderchwragedd, a'i eunuchiaid ato i'r palas, yr hwn a losgodd efe i'r llawr, yn nghyda phawb ag oeddynt ynddo.

Adn. 9. *Beth a ddychymygwch yn erbyn yr Arglwydd*] Yr hwn y mae ei ddoethineb yn anfeidrol, a'i allu yn ddiderfyn? *Efe a wna dranc*—neu lwyr ddinystr, ar ei holl wrthwynebwyr. *Ni chyfyd blinder ddwy waith*—ni bydd achos iddo godi; canys efe a'u tery hwynt mor drwm, fel na bydd raid eu hail daro.

Adn. 10. *Canys tra yr ymddyrysont fel drain*] Pa mor *unol* bynag y byddo eu cynghorion, fel twmpath drain; *a thra meddwont fel meddwon*—pa mor *hyf* bynag y byddont i'w cyflawni, neu pa mor *ddyryslyd* ac *ansefydlog* bynag y byddont; *ysir hwynt fel sofl wedi llawn-wywo*—yr hwn yn ebrwydd a gyneua yn fflam, ac a droir yn lludw.

Adn. 11. *O honot y daeth allan a ddychymyga ddrwg, &c.*] Meddylir yn gyffredin mai at Senacherib y cyfeirir yma, neu at Rabsaceh, yr hwn oedd 'gynghorwr drygionus:' gwel ar 2 Bren. xviii. 19, &c.

Adn. 12. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Am yr Assyriaid hyny; *Pe byddent heddychol*—yn dawel a diogel yn eu meddyliau eu hunain, heb ofni dim niwed; *ac felly yn aml*—neu yn fyddin luosog: *eto fel hyn y torir hwynt i lawr*—sef yn ddisymwth a chyffredinol; *pan elo efe heibio*—sef yr angel dinystriol, 2 Bren. xix. 35. *Er im' dy flino*—O fy mhobl; *ni'th flinaf mwyach*—trwy yr Assyriaid hyn.

Adn. 13. *Canys yr awrhon y toraf ei iau ef oddiarnat*] Sef iau brenin Assyria; *drylliaf dy rwymau*—y rhai a roddodd efe arnat, 2 Bren. xviii. 14.

Adn. 14. *Yr Arglwydd hefyd a orchymynodd o'th blegid*] Dithau, Senacherib; *na hauer o'th enw mwyach*—na byddo i'th enwogrwydd a'th glod milwraidd gael ei ledaenu mwyach. *Toraf o dŷ dy dduwiau y gerfiedig a'r dawdd ddelw*—dinystriaf dy holl ddelwau i'r rhai yr ymgrymi. *Gwnaf dy fedd*—yn nhŷ dy dduwiau; neu paraf i ti yno fod yn barod i'r bedd: *canys gwael ydwyt*—hyd yn nod yn ngolwg dy feibion dy hun, y rhai a'th laddant yn nhŷ Nisroch dy dduw: gwel ar 2 Bren. xix. 37.

Adn. 15. *Wele ar y mynyddoedd draed yr efengylwr*] Sef 'cyhoeddwr heddwch,' yr hwn a hysbysa i'r Iuddewon fod byddin Senacherib wedi ei dinystrio, ac yntau ei hun wedi ei ladd, ac y caent hwythau bellach lonydd i addoli eu Duw. *Cadw di, O Juda, dy ŵyliau*—blynyddol yn Jerusalem; *tâl dy addunedau*—i'r Arglwydd yn ei deml, y rhai a addewaist iddo pan yr oedd yr Assyriaid yn dy flino. *Canys nid â y drygionus trwyot mwy*—trwy dy wlad i'th frawychu: *cwbl dorwyd ef ymaith*—trwy gyfiawn farn Duw. Hyn a ddywedir am Senacherib a'i fyddin.

PEN. II. Adn. 1. *Daeth y chwalwr i fyny o flaen dy wyneb*] Sef y Mediaid a'r Caldeaid, y rhai a chwalent ddinas ac amherodraeth Ninefe. *Cadw yr amddiffynfa, gwylia y ffordd*—gwna bob darpariaeth a elli i achub dy ddinas; *nertha dy lwynau*—ymwrola yn gryf yn erbyn dy elynion; *cadarnha dy nerth yn fawr*—trwy amlhau ac arfogi dy filwyr. Hyn sydd ragfynegiad o'r hyn a wnai y Ninefeaid pan ddeuai y gelynion yn mlaen.

Adn. 2. *Canys dychwelodd yr Arglwydd ardderchogrwydd Jacob, &c.*] Sef cyfoeth nerth, byddinoedd, a phob mawredd arall ag

hwynt, ac a lygrasant eu cangau
gwinwydd.
3 Tarian ei wŷr grymus a liw-
iwyd yn goch, *ei* wŷr o ryfel a wisg-
wyd âg ysgarlad; y cerbydau
*fyddant* gyda lampau tanllyd y dydd
y byddo ei arlwy, a'r ffynidwydd a
ysgydwir yn aruthrol.
4 Y cerbydau a gynddeiriogant
yn yr heolydd, tarawant wrth eu
gilydd yn y prif-ffyrdd: eu gweled-
iad fydd fel fflamau, ac fel mellt y
saethant.
5 Efe a gyfrif ei *weision* gwych-
ion: tramgwyddant wrth gerdded;
prysurant at ei chaer hi, a'r amddi-
ffyn a barotoir.
6 Pyrth y dwfr a agorir, a'r palas
a ymddettyd.
7 A Hussab a gaethgludir, dygir
hi i fyny, a'i morwynion yn *ei* har-
wain megys â llais colomenod yn
curo ar eu dwyfronau.
8 A Ninefe *sydd* er's dyddiau fel
llyn o ddwfr: ond hwy a ffoant.
Sefwch, sefwch, *meddant;* ac ni
bydd a edrycho yn ol.
9 Ysglyfaethwch arian, ysglyf-
aethwch aur; canys nid *oes* dyben
ar yr ystór, *a*'r gogoniant o bob
dodrefn dymunol.
10 Gwâg, a gorwâg, ac anrheith-
iedig yw hi, a'r galon yn toddi, a'r
gliniau yn taro yn nghyd, ac anhwyl
ar bob lwynau, *a*'u hwynebau oll a
gasglant barddu.
11 Pa le *y mae* trigfa y llewod?
a phorfa cenawon y llewod? lle y
rhodiai y llew, *sef* yr hen lew, *a*'r
cenaw llew, ac nid *oedd* a'*u* tarfai?
12 Y llew a ysglyfaethodd ddigon
i'w genawon; ac a dagodd i'w lewes-

---

yr ymffrostiai Israel a Jacob ynddo: *canys y dyhysbyddwyr a'u dyhysbyddodd hwynt*—darfu i'r Assyriaid waghau gwlad Israel, trwy gaethgludo ei thrigolion; *ac a lygrasant eu cangau gwinwydd*—dinystriasant eu dinasoedd a'u trefi, neu ynte eu plant hwy. Y meddwl yw, gan i'r Arglwydd ymweled yn ei farnedigaethau fel hyn â Jacob ac Israel, ei bobl etholedig ei hun; mwy o lawer y byddai iddo gospi eu gorthrymwyr creulon hwy am y dirmyg a ddangosasant iddynt.

Adn. 3. *Tarian ei wŷr grymus a liwiwyd yn goch*] Sef â phaent coch; *ei wŷr o ryfel a wisgwyd âg ysgarlad*—mewn dillad cochion, i beri mwy o ddychryn i'w gelynion: *y cerbydau fyddant gyda lampau tanllyd*—i oleuo yn y nos, neu i ffaglu y ddinas, *y dydd y byddo ei arlwy*—neu ei 'barotoad' i ryfel; *a'r ffynidwydd a ysgydwir yn aruthrol*—sef y gwaewffyn a'r arfau ereill a wnaed o ffynidwydd. Hyn sydd ddarluniad o'r Mediaid a'r Caldeaid yn eu hymosodiad ar Ninefe.

Adn. 4. *Y cerbydau a gynddeiriogant yn yr heolydd*] A yrir gyda chynddeiriogrwydd, nes y byddant yn taro yn erbyn eu gilydd: *eu gweledigaeth fydd fel fflamau*—gan y lampau tanllyd fydd ynddynt, neu wrth daro tân o gerig yr heolydd trwy eu chwyrn-yriad; *ac fel mellt y saethant*—neu y gyrant yn mlaen ar hyd y prif-ffyrdd a'r heolydd.

Adn. 5. *Efe a gyfrif ei weision gwychion*] Neu a ddethola y milwyr mwyaf gwrol i wneuthur yr ymosodiad; *tramgwyddant wrth gerdded*—neu syrthiant wrth redeg, gan mor awyddus fyddant am fyned yn mlaen: *prysurant at ei chaer hi*—i gymeryd meddiant o'r ddinas; *a'r amddiffyn a barotoir*—megys eu tarianau, eu helmau, &c.

Adn. 6. *Pyrth y dwfr a agorir*] Trwy orlifiad yr afon; *a'r palas a ymddettyd*—a 'doddir,' neu a losgir â thân: gwel ar pen. i. 8.

Adn. 7. *A Hussab a gaethgludir*] Wrth hon y dealla y *Galdeaeg* 'frenhines Ninefe,' yr hon ni losgwyd yn y palas gyda'r brenin a'i ordderchwragedd, eithr a gaethgludwyd gyda'i llancesau i Babilon; *a'i morwynion yn ei harwain megys â llais colomenod*—gan ruddfan fel colomenod, a churo eu dwyfron mewn galar a gofid.

Adn. 8. *A Ninefe sydd er's dyddiau fel llyn o ddwfr*] Neu a fu am hir amser yn dawel a digyffro: *ond hwy a ffoant*—bydd i'w thrigolion bellach ffoi ymaith mewn cyffro mawr. *Sefwch, sefwch, meddant*—wrth eu gilydd; *ac ni bydd a edrycho yn ol*—gan faint eu hofnau, a'u hawydd i ffoi ymaith.

Adn. 9. *Ysglyfaethwch arian, ysglyfaethwch aur*] Hyn a ddywedir gan y gelynion wrth eu gilydd; *canys nid oes dyben ar yr ystôr*—gan mor luosog yw ei thrysorau; *a'r gogoniant o bob dodrefn dymunol*—y meddwl yw, fod ei llestri aur ac arian yn ddymunol a gwerthfawr i'r eithaf.

Adn. 10. *Gwâg, a gorwâg, ac anrheithiedig yw hi*] Wedi ei hyspeilio o'i holl drysorau; *a'r galon yn toddi*—ni fedd y trigolion ddim gwroldeb i'w hamddiffyn eu hunain na'u heiddo; *a'r gliniau yn taro yn nghyd*—mewn braw a chryndod; *ac anhwyl ar bob lwynau*—fel pe byddai pawb mewn gwewyr esgor; *a'u hwynebau oll a gasglant barddu*—a dduant gan ofn, neu ynte gan newyn.

Adn. 11. *Pa le y mae trigfa y llewod*] Sef trigfa brenin, cadfridogion, a milwyr creulon Ninefe; *lle y rhodiai y llew, &c.*—lle y dychwelai y brenin a'i gadfridogion, fel llewod i'w llochesau, i fwynhau yr ysglyfaeth a ddygasent oddiar genhedloedd ereill; *ac nid oedd a'u tarfai*—a fedrai eu dychrynu, neu beri iddynt ffoi?

Adn. 12. *Y llew a ysglyfaethodd ddigon i'w genawon*] I'w dywysogion a'i filwyr, oddiar ei gymydogion; *ac a dagodd i'w lewesau*—

au, ac a lanwodd âg ysglyfaeth ei
ffau, a'i loches âg yspail.
13 Wele fi yn dy erbyn, medd
Arglwydd y lluoedd; a mi a losgaf
ei cherbydau yn y mwg, a'r cleddyf
a ddifa dy lewod ieuainc; a thoraf
ymaith o'r ddaear dy ysglyfaeth, ac
ni chlywir mwy lais dy genadau.

## PENNOD III.

GWAE ddinas y gwaed; llawn
celwydd *ac* yspail ydyw i gyd,
a'r ysglyfaeth heb ymado.
2 *Bydd* swn y ffrewyll, a swn cy-
nhwrf yr olwynion, a'r march yn
prancio, a'r cerbyd yn neidio.
3 Y marchog sydd yn codi ei
gleddyf gloew, a'i ddysglaer waew-
ffon: lluaws o laddedigion, ac anei-
rif o gelanedd; a heb ddiwedd ar y
cyrff: tripiant wrth eu cyrff hwynt:
4 O herwydd aml buteindra y
butan dêg, meistres swynion, yr hon
a werth genhedloedd trwy ei phut-
eindra, a theuluoedd trwy ei swyn-
ion.
5 Wele fi i'th erbyn, medd Ar-
glwydd y lluoedd, a datguddiaf dy
odre ar dy wyneb, a gwnaf i gen-
hedloedd weled dy noethni, ac i
deyrnasoedd dy warth.
6 A thaflaf ffiaidd bethau arnat, a
gwnaf di yn wael, a gosodaf di yn
ddrych.
7 A bydd i bawb a'th welo ffoi
oddiwrthyt, a dywedyd, Anrheith-
iwyd Ninefe, pwy a gŵyna iddi? O
ba le y ceisiaf ddyddanwyr it'?
8 Ai gwell ydwyt na No dylwyth-
og, yr hon a osodir rhwng yr afon-

---

i'w frenhines a'i ordderchwragedd, fel na raid iddo ysglyfaethu ychwaneg. Dywedir hyn mewn cyfeiriad at yr hen lew yn tagu neu yn lladd creaduriaid, i'w dwyn i'r ffau yn ymborth i'r llewes a'i chenawon.

Adn. 13 *Wele fi yn dy erbyn, medd Arglwydd y lluoedd*] Wrth Ninefe ac Assyria; *a mi a losgaf ei cherbydau yn y mwg*—neu, fel y mae y LXX a'r *Syriaeg* yn ei ddarllen, 'mi a losgaf *dy luaws* yn y mwg,' sef yn mwg llosgiad y ddinas; *a'r cleddyf a ddifa dy lewod ieuainc*—dy filwyr a'th dywysogion: *a thoraf ymaith o'r ddaear dy ysglyfaeth*—hyny yw, rhwystraf i ti ysglyfaethu neb mwyach; *ac ni chlywir mwy lais dy genadau*—yn cyhoeddi dy fuddugoliaethau, neu yn galw ar y cenhedloedd a orchfygwyd genyt i dalu it' deyrnged.

PEN. III. Adn. 1. *Gwae ddinas y gwaed*] Sef Ninefe, yr hon oedd yn llawn o drais a llofruddiaeth: *llawn celwydd ac yspail ydyw i gyd*—lle y mae y trigolion yn twyllo ac yn yspeilio eu gilydd, yn gystal ag yn ysglyfaethu oddiar genhedloedd ereill; *a'r ysglyfaeth heb ymado*—eto o'u dwylaw; neu bydd llawer o ysglyfaeth yn y ddinas pan ddaw y gelyn i mewn.

Adn. 2. *Bydd swn y ffrewyll*] Cyn hir yn clecian ynot; *a swn cynhwrf olwynion*—yn treiglo ar hyd dy heolydd; *a'r march yn prancio*—wrth gael ei ffrewyllu a'i yru yn mlaen; *a'r cerbyd yn neidio*—oddiar ei olwynion, neu yn chwyrnellu wrth gael ei lusgo ar ol y march. Hyn sydd ddarluniad bywiog a naturiol o fyddin y Mediaid a'r Caldeaid yn rhuthro i Ninefe.

Adn. 3. *Y marchog sydd yn codi ei gleddyf gloew, a'i ddysglaer waewffon*] I drywanu y Ninefeaid: *lluaws o laddedigion, ac aneirif o gelanedd*—sydd yn gorwedd eisioes ar yr heolydd: *tripiant wrth eu cyrff hwynt*—maglant a chwympant ar draws eu cyrff, gan mor aml ydynt.

Adn. 4. *O herwydd aml buteindra y butan dêg*] O herwydd ei haml 'eilunaddoliaeth' y mae y farn hon wedi disgyn ar Ninefe. Gelwir hi yn 'butan dêg,' o herwydd ei llwyddiant yn denu ereill i'w haflendid. *Meistres swynion*—cyfeirir yma at y 'swyn serch' a roddid gan butanod i syfrdanu gwŷr ieuainc, a'u hudo i aflendid. *Yr hon a werth genhedloedd trwy ei phuteindra, &c.*—yr hon, trwy eu denu i eilunaddoliaeth, a'u darostwng hwynt yn wrthddrychau dialedd dwyfol, ac yn ysglyfaeth i'w gelynion.

Adn. 5. *Wele fi i'th erbyn, medd Arglwydd y lluoedd*] Sef yn erbyn Ninefe eilunaddolgar; *a datguddiaf dy odre ar dy wyneb*—trwy godi dy ddillad cyfuwch â'th ben; *a gwnaf i genhedloedd weled dy noethni*—yr hyn oedd gosp a roddid gynt ar butanod: gwel ar Jer. xiii. 22, Ezec. xvi. 37.

Adn. 6. *A thaflaf ffiaidd bethau arnat*] Cyfeirir yma at butan yn cael ei chospi trwy ei dodi mewn rhigod neu wddf-gyffion, at yr hon y taflai plant ac ereill bob budreddi; *a gwnaf di yn wael*—neu ddirmygus yn ngolwg pawb; *a gosodaf di yn ddrych*—i'th wfftio, neu i fod yn siampl i ereill.

Adn. 7. *A bydd i bawb a'th welo ffoi oddi wrthyt*] Naill ai mewn dychryn wrth weled dy gyflwr andwyol, neu ynte yn anfoddlon i estyn i ti un cymhorth; *a dywedyd, Anrheithiwyd Ninefe*—gan ei gelynion! *Pwy a gŵyna iddi*—yr hon a fu mor elyniaethus i ereill? *O ba le y ceisiaf ddyddanwyr it'*—yr hon a lawenychit yn ninystr pawb ereill?

Adn. 8. *Ai gwell ydwyt na No dylwythog?*] Neu '*No Amon*,' dinas yn yr Aifft, yr un ond odid a *Thebes* neu *Diospolis*, yr hon yr oedd ei thrigolion yn lluosog iawn: *yr hon a osodir rhung yr afonydd*—rhwng dwy gangen o'r Nilus, yn ol rhai; *ac a amgylchir â dyfroedd*—i'w diogelu: *i'r hon y mae y môr yn rhagfur, a'i mur o'r môr*—yr hon a amddiffynid gan y Nilus ar un llaw, a chan y môr coch ar y llaw arall: gwel ar Jer. xlvi.

ydd, ac a amgylchir â dyfroedd, i'r
hon *y mae* y môr yn rhagfur, *a*'i
mur o'r môr?
9 Ethiopia *oedd* ei chadernid, a'r
Aifft, ac aneirif: Put a Lubim oedd
yn gynorthwy i ti.
10 Er hyny hi a ddygpwyd ym-
aith, hi a gaethgludwyd; *a*'i phlant
bychain a ddrylliwyd yn mhen pob
heol: ac am ei phendefigion y bwr-
iasant goelbrenau, a'i holl wŷr
mawr a rwymwyd mewn gefynau.
11 Tithau hefyd a feddwi; byddi
guddiedig, ceisi hefyd gadernid
rhag y gelyn.
12 Dy holl amddiffynfeydd *fydd-*
*ant fel* ffigyswydd â'u blaenffrwyth
arnynt: os ysgydwir hwynt, syrth-
iant yn safn y bwytawr.
13 Wele dy bobl yn wragedd yn
dy ganol di: pyrth dy dir a agorir
i'th elynion; tân a ysodd dy farau.
14 Tyn it' ddwfr i'r gwarchae,
cadarnha dy amddiffynfeydd; dos
i'r dom, sathr y clai, cryfha yr odyn
briddfaen.
15 Yno y tân a'th ddifa, y cledd-
yf a'th dyr ymaith, efe a'th ysa di
fel pryf y rhwd; ymluosoga fel
pryf y rhwd, ymluosoga fel y
ceiliog rhedyn.
16 Amlheaist dy farchnadwyr
ragor ser y nefoedd: difwynodd
pryf y rhwd, ac ehedodd ymaith.
17 Dy rai coronog *sydd* fel y lo-
custiaid, a'th dywysogion fel y ceil-
iogod rhedyn mawr, y rhai a wer-
syllant yn y caeau ar y dydd
oerfelog, *ond* pan gyfodo yr haul,
hwy a ehedant ymaith, ac ni ad-
waenir eu man lle *y maent*.
18 Dy fugeiliaid, brenin Assyria,

---

25. Ond tybia rhai mai Môr-y-canoldir a feddylir, i'r hwn yr ymarllwysai y Nilus.

Adn. 9. *Ethiopia oedd ei chadernid, &c.*] Neu, fel y mae *Houbigant* yn ei chyfieithu, 'Yr Ethiopiaid a'r Aifftiaid, y rhai sydd aneirif, oeddynt ei chadernid; yr Affricaniaid a'r Libyaid oeddynt ei chynorthwywyr.'

Adn. 10. *Er hyny hi a ddygpwyd ymaith*] I gaethiwed gan ei gelynion; *a'i phlant bychain a ddrylliwyd yn mhen pob heol*—trwy eu taro yn erbyn y meini, Salm cxxxvii. 9; *ac am ei phendefigion y bwriasant goelbrenau*—i'w rhanu yn gaethweision rhwng eu gorchfygwyr; *a'i holl wŷr mawr a rwymwyd mewn gefynau*—i'w dwyn ymaith ar ol eu rhanu felly. Y meddwl yw, Gan fod *No*, er maint ei lluaws a'i chadernid, wedi cael ei dymchwelyd felly, nad oedd gan *Ninefe* un sail i ddysgwyl y gallai hi ddianc.

Adn. 11. *Tithau hefyd a feddwi*] Ar win digofaint Duw: *byddi guddiedig*—neu, yn ol y *Syriaeg*, 'byddi druan a gwael:' *ceisi hefyd gadernid rhag y gelyn*—oddiwrth deyrnasoedd ereill; neu, ti a encili i'th amddiffynfeydd cedyrn rhag ofn dy elynion.

Adn. 12. *Dy holl amddiffynfeydd fyddant fel ffigyswydd â'u blaenffrwyth arnynt*] Y meddwl yw, Fel y mae ffigys addfed yn syrthio oddiar y pren trwy yr ysgydwad lleiaf, felly y bydd i'th amddiffynfeydd dithau syrthio i ddwylaw dy elynion ar yr ymosodiad cyntaf.

Adn. 13. *Wele dy bobl yn wragedd yn dy ganol di*] Yn llwfr, gwan, ac ofnus fel gwragedd: *pyrth dy dir a agorir i'th elynion*—gyda'r hawsder mwyaf: *tân a ysodd dy farau*—trwy y rhai yr oedd dy byrth yn cael eu diogelu.

Adn. 14. *Tyn it' ddwfr i'r gwarchae*] Yma gelwir ar y Ninefeaid i ddarparu digon o ddwfr iddynt eu hunain erbyn y gwarchaead: *cadarnha dy amddiffynfeydd*—trwy adgyfnerthu y manau gweiniaid: *dos i'r dom, sathr y clai*—gosod dy wŷr ar waith i wneuthur priddfeini, ac i adgyweirio yr odynau i'w crasu, fel y byddo genyt ddefnyddiau i gadarnhau dy amddiffynfeydd.

Adn. 15. *Yno y tân a'th ddifa*] Ond er pob parotoad ac ymdrech o'r eiddynt, byddai i dân y gelynion ddifa eu hadeiladau, ac i'w cleddyfau ladd eu milwyr: *efe a'th ysa di fel pryf y rhwd*—fel yr ysa hwnw ffrwythau y ddaear, Joel i. 4. *Ymluosoga fel pryf y rhwd*—yn erbyn dy elynion; neu, er i ti luosogi dy fyddinoedd fel locustiaid, bydd i'th elynion eu dyfetha hwynt oll.

Adn. 16. *Amlheaist dy farchnadwyr ragor ser y nefoedd*] I'r dyben i gynyddu dy gyfoeth: *difwynodd pryf y rhwd*—y cyfoeth hwnw, neu ddynion mor aml a phryf y rhwd; *ac ehedodd ymaith*—fel locustiaid yn ehedeg i le arall ar ol difa y ffrwythau yn y fan lle y disgynasant gyntaf. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y byddai i luaws ei masnachwyr neu ei milwyr hi ddifa ei lluniaeth yn amser y gwarchaead, ac yna ffoi ymaith at y gelyn.

Adn. 17. *Dy rai coronog*] Sef y brenhinoedd ag oeddynt dan dreth i Ninefe; *sydd fel locustiaid*—nid mewn rhif, ond yn eu hymddygiadau: *a'th dywysogion fel y ceiliogod rhedyn mawr*—y rhai a lechent oddeutu y cloddiau ar dywydd oer: *ond pan gyfodo yr haul, hwy a ehedant ymaith*—i bori mewn manau ereill nas gwyddys pa le. Felly y rhai hyn, hwy a ymlynent wrth Ninefe tra yr oedd y gelynion yn mhell; ond wedi i'r perygl nesâu, ac iddi ddechreu poethi arnynt, hwy a droant yn anffyddlon iddi, ac a ffoant ymaith.

Adn. 18. *Dy fugeiliaid*] Sef cynghorwyr, llyswyr, neu gadfridogion brenin Assyria: *a hepiant*—heb feddwl dim am ddiogelwch y ddinas, neu a hunant hûn angau: *a'th bendefigion a orweddant*—yn ddiofal am lesâd y cyffredin, neu a orweddant yn gelaneddau

a hepiant, a'th bendefigion a or-
weddant; gwasgerir dy bobl ar y
mynyddoedd ac ni *bydd* a'*u* casglo.
19 Ni thynir dy archoll yn nghyd,
clwyfus yw dy weli; pawb a glywo
son am danat a gurant eu dwylaw
arnat; o herwydd pwy nid aeth dy
ddrygioni drosto bob amser?

---

meirwon ar y ddaear. Y mae y geiriau hyn yn cael eu deall yn y ddau ystyr gan wahanol esbonwyr. *Gwasgerir dy bobl ar y mynyddoedd*—sef dy filwyr cyffredin; *ac ni bydd a'u casglo*—trwy fod eu cadfridogion ond odid wedi eu lladd.

Adn. 19. *Ni thynir dy archoll yn nghyd*] I geisio ei feddyginiaethu; *clwyfus yw dy weli*—neu dy archoll. Y meddwl yw, fod cyflwr Ninefe, ar ol i'r Arglwydd ei tharo trwy y Mediaid a'r Caldeaid, yn anfeddyginiaethol, heb obaith am adferiad iddi mwy. *Pawb a glywo son am danat*—am dy gwymp, *a gurant eu dwylaw arnat*—mewn llawenydd am y fath newydd. *O herwydd pwy nid aeth dy ddrygioni drosto?*—pwy ni theimlodd dy drais a'th greulondeb rywbryd neu gilydd? Cyflawnwyd y dinystr hwn ar Ninefe yn mhen oddeutu can mlynedd wedi hyn; a buwyd am ganrifau lawer heb wybod pa le yr oedd hi yn sefyll: ond y mae hyny yn awr wedi dyfod i'r goleuni: gwel 'Ninefe a'i Gweddillion,' gan LAYARD.

---

# LLYFR Y PROFFWYD HABACCUC.

TYBIA Epiphanius ac ereill mai un o lwyth *Simeon* oedd y proffwyd hwn, o ddinas *Beth-zacar*; ond ymddengys mai yn *Judea* yr oedd ef yn proffwydo. Meddylir ei fod yn byw oddeutu can mlynedd yn ddiweddarach na *Nahum*, sef dan deyrnasiad Jehoiacim; ac os felly, yr oedd yn cydoesi â *Jeremi*, ychydig cyn dinystr Jerusalem gan y Caldeaid; er y tybia rhai mai yn amser *Manasseh* yr oedd efe yn byw.—Prif amcan ei broffwydoliaeth oedd cysuro yr Iuddewon trallodus trwy ragfynegu dinystr y Caldeaid, fel y rhagfynegasai *Nahum* ddinystr yr Assyriaid, ac *Obadiah* ddinystr yr Edomiaid.—Y mae Habaccuc yn sefyll yn uchel yn nosbarth y beirdd ysbrydoledig Hebreig; ac y mae ei emyn-weddi, yn pen. iii, yn cael ei hystyried gan y beirniaid yn mhlith y rhai godidocaf o'i rhyw.—Y mae gan yr Iuddewon lawer o chwedlau disail am y proffwyd hwn, megys mai efe oedd mab y Sunamees, yr hwn a adferwyd i fywyd gan Eliseus, 2 Bren. iv. 35; a darfod i angel ei gymeryd ef erbyn ei goryn, a'i ddwyn i Babilon gyda chiniaw i Daniel yn ffau y llewod: gwel 'Ystori Bel a'r Ddraig' yn yr *Apocrypha*, adn. 34–37.

---

## PENNOD I.

Y BAICH a welodd y proffwyd
Habaccuc.
2 Pa hyd, Arglwydd, y gwaeddaf,
ac nis gwrandewi! y bloeddiaf ar-
nat *rhag* trais, ac nid achubi!
3 Paham y gwnei im' weled an-
wiredd, ac y peri *im'* edrych ar
flinder? anrhaith a thrais *sydd* o'm
blaen i; ac y mae a gyfyd ddadl ac
ymryson.
4 Am hyny yr oedir cyfraith, ac
nid â barn allan byth: am fod y
drygionus yn amgylchu y cyfiawn;
am hyny cam farn a â allan.
5 ¶ Gwelwch yn mysg y cen-
hedloedd, ac edrychwch, rhyfedd-
wch yn aruthrol: canys gweithred-

---

PEN. I. Adn. 1. *Y baich a welodd y proffwyd Habaccuc*] Sef y barnedigaethau a'r trallodau ag oeddynt i ddisgyn fel baich trwm ar yr Iuddewon yn gyntaf, ac wedi hyny ar y Caldeaid.

Adn. 2. *Pa hyd, Arglwydd, y gwaeddaf*] Arnat, rhag trais ac annuwioldeb fy nghydwladwyr; *ac nis gwrandewi*—trwy symud ymaith y cyfryw!

Adn. 3. *Paham y gwnei im' weled anwiredd*] Sef pob math o anrhaith a thrais; *ac y peri im' edrych ar flinder*—ar gyfyngder a thrueni, ffrwythau cyffredin pechod? *Ac y mae a gyfyd ddadl ac ymryson*—a hyny ar gam; neu, yn ol y LXX, 'a'm barnwr a dderbyn lwgr-wobr.' Gwel y darluniad a ddyry Jeremi o ddrygioni yr Iuddewon, pen. ix. 3—8.

Adn. 4. *Am hyny yr oedir cyfraith*] Yr esgeulusir hi, neu yr oedir ei rhoddi mewn grym; *ac nid â barn allan byth*—sef dedfryd gyfiawn. *Am fod y drygionus yn amgylchu y cyfiawn*—yn gwyrdroi achos y cyfiawn, neu yn gryfach nag ef; *am hyny cam farn a â allan*—i lethu y cyfiawn.

Adn. 5. *Gwelwch yn mysg y cenhedloedd,*

af weithred yn eich dyddiau, ni
choeliwch er ei mynegi i chwi.
6 Canys wele fi yn codi y Calde-
aid, cenedl chwerw a phrysur, yr
hon a rodia ar hyd lled y tir, i fedd-
iannu cyfanheddoedd nid *yw* eiddynt:
7 Y *maent* i'w hofni ac i'w har-
swydo: o honynt eu hun y daw all-
an eu barn a'u rhagoriaeth.
8 A'u meirch sydd fuanach na'r
llewpardiaid, a llymach ydynt na
bleiddiau yr hwyr: eu marchogion
hefyd a ymdaenant, a'u marchogion
a ddeuant o bell; ehedant fel eryr
yn prysuro at fwyd.
9 Hwy a ddeuant oll i dreisio: ar
gyfer eu hwyneb *y bydd* gwynt y
dwyrain, a hwy a gasglant gaethion
fel y tywod.
10 A hwy a watwarant frenhin-
oedd, a thywysogion *a fyddant* wat-
wargerdd iddynt: hwy a watwarant
yr holl gestyll, ac a gasglant lwch,
ac a'i goresgynant.
11 Yna y newidia *ei* feddwl, ac
yr â trosodd, ac a drosedda, *gan
ddiolch am* ei rym yma i'w dduw *ei
hun.*
12 ¶ Onid wyt ti er tragwyddol-
deb, O Arglwydd fy Nuw, fy Sant-
aidd? ni byddwn feirw. O Ar-
glwydd, ti a'u gosodaist hwy i farn,
ac a'u sicrheaist, O Dduw, i gosp-
edigaeth.

---

*&c.*] Y rhai hyn ydynt eiriau Duw mewn atebiad i'r proffwyd. Yn lle *baggoyim*, 'yn mysg y cenhedloedd,' tybia rhai beirniaid y dylid darllen *bogedim*, 'troseddwyr' neu 'ddirmygwyr,' fel y gwna y LXX. y Syriaeg, yr Arabaeg, a St. Paul, Act. xiii. 41: ond nid oes un o'r ysgriflyfrau Hebreig a welwyd eto yn pleidio y darlleniad hwn. *Newcome* a'i cyfieitha, 'Edrychwch, chwi droseddwyr, a gwelwch ryfeddod, a diflenwch.' *Canys gweithredaf weithred yn eich dyddiau*—yn eich dyddiau chwi, neu tra y byddwch chwi byw: *ni choeliwch er ei mynegi i chwi*—hyny yw, ni choelient y byddai i Dduw, trwy y Caldeaid, ddinystrio eu dinas a'u teml, er maint a ddywedai y proffwydi wrthynt am hyny. Y mae fod yr apostol yn cymhwyso y geiriau hyn at yr Iuddewon yn ei ddyddiau ef, yn brawf fod dinystr Jerusalem gan y Caldeaid yn rhagddarlun o'r trallodau a ddeuent ar y genedl Iuddewig am wrthod yr efengyl: gwel ar Act. xiii. 40. 41.

Adn. 6. *Canys wele fi yn codi y Caldeaid*] Yr oedd hyn yn achos o syndod i'r Iuddewon, am fod y Caldeaid yn amser Hezeciah, Manasseh, a Josiah, mewn cyfeillgarwch â'r Iuddewon, fel nad oedd ganddynt, yn ol eu meddwl hwy, ddim i'w ofni oddiwrthynt hwy, na neb arall oddieithr yr Aifftiaid. *Cenedl chwerw a phrysur*—rhai creulon yn eu natur, a phrysur yn nghyflawniad eu bwriadau, neu gyflym yn eu symudiadau, Esay v. 26. 27. Jer. v. 15—17. *Yr hon a rodia ar hyd lled y tir*—yn mhell o'u gwlad, i feddiannu gwledydd ereill.

Adn. 7. *Y maent i'w hofni ac i'w harswydo*] Yn fawr: *o honynt eu hun y daw allan eu barn*—hwy a farnant eu hunain pa beth i'w wneuthur, heb ofyn barn neb arall: *a'u rhagoriaeth*—sef eu gallu i'w cyflawni: neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'o honynt hwy y daw allan farnedigaeth y rhai hyn, a chaethiwed y rhai hyn.'

Adn. 8. *A'u meirch sydd fuanach na'r llewpardiaid*] Y rhai yr addefir eu bod yn gyflym iawn, yn gallu llamu oddeutu chwe llath ar un naid; *a llymach ydynt na bleidd-iau yr hwyr*—sef yr *hyena*, fel y meddylir, yr hwn sydd greadur tra chyflym a chreulon. *Eu marchogion hefyd a ymdaenant*—dros y wlad, gyda chyflymdra eryr yn prysuro at fwyd: gwel ar Jer. iv. 13.

Adn. 9. *Hwy a ddeuant oll i dreisio*] I'w cyfoethogi eu hunain trwy yspeilio ereill. *Ar gyfer eu hwyneb y bydd gwynt y dwyrain*—neu, fel y mae ar ymyl y ddalen, 'eu hwynebau a lymeitiant fel gwynt y dwyrain;' hyny yw, hwy a ddystrywiant bob peth o'u blaen, fel y mae gwynt y dwyrain yn deifio ffrwythau y ddaear. *A hwy a gasglant gaethion fel y tywod*—i Babilon.

Adn. 10. *A hwy a watwarant frenhinoedd*] Gan eu trin gyda dirmyg, fel y gwnaethant â Zedeciah ac ereill: *hwy a watwarant yr holl gestyll*—gan eu cyfrif megys dim i'w herbyn: *ac a gasglant lwch*—hwy a bentyrant domenydd o bridd a thywyrch, fel ag i esgyn oddiarnynt i ben y cestyll.

Adn. 11. *Yna y newidia ei feddwl*] Meddylir fod yma gyfeiriad at wallgofrwydd Nebuchodonosor, yr hwn a ddesgrifir Dan. iv. 25, &c.; *ac yr â trosodd*—yr â ei feddwl neu ei synwyr oddiwrtho; *ac a drosedda*—trwy briodoli ei rym a'i lwyddiant i'w dduw ei hun, a diolch iddo am dano.

Adn. 12. *Onid wyt ti er tragwyddoldeb, O Arglwydd fy Nuw?*] Yma y mae y proffwyd, ar ei ran ei hun a'i bobl, yn cyfarch Jehofa fel ei Dduw cyfamodol, yr hwn hefyd oedd Fôd santaidd, tragwyddol, a hollalluog, ac felly yn anfeidrol uwch a galluocach na Nebuchodonosor a'i dduwiau. *Ni byddwn feirw*—ni lwyr ddiwreiddir ni trwy law y Caldeaid hyn, er gorfod dyoddef o honom yn chwerw oddiwrthynt: neu, fel y mae *Secker* yn ei gyfieithu, 'Na âd i ni farw.' *O Arglwydd, ti a'u gosodaist hwy i farn*—gosodaist y Caldeaid yn offerynau i weinyddu barn ar bechaduriaid: *ac a'u sicrheaist, O Dduw*—Saes., 'O Dduw cadarn,' *i gospedigaeth*—sef i geryddu yr Iuddewon anffyddlon.

Adn. 13. *Ydwyt lanach dy lygaid nag y gelli edrych ar ddrwg*] Gyda chymeradwyaeth; *ac ni elli edrych ar anwiredd*—heb ei

13 *Ydwyt* lanach dy lygaid nag y *gelli* edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd: paham yr edrychi ar yr anffyddloniaid, *ac y* tewi pan lynco yr anwir *un* cyfiawnach nag ef ei hun?

14 Ac y gwnei ddynion fel pysgod y môr, fel yr ymlusgiaid heb lywydd arnynt?

15 Cyfodant hwynt oll â'r bach; casglant hwynt yn eu rhwyd, a chynullant hwynt yn eu ballegrwyd: am hyny hwy a lawenychant ac a ymddigrifant.

16 Am hyny yr aberthant i'w rhwyd, ac y llosgant arogldarth i'w ballegrwyd: canys trwyddynt hwy y mae eu rhan yn dew a'u bwyd yn fras.

17 A gânt hwy gan hyny dywallt eu rhwyd, ac nad arbedont ladd y cenhedloedd yn wastadol?

## PENNOD II.

SAFAF ar fy nysgwylfa, ac ymsefydlaf ar y tŵr, a gwyliaf, i edrych beth a ddywed efe wrthyf, a pha beth a atebaf pan y'm cerydder.

2 A'r Arglwydd a atebodd ac a ddywedodd, Ysgrifena y weledigaeth, a gwna hi yn eglur ar lechau, fel y rhedo yr hwn a'i darlleno.

3 Canys y weledigaeth *sydd* eto dros amser gosodedig, ond hi a ddywed o'r diwedd, ac ni thwylla: os erys, dysgwyl am dani; canys gan ddyfod y daw, nid oeda.

4 Wele, *yr hwn* a ymchwydda, nid yw uniawn ei enaid ynddo: ond y cyfiawn a fydd byw trwy ei ffydd.

5 ¶ A hefyd gan ei fod yn troseddu trwy win, gŵr balch *yw efe*, ac heb aros gartref, yr hwn a hel-

---

ffieiddio. *Paham*—gan hyny, *yr edrychi ar yr anffyddloniaid*—ar drawsder y Caldeaid eilunaddolgar hyn; *ac y tewi*—fel gŵr difater, *pan lynco yr anwir un cyfiawnach nag ef ei hun?*—fel pe dywedasai, Gan dy fod yn ffieiddio drygioni, paham na ddeuit allan i'w gospi? Yr ateb yw, Am ei fod yn hir-ymarhous tuag at bechaduriaid, ac yn 'hwyrfrydig i ddig,' Nahum i. 3. Er fod yr Iuddewon yn dra llygredig y pryd hyn, eto yr oeddynt yn 'gyfiawnach' na'r Caldeaid.

Adn. 14. *Ac y gwnei ddynion fel pysgod y môr*] I gael eu dal a'u dyfetha gan y Caldeaid; *fel yr ymlusgiaid heb lywydd arnynt*—i'w hamddiffyn rhag creulondeb eu gelynion?

Adn. 15. *Cyfodant hwynt oll â'r bach, &c.*] Yma arddangosir y Caldeaid yn dala yr Iuddewon fel y delir pysgod â bach neu rwyd; *a chynullant hwynt yn eu ballegrwyd*—math ar rwyd gron yn mlaen polyn, neu y fath ag a ddefnyddir mewn cored. *Am hyny hwy a lawenychant ac a ymddigrifant*—o herwydd yr helfa luosog a ddaliant, fel y llawenycha pysgotwr llwyddiannus.

Adn. 16. *Am hyny yr aberthant i'w rhwyd*] Dywed *Ward* fod yn arferiad hyd heddyw gan yr Hindwaid, unwaith yn y flwyddyn, dalu addoliad i'w harfau gweithio; *ac y llosgant arogldarth i'w ballegrwyd*—gan wneuthur duw o honi: *canys trwyddynt hwy*—eu rhwydau pysgota, *y mae eu rhan yn dew a'u bwyd yn fras*—hyny yw, trwy eu rhyfeloedd a'u buddugoliaethau yr oeddynt yn cael helaethrwydd o ysbleddach werthfawr.

Adn. 17. *A gânt hwy gan hyny dywallt eu rhwyd*] Ei gwaghau hi o'r naill helfa, i'r dyben i'w llenwi drachefn â helfa arall; *ac nad arbedont ladd y cenhedloedd yn wastadol?*—hyny yw, a oddefai yr Arglwydd i'r Caldeaid fyned yn mlaen fel hyn i ddyfetha y cenhedloedd yn barhaus? Cawn atebiad i hyn yn adn. 8 o'r bennod nesaf.

PEN. II. Adn. 1. *Safaf ar fy nysgwylfa*] Fel gwyliedydd yn gwylio ar y tŵr; *i edrych beth a ddywed efe wrthyf*—trwy ysbryd proffwydoliaeth, mewn atebiad i'r gofyniadau uchod, pen. i. 13—17: *a pha beth a atebaf pan y'm cerydder*—sef pa beth a atebaf i'r bobl a fyddo yn ymgynhenu â mi am y pethau hyn.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a atebodd ac a ddywedodd, Ysgrifena y weledigaeth*] Sef y geiriau a ddywedai wrthyt, Nahum i. 1; *a gwna hi yn eglur ar lechau*—mewn llythyrenau breision ar lechau neu fyrddau, i'w crogi i fyny mewn lle amlwg; *fel y rhedo yr hwn a'i darlleno*—fel y rhedo ati yr hwn a fyno ei darllen; neu fel y gallo efe ei darllen wrth redeg heibio; neu fel y byddo i'r hwn a'i darlleno redeg ymaith i achub ei fywyd.

Adn. 3. *Canys y weledigaeth sydd eto dros amser gosodedig*] Nid yw ei chyflawniad i gymeryd lle hyd yr amser a benodwyd genyf fi. Nid oedd dinystr Jerusalem i gymeryd lle bymtheg neu ugain mlynedd wedi hyn; ac nid oedd dinystr ymherodraeth y Caldeaid i gymeryd lle hyd ddiwedd y 70 mlynedd o gaethiwed yr Iuddewon. *Ond hi a ddywed o'r diwedd, ac ni thwylla*—hi a gyflawnir o'r diwedd, ac ni sioma eich dysgwyliad; neu, fel yr arwydda y gwreiddiol, 'hi a *dyr allan* o'r diwedd,' a hyny mor eglur a'r wawr. *Os erys*—yn hwy nag yr wyt ti yn meddwl; *dysgwyl am dani*—yn amyneddgar a chrediniol: *canys gan ddyfod y daw*—hi a ddaw yn sicr; *ac nid oeda*—yn hwy na'r 'amser gosodedig' uchod.

Adn. 4. *Wele, yr hwn a ymchwydda*] Yr hwn o'r Iuddewon ag sydd, yn ei falchder, yn anghredu ac yn gwawdio y rhagddywediadau hyn; *nid yw uniawn ei enaid ynddo*—efe a ddyry brawf trwy hyny o falchder ei ysbryd a gwyrni ei galon. *Ond y cyfiawn*—yr hwn a gred air yr Arglwydd trwy ei broffwydi, ac a ufyddha i'w gyfarwyddiadau; *a fydd*

aetha ei feddwl fel uffern, ac *y mae*
fel angau, ac nis digonir; ond efe a
gasgl ato yr holl genhedloedd, ac a
gynull ato yr holl bobloedd.
6 Oni chyfyd y rhai hyn oll yn ei
erbyn ddiareb, a gair dû yn ei erbyn,
a dywedyd, Gwae a helaetho *y peth*
nid *yw* eiddo: pa hyd? a'r neb a
lwytho arno ei hun y clai tew.
7 Oni chyfyd yn ddisymwth y
rhai a'th frathant, ac oni ddeffry y
rhai a'th gystuddiant, a thi a fyddi
yn wasarn iddynt?
8 Am it' yspeilio cenhedloedd
lawer, holl weddill y bobloedd a'th
yspeilia dithau: am waed dynion,
ac *am* y trais ar y tir, ar y ddinas,
ac ar oll a drigant ynddi.
9 ¶ Gwae a elwo elw drwg i'w
dŷ, i osod ei nyth yn uchel, i ddi-
anc o law y drwg.
10 Cymeraist gynghor gwarthus
i'th dŷ, wrth ddystrywio pobloedd
lawer; pechaist *yn erbyn* dy enaid.
11 O herwydd y gareg a lefa o'r
mur, a'r trawst a'i hetyb o'r *gwaith*
coed.
12 ¶ Gwae a adeilado dref trwy
waed, ac a gadarnhao ddinas mewn
anwiredd.

---

*byw trwy ei ffydd*—cedwir ei *fywyd* ef yn amser caethgludiad yr Iuddewon i Babilon; neu efe a fydd byw yn *dawel* a *chysurus* yn y grediniaeth o waredigaeth yr Iuddewon o Babilon, a dinystr y Caldeaid, yn yr 'amser gosodedig,' adn. 3. Y LXX a'i darllenant, 'O thŷn ef yn ol, nid yw fy enaid yn ymfoddloni ynddo: ond y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd.' Yn ol y cyfieithiad hwn yr ystyr yw:—Ar ol i Dduw orchymyn i'r Iuddewon ddysgwyl am gyflawniad y broffwydoliaeth, a sicrhau iddynt y byddai iddi gael ei chyflawni yn ddifeth, adn. 3, y mae efe yn yr adnod hon yn tystio nad yw yn ymfoddloni yn y dyn a dŷnai yn ol, neu yr hwn y byddai i'w ffydd ef *ballu* wrth ddysgwyl am gyflawniad y broffwydoliaeth; tra y byddai i'r cyfiawn neu y duwiol, yr hwn a gredai addewid Duw yn barhaus, gael ei gynal yn *dawel* dan holl droion dyrys rhagluniaeth, a'i fendithio hefyd â gwenau Duw trwy gredu felly. Y mae y geiriau hyn, fel eu dyfynir gan yr apostol yn Heb. x. 38, yn cael eu cyfaddasu at *iachawdwriaeth ysbrydol* y Cristion trwy ffydd yn Nghrist; eithr yma, fel yr ymddengys i mi, cyfeiriant at *fywyd naturiol* yr Iuddew crediniol, neu at ei *gysur* ef yn ei fywyd. Yr holl wahaniaeth rhwng y testyn a'r LXX yw, fod yr olaf yn cyfeirio at waith yr Iuddew yn credu tystiolaeth Duw unwaith, ac wedi hyny yn troi yn anghredadyn; tra y mae y cyntaf yn cyfeirio at ei weithred bresenol ef, heb awgrymu dim am ei gyflwr blaenorol.

Adn. 5. *A hefyd gan ei fod yn troseddu trwy win*] Yn gystal ag yn 'ymchwyddo,' neu yn 'tŷnu yn ol.' Neu gall mai at *frenin Babilon* y cyfeirir yma, sef Nebuchodonosor, Belsassar, ac ereill: gwel ar Dan. v. 1, &c. *Gŵr balch yw efe*—ffroen-uchel a thrahaus tuag at bawb; *ac heb aros gartref*—ond bob amser oddicartref yn dylyn ei ryfeloedd. *Newcome* a'i cyfieitha, 'A hefyd, fel y troseddа gŵr cadarn trwy win, y mae yntau yn falch, a diorphwys;' a *Houbigant*, 'Canys yntau, er ei fod yn drahaus, a grymus, a balch, eto ni chaiff orphwysdra.' *Yr hwn a helaetha ei feddwl fel uffern*—neu fel y 'bedd,' i lyncu pawb; *y mae fel angau, ac nis digonir*—heb gael pawb dan ei draed: *ond efe a gasgl ato yr holl genhedloedd*—gan chwanegu eu teyrnasoedd hwy at ei amherodraeth ei hun.

Adn. 6. *Oni chyfyd y rhai hyn oll yn ei erbyn ddiareb*] Neu ymadrodd gwatwarllyd; *a gair dû yn ei erbyn*—i'w ganu a'i ddirmygu; *a dywedyd*—mewn cyfeiriad ato ef yn neillduol, *Gwae a helaetho y peth nid yw eiddo*—neu a chwanego eiddo pobloedd ereill at ei diriogaethau ei hun. *Pa hyd*—y goddefir iddo wneuthur hyn? *A'r neb a lwytho arno ei hun y clai tew*—sef aur ac arian, y rhai nid oeddynt ar y cyntaf ddim amgen na phridd neu glai, gan chwanegu felly at *lwyth* ei bechodau a'i gosp.

Adn. 7. *Oni chyfyd yn ddisymwth y rhai a'th frathant*] Sef byddinoedd Cyrus, y rhai a'th gystuddiant am dy drais? *A thi a fyddi yn wasarn iddynt*—yn ysglyfaeth iddynt, neu yn cael dy sathru dan eu traed.

Adn. 8. *Am it' yspeilio cenhedloedd lawer*] O'u gwledydd a'u meddiannau; *holl weddill y bobloedd*—y rhai nis gorchfygaist, *a'th yspeilia dithau*—o'th deyrnas a'th feddiannau; *am waed dynion*—yr hwn a dywelltaist yn ddiachos; *ac am y trais ar y tir, &c.*—hyny yw, am i ti yspeilio Judea, Jerusalem, a'r Iuddewon. Cyflawnwyd hyn yn ninystr yr amherodraeth Fabilonaidd gan fyddin Cyrus, yr hon a wnaed i fyny o lawer o wahanol bobloedd.

Adn. 9. *Gwae a elwo elw drwg i'w dŷ*] Neu a gyrhaeddo gyfoeth trwy anghyfiawnder; *i osod ei nyth yn uchel*—i'w ddyrchafu ei hun a'i deulu mewn mawredd; *i ddianc o law y drwg*—o gyraedd tylodi, neu beryg1 oddiwrth elynion.

Adn. 10. *Cymeraist gynghor gwarthus i'th dŷ wrth ddystrywio pobloedd lawer*] Arferaist greulonderau, trwy gymeryd dy gynghori gan dy lyswyr, y rhai a droant allan yn warth i ti: *pechaist yn erbyn dy enaid*—neu 'dy fywyd,' yr hwn a fforffetiaist trwy hyny.

Adn. 11. *O herwydd y gareg a lefa o'r mur*] Am ddialedd arnat; *a'r trawst a'i hetyb o'r gwaith coed*—gan chwanegu ei 'Amen' wrth y deisyfiad. Cyfeirir yma at gerig a choed y palasau a adeiladodd brenin Babilon â'i yspail anghyfiawn, neu at y dinasoedd a'r adeiladau a ddinystriwyd ganddo.

Adn. 12. *Gwae a adeilado dref trwy*

13 Wele, onid oddiwrth Ar-
glwydd y lluoedd *y mae*, bod i'r bobl
ymflino yn y tân, ac i'r cenhedloedd
ymddiffygio am wir wagedd?
14 Canys y ddaear a lenwir o
wybodaeth gogoniant yr Arglwydd,
fel y toa y dyfroedd y môr.
15 ¶ Gwae a roddo ddiod i'w gy-
mydog: yr hwn ydwyt yn rhoddi
*iddo* dy gostrel, ac yn *ei* feddwi
hefyd, er cael gweled eu noethni
hwynt.
16 Llanwyd di o warth yn lle go-
goniant; ŷf dithau hefyd, a noethir
dy flaengroen: ymchwel cwpan
deheulaw yr Arglwydd atat ti, a
chwydiad gwarthus *fydd* ar dy
ogoniant.
17 Canys trais Libanus a'th or-
chuddia; ac anrhaith yr anifeiliaid,
*yr hwn* a'u dychrynodd hwynt o
achos gwaed dynion, a thrais y tir,
y ddinas ac oll a drigant ynddi.
18 ¶ Pa les a wna i'r ddelw gerf-
iedig, ddarfod i'w lluniwr ei cherf-
io; i'r ddelw dawdd, ac athro cel-
wydd, fod lluniwr ei waith yn ym-
ddiried ynddo, i wneuthur eilunod
mudion?
19 Gwae a ddywedo wrth bren,
Deffro; wrth gareg fud, Cyfod, efe
a rydd addysg: wele, gwisgwyd ef
âg aur ac arian, a dim anadl nid *oes*
o'i fewn.
20 Ond yr Arglwydd *sydd* yn ei
deml santaidd: y ddaear oll, gos-
tega di ger ei fron ef.

---

*waed*] Trwy gyfoeth a gyrhaeddwyd wrth dywallt gwaed; *ac a gadarnhao ddinas mewn anwiredd*—sef â ffrwyth anwiredd. Gellir cyfaddasu yr hyn a ddywedir yma at lawer heblaw brenin Babilon, megys y rhai a fasnachant mewn caethion, neu a ymgyfoethogant trwy ryw weithredoedd annghyfiawn ereill.

Adn. 13 *Wele, onid oddiwrth Arglwydd y lluoedd y mae*] Fel cosp am eu pechodau, *bod i'r bobl ymflino yn y tân*—neu ymboeni fel mewn tân wrth adeiladu Babilon, neu ymflino yn y tân yn llythyrenol wrth geisio ei hachub hi rhag cael ei llosgi gan y Mediaid a'r Persiaid; *ac i'r cenhedloedd ymddiffygio am wir wagedd*—neu ddiffygio wrth ymboeni 'yn ofer?' Y meddwl yw, y byddai i'r holl boen a gymerodd y Babiloniaid i helaethu ac addurno eu dinas, fyned yn ofer trwy y tân a gyneuid ynddi gan eu gelynion: gwel ar Jer. li. 58.

Adn. 14. *Canys y ddaear a lenwir o wybodaeth gogoniant yr Arglwydd*] Cyfeiria hyn yn benaf at ledaeniad yr hanes am ddinystr Babilon, a dymchweliad yr amherodraeth Galdeaidd, trwy yr holl wledydd, yr hyn oedd yn gysgod o ddymchweliad y Fabilon ysbrydol; a byddai i wybodaeth o fawredd, gallu, a gogoniant Jehofa ddyfod i'r amlwg trwy hyny. Ond gellir ei gymhwyso hefyd at ledaeniad cyffredinol yr efengyl dros yr holl fyd yn y dyddiau diweddaf: gwel ar Esay xi. 9. *Fel y toa y dyfroedd y môr*—sef gwaelod y môr, trwy dreiddio i bob cilfach, a llenwi pob pant.

Adn. 15. *Gwae a roddo ddiod i'w gymydog*] I'w feddwi; *er cael gweled eu noethni hwynt*—i gael rhyw fantais neu gilydd arnynt yn eu meddwdod. Ond dichon mai ymadroddion cyffelybiaethol yw y 'ddiod' a'r 'gostrel' yma, am fradwriaeth a thwyll y Caldeaid, i hudo y cenhedloedd cymydogaethol i ddinystr dan rith cyfeillgarwch.

Adn. 16. *Llanwyd di o warth yn lle gogoniant*] Trwy dy weithredoedd hyn: *ŷf dithau hefyd*—o gwpan gwin digofaint Duw; *a noethir dy flaengroen*—daw dy waith i'r amlwg; *a chwydiad gwarthus fydd ar dy ogoniant*—byddi mor ffiaidd yn ngolwg pawb a meddwyn yn ymdreiglo yn ei chwydiad ei hun.

Adn. 17. *Canys trais Libanus a'th orchuddia*] Hyny yw, ti a gospir i'r eithaf am ddinystrio o honot y *deml*, yr hon a elwir yma 'Libanus,' ebai *Grotius*, am ei bod wedi ei hadeiladu i fesur mawr a chedrwydd Libanus: gwel ar Zech. xi. 1. *Ac anrhaith yr anifeiliaid, &c.*—hyny yw, ti a gospir hefyd am it' anrheithio yr anifeiliaid, a thywallt gwaed dynion, ac yspeilio gwlad Judea, a dinas Jerusalem, a phawb ynddi: gwel ar adn. 8.

Adn. 18. *Pa les a wna i'r ddelw gerfiedig, ddarfod i'w lluniwr ei cherfio*] Yn hardd a thêg? neu pa les a wna hi iddo ef ar ol ei cherfio felly? *I'r ddelw dawdd ac athro celwydd*—sef i'r ddelw dawdd sydd yn dysgu gwagedd ac oferedd trwy ei hoffeiriaid, *fod lluniwr ei waith yn ymddiried ynddo*—sef yn y gwaith hwnw? canys nis gall addolwr y ddelw dawdd ei chadw hi, na hithau ei gadw yntau. *I wneuthur eilunod mudion*—y rhai, er fod genau iddynt, ni allant lefaru cysur i'w haddolwyr.

Adn. 19. *Gwae a ddywedo wrth bren, Deffro*] I'm gwaredu; *wrth gareg fud, Cyfod*—i roi addysg i mi. *Wele, gwisgwyd ef âg aur ac arian*—nes y mae yn eilun costfawr a hardd; *a dim anadl nid oes o'i fewn*—i beri iddo fywyd, teimlad, na symudiad tuag at ei addolwr i'w waredu.

Adn. 20. *Ond yr Arglwydd sydd yn ei deml santaidd*] Y mae Jehofa, y gwir Dduw, yn y nefoedd, lle y mae yn derbyn addoliad ei bobl, yn gwrando eu gweddiau, ac yn achub eu heneidiau. *Y ddaear oll, gostega di ger ei fron ef*—boed i holl ddynolryw wrando ar ei orchymynion gyda'r parch mwyaf, ac ufyddhau iddynt gyda'r parodrwydd llawnaf, a'i addoli ef gyda gŵylder a pharchedig ofn. Pan y byddo brenin dwyreiniol yn myned i'r

## PENNOD III.

GWEDDI Habaccuc y proffwyd,
ar Sigionoth.
2 Clywais, O Arglwydd, dy air,
*ac* ofnais: O Arglwydd, bywha dy
waith yn nghanol y blynyddoedd,
pâr wybod yn nghanol y blynydd-
oedd; yn *dy* lid cofia drugaredd.
3 Duw a ddaeth o Teman, a'r
Santaidd o fynydd Paran. Selah.
Ei ogoniant a dôdd y nefoedd, a'r
ddaear a lanwyd o'i fawl.
4 A'i lewyrch oedd fel goleuni:
*yr oedd* cyrn iddo *yn dyfod* allan o'i
law; ac yno *yr oedd* cuddiad ei
gryfder.
5 Aeth yr haint o'i flaen ef, ac
aeth marwor tanllyd allan wrth ei
draed ef.
6 Safodd, a mesurodd y ddaear:
edrychodd, a gwasgarodd y cen-
hedloedd: y mynyddoedd tra-
gwyddol hefyd a ddrylliwyd, a'r
bryniau oesol a grymasant: llwybr-
au tragwyddol *sydd* iddo.
7 Dan gystudd y gwelais wersyll-
au Cuwsan: crynodd lleni tir Mid-
ian.

---

*mosque* neu y deml ar un o'r gŵyliau arbenig, y mae y dystawrwydd mwyaf yn mhlith ei holl osgorddiu, ei lyswyr, a phawb, y rhai a ymgrymant oll yn barchus o'i flaen, heb ddywedyd un gair, na gwneuthur dim swn. Dichon mai at ryw arferiad o'r fath y cyfeirir yma.

PEN. III. Adn. 1. *Gweddi Habaccuc y proffwyd*] Y mae y gair 'gweddi' i'w ddeall yma am ddyhewyd a mawl; ac y mae y bennod oll yn emyn neu salm ddefosiynol, ar yr un cynllun a rhai o Salmau Dafydd. *Ar Sigionoth*—trwy fod y gair hwn yn arwyddo 'crwydriadau,' gall ei fod yn cyfeirio at natur grwydrol ac amrywiol y gân hon; neu, fel y tybia *Newcome*, rhyw fath o offeryn cerdd ydoedd, ar ba un y cenid hi: gwel y sylw ar deitl Salm vii.

Adn. 2. *Clywais, O Arglwydd, dy air, ac ofnais*] Sef ei fygythiad ef o ddwyn barn yn gyntaf ar yr Iuddewon, ac wedi hyny ar y Caldeaid, fel yr adroddwyd uchod. *O Arglwydd, bywha dy waith yn nghanol y blynyddoedd*—sef yn nghanol y blynyddoedd hyny o drallod ag oeddynt yn nesâu i gyfarfod â'r Iuddewon oddiwrth y Caldeaid. *Pâr wybod yn nghanol y blynyddoedd, &c.*—pâr i'th bobl wybod yn nghanol y blynyddoedd hyny dy fod di yn dy lid yn cofio trugaredd.

Adn. 3. *Duw a ddaeth o Teman, a'r Santaidd o fynydd Paran*] Y mae y proffwyd yma, i'r dyben i gadarnhau ffydd yr Iuddewon yn addewid Duw o'u gwaredigaeth hwynt o Babilon, yn coffâu iddynt rai o'r pethau mawrion a wnaethai Duw i'w tadau wrth eu dwyn o'r Aifft, a'u tywys trwy yr anialwch i wlad yr addewid. *Teman* ydoedd ran o wlad Edom, Jer. xlix. 7; a *Paran* ydoedd ran o Arabia Petræa, yn agos i fynydd Sinai, Gen. xxi. 21, Deut. xxxiii. 2. *Selah*—gwel ar Salm iii. 2. *Ei ogoniant a dôdd y nefoedd*—yr oedd arwyddion o fawredd a gogoniant Jehofa i'w canfod yn y tân a'r mwg, y mellt a'r taranau, y rhai a doent y nefoedd wybrenol ar ei ddisgyniad ef ar Sinai i gyhoeddi ei ddeddf; *a'r ddaear a lanwyd o'i fawl*—neu o'i 'lewyrch,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu. Y meddwl ond odid yw, pan ddisgynodd Duw ar Sinai i gyhoeddi ei ddeddf, fod ei ogoniant ef yn llewyrchu ac yn dysgleirio o Teman yn y dwyrain, hyd Paran yn y gorllewin.

Adn. 4. *A'i lewyrch oedd fel goleuni*] Neu, fel y mae *Green* yn ei gyfieithu, 'Ei ddysgleirdeb oedd fel dysgleirdeb yr haul.' *Yr oedd cyrn iddo yn dyfod allan o'i law*—neu belydrau o oleuni yn ymsaethu allan i bob cyfeiriad. Tybia rhai mai mellt a feddylir; a thybia ereill mai llewyrchiadau oddiwrth y presenoldeb dwyfol a olygir. *Ac yno yr oedd cuddiad ei gryfder*—trwy nad oedd dim ond rhyw ychydig o'i allu anfeidrol yn cael ei ddadlenu. Tybia rhai mai y cwmwl tew, o'r hwn yr ehedai y mellt, a feddylir yma wrth 'guddiad ei gryfder.' Neu gall mai y *goleuni llachar* oedd yn ei guddio; canys dywedir am dano ei fod 'yn gwisgo goleuni fel dilledyn,' Salm civ. 2, ac 'yn trigo yn y goleuni ni ellir dyfod ato,' 1 Tim. vi. 16.

Adn. 5. *Aeth yr haint o'i flaen ef*] Oddi odid i ddinystrio y Canaaneaid: *ac aeth marwor tanllyd allan wrth ei draed ef*—sef mellt, neu gleddyfau poethion fel tân, i'w darostwng hwynt, er mwyn i Israel gael meddiannu eu gwlad hwy. Deallir hyn yn gyffredin am ddinystr *Israel* yn yr anialwch, fel y coffeir yn Lef. x. 2, Num. xi. 1, 33, a xiv. 37, a xvi. 35, 46: ond y mae yn fwy cyson â rhediad y bennod hon, ac â'r amcan y dyfyniadau hyn, (gwel ar adn. 3,) i ni ei ddeall am ddinystr eu gelynion hwy, er na chrybwyllir yr amgylchiadau neillduol hyn gan Moses.

Adn. 6. *Safodd, a mesurodd y ddaear*] Sef gwlad Canaan, i'w rhanu hi rhwng y deuddeg llwyth; *edrychodd, a gwasgarodd y cenhedloedd*—oddiar eu ffordd hwy: *y mynyddoedd tragwyddol hefyd a ddrylliwyd, a'r bryniau oesol a grymasant*—ymadrodd barddonol prydferth, yn gosod allan symudiad yr holl rwystrau ag oeddynt ar ffordd Israel i feddiannu Canaan: *llwybrau tragwyddol sydd iddo*—y mae holl gynlluniau Duw wedi eu bwriadu er tragwyddoldeb; neu y mae ei ddaioni, ei ddoethineb, a'i allu, y rhai a ddefnyddir ac a amlygir yn llywodraethiad ei bobl, yn ddigyfnewid a thragwyddol.

Adn. 7. *Dan gystudd y gwelais wersyllau Cuwsan*] Rhan o Arabia, neu enw arall ar Midian: gwel ar Num. xii. 1. *Crynodd lleni tir Midian*—sef lleni pebyll y Midianiaid;

8 A sorodd yr Arglwydd wrth yr afonydd? ai wrth yr afonydd *y mae* dy ddig? ai wrth y môr *y mae* dy ddigofaint, gan it' farchogaeth ar dy feirch, *ac* ar gerbydau dy iachawdwriaeth?

9 Llwyr noethwyd dy fwa, *yn ol* llwon y llwythau, *sef dy* air *di.* Selah. Holltaist y ddaear âg afonydd.

10 Y mynyddoedd a'th welsant, *ac* a grynasant; y llifeiriant dwfr a aeth heibio; y dyfnder a wnaeth dwrf; cyfododd *hefyd* ei ddwylaw yn uchel.

11 Yr haul *a'r* lleuad a safodd yn eu preswylfa; wrth oleuad dy saethau yr aethant, *ac* wrth lewyrch dy waewffon ddisglaer.

12 Mewn llid y cerddaist y ddaear, a dyrnaist y cenhedloedd mewn digder.

13 Aethost allan er iachawdwriaeth i'th bobl, er iachawdwriaeth yn nghyda'th eneiniog: toraist y pen allan o dŷ yr anwir, gan ddynoethi y sylfaen hyd y gwddf. Selah.

14 Trywenaist ben ei faes-drefydd â'i ffyn ei hun; rhyferthwyasant i'm gwasgaru; ymlawenhasant, megys i fwyta y tylawd mewn dirgelwch.

15 Rhodiaist â'th feirch trwy y môr,

---

pan cryned y Midianiaid yn eu pebyll, wrth glywed am ryfedd weithredoedd Duw ar ran ei bobl, ac yn erbyn eu gelynion hwy.

Adn. 8. *A sorodd yr Arglwydd wrth yr afonydd, &c.*] Cyfeirir yma at yr hyn a wnaethai yr Arglwydd wrth y môr coch a'r Iorddonen, pan yr oeddynt ar ffordd Israel i Ganaan: *gan it' farchogaeth ar dy feirch, ac ar gerbydau dy iachawdwriaeth*—fel cadfridog yn marchogaeth o flaen ei fyddinoedd, i'w gwaredu o ddwylaw eu gelynion? Na, nid ei soriant wrth y môr a'r afonydd a barodd iddo eu hollti, eithr ei gariad at ei bobl a barodd iddo wneuthur hyn oll. Y mae y darluniad yn yr adnodau hyn yn dra barddonol a phrydferth.

Adn. 9. *Llwyr noethwyd dy fwa*] I amddiffyn Israel; *yn ol llwon y llwythau, sef dy air di*—i gyflawni dy lwon a'th addewidion i'r llwythau, o roddi gwlad Canaan iddynt. *Selah*—gwel ar Salm iii. 2. *Holltaist y ddaear âg afonydd*—y rhai a ddylifent o'r graig ar hyd yr anialwch, i ddiodi dy bobl yn eu syched: gwel ar Exod. xvii. 6, Salm cv. 41.

Adn. 10. *Y mynyddoedd a'th welsant, ac a grynasant*] Darfu i fynydd Sinai a'r bryniau amgylchynol deimlo dy bresenoldeb: *y llifeiriant dwfr a aeth heibio*—i waered i fôr y rhos, i wneyd ffordd i Israel fyned trwy yr Iorddonen i Ganaan, Jos. iii. 13, 16: *y dyfnder a wnaeth dwrf*—neu a 'ddyrchafodd ei lais;' *cyfododd hefyd ei ddwylaw yn uchel*—i ddatgan, fel pe byddai, fawredd a gallu ei Greawdwr.

Adn. 11. *Yr haul a'r lleuad a safodd yn eu preswylfa*] Wrth orchymyn Josua, pan yr oedd Israel yn ymladd â brenhinoedd yr Amoriaid, Jos. x. 12. *Wrth oleuad dy saethau yr aethant*—yn mlaen â'u rhyfeloedd; *ac wrth lewyrch dy waewffon ddysglaer*—fe allai mai yr haul a'r lleuad a elwir yma yn saethau a gwaewffon Duw, am eu bod yn gynorthwyol i Israel yn erbyn eu gelynion. Ond y mae rhai o'r beirniaid goraf yn ei ddarllen, 'Wrth eu goleuni yr aeth dy saethau, ac wrth eu llewyrch yr aeth dy waewffon ddysglaer,' neu y 'melltenai dy waewffon;' sef wrth oleuni yr haul a'r lleuad, yr hwn a barhaodd nes i Israel ddial ar eu gelynion, Jos. x. 13. Tybia rhai mai y *cenllysg* a fwriodd Duw arnynt o'r nefoedd oedd y saethau a'r gwaewffyn hyn; neu gall fod arfau *Israel* yn cael eu galw yn arfau *Duw*, am mai ymladd rhyfeloedd yr Arglwydd yr oeddynt hwy.

Adn. 12. *Mewn llid y cerddaist y ddaear*] Yr ymdeithiaist ar hyd gwlad Canaan: *a dyrnaist y cenhedloedd mewn digder*—y rhai a ryfelent yn erbyn dy bobl Israel.

Adn. 13. *Aethost allan er iachawdwriaeth i'th bobl*] Er nawdd ac amddiffyniad iddynt; *er iachawdwriaeth yn nghyda'th eneiniog*—sef gyda *Josua*, yr hwn a eneiniwyd neu a benodwyd i lenwi lle Moses fel arweinydd y bobl dan Dduw. Ond y mae rhai ysgriflyfrau Hebraig a Groeg yn darllen, 'gyda'th *rai eneiniog*,' sef yr Israeliaid, y rhai oeddynt bobl eneiniog yr Arglwydd. *Toraist y pen allan o dŷ yr anwir*—trwy roddi archoll marwol i frenhinoedd a phenaethiaid Canaan; *gan ddynoethi y sylfaen hyd y gwddf*—neu 'hyd y *graig*,' fel y mae *Green* yn ei gyfieithu; hyny yw, gan eu llwyr ddymchwelyd hwy o'r uwchaf hyd yr isaf. Ond tybia *Clarke* mai cyfeiriad sydd yma at laddedigaeth cyntafanedigion yr Aifft, y rhai oeddynt i fod yn *ben* a *sylfaen* eu gwahanol deuluoedd hwy; ac efe a'i cyfieitha, 'Archollaist y pen hyd y gwddf, yn nhŷ yr anwir, trwy ddynoethi y sylfaen.' *Selah*—gwel ar Salm iii. 2.

Adn. 14. *Trywenaist ben ei faes-drefydd â'i ffyn ei hun*] Cyfeirir yma naill ai at orchfygiad îs-frenhinoedd Canaan, y rhai a ryfelent yn erbyn Josua; neu at Pharao a chadfridogion yr Aifftiaid, y rhai a laddent eu gilydd â'u harfau eu hunain wrth geisio ffoi o'r môr coch. *Houbigant* a'i cyfieitha, 'Tydi, â'th deyrnwialen, a drywenaist ben ei dywysogion;' a *Waterland*, 'Trywenaist ben ei ryfelwyr yn mhlith ei lwythau.' *Rhyferthwyasant i'm gwasgaru*—neu 'daethant allan i'm herbyn fel corwynt.' *Ymlawenhasant, megys i fwyta y tylawd mewn dirgelwch*—i'w ddyfetha ef ar lan y môr coch, 'o flaen Pihahiroth, rhwng Migdol a'r môr,' lle na

*trwy* bentwr o ddyfroedd mawrion.
16 Pan glywais, fy mol a ddy-
chrynodd; fy ngwefusau a grynas-
ant wrth y llef: daeth pydredd i'm
hesgyrn, ac yn fy lle y crynais, fel
y gorphwyswn yn nydd trallod:
pan ddel efe i fyny at y bobl, efe a'u
dyfetha hwynt â'i fyddinoedd.
17 ¶ Er i'r ffigysbren na flodeuo,
ac na *byddo* ffrwyth ar y gwinwydd;
gwaith yr olewwydd a balla, a'r
maesydd ni roddant fwyd; torir
ymaith y praidd o'r gorlan, ac ni
*bydd* eidion yn eu beudai;
18 Eto mi a lawenychaf yn yr
Arglwydd; byddaf hyfryd yn Nuw
fy iachawdwriaeth.
19 Yr Arglwydd Dduw *yw* fy
nerth, a'm traed a wna efe fel *traed*
ewigod; ac efe a wna im' rodio ar
fy uchel-leoedd. I'r pencerdd ar
fy offer tanau.

---

byddai i neb weled eu creulondeb tuag at yr Israeliaid gweiniaid a diamddiffyn.

Adn. 15. *Rhodiaist â'th feirch trwy y môr*] Yn araf, digyffro, a llwyddiannus, yr hyn ni allodd Pharao a'i feirch ei wneuthur. Cyfeirir yma at angel Duw yn myned o flaen Israel, megys â'i feirch a'i gerbydau rhyfel fel eu cadfridog, gan eu tywys hwy yn ddiogel 'trwy bentwr o ddyfroedd mawrion,' Exod. xiv. 19, 20.

Adn. 16. *Pan glywais*] Ar ol i'r proffwyd adrodd y gweithredoedd rhyfeddol a wnaethai Duw i'w tadau, i galonogi ei frodyr trallodus, y mae yma yn troi eilwaith i adrodd yr effaith a wnaed arno trwy y datguddiad a gafodd efe o'r trychineb a ddygid ar yr Iuddewon gan y Caldeaid. *Fy mol a ddychrynodd*—fy ymysgaroedd a gynhyrfwyd gan ddychryn; *fy ngwefusau a grynasant wrth y llef*— sef wrth y datganiad o'r trallodau hyny, fel nad allwn lefaru; *daeth pydredd i'm hesgyrn*—ni allwn sefyll ar fy nhraed mwy na phe buasai fy esgyrn wedi braenu neu falurio; *ac yn fy lle y crynais*—o'm pen i'm traed; *fel y gorphwyswn yn nydd trallod*—tybia rhai mai gweddio yr oedd y proffwyd yma am gael myned i orphwys i'r bedd, neu am gael ei gymeryd i'r orphwysfa nefol, cyn i'r trallodau hyny ddisgyn ar yr Iuddewon; neu gall mai cyfeirio y mae efe at y gorphwysdra a'r diogelwch a gai efe a'i frodyr duwiol dan nawdd Duw pan ddeuai y Caldeaid i Judea, pryd y 'byddai i'r cyfiawn fyw trwy ei ffydd,' pen. ii. 4. *Pan ddel efe i fyny at y bobl*—pan ddeuai Nebuchodonosor i fyny yn erbyn yr Iuddewon; *efe a'u dyfetha hwynt â'i fyddinoedd*—gan ladd rhai, a chaethgludo y lleill.

Adn. 17. *Er i'r ffigysbren na flodeuo, &c.*] Cyfeirir yma ond odid at gyflwr Judea yn amser y caethiwed Babilonaidd, pryd y byddai y gwinllanoedd, yr olewwydd-lanau, a'r maesydd oll yn ddigynyrch, neu wedi cael eu dyfetha gan eu gelynion; a'r anifeiliaid oll wedi eu dwyn ymaith, neu wedi trengu.

Adn. 18. *Eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd*] Yn ei ras, ei ffafr, a'i ffyddlondeb yn nghanol yr holl amddifadrwydd hwn, neu yn y gobaith dedwydd y bydd iddo ef gyflawni ei addewid o ddwyn ei bobl yn ol i'w gwlad yn niwedd yr 'amser gosodedig,' pen.ii. 3. *Byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth*—neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'Yn Nuw fy IACHAWDWR;' a'r *Vulgate*, 'Yn IESU fy Nuw;' a'r *Targum*, 'Yn NGAIR yr Arglwydd,' sef y tragwyddol Air. Fel pe dywedasai, Os nad allaf sugno dedwyddwch o'r ddaear, mi a'i sugnaf o'r nef; os na chaf hyfrydwch mewn defaid ac eidionau a ffrwythau y ddaear, mi a ymhyfrydaf yn Nuw a'i iachawdwriaeth, sef mewn cysuron ysbrydol, ac yn y rhagolwg ar ddedwyddwch tragwyddol.

Adn. 19. *Yr Arglwydd Dduw yw fy nerth*] Dan bob trallod a'm cyferfydd; *a'm traed a wna efe fel traed ewigod*—efe a'm galluoga i redeg yn gyflym ar ei ol dros y creigiau a'r clogwyni mwyaf serth: gwel ar Salm xviii. 32, 33. *Ac efe a wna im' rodio ar fy uchel-leoedd*—sef mewn mwynhad o lawenydd a hyfrydwch goruchel. Nis gall fod hyn yn cyfeirio at ei ddychweliad ef o Babilon i wlad fynyddig Judea yn niwedd y 70 mlynedd, fel y tybia rhai, am nad allai efe obeithio cael byw cyhyd a hyny. *I'r pencerdd ar fy offer tanau*—Hebr., 'i'r *neginoth*:' gwel y sylw ar deitl Salm iv. Fel hyn efe a gyflwynai y gân ardderchog hon i'r pencerddor, i'w chanu yn ngwasanaeth y deml âg offerynau cerdd.

---

# LLYFR Y PROFFWYD ZEPHANIAH.

---

TYBIA Epiphanius fod y proffwyd hwn o lwyth *Simeon*, ac o deulu anrhydeddus. Yr oedd ef yn proffwydo yn amser *Josiah* brenin Juda, pen. i. 1, ac felly yn cydoesi â *Jeremi*. Ymddengys oddiwrth y darluniad a ddyry efe o gyflwr llygredig yr Iuddewon, ei fod yn proffwydo naill ai cyn y diwygiad a wnaed gan Josiah yn y *ddeunawfed* flwyddyn o'i deyrnasiad, 2 Bren. xxii. 3; neu ynte tua diwedd ei deyrnasiad ef, pryd yr oedd crefydd wedi adfeilio yn fawr iawn; rywbryd rhwng y blynyddoedd 641 a 610 cyn Crist.—Y mae y proffwyd yma, (1) Yn rhagfynegu barnau Duw ar yr Iuddewon o herwydd eu pechodau, pen. i. (2) Yn galw arnynt

[illegible] pen. ii. 1—3. (3) Yn cyhoeddi barn ar y Philistiaid, y Moabiaid, yr Ammoniaid, yr Ethiopiaid, a'r Assyriaid, pen. ii. 4—15. (4) Yn cyhoeddi gwae yn erbyn Jerusalem, pen. iii. 1—7. (5) Yn annog yr [illegible] i ddysgwyl am adferiad, ac i lawenychu yn y [illegible] ar eu [illegible], pen. iii. 8—20.

---

## PENNOD I.

GAIR yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Zephaniah fab Cusi, fab Gedaliah, fab Amariah, fab Hezeciah, yn amser Josiah fab Amon brenin Juda.

2 Gan ddystrywio y dystrywiaf bob dim oddiar wyneb y ddaear, medd yr Arglwydd.

3 Dystrywiaf ddyn ac anifel; dystrywiaf adar yr awyr, a physgod y môr; a'r tramgwyddiadau yn nghyda'r annuwiolion; a thoraf ymaith ddyn oddiar wyneb y ddaear, medd yr Arglwydd.

4 Estynaf hefyd fy llaw ar Juda, ac ar holl breswylwyr Jerusalem; a thoraf ymaith o'r lle hwn weddill Baal, *ac* enw y Cemariaid a'r offeiriaid;

5 A'r neb a ymgrymant ar benau y tai i lu y nefoedd; a'r addolwyr y rhai a dyngant i'r Arglwydd, a hefyd a dyngant i Malcham;

6 A'r rhai a giliant oddiar ol yr Arglwydd; a'r *rhai* ni cheisiasant yr Arglwydd, ac nid ymofynasant am dnao.

7 Dystawa gerbron yr Arglwydd Dduw: canys agos *yw* dydd yr Arglwydd: o herwydd arlwyodd yr Arglwydd aberth, gwahoddodd ei wahoddedigion.

8 A bydd, ar ddydd aberth yr Arglwydd, i mi ymweled â'r tywysogion, ac â phlant y brenin, ac â phawb a wisgant wisgoedd dyeithr.

9 Ymwelaf hefyd â phawb a neidiant ar y rhiniog y dydd hwnw, y sawl a lanwant dai eu meistr â thrais ac *â* thwyll.

---

PEN. I. Adn. 1. *Gair yr Arglwydd yr hwn a ddaeth at Zephaniah*] Neu y datguddiad dwyfol a wnaed iddo ef. *Fab Cusi, &c.*—os nad oedd y rhai hyn yn broffwydi, fel y tybia y doctoriaid Iuddewig eu bod, eto gallwn feddwl eu bod yn wŷr anrhydeddus, a thra adnabyddus yn Judea. *Yn amser Josiah*—gwel y rhagarweiniad uchod.

Adn. 2. *Gan ddystrywio y dystrywiaf bob dim oddiar wyneb y ddaear*] Sef o wlad Judea, a hyny trwy ryfel, newyn, a haint.

Adn. 3. *Dystrywiaf ddyn ac anifel*] Yn nghydag adar y nefoedd a physgod y môr. Y mae yn hysbys, fel y sylwa *Newcome*, fod adar yn dyoddef oddiwrth heintiau yn codi oddiwrth gelaneddau braenedig; a hwy a syrthiant yn feirw pan ddisgynant ar ddilledyn wedi ei lygru gan y pla. Sonia *Virgil* hefyd am heintiau yn lladd pysgod y môr ac adar y nefoedd. *A'r tramgwyddiadau*—neu yr eilunod, y rhai a barent i'r bobl dramgwyddo; *yn nghyda'r annuwiolion*—sef eu hoffeiriaid a'u haddolwyr hwynt. *A thoraf ymaith ddyn oddiar wyneb y ddaear*—sef holl drigolion Judea.

Adn. 4. *Estynaf hefyd fy llaw ar Juda*] Fel y gwnaethym ar Israel; *ac ar holl breswylwyr Jerusalem*—y rhai sydd wedi ymlygru trwy eilunod: *a thoraf ymaith o'r lle hwn weddill Baal*—sef ei demlau a'i allorau yn Jerusalem; *ac enw y Cemariaid*—sef yr offeiriaid eilunaddolgar hyny a wisgent *ddillad duon* wrth losgi plant i Moloch, er mwyn bod yn wahanol i offeiriaid yr Arglwydd, y rhai a wisgent ddillad gwŷnion; *a'r offeiriaid*—sef offeiriaid eilunaddolgar o lwyth Lefi.

Adn. 5. *A'r neb a ymgrymant ar benau y tai i lu y nefoedd*] I'r haul, y lloer, a'r ser, Jer. xix. 13; *a'r addolwyr y rhai a dyngant i'r Arglwydd, a hefyd a dyngant i Malcham*—neu Moloch, gan gymysgu addoliad eilunod âg addoliad y gwir Dduw.

Adn. 6. *A'r rhai a giliant oddiar ol yr Arglwydd*] I fyned ar ol eilunod yn unig; *a'r rhai ni cheisiasant yr Arglwydd*—ond a ydynt yn byw heb unrhyw deimlad o grefydd, ac 'heb Dduw yn y byd.' Torid ymaith yr holl rai hyn gan farnedigaethau Duw.

Adn. 7. *Dystawa gerbron yr Arglwydd Dduw*] Ymostwng yn ddirwgnach i'w geryddon cyfiawn ef; *canys agos yw dydd yr Arglwydd*—pryd y tywallta efe ei farnedigaethau ar y wlad: *o herwydd arlwyodd yr Arglwydd aberth*—sef celanedd yr annuwiolion; *gwahoddodd ei wahoddedigion*—sef bwystfilod ac adar ysglyfaethus, i wledda ar yr aberth hwnw; neu y Babiloniaid, y rhai a'u haberthent hwy.

Adn. 8. *A bydd, ar ddydd aberth yr Arglwydd, i mi ymweled â'r tywysogion*] I'w cospi hwy; *ac â phlant y brenin*—yr hyn a gyflawnwyd, 2 Bren. xxv. 7, 21; *ac â phawb a wisgant wisgoedd dyeithr*—fel y gwneid yn addoliad eu gwahanol eilunod, pryd y gwisgai y meibion ddillad merched, a'r merched ddillad meibion: gwel ar Deut. xxii. 5.

Adn. 9. *Ymwelaf hefyd â phawb a neidiant ar y rhiniog*] Neu '*dros y rhiniog*,' yn

10 A'r dydd hwnw, medd yr Arglwydd, *y bydd* llais gwaedd o borth y pysgod, ac udfa o'r ail, a dryllia*d* mawr o'r bryniau.

11 Udwch, breswylwyr Mactes: canys torwyd ymaith yr holl bobl o farchnadyddion; a holl gludwyr arian a dorwyd ymaith.

12 A'r amser hwnw y chwiliaf Jerusalem â llusernau, ac yr ymwelaf â'r dynion sydd yn ceulo ar eu sorod; y rhai a ddywedant yn eu calon, Ni wna yr Arglwydd dda, ac ni wna ddrwg.

13 Am hyny eu cyfoeth a â yn yspail, a'u teiau yn annghyfanedd: adeiladant hefyd dai, ond nis preswyliant *ynddynt*; a phlanant winllanoedd, ond nid yfant o'r gwin.

14 Agos *yw* mawr ddydd yr Arglwydd, agos a phrysur iawn, *sef* llais dydd yr Arglwydd: yno y bloeddia y dewr yn chwerw.

15 Diwrnod llidiog *yw* y diwrnod hwnw, diwrnod trallod a chyfyngdra, diwrnod dinystr ac annghyfanedd-dra, diwrnod tywyll a dû, diwrnod cymylau a thywyllni.

16 Diwrnod udgorn a larwm yn erbyn y dinasoedd caerog, ac yn erbyn y tyrau uchel.

17 A mi a gyfyngaf ar ddynion, a hwy a rodiant megys deillion, am bechu o honynt yn erbyn yr Arglwydd; a'u gwaed a dywelltir fel llwch, a'u cnawd fel dom.

18 Nid eu harian na'u haur *chwaith* a ddichon eu hachub hwynt

---

ol defod y Philistiaid eilunaddolgar, 1 Sam. v. 5. Ond tybia rhai mai cyfeiriad sydd yma at rai yn myned i dai eu cymydogion, trwy bennodiad y barnwyr annghyfiawn, i attafaelu eu meddiannau hwy; ac ymddengys fod y geiriau nesaf yn pleidio y golygiad hwn. *Y sawl a lanwant dai eu meistr â thrais ac â thwyll*—sef âg eiddo wedi ei attafaelu trwy orthrech ac annghyfiawnder.

Adn. 10. *A'r dydd hwnw—y bydd llais gwaedd o borth y pysgod*] Gwel ar Neh. iii. 3: *ac udfa o'r ail*—borth, trwy y rhai ond odid y deuai y Caldeaid i mewn i Jerusalem; *a drylliad mawr o'r bryniau*—gan y milwyr a ruthrent i lawr o'r bryniau.

Adn. 11. *Udwch, breswylwyr Mactes*] Neu 'breswylwyr y ddinas isaf,' fel y mae *Newcome* yn ei gyfieithu, gan ei ddeall am y glỳn yn Jerusalem, yr hwn a wahanai rhwng y ddinas uwchaf a'r isaf: *canys torwyd ymaith yr holl bobl o farchnadyddion*—y rhai a drigent yno; *a holl gludwyr arian*—neu gyfr[illegible] arian, sef y dosbarth cyfoethocaf.

Adn. 12. *A'r amser hwnw y chwiliaf Jerusalem â llusernau*] I ddwyn i'r amlwg ei pechodau mwyaf cuddiedig, a'u cospi; *ac yr ymwelaf â'r dynion sydd yn ceulo ar eu sorod*—gan fyw yn ddiraw a difater yn [illegible] esmwythyd a digon[illegible]: gwel ar Jer. xlviii. 11, Amos vi. 1. *Y rhai a ddywedant yn eu calon*—os nid mewn geiriau. *Ni wna yr Arglwydd dda, ac ni wna ddrwg*—i neb. Fel hyn gwadent gyfryngiad rhagluniaeth Duw yn achosion y byd hwn; a thra y credent yn ei fodolaeth ef, tybient fod islaw i'w urddas iddo ymyraeth âg amgylchiadau dynion meidrol.

Adn. 13. *Am hyny eu cyfoeth a â yn yspail, &c.*] Bydd i'w gelynion eu hyspeilio o'u meddiannau, a'u troi allan o'u tai, fel na chaint breswylio yn y tai a adeiladasant, nac yfed gwin o'r gwinllanoedd a blanasant; ac felly caent wybod 'fod Duw a farna ar y ddaear.'

Adn. 14. *Agos yw mawr ddydd yr Arglwydd*] Yn yr hwn y gwna efe bethau mawrion; *agos a phrysur iawn*—canys dechreuodd gyda marwolaeth y brenin duwiol Josiah yn Megido trwy ddwylaw Pharao-Necho, a pharhaodd hyd ddinystr Jerusalem gan Nebuchodonosor; *sef llais dydd yr Arglwydd*—pryd y bloeddiai y Caldeaid wrth ruthro ar y ddinas, a'r Iuddewon yn chwerw wrth gael eu gorchfygu ganddynt.

Adn. 15. *Diwrnod llidiog yw y diwrnod hwnw*] Pryd yr amlygir llid yr Arglwydd yn erbyn cenedl wrthryfelgar trwy luoedd creulon a llidiog y Caldeaid; *diwrnod trallod a chyfyngdra*—ar bob gradd o'r trigolion, heb neb yn tosturio wrthynt; *diwrnod dinystr ac annghyfanedd-dra*—yn yr hwn y dryllir ac y llosgir y ddinas a'r deml; *diwrnod tywyll a dû*—llawn o ing, dychryn, a marwolaeth; *diwrnod cymylau a thywyllni*—yn yr hwn y bydd i fwg y ddinas gyfodi yn gymylau i'r awyr, a thywyllu yr ŵybren.

Adn. 16. *Diwrnod udgorn a larwm*] Pryd y bydd i udgorn Duw alw y Caldeaid yn mlaen, ac i udgorn y Caldeaid alw eu byddinoedd yn nghyd, ac i'r milwyr roddi larwm a bloedd wrth ruthro ar y dinasoedd caerog, ac yn erbyn y tyrau uchel; a phryd y bydd i ysgrechfeydd a griddfanau y clwyfedigion trengawl fod cyfuwch a hwythau! Y mae yn anmhosibl rhoddi darluniad cryfach o erchylldra rhyfel nag a geir yn y ddwy adnod hyn.

Adn. 17. *A mi a gyfyngaf ar ddynion*] Dygaf hwynt i'r fath gyfyngder, am bechu o honynt yn fy erbyn, fel na wyddant i ba le i fyned mwy na phe byddent ddeillion: gwel ar Deut. xxviii. 29, Esay lix. 10. *A'u gwaed a dywelltir fel llwch*—i gymysgu â'r llwch, neu tywelltir ef mor ddibris a phe byddai lwch; *a'u cnawd fel dom*—i'w sathru dan draed fel dom yr heolydd, neu i bydru yn domenau ar wyneb y ddaear.

Adn. 18. *Nid eu harian na'u haur chwaith a ddichon eu hachub*] Yr oedd eu haur a'u harian wedi llwyddo i droi y gelynion oddi wrth y ddinas cyn hyn, 2 Bren. xviii. 14—16;

ar ddiwrnod llid yr Arglwydd; ond
â thân ei eiddigedd ef yr ysir yr
holl dir: canys gwna yr *Arglwydd*
ddyben prysur ar holl breswylwyr
y ddaear.

## PENNOD II.

YMGESGLWCH, ïe deuwch yn
nghyd, genedl anhawddgar;
2 Cyn i'r ddeddf esgor, *cyn* i'r
dydd fyned heibio fel peiswyn, cyn
dyfod arnoch lid digofaint yr Ar-
glwydd, cyn dyfod arnoch ddydd
soriant yr Arglwydd.
3 Ceisiwch yr Arglwydd holl rai
llariaidd y ddaear, y rhai a wnaeth-
ant ei farn ef; ceisiwch gyfiawnder,
ceisiwch larieidd-dra: fe allai y
cuddir chwi yn nydd digofaint yr
Arglwydd.
4 ¶ Canys bydd Gaza yn wrthod-
edig, ac Ascelon yn annghyfanedd:
gyrant allan Asdod hanner dydd, a
diwreiddir Ecron.
5 Gwae breswylwyr glàn y môr,
cenedl y Cerethiaid; *y mae gair* yr
Arglwydd i'ch erbyn: O Canaan,
gwlad y Philistiaid, mi a'th ddy-
fethaf, fel na byddo cyfanneddwr.
6 A bydd glàn y môr yn drigfäau
*ac* yn fythod i fugeiliaid, ac yn gor-
lanau defaid
7 A bydd y fro yn rhan i weddill
tŷ Juda; porant arnynt: yn nhai
Ascelon y gorweddant yn yr hwyr:
canys yr Arglwydd eu Duw a ym-
wêl â hwynt, ac a ddychwel eu
caethiwed.
8 ¶ Clywais waradwyddiad Moab,
a chabledd meibion Ammon, â'r
hwn y gwaradwyddasant fy mhobl,
ac yr *ym*-fawrygasant yn erbyn eu
terfynau hwynt.
9 Am hyny *fel mai* byw fi, medd

---

eithr ni thyciai y rhai hyny iddynt ar ddiwrnod llid yr Arglwydd. *Ond â thân ei eiddigedd ef*—yr hwn a gyneuwyd trwy eu godineb ysbrydol hwy, neu eu heilunaddoliaeth, *yr ysir yr holl dir*—sef holl wlad Judea: *canys gwna yr Arglwydd ddyben prysur*—o'r diwedd, er iddo hir oedi, *ar holl breswylwyr y ddaear*—sef ar holl drigolion *Judea*, fel yr arwydda y gair yn fynych.

PEN. II. Adn. 1. *Ymgesglwch, ïe deuwch yn nghyd*] I ymostwng gerbron yr Arglwydd mewn ympryd a gweddi; *genedl anhawddgar*—yn ngolwg Duw a dynion da: neu, fel y mae rhai yn ei chyfieithu, 'Ymnithiwch;' hyny yw, symudwch yr ûs oddiwrth y gwenith, cyn i farn Duw syrthio arnoch.

Adn. 2. *Cyn i'r ddeddf esgor*] Ar ei melldithion i'ch erbyn; *cyn i'r dydd fyned heibio fel peiswyn*—cyn i'r tymhor i edifarhau fyned heibio, pryd y chwelir chwi fel peiswyn o flaen corwynt; *cyn dyfod arnoch lid digofaint yr Arglwydd*—pryd y bydd yn rhy ddiweddar i edifarhau. Gwyddai y proffwyd fod modd i symud ymaith y farn trwy iddynt edifarhau ac ymddiwygio, ac efe a geisia ganddynt wneuthur hyny.

Adn. 3. *Ceisiwch yr Arglwydd, holl rai llariaidd y ddaear*] Hyn a ddywedir wrth yr ychydig dduwiolion ag oeddynt eto yn Jerusalem a Judea; *y rhai a wnaethant ei farn ef*—y rhai a ufyddhasant i'w ddeddfau, ac a wnaethant ei ewyllys. *Ceisiwch gyfiawnder, ceisiwch larieidd-dra*—hyny yw, parhewch i'w ceisio, gan ymlynu wrth addoliad Duw, a chynyddu mewn rhinwedd a duwioldeb. *Fe allai y cuddir chwi yn nydd digofaint yr Arglwydd*—yn nghanol yr holl drallodau a ddisgynant ar y genedl. Ond os na chedwid hwy rhag marwolaeth dymhorol, efe a wyddai yn sicr y cedwid hwy rhag marwolaeth dragwyddol.

Adn. 4. *Canys bydd Gaza yn wrthodedig, ac Ascelon, &c.*] Y rhai hyn oeddynt ddinasoedd y Philistiaid ar gyffiniau Judea; a dyben y proffwyd wrth son am ddinystr y rhai hyn, oedd dangos i'r Iuddewon na fyddai ganddynt un lle ddiogel i ddianc iddo, trwy y byddai i'r holl ddinasoedd cymydogaethol syrthio i'r un dinystr a hwythau: gwel ar Jer. xxv. 20, a xlvii. 1—7, Amos i. 6—8.

Adn. 5. *Gwae breswylwyr glàn y môr*] Sef y Philistiaid, y rhai a breswylient ar lan Môr-y-canoldir; *cenedl y Cerethiaid*—sef 'milwyr' y Philistiaid, fel y tybia rhai, Ezec. xxv. 16: ond y LXX a'i darllenant, 'dyeithriaid o'r *Cretiaid*,' neu rai wedi ymfudo yno o Creta. *Y mae gair yr Arglwydd i'ch erbyn*—i'ch dyfetha yn llwyr o herwydd eich pechodau. *O Canaan, gwlad y Philistiaid*—yr oedd y Canaaneaid, a elwid yn briodol felly, yr un a'r Philistiaid, ac yn trigiannu yn y rhan hòno o Palestina: gwel Jos. xiii. 3.

Adn. 6. *A bydd glàn y môr yn drigfäau ac yn fythod i fugeiliaid*] Wedi i'w marsiandwyr cyfoethog gael eu caethgludo, neu eu gyru oddiyno gan drallodau yr amserau.

Adn. 7. *A bydd y fro yn rhan i weddill tŷ Juda*] Ar ol iddynt ddychwelyd o'u caethiwed; *porant arnynt*—pawr eu deadellau arnynt y dydd, y rhai a orweddant y nos yn adfeilion tai Ascelon. *Canys yr Arglwydd eu Duw a ymwêl â hwynt, ac a ddychwel eu caethiwed*—cyfeiria hyn, fel y meddylir, at ddyddiau yr efengyl.

Adn. 8. *Clywais waradwyddiad Moab, a chabledd meibion Ammon*] Yn erbyn fy mhobl Israel o bryd i bryd: gwel ar Amos i. 13—15. *Ymfawrygasant yn erbyn eu terfynau hwynt*—gan chwennych eu meddiannau: gwel ar Jer. xlix. 1, &c.

Arglwydd y lluoedd, Duw Israel,
Fel Sodom y bydd Moab, a meibion
Ammon fel Gomorra: danadl-dir,
a phyllau halen, ac annghyfaneddle
tragwyddol: gweddill fy mhobl a'u
difroda, a gweddill fy nghenedl a'u
meddianna hwynt.
10 Hyn a ddaw iddynt am eu
balchder, am iddynt waradwyddo
ac *ym*-fawrygu yn erbyn pobl Ar-
glwydd y lluoedd.
11 Ofnadwy *a fydd* yr Arglwydd
iddynt: canys efe a newyna holl
dduwiau y ddaear; ac addolant ef
bob un o'i fan, *sef* holl ynysoedd y
cenhedloedd.
12 ¶ Chwithau hefyd, yr Ethiop-
iaid, a leddir â'm cleddyf.
13 Ac efe a estyn ei law yn erbyn
y gogledd, ac a ddyfetha Assyria,
ac a wna Ninefe yn annghyfanedd,
*ac* yn sych fel diffaethwch.
14 A deadellau a orweddant yn ei
chanol hi, holl anifeiliaid y cenhedl-
oedd: y pelican a'r dylluan hefyd a
letyant ar gap y drws; *eu* llais a
gân yn y ffenestri, annghyfanedd-
dra *a fydd* yn y gorsingau: canys
efe a ddynoetha y cedr-waith.
15 Hon *yw* y ddinas hoew oedd
yn trigo yn ddiofal, yn dywedyd yn
ei chalon, Myfi *sydd*, ac nid *oes* ond
myfi: pa fodd yr aeth yn annghy-
fanedd, yn orweddfa anifeiliaid!
pawb a'r a êl heibio iddi a'i hwtia,
*ac* a ysgwyd ei law *arni*.

PENNOD III.

GWAE y fudr a'r halogedig, y ddinas orthrymus.

Adn. 9. *Fel Sodom y bydd Moab, a meibion Ammon fel Gomorra*] Ymadroddion diarebol, yn arwyddo eu llwyr ddinystr hwy: *danadl-dir, a phyllau halen, ac annghyfaneddle tragwyddol*—byddant yn anialwch diffrwyth am byth, fel glànau y môr heli: *gweddill fy mhobl a'u difroda*—yr hyn a gyflawnwyd gan Judas Maccabeus a'i frodyr, 1 Mac. v. 6, 7; *a gweddill fy nghenedl a'u meddianna hwynt*—tybia *Lowth* ac ereill mai ar ddychweliad cyffredinol yr Iuddewon llwyr gyflawnir yr addewid hon.

Adn. 10. *Hyn a ddaw iddynt am eu balchder, &c.*] Gwel ar adn. 8, ac hefyd ar Esay xv. 1—9, a xvi. 6, &c., Jer. xlviii. 1—29, Ezec. xxv. 8—11.

Adn. 11. *Ofnadwy a fydd yr Arglwydd iddynt*] Yn ei farnedigaethau: *canys efe a newyna holl dduwiau y ddaear*—trwy eu hamddifadu o'u hebyrth, sef o'u bwyd-offrymau, a'u diod-offrymau. *Ac addolant ef bob un o'i fan*—hyny yw, bydd i'r holl genhedloedd addoli Jehofa yn unig, a hyny yn y wlad lle y byddant yn preswylio. Cyflawnwyd hyn mewn rhan trwy bregethiad yr efengyl yn nechread Cristionogaeth, ac fe'i cyflawnir yn llwyrach yn amser y milflwyddiant.

Adn. 12. *Chwithau hefyd, yr Ethiopiaid, a leddir â'm cleddyf*] Yr hyn a wnaed â chleddyf Nebuchodonosor, pan y daethant i gynorthwyo yr Aifftiaid: gwel ar Jer. xlvi. 2, 9, Ezec. xxx. 4—10, Amos ix. 7.

Adn. 13. *Ac efe a estyn ei law yn erbyn y gogledd*] Felly y gelwir gwlad Assyria, fel y gwelsom yn fynych. Nid yn unig cospid y gwledydd deheuol, ond byddai i gyfiawnder dwyfol dywallt ei farnedigaethau ar y gwledydd gogleddol hefyd. *Ac a ddyfetha Assyria*—sef holl ymherodraeth Assyria: *ac a wna Ninefe yn annghyfanedd*—sef prifddinas yr ymherodraeth hono.

Adn. 14. *A deadellau a orweddant yn ei chanol hi, &c.*] Sef pob math o greaduriaid gwâr a gwyllt a geid yn y gwledydd hyny. *Y pelican a'r dylluan hefyd a letyant ar gap y drws*—trwy fod y trigolion wedi ffoi, neu wedi cael eu dyfetha: *eu llais a gân yn y ffenestri* — o'r rhai y cymerasant feddiant tawel; *annghyfanedd-dra a fydd yn y gorsingau*—trwy na fydd i neb fyned i mewn dros y trothwy mwyach: *canys efe a ddynoetha y cedr-waith*—bydd i Dduw ddarostwng tai Ninefe i'r fath gyflwr o adfeiliad, nes y bydd y byrddau cedrwydd, â pha rai y cawsant eu hadeiladu neu eu haddurno, yn agored i ruthr y tywydd, ac i adar nythu arnynt: gwel ar Esay xxxiv. 11—17.

Adn. 15. *Hon yw y ddinas hoew oedd yn trigo yn ddiofal*] Hyn a ddywedid gan y rhai a aent heibio ar ol ei hanrheithio hi; *yn dywedyd yn ei chalon, Myfi sydd*—yn arglwyddes ar bawb: *ac nid oes ond myfi*—gwel ar Esay xlvii. 8, lle y ceir Babilon yn arferyd yr un geiriau chwyddedig. *Pa fodd yr aeth yn annghyfanedd, yn orweddfa anifeiliaid*—ar ol y fath ymffrost! *Pawb a'r a êl heibio iddi a'i hwtia*—fel dinas dan felldith Duw: *ac a ysgwyd ei law arni*—gan gyfeirio ati fel cofgolofn dragwyddol o anfoddlonrwydd cyfiawn yr Hollalluog: gwel y sylwadau ar lyfrau Jonah a Nahum.

PEN. III. Adn. 1. *Gwae y fudr a'r halogedig*] Sef Jerusalem, yr hon a'i gwnaethai ei hun yn aflan a ffiaidd trwy ei hamrywiol bechodau; *y ddinas orthrymus*—yr hon a orthrymai y tylawd a'r amddifad. Tybia *Gill* mai darluniad yw hyn o Jerusalem ar ol i'r Iuddewon ddyfod o Babilon, neu yn amser Crist a'i apostolion.

Adn. 2. *Ni wrandawodd ar y llef*] Sef llef yr Arglwydd trwy ei broffwydi: *ni dderbyniodd gerydd*—neu lesâd trwy ei gheryddu; *nid ymddiriedodd yn yr Arglwydd*—yn ei allu, ei ddaioni, a'i ffyddlondeb ef; *ni nesaodd*

2 Ni wrandawodd ar y llef, ni
dderbyniodd gerydd; nid ymddir-
iedodd yn yr Arglwydd, ni nesaodd
at ei Duw.
3 Ei thywysogion o'i mewn *sydd*
yn llewod rhuadwy; ei barnwyr yn
fleiddiau yr hwyr, ni adawant as-
gwrn erbyn y bore.
4 Ei phroffwydi *sydd* ysgafn, yn
wŷr anffyddlon: ei hoffeiriaid a
halogasant y cysegr, treisiasant y
gyfraith.
5 Yr Arglwydd cyfiawn *sydd* yn
ei chanol; ni wna efe anwiredd:
yn fore y dwg ei farn i oleuni, ni
phalla; ond yr anwir ni fedr gywil-
yddio.
6 Torais ymaith y cenhedloedd:
eu tyrau sydd anghyfanedd; di-
ffaethiais eu heolydd, fel nad elo
neb heibio; eu dinasoedd a ddifwyn-
wyd, heb ŵr, a heb drigiannol.
7 Dywedais, Yn ddiau ti a'm
hofni; derbyni gerydd: felly ei
thrigfa ni thorid ymaith, pa fodd
bynag yr ymwelais â hi: eto bore-
godasant, *a* llygrasant eu holl
weithredoedd.
8 ¶ Am hyny y dysgwyliwch ar-
naf fi, medd yr Arglwydd, hyd y
dydd y cyfodwyf i'r ysglyfaeth:
canys fy marn *sydd* ar gynull y cen-
hedloedd, ar gasglu y teyrnasoedd,
i dywallt arnynt fy llid, holl ang-
erdd fy nigofaint: canys â thân fy
eiddigedd yr ysir yr holl ddaear.
9 O herwydd yna yr adferaf i'r
bobl wefus bur, fel y galwo pob un

---

*at ei Duw*—mewn ymostyngiad a gweddi.

Adn. 3. *Ei thywysogion o'i mewn sydd yn llewod rhuadwy*] Yn ysglyfaethu y cwbl o'u blaen; *ei barnwyr yn fleiddiau yr hwyr*—mor wancus a'r *hyena*, Hab. i. 8; *ni adawant asgwrn erbyn y bore*—ond llyncant y cig a'r esgyrn cyn gynted ag y daliant eu hysglyfaeth.

Adn. 4. *Ei phroffwydi sydd ysgafn, yn wŷr anffyddlon*] Sef ei gau-broffwydi, y rhai oeddynt gellweirus a balch, a diofal am les y bobl: *ei hoffeiriaid a halogasant y cysegr*—trwy eu camweddau; *treisiasant y gyfraith*—trwy roddi camystyr iddi: gwel ar Ezec. xxii. 26.

Adn. 5. *Yr Arglwydd cyfiawn sydd yn ei chanol*] Yn canfod hyn oll; *ni wna efe anwiredd*—trwy adael i'w hanwiredd hwy ddianc yn ddigosp. *Yn fore y dwg ei farn oleuni*—trwy ddial ar y troseddwyr hyn: *ni phalla*—wneuthur hyny: *ond yr anwir ni fedr gywilyddio*—er gweled o hono siamaplau beunyddiol o farn Duw ar rai cyffelyb iddo ei hun.

Adn. 6. *Torais ymaith y cenhedloedd*] Megys yr hen Ganaaneaid, y Syriaid, ac Israel, a'r rhai y cyfeirir atynt Esay xxxvi. 18—20: *eu tyrau sydd annghyfanedd*—sef eu cestyll a'u dinasoedd, y rhai a ddifwynwyd ac a ddiboblogwyd.

Adn. 7. *Dywedais*] Yn ngwyneb hyn, *Yn ddiau ti a'm hofni*—bellach; *derbyni gerydd*—Saes., 'derbyni *addysg*,' yr hyn y gallesid dysgwyl yn naturiol iddi ei wneuthur ar ol yr holl rybyddion uchod. *Felly ei thrigfa ni thorid ymaith*—fel y torwyd y dinasoedd uchod ymaith, ond cawsai Jerusalem a'i thrigolion eu harbed. *Pa fodd bynag yr ymwelais â hi*—neu 'pa fodd bynag y cospais *hwynt*,' sef y cenhedloedd uchod, fel y mae rhai yn ei ddarllen; *eto bore-godasant*—i wneuthur drygioni; *a llygrasant eu holl weithredoedd*—gan gynyddu fwyfwy yn mhob llygredigaeth ac annuwioldeb.

Adn. 8. *Am hyny*] Neu '*er* hyny,' *dysgwyliwch arnaf fi*—neu 'wrthyf fi,' am gyflawniad fy *addewidion* o adferu y genedl o Babilon, ac i'm ffafr yn oesoedd diweddaf y byd; ac hefyd am gyflawniad o'm *bygythion* yn erbyn gelynion fy mhobl; *hyd y dydd y cyfodwyf i'r ysglyfaeth*—i ysglyfaethu y wlad trwy y Caldeaid, fel ei deallir yn gyffredin; er y tybia rhai mai at ddinystr olaf Jerusalem gan y Rhufeiniaid y cyfeirir yma. *Canys fy marn*—Saes., 'fy mhenderfyniad,' *sydd ar gynull y cenhedloedd, ar gasglu y teyrnasoedd*—ag sydd mewn cynghrair â'r Caldeaid neu y Rhufeiniaid, neu dan deyrnged iddynt hwy; *i dywallt arnynt fy llid*—sef ar yr Iuddewon cyndyn ac anufydd trwy offerynoliaeth y cenhedloedd hyn, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu ar y cenhedloedd a'r teyrnasoedd hyny eu hunain, fel y mae ereill yn ei ddeall: *canys â thân fy eiddigedd yr ysir yr holl ddaear*—sef gwlad Judea, yn ol y golygiad cyntaf; neu, yn ol y golygiad olaf, gellir ei ddeall am ddinystr gelynion eglwys Dduw trwy yr holl fyd. Tybia *Lowth* y gellir deall hyn am yr un gwysiad cyffredinol ag y sonia Joel am dano, trwy yr hwn y cesglir yr holl genhedloedd i 'ddyffryn Jehosaphat:' gwel ar Joel iii. 2, 12.

Adn. 9. *O herwydd yna*] Neu 'wedi hyny,' *yr adferaf i'r bobl wefus bur*—neu addoliad pur, cynwysedig o fawl a gweddi. 'Ymddengys fod *saphah berurah* yn meddwl yma *ffurf o addoliad crefyddol.* Yr oeddynt wedi bod o'r blaen yn *eilunaddolwyr:* yn awr addawa Duw adferu ei *bur addoliad* yn eu plith.'—Clarke. 'Ymddengys fod yr addewid hon yn cyfeirio yn mlaenaf at y caethion Iuddewig yn Babilon, ac yn cynwys y byddai i Dduw trwy y caethiwed, a ffyrdd ereill ei ragluniaeth, eu diwygio a'u diddyfnu hwy yn y fath fodd oddiwrth eu heilunaddoliaeth a'u pechodau ereill, fel ag y byddai iddynt, ar eu dychweliad i'w gwlad eu hunain, gyduno oll i'w foliannu ef âg un meddwl ac

o honynt ar enw yr Arglwydd, i'w
wasanaethu ef âg un ysgwydd.
10 O'r tuhwnt i afonydd Ethiopia
y dwg fy ngweddiwyr, *sef* merch fy
ngwasgaredig, fy offrwm.
11 Y dydd hwnw ni'th warad-
wyddir am dy holl weithredoedd,
yn y rhai y pechaist i'm herbyn:
canys yna y symudaf o'th blith y
neb fydd yn hyfryd ganddynt dy
falchder, fel nad ymddyrchafech
mwyach yn fy mynydd santaidd.
12 Gadawaf ynot hefyd bobl dru-
ain dylodion, ac yn enw yr Ar-
glwydd y gobeithiant hwy.
13 Gweddill Israel ni wna anwir-
edd, ac ni ddywedant gelwydd;
ac ni cheir yn eu geneuau dafod
twyllodrus: canys hwy a borant ac
a orweddant, ac ni *bydd a'u* tarfo.
14 ¶ Merch Seion, cân; Israel,
crechwena; merch Jerusalem, ym-
lawenycha a gorfoledda â'th holl
galon.
15 Tynodd yr Arglwydd ymaith
dy farnau, bwriodd allan dy elyn-
ion: yr Arglwydd brenin Israel *sydd*
yn dy ganol, nid ofni ddrwg mwyach.
16 Y dydd hwnw y dywedir wrth
Jerusalem, Nac ofna: *wrth* Seion,
Na laesed dy ddwylaw.
17 Yr Arglwydd dy Dduw yn dy

---

un genau, a'i wasanaethu ef yn unig mewn purdeb a gwirionedd. Modd bynag, tybia yr esbonwyr yn gyffredinol fod y llawn gyflawniad o'r addewid hon i gymeryd lle yn y dyddiau diweddaf, ar ol i'r Iuddewon gael eu dychwelyd, ac i gyflawnder y Cenhedloedd ddyfod i mewn, pryd 'y bydd un Arglwydd, a'i enw yn un,' Zech. xiv. 9. Yn ol hyny y wreiddiol yw, 'adferaf i'r *bobloedd* wefus bur:' ymadrodd yn cynwys y Cenhedloedd yn gystal a'r Iuddewon.'—BENSON. *Fel y galwo pob un o honynt ar enw yr Arglwydd*—âg un galon ac un genau; *i'w wasanaethu ef âg un ysgwydd*—neu yn unfrydol. Cymhariaeth wedi ei chymeryd oddiwrth anifeiliaid yn tynu dan yr un iau, neu ddynion yn gosod eu hysgwyddau yn nghyd dan yr un baich.

Adn. 10. *O'r tuhwnt i afonydd Ethiopia*] Sef o Affrica ac Arabia ddeheuol, yn cynwys hefyd yr holl wledydd ereill yn y cyfeiriad hwnw; *y dwg fy ngweddiwyr*—neu 'bobl y wefus bur;' *sef merch fy ngwasgaredig*—neu yr Iuddewon gwasgaredig ar hyd y gwledydd hyny; *fy offrwm*—i'r deml ar ol ei hailadeiladu; neu dygant offrwm o weddi a mawl i Dduw, trwy Iesu Grist, yn y dyddiau diweddaf; neu offrymant eu hunain iddo ef yn 'aberth byw, santaidd, a chymeradwy,' Rhuf. xii. 1.

Adn. 11. *Y dydd hwnw ni'th waradwyddir am dy holl weithredoedd*] Pechadurus, trwy y byddi wedi cael dy waredu oddiwrthynt, ac oddiwrth y gosp am danynt. *Canys yna y symudaf o'th blith y neb fydd yn hyfryd ganddynt dy falchder* — y rhai a garant ymfalchïo, megys y gwneit dithau gynt; *fel nad ymddyrchafech mwyach yn fy mynydd santaidd*—yn nghyflawniadau allanol crefydd, neu yn eich perthynas âg addoliad y deml, gan waeddi, 'Teml yr Arglwydd! teml yr Arglwydd!' tra heb feddwl dim am Arglwydd y deml: gwel ar Jer. vii. 4.

Adn. 12. *Gadawaf ynot hefyd bobl druain dylodion*] Tybia rhai fod yma gyfeiriad at y tylodion a adawyd yn winllanwyr ac yn arddwyr yn Judea, 2 Bren. xxv. 12, y rhai oeddynt yn gysgod o'r tylodion yn yr ysbryd, y rhai a gredant yn Nghrist; *ac yn enw yr Arglwydd y gobeithiant hwy*—nid yn y deml, nac yn eu disgyniad oddiwrth Abraham, ond yn nhrugaredd, gallu, a ffyddlondeb Duw.

Adn. 13. *Gweddill Israel*] Y rhai a gadwyd yn fyw yn nghaethiwed Babilon, neu yn eu gwasgariad presenol gan y Rhufeiniaid; *ni wna anwiredd*—fel y gwnaent o'r blaen; *ac ni ddywedant gelwydd*—i dwyllo ereill mewn dim; *ac ni cheir yn eu geneuau dafod twyllodrus*—wrth brynu a gwerthu: *canys hwy a borant*—cânt ddigonedd o bob peth angenrheidiol heb dwyllo neb; *ac a orweddant*—mewn tawelwch, fel anifel nwchben ei ddigon; *ac ni bydd a'u tarfo* — ni bydd neb i'w gwasgaru na'u dychrynu. Ond diamau mai at gyflwr ysbrydol yr Iuddewon yn eglwys Crist y cyfeirir yma yn benaf.

Adn. 14. *Merch Seion, cân, &c.*] Gelwir yma ar yr eglwys i ganu, crechwenu, a gorfoleddu yn y rhagolwg ar yr hyn a wnai yr Arglwydd iddi yn dymhorol ac ysbrydol; *â'th holl galon*—gan roddi holl alluoedd dy gorff a'th enaid yn y gwaith.

Adn. 15. *Tynodd yr Arglwydd ymaith dy farnau*] Neu dy gospedigaethau; *bwriodd allan dy elynion*—y rhai oeddynt offerynau ei ddialedd: *yr Arglwydd brenin Israel sydd yn dy ganol*—i'th noddi a'th amddiffyn; *nid ofni ddrwg mwyach*—oddiwrth unrhyw elyn. Y mae y proffwyd yn son am y dyfodol fel pethau wedi cymeryd lle eisioes, i sicrhau y cyflawniad o honynt.

Adn. 16. *Y dydd hwnw y dywedir wrth Jerusalem*] Gan y proffwydi, neu trwy weinidogion yr eglwys; *Nac ofna*—dy wrthwynebwyr: *wrth Seion, Na laesed dy ddwylaw*—yn ngwyneb llid dy elynion. Er y gallai hyn fod yn cyfeirio yn mlaenaf at y gwrthwynebiad a ddanghosid i'r Iuddewon gan Sanbalat ac ereill wrth iddynt adeiladu mur Jerusalem, Neh. iv. 1, &c., eto gellir ei ddeall am gysuron ysbrydol i weiniaid Seion yn mhob oes.

Adn. 17. *Yr Arglwydd dy Dduw yn dy ganol di sydd gadarn*] I amddiffyn ei bobl a baeddu eu gelynion. *Efe a achub*—ei bobl oddiwrth eu pechodau, yn gystal ag oddiwrth eu holl elynion. *Efe a lawenycha o'th blegid*

ganol di *sydd* gadarn: efe a achub,
efe a lawenycha o'th blegid gan la-
wenydd; efe a lonydda yn ei gariad,
efe a ymddigrifa ynot dan ganu.
18 Casglaf *y rhai sydd* brudd am
y gymanfa, *y rhai* sydd o honot, *i'r*
*rhai yr oedd* eu gwaradwydd yn
faich.
19 Wele, mi a ddyfethaf yr amser
hwnw bawb a'th flinant: ac a ach-
ubaf y gloff, a chasglaf y wasgared-
ig; ac a'u gosodaf yn glodfawr ac
yn enwog yn holl dir eu gwarth.
20 Yr amser hwnw y dygaf chwi
*drachefn*, yr amser y'ch casglaf:
canys gwnaf chwi yn enwog, ac yn
glodfawr yn mysg holl bobl y ddae-
ar, pan ddychwelwyf eich caeth-
iwed o flaen eich llygaid, medd yr
Arglwydd.

---

*gan lawenydd*—hyny yw, efe a lawenycha yn ddirfawr wrth wneuthur i ti ddaioni. *Efe a lonydda yn ei gariad*—efe a lenwir â boddineb a hyfrydwch yn effeithiau ei gariad tuag atat; neu, fel y mae y LXX yn ei ddarllen, 'efe a'th *adnewydda* yn ei gariad.' *Efe a ymddigrifa ynot dan ganu*—gan 'lamu o lawenydd' yn dy iachawdwriaeth; neu, 'efe a fawr ymhyfryda ynot megys ar ddydd gŵyl.'—LXX. Gwel ar Luc xv. 7.

Adn. 18. *Casglaf y rhai sydd brudd am y gymanfa*] Neu a alarant yn hiraethlon am y gŵyliau arbenig; *y rhai sydd o honot*—yn Babilon; *i'r rhai yr oedd ei gwaradwydd yn faich*—y rhai a flinid trwy edliwiadau y Babiloniaid: gwel ar Salm xlii. 10, a cxxxvii. 1—4, Ezec. xxxvi. 20. Ond gellir ei chyfieithu, 'Y rhai a gymerasant ymaith y gŵyliau gosodedig, a symudais yn mhell oddiwrthyt: gwae y rhai a ddygasant arnat warth.'

Adn. 19. *Wele, mi a ddyfethaf yr amser hwnw bawb a'th flinant*] Nid yn unig y Babiloniaid, ond yr Edomiaid, y Moabiaid, a'th holl elynion ereill; *ac a achubaf y gloff*—yr hon a gloffwyd wrth gael ei gyru i Babilon, fel dafad yn rhedeg o flaen bleiddiaid: *a chasglaf y wasgaredig*—yr hon a ymlidiwyd i wledydd pellenig; *ac a'u gosodaf yn glodfawr ac yn enwog yn holl dir eu gwarth*—hyd yn nod yn y gwledydd lle y buont yn cael eu hwtio a'u dirmygu.

Adn. 20. *Yr amser hwnw y dygaf chwi drachefn*] Yn ol i'ch gwlad, yr hyn oedd yn gysgod o'u dychweliad ysbrydol hwy dan yr efengyl; *yr amser y'ch casglaf*—sef yn niwedd y 70 mlynedd. *Canys gwnaf chwi yn enwog ac yn glodfawr yn mysg holl bobl y ddaear*—fel 'yr had a fendithiodd yr Arglwydd,' Esay lxi. 7—9; *pan ddychwelwyf eich caethiwed o flaen eich llygaid* — neu, 'o flaen *eu* llygaid,' fel y mae yn y *Syriaeg*. Ond yn y dyddiau diweddaf y llawn gyflawnir yr addewid hon, pan y dychwelir hwy o gaethiwed ysbrydol pechod a Satan.

---

# LLYFR Y PROFFWYD HAGGAI.

---

DARFU i'r naw blaenorol o'r 'deuddeg proffwyd lleiaf,' fel eu gelwir, broffwydo cyn y caethiwed Babilonaidd: a'r tri canlynol ar ol hyny. Dywed Epiphanius i Haggai gael ei eni yn Babilon, ac iddo ddyfod i Judea gyda Zorobabel. Efe a anfonwyd yn benodol i gefnogi yr Iuddewon i ailadeiladu y deml, yr hyn a rwystrwyd am oddeutu 14 mlynedd, fel y dysgwn oddiwrth lyfr Ezra. Darfu i *Cyrus*, yr hwn a roddasai orchymyn i'r Iuddewon ddychwelyd i Jerusalem, ac adeiladu eu dinas a'u teml, alw yn ol y gorchymyn hwnw yn mhen oddeutu ddwy flynedd, trwy gael ei annog i hyny gan ei lyswyr, a gelynion ereill i'r Iuddewon; ac ar ol ei farwolaeth ef, darfu i *Cambyses* adnewyddu y gwaharddiad. Ond ar ol marwolaeth Cambyses, darfu i *Darius*, mab *Hystaspes*, adnewyddu y *caniatâd*; ac anfonwyd Haggai i gefnogi ei gydwladwyr i fyned yn mlaen â'r gwaith.—Daeth Darïus i'r orsedd oddeutu 521 mlynedd cyn Crist, a chyhoeddodd ganiatâd i'r Iuddewon adeiladu yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad, yr hyn oedd 16 mlynedd ar ol y dychweliad o Babilon.—Cawn y proffwyd yma, (1) Yn ceryddu y genedl am esgeuluso adeiladu tŷ yr Arglwydd, a'r bobl yn ufyddhau iddo ef, pen. i. (2) Yn cysuro yr hen bobl, y rhai a wylent wrth gofio am ogoniant y deml gyntaf, trwy ddangos y byddai gogoniant yr ail yn fwy, gan yr anrhydeddid hi â phresenoldeb y Messia, pen. ii. 1—9. (3) Yn dangos fod Duw yn atal ei fendith ar eu llafur o herwydd eu pechodau, adn. 10—19. (4) Llwyddiant pobl Dduw yn y dyddiau dyfodol, adn. 20—23.

---

## PENNOD I.

YN yr ail flwyddyn i'r brenin
Darïus, yn y chweched mis, ar
y dydd cyntaf o'r mis, y daeth gair
yr Arglwydd trwy law Haggai y
proffwyd at Zorobabel mab Salath-

---

PEN. I. Adn. 1. *Yn yr ail flwyddyn i'r brenin Darïus*] Mab Hystaspes, brenin Persia; *yn y chweched mis*—sef *Elul*, yr hwn oedd y chweched mis o'r flwyddyn eglwysig, a'r olaf o'r flwyddyn wladol, ac yn cyfateb i ran o'n Awst a'n Medi ni; *ar y dydd cynt-*

iel tywysog Juda, ac at Josua mab
Josedec yr archoffeiriad, gan ddy-
wedyd,
2 Fel hyn y llefara Arglwydd y
lluoedd, gan ddywedyd, Y bobl hyn
a ddywedant, Ni ddaeth yr amser,
yr amser i adeiladu tŷ yr Arglwydd.
3 Yna y daeth gair yr Arglwydd
trwy law Haggai y proffwyd, gan
ddywedyd,
4 Ai amser *yw* i chwi eich hunain
drigo yn eich tai byrddiedig, a'r tŷ
hwn yn annghyfanedd?
5 Fel hyn gan hyny yn awr y
dywed Arglwydd y lluoedd; Ys-
tyriwch eich ffyrdd.
6 Hauasoch lawer, a chludasoch
ychydig; bwyta yr ydych, ond nid
hyd ddigon; yfed, ac nid hyd fod
yn ddiwall; ymwisgasoch, ac nid
hyd glydwr i neb; a'r hwn a ennillo
gyflog, sydd yn casglu cyflog i gôd
dyllog.
7 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd
y lluoedd; Ystyriwch eich ffyrdd.
8 Esgynwch i'r mynydd, a dyg-
wch goed, ac adeiledwch y tŷ; mi
a ymfoddlonaf ynddo, ac y'm go-
goneddir, medd yr Arglwydd.
9 Edrychasoch am lawer, ac wele
*yr oedd* yn ychydig; a phan y dyg-
asoch adref, chwythais arno. Am
ba beth? medd Arglwydd y lluoedd.
Am fy nhŷ i yr hwn *sydd* yn an-
nghyfanedd, a chwithau yn rhedeg
bawb i'w dŷ ei hun.
10 Am hyny gwaharddwyd i'r
nefoedd oddiarnoch wlitho, a gwa-
harddwyd i'r ddaear roddi ei
ffrwyth.
11 Gelwais hefyd am sychder ar
y ddaear, ac ar y mynyddoedd, ac

---

*af o'r mis*—gwel ar adn. 15: *y daeth gair yr Arglwydd trwy law Haggai y proffwyd at Zorobabel*—yr hwn oedd dywysog gwladol yn Juda; *ac at Josua*—yr hwn oedd yn arch-offeiriad eglwysig: gwel ar Ezra v. 2.

Adn. 2. *Fel hyn y llefara Arglwydd y lluoedd*] Am yr Iuddewon, y rhai a ddywedent, *Ni ddaeth yr amser*—nid yw yn bryd eto i ni adeiladu tŷ yr Arglwydd. Ond nid oedd ganddynt achos cyfiawn i ddywedyd fel hyn, eithr chwennych yr oeddynt adeiladu tai cysurus iddynt eu hunain yn gyntaf, adn. 4. Yr oedd eu cysuron tymhorol eu hunain yn fwy yn eu golwg na'u breintiau ysbrydol a gogoniant Duw.

Adn. 3. *Yna y daeth gair yr Arglwydd trwy law Haggai y proffwyd*] I'w ceryddu hwy am eu hesgeulusdra, ac i'w cynhyrfu at eu dyledswyddau.

Adn. 4. *Ai amser yw i chwi eich hunain drigo yn eich tai byrddiedig, &c.*] Fel pe dywedasai, Gan eich bod yn ei hystyried yn bryd i chwi adeiladu ac addurno eich tai eich hunain, paham na baech yn meddwl am adeiladu fy nhŷ inau? Yr oedd tŷ yr Arglwydd wedi ei sylfaenu ganddynt er's hir amser, a pheth o'r muriau wedi eu codi; eithr gadawsant ef i aros yn y cyflwr hwnw am oddeutu pedair blynedd ar ddeg, tra yr oeddynt yn adeiladu tai iddynt eu hunain!

Adn. 5. *Ystyriwch eich ffyrdd*] Ystyriwch yn ddifrifol, a ydyw yn rhesymol i chwi ofalu am eich cysur eich hunain o flaen fy ngogoniant i, yr hwn a'ch dygais o'ch caethiwed i adeiladu y tŷ hwn i mi!

Adn. 6. *Hauasoch lawer, a chludasoch ychydig*] Fel pe dywedasai, Gellwch weled arwyddion amlwg o anfoddlonrwydd yr Arglwydd arnoch o herwydd hyn, canys nid yw cynyrch eich maesydd yn gyfatebol i'r had a hauasoch. *Bwyta yr ydych, ond nid hyd ddigon*—am fod eich ymborth yn brin; neu, nid oedd eu bwyd a'u diod yn eu diwallu, am fod yr Arglwydd yn attal ei fendith oddiwrthynt. *Ymwisgasoch, ac nid hyd glydwr i neb*—trwy nad ellwch gael digon o wisgoedd i'ch cynhesu, neu am na wna eich gwisgoedd gadw ymaith yr oerfel. *A'r hwn a ennillo gyflog, sydd yn casglu cyflog i gôd dyllog*—y mae ei gyflog yn myned oddiwrtho yn fuan, trwy fod pob peth mor ddrud. Y rhai hyn ydynt ymadroddion diarebol.

Adn. 7. *Ystyriwch eich ffyrdd*] A'r trueni ag y maent yn arwain iddo: gwel ar adn. 5.

Adn. 8. *Esgynwch i'r mynydd*] Sef i fynydd Libanus, Ezra iii. 7, Neh. ii. 8; *a dygwch goed*—i adeiladu y tŷ: *mi a ymfoddlonaf ynddo*—er na byddo mor odidog a'r tŷ cyntaf; *ac y'm gogoneddir*—trwy eich addoliad a'ch gwasanaeth ynddo.

Adn. 9. *Edrychasoch am lawer*] O gnwd ar y maesydd: *ac wele yr oedd yn ychydig*—gwel ar adn. 6: *a phan y dygasoch adref*—yn amser y cynauaf: *chwythais arno*—i'w ddeifio, neu i'w wasgaru gyda'r gwynt. *Am ba beth, medd Arglwydd y lluoedd*—y bu hyn oll? *Am fy nhŷ i, yr hwn sydd yn annghyfanedd*—hyny yw, daeth yr holl ddrygau hyn arnoch am i chwi esgeuluso adeiladu fy nhŷ i; *a chwithau yn rhedeg bawb i'w dŷ ei hun*—i adeiladu a harddu hwnw.

Adn. 10. *Am hyny gwaharddwyd i'r nefoedd oddiarnoch wlitho*] Na gwlawio, trwy yr hyn yr attaliwyd y ddaear rhag rhoddi ei ffrwyth.

Adn. 11. *Gelwais hefyd am sychder ar y ddaear*] Neu ddiffrwythder cyffredinol; *ac ar y mynyddoedd*—lle yr arferai eich deadellau bori; *ac ar yr ŷd*—sef ar y maesydd lle y tyfai yr ŷd, yn gystal ag ar y gwinllanoedd a'r olewwydd-lanau; *ac ar yr hyn a ddwg y ddaear allan*—sef y llysiau a'r gwahanol ffrwythau, nes yr oedd dyn ac anifel yn teimlo oddiwrth y prinder; *ac ar holl lafur dwylaw*

ar yr ŷd, ac ar y gwin, ac ar yr
olew, ac ar *yr hyn* a ddwg y ddaear
allan; ar ddyn hefyd, ac ar anifel,
ac ar holl lafur dwylaw.
12 ¶ Yna y gwrandawodd Zoro-
babel fab Salathiel, a Josua fab
Josedec yr archoffeiriad, a holl
weddill y bobl, ar lais yr Arglwydd
eu Duw, ac ar eiriau Haggai y
proffwyd, (megys yr anfonasai eu
Harglwydd Dduw hwynt ef,) a'r bobl
a ofnasant gerbron yr Arglwydd.
13 Yna Haggai cenad yr Ar-
glwydd a lefarodd trwy genadwri
yr Arglwydd wrth y bobl, gan ddy-
wedyd, *Yr wyf* fi gyda chwi, medd
yr Arglwydd.
14 Felly y cynhyrfodd yr Ar-
glwydd ysbryd Zorobabel fab Sa-
lathiel tywysog Juda, ac ysbryd
Josua fab Josedec yr archoffeiriad,
ac ysbryd holl weddill y bobl; a
hwy a ddaethant ac a weithiasant y
gwaith yn nhŷ Arglwydd y lluoedd
eu Duw hwynt:
15 Y pedwarydd dydd ar hugain
o'r chweched mis, yn yr ail flwydd-
yn i Dariüs y brenin.

## PENNOD II.

YN y seithfed *mis, ar* yr unfed
*dydd* ar hugain o'r mis, y daeth
gair yr Arglwydd trwy law y proff-
wyd Haggai, gan ddywedyd,
2 Dywed yn awr wrth Zorobabel
fab Salathiel tywysog Juda, ac
wrth Josua fab Josedec yr archoff-
eiriad, ac wrth weddill y bobl, gan
ddywedyd,
3 Pwy yn eich plith a adawyd yr
hwn a welodd y tŷ hwn yn ei ogon-
iant cyntaf? a pha fodd y gwelwch
chwi ef yr awr hon? onid *yw* wrth
hwnw yn eich golwg fel peth heb
ddim?
4 Eto yn awr ymgryfha, Zoroba-
bel, medd yr Arglwydd; ac ym-
gryfha, Josua fab Josedec yr arch-
offeiriad; ac ymgryfhewch, holl
bobl y tir, medd yr Arglwydd, a
gweithiwch: canys *yr ydwyf* fi gyda
chwi, medd Arglwydd y lluoedd:
5 *Yn ol* y gair a ammodais â chwi
pan ddaethoch allan o'r Aifft, felly
yr erys fy Ysbryd yn eich mysg:
nac ofnwch.

---

—sef eu llafurwaith yn y tai a'r gerddi, yn y maesydd a'r gwinllanoedd.

Adn. 12. *Yna y gwrandawodd Zorobabel*] Y tywysog; *a Josua*—yr archoffeiriad; *a holl weddill y bobl*—sef pawb o'r werin; *ar lais yr Arglwydd eu Duw*—yr hwn a lefarai wrthynt trwy ei broffwyd: *a'r bobl a ofnasant gerbron yr Arglwydd*—a ymostyngasant i'w oruchel awdurdod ef, gan alaru oblegid eu hesgeulusdra.

Adn. 13. *Yna Haggai cenad yr Arglwydd*] Wedi ei anfon atynt yr ail waith; *a lefarodd trwy genadwri yr Arglwydd*—trwy ei orchymyn ac yn ei enw ef; *Yr wyf fi gyda chwi*—i roddi i chwi bob cymhorth angenrheidiol, ac i'ch llwyddo yn eich gwaith.

Adn. 14. *Felly y cynhyrfodd yr Arglwydd ysbryd Zorobabel*] Ac ysbryd Josua a'r bobl, wrth lefaru wrthynt y geiriau uchod trwy Haggai: *a hwy a dduethant ac a weithiasant y gwaith*—yn wrol ac yn egnïol.

Adn. 15. *Y pedwarydd dydd ar hugain o'r chweched mis*] Derbyniodd Haggai ei genadwri ar y dydd cyntaf o'r mis hwn, adn. 1; ac erbyn y pedwarydd dydd ar hugain yr oedd wedi llwyddo i ennill yr holl bobl i ddechreu ar y gwaith o adeiladu y deml: gwel ar Ezra v. 2, &c.

PEN. II. Adn. 1. *Yn y seithfed mis*] Sef yn mhen mis, onid tridiau, ar ol iddynt ddechreu adeiladu; *y daeth gair yr Arglwydd*—at Haggai drachefn, gyda chenadwri i galonogi yr adeiladwyr.

Adn. 2. *Dywed yn awr wrth Zorobabel*] Ac wrth Josua, a'r gweddill o'r bobl.

Adn. 3. *Pwy yn eich plith a adawyd*] Yn fyw, *yr hwn a welodd y tŷ hwn yn ei ogoniant cyntaf?*—sylfaenwyd yr ail deml yn mhen oddeutu 52 o flynyddau ar ol dinystrio teml Solomon, c.c. 587, yr hyn oedd 70 mlynedd o ddechread y caethgludiad yn amser Joacim, 2 Bren. xxv. 13; ac er na lefarwyd y geiriau hyn hyd oddeutu 14 mlynedd ar ol ei sylfaenu, eto gallai pob un ag oedd yn awr yn 80 mlwydd oed, fod yn cofio y deml gyntaf, trwy ei fod yn 14 oed pryd y llosgwyd hi: gwel ar Ezra iii. 12. *A pha fodd y gwelwch chwi ef yr awr hon*—wrth ei gymharu â'r tŷ cyntaf? *Onid yw wrth hwnw yn eich golwg fel peth heb ddim*—neu o ddim gwerth? Nid oedd gan yr Iuddewon presenol, ar ol bod yn gaethion yn Babilon, fodd i'w wneyd ef yn debyg i hwnw mewn gwychder ac addurniadau; ac ni byddai ynddo, ar ol ei orphen, lawer o'r pethau ag oeddynt yn y llall. Dywed yr Iuddewon fod pump o bethau y deml gyntaf yn eisiau yn yr ail, sef arch y cyfammod a'r drugareddfa; y tân santaidd ac allor y poeth-offrwm; yr urim a'r thummim; y Secina neu y gogoniant dwyfol; ac ysbryd proffwydoliaeth.

Adn. 4. *Eto yn awr ymgryfha, Zorobabel*] A thithau Josua, a holl bobl y tir; *a gweithiwch*—yn galonog ac egnïol: *canys yr ydwyf fi gyda chwi, medd Arglwydd y lluoedd*—i wneyd i fyny eich holl ddiffygion, ac i fendithio a llwyddo eich llafur.

6 Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd; Unwaith eto,
enyd fechan *yw*, a mi a ysgydwaf y
nefoedd, a'r ddaear, a'r môr, a'r
sychdir;
7 Ysgydwaf hefyd yr holl gen-
hedloedd, a dymuniant yr holl gen-
hedloedd a ddaw: llanwaf y tŷ hwn
hefyd â gogoniant, medd Arglwydd
y lluoedd.
8 Eiddof fi yr arian, ac eiddof fi
yr aur, medd Arglwydd y lluoedd.
9 Bydd mwy gogoniant y tŷ di-
weddaf hwn na'r cyntaf, medd Ar-
glwydd y lluoedd: ac yn y lle hwn
y rhoddaf dangnefedd, medd Ar-
glwydd y lluoedd.
10 ¶ Ar y pedwarydd *dydd* ar
hugain o'r nawfed *mis*, yn yr ail
flwyddyn i Darïus, y daeth gair
yr Arglwydd trwy law Haggai y
proffwyd, gan ddywedyd,
11 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Gofyn yr awr hon i'r off-
eiriaid y gyfraith, gan ddywedyd,
12 Os dwg un gig santaidd yn
nghŵr ei wisg, ac â'i gŵr a gyffwrdd
â'r bara, neu â'r cawl, neu â'r gwin,
neu â'r olew, neu â dim o'r bwyd, a
fyddant hwy santaidd? A'r offeir-

---

Adn. 5. *Yn ol y gair a ammodais â chwi pan ddaethoch allan o'r Aifft*] Sef y byddai i mi 'breswylio yn eich mysg, a bod yn Dduw i chwi,' Exod. xxix. 45, 46. *Felly yr erys fy Ysbryd yn eich mysg*—yn ffynnonell o nerth a gwroldeb, ac o ddoethineb, deall, a dyddanwch gyda'r gwaith hwn: am hyny 'nac ofnwch.'

Adn. 6. *Unwaith eto*] Yn chwanegol at yr ysgydwad a gymerth le ar roddiad y ddeddf ar Sinai, pryd yr 'ammodais â chwi;' *enyd fechan yw*—neu bydd iddo gymeryd lle yn mhen enyd fechan. Felly y geilw Duw, yr hwn y mae 'mil o flynyddoedd gydag ef megys un dydd,' yr yspaid o fwy na 500 o flynyddoedd ag oedd rhwng hyn a dyfodiad y Messia. *A mi a ysgydwaf y nefoedd a'r ddaear*—cyfeirir yma at y cynhyrfiad a'r cyfnewidiad mawr ag ydoedd i gymeryd lle mewn byd ac eglwys yn niwedd yr hen oruchwyliaeth, fel y gosodid i fyny 'deyrnas ddi sigl' yn ei lle, sef goruchwyliaeth yr efengyl: gwel ar Heb. xii. 26—28. Chwanegir yma y *môr a'r sychdir* mewn ffordd o ddestlusrwydd, fel y pethau o'r rhai y gwneid i fyny y ddaear.

Adn. 7. *Ysgydwaf hefyd yr holl genhedloedd*] Deallir hyn yn gyffredin fel esboniad ar y geiriau allegawl yn adn. 6; ond ymddengys oddiwrth y gair *hefyd* a ddefnyddir yma, ei fod yn cyfeirio at ysgydwad chwanegol, yr hwn oedd i gymeryd lle yn flaenorol i'r un yn adn. 6; ac wrth hwn ond odid y golygir y chwyldroadau mawrion a gymerent le ar newidiad dwy o leiaf o'r pedair amherodraeth: gwel ar Dan. vii. 4—7. *A dymuniant yr holl genhedloedd a ddaw*—y mae rhai yn deall hyn am y 'pethau gwerthfawr' a ddygid gan y cenhedloedd i addurno y deml; a thybia *Clarke* ac ereill 'fod y cwbl yn ddarluniad cyffelybiaethol o *eglwys Crist*, ac o'i waith yn ei llenwi â holl ragoriaethau y byd cenhedlig, pan ddygid cyflawnder y Cenhedloedd i mewn.' Ond y farn fwyaf cyffredin yn mhlith y dysgedigion, a'r hon a dderbynir hefyd gan rai o'r rabbiniaid Iuddewig, yw, mai at ddyfodiad y MESSIA y cyfeirir yma, yr hwn yr oedd llawer yn ei ddysgwyl ac yn ei ddymuno tua'r amser y ganed Crist: gwel ar Gen. xlix. 10, Luc ii. 25, Act. ii. 5. *Llanwaf y tŷ hwn hefyd â gogoniant*—mwy rhagorol a sylweddol na'r un a lanwodd y babell a'r deml ar eu cysegriad, Exod. xl. 35, 1 Bren. viii. 10, 11; canys yn Nghrist, yr hwn a ddeuai i'r deml, yr oedd 'holl gyflawnder y Duwdod yn preswylio yn gorfforol,' Col. ii. 9. Neu llenwid ef nid â gogoniant cynwysedig mewn adeilad fawreddog, addurniadau ysblenydd, neu ebyrth costfawr, yr hyn nid yw ond gogoniant daearol; eithr â gogoniant dwyfol, ysbrydol, a nefol.

Adn. 8. *Eiddof fi yr arian, ac eiddof fi yr aur*] Ac felly, pe mynwn, gallwn yn hawdd addurno y tŷ hwn âg aur ac arian tuhwnt i ddim ag ydoedd yn y tŷ cyntaf.

Adn. 9. *Bydd mwy gogoniant y tŷ diweddaf hwn na'r cyntaf*] Nid mwy o ran ei addurniadau daearol, fel y nodwyd; ond mwy yn hyn, sef yn ymddanghosiad Mab Duw ynddo, i athrawiaethu ynddo beunydd, Luc xix. 47, a'i lanhau oddiwrth bob halogedigaeth, Ioan ii. 16. *Ac yn y lle hwn y rhoddaf dangnefedd*—neu heddwch â Duw, a heddwch cydwybod. Ond tybia rhai mai heddwch i orphen adeiladu y deml a addewir yma.

Adn. 10. *Ar y pedwarydd dydd ar hugain o'r nawfed mis*] Sef yn mhen tri mis ar ol iddynt ail ymaflyd yn y gwaith, pen. i. 15; *y daeth gair yr Arglwydd*—at Haggai drachefn.

Adn. 11. *Gofyn yr awr hon i'r offeiriaid y gyfraith*] Gwaith pa rai oedd ei dysgu a'i hegluro hi, Lef. x. 10, Mal. ii. 7.

Adn. 12. *Os dwg un gig santaidd*] Neu ran o'r aberth ag ydoedd wedi ei santeiddio yn seremoniol; *yn nghŵr ei wisg*—neu yn ei logellau; *ac â'i gŵr a gyffwrdd â'r bara, neu â'r cawl*—neu â rhywbeth a fyddo heb ei santeiddio, ac i gael ei ddefnyddio i wasanaeth gyffredin: *a fyddant hwy santaidd?*—a fydd i'r pethau cyffredin hyny gael eu santeiddio trwy y cyffyrddiad hwnw? *A'r offeiriaid a atebasant ac a ddywedasant, Na fyddant*—canys er y byddai i'r wisg gael ei santeiddio trwy hyny, ac nas gellid ei defnyddio i wasanaeth gyffredin nes ei golchi, Lef. vi. 27, eto nis gallai y wisg hòno gyfleu santeiddrwydd i beth arall.

Adn. 13. *A Haggai a ddywedodd*] Gan

iaid a atebasant ac a ddywedasant,
Na *fyddant.*
13 A Haggai a ddywedodd, Os
*un a fo* aflan gan gorff marw a gy-
ffwrdd â dim o'r rhai hyn, a fyddant
hwy aflan? A'r offeiriaid a atebas-
ant ac a ddywedasant, Byddant
aflan.
14 Yna yr atebodd Haggai, ac a
ddywedodd, Felly *y mae* y bobl
hyn, ac felly *y mae* y genhedlaeth
hon ger fy mron, medd yr Ar-
glwydd; ac felly *y mae* holl waith
eu dwylaw, a'r hyn a aberthant
yno, yn aflan.
15 Ac yr awr hon meddyliwch,
atolwg, o'r diwrnod hwn *allan* a
chynt, cyn gosod careg ar gareg
yn nheml yr Arglwydd;
16 Er pan oedd *y dyddiau* hyny
pan ddelid at ddŵr o ugain *llestraid,*
deg fyddai; a phan ddelid at y
gwinwrŷf i dynu deg *llestraid* a
deugain o'r cafn, ugain a fyddai
yno.
17 ¶ Tarewais chwi â diflaniad,
ac â mallder, ac â chenllusg, yn
holl waith eich dwylaw; a chwith-
au ni *throisoch* ataf fi, medd yr Ar-
glwydd.
18 Ystyriwch yr awr hon o'r
dydd hwn, ac er cynt o'r pedwar-
ydd dydd ar hugain o'r nawfed
*mis, ac* ystyriwch o'r dydd y syl-
faenwyd teml yr Arglwydd.
19 *A yw* yr had eto yn yr ysgub-
or? y winwydden hefyd, y ffigys-
bren, a'r pomgranad, a'r pren olew-
wydd, ni ffrwythasant: o'r dydd
hwn allan y bendithiaf *chwi.*
20 ¶ A gair yr Arglwydd a
ddaeth eilwaith at Haggai ar y
pedwarydd *dydd* ar hugain o'r mis,
gan ddywedyd,
21 Llefara wrth Zorobabel ty-
wysog Juda, gan ddywedyd, Myfi

---

gynyg achos arall; *Os un a fo aflan gan gorff marw a gyffwrdd â dim o'r rhai hyn*—sef â'r bara, y cawl, y gwin, yr olew, neu y bwyd a grybwyllwyd yn yr achos o'r blaen: *a fyddant hwy aflan*—trwy y cyffyrddiad hwnw? *A'r offeiriaid a atebasant ac a ddywedasant, Byddant aflan*—ac o ganlyniad yn anghymwys at wasanaeth yr Arglwydd, Num. xix. 11—22. Yr addysg oddiwrth y ddau achos yw hyn: Er na fydd i gyffyrddiad y wisg santeiddiedig â phethau cyffredin wneyd y rhai olaf yn santaidd; eto fod peth aflan yn halogi pob peth a gyffyrddo âg ef; neu, mewn geiriau ereill, fod yn hawddach trosglwyddo aflendid deddfol na santeiddrwydd deddfol. Y mae y ffordd sydd yn arwain i bechod yn llydan a hawdd ei theithio; tra y mae y ffordd sydd yn arwain i santeiddrwydd yn gul ac anhawdd.

Adn. 14. *Yna yr atebodd Haggai*] O enau yr Arglwydd, *Felly y mae y bobl hyn, &c.*—yma y mae y proffwyd yn cymhwyso y mater at y bobl hyn, gan ddangos nad allai eu gwaith yn aberthu ar yr allor a adeiladasant, (Ezra iii. 3—6.) santeiddio eu gorchwylion cyffredin hwy, tra yr oeddynt yn esgeuluso eu dyledswydd o adeiladu teml yr Arglwydd; pan, ar y llaw arall, yr oedd eu hesgeulusdra hwnw yn halogi holl waith eu dwylaw, yn nghyda'u hoffrymau a'u haberthau, yr un modd a phe buasent wedi ymhalogi trwy gyffyrddiad â chorff marw.

Adn. 15. *Ac yr awr hon meddyliwch, atolwg, o'r diwrnod hwn allan a chynt*] Ystyriwch yr hyn a ddygwyddodd i chwi yn y blynyddoedd ag y buoch yn esgeuluso adeiladu teml yr Arglwydd.

Adn. 16. *Er pan oedd y dyddiau hyny*] Neu yn ystod yr holl ddyddiau hyny; *pan ddelid at ddŵr o ugain llestraid*—yn yr hwn y dysgwyliech gael ugain llestraid o ŷd; *deg fyddai*—yn lle ugain: ac felly hefyd ni chaent ond ugain llestraid o win o'r cafn, lle y dysgwylient gael deg-a-deugain.

Adn. 17. *Tarewais chwi â diflaniad, ac â mallder, ac â chenllusg*] Nes dyfetha eich cnydau, *yn holl waith eich dwylaw*—yn y cwbl a hauasoch neu a blanasoch; *a chwithau ni throisoch ataf fi*—mewn edifeirwch, neu ni feddyliasoch am adeiladu fy nhŷ: gwel ar Amos iv. 6, 11.

Adn. 18. *Ystyriwch yr awr hon o'r dydd hwn*] Sef o'r pedwarydd dydd ar hugain o'r nawfed mis, adn. 10; *ac ystyriwch o'r dydd y sylfaenwyd teml yr Arglwydd*—ymddengys mai y meddwl yw, fod iddynt ystyried y gwahaniaeth eglur er gwell a fyddai yn nghyflwr pethau o'r dydd hwnw allan, ar ol iddynt ymgymeryd â'r gwaith o adeiladu, ragor yr hyn ydoedd yn ystod eu hesgeulusdra o'r gwaith hwnw.

Adn. 19. *A yw yr had eto yn yr ysgubor*] Heb ei hau? *y winwydden hefyd, y ffigysbren, a'r pomgranad, a'r pren olewwydd, ni ffrwythasant*—nid ydynt wedi dechreu blaguro, ac am hyny ni ellwch ddywedyd pa fath gynyrch a gewch y tymhor canlynol. *O'r dydd hwn allan*—er pan ddechreuasoch adeiladu fy nhŷ i, *y bendithiaf chwi*—â thymhorau ffrwythlon fel gwobr am eich ufydd-dod, ac i'ch calonogi i fyned yn mlaen â'r gwaith.

Adn. 20. *A gair yr Arglwydd a ddaeth eilwaith at Haggai*] Ar yr un dydd ag y daethai y genadwri flaenorol ato, (adn. 10, 18.) yr hon oedd yn perthyn i'r holl bobl.

Adn. 21. *Llefara wrth Zorobabel, tywysog Juda*] Y mae y genadwri hon yn cael ei chyfeirio yn benodol at Zorobabel, yr hwn, fel tywysog Juda, ac adeiladydd y deml, oedd yn gysgod neillduol o'r Messia, ac yn un o'r

a ysgydwaf y nefoedd a'r ddaear;
22 A mi a ymchwelaf deyrn-gadair teyrnasoedd, ac a ddinystriaf gryfder brenhiniaethau y cenhedloedd; ymchwelaf hefyd y cerbydau, a'r rhai a eisteddant ynddynt; a'r meirch a'u marchogion a syrthiant, bob un gan gleddyf ei frawd.
23 Y diwrnod hwnw, medd Arglwydd y lluoedd, y'th gymeraf di, fy ngwas Zorobabel, fab Salathiel, medd yr Arglwydd, ac y'th wnaf fel sêl: canys mi a'th ddewisais di, medd Arglwydd y lluoedd.

---

benafiaid ef yn ol y cnawd, Mat. i. 12. *Myfi a ysgydwaf y nefoedd a'r ddaear*—paraf chwyldroadau mawrion yn yr eglwys a'r byd: gwel ar adn. 6, 7.

Adn. 22. *A mi a ymchwelaf deyrn-gadair teyrnasoedd, &c.*] Fe allai fod yma gyfeiriad at ddymchweliad yr amherodraeth Bersiaidd, ac yna y Roegaidd, os nid y Rufeinaidd hefyd. *Ymchwelaf hefyd y cerbydau, a'r rhai a eisteddant ynddynt*—yn ystod y rhyfeloedd hyny; *a'r meirch a'u marchogion a syrthiant bob un gan gleddyf ei frawd*—yn eu rhyfeloedd cartrefol. Ond tybia rhai fod y Persiaid, a'r Groegiaid, a'r Aifftiaid, y rhai a gymerent ran yn y rhyfeloedd hyn, yn cael eu galw yma yn *frodyr*, am eu bod yn eilunaddolwyr fel eu gilydd.

Adn. 23. *Y diwrnod hwnw*] Yn nghanol yr holl ysgydwadau hyn, *y'th gymeraf di, fy ngwas Zorobabel*—yn cynwys hefyd, yn ol barn amrai esbonwyr, ei olynwyr ef fel tywysogion neu lywodraethwyr yr Iuddewon hyd ddyfodiad y Messia; *ac y'th wnaf fel sêl*—dyrchafaf di i urddas ac awdurdod, o'r hyn yr oedd y sêl yn arwydd; neu cadwaf di mor ofalus ag y cedwir sêl neu fodrwy werthfawr: gwel ar Can. viii. 6, Jer. xxii. 24. *Canys mi a'th ddewisais di*—yn llywydd ar fy mhobl; ac am hyny cedwir di heb dy ddymchwelyd fel teyrnasoedd neu frenhiniaethau y cenhedloedd, (adn. 22,) er amled fyddo dy wrthwynebwyr, 'hyd oni ddel Silo,' Gen. xlix. 10. Ond gan na allai hyn oll gael ei gyflawni yn Zorobabel yn bersonol, yr hwn ni bu byw i ganfod yr holl gyfnewidiadau mawrion a ragfynegir yma, bernir yn gyffredin mai y MESSIA a osodir allan yma dan yr enw *Zorobabel*, fel y gwneir mewn lleoedd ereill dan yr enw *Dafydd*; ac os felly, yn Nghrist a'i deyrnas yr ydym i ddysgwyl y llawn gyflawniad o'r addewidion hyn.

# LLYFR Y PROFFWYD ZECHARIAH.

YMDDENGYS i Zechariah ddyfod o Babilon gyda Zorobabel pan yn ieuanc iawn: canys yn mhen 16 neu 17 mlynedd wedi hyny gelwir ef yn 'llanc,' pen. ii. 4. Dechreuodd broffwydo yn mhen deufis ar ol Haggai, pen. i. 1; ac ymunodd â'r proffwyd hwnw i galonogi yr Iuddewon i adeiladu y deml, (Ezra v. 1,) ac edifarhau am eu pechodau, ac i ddysgwyl am ddyfodiad y MESSIA.—Zechariah yw yr hwyaf a'r mwyaf aneglur o'r 'deuddeg proffwyd lleiaf:' ac y mae ei arddull yn gymysglyd ac anghysylltiol, ac yn debycach i ryddiaith, oddieithr tua'r diwedd, lle y mae yn hedegog a barddonol.—Y mae ei broffwydoliaethau am y MESSIA yn fanylach a llawnach nag eiddo un o'r proffwydi oddieithr Esay; a chan fod ysbryd proffwydoliaeth i beidio gydag ef a Malachi, yr oedd yn weddus i Dduw ganiatau datguddiadau eglurach a llawnach o'i Fab trwyddo ef, na dim a roddwyd o'r blaen.—Tybia *Mede* a *Hammond* i pen. ix—xi gael eu hysgrifenu gan Jeremi, am y crybwyllir geiriau Zechariah dan yr enw 'Jeremias' yn Mat. xxvii. 9, 10: ond gwel y sylw yno.—Barna rhai mai at y proffwyd hwn y cyfeiria ein Harglwydd, pan y dywed i'r Iuddewon ei ladd ef 'rhwng y deml a'r allor:' ond gwel ar Mat. xxiii. 35. Dangosir ei fedd ef hyd heddyw wrth droed mynydd yr Olewydd; ond dywed *Dorotheus* mai yn Bethariah y claddwyd ef, oddeutu ugain milldir oddiyno.

## PENNOD I.

YN yr wythfed mis o'r ail flwyddyn i Darïus, y daeth gair yr Arglwydd at Zechariah, fab Barachiah, fab Ido y proffwyd, gan ddywedyd,

---

PEN. I. Adn. 1. *Yn yr wythfed mis o'r ail flwyddyn i Darïus*] Yr hyn oedd ddau fis ar ol i'r proffwyd Haggai ddechreu ar ei waith: gwel ar Hag. i. 1. *Y daeth gair yr Arglwydd at Zechariah fab Barachiah, fab Ido y proffwyd*—neu 'at Zechariah y proffwyd, fab Barachiah, fab Ido;' canys sonir am Ido fel un o'r *offeiriaid* a ddychwelasant gyda Zorobabel o Babilon, Neh. xii. 4, 16.

Adn. 2. *Llidiog ddigiodd yr Arglwydd*

2 Llwyr-ddigiodd yr Arglwydd
wrth eich tadau.
3 Am hyny dywed wrthynt, Fel
hyn y dywed Arglwydd y lluoedd;
Dychwelwch ataf fi, medd Ar-
glwydd y lluoedd, a mi a ddychwel-
af atoch chwithau, medd Arglwydd
y lluoedd.
4 Na fyddwch fel eich tadau, y
rhai y galwodd y proffwydi o'r
blaen arnynt, gan ddywedyd, Fel
hyn y dywed Arglwydd y lluoedd;
Dychwelwch yn awr oddiwrth eich
ffyrdd drwg, ac *oddiwrth* eich
gweithredoedd drygionus: ond ni
chlywent, ac ni wrandawent arnaf,
medd yr Arglwydd.
5 Eich tadau, pa le *y maent* hwy?
a'r proffwydi, ydynt hwy yn fyw
byth?
6 Oni ddarfu er hyny i'm geiriau
a'm deddfau, y rhai a orchymynais
wrth fy ngweision y proffwydi,
oddiwes eich tadau? a hwy a
ddychwelasant, ac a ddywedasant,
Megys y meddyliodd Arglwydd y
lluoedd wneuthur i ni, yn ol ein
ffyrdd, ac yn ol ein gweithredoedd
*ein hun*, felly y gwnaeth efe â ni.
7 ¶ Ar y pedwarydd dydd ar
hugain o'r unfed mis ar ddeg,
hwnw *yw* mis Sebat, o'r ail flwydd-
yn i Darïus, y daeth gair yr Ar-
glwydd at Zechariah, fab Barach-
iah, fab Ido y proffwyd, gan ddy-
wedyd,
8 Gwelais noswaith; ac wele ŵr
yn marchogaeth ar farch coch, ac
yr oedd efe yn sefyll rhwng y myrt-
wŷdd y rhai *oedd* yn y pant; ac o'i
ol ef feirch cochion, brithion, a
gwŷnion.
9 Yna y dywedais, Beth *yw* y
rhai hyn, fy arglwydd? A dywed-

---

*wrth eich tadau*] Am eu heilunaddoliaeth, eu cyndynrwydd, a'u pechodau ereill, fel ag i losgi eu dinas a'u teml, a'u hanfon hwythau yn gaethion i Babilon; ac, fel pe dywedasai, efe a ddigia yr un modd wrthych chwithau y rhai a ddychwelasoch o'r caethiwed hwnw, onid edifarhewch, ac oni byddwch ffyddlon iddo ef a'i addoliad.

Adn. 3. *Am hyny dywed wrthynt*] Oddiwrthyf fi, *Dychwelwch ataf fi*—mewn gwir edifeirwch ac ufydd-dod; *a mi a ddychwelaf atoch chwithau*—mewn trugaredd a maddeuant; *medd Arglwydd y lluoedd*—yr hwn a enwir fel hyn i ddangos ei fawredd a'i awdurdod, ac i gymhell ufydd-dod i'w orchymynion.

Adn. 4. *Na fyddwch fel eich tadau*] Y rhai y bu y proffwydi cyn y caethgludiad yn galw arnynt yn ddieffaith i ddychwelyd oddiwrth eu ffyrdd a'u gweithredoedd drygionus: *ond ni chlywent*—ni thalent sylw i'w cenadwri, mwy na phe buasent fyddariaid; *ac ni wrandawent arnaf*—finau, yr hwn oeddwn yn llefaru trwyddynt hwy.

Adn. 5. *Eich tadau, pa le y maent hwy?*] Onid ydynt wedi eu dyfetha trwy y cleddyf, y newyn, neu yr haint, neu wedi marw yn Babilon? *A'r proffwydi*—y rhai a fuont yn eu rhybyddio, megys Esay, Hosea, ac ereill; *ydynt hwy yn fyw byth?*—nac ydynt: ond y mae eu rhybyddion yn aros fyth yn eu llawn rym; a bydd i'r un cospau eich goddiweddyd chwithau, os dylynwch eu llwybrau hwy.

Adn. 6. *Oni ddarfu er hyny i'm geiriau a'm deddfau, &c.*] Fel pe dywedasai, Er fod y proffwydi wedi marw, eto darfu i'r bygythion a gyhoeddais i trwyddynt hwy oddiwes eich tadau, nes y gorfu iddynt gyfaddef gyda gofid fod yr holl gospedigaethau cyfiawn a fygythiais yn eu herbyn wedi dyfod arnynt yn weithredol. Ond yn lle 'hwy a *ddychwelasant*,' y mae y LXX yn ei ddarllen, 'hwy a *atebasant* ac a ddywedasant,' &c.

Adn. 7. *Ar y pedwarydd dydd ar hugain o'r unfed mis ar ddeg*] Sef yn mhen oddeutu tri mis ar ol y weledigaeth gyntaf, adn. 1; *hwnw yw mis Sebat*—yr hwn sydd enw Caldeig neu Syrieig ar y mis, ac nid enw Hebreig; ac y mae yn cyfateb i ran o Ionawr a Chwefror; *y daeth gair yr Arglwydd at Zechariah*—yr ail waith, gyda datguddiedigaethau gweledigol; *gan ddywedyd*—neu, fel y mae rhai yn ei ddarllen, 'daeth gair yr Arglwydd at Zechariah, *yr hwn* a ddywedodd.'

Adn. 8. *Gwelais noswaith*] Neu 'gwelais *yn* y nos,' yr hon oedd yn arwydd o'r amser trallodus a ddisgynai ar yr Iuddewon; *ac wele ŵr yn marchogaeth ar farch coch*—yr hwn oedd yn arwydd o ryfel a thywalltiad gwaed. Meddylir yn gyffredin mai Angel y Cyfammod, sef Mab Duw, oedd hwn ar rith gŵr. *Ac yr oedd efe yn sefyll rhwng y myrtwŷdd, y rhai oedd yn y pant*—trwy fod 'myrtwŷdd' yn arwydd o *heddwch*, tybia rhai eu bod yma yn awgrymiad y byddai i bob rhyfel ddarfod cyn hir; ond tybia ereill fod 'myrtwŷdd yn y *pant*,' yn arddanghosiad o gyflwr isel gwir blant Duw. *Ac o'i ol ef feirch cochion, brithion, a gwŷnion*—tybia rhai fod y gwahanol liwiau hyn yn gosod allan wahanol raddau yr angylion ag sydd yn gweini i Jehofa, neu eu gwahaniaeth mewn gallu, awdurdod, ac urddas; a thybia ereill eu bod yn dynodi gwahanol nodwedd y rhyfel a ddygid yn mlaen gan Darïus, weithiau yn llwyddiannus, ac weithiau yn aflwyddiannus.

Adn. 9. *Yna y dywedais, Beth yw y rhai hyn, fy arglwydd?*] Efe a ofynai hyn i angel ag oedd yn sefyll gydag ef i egluro iddo ystyr y gweledigaethau. Tybia rhai ei fod yn wahanol i'r gŵr a safai rhwng y myrtwŷdd, adn. 8; ond yr wyf fi yn meddwl mai yr un

odd yr angel oedd yn ymddyddan â
mi wrthyf, Mi a ddanghosaf it'
beth yw y rhai hyn.
10 A'r gŵr yr hwn oedd yn sefyll
rhwng y myrtwŷdd a atebodd ac a
ddywedodd, Dyma y rhai a heb-
ryngodd yr Arglwydd i ymrodio
trwy y ddaear.
11 A hwythau a atebasant angel
yr Arglwydd, yr hwn oedd yn
sefyll rhwng y coed myrt, ac a
ddywedasant, Rhodiasom trwy y
ddaear; ac wele yr holl ddaear yn
eistedd, ac yn llonydd.
12 ¶ Ac angel yr Arglwydd a
atebodd ac a ddywedodd, O Ar-
glwydd y lluoedd, pa hyd na thru-
garhei wrth Jerusalem, a dinasoedd
Juda, wrth y rhai y digiaist y deng
mlynedd a thriugain hyn?
13 A'r Arglwydd a atebodd yr
angel oedd yn ymddyddan â mi, *â*
geiriau daionus, *a* geiriau com-
fforddus.
14 A'r angel yr hwn oedd yn
ymddyddan â mi a ddywedodd
wrthyf, Gwaedda, gan ddywedyd,
Fel hyn y dywed Arglwydd y llu-
oedd; Deliais eiddigedd mawr dros
Jerusalem a thros Seion.
15 A digiais yn ddirfawr wrth y
cenhedloedd difraw; y rhai *pan*
ddigiais ychydig, hwythau a gy-
northwyasant y niwed.
16 Am hyny fel hyn y dywed yr
Arglwydd; Dychwelais at Jeru-
salem â thrugareddau: fy nhŷ a
adeiledir ynddi, medd Arglwydd y
lluoedd, a llinyn a estynir ar Jeru-
salem.
17 Gwaedda eto, gan ddywedyd,
Fel hyn y dywed Arglwydd y llu-
oedd; Fy ninasoedd a ymeangant
gan ddaioni, a'r Arglwydd a rydd

ydoedd, sef Angel y Cyfammod, neu Fab Duw ei hun. *Mi a ddanghosaf it' beth yw y rhai hyn*—ac efe a wnaeth hyny, fel y gwelwn yn yr adnod nesaf.

Adn. 10. *A'r gŵr yr hwn oedd yn sefyll rhwng y myrtwydd*] Sef Angel mawr y Cyfammod, adn. 8; *a atebodd ac a ddywedodd*—yn ol ei addewid yn adn. 9; *Dyma y rhai a hebryngodd yr Arglwydd i ymrodio trwy y ddaear*—y rhai ar y meirch cochion, brithion, a gwŷnion, adn. 8, yw cenadau neu weision Jehofa yn y byd.

Adn. 11. *A hwythau a atebasant angel yr Arglwydd*] Darfu i'r marchogion ar y meirch amryliw, adn. 8, ateb y gŵr ar y march coch, yr hwn a ofynasai iddynt am adroddiad o'u negeswriaeth; *Rhodiasom trwy y ddaear*—i wneyd y gwaith a benodwyd i ni; *ac wele yr holl ddaear yn eistedd, ac yn llonydd*—hyny yw, y mae heddwch cyffredinol trwy holl amherodraeth Persia, a thrwy y taleithiau ereill ag sydd yn dal cysylltiad â Judea: ond y mae yr Iuddewon fyth yn cael eu *cystuddio*, ac y mae eu dinas a'u teml heb eu hadgyweirio.

Adn. 12. *Ac angel yr Arglwydd a atebodd ac a ddywedodd*] Sef Angel y Cyfammod, yr Eiriolwr a'r Cyfryngwr mawr rhwng Duw a dynion; *O Arglwydd y lluoedd*—efe a lefara yma wrth ei Dad, Penllywydd yr holl fydysawd; *pa hyd na thrugarhei wrth Jerusalem a dinasoedd Juda*—y rhai oeddynt eto heb eu hadgyweirio; *wrth y rhai y digiaist y deng mlynedd a thriugain hyn*—sef yn ystod y caethiwed Babilonaidd? Am y tri dechread i'r caethiwed hwn, gwel ar Ezra iii. 12, 2 Bren. xxiv. 13.

Adn. 13. *A'r Arglwydd a atebodd yr angel oedd yn ymddyddan â mi*] Sef yr hwn oedd yn sefyll rhwng y myrtwŷdd, adn. 8—11; *â geiriau daionus, a geiriau comfforddus*—sef â geiriau cysurus i'r Iuddewon adfydus.

Adn. 14. *A'r angel yr hwn oedd yn ymddyddan â mi*] Sef Mab Duw ar rith gŵr; *a ddywedodd wrthyf, Gwaedda*—cyhoedda yn uchel y geiriau daionus a chysurus a ddywedwyd gan Arglwydd y lluoedd; *Deliais eiddigedd mawr dros Jerusalem a thros Seion*—y rhai a fuont anffyddlon i'm cyfammod i, ac a gospwyd genyf am hyny.

Adn. 15. *A digiais yn ddirfawr wrth y cenhedloedd difraw*] Y rhai sydd yn trigo yn ddiofal a diddychryn, sef y Babiloniaid, yr Edomiaid, y Samariaid, ac ereill, yn llaw pa rai y rhoddais fy mhobl i'w ceryddu; *y rhai pan ddigiais ychydig*—wrthynt, sef wrth yr Iuddewon: *hwythau*—sef y cenhedloedd difraw uchod, *a gynorthwyasant y niwed*—neu a'i gwnaethant ef yn fwy, trwy drymhau cosp fy mhobl, ac estyn amser eu cystudd hwy, wrth attal cyflawniad gorchymyn Cyrus o blaid yr Iuddewon, Ezra iv. 1—6: gwel ar Esay xlvii. 6, &c.

Adn. 16. *Am hyny fel hyn y dywed yr Arglwydd*] Dyma rai o'r 'geiriau daionus a chomfforddus' a lefarodd efe; *Dychwelais at Jerusalem â thrugareddau*—efe a giliasai oddiwrth Jerusalem mewn barn, ond dychwelodd ati mewn trugaredd. Hyn sydd atebiad i'r eiriolaeth yn adn. 12, 'pa hyd na thrugarhei wrth Jerusalem?' &c. *Fy nhŷ a adeiledir ynddi*—nes ei gwbl orphen; *a llinyn a estynir ar Jerusalem*—sef llinyn y saer, i'w mesur a'i hadeiladu hi.

Adn. 17. *Gwaedda eto*] Cyhoedda yn mhellach; *Fy ninasoedd a ymeangant gan ddaioni*—bydd i ddinasoedd ereill Juda gael eu hadeiladu, eu heangu, a'u cyfanheddu fel o'r blaen; neu chwanegir dinasoedd ereill at eu nifer, yn y rhai y mwynheir pob daioni. *A'r Arglwydd a rydd gysur i Seion eto, ac a ddewis Jerusalem eto*—fel mangre ei bres-

gysur i Seion eto, ac a ddewis Je-
rusalem eto.
18 ¶ A chodais fy llygaid, ac
edrychais; ac wele bedwar corn.
19 A dywedais wrth yr angel
oedd yn ymddyddan â mi, Beth *yw*
y rhai hyn? Dywedodd yntau wrth-
yf, Y rhai hyn *yw* y cyrn a wasgar-
asant Juda, Israel, a Jerusalem.
20 A'r Arglwydd a ddanghosodd
i mi bedwar saer *hefyd*.
21 Yna y dywedais, I wneuthur
pa beth y daw y rhai hyn? Ac efe
a lefarodd, gan ddywedyd, Y rhai
hyn *yw* y cyrn a wasgarasant Juda,
fel na chodai un ei ben: ond y rhai
hyn a ddaethant i'w tarfu hwynt, i
daflu allan gyrn y cenhedloedd, y
rhai a godasant *eu* cyrn ar wlad
Juda i'w gwasgaru hi.

## PENNOD II.

DYRCHEFAIS fy llygaid dra-
chefn, ac edrychais; ac wele
ŵr, ac yn ei law linyn mesur.
2 A dywedais, I ba le yr ei di?
Ac efe a ddywedodd wrthyf, I fes-
uro Jerusalem, i weled beth *yw* ei
lled hi, a pheth *yw* ei hyd hi.
3 Ac wele yr angel a oedd yn
ymddyddan â mi yn myned allan,
ac angel arall yn myned allan i'w
gyfarfod ef.
4 Ac *efe* a ddywedodd wrtho,
Rhed, llefara wrth y llanc hwn, gan

---

wylfod a'i addoliad, lle y dyry efe gysuron ysbrydol i'w bobl. Ond y mae yr addewid hon i gael ei llawn gyflawniad yn eglwys y Testament Newydd yn y dyddiau diweddaf.

Adn. 18. *A chodais fy llygaid*] Oddiar y weledigaeth gyntaf, *ac edrychais*—ar olygfa newydd: *ac wele bedwar corn*—yn arddangos ond odid y pedwar gallu a fuont yn taflu ac yn gwasgaru Juda ac Israel, fel tarw gwyllt yn taflu i'r awyr ba beth bynag a ddeuai yn ei ffordd. Tybia *Calmet* mai yr Assyriaid, y Caldeaid, y Persiaid, a'r Aifftiaid a olygir yma; tra y barna ereill mai y pedair amherodraeth fawr a feddylir, sef y Fabilonaidd, y Bersiaidd, y Roegaidd, a'r Rufeinaidd, y rhai yn eu tro a orthrymasant yr Iuddewon, ac a gawsant wedi hyny eu tarfu neu eu diddymu eu hunain. Neu fe allai fod y *pedwar corn* hyn yn cyfeirio at elynion yr Iuddewon o bedwar cwr y ddaear; megys yr Assyriaid a'r Babiloniaid o'r *gogledd;* y Moabiaid a'r Ammoniaid o'r *dwyrain;* yr Aifftiaid o'r *deau;* a'r Philistiaid o'r *gorllewin:* ond gwel ar adn. 20, 21.

Adn. 19. *Beth yw y rhai hyn*] Neu pwy ydynt? *Y rhai hyn yw y cyrn a wasgarasant Juda, Israel, a Jerusalem*—o dro i dro, gan wasgaru y trigolion, ac annghyfaneddu y dinasoedd.

Adn. 20. *A'r Arglwydd a ddanghosodd i mi*] Trwy yr angel oedd yn ymddyddan â mi; neu felly y geilw efe yr angel ei hun; *bedwar saer hefyd*—y rhai oeddynt i lifio a dystrywio y cyrn hyny. Tybia *Calmet* mai y cyntaf oedd *Nabopolassar*, tad Nebuchodonosor, yr hwn a ddymchwelodd amherodraeth yr Assyriaid; mai yr ail oedd *Cyrus*, yr hwn a ddystrywiodd amherodraeth y Caldeaid; mai y trydydd oedd *Alexander Fawr*, yr hwn a ddinystriodd amherodraeth y Persiaid; ac mai y pedwerydd oedd *Ptolemy*, yr hwn a orchfygodd yr Aifft. Tybia ereill mai *Zorobabel, Josua, Ezra*, a *Nehemiah* oedd y pedwar *saer* hyn, y rhai a ddaethant i waredu yr Iuddewon oddiwrth y *Samariaid*, yr *Arabiaid*, yr *Ammoniaid*, a'r *Philistiaid*, sef y pedwar *corn* a rwystrent iddynt adeiladu y ddinas a'r deml, Neh. iv. 7.

Adn. 21. *I wneuthur pa beth y daw y rhai hyn?*] Nid yw efe yn gofyn pwy oeddynt, eithr beth oedd eu hamcan, neu beth fyddai eu gwaith? *Y rhai hyn yw y cyrn a wasgarasant Juda*—ac Israel hefyd, adn. 19; *fel na chodai un ei ben*—fel nad oedd gan neb allu na gwroldeb i'w gwrthsefyll. Fel hyn, cyn ateb gofyniad y proffwyd mewn perthynas i'r *seiri*, y mae yr angel yn gyntaf yn galw ei sylw ef eilwaith at y *cyrn*, i ddangos mawredd y niwed a wnaent i bobl yr Arglwydd; ac yna chwanega, *Ond y rhai hyn a ddaethant i'w tarfu hwynt*—neu i'w maeddu a'u hymlid hwythau; *i daflu allan gyrn y cenhedloedd*—y rhai a fuont mor elyniaethus a niweidiol i bobl yr Arglwydd. Ond fe allai nad yw y rhif *pedwar* yn adn. 18, 20, i'w ddeall yn llythyrenol, eithr ei fod yn cyfeirio at unrhyw nifer o elynion neu gyfeillion eglwys Duw; ac yn arwyddo, pan godai rhyw *gorn* i flino yr eglwys, fod gan Dduw ei *saer* hefyd, i'w lifio a'i ddryllio ef yn chwilfriw.

PEN. II. Adn. 1, 2. *Dyrchefais fy llygaid drachefn*] Gwel ar pen. i. 18; *ac wele ŵr*—neu angel ar rith gŵr, yn arddangos Nehemiah ond odid, dan arolygaeth yr hwn yr oeddid i adeiladu y mur; *ac yn ei law linyn mesur*—i fesur hyd a lled sylfaeni Jerusalem, i'r dyben i'w hailadeiladu.

Adn. 3. *Ac wele yr angel a oedd yn ymddyddan â mi*] Sef Angel mawr y Cyfammod, fel y danghoswyd uchod; *yn myned allan*—oddiwrthyf, fel pe buasai wedi gorphen ei waith gyda mi; *ac angel arall yn myned allan i'w gyfarfod ef*—neu yn dyfod i'w gyfarfod ef, pan yr oedd y cyntaf yn myned allan.

Adn. 4. *Ac efe a ddywedodd wrtho*] Sef wrth yr ail angel hwn: *Rhed, llefara wrth y llanc*—sef wrth y proffwyd Zechariah, yr hwn nad oedd y pryd hyny nemawr uwchlaw ugain mlwydd oed: gwel y rhagarweiniad. *Jerusalem a gyfaneddir fel maesdrefi*—neu 'fel trefi heb gaerau iddynt;' hyny yw, bydd i'w

ddywedyd, Jerusalem a gyfaneddir
*fel* maesdrefi, rhag amled dyn ac
anifel o'i mewn.
5 Canys byddaf iddi yn fur o dân
o amgylch, medd yr Arglwydd, a
byddaf yn ogoniant yn ei chanol.
6 ¶ Ho, ho, *deuwch allan*, a ffo-
wch o wlad y gogledd, medd yr
Arglwydd: canys taenais chwi fel
pedwar gwynt y nefoedd, medd yr
Arglwydd.
7 O Seion, ymachub, yr hon wyt
yn preswylio *gyda* merch Babilon.
8 Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd; Ar ol y gogon-
iant y'm hanfonodd at y cenhedl-
oedd y rhai a'ch yspeiliasant chwi:
canys a gyffyrddo â chwi, sydd yn
cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef.
9 Canys wele fi yn ysgwyd fy
llaw arnynt, a byddant yn ysglyf-
aeth i'w gweision: a chânt wybod
mai Arglwydd y lluoedd a'm han-
fonodd.
10 ¶ Cân a llawenycha, merch
Seion: canys wele fi yn dyfod; a
mi a drigaf yn dy ganol di, medd
yr Arglwydd.
11 A'r dydd hwnw cenhedloedd
lawer a ymlynant wrth yr Ar-
glwydd, ac a fyddant bobl i mi: a
mi a drigaf yn dy ganol di, a chei
wybod mai Arglwydd y lluoedd a'm
hanfonodd atat.
12 A'r Arglwydd a etifedda Juda,
ei ran yn y tir santaidd, ac a ddewis
Jerusalem drachefn.
13 Pob cnawd, taw yn ngwydd

---

thrigolion luosogi mor gyflym fel na fydd i'r tai tufewn i'r muriau allu eu cynwys hwynt oll, eithr bydd yn rhaid estyn y ddinas tufaes i'w muriau; *rhag amled dyn ac anifel o'i mewn*—yn unol â hyn dywed Josephus ac ereill iddynt orfod adeiladu tai o amgylch Jerusalem, oddeutu bryn Bezetha.

Adn. 5. *Canys byddaf iddi yn fur o dân o amgylch*] I ddiogelu yr adeiladau tufaes i'r muriau. Y mae yma gyfeiriad at yr arferiad o gyneu tân yn y nos o amgylch gwersyll yr ymdeithwyr yn y dwyrain, i gadw ymaith y bwystfilod rheibus. *A byddaf yn ogoniant yn ei chanol*—yn y deml yn nghanol y ddinas, trwy fy mhresenoldeb grasol. Ond yn y Jerusalem newydd, sef yr eglwys dan yr efengyl, y cyflawnir hyn yn benaf.

Adn. 6. *Ho, ho*] Chwi Iuddewon cysglyd; *deuwch allan*—o'ch caethiwed; *a ffowch o wlad y gogledd*—sef o Caldea a Babilon, i Jerusalem fawr ei breintiau. Yr oedd llawer o'r Iuddewon wedi aros yn Babilon ar ol i'r 70 mlynedd ddyfod i ben; a gelwir arnynt yma i ddychwelyd oddiyno gyda phob brys, am y rheswm a enwir adn. 9. *Canys taenais chwi fel pedwar gwynt y nefoedd*—ar hyd gwlad Caldea.

Adn. 7. *O Seion, ymachub*] Dianc ymaith am dy einioes; *yr hon wyt yn preswylio gyda merch Babilon*—neu yn aros yn Babilon ar ol i'th frodyr ddyfod adref: gwel ar Ezra i. 5.

Adn. 8. *Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Sef MAB DUW, yr hwn a anfonwyd at y cenhedloedd yspeilgar gan Arglwydd y lluoedd, sef y TAD, adn. 9. Fel hyn ni a welwn fod yr enw goruchel hwn yn cael ei roddi i'r Tad a'r Mab. *Ar ol y gogoniant y'm hanfonodd at y cenhedloedd y rhai a'ch yspeiliasant chwi*—hyny yw, darfu i'r Tad anfon ei Fab i *hawlio* gogoniant neu anrhydedd i'w bobl yspeiliedig, oddiwrth neu trwy y *gosp* a weinyddid ar eu hyspeilwyr hwy. *Canys a gyffyrddo â chwi*—i'ch niweidio, *sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef*—â'r rhan dyneraf o Dduw, fel y mae canwyll y llygad y rhan dyneraf o ddyn. Tybia rhai mai geiriau y proffwyd yw y rhai hyn, yr hwn a anfonwyd i gyhoeddi barnau Duw ar y Caldeaid ar ol iddo addaw y fath ogoniant i Jerusalem; ond ymddengys mai yr ystyr blaenaf yw y mwyaf naturiol.

Adn. 9. *Canys wele fi yn ysgwyd fy llaw arnynt*] I fygwth y Caldeaid y rhai a yspeiliasant fy mhobl; *a byddant yn ysglyfaeth i'w gweision*—sef i'r Mediaid a'r Persiaid, y rhai a ddarostyngwyd gynt gan frenin Babilon: *a chânt wybod mai Arglwydd y lluoedd a'm hanfonodd*—hwy a ddeallant fy nwyfol anfoniad oddiwrth fawredd eu dinystr. Y rhai hyn sydd barhad o eiriau y llefarydd yn adn. 8.

Adn. 10. *Cân a llawenycha, merch Seion*] Sef preswylwyr Jerusalem, neu y genedl Iuddewig yn gyffredinol; *canys wele fi yn dyfod*—i gwblhau dy waredigaeth di trwy ddyfetha dy elynion: *a mi a drigaf yn dy ganol di*—i'th amddiffyn a'th fendithio. Ond fe allai fod y geiriau hyn yn cyfeirio yn benaf at ddyfodiad Crist yn y cnawd, a'i drigiad ysbrydol yn ei eglwys hyd ddiwedd amser.

Adn. 11. *A'r dydd hwnw cenhedloedd lawer a ymlynant wrth yr Arglwydd*] Meddylir fod yr addewid hon yn cyfeirio yn unig at ddychweliad y CENHEDLOEDD at Grist dan yr efengyl; canys ni chafodd cenhedloedd cyfain erioed eu proselytio i'r grefydd Iuddewig. *Ac a fyddant bobl i mi*—mewn cyfammod â mi, i'm haddoli a'm gwasanaethu i yn unig. *A mi a drigaf yn dy ganol di*—trwy fy Ysbryd, sef yn yr eglwys Gristionogol; *a chei wybod mai Arglwydd y lluoedd a'm hanfonodd atat*—i'th waredu a'th gysuro, fel y gwir Fessia, 'etholedig Duw,' Luc xxiii. 35.

Adn. 12. *A'r Arglwydd a etifedda Juda, ei ran yn y tir santaidd*] Sef yn yr eglwys Gristionogol, o'r hon yr oedd gwlad Canaan yn gysgod; *ac a ddewis Jerusalem drachefn*—

yr Arglwydd: canys cyfododd o
drigfa ei santeiddrwydd.

## PENNOD III.

AC efe a ddanghosodd i mi Josua
yr archoffeiriad yn sefyll ger
bron angel yr Arglwydd, a Satan
yn sefyll ar ei ddeheulaw ef i'w
wrthwynebu ef.
2 A'r Arglwydd a ddywedodd
wrth Satan, Cerydded yr Arglwydd
dydi Satan; sef yr Arglwydd yr
hwn a ddewisodd Jerusalem, a'th
geryddo: onid pentewyn *yw* hwn
wedi ei achub o'r tân?
3 A Josua ydoedd wedi ei wisgo
â dillad budron, ac yn sefyll yn
ngŵydd yr angel.
4 Ac efe a atebodd, ac a ddywed-
odd wrth y rhai oedd yn sefyll ger
ei fron, gan ddywedyd, Cymerwch
ymaith y dillad budron oddiam
dano ef. Wrtho yntau y dywedodd,
Wele, symudais dy anwiredd oddi-
wrthyt, a gwisgaf di hefyd â newid
dillad.
5 A dywedais hefyd, Rhoddant
feitr têg ar ei ben ef: a roddasant
feitr têg ar ei ben ef, ac a'i gwisgas-
ant â dillad; ac angel yr Arglwydd
oedd yn sefyll gerllaw.

---

i osod ei enw ynddi. Ar ol cyfeirio at ddychweliad y CENHEDLOEDD i'r eglwys Gristionogol yn adn. 11, y mae efe yma yn cyfeirio at ddychweliad yr IUDDEWON iddi hefyd; a phan y bydd yr holl fyd wedi ei ddwyn at Grist, diamau y bydd lawer o demlau Cristionogol yn Jerusalem hefyd. Y mae hyn wedi ei gyflawni i raddau eisioes, trwy fod eglwys ac esgob Protestanaidd er's blynyddau bellach yn Jerusalem. Nid wyf fi yn meddwl fod yma y cyfeiriad lleiaf at ddychweliad yr Iuddewon fel cenedl i Ganaan.

Adn. 13. *Pob cnawd*] Iuddewon a Chenhedloedd, *taw yn ngŵydd yr Arglwydd*—gwel ar Hab. ii. 20; *canys cyfododd o drigfa ei santeiddrwydd*—i ddwyn oddiamgylch ei holl fwriadau hyn.

PEN. III. Adn. 1. *Ac efe a ddanghosodd i mi Josua yr archoffeiriad*] Meddylir yn gyffredin fod Josua yma yn cynrychioli yr holl genedl Iuddewig, neu ynte yr offeiriadaeth; ond gellid meddwl oddiwrth rai o'r adnodau dylynol, ei fod ef yn sefyll yn unigol yn ei gymeriad personol ei hun. *Yn sefyll gerbron angel yr Arglwydd*—sef Angel mawr y Cyfammod, neu Fab Duw. *A Satan yn sefyll ar ei ddeheulaw ef*—sef ar ddeheulaw Josua; canys yr oedd yn arferiad mewn llysoedd barn, i'r cyhuddwr sefyll ar ddeheulaw y cyhuddedig, Salm cix. 6; *i'w wrthwynebu ef*—neu i'w 'gyhuddo' o anghymwysder moesol i weinyddu mewn pethau cysegredig.

Adn. 2. *A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Satan*] Mab Duw a ddywedodd wrtho, ger bron yr hwn yr oedd Josua ac yntau yn sefyll, adn. 1. *Cerydded yr Arglwydd dydi Satan*—rhwystred Duw Dad i'th ddichellion di lwyddo yn erbyn Josua, yr offeiriadaeth, a'r genedl; *sef yr Arglwydd yr hwn a ddewisodd Jerusalem*—yn drigfa ei egoniant, *a'th geryddo*—fel hyn yr oedd yn well gan Grist, fel Cyfryngwr, geryddu Satan yn enw ei Dad, nag yn ei enw ei hun. *Onid pentewyn yw hwn wedi ei achub o'r tân?*—yr oedd Josua, yn nghyda'r lleill a ddychwelasent o ffwrneisiau Babilon, yn debyg i bentewyn wedi ei gipio o'r tân pan ar hanner llosgi; ac a wyt ti, fel pe dywedasai, am ei lwyr losgi ef? Nid yw Crist yn llefaru am Josua a'r lleill fel gwrthddrychau canmoliaeth, eithr fel gwrthddrychau tosturi. Ymddengys mai at yr amgylchiad hwn y cyfeiria Judas, pan y dywed efe fod Michael yr archangel yn ymddadlu â diafol 'yn nghylch corff Moses;' nid ei *gorff naturiol* ef ond odid, yr hwn oedd bellach wedi ei gladdu er's oddeutu mil o flynyddoedd; eithr y *corff o ddeddfau* a roddwyd gan Moses i'r Iuddewon, y rhai a dorwyd gan Josua a'r lleill, o'r hyn y cyhuddir hwynt yma: gwel ar Judas, 9.

Adn. 3. *A Josua ydoedd wedi ei wisgo â dillad budron*] Sef â 'bratiau ei gaethiwed,' trwy y rhai yr arddanghosir yma ei halogrwydd moesol ef a'r bobl, Ezra x. 18; *ac yn sefyll yn ngŵydd yr angel*—fel yn barod i weini yn ei swydd.

Adn. 4. *Ac efe*] Sef Angel mawr y Cyfammod; *a ddywedodd wrth y rhai oedd yn sefyll ger ei fron*—sef wrth yr îs-angylion, y rhai oedd yn gweini iddo; *Cymerwch ymaith y dillad budron oddiam dano ef*—gallai yr angylion crëedig symud ymaith y dillad budron, ond yr oedd yn rhaid cael awdurdod uwch i symud ymaith yr anwiredd a osodid allan trwyddynt hwy; ac am hyny chwanegir, *Wrtho yntau y dywedodd*—sef wrth Josua; *Wele, symudais dy anwiredd oddiwrthyt*—trwy rinwedd fy aberth fy hun; *a gwisgaf di hefyd â newid dillad*—â dillad offeiriadol hardd a glân, y rhai a arddanghosent burdeb a santeiddrwydd.

Adn. 5. *A dywedais hefyd*] Neu, fel y mae y Syriaeg a'r Vulgate yn ei ddarllen, 'a *dywedodd* hefyd;' *Rhoddant feitr têg ar ei ben ef*—sef math ar gap, ar ba un y dodid y dalaith neu y goron offeiriadol. *A rhoddasant feitr têg ar ei ben ef*—fel y gorchymynwyd iddynt; *ac a'i gwisgasant â dillad*—sef â dillad offeiriadol glân a newydd; canys nid oeddid byth yn golchi yr hen ddillad, eithr defnyddid hwy yn lle wic i oleuo y lampau, ebai *Maimonides*, a darperid gwisgoedd newyddion yn eu lle. *Ac angel yr Arglwydd oedd yn sefyll gerllaw*—sef Mab Duw, trwy orchymyn yr hwn y gwnaed hyn oll.

Adn. 6. *Ac angel yr Arglwydd*] Sef Duw

6 Ac angel yr Arglwydd a dyst-
iolaethodd wrth Josua, gan ddy-
wedyd,
7 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Os rhodi di yn fy ffyrdd,
ac os cedwi fy nghadwraeth, tithau
hefyd a ferni fy nhŷ, ac a gedwi fy
nghynteddoedd; rhoddaf it' hefyd
leoedd i rodio yn mysg y rhai hyn
sydd yn sefyll *yma.*
8 Gwrandaw, atolwg, Josua
yr archoffeiriad, ti a'th gyfeillion
sydd yn eistedd ger dy fron: canys
gwŷr rhyfedd *yw* y rhai hyn: oher-
wydd wele dygaf allan fy ngwas Y
BLAGURYN.
9 Canys wele, y gareg a roddais
gerbron Josua; ar un gareg *y bydd*
saith o lygaid: wele fi yn naddu ei
naddiad hi medd Arglwydd y llu-
oedd, a mi a symudaf ymaith anwir-
edd y tir hwnw mewn un diwrnod.
10 Y dwthwn hwnw, medd Ar-
glwydd y lluoedd, y gelwch bob un
ei gymydog dan y winwydden, a
than y ffigysbren.

## PENNOD IV.

A'R angel yr hwn oedd yn ymddy-
ddan â mi, a ddychwelodd, ac
a'm deffrôdd, fel y deffroir un o'i
gwsg.
2 Ac a ddywedodd wrthyf, Beth

---

Fab; *a dystiolaethodd wrth Josua*—a sicrhaodd iddo yn y modd mwyaf pwysig a difrifol.

Adn. 7. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Sef Duw Dad; *Os rhodi di yn fy ffyrdd*—yn ffyrdd crefydd a santeiddrwydd; *ac os cedwi fy nghadwraeth*—fy holl orchymynion perthynol i'th swydd fel archoffeiriad; *tithau hefyd a ferni fy nhŷ*—a gai fod yn llywodraethwr yn fy nheml; *ac a gedwi fy nghynteddoedd*—nid fel gwas, ond fel penaeth, a'r holl Lefiaid yn gweini danat: *rhoddaf it' hefyd leoedd i rodio yn mysg y rhai hyn sydd yn sefyll yma*—deallir y geiriau hyn mewn pedair ffordd: (1) Rhoddaf i ti yr anrhydedd o gael bod yn ben ar yr îs-offeiriaid hyn: gwel *Blayney.* (2) Cai ryddid i fyned i'r cysegr santeiddiolaf, i fysg y cerubiaid a safant yno: gwel *Newcome.* (3) Cai fod dan ofal ac arweiniad yr angylion, yr ysbrydion gwasanaethgar hyn, yn y cyflawniad o'th swydd: gwel *Henderson.* (4) Cai dy dderbyn yn y diwedd i'r trigfanau nefol at y rhai oll a santeiddiwyd: gwel *Clarke, Scott, &c.*

Adn. 8. *Gwrandaw, atolwg, Josua*] Sylwa yn fanwl ar yr hyn yr wyf yn myned i'w fynegu; *ti a'th gyfeillion sydd yn eistedd ger dy fron*—sef yr offeiriaid cyffredin; neu y cynghorwyr gwladol, yn mhlith y rhai yr oedd Zorobabel yn un; neu ynte y genedl Iuddewig yn gyffredinol; canys y mae i bob un o'r golygiadau hyn ei bleidwyr gwresog. *Canys gwŷr rhyfedd yw y rhai hyn*—rhai wedi eu cadw yn rhyfedd yn Babilon, a'u dychwelyd mewn modd rhyfedd oddiyno. Ond gellir ei gyfieithu, 'gwŷr *cysgodol* neu *arwyddocaol,*' yn rhagddangos adferiad rhyfedd yr eglwys dan lywodraeth y Messia. *O herwydd wele, dygaf allan fy ngwas* Y BLAGURYN—sef y 'MESSIA,' fel ei gelwir yn y Galdeaeg, i'r hwn y rhoddir yr enw *Blaguryn* mewn amrai leoedd ereill: gwel pen. vi. 12, Esay iv. 2, a xi. 1, a liii. 2, Jer. xxiii. 5, a xxxiii. 15, Ezec. xvii. 22. Tybia *Newcome* mai at *Zorobabel* y cyfeirir yma; ond yr oedd hwnw wedi ei 'ddwyn allan' eisioes er's blynyddau, ac wedi ei osod mor uchel mewn awdurdod ag y byddai efe byth wedi hyny.

Adn. 9. *Canys wele y gareg a roddais ger bron Josua*] Meddylir fod yma gyfeiriad at sylfaen neu gonglfaen y deml, yr hon ond odid a osodwyd i lawr gydag edmygedd mawr yn ngwydd Josua, a'r hon oedd yn gysgod o Grist; gwel ar Esay xxviii. 16. *Ar un gareg*—neu 'ar y gareg *hòno,*' sef ar Grist, yr hwn a gysgodid gan sylfaen y deml; *y bydd saith o lygaid*—yn arwyddo y cyflawnder perffaith o wybodaeth a doethineb dwyfol a fyddai gan Grist i wylio dros ei eglwys; neu y cyflawnder o ddoniau a grasau yr Ysbryd Glân, â pha rai y cynysgaeddid ef. *Wele fi yn naddu ei naddiad hi*—neu yn ei chymhwyso i'w lle, neu at ei gwaith. Ond tybia rhai fod yma gyfeiriad at y naddiad neu y cerfiad ag y tybid ei fod ar sylfaen y deml, yn cynwys enwau deuddeg llwyth Israel, Dat. xxi. 12; neu at waith y Tad yn selio Crist, Ioan vi. 27: a thybia ereill fod yma gyfeiriad at holltiad y graig yn Horeb, Exod. xvii. 6; neu at ddyoddefiadau Crist, trwy y rhai y perffeithiwyd ef fel Gwaredwr, ac y caed allan ffrydiau gloewon i olchi ymaith bechod ac aflendid: gwel Blayney. *A mi a symudaf ymaith anwiredd y tir hwnw mewn un diwrnod*—sef yn y diwrnod bythgofiadwy hwnw, pryd y bu Crist farw 'i ddileu pechod trwy ei aberthu ei hun,' Heb. ix. 26.

Adn. 10. *Y dwthwn hwnw*] Sef yn ystod goruchwyliaeth yr efengyl; *y gelwch bob un ei gymydog dan y winwydden, a than y ffigysbren*—hyny yw, bydd i bawb y pryd hyny wahodd eu gilydd yn daer a serchog, heb unrhyw wahaniaeth na phleidgarwch, i gyfranogi o ffrwythau danteithiol yr iachawdwriaeth yn eglwys Crist. Meddylir fod yma gyfeiriad at arferiad brawdol y dwyreinwyr o wahodd eu gilydd i gydwledda ar ffrwythydd melysion eu prenau dan eu cysgodion hwy.

PEN. IV. Adn. 1. *A'r angel yr hwn oedd yn ymddyddan â mi*] Sef Mab Duw, fel y gwelsom eisioes; *a ddychwelodd*—at ei waith blaenorol o egluro i mi y gweledigaethau; *ac*

a weli di? A mi a ddywedais, Edrychais, ac wele ganwyllbren i gyd *o* aur, a'i badell ar ei ben, a'i saith lusern arno, a saith o bibellau i'r saith lusern *oedd* ar ei ben ef;
3 A dwy olewwydden wrtho, y naill o'r *tu* deau i'r badell, a'r llall o'r *tu* aswy iddi.
4 A mi a atebais, ac a ddywedais wrth yr angel oedd yn ymddyddan â mi, gan ddywedyd, Beth *yw* y rhai hyn, fy arglwydd?
5 A'r angel oedd yn ymddyddan â mi, a atebodd, ac a ddywedodd wrthyf, Oni wyddost beth *yw* y rhai yma? Yna y dywedais, Na *wn*, fy arglwydd.
6 Ac efe a atebodd ac a ddywedodd wrthyf, gan ddywedyd, Hyn *yw* gair yr Arglwydd at Zorobabel, gan ddywedyd, Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd, medd Arglwydd y lluoedd.
7 Pwy *wyt* ti, y mynydd mawr? gerbron Zorobabel *y byddi* yn wastadedd; ac efe a ddwg allan y maen penaf, gan waeddi, Rhad, rhad iddo.
8 Daeth gair yr Arglwydd ataf drachefn, gan ddywedyd,
9 Dwylaw Zorobabel a sylfaenas-

---

*a'm deffrôdd, fel y deffroir un o'i gwsg*—ymddengys oddiwrth hyn fod y proffwyd wedi syrthio i fath o syn-fyfyrdod dwys ar yr hyn a welsai o'r blaen.

Adn. 2, 3. *Edrychais, ac wele ganwyllbren i gyd o aur*] Yn hytrach *canwyllyr*, canys *aur* oedd ei ddefnydd, ac nid *pren:* gwel ar Exod. xxv. 31—38. *A'i badell ar ei ben*—i ddal yr olew a dywelltid iddi o'r ddwy olewwydden, a'i drosglwyddo i'r llusernau. *A'i saith lusern arno*—yn goleuo yn barhaus. *A saith o bibellau*—i gario yr olew o'r badell i'r saith llusern oleuedig. *A dwy olewwydden wrtho*—un o bob tu, i gyflenwi y badell âg olew trwy ddwy bibell aur, adn. 12. Yr oedd yr holl orchwylion hyn yn cael eu cyflawni *heb gymhorth dyn;* ac amcan y darluniad hwn yw dangos fod Duw yn gallu dwyn yn mlaen ei fwriadau grasol o berthynas i'w eglwys trwy ei allu a'i ddoethineb ei hun yn unig; canys nid oedd neb yma yn trwsio ac yn diwallu y llusernau, eithr yr oedd y ddwy olewwydden yn darparu yr olew, ac yn ei ddyferu ef i'r badell, o'r hon y cludid ef trwy y pibellau i'r llusernau, a'r cwbl heb gymhorth dyn. Diamau fod y *canwyllyr* hwn yn arddangos *eglwys Dduw*, wedi ei gosod i fyny yn y byd tywyll, i'w oleuo ef â goleuni dwyfol wirionedd; ac y mae ei fod yn *aur*, yn dangos rhagoriaeth a gwerth yr eglwys. Ond tybia rhai ei fod yn cynwys yr eglwys a'r wladwriaeth Iuddewig yn nghyd.

Adn. 4. *Beth yw y rhai hyn, fy arglwydd?*] Hyny yw, beth y maent yn ei arwyddo?

Adn. 5. *Oni wyddost beth yw y rhai yma?*] Hyn a ddywed yr angel mewn ffordd o edliwiad tyner o'i anwybodaeth, pan y gwyddai fod canwyllyr aur eisioes yn y cysegr, Exod. xxv. 31; neu ynte i dynu ei sylw yn fwy at y deongliad. *Na wn, fy arglwydd*—efe a gyfaddefa ei anwybodaeth yn onest a gostyngedig.

Adn. 6. *Hyn yw gair yr Arglwydd at Zorobabel*] Yr hwn oedd mewn petrusder mawr pa fodd i fyned yn mlaen âg adeiladaeth y deml, a sefydliad yr eglwys a'r wladwriaeth Iuddewig, o achos y gwrthwynebiad a ddangosid iddo gan y Samariaid ac ereill. Yr oedd y proffwyd i gario y genadwri hon oddiwrth Dduw at Zorobabel. *Nid trwy lu, ac nid trwy nerth, ond trwy fy Ysbryd*—hyny yw, byddai i Zorobabel a Josua, a'r Iuddewon ereill danynt hwy, orphen y deml, ac a sefydlu yr eglwys a'r wladwriaeth Iuddewig, nid trwy *lu* o fyddinoedd arfog, na thrwy *nerth* cyfreithiau dynol, ond trwy *Ysbryd Duw* yn eu gwroli, yn eu cysuro, ac yn eu llwyddo yn eu gwaith; yr un modd ag yr oedd y *llusernau* uchod yn goleuo, ac yn cael eu diwallu âg olew, heb gymhorth dyn. Trwy ddylanwad Ysbryd Duw ar feddwl Cyrus y rhoddodd efe y gorchymyn cyntaf i adeiladu y deml; a byddai i Darïus ac Artaxerxes gael eu dylanwadu yr un modd i'w pleidio hwy: a byddai i ddylanwadau yr un Ysbryd wneyd y gweithwyr oll yn enwog mewn doethineb, sel, a ffyddlondeb, nes gorphen y gwaith. Yr oedd Zorobabel yn hyn oll yn gysgod o Grist, yr hwn sydd yn adeiladu ei deml ysbrydol, nid trwy lu a nerth daearol, ond trwy ddylanwadau achubol a santeiddiol yr Ysbryd Glân.

Adn. 7. *Pwy wyt ti, y mynydd mawr?*] Cyfeirir yma at y rhwystrau ag oeddynt ar eu ffordd, y rhai a ymddanghosent mor fawr ac ansymudadwy a mynydd. *Gerbron Zorobabel y byddi yn wastadedd*—wedi dy suddo yn ddim, neu wedi dy symud yn gwbl oddiar y ffordd. Symud mynyddoedd, neu eu lleddfu yn wastadedd, sydd ymadrodd diarebol am gyflawniad rhywbeth tra anhawdd, neu a ymddanghosai yn annichonadwy, Mat. xxi. 21. *Ac efe a ddwg allan y maen penaf*—yr hwn oedd i fod yn uwchaf ar ben y deml. Gan iddo osod y sylfaen, neu y maen isaf, efe a esyd y maen uwchaf hefyd; neu, megys ag y dechreuodd efe yr adeilad, felly y bydd iddo ei gorphen, adn. 9. *Gan waeddi*—neu yn nghanol bloeddiadau gorhoenus y bobl, *Rhad, rhad iddo*—hyny yw, boed i ras neu ffafr Duw orphwys byth ar y tŷ hwn, a chael ei amlygu ynddo a thrwyddo! Ond meddylir fod dygiad Crist i'r byd yn cael ei awgrymu yma hefyd: gwel ar pen. iii. 9, Eph. ii. 20—22.

Adn. 8. *Daeth gair yr Arglwydd ataf drachefn*] Trwy enau yr angel ag oedd yn ymddyddan âg ef, adn. 1, 5.

Adn. 9. *Dwylaw Zorobabel a sylfaenas-*

ant y tŷ hwn, a'i ddwylaw ef a'i
gorphen: a chai wybod mai Ar-
glwydd y lluoedd a'm hebryngodd
atoch.
10 Canys pwy a ddiystyrodd
ddydd y pethau bychain? canys
llawenychant, a gwelant y gareg
alcan yn llaw Zorobabel *gyda*'r
saith hyny: llygaid yr Arglwydd
*ydynt*, y rhai sydd yn cyniwair trwy
yr holl ddaear.
11 ¶ A mi a atebais ac a ddywed-
ais wrtho, Beth *yw* y ddwy olew-
wydden hyn, ar y *tu* deau i'r can-
wyllbren, ac ar ei aswy?
12 A mi a atebais drachefn, ac a
ddywedais wrtho, Beth *yw* y ddau
bincyn olewwydden, y rhai trwy y
ddwy bibell aur sydd yn tywallt
allan o honynt eu hunain yr *olew*
euraid?
13 Ac efe a lefarodd wrthyf, gan
ddywedyd, Oni wyddost ti beth *yw*
y rhai hyn? A dywedais, Na *wn*, fy
arglwydd.
14 Ac efe a ddywedodd, Dyma y
ddwy gainc olewwydden sydd yn
sefyll gerbron Arglwydd yr holl
ddaear.

## PENNOD V.

YNA y troais, a chodais fy llyg-
aid, ac edrychais; ac wele blyg
llyfr yn ehedeg.
2 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Beth a weli di? A dywedais, Mi a
welaf blyg llyfr yn ehedeg, a'i hyd
yn ugain cufydd, a'i led yn ddeg
cufydd.
3 Ac efe a ddywedodd wrthyf,
Dyma y felldith sydd yn myned
allan ar wyneb yr holl ddaear:
canys pob un a ladrato, a dorir

---

*ant y tŷ hwn, &c.*] Gwel ar adn. 7. *A chai wybod*—ar orpheniad y tŷ hwn, *mai Arglwydd y lluoedd*—sef Duw Dad, *a'm hebryngodd atoch*—hyny yw, cai di, a Zorobabel, a Josua yr archoffeiriad, yn nghyda'r holl bobl, brawf sicr o'm dwyfol anfoniad, ac o wirionedd fy nghenadwri.

Adn. 10. *Canys pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain?*] Ymadrodd diarebol, yn cyfeirio yma at ddydd sylfaeniad y deml, a hyny yn nghanol llawer o wendid, tylodi, a digalondid. Yr oedd rhai o'r Iuddewon eu hunain yn edrych yn ddiystyrllyd ar y gwaith, gan amau y dygid ef i ben, a digaloni eu brodyr; ac yr oedd eu gelynion hefyd yn gwawdio eu hymdrechiadau. *Canys llawenychant, a gwelant y gareg alcan*—Saes., *the plummet*, sef careg neu blwm yn crogi wrth linyn, i brofi cywirdeb yr adeiladaeth; *yn llaw Zorobabel*—arolygydd y gwaith; *gyda'r saith hyny*—sef y saith *llygaid* hyny ag oeddynt ar y 'gareg,' pen. iii. 9. Y meddwl yw, y byddai i'r rhai a ddiystyrent y deml yn ei dechreuad, lawenychu yn fawr wrth weled Zorobabel yn myned â'r gwaith yn mlaen yn ddirwystr, dan nawdd rhagluniaeth ddoeth a dyfodus Duw, hyd nes y byddai i'r cwbl gael ei orphen a'i gymhwys gydgysylltu. *Llygaid yr Arglwydd ydynt*—sef llygaid ei ragluniaeth ddoeth a gofalus ef, neu lygaid ei hollwybodaeth; *y rhai sydd yn cyniwair trwy yr holl ddaear*—gwel ar 2 Cron. xvi. 9, Diar. xv. 3, Dat. v. 6.

Adn. 11, 12. *Beth yw y ddwy olewwydden hyn*] Y rhai oeddynt o bob tu i'r badell ag oedd ar ben y canwyllyr? adn. 2, 3. *Beth yw y ddau bincyn olewwydden*—y rhai oeddynt yn llawn olifaid neu rawn olew; *y rhai trwy y ddwy bibell aur*—ag oeddynt yn gysylltedig â'r badell ar ben y canwyllyr, *sydd yn tywallt allan o honynt eu hunain yr olew euraid*—neu olew gwerthfawr o liw yr aur?

Adn. 13. *Oni wyddost ti beth yw y rhai hyn?*] Fel pe dywedasai, Os gwyddost fod y canwyllyr yn arwyddo yr eglwys, ai ni wyddost y rhaid fod y ddwy olewwydden, a'r ddau bincyn, yn arwyddo yr offerynau a ddarparodd Duw i gyfranu ei ras a'i wirionedd iddi? *A dywedais*—yn onest a gostyngedig, *Na wn, fy arglwydd*—gwel ar adn. 5.

Adn. 14. *Dyma y ddwy gainc olewwydden*] Saes., 'dyma y ddau eneiniog,' neu 'feibion yr olew,' fel y mae yn y wreiddiol, sef rhai wedi eu heneinio i'w swydd âg olew; *sydd yn sefyll gerbron Arglwydd yr holl ddaear*—i'w wasanaethu ef a'i achos yn y byd. Meddylir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio at *Zorobabel*, yr hwn a weinyddai mewn pethau gwladol; ac at *Josua*, yr hwn a weinyddai mewn pethau eglwysig. Ond tybia rhai fod y 'ddwy gainc olewwydden' yma yn golygu y *ddwy oruchwyliaeth*, yn nghyda *Moses* a *Christ* yn goleuo ac yn gweini iddynt; neu eu bod yr un peth a'r 'ddau dyst' ag y sonir am danynt yn llyfr y Datguddiad: gwel ar Dat. xi. 3, 4.

PEN. V. Adn. 1. *Yna y troais, a chodais fy llygaid*] I edrych ar olygfa newydd; *ac wele blyg llyfr yn ehedeg*—sef darnau o femrwn wedi eu gwnïo neu eu cydio wrth eu gilydd yn un llen fawr agored. Er y gelwir ef yma yn 'blyg llyfr,' eto nid oedd hwn wedi ei blygu neu ei rolio yn nghyd: gwel ar Jer. xxxvi. 2, Ezec. ii. 9.

Adn. 2. *A'i hyd yn ugain cufydd, a'i led yn ddeg cufydd*] Yr hyn ydoedd ddeg llath wrth bump.

Adn. 3. *Ac efe a ddywedodd wrthyf*] Sef Angel mawr y Cyfammod, yr hwn oedd yn egluro iddo y gweledigaethau hyn, *Dyma y felldith sydd yn myned allan ar wyneb yr*

ymaith *fel* o'r tu yma, yn ei hol hi;
a phob un a dyngo, a dorir ymaith
*fel* o'r tu acw, yn ei hol hi.
4 Dygaf hi allan, medd Arglwydd
y lluoedd, a hi a ddaw i dŷ y lleidr,
ac i dŷ y neb a dyngo i'm henw i ar
gam: a hi a erys yn nghanol ei dŷ
ef, ac a'i difa ef, a'i goed, a'i gerig.
5 ¶ Yna yr angel oedd yn ym-
ddyddan â mi, a aeth allan, ac a
ddywedodd wrthyf, Cyfod yn awr
dy lygaid, ac edrych beth *yw* hyn
sydd yn myned allan.
6 A mi a ddywedais, Beth *ydyw?*
Ac efe a ddywedodd, Epha *ydyw*
sydd yn myned allan. Ac efe a
ddywedodd, Dyma eu gweledìad yn
yr holl ddaear.
7 Ac wele dalent o blwm wedi
ei godi i fyny: a dyma wraig yn
eistedd yn nghanol yr epha.
8 Ac efe a ddywedodd, Anwiredd
*yw* hon. Ac efe a'i taflodd hi i ganol
yr epha; a bwriodd y pwys plwm
ar ei enau ef.
9 A chyfodais fy llygaid, ac ed-
rychais; ac wele ddwy wragedd yn
dyfod allan, a gwynt yn eu hesgyll,
(canys esgyll oedd ganddynt fel
esgyll y ciconia,) a chyfodasant yr
epha rhwng y ddaear a'r nefoedd.
10 Yna y dywedais wrth yr angel
oedd yn ymddyddan â mi, I ba le y
mae y rhai hyn yn myned â'r epha?
11 Dywedodd yntau wrthyf, I
adeiladu iddi dŷ yn ngwlad Sinar:
a hi a sicrheir, ac a osodir yno ar
ei hystôl ei hun.

---

*holl ddaear*—sef ar hyd gwlad Judea: hyny yw, cynwysa y llyfr hwn y melldithion neu y barnedigaethau sydd i ddisgyn ar yr Iuddewon am eu pechodau. *Canys pob un a ladrato, a dorir ymaith fel o'r tu yma, yn ei hol hi, &c.*—ymddengys mai y meddwl yw, fod y llen hon wedi ei hysgrifenu ar bob tu: ar un tu yr oedd melldithion am *ladrata*, ac ar y tu arall felldithion am *dyngu* neu *anudoni*. Y mae yn debyg fod y cyntaf, sef 'lladrata,' yn cynwys pob pechod a gyflawnid yn erbyn *dynion;* a'r olaf, bob pechod a wneid yn erbyn *Duw*.

Adn. 4. *Dygaf hi allan, medd Arglwydd y lluoedd*] Hyny yw, dygid allan y felldith dan sylw; *a hi a ddaw i dŷ y lleidr*—lle y mae ei ladrad wedi ei guddio, a lle yr amcana efe ei fwynhau yn ddirwystr; *ac i dŷ y neb a dyngo i'm henw i ar gam*—er cadarned fyddo: *a hi a erys yn nghanol ei dŷ ef*—arno ef, a'i deulu, a'i feddiannau; *ac a'i difa ef, a'i goed, a'i gerig*—bydd i'r felldith hòno, fel y gwahanglwyf, lygru ei holl dŷ, yr hwn nis gellir ei lanhau ond trwy ei chwalu.

Adn. 5. *Yna yr angel oedd yn ymddyddan â mi a aeth allan*] Neu 'a *ddaeth* allan,' i egluro i mi weledigaeth arall. *Cyfod yn awr dy lygaid*—i sylwi yn fanwl; *ac edrych beth yw hyn sydd yn myned allan*—neu yn ymddangos o'th flaen.

Adn. 6. *A mi a ddywedais, Beth ydyw?*] Beth yw yr hyn yr wyf yn awr yn ei weled? *Ac efe a ddywedodd, Epha ydyw*—hwn oedd fesur rywfaint yn llai na'n bwsiel ni: ond trwy fod gwraig yn gallu eistedd ynddo, tybia rhai mai llestr mawr ar lun bwsiel ydoedd. *Ac efe a ddywedodd*—yn mhellach, *Dyma eu gweledìad yn yr holl ddaear*—y mae hwn yn arddanghosiad o annghyfiawnder yr Iuddewon trwy yr holl wlad.

Adn. 7. *Ac wele dalent o blwm wedi ei godi i fyny*] Uwchben yr epha. Hwn ydoedd lafn mawr o blwm yn pwyso 125 o bwysi, yn ol *Epiphanius;* ac arwydda yma fawredd a phwys y barnedigaethau bygythiedig. *A dyma wraig yn eistedd yn nghanol yr epha*—yn ddifraw a diofal. Ymddengys fod y wraig hon yn gysgod o'r genedl Iuddewig.

Adn. 8. *Ac efe a ddywedodd, Anwiredd yw hon*] Y mae y wraig hon yn gysgod nid yn unig o'r genedl Iuddewig, ond o anwiredd a thwyll y genedl. *Ac efe a'i taflodd hi i ganol yr epha*—i lawr i waelod y llestr; *a bwriodd y pwys plwm ar ei enau ef*—fel ag i gau ar y wraig o'i fewn. Meddylir fod yma gyfeiriad at gyflwr yr Iuddewon ar ol iddynt gyflawni mesur eu hanwiredd, trwy groeshoelio Crist a gwrthod yr efengyl.

Adn. 9. *Ac wele ddwy wragedd yn dyfod allan*] Tybia rhai fod y gwragedd hyn yn gosod allan fyddinoedd y Rhufeiniaid dan Vespasian a Titus; *a gwynt yn eu hesgyll, &c.*—yr oedd fod ganddynt esgyll mawrion fel esgyll y ciconia, a gwynt yn yr esgyll hyny, yn arwyddo nerth a chyflymder eu symudiadau yn y gweinyddiad o farnedigaethau Duw ar yr Iuddewon annghrediniol. *A chyfodasant yr epha rhwng y ddaear a'r nefoedd*—i'w dwyn hi, a'r wraig ynddi, i wlad Sinar, adn. 11.

Adn. 10. *Yna y dywedais wrth yr angel, &c.*] Wrth weled y ddwy wraig ddiweddaf yn cario y gyntaf yn yr epha trwy yr awyr, y mae y proffwyd yn gofyn i'w hyfforddwr nefol, i ba le yr oeddynt yn myned â hi?

Adn. 11. *I adeiladu iddi dŷ yn ngwlad Sinar*] Neu 'Babilon,' Gen. xi. 2: *a hi a sicrheir, ac a osodir yno ar ei hystôl ei hun*—yr hyn a arwydda y byddai iddi fod mewn caethiwed am amser maith. Gan fod caethiwed Babilon wedi dybenu y pryd hyn, ac na chaethgludwyd yr Iuddewon i Babilon byth mwyach, rhaid fod 'Babilon' neu 'wlad Sinar' i'w deall yma am unrhyw *le* i'r hwn y gwasgerid hwynt, neu am eu *cyfyngder* mewn unrhyw le, yr un modd ag y mae yr *Aifft* yn cael ei defnyddio yn ddiarebol am unrhyw galedi blin a anfonid ar yr Iuddewon gan farn Duw: gwel ar Hos. viii. 13, a ix. 3. Yn unol â hyn dywed *Clarke*, 'Y mae y *tŷ* hwnw

## PENNOD VI.

HEFYD mi a droais, ac a ddyrch-
efais fy llygaid, ac a edrychais ;
ac wele, bedwar o gerbydau yn dy-
fod allan oddirhwng dau fynydd :
a'r mynyddoedd *oedd* fynyddoedd
o bres.
2 Yn y cerbyd cyntaf *yr oedd*
meirch cochion, ac yn yr ail gerbyd
meirch duon,
3 Ac yn y trydydd cerbyd meirch
gwŷnion, ac yn y pedwarydd cerbyd
meirch brithion a gwineuon.
4 Yna yr atebais, ac y dywedais
wrth yr angel oedd yn ymddyddan
â mi, Beth *yw* y rhai hyn, fy ar-
glwydd?
5 A'r angel a atebodd ac a ddy-
wedodd, Dyma bedwar ysbryd y
nefoedd, y rhai sydd yn myned allan
o sefyll gerbron Arglwydd yr holl
ddaear.
6 Y meirch duon *sydd* ynddo a
ânt allan i dir y gogledd; a'r gwŷn-
ion a ânt allan ar eu hol hwythau;
a'r brithion a ânt allan i'r deheudir.
7 A'r gwineuon a aethant allan,
ac a geisiasant fyned i gyniwair
trwy y ddaear; ac efe a ddywedodd,
Ewch, cyniweirwch trwy y ddaear.
Felly hwy a gyniweirasant trwy y
ddaear.

---

yn aros hyd heddyw; y mae y *wraig* Iuddewig yn aros fyth yn yr *epha;* y mae wedi ei gosod ar ei *hystol ei hun* (yn parhau fyth yn genedl wahaniaethol); ac y mae y *dalent o blwm* (anfoddlonrwydd Duw) eto uwch ei phen hi.'

PEN. VI. Adn. 1. *Hefyd mi a droais*] I weled golygfa newydd, yr hon oedd yr wythfed weledigaeth, a'r olaf iddo ef; *ac wele bedwar o gerbydau*—yn arddangos ond odid y pedair amherodraeth fawr, y rhai a ddarostyngent y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus y pryd hyny, sef yr Assyriaidd neu y Fabilonaidd, y Bersiaidd, y Roegaidd, a'r Rufeinaidd, pen. i. 18; *yn dyfod allan oddirhwng dau fynydd*—y rhai a osodent allan y terfynau naturiol ag sydd yn gwahanu teyrnasoedd: *a'r mynyddoedd oedd fynyddoedd o bres*—yr hyn a osodai allan eu cadernid. Ond tybia rhai fod y 'cerbydau' hyn yn ddarluniad o lywodraeth ragluniaethol Duw yn y byd; a bod y 'mynyddoedd pres' yn gosod allan arfaeth a chynghor Jehofa.

Adn. 2, 3. *Yn y cerbyd cyntaf yr oedd meirch cochion*] Yn arwyddo yr amherodraeth Fabilonaidd, yr hon yr oedd ei chreulondeb gwaedlyd yn cael ei arddangos trwy liw coch ei meirch. *Ac yn yr ail gerbyd meirch duon*—sef yr amherodraeth Bersiaidd, yr hon a ddygodd newyn a thrallod i lawer o wledydd. *Ac yn y trydydd cerbyd meirch gwŷnion*—gan yr arferai buddugoliaethwyr farchogaeth ar feirch gwŷnion, bernir fod yma gyfeiriad at fuddugoliaethau *Alexander Fawr*, yr hwn mewn ychydig flynyddau a ddymchwelodd yr amherodraeth Bersiaidd, ac a osododd i fyny yr amherodraeth Roegaidd neu Facedonaidd. *Ac yn y pedwarydd cerbyd meirch brithion a gwineuon*—yn gosod allan fe allai wahanol flurfiau yr amherodraeth Rufeinaidd. Ond tybia rhai fod y *meirch cochion* yn arddangos dialedd Duw ar genhedloedd euog, yr hwn a anfonai ryfeloedd gwaedlyd i'w mysg; y *meirch duon*, y newyn a'r heintiau ag sydd yn gyffredin yn dylyn rhyfeloedd; y *meirch gwŷnion*, symudiad y rhyfeloedd hyny trwy adferiad heddwch; a'r *meirch brithion a gwineuon*, goruchwyliaethau cymysg o drugaredd a barn, neu y barnedigaethau ysgafnaf a weinyddir ar ddynion.

Adn. 4. *Beth yw y rhai hyn, fy arglwydd?*] Beth y mae y cerbydau a'r meirch hyn yn ei arwyddo?

Adn. 5. *Dyma bedwar ysbryd y nefoedd*] Neu 'bedwar *gwynt* y nefoedd,' fel y gellir ei gyfieithu: *y rhai sydd yn myned allan o sefyll gerbron Arglwydd yr holl ddaear*—fel y mae gwyntoedd yn fynych yn gwneuthur ewyllys Duw, Salm cxlviii. 8, felly byddai i'r amherodraethau hyn wneuthur ei ewyllys ef, a chyflawni ei fwriadau o drugaredd neu farn ar wahanol genhedloedd y ddaear: mewn geiriau ereill, hwy a wneid yn wasanaethgar i ddwyn oddiamgylch fwriadau dwyfol ragluniaeth.

Adn. 6. *Y meirch duon sydd ynddo a ânt allan i dir y gogledd*] Yr oedd y *meirch cochion*, sef y Babiloniaid, wedi myned allan eisioes, ac wedi cyflawni eu gorchwylion yn ngoresgyniad yr Assyriaid a chenhedloedd ereill; ac yn awr byddai i'r *meirch duon*, neu y Persiaid, fyned allan i Caldea, yr hon a orweddai o du y gogledd i Judea, gan wneuthur chwyldroadau mawrion. *A'r gwŷnion a ânt allan ar eu hol hwythau*—i adferu heddwch trwy fuddugoliaethau *Alexander Fawr*, yr hwn oedd yn dyner iawn wrth y rhai a orchfygid ganddo. *A'r brithion a ânt allan i'r deheudir*—meddylir fod hyn yn cyfeirio at waith y Rhufeiniaid yn gorchfygu yr Aifft dan Augustus.

Adn. 7. *A'r gwineuon a aethant allan, ac a geisiasant fyned i gyniwair trwy y ddaear*] Gan fod y meirch gwineuon, yn gystal a'r brithion, yn perthyn i'r pedwarydd cerbyd, neu yr amherodraeth Rufeinaidd, adn. 3, a bod y gwineuon yn cael eu henwi ar ol y brithion, gall fod yma gyfeiriad at ymgais y Rhufeiniaid, yn enwedig dan eu flurflywodraeth ddiweddaf, i estyn eu buddugoliaethau i bob chwarter adnabyddus o'r byd; yr hyn a ganiatawyd iddynt gan ragluniaeth Duw, fel y gwelwn yn niwedd yr adnod hon.

8 Yna efe a waeddodd arnaf, ac a
lefarodd wrthyf, gan ddywedyd,
Edrych, y rhai a aethant i dir y
gogledd a lonyddasant fy ysbryd
yn nhir y gogledd.
9 ¶ A daeth gair yr Arglwydd
ataf, gan ddywedyd,
10 Cymer gan y gaethglud, gan
Heldai, gan Tobiah, a chan Jedaiah,
y rhai a ddaethant o Babilon, a
thyred y dydd hwnw, a dos i dŷ
Josiah fab Zephaniah:
11 Yna cymer arian ac aur, a
gwna goronau, a gosod ar ben Josua
fab Josedech yr archoffeiriad;
12 A llefara wrtho, gan ddywed-
yd, Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd, gan ddywedyd, Wele y gŵr
a'i enw BLAGURYN: o'i le hefyd
y blagura, ac efe a adeilada deml
yr Arglwydd:
13 Ie, teml yr Arglwydd a adeil-
ada efe; ac efe a ddwg y gogoniant,
ac a eistedd, ac a lywodraetha ar
ei frenhinfainc; bydd yn offeiriad
hefyd ar ei frenhinfainc: a chyng-
hor hedd a fydd rhyngddynt ill
dau.
14 A'r coronau fydd i Helem, ac i
Tobiah, ac i Jedaiah, ac i Hen fab

---

Neu, fel y tybia *Lowth*, gall fod yma gyfeiriad at gangen wahanol o'r amherodraeth hòno, sef eiddo y Gothiaid a'r Vandaliaid, y rhai y cododd eu gallu o adfeilion yr amherodraeth Rufeinig gyntaf, a'r rhai a osodasant i fyny frenhiniaeth y 'deg corn:' gwel ar Dat. xiii. 1, &c., a xvii. 3.

Adn. 8. *Yna efe a waeddodd arnaf*] Sef Angel mawr y Cyfammod, yr hwn a ddeonglai i'r proffwyd yr holl weledigaethau hyn; *Edrych, y rhai a aethant i dir y gogledd*—sef y meirch duon, neu y Persiaid, adn. 6; *a lonyddasant fy ysbryd yn nhir y gogledd*—trwy orchfygu y Babiloniaid, a'u cospi am eu creulonderau tuag at fy mhobl i.

Adn. 9. *A daeth gair yr Arglwydd ataf*] Trwy fod y gweledigaethau arwyddluniol bellach wedi eu gorphen, y mae y proffwyd yma yn cael ei ffafrio â datguddiedigaethau proffwydoliaethol newyddion, o berthynas i'r deml yn Jerusalem a'r eglwys Gristionogol.

Adn. 10. *Cymer gan y gaethglud*] Sef gan yr Iuddewon ag oeddynt wedi aros yn Babilon; *gan Heldai, gan Tobiah, a chan Jedaiah*—sef y dirprwywyr ag oeddynt newydd ddychwelyd o Babilon gyda rhoddion o aur ac arian oddiwrth y gaethglud yno tuag at adeiladu ac addurno y deml yn Jerusalem; *a dos i dŷ Josiah fab Zephaniah*—lle yr oedd y dirprwywyr hyny yn aros.

Adn. 11. *Yna cymer arian ac aur*] Sef y rhoddion a ddygasent hwy oddiwrth y gaethglud o Babilon; *a gwna goronau*—neu 'gwna *goron*,' fel y mae mewn wyth o ysgriflyfrau Hebreig, ac yn y Syriaeg a'r Galdeaeg; *a gosod ar ben Josua fab Josedech yr archoffeiriad*—fel y gallo weinyddu yn rheolaidd yn ei swydd offeiriadol fel cysgod o Grist. Ond tybia rhai fod *dwy* goron i gael eu gwneuthur i Josua, i arwyddo y byddai iddo ef, yr hwn y sonir am dano yn yr adnod nesaf fel y 'Blaguryn,' fod yn Frenin ac yn Offeiriad yn ei eglwys.

Adn. 12. *A llefara wrtho*] Sef wrth Josua yn fy enw i; *Wele y gŵr a'i enw* BLAGURYN—sef y MESSIA, yr hwn yr wyt ti yn ei gysgodi, a'r hwn a addawyd yn fynych i'r Iuddewon dan yr enw 'Blaguryn:' gwel ar pen. iii. 8. *O'i le hefyd y blagura*—o ran ei natur ddynol, sef o wreiddyn a theulu Dafydd; *ac efe a adeilada deml yr Arglwydd*—sef ei deml ysbrydol ef, neu eglwys y Testament Newydd. Y mae yn eglur mai nid at *Zorobabel* y cyfeirir yma; canys i ba ddyben y gosodid Josua i gynrychioli Zorobabel, yr hwn oedd yn gydoeswr âg ef, ac yno yn bresenol fel yntau?

Adn. 13. *Ie, teml yr Arglwydd a adeilada efe*] Sef Crist y 'Blaguryn,' yr hyn a ail ddywedir yma i ddangos pwys a sicrwydd y dystiolaeth; *ac efe a ddwg y gogoniant*—neu yr anrhydedd o wisgo ei goron gyfryngol fel Brenin ac Offeiriad; *ac a eistedd ac a lywodraetha ar ei frenhinfainc*—fel Brenin Seion; *bydd yn offeiriad hefyd ar ei frenhinfainc*—hyny yw, tra yn dal mawredd ac awdurdod brenin, bydd hefyd yn meddu tynerwch a chydymdeimlad offeiriad; neu, yn holl weinyddiadau ei lywodraeth fel brenin, efe a ddwg yn mlaen ei fwriadau grasol fel offeiriad. Ni fydd i'w swydd fel offeiriad leihau dim ar ei urddas fel brenin, eithr yn hytrach bydd i'r naill swydd ddyrchafu y llall; a bydd i'w urddas brenhinol roddi dylanwad ac effeithiolaeth i'w weinyddiadau a'i eiriolaeth fel offeiriad. *A chynghor hedd a fydd rhyngddynt ill dau*—a fydd rhwng Jehofa ar un llaw, a'r 'gŵr a'i enw Blaguryn' ar y llaw arall, sef cynghor o berthynas i'r *heddwch* a wneir rhwng Duw a dynion trwy gyfryngdod y Messia: neu, yn hytrach, trwy fod y frenhiniaeth a'r offeiriadaeth wedi eu huno yn yr un person gogoneddus, ni fydd dim gwrthdarawiad rhwng y ddwy swydd.

Adn. 14. *A'r coronau*] Neu 'y goron,' fel y mae rhai yn ei ddarllen, adn. 11; *fydd i Helem, ac i Tobiah, ac i Jedaiah, ac i Hen fab Zephaniah*—nid i'w gwisgo ganddynt hwy eu hunain, eithr yn hytrach *er coffadwriaeth yn nheml yr Arglwydd*—sef er coffadwriaeth o haelioni duwiol y gaethglud; neu o'r weithred gysgodol ag oedd yn awr wedi cymeryd lle; neu o ddyfodiad sicr y 'Blaguryn' i'w deml fel Brenin ac Offeiriad. Yr un gŵr oedd yr *Helem* hwn a'r *Heldai* yn adn. 10; a'r *Hen* a grybwyllir yma oedd yr un a *Josiah* yno.

Adn. 15. *A'r pellenigion a ddeuant ac a adeiladant yn nheml yr Arglwydd*] Sef

Zephaniah, er coffadwriaeth yn
nheml yr Arglwydd.
15 A'r pellenigion a ddeuant ac a
adeiladant yn nheml yr Arglwydd,
a chewch wybod mai Arglwydd y
lluoedd a'm hanfonodd atoch. A
*hyn* a fydd, os gan wrandaw y
gwrandewch ar lais yr Arglwydd
Dduw.

## PENNOD VII.

AC yn y bedwaredd flwyddyn i'r
brenin Darïus y daeth gair yr
Arglwydd at Zechariah, ar y ped-
warydd *dydd* o'r nawfed mis, *sef*
Cisleu;
2 Pan anfonasent Sereser, a Re-
gem-melech, a'u gwŷr i dŷ Dduw, i
weddio gerbron yr Arglwydd.
3 *Ac* i ddywedyd wrth yr offeir-
iaid *oedd* yn nhŷ Arglwydd y llu-
oedd, ac wrth y proffwydi, gan ddy-
wedyd, A ŵylaf fi y pummed mis,
gan ymneillduo, fel y gwnaethym
weithian gymaint o flynyddoedd?
4 ¶ Yna gair Arglwydd y llu-
oedd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,
5 Dywed wrth holl bobl y tir, ac
wrth yr offeiriaid, gan lefaru, Pan
oeddych yn ymprydio ac yn galaru
y pummed a'r seithfed *mis*, y deng
mlynedd a thriugain hyny. ai i mi
yr ymprydiasoch chwi ympryd, i
mi?
6 A phan fwytasoch, a phan yfas-
och. onid oeddych yn bwyta *i chwi
eich hunain*, ac yn yfed *i chwi eich
hunain?*
7 Oni *ddylech wrandaw* y geiriau
a gyhoeddodd yr Arglwydd trwy
law y proffwydi gynt, pan oedd Je-

---

dynion o wlad bell, megys Heldai, Tobiah, a'u cyfeillion, neu rai yn cael eu cysgodi ganddynt hwy; *a chewch wybod mai Arglwydd y lluoedd a'm hanfonodd atoch*—hyny yw, byddai cyflawniad ei ragfynegiadau yn brawf o ddwyfoldeb ei genadwri. *A hyn a fydd, os gan wrandaw y gwrandewch ar lais yr Arglwydd Dduw*—sef ar yr ammod hòno. Fel pe dywedasai, Bydd i'r pethau hyn gael eu cyflawniad llythyrenol yn eich dyddiau chwi ar yr ammod uchod; ac hefyd fe'u cyflawnir yn eu hystyr ysbrydol yn yr amser priodol, pan elwir y Cenhedloedd pellenig i eglwys Crist dan yr efengyl.

PEN. VII. Adn. 1. *Ac yn y bedwaredd flwyddyn i'r brenin Darïus*] Sef yn mhen oddeutu dwy flynedd ar ol i Zechariah ddechreu proffwydo, pen. i. 1; *y daeth gair yr Arglwydd at Zechariah*—fel yr adroddir yn adn. 5, &c.; *ar y pedwarydd dydd o'r nawfed mis, sef Cisleu*—yn cyfateb i ran o'n Tachwedd a'n Rhagfyr ni.

Adn. 2. *Pan anfonasent Sereser a Regem-melech*] Sef dau ŵr enwog am eu duwioldeb; *a'u gwŷr*—eu gweision neu eu canlynwyr; *i dŷ Dduw*—yr hwn oedd yn awr o fewn dwy flynedd i gael ei orphen, Ezra vi. 15; *i weddio gerbron yr Arglwydd*—fel ag i gael gwybodaeth o berthynas i gadwraeth rhai o'r gŵyliau a sefydlwyd ganddynt yn ystod eu caethiwed yn Babilon. Ymddengys oddiwrth adn 5 mai 'holl bobl y tir' a'u hanfonasent hwy.

Adn. 3. *Ac i ddywedyd wrth yr offeiriaid*] Gwaith y rhai oedd egluro i'r bobl y pethau a berthynent i addoliad Duw; *ac wrth y proffwydi*—sef wrth Haggai a Zechariah, y rhai a allent gael atebiad iddynt yn uniongyrchiol oddiwrth Dduw ei hun. *A ŵylaf fi y pummed mis*—er cof am ddinystr y ddinas a'r deml; *gan ymneillduo*—oddiwrth orchwylion a phleserau bydol, i ymprydio gerbron yr Arglwydd; *fel y gwnaethym weithian gymaint o flynyddoedd*—sef er pan gymerwyd Jerusalem gan y Caldeaid ddeng mlynedd a thriugain yn ol? Y gofyniad yw, a oedd yn briodol iddynt barhau yr ŵyl hon, a dwyn yn mlaen y galar hwn, pryd yr oedd eu llwyddiant... 

Adn. 4. *Yna gair Arglwydd y lluoedd a ddaeth ataf*] Ar ol i'r gwŷr uchod wneuthur ymholiad, a phan yn dysgwyl am atebiad gan yr offeiriaid, gorchymynodd yr Arglwydd i'w broffwyd roddi iddynt yr atebiad a geir yn yr adnodau canlynol.

Adn. 5. *Dywed wrth holl bobl y tir*] Y rhai a anfonasent Sereser a'i gyfeillion i dŷ Dduw, adn. 2; *ac wrth yr offeiriaid*—y rhai yr ymddengys eu bod hwythau wedi blino ar yr ymprydiau hyny; *Pan oeddych yn ymprydio ac yn galaru y pummed a'r seithfed mis*—y pummed mis, am losgi y ddinas a'r deml, 2 Bren. xxv. 8, 9; a'r seithfed mis, am ladd Gedaliah a gwasgaru yr Iuddewon, Jer. xli. 1, &c.; *ai i mi yr ymprydiasoch chwi ympryd, i mi*—sef er gogoniant i mi? Na, fel pe dywedasai, yr oedd eich ymprydiau yn tarddu yn fwy oddiar ystyriaeth o'r colledion a'r trueni a ddyoddefasoch chwi eich hunain, nag oddiar ystyriaeth dduwiolfrydig o'ch pechodau ysgeler y rhai a ddygasant y trueni hwnw arnoch.

Adn. 6. *A phan fwytasoch a phan yfasoch*] Ar ol i'r ymprydiau hyny fyned heibio, neu yn eich gwleddoedd crefyddol: *onid oeddych yn bwyta—ac yn yfed i chwi eich hunain*—i'ch pesgi eich hunain, ac nid er gogoniant i mi? Nid oeddych yn fy nghydnabod i yn eich gwleddoedd, mwy nag yn eich ymprydiau.

Adn. 7. *Oni ddylech wrandaw y geiriau*

rusalem yn gyfanedd, ac yn llwydd-
iannus, a'i dinasoedd o'i hamgylch,
a *phobl* yn cyfaneddu y deheudir
a'r dyffryndir?
8 ¶ A daeth gair yr Arglwydd
at Zechariah, gan ddywedyd,
9 Fel hyn y llefara Arglwydd y
lluoedd, gan ddywedyd, Bernwch
farn gywir, gwnewch drugaredd a
thosturi bob un i'w frawd:
10 Ac na orthrymwch y weddw
a'r amddifad, y dyeithr a'r anghen-
og, ac na feddyliwch ddrwg bob un
i'w gilydd yn eich calonau.
11 Er hyn gwrthodasant wran-
daw, a rhoddasant ysgwydd anhyd-
yn, a thrymhasant eu clustiau rhag
clywed.
12 Gwnaethant hefyd eu calonau
yn adamant, rhag clywed y gyfraith
a'r geiriau a anfonodd Arglwydd y
lluoedd trwy ei ysbryd, yn llaw y
proffwydi gynt: am hyny y daeth
digofaint mawr oddiwrth Arglwydd
y lluoedd.
13 A bu megys y galwodd efe, ac
na wrandawent hwy; felly y galw-
asant hwy, ac nis gwrandawn inau,
medd Arglwydd y lluoedd.
14 Ond gwasgerais hwynt â chor-
wynt i blith yr holl genhedloedd y
rhai nid adwaenent; a'r tir a an-
nghyfaneddwyd ar eu hol hwynt,
fel nad oedd a'i tramwyai nac a
ddychwelai: felly y gosodasant y
wlad ddymunol yn ddiffaethwch.

---

*a gyhoeddodd yr Arglwydd trwy law y proffwydi gynt*] Megys Esay, Jeremi, ac ereill, y rhai a broffwydasant pryd yr oedd Jerusalem a dinasoedd ereill Juda mewn cyflwr blodeuog a llwyddiannus; *a phobl yn cyfaneddu y deheudir a'r dyffryndir*—sef y mynydd-dir a'r gwastadedd? Fel pe dywedasai, Gofynasoch, 'a fydd i chwi *barhau* i wneyd fel y gwnaethoch dros gynifer o flynyddoedd?' adn. 3. Na, rhaid i chwi wneyd yr hyn *ni wnaethoch* eto; canys rhaid i chwi *edifarhau* am eich pechodau, a *diwygio* yn eich bucheddau: a dyma yr hyn y galwai y proffwydi gynt ar eich tadau i'w wneuthur, pryd yr oedd y wlad yn llwyddiannus, a'r trigolion yn lluosog; a phe buasai iddynt hwy wrandaw arnynt, hi a barhausai yn llwyddiannus a dedwydd hyd heddyw: a'r hyn a ofynid ganddynt hwy er *attal* barn Duw, a ofynir genych chwithau er *symud* y farn hòno; ac os na wnewch hyny, ofer fydd eich ŵylo a'ch ymprydio.

Adn. 8. *A daeth gair yr Arglwydd at Zechariah*] I ddangos y modd y llefarasai efe wrth eu tadau hwynt cyn y caethiwed.

Adn. 9. *Fel hyn y llefara Arglwydd y lluoedd*] Neu y *llefarodd* efe gynt wrth eich tadau trwy ei broffwydi; *Bernwch farn gywir*—rhwng gŵr a gŵr; *gwnewch drugaredd a thosturi bob un i'w frawd*—yn ei gyfyngder: gwel ar Esay lviii. 6, 7, Jer. vii. 23, Micah vi. 8. Ac efe a lefara yr un peth eto wrthych chwithau; canys efe a gâr farn a thrugaredd tuhwnt i unrhyw gyflawniad allanol o grefydd, lle y byddo y pethau hyny yn eisiau.

Adn. 10. *Ac na orthrymwch y weddw a'r amddifad, &c.*] Y rhai ni feddant neb i'w hamddiffyn; *ac na feddyliwch ddrwg bob un i'w gilydd yn eich calonau*—gan ei ddymuno neu ei fwriadu; canys ystyrir hyny gan Dduw mor euog a phechadurus a'r cyflawniad gweithredol, Mat. v. 28.

Adn. 11. *Er hyn gwrthodasant wrandaw*] Gwrthododd eich tadau wrandaw gynt ar y rhybyddion hyn o eiddo Duw trwy ei broffwydi; *a rhoddasant ysgwydd anhydyn*—fel ŷch ystyfnig yn gwrthod cymeryd yr iau ar ei ysgwydd; *a thrymhasant eu clustiau rhag clywed*—yr hyn a leferid wrthynt.

Adn. 12. *Gwnaethant hefyd eu calonau yn adamant*] Caledasant eu calonau i'r graddau eithaf, fel na fyddai i ddim a ddywedid wrthynt wneyd unrhyw argraff arnynt, mwy nag ar y maen adamant; *rhag clywed y gyfraith*—sef cyfraith Moses, yr hon a ddarllenid ac a eglurid iddynt gan yr offeiriaid; *a'r geiriau*—sef cynghorion ac addysgiadau y proffwydi; *a anfonodd Arglwydd y lluoedd trwy ei ysbryd*—sef trwy ddwyfol ysbrydoliaeth atynt: *am hyny y daeth digofaint mawr oddiwrth Arglwydd y lluoedd*—arnynt oll trwy yr hwn y llosgwyd eu dinas a'u teml, yr anrheithiwyd eu gwlad, ac y caethgludwyd hwythau.

Adn. 13. *A bu megys y galwodd efe*] Arnynt hwy trwy ei broffwydi; *ac na wrandawent hwy*—fel ag i adael eu pechodau, ac edifarhau am danynt: *felly y galwasant hwy*—ar ol iddi fyned yn rhy ddiweddar; *ac nis gwrandawn inau*—fel ag i dosturio wrthynt, a'u gwaredu o'u cyfyngderau: gwel ar Diar. i. 28.

Adn. 14. *Ond gwasgerais hwynt â chorwynt*] Yn ddisymwth ac anwrthwynebol megys â chorwynt; *i blith yr holl genhedloedd y rhai nid adwaenent*—sef i blith y Babiloniaid ac ereill; *a'r tir a annghyfaneddwyd ar eu hol hwynt*—fel nad oedd braidd neb wedi ei adael i gyfaneddu ynddo, nac i dramwy yn ol ac yn mlaen trwyddo. *Felly y gosodasant y wlad ddymunol*—yr hon oedd unwaith yn llifeirio o laeth a mêl, *yn ddiffaethwch*—anial, diffrwyth, ac annghyfaneddol. Yr oedd y tô presenol yn gwybod mai fel hyn y bu; ac y mae y proffwyd yma yn galw eu sylw at yr amgylchiadau trallodus hyny, er mwyn iddynt gymeryd rhybydd.

PEN. VIII. Adn. 1. *Drachefn y daeth gair Arglwydd y lluoedd ataf*] I gysuro y rhai a ddychwelasent o'u caethiwed.

Adn. 2. *Eiddigeddais eiddigedd mawr dros Seion*] Fel gŵr yn eiddigeddu dros ei briod

## PENNOD VIII.

DRACHEFN y daeth gair Ar-
glwydd y lluoedd *ataf,* gan
ddywedyd,
2 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Eiddigeddais eiddigedd
mawr dros Seion, ac â llid mawr yr
eiddigeddais drosti.
3 Fel hyn y dywed yr Arglwydd;
Dychwelais at Seion, a thrigaf yn
nghanol Jerusalem: a Jerusalem a
elwir Dinas y gwirionedd; a myn-
ydd Arglwydd y lluoedd, Y mynydd
santaidd.
4 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Hen wŷr a hen wragedd a
drigant eto yn heolydd Jerusalem,
a phob gŵr â'i ffon yn ei law o her-
wydd amlder dyddiau.
5 A heolydd y ddinas a lenwir o
fechgyn a genethod yn chwareu yn
ei heolydd hi.
6 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Os anhawdd yw *hyn* yn y
dyddiau hyn yn ngolwg gweddill y
bobl hyn, ai anhawdd fyddai hefyd
yn fy ngolwg i? medd Arglwydd y
lluoedd.
7 Fel hyn y dywed Arglwydd y
lluoedd; Wele fi yn gwaredu fy
mhobl o dir y dwyrain, ac o dir
machludiad haul.
8 A mi a'u dygaf hwynt, fel y
preswyliont yn nghanol Jerusalem:
a hwy a fyddant yn bobl i mi, a
byddaf finau iddynt hwythau yn
Dduw mewn gwirionedd ac mewn
cyfiawnder.
9 ¶ Fel hyn y dywed Arglwydd

---

anffyddlon i'r cyfammod priodasol; *ac â llid mawr yr eiddigeddais drosti*—fel ag i'w bwrw ymaith i gaethiwed am ei godineb ysbrydol. Ond tybia rhai mai ei lid mawr tuag at elynion Seion a feddylir yma.

Adn. 3. *Dychwelais at Seion*] Er i mi ei bwrw ymaith am ei drygioni, a'i chospi â holl doster eiddigedd neu gariad siomedig; eto, ar ei hedifeirwch a'i diwygiad, maddeuais iddi, adferais hi i'm ffafr, a dychwelais ati mewn tosturi a chariad: *a thrigaf yn nghanol Jerusalem*—eto megys gynt. *A Jerusalem a elwir Dinas y gwirionedd*—yn yr hon y bydd i'm gwirionedd i gael ei dderbyn, ei gredu, a'i garu; *a mynydd Arglwydd y lluoedd*—mewn cyfeiriad at y mynydd ar ba un yr adeiladwyd y deml; *y mynydd santaidd*—lle y bydd fy addoliad santaidd i yn cael ei gynal, a santeiddrwydd yn cael ei ddysgu a'i arferyd. Cyflawnwyd hyn mewn rhan yn yr eglwys Iuddewig ar ol ei dychweliad o Babilon; ond yn yr eglwys Gristionogol y cyflawnir hyn yn benaf: gwel ar Eph. v. 27.

Adn. 4. *Hen wŷr a hen wragedd a drigant eto yn heolydd Jerusalem*] O'r blaen yr oedd rhyfel, newyn, neu haint, yn tori ymaith y gwŷr a'r gwragedd cyn iddynt fyned yn hen; ond o hyn allan mi a fendithiaf fy mhobl â heddwch, iechyd, a hir einioes: *a phob gŵr a'i ffon yn ei law*—nid am fod gwendid neu afiechyd wedi ei ddal yn nghanol ei ddyddiau, fel y gwelir yn fynych; eithr, fel y dywedir yma. *o herwydd amlder dyddiau*—eu henaint, nid eu hafiechyd, fydd yn galw am ffon; a thrwy gymhorth hono galluogir hwynt i rodio yr heolydd er hyned fyddant.

Adn. 5. *A heolydd y ddinas a lenwir o fechgyn a genethod*] A'r rhai hyny yn iach, bywiog, a chryfion: *yn chwareu yn ei heolydd hi*—mewn perffaith heddwch a diogelwch. Felly byddai y cyflwr hwn yn dra gwahanol i'r un a grybwyllir Jer. vi. 11, a ix. 21.

Adn. 6. *Os anhawdd yw hyn yn y dyddiau hyn*] Os yw y cyflwr a addewir yma yn ymddangos yn anhawdd neu yn anmhosibl ei ddwyn i ben yn ngolwg gweddill y bobl hyn a waredwyd o Babilon, y rhai oeddynt yn ychydig mewn nifer, yn dra anghenus, ac yn cael eu hamgylchynu gan beryglon; *ai anhawdd fyddai hefyd yn fy ngolwg i*—yr hwn wyf Dduw hollalluog?

Adn. 7. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Gyda'r hwn y mae pob peth yn bosibl; *Wele fi yn gwaredu fy mhobl o dir y dwyrain*—sef o Persia, Media, a Babilon, y rhai a orweddent o du y dwyrain i Judea; *ac o dir machludiad haul*—neu wledydd y gorllewin. Ond gellir cyfieithu y wreiddiol, 'Wele fi yn gwaredu fy mhobl o godiad byd fachludiad haul,' sef o bob parth o'r byd lle y gwasgarwyd hwynt. Cyfeiria hyn yn benaf, os nid yn gwbl, at ddychweliad yr Iuddewon fel corff i'r eglwys Gristionogol yn y dyddiau diweddaf. Nis gellir ei ddeall am yr Iuddewon na'r Cenhedloedd a gofleidiasant y ffydd dan bregethiad yr apostolion; canys ni achubodd Duw y pryd hyny yr Iuddewon fel *cenedl*, y rhai y darfu iddo ef yn mhen ychydig amser eu gwasgaru i bob man; ac nid oedd y *Cenhedloedd* chwaith yn 'bobl i Dduw,' fel y dywedir yma, cyn iddo eu gwaredu hwynt o'r dwyrain a'r gorllewin: gwel *Dodd.*

Adn. 8. *A mi a'u dygaf hwynt, fel y preswyliont yn nghanol Jerusalem*] Sef y Jerusalem newydd, neu eglwys Crist, o'r hon yr oedd yr hen Jerusalem yn gysgod. *A hwy a fyddant yn bobl i mi*—unwaith yn rhagor; *a byddaf finau iddynt hwythau yn Dduw*—i'w hamddiffyn a'u bendithio fel eu Duw cyfammodol: gwel ar Jer. xxx. 22, a xxxi. 31—33. *Mewn gwirionedd ac mewn cyfiawnder*—hyny yw, byddai y berthynas hon rhwng y ddwy blaid yn un wirioneddol a chywir: byddent hwy yn bobl wirioneddol a chyfiawn i Dduw, a byddai yntau yn Dduw iddynt hwythau mewn gwirionedd a chyfiawnder.

y lluoedd; Cryfhäer eich dwylaw
chwi, y rhai ydych yn clywed yn y
dyddiau hyn y geiriau hyn o enau y
proffwydi, y rhai *oedd* yn y dydd y
sylfaenwyd tŷ Arglwydd y lluoedd,
fel yr adeiledid y deml.
10 Canys cyn y dyddiau hyn nid
oedd na chyflog i ddyn, na llôg am
anifel; na heddwch i'r un a elai
allan, nac a ddelai i mewn, gan y
gorthrymder: oblegid gyrais yr
holl ddynion bob un yn mhen ei
gymydog.
11 Ond yn awr ni *byddaf* fi i
weddill y bobl hyn megys yn y
dyddiau gynt, medd Arglwydd y
lluoedd.
12 Canys *bydd* yr had yn ffynad-
wy; y winwydden a rydd ei ffrwyth,
a'r ddaear a rydd ei chynyrch, a'r
nefoedd a roddant eu gwlith: a
pharaf i weddill y bobl hyn fedd-
iannu yr holl *bethau* hyn.
13 A bydd, mai megys y buoch
chwi, tŷ Juda a thŷ Israel, yn fell-
dith yn mysg y cenhedloedd; felly
y'ch gwaredaf chwi, a byddwch yn
fendith: nac ofnwch, *ond* cryfhäer
eich dwylaw.
14 Canys fel hyn y dywed Ar-
glwydd y lluoedd; Fel y meddyl-
iais eich drygu chwi, pan y'm dig-
iodd eich tadau, medd Arglwydd y
lluoedd, ac nid edifarheais;
15 Felly drachefn y meddyliais
yn y dyddiau hyn wneuthur lles i
Jerusalem, ac i dŷ Juda: nac
ofnwch.
16 ¶ Dyma y pethau a wnewch
chwi; Dywedwch y gwir bawb

---

Adn. 9. *Cryfhäer eich dwylaw chwi*] Byddwch wrol a phenderfynol gyda'r gwaith o adeiladu y deml; *y rhai ydych yn clywed yn y dyddiau hyn y geiriau hyn o enau y proffwydi*—sef o enau Haggai a Zechariah, y rhai a'u cefnogent hwy i fyned â'r gwaith hwnw yn mlaen yn wrol; *y rhai oedd yn y dydd y sylfaenwyd tŷ Arglwydd y lluoedd*—yn llefaru wrthych i'ch cefnogi a'ch gwroli felly; *fel yr adeiledid y deml*—yn mlaen nes ei gorphen.

Adn. 10. *Canys cyn y dyddiau hyn*] Pryd yr ail ddechreuasant ar y gwaith o adeiladu, Hag. ii. 18; *nid oedd na chyflog i ddyn*—am ei waith, *na llôg am anifel*—hyny yw, tra yr oeddynt yn esgeuluso adeiladu y deml, yr oedd pob peth yn eu hamgylchiadau yn aflwyddiannus: nid oedd cynyrch y ddaear yn talu am y llafur a gymerid i'w hamaethu, ac ni cheid dim elw oddiwrth fagu anifeiliaid: *na heddwch i'r un a elai allan, nac a ddelai i mewn*—yr oedd yn beryglus i bawb gerdded yr heolydd, *gan y gorthrymder*—a ddyoddefent oddiwrth y Samariaid ac ereill: *oblegid gyrais yr holl ddynion bob un yn mhen ei gymydog*—yr oeddynt wedi cyffroi yr Arglwydd i'w gadael i amrafaelio â'u gilydd, yn gystal ag i gael eu blino gan eu gelynion.

Adn. 11. *Ond yn awr ni byddaf fi i weddill y bobl hyn megys yn y dyddiau gynt*] Gan eu bod hwy yn awr yn gwrandaw ar lais yr Arglwydd, ac yn myned yn mlaen â'r gwaith o adeiladu y deml, byddai i Dduw yn ei ragluniaeth beri cyfnewidiad dedwydd yn eu hamgylchiadau ragor yr hyn ydoedd gynt.

Adn. 12. *Canys bydd yr had yn ffynadwy*] O'r blaen, er hau llawer, ni chludent ond ychydig, Hag. i. 6; ond yn awr byddai yr had a hauent yn gynyrchiol iawn: *y winwydden a rydd ei ffrwyth*—yn doreithiog; *a'r ddaear a rydd ei chynyrch*—mewn helaethrwydd mawr; *a'r nefoedd a roddant eu gwlith*—i dyfu, ireiddio, a ffrwythloni yr egin, yr hyn o'r blaen a attelid, Hag. i. 10, 11: *a pharaf i weddill y bobl hyn feddiannu yr holl bethau hyn*—heb i neb eu hallonyddu.

Adn. 13. *A bydd, mai megys y buoch chwi, tŷ Juda a thŷ Israel*] Y rhai a gaethgludwyd allan o'ch gwlad; *yn felldith yn mysg y cenhedloedd*—yn cael eich ystyried gan bawb yn bobl felldigedig, ddirmygus, a thruenus: *felly y'ch gwaredaf chwi*—o'ch caethiwed a'ch trueni; *a byddwch yn fendith*—yn cael eich ystyried gan bawb yn genedl anrhydeddus a llwyddiannus, ac yn offerynau bendith i bawb o'ch amgylch. Neu, fel yr oeddynt gynt yn wrthddrychau amlwg o felldith Duw, felly byddent yn awr yn wrthddrychau amlwg o'i fendith ef. O'r blaen arferai y cenhedloedd, wrth ddymuno drwg i'w gelynion, ddywedyd, 'Bydded i chwi fod mor *druenus* a'r Iuddewon;' ond yn awr, wrth fendithio ereill, dywedent, 'Bydded i chwi fod mor *ddedwydd* a'r Iuddewon.' *Nac ofnwch*—gan hyny, *ond cryfhäer eich dwylaw*—i fyned yn mlaen yn wrol â'r gwaith o adeiladu y deml.

Adn. 14. *Fel y meddyliais eich drygu chwi, pan y'm digiodd eich tadau*] Ac y cyflawnais y drwg hwnw yn ddifêth trwy eich anfon i gaethiwed; *ac nid edifarheais*—am fy mwriad tuag atoch, nac am y cyflawniad o hono:—

Adn. 15. *Felly drachefn y meddyliais yn y dyddiau hyn*] Ar ol i chwi ymddiwygio trwy eich caethiwed; *wneuthur lles i Jerusalem*—sef i drigolion Jerusalem, *ac i dŷ Juda*—sef i holl gorff yr Iuddewon. Hyny yw, fel y meddyliais gynt eich cospi, ac y gwnaethym hyny heb edifarhau am dano: felly hefyd y meddyliais yn awr eich bendithio, a'ch amddiffyn rhag eich gelynion, yr hyn hefyd a gyflawnaf yr un mor sicr. *Nac ofnwch*—y troaf fi oddiwrth hyny; neu nac ofnwch fyned yn mlaen â'ch gwaith.

Adn. 16. *Dyma y pethau a wnewch chwi*]

wrth ei gymydog: bernwch farn gwirionedd *a* thangnefedd yn eich pyrth;

17 Ac na fwriedwch ddrwg neb i'w gilydd yn eich calonau; ac na hoffwch lw celwyddog: canys yr holl *bethau* hyn a gaseais, medd yr Arglwydd.

18 ¶ A gair Arglwydd y lluoedd a ddaeth ataf, gan ddywedyd,

19 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Ympryd y pedwarydd *mis*, ac ympryd y pummed, ac ympryd y seithfed, ac ympryd y degfed, a fydd i dŷ Juda yn llawenydd a hyfrydwch, ac yn uchel-ŵyliau daionus: gan hyny cerwch wirionedd a heddwch.

20 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; *Bydd* eto, y daw pobloedd, a phreswylwyr dinasoedd lawer:

21 Ac yr â preswylwyr y naill *ddinas* i'r llall, gan ddywedyd, Awn gan fyned i weddio gerbron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd: minau a âf hefyd.

22 Ie, pobloedd lawer a chenhedloedd cryfion a ddeuant i geisio Arglwydd y lluoedd yn Jerusalem, ac i weddio gerbron yr Arglwydd.

23 Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd; Yn y dyddiau hyny *y bydd* i ddeg o ddynion, o bob tafodiaith y cenhedloedd, ymaflyd, ymaflyd, *meddaf*, yn ngodre gŵr o Iuddew, gan ddywedyd, Awn gyda

---

Fel yr ammod ar ba un y gwnaf finau les i chwi; *Dywedwch y gwir bawb wrth ei gymydog*—heb dwyllo eich gilydd mewn dim: *bernwch farn gwirionedd a thangnefedd*—sef barn gywir ac uniawn, yr hon a duedda i beri tangnefedd rhwng gŵr a gŵr; *yn eich pyrth*—sef yn eu llysoedd barn, y rhai a gynelid yn y pyrth.

Adn. 17. *Ac na fwriedwch ddrwg neb i'w gilydd yn eich calonau*] Oddiar genfigen neu falais, pen. vii. 10; *ac na hoffwch lw celwyddog*—neu 'dyngu i'm henw i ar gam,' pen. v. 4, 5: *canys yr holl bethau hyn a gaseais*—fel pethau croes i'm natur a'm cyfraith.

Adn. 18. *A gair Arglwydd y lluoedd a ddaeth ataf*] Mewn ffordd o atebiad manylach i'r gofyniad yn pen. vii. 3.

Adn. 19. *Ympryd y pedwarydd mis*] Yr oedd yr Iuddewon yn Babilon wedi sefydlu pedwar ympryd yn chwanegol at y rhai oedd ganddynt o'r blaen; un y *pedwarydd* mis, er cof am y Caldeaid yn tori i mewn i'r ddinas, 2 Bren. xxv. 3, 4. *Ac ympryd y pummed*—er cof am losgiad y ddinas a'r deml. 2 Bren. xxv. 8, 9. *Ac ympryd y seithfed*—er cof am lofruddiad Gedaliah, 2 Bren. xxv. 25. *Ac ympryd y degfed*—er cof am warchaead Jerusalem, yr hyn a ddechreuasai yn y degfed mis, 2 Bren. xxv. 1. *A fydd i dŷ Juda yn llawenydd a hyfrydwch*—trwy fod y drygau am y rhai y galarent ar y dyddiau hyny wedi eu llwyr symud; *ac yn uchel-ŵyliau daionus*—i gofio am ddaioni yr Arglwydd iddynt ar ol yr adfydau uchod, yn hytrach nag yn ddyddiau galar. *Gan hyny cerwch wirionedd a heddwch*—fel yr unig foddion i gyraedd y daioni hwnw.

Adn. 20. *Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*] Er cysur pellach i'r Iuddewon adfydus hyn; *Bydd eto y daw pobloedd, a phreswylwyr dinasoedd lawer*—o blith y cenhedloedd amgylchynol. Y mae yr adnod hon a'r tair ganlynol yn cyfeirio yn mlaenaf at y nifer mawr o ddychweledigion a dderbynid o blith y cenhedloedd i'r eglwys Iuddewig rhwng hyn a dyfodiad y Messia; ond cyfeiriant yn benaf at y niferoedd lluosog a dderbynid i'r eglwys Gristionogol trwy bregethiad yr apostolion a'u holynwyr dan yr efengyl.

Adn. 21. *Ac yr â preswylwyr y naill ddinas i'r llall*] Nid i'w dyfetha hi, fel y gwnaeth y Caldeaid pan y daethant i Jerusalem, ond i ymuno â'u gilydd mewn gweddiau a mawl; *gan ddywedyd*—wrth eu gilydd, *Awn gan fyned i weddio gerbron yr Arglwydd*—sef i addoli a gwasanaethu Jehofa yn unig; *ac i geisio Arglwydd y lluoedd*—i geisio ei ffafr, ei ras, a'i iachawdwriaeth ef. *Minau a âf hefyd*—gyda chwi. Y meddwl yw, y bydd i bob un yn unigol amlygu ei awydd i fyned gyda chorff mawr y bobl, yn ganlynol i'r gwahoddiad a roddent i'w gilydd: gwel ar Esay ii. 2. 3, Micah iv. 1—3.

Adn. 22. *Ie, pobloedd lawer*] O bob gwlad; *a chenhedloedd cryfion*—megys yr Aifftiaid, y Mediaid, yr Elamitiaid, yr Arabiaid, &c., y rhai a berthynent i deyrnasoedd cryfion: *a ddeuant i geisio Arglwydd y lluoedd yn Jerusalem*—wrth ddeall y geiriau hyn yn llythyrenol, cawn flaenffrwyth y rhai hyn yn cael eu crybwyll yn Act. ii. 5—11; ond, yn gyffiniol, y mae 'Jerusalem' yma yn meddwl eglwys Crist, adn. 8; *ac i weddio gerbron yr Arglwydd*—i gyflawni pob rhan o'r addoliad Cristionogol.

Adn. 23. *Yn y dyddiau hyny y bydd i ddeg o ddynion*] Rhif penodol yn cael ei enwi am niferoedd lluosog; *o bob tafodiaith y cenhedloedd*—sef dynion o bob iaith, llwyth, a chenedl; *ymaflyd, ymaflyd, meddaf*—yr hyn a ailadroddir, i ddangos eu hawydd a'u penderfyniad diysgog; *yn ngodre gŵr o Iuddew*—neu yn ymyl ei wisg ef, yr hyn oedd yn arferiad cyffredin wrth ymbil am gymhorth neu ffafr gan arall, Esay iii. 6, a iv. 1; *gan ddywedyd, Awn gyda chwi*—i gofleidio yr un grefydd, ac i ymddiried yn yr un Gwaredwr: *canys clywsom fod Duw gyda chwi*—sef y gwir Dduw, yr hwn yn unig a all ein hachub. Yr oedd y cenhedloedd wedi bod

chwi: canys clywsom *fod* Duw gyda chwi.

## PENNOD IX.

BAICH gair yr Arglwydd yn nhir Hadrach, a Damascus *fydd* ei orphwysfa ef: pan *fyddo* llygaid dyn ar yr Arglwydd, fel yr eiddo holl lwythau Israel.
2 A Hamath hefyd a derfyna wrthi; Tyrus a Sidon *hefyd,* er ei bod yn ddoeth iawn.
3 A Thyrus a adeiladodd iddi ei hun amddiffynfa, ac a bentyrodd arian fel llwch, ac aur coeth fel tom yr heolydd.
4 Wele yr Arglwydd a'i bwrw hi allan, ac a dery ei nerth hi yn y môr; a hi a ysir â thân.
5 Ascelon a'*i* gwel, ac a ofna; a Gaza, ac a ymofidia yn ddirfawr, Ecron hefyd; am ei chywilyddio o'i gobaith; dyfethir hefyd y brenin allan o Gaza, ac Ascelon ni chyfaneddir.
6 Estron hefyd a drig yn Asdod, a thoraf ymaith falchder y Philistiaid.
7 A mi a gymeraf ymaith ei waed

---

bob amser yn dirmygu yr Iuddewon a'u crefydd; ond yma arddanghosir hwynt fel yn troi i ymbil am yr un rhagorfreintiau, yr hyn a gyflawnwyd yn hynod yn yr amlder mawr o broselytiaid a ennillwyd i'r eglwys Iuddewig ychydig cyn dyfodiad Crist. Ond gan fod yr enw *Iuddewon* yn cael ei roddi weithiau i'r *Cristionogion*, sef gwir blant Abraham, i'r rhai yn benaf y perthynai yr addewidion ysbrydol a wnaed i'r patrieirch, Rhuf. ii. 28, 29, Dat. ii. 9, tybia rhai mai yr ystyr yma yw, y byddai i'r cenhedloedd ddyfod at y *Cristionogion*, yn enwedig at weinidogion eglwys Crist, i ymofyn am gyfarwyddiadau i'w cymhwyso eu hunain fel ymgeiswyr am le yn yr eglwys Gristionogol.

PEN. IX. Adn. 1. *Baich gair yr Arglwydd*] Sef barn wedi ei phenodi gan yr Arglwydd, neu broffwydoliaeth am ryw farn drallodus fel baich trwm, Esay xiii. 1; *yn nhir Hadrach*—tybia rhai mai enw ar barth o Syria oedd *Hadrach*, tra y barna ereill mai enw brenin neu eilun ydoedd: *a Damascus fydd ei orphwysfa ef*—hyny yw, bydd i'r baich hwn ddisgyn ar Damascus, prifddinas Syria. *Pan fyddo llygaid dyn ar yr Arglwydd*—yn edrych i fyny ato ef am gyfiawnder; *fel yr eiddo holl lwythau Israel*—fel yr edrycha llwythau Israel tuag ato. Ond y mae *Newcome* ac ereill, yn nghyda rhai o'r hen gyfieithiadau, yn ei ddarllen, 'Canys y mae llygaid Jehofa ar ddyn, ac ar holl lwythau Israel;' hyny yw, bydd i Dduw lywodraethu a barnu holl genhedloedd y ddaear, yn gystal a'i bobl ei hun. Meddylir fod y broffwydoliaeth hon yn cyfeirio at waith Nebuchodonosor neu Alexander Fawr yn gorchfygu Syria.—Tybia y rhan fwyaf o'r dysgedigion fod y bennod hon a'r pump canlynol wedi eu hysgrifenu gan *Jeremi*, *Hosea*, neu rywun arall cyn y caethiwed Babilonaidd; ac y mae pen. xi. 12, 13, yn cael ei dyfynu yn Mat. xxvii. 9, 10, fel geiriau '*Jeremias* y proffwyd:' ond gwel y sylwadau yno. Bernir fod amrai ymadroddion yn y pennodau hyn yn annghyfaddasol i'r amserau pryd yr oedd Zechariah yn byw, a'u bod yn gyfansoddiad mwy arddunol a barddonol na'r eiddo ef, ac y dylasent fod yn gwneyd i fyny y 'trydydd llyfr ar ddeg' o eiddo y 'proffwydi lleiaf.' Modd bynag, os nid *Zechariah* a ysgrifenodd y pennodau olaf hyn, y mae fod rhanau o honynt yn cael eu dyfynu yn y Testament Newydd yn brawf digonol o'u dwyfol awdurdod.

Adn. 2 *A Hamath hefyd a derfyna wrthi*] Sef wrth Syria; *Tyrus a Sidon hefyd*—a derfynant wrthi o du y gorllewin; ac yr oedd y naill a'r llall i fyned dan beth o'r baich bygythiedig; *er ei bod yn ddoeth iawn*—yr oedd gwŷr Tyrus a Sidon yn eu hystyried eu hunain yn ddoeth iawn; ond er eu holl ddoethineb a'u cyfrwysdra, nis gallent ddianc rhag barnedigaethau Duw: gwel ar Ezec. xxviii. 3—12.

Adn. 3. *A Thyrus a adeiladodd iddi ei hun amddiffynfa*] Neu ddinas newydd gadarn ar graig yn y môr, Esay xxiii. 1; *ac a bentyrodd arian fel llwch*—wrth fasnachu yn helaeth â gwledydd ereill, fel y gwelir yn Ezec. xxvii a xxviii; *ac aur coeth fel tom yr heolydd*—mor helaeth a'r llaid dan eu traed.

Adn. 4. *Wele yr Arglwydd a'i bwrw hi allan*] O'i mawredd a'i llwyddiant; *ac a dery ei nerth hi yn y môr*—fel ag i gwtogi ei masnach, os nid ei lwyr attal am ryw yspaid: gwel ar Esay xxiii. 1, &c., Ezec. xxvi—xxviii: *a hi a ysir â thân*—yr hyn a wnaed ar ddyfodiad Ochus brenin Persia yn ei herbyn hi, a chan Alexander ac ereill.

Adn. 5. *Ascelon a'i gwel*] A wel ddinystr y ddinasoedd uchod; *ac a ofna*—rhag i'r un trychineb ddisgyn arni hithau. Ascelon, Gaza, Ecron, ac Asdod, oeddynt ddinasoedd cryfion yn perthyn i'r Philistiaid, y rhai a orchfygwyd wedi hyny gan Alexander Fawr.

Adn. 6. *Estron hefyd a drig yn Asdod*] Yn lle y Philistiaid brodorol, y rhai a fyddant oll wedi ffoi, neu wedi syrthio trwy gleddyf eu gelynion; *a thoraf ymaith falchder y Philistiaid*—gwel ar Amos i. 6—8.

Adn. 7. *A mi a gymeraf ymaith ei waed o'i enau*] Attaliaf ef rhag ysglyfaethu rhai gwanach nag ef; *a'i ffieidd-dra oddirhwng ei ddannedd*—sef ei drais ffiaidd. Neu fe allai mai cyfeiriad sydd yma at eu dychweliad hwy oddiwrth eu defodau eilunaddolgar ffiaidd, megys bwyta gwaed, ac ymborthi ar gig wedi

o'i enau, a'i ffieidd-dra oddirhwng
ei ddannedd: ac efe a weddillir i'n
Duw ni, fel y byddo megys penaeth
yn Juda, ac Ecron megys Jebusiad.
8 A gwersyllaf o amgylch fy nhŷ
rhag y llu, rhag a êl heibio, a rhag
a ddychwelo; fel nad elo gorthrym-
wr trwyddynt mwyach: canys yn
awr gwelais â'm llygaid.
9 ¶ Bydd lawen iawn, ti ferch
Seion; a chrechwena, ha ferch
Jerusalem. Wele, dy frenin yn
dyfod atat: cyfiawn ac achubydd
*yw* efe; *y mae efe* yn llariaidd, ac
yn marchogaeth ar asyn, ac ar ebol
llwdn asen.
10 Toraf hefyd y cerbyd oddiwrth
Ephraim, a'r march oddiwrth Jeru-
salem, a'r bwa rhyfel a dorir: ac
efe a lefara heddwch i'r cenhedl-
oedd: a'i lywodraeth *fydd* o fôr
hyd fôr, ac o'r afon hyd eithafoedd
y ddaear.
11 A thithau, trwy waed dy ammod
y gollyngaist dy garcharorion o'r
pydew heb ddwfr ynddo.
12 ¶ Trowch i'r amddiffynfa, chwi
garcharorion gobeithiol: heddyw

---

ei offrymu i'w heilunod. *Ac efe a weddillir i'n Duw ni*—cyflawnwyd hyn trwy i lawer o'r Philistiaid droi at y grefydd Iuddewig, fel y dywed Josephus; *fel y byddo megys penaeth yn Juda*—yn cael ei barchu a'i anrhydeddu yn fawr; *ac Ecron megys Jebusiad*—yn cael yr un breintiau yn mysg yr Iuddewon ag a gawsai trigolion cyntefig Jerusalem gynt, Jos. xv. 63, Barn. i. 21.

Adn. 8. *A gwersyllaf o amgylch fy nhŷ rhag y llu*] Rhag byddinoedd y gelynion, y rhai a dramwyent yn ol ac yn mlaen heibio fy mhobl i yn Jerusalem; *fel nad elo gorthrymwr trwyddynt mwyach*—i'w niweidio: *canys yn awr gwelais â'm llygaid*—edrychais ar gyflwr fy mhobl â golwg o dosturi a thrugaredd. Tybia llawer fod yma gyfeiriad at y Maccabeaid, y rhai a amddiffynent dŷ Dduw rhag Antiochus Epiphanes; ac yn unol â hyny *Newcome* a'i cyfieitha, 'Gwersyllaf o amgylch fy nhŷ *â llu*, fel na byddo i neb fyned heibio na dychwelyd.'

Adn. 9. *Bydd lawen iawn, ti ferch Seion*] Yn y rhagolwg o'r hyn a wnaf i ti; *a chrechwena, ha ferch Jerusalem*—hyny yw, bloeddia o lawenydd a hyfrydwch. *Wele dy frenin yn dyfod atat*—nid Zorobabel, canys ni bu efe erioed yn *frenin;* ac ni chawsant hwy un brenin ond CRIST o ddyddiau Zedeciah hyd yn awr. *Cyfiawn ac achubydd yw efe*—neu achubydd cyfiawn, yr hwn a achub yn gyson â chyfiawnder yn gystal a thrugaredd: gwel ar Jer. xxiii. 5, 6, Rhuf. iii. 24—26. *Y mae efe yn llariaidd*—yn addfwyn a gostyngedig, neu yn dyfod atat heb rwysg na rhodres brenhinol; *ac yn marchogaeth ar asyn*—nid mewn cerbyd buddugol, nac ar farch rhyfel, yr hyn a waherddid dan y gyfraith; ond ar *asyn*, sef *ebol llwdn asen*—yr hwn ni buasai neb o'r blaen yn eistedd arno, a'r hwn oedd yn gysgod priodol o natur aflywodraethus dynion, y rhai yr oedd efe i'w dofi trwy ras yr efengyl: gwel ar Mat. xxi. 5, &c.

Adn. 10. *Toraf hefyd*] Neu, yn ol y Syriaeg a'r Arabaeg, 'ac *efe* a dyr,' *y cerbyd oddiwrth Ephraim, a'r march oddiwrth Jerusalem*—fel na bydd angen am gerbydau, meirch, na bwäau rhyfel i sefydlu ei deyrnas ysbrydol ef yn y byd; neu, un amcan mawr o'i ddyfodiad ef fydd sefydlu heddwch cyffredinol ar y ddaear, yr hyn a gymer le o leiaf yn ystod y milflwyddiant. *Ac efe a lefara heddwch i'r cenhedloedd*—sef heddwch ysbrydol yn gystal a thymhorol; heddwch â Duw, heddwch cydwybod, a heddwch â'u gilydd. *A'i lywodraeth fydd o fôr hyd fôr, ac o'r afon hyd eithafoedd y ddaear*—sef dros holl wyneb y ddaear, o'r hyn yr oedd llywodraeth Dafydd a Solomon yn gysgod gwan: gwel ar Salm lxxii. 8.

Adn. 11. *A thithau*] O Jerusalem, neu eglwys Dduw; *trwy waed dy ammod*—sef gwaed Iesu Grist, trwy yr hwn y cadarnhawyd y cyfammod rhwng Duw a'i eglwys, ac y sicrhawyd bendithion y brynedigaeth i'r holl gredinwyr: *y gollyngais dy garcharorion o'r pydew heb ddwfr ynddo*—sef o gaethiwed digysur Babilon neu yr Aifft, fel y mae rhai yn ei ddeall; neu ynte o bydew pechod a thrueni, o'r hwn yr oedd y daeardai a'r carcharau tan-ddaearol yn y dwyrain yn gysgod: gwel ar Jer. xxxvii. 16, a xxxviii. 6—13, Galar. iii. 53, 55. Tybia *Doddridge* ac ereill mai wrth Grist y dywedir hyn; ond trwy fod y rhagenw yma yn y rhyw fenywaidd yn yr Hebraeg, y mae yn fwy naturiol ei ddeall am yr eglwys; a dywedir 'gwaed *dy* ammod,' nid am fod y cyfammod wedi ei gynllunio gan yr eglwys, ond am mai hi oedd i dderbyn y budd mwyaf oddiwrtho.

Adn. 12. *Trowch i'r amddiffynfa*] Sef i Seion, neu eglwys Dduw; *chwi garcharorion gobeithiol*—y rhai, er eich bod yn garcharorion, sydd â gobaith genych eto am faddeuant ac iachawdwriaeth trwy waed Crist. *Heddyw*—yn nydd eich trueni dyfnaf, *yr ydwyf yn dangos*—neu yn addaw yn ddifrifol, *y talaf it' yn ddau-ddyblyg*—y rhoddaf i bob un o honoch a dry atat ti, gymaint arall o gysuron ag a gawsoch o ofid, neu gymaint arall o fendithion ag a roddais i'ch tadau yn eu cyflwr mwyaf llwyddiannus. Fe allai fod y geiriau hyn, yn eu hystyr blaenaf, yn alwad ar yr Iuddewon ag oeddynt wedi aros yn Caldea, i ddyfod i Jerusalem, lle y caent lawer mwy o fanteision crefyddol nag a gaent yno yn mhlith y cenhedloedd paganaidd. Ond diamau fod y geiriau i'w deall hefyd fel galwad ar bechaduriaid i droi at Grist, yr hwn sydd yn amddiffynfa gadarn i'r rhai oll a droant ato mewn gwirionedd.

Adn. 13. *Pan anelwyf Juda i mi, ac y*

yr ydwyf yn dangos y talaf it' yn
ddau-ddyblyg:
13 Pan anelwyf Juda i mi, ac y
llanwyf y bwa âg Ephraim, ac y
cyfodwyf dy feibion di, Seion, yn
erbyn dy feibion di, Groeg, ac y'th
wnelwyf fel cleddyf gŵr grymus:
14 A'r Arglwydd a welir trostynt,
a'i saeth ef a â allan fel mellten:
a'r Arglwydd Dduw a gân âg ud-
gorn, ac a gerdd â chorwyntoedd y
deau.
15 Arglwydd y lluoedd a'u ham-
ddiffyn hwynt: a hwy a ysant, ac a
ddarostyngant gerig y dafl; yfant,
*a* therfysgant megys *mewn* gwin, a
llenwir hwynt fel meiliau, *ac* fel
conglau yr allor.
16 A'r Arglwydd eu Duw a'u
gwared hwynt y dydd hwnw fel
praidd ei bobl: canys *fel* meini
coron *y byddant*, wedi eu dyrchafu
yn fanerau ar ei dir ef.
17 Canys pa faint *yw* ei ddaioni
ef! a pha faint ei degwch ef! ŷd a
lawenycha y gwŷr ieuainc, a gwin
y gwyryfon.

## PENNOD X.

ERCHWCH gan yr Arglwydd wlaw mewn pryd diweddar-wlaw; *a*'r Arglwydd a bair ddysglaer gymylau, ac a ddŷd iddynt gawod o wlaw, i bob un laswellt yn y maes.

---

*llanwyf y bwa âg Ephraim*] Hyny yw, pan ddefnyddiwyf Juda ac Israel fel fy offerynau rhyfel neu ddinystr; *ac y cyfodwyf dy feibion di, Seion, yn erbyn dy feibion di, Groeg*—pan alluogwyf yr Iuddewon, dan arweiniad y Maccabeaid, i ddyfetha byddinoedd Antiochus Epiphanes ac ereill, y rhai oeddynt olynwyr Alexander, sylfaenydd yr amherodraeth Roegaidd, Dan. viii. 22; *ac y'th wnelwyf fel cleddyf gŵr grymus*—yr hwn nas gall neb ei wrthsefyll:—

Adn. 14. *A'r Arglwydd a welir trostynt*] I'w cysgodi, eu hamddiffyn, a'u harwain, fel y cwmwl gynt ar eu dyfodiad allan o'r Aifft; *a'i saeth ef a â allan fel mellten*—i ddifa eu gelynion yn ddisymwth ac anwrthwynebol, a hyny ond odid trwy fellt a chorwyntoedd. *A'r Arglwydd Dduw a gân âg udgorn*—i wroli ei bobl yn eu rhyfeloedd; *ac a gerdd â chorwyntoedd y deau*—gan beri dinystr anwrthwynebol i'w gelynion, fel yr hwn a wneid gan gorwyntoedd, Esay xxi. 1.

Adn. 15. *Arglwydd y lluoedd a'u hamddiffyn hwynt*] A amddiffyn y Maccabeaid; *a hwy a ysant, ac a ddarostyngant gerig y dafl*—Saes., 'a ddarostyngant *â* cherig y dafl,' hyny yw, hwy a ddarostyngant eu gelynion âg offerynau mor ddistadl ag a ydoedd gan Dafydd gynt yn lladd Goliath. *Yfant, a therfysgant megys mewn gwin*—wrth iddynt offrymu ebyrth diolchgarwch am eu buddugoliaethau, hwy a floeddiant ac a ganant fel y gwna dynion wedi ymloni trwy win. *A llenwir hwynt fel meiliau*—âg anrhaith eu gelynion fe allai; *ac fel conglau yr allor*—sef allor y poeth-offrwm, lle y tywelltid gwaed yr aberthau, Lef. iv. 25. Neu, llenwid hwy â gwaed eu gelynion, fel y llenwid y meiliau, a chonglau yr allor, â gwaed yr aberthau.

Adn. 16. *A'r Arglwydd eu Duw a'u gwared hwynt y dydd hwnw fel praidd ei bobl*] Hyny yw, efe a wared ei bobl y dydd hwnw fel y gwareda bugail ei braidd: *canys fel meini coron y byddant*—yn werthfawr yn ei olwg fel perlau coron; *wedi eu dyrchafu yn fanerau ar ei dir ef*—yn gofgolofnau o fuddugoliaeth yn y wlad. Mewn geiriau ereill, dengys Duw i'r byd mor werthfawr ydynt yn ei olwg ef; a bydd ei ffafr iddynt yn annogaeth i ereill ddyfod yn broselytiaid i'r wir grefydd: gwel ar Esay lxii. 3, Mal. iii. 17. Ond y mae rhai yn deall hyn oll fel proffwydoliaeth am lwyddiant yr apostolion a'u holynwyr yn mhlaniad yr efengyl, y rhai a barotöid i'w gwaith fel bwäau a saethau yr Arglwydd, i orchfygu doethineb y Groegiaid a'r Rhufeiniaid.

Adn. 17. *Canys pa faint yw ei ddaioni ef*] Tuag at ei bobl yn dymhorol ac ysbrydol! *a pha faint ei degwch ef*—neu ei hawddgarwch a'i diriondeb yn ei ragluniaeth a'i ras! *Ŷd a lawenycha y gwŷr ieuainc*—ar ol eu holl lafur yn hau a medi; *a gwin y gwyryfon*—a lawenycha y gwyryfon, ar ol iddynt hwythau ymboeni i gasglu a gwasgu y grawn. Fel y mae buddugoliaeth ar eu gelynion yn cael eu haddaw iddynt yn yr adnodau blaenorol, felly y mae tymhorau ffrwythlon yn cael eu haddaw iddynt yn hon; er y tybia rhai mai bendithion ysbrydol yr efengyl a feddylir yma wrth yr *ŷd* a'r *gwin*.

PEN. X. Adn. 1. *Erchwch gan yr Arglwydd wlaw mewn pryd diweddar-wlaw*] Sef pan y byddo mwyaf o angen am dano, neu pan y byddo wedi myned yn *ddiweddar* cyn i chwi ei gael, i barotoi y ddaear i'r had, neu i addfedu y dwysen i'r cynauaf: gwel ar Deut. xi. 14, 15. Fel pe dywedasai, Y mae cyflawniad yr addewid o dymhorau ffrwythlon at y rhai y cyfeiriwyd yn yr adnod ddiweddaf, yn dibynu ar eich gwaith yn gofyn am danynt gan Dduw, nid gan eich eilunod. *A'r Arglwydd*—mewn atebiad i'ch taer weddiau, *a bair ddysglaer gymylau*—neu *fellt*, fel y mae ar ymyl y ddalen, y rhai a ddylynir bob amser â gwlaw, Jer. x. 13; *ac a ddŷd iddynt gawod o wlaw*—neu 'helaethrwydd o wlaw,' fel yr arwydda y wreiddiol; *i bob un laswellt yn y maes*—neu 'ffrwythau y maes,' yn ymborth i ddyn ac anifel. *Coverdale* a'i darllena, 'Ac a ddŷd i chwi wlaw digonol i holl gynyrch y maes.'

Adn. 2. *Canys y delwau a ddywedasant*

2 Canys y delwau a ddywedasant wagedd, a'r dewiniaid a welsant gelwydd, ac a ddywedasant freuddwydion ofer; rhoddasant ofer gysur: am hyny yr aethant fel defaid, cystuddiwyd hwynt, am nad *oedd* bugail.

3 Wrth y bugeiliaid yr enynodd fy llid, a mi a gospais y bychod: canys Arglwydd y lluoedd a ymwelodd â'i braidd tŷ Juda, ac a'u gwnaeth fel ei harddfarch yn y rhyfel.

4 Y gongl a ddaeth allan o hono, yr hoel o hono, y bwa rhyfel o hono, *a* phob gorthrymwr yn nghyd *a ddaeth* o hono.

5 ¶ A byddant fel cawri yn sathru *eu gelynion* yn nhom yr heolydd yn y rhyfel: a hwy a ymladdant, am *fod* yr Arglwydd gyda hwynt; a chywilyddir marchogion meirch.

6 A nerthaf dŷ Juda, a gwaredaf dŷ Joseph, a pharaf iddynt ddychwelyd i'w cyfle; canys trugarheais wrthynt; a byddant fel pe nas gwrthodaswn hwynt: o herwydd myfi *yw* yr Arglwydd eu Duw hwynt, ac a'u gwrandawaf hwynt.

7 Bydd Ephraim hefyd fel cawr, a'u calonau a lawenychant fel trwy win: a'u meibion a gânt weled, ac a lawenychant; bydd eu calon yn hyfryd yn yr Arglwydd.

---

*wagedd*] Pan yr oedd eich tadau gynt yn gofyn am wlaw neu ryw fendith arall gan eu heilunod, nis gallai eu hoffeiriaid, y rhai a atebent yn eu henwau hwynt, roddi un atebiad iddynt ond gwagedd; canys nis gallent gyflawni y daioni a addawent: *a'r dewiniaid a welsant gelwydd*—a gymerent arnynt eu bod yn gweled gweledigaethau ffafriol iddynt, yr hyn nid oedd wir; *ac a ddywedasant freuddwydion ofer*—gan haeru yn gelwyddog eu bod wedi cael datguddiedigaethau dwyfol trwy freuddwydion, Jer. xxiii. 25—27: *rhoddasant ofer gysur*—iddynt, trwy addaw yr hyn ni ddaeth i ben; neu sicrhäent iddynt y caent lwyddiant parhaus, pan yr oedd dinystr ar syrthio arnynt. *Am hyny yr aethant fel defaid*—y rhai a grwydrent i chwilio am borfeydd, neu caethgludwyd hwynt i Babilon: *cystuddiwyd hwynt, am nad oedd bugail*—am nad oedd ganddynt fugeiliaid gwladol nac eglwysig yn cyflawni eu dyledswyddau yn ffyddlon iddynt.

Adn. 3. *Wrth y bugeiliaid yr enynodd fy llid*] Sef wrth y brenin, y tywysogion, a'r offeiriaid anffyddlon; *a mi a gospais y bychod*—sef y 'penaethiaid neu y blaenoriaid,' fel y mae yn y Galdeaeg. *Canys Arglwydd y lluoedd a ymwelodd â'i braidd tŷ Juda*—yn ei dosturi a'i drugaredd; *ac a'u gwnaeth*—neu 'a'u gwna,' fel y mae *Newcome* yn ei ddarllen, *fel ei harddfarch yn y rhyfel*—hyny yw, efe a ddyry iddynt nerth a gwroldeb. Barna rhai fod hyn yn cyfeirio at amseroedd y Maccabeaid ac ereill, pryd y cospai Duw wahanol genhedloedd trwy offerynoliaeth yr Iuddewon; a thybia ereill ei fod yn cyfeirio at amseroedd yr efengyl.

Adn. 4. *Y gongl*] Sef y conglfaen, yr hwn sydd yn cynal ac yn cysylltu yr adeilad; *a ddaeth allan o hono*—sef o dŷ Juda: *yr hoel o hono*—daeth yr hoel hefyd o dŷ Juda, yr hon sydd yn sicrhau pebyll y rhyfelwyr: *y bwa rhyfel o hono*—daeth y nerth milwraidd allan o hono ef yr un modd: *a phob gorthrymwr yn nghyd*—neu 'bob *llywodraethwr*,' fel y mae *Newcome* yn ei ddarllen. *Blayney* a'i deongla, 'O dŷ Juda y daw allan *gonglfaen*—sef y cadfridog; *yr hoel*—yr îs-swyddogion; *y bwa rhyfel*—y saethyddion; *a'r rhai a nesânt yn nghyd*—sef corff y fyddin yn ymdaith yn nghyd i gyfarfod â'r gelynion.' Tybia ereill ein bod i ddeall hyn oll am Grist, yr hwn yw Conglfaen ei eglwys, a'r Hoel sydd yn ei sicrhau hi, a'i Hamddiffynwr a'i Llywodraethwr mawr, yr hwn a ddarostwng ei holl elynion hi.

Adn. 5. *A byddant fel cawri yn sathru eu gelynion yn nhom yr heolydd yn y rhyfel*] Am fod Duw yn nerthu yr Iuddewon i ddarostwng eu gelynion, ac i sathru eu celaneddau hwy. *A hwy a ymladdant*—yn wrol a llwyddiannus, *am fod yr Arglwydd gyda hwynt*—i'w nerthu a'u llwyddo; *a chywilyddir marchogion y meirch*—bernir yn gyffredin fod hyn yn cyfeirio at fuddugoliaeth yr Iuddewon ar feirch-filwyr Antiochus Epiphanes; ond ereill a'i deallant am lwyddiant yr apostolion a'u holynwyr yn eu milwriaeth ysbrydol; neu fel yn cyfeirio at adferiad yr Iuddewon, yn y diwedd, o'u cyflwr gwasgaredig presenol.

Adn. 6. *A nerthaf dŷ Juda*] Sef y gweddill o'r Iuddewon; *a gwaredaf dŷ Joseph*—sef gwasgaredigion y deg llwyth; *a pharaf iddynt ddychwelyd i'w cyfle*—sef i fwynhad o'u breintiau blaenorol dan yr hen oruchwyliaeth, neu i eglwys Dduw dan yr efengyl: *canys trugarheais wrthynt*—yn eu cyflwr gwasgaredig a diamgeledd; *a byddant fel pe nas gwrthodaswn hwynt*—hyny yw, byddant mewn cyflwr mor flodeuog a'r hwn yr oeddynt ynddo cyn eu gwasgaru. *O herwydd myfi yw yr Arglwydd eu Duw hwynt*—sef eu Duw cyfammodol; *ac a'u gwrandawaf hwynt*—pan y troant i lefain arnaf fi mewn gwir edifeirwch. Diamau mai at ddychweliad yr Iuddewon dan yr efengyl y cyfeirir yma yn benaf.

Adn. 7. *Bydd Ephraim hefyd fel cawr*] Sef y gweddill o'r deg llwyth; neu, yn ol y Galdeaeg a'r Syriaeg, 'byddant fel cedyrn Ephraim;' *a'u calonau a lawenychant fel trwy win*—yn yr ystyriaeth o ofal yr Arglwydd am danynt: *a'u meibion a gânt weled, ac a lawenychant*—canys bydd bendithion yr

8 Chwibanaf arnynt, a chasglaf
hwynt; canys gwaredais hwynt:
ac amlhant fel yr amlhasant.
9 A hauaf hwynt yn mysg y bobl-
oedd: ac mewn gwledydd pell y'm
cofiant, a byddant fyw gyda'u
plant, a dychwelant.
10 A dychwelaf hwynt o dir yr
Aifft, a chasglaf hwynt o Assyria;
ac arweiniaf hwynt i dir Gilead a
Libanus, ac ni cheir *lle* iddynt.
11 Ac efe a dramwya trwy y môr
mewn blinder, ac a dery y tònau yn
y môr; a holl ddyfnderoedd yr afon
a fyddant ddyhysbydd: a disgynir
balchder Assyria, a theyrnwialen
yr Aifft a gilia ymaith.
12 Nerthaf hwynt hefyd yn yr
Arglwydd, ac yn ei enw ef yr ym-
rodiant, medd yr Arglwydd.

## PENNOD XI.

LIBANUS, agor dy ddorau, fel yr
yso y tân dy gedrwŷdd.
2 Y ffynidwŷdd, udwch; canys
cwympodd y cedrwŷdd, difwynwyd
y rhai ardderchog: udwch, dderw
Basan; canys syrthiodd coedwig y
gwin gynauaf

---

efengyl yn perthyn i'r plant yn gystal a'r rhieni: *bydd eu calon yn hyfryd yn yr Arglwydd*— mewn mwynhad o fendithion yr iachawdwriaeth.

Adn. 8. *Chwibanaf arnynt, a chasglaf hwynt*] O holl leoedd eu gwasgariad; *canys gwaredais hwynt*—neu penderfynais eu gwaredu: *ac amlhant*—mewn nifer, *fel yr amlhasant*—yn eu dyddiau mwyaf llwyddiannus dan deyrnasiad Dafydd a Solomon; neu, yn ol y LXX, 'amlhant i fod yn gan cymaint ag yr oeddynt gynt.'

Adn. 9. *A hauaf hwynt yn mysg y bobloedd*] Hyny yw, hwy a gynyddant yn ddirfawr yn eu cyflwr gwasgaredig, fel cnwd oddi wrth had, Hos. ii. 23: *ac mewn gwledydd pell y'm cofiant*—gan droi ataf mewn gwir edifeirwch: *a byddant fyw gyda'u plant*—neu, fel y mae y LXX, y Syriaeg, a'r Arabaeg yn ei ddarllen, 'a *meithrinant* blant;' *a dychwelant*—at yr Arglwydd, hwynt-hwy a'u plant, adn. 7.

Adn. 10. *A dychwelaf hwynt o dir yr Aifft, a chasglaf hwynt o Assyria*] Y rhai ond odid a enwir yma am holl leoedd eu gwasgariad presenol. Ond os cymerwn y geiriau hyn yn eu hystyr llythyrenol, gall fod yma gyfeiriad at waith Ptolemy Philadelphus, un o frenhinoedd yr Aifft, yn anfon nid llai na 100,000 o'r Iuddewon o'r Aifft i'w gwlad eu hunain; ac at waith Alexander, mab Antiochus Epiphanes, yn anfon niferoedd o honynt adref o Syria, fel yr adrodda *Josephus* ac ereill. *Ac arweiniaf hwynt i dir Gilead a Libanus*—sef i eglwys Dduw, yr hon ond odid a osodir allan yma trwy y lleoedd ffrwythlon hyny: *ac ni cheir lle iddynt*—neu, yn ol y LXX, 'ac ni bydd un o honynt yn eisiau.'

Adn. 11. *Ac efe*] Sef Israel, *a dramwya trwy y môr mewn blinder*—neu, yn ol y LXX a'r Vulgate, 'efe a dramwya trwy y môr cyfyng;' *ac a dery y tònau yn y môr*—hyny yw, Duw a'u tery, fel ag i wneyd ffordd iddynt trwy y môr: *a holl ddyfnderoedd yr afon a fyddant ddyhysbydd*—cyfeirir yma at daith wyrthiol Israel trwy y môr coch a'r Iorddonen; a'r meddwl yw, y byddai i Dduw, mewn amser dyfodol, wneuthur pethau mor fawrion o'u plaid hwy, ag a wnaethai efe gynt i'w tadau. *A disgynir balchder Assyria, a theyrnwialen yr Aifft a gilia ymaith*—hyny yw, bydd i'r holl rwystrau dyfodol a fyddant ar ffordd dychweliad yr Iuddewon, gael eu symud ymaith, fel y gwnaed â'r rhwystrau a gafodd eu tadau oddiwrth Assyria a'r Aifft gynt.

Adn. 12. *Nerthaf hwynt hefyd yn yr Arglwydd*] Rhoddaf iddynt bob nerth ac amddiffyniad angenrheidiol oddiwrthyf fy hun, neu yn a thrwy fy Mab; *ac yn ei enw ef yr ymrodiant*—'yr ymffrostiant neu y llawenychant,' yn ol y LXX, sef yn enw Crist, a than ei lywodraeth ef, ac er gogoniant i'w enw; *medd yr Arglwydd*—yr hwn a lefara yma er anrhydedd i'w Fab.

PEN. XI. Adn. 1. *Libanus*] Wrth hwn y deallir naill ai y *deml*, yr hon a adeiladwyd â chedrwŷdd Libanus, Hab. ii. 17; neu ynte dinas *Jerusalem*, yr hon yr oedd ei hadeiladau dyrchafedig yn gyffelyb i gedrwŷdd uchel Libanus, Jer. xxi. 14, a xxii. 7, 23, Ezec. xx. 46. *Agor dy ddorau*—yr oedd dorau y deml yn gauedig yn erbyn pawb nad oeddynt yn meddu hawl i sangu ei chynteddau; ond yn awr agorid hwynt i'r dinystrydd. *Fel yr yso y tân dy gedrwŷdd*—sef y deml neu y palasau a adeiladwyd â chedrwŷdd. Y mae yr hen Iuddewon yn deall y geiriau hyn fel yn cyfeirio at y deml. Dywedant i ddorau y deml ymagor o honynt eu hunain ychydig cyn i'r deml gael ei llosgi gan y Rhufeiniaid, pryd y darfu i'r Rabbi Johanan ei chyfarch yn y geiriau hyn, 'O deml, deml, mi a wn mai dy ddiwedd fydd cael dy ddinystrio, yn ol proffwydoliaeth Zechariah am danat yn pen. xi. 1.' Ond tybia *Mede* ac ereill mai at ddinystr y deml gan y Caldeaid y cyfeirir yma, a bod y geiriau hyn wedi cael eu hysgrifenu cyn i'r Iuddewon gael eu caethgludo i Babilon, fel yr awgrymwyd ar pen. ix. 1: gwel *Mede*, Epist. lxi.

Adn. 2. *Y ffynidwŷdd, udwch*] Wrth y rhai hyn y dealla llawer y bobl gyffredin, y rhai a elwir i udo am fod y *cedrwŷdd*, neu y gwŷr mwyaf, wedi cwympo. *Difwynwyd y rhai ardderchog*—sef eu llywodraethwyr a'u pendefigion. *Udwch, dderw Basan*—sef y

3 ¶ *Y mae* llef udfa y bugeiliaid;
am ddifwyno eu hardderchog-
rwydd: llef rhuad y llewod ieuainc:
am ddifwyno balchder yr Iorddon-
en.
4 Fel hyn y dywed yr Arglwydd
fy Nuw; Portha ddefaid y lladdfa;
5 Y rhai y mae eu perchenogion
yn eu lladd, heb dybied eu bod yn
euog; a'u gwerthwyr a ddywedant,
Bendigedig *fyddo* yr Arglwydd,
am fy nghyfoethogi: a'u bugeiliaid
nid arbedant hwynt.
6 Canys nid arbedaf mwyach
drigolion y wlad, medd yr Ar-
glwydd; ond wele fi yn rhoddi y
dynion bob un i law ei gymydog,
ac i law ei frenin; a hwy a daraw-
ant y tir, ac nid achubaf *hwynt* o'u
llaw hwy.
7 A mi a borthaf ddefaid y lladd-
fa, *sef* chwi, drueiniaid y praidd.
A chymerais im' ddwy ffon; un a
elwais Hyfrydwch, a'r llall a elwais
Rhwymau; a mi a borthais y
praidd.
8 A thorais ymaith dri bugail
mewn un mis; a'm henaid a alar-

---

bobl gryfaf, neu wŷr mewn swyddau ac awdurdod; *canys syrthiodd coedwig y gwin gynauaf*—neu 'y goedwig gauedig,' fel y mae ar ymyl y ddalen, sef y dinasyddion aml ac amddiffynedig. Nid oedd eu lluosogrwydd hwy, na chadernid eu muriau, yn alluog i'w diogelu; ac am hyny gelwir yma ar y rhai lleiaf i udo o herwydd dinystr y rhai mwyaf, ac ar y rhai mwyaf i udo o achos dinystr y werin.

Adn. 3. *Y mae llef udfa y bugeiliaid*] I'w chlywed yn eglur, sef llef y tywysogion, a'r llywodraethwyr, a'r offeiriaid, y rhai oeddynt fugeiliaid i'r bobl mewn pethau gwladol ac eglwysig; *am ddifwyno eu hardderchog-rwydd*—am i'w tai ardderchog gael eu dinystrio, a'u cyfoeth gael ei ddwyn oddiarnynt. *Llef rhuad y llewod ieuainc*—y mae y rhai a elwir uchod yn 'fugeiliaid,' yn cael eu galw yma yn 'llewod ieuainc,' am eu bod yn arferyd trais a chreulondeb yn y gweinyddiad o'u swyddau. *Am ddifwyno balchder yr Iorddonen*—hyny yw, wrth weled eu *tai* yn cael eu dyfetha, fel y rhuai y llewod ieuainc wrth orfod cilio o'u llochesau yn y *llwyni* ar lanau yr Iorddonen, pan y byddai hi yn gorlifo dros ei glanau. Gelwir y llwyni hyny yn '*falchder* yr Iorddonen,' am eu bod yn harddwch mawr iddi.

Adn. 4. *Fel hyn y dywed yr Arglwydd fy Nuw*] Wrth y proffwyd, yr hwn oedd yma yn cynrychioli y Messia; *Portha ddefaid y lladdfa*—sef 'defaid cyfrgolledig tŷ Israel,' y rhai a adewid gan eu bugeiliaid eu hunain i gael eu lladd.

Adn. 5. *Y rhai y mae eu perchenogion yn eu lladd*] Sef eu llywodraethwyr a'u hathrawon; *heb dybied eu bod yn euog*—o ddim bai wrth wneuthur marsiandiaeth o honynt er elw iddynt eu hunain, 2 Pedr ii. 3. *A'u gwerthwyr a ddywedant*—sef y rhai a'u gwerthent hwy yn gaethion i ddyeithriaid, neu y rhai a'u gorfodent hwy, trwy eu gorthrwm a'u trais, i'w gwerthu eu hunain i dalu eu dyledion; *Bendigedig fyddo yr Arglwydd am fy nghyfoethogi*—cymerent arnynt fendithio Duw am eu galluogi i gyraedd cyfoeth trwy eu hanghyfiawnder a'u trais. *A'u bugeiliaid nid arbedant hwynt*—ni thosturiant wrthynt, fel ag i'w gwaredu o ddwylaw eu gormeswyr. Meddylir fod yma gyfeiriad at yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid yn amser ein Hiachawdwr, yn nghyda'r archoffeiriaid a henuriaid y bobl.

Adn. 6. *Canys nid arbedaf mwyach drigolion y wlad*] Mwy nag y gwna eu bugeiliaid hwy eu hunain. Y mae 'trigolion y wlad' i gael eu gwahaniaethu yma oddiwrth 'drueiniaid y praidd' yn yr adnod nesaf. Wrth y rhai blaenaf y meddylir y sawl ag oeddynt cyn waethed a'u bugeiliaid; ac wrth y rhai olaf, y sawl a orthrymid ganddynt, ac a oeddynt yn llariaidd a gostyngedig, neu o duedd dduwiol-frydig. *Ond wele fi yn rhoddi y dynion bob un i law ei gymydog*—i gael eu blino trwy amrafaelion cartrefol; *ac i law ei frenin*—sef i law amherawdwr Rhufain, yn ol rhai; neu frenin Babilon yn ol ereill, y rhai a dybiant i'r pennodau hyn gael eu hysgrifenu cyn y caethiwed: gwel ar adn. 1, a pen. ix. 1. *A hwy a darawant y tir*—byddai i'r Rhufeiniaid neu y Caldeaid anrheithio Judea, a gadewid yr Iuddewon yn hollol yn eu llaw hwynt.

Adn. 7. *A mi a borthaf ddefaid y lladdfa*] Sef y rhai hyny o honynt a elwid 'trueiniaid y praidd:' gwel ar adn. 6. Yma y mae y proffwyd, gan bersonoli Crist, yn addaw cymeryd gofal am 'drueiniaid y praidd,' sef y rhai a fyddent 'dylodion yn yr ysbryd,' ac yn awyddus am gael eu porthi â bara y bywyd. *A chymerais im' ddwy ffon*—cyfeirir yma at y ddwy ffon ag oeddynt gan y bugeiliaid; un yn ben-gam, â'r hon y tynent y ddafad o'r pydew neu y dyrysni; a'r llall oedd i gadw ymaith y cŵn a'r bleiddiaid: gwel ar Salm xxiii. 4. *Un a elwais Hyfrydwch*—i arwyddo hoffder Duw o'i bobl, a'i diriondeb tuag atynt pan yr oeddynt yn ffyddlon i'w gyfammod ef, adn. 10; *a'r llall a elwais Rhwymau*—i arwyddo undeb a brawdoliaeth y genedl tra yr oedd Duw yn fugail iddynt, adn. 14. *A mi a borthais y praidd*—gyda gofal a ffyddlondeb, gan *ymhyfrydu* wrth eu gweled mewn *rhwymyn* undeb a brawdgarwch. Ond tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at waith Crist, 'y bugail da,' trwy ei weinidogaeth bersonol ef ei hun yn nyddiau ei gnawd, ac eiddo ei apostolion.

Adn. 8. *A thorais ymaith dri bugail mewn un mis*] Sef mewn byr amser. Tybia rhai mai wrth y *tri bugail* hyn, a'u cymeryd yn llythyrenol, y golygir y *tri Maccabead*, sef

odd arnynt hwy, a'u henaid hwy-
thau a'm ffieiddiodd inau.
9 Dywedais hefyd, Ni phorthaf
chwi: a fyddo farw, bydded farw;
ac y sydd i'w dori ymaith, torer ef
ymaith; a'r gweddill, ysant bob un
gnawd eu gilydd.
10 ¶ A chymerais fy ffon Hy-
frydwch, a thorais hi, i dori fy
nghyfammod yr hwn a ammodaswn
â'r holl bobl.
11 A'r dydd hwnw y torwyd hi:
ac felly y gwybu trueiniaid y
praidd, y rhai oedd yn dysgwyl
wrthyf fi, mai gair yr Arglwydd
*oedd* hyn.
12 A dywedais wrthynt, Os gwel-
wch yn dda, dygwch fy ngwerth;
ac onidê, peidiwch: a'm gwerth a
bwysasant yn ddeg ar hugain o ar-
ian.
13 A dywedodd yr Arglwydd
wrthyf, Bwrw ef i'r crochenydd:
pris têg â'r hwn y'm prisiwyd gan-
ddynt. A chymerais y deg ar hug-
ain arian, a bwriais hwynt i dŷ yr
Arglwydd i'r crochenydd.
14 Yna mi a dorais fy ail ffon,

---

Judas, Jonathan, a Simon; ereill, y *tri arch-offeiriad* drygionus, sef Jason, Alcimus, a Menelaus; ac ereill, y *tri thywysog* olaf o hiliogaeth yr Asmoneaid, sef Alexander, Hyrcanus, ac Antigonus. Tybia ereill eu bod yn golygu y *tair sect* benaf yn mysg yr Iuddewon, sef y Phariseaid, y Saduceaid, a'r Esseniaid; neu *dair gradd* o lywodraethwyr, sef yr offeiriadaeth, dysgawdwyr y gyfraith, a'r sanhedrim fawr. A thybia ereill mai rhif penodol sydd yma am rif anmhenodol o aubroffwydi. *A'm henaid a alarodd arnynt hwy*—o herwydd eu balchder, eu rhagrith, a'u hannuwioldeb; *a'u henaid hwythau a'm ffieiddiodd inau*—ni allent oddef fy llywodraeth, fy athrawiaeth, na'm crefydd. Gall fod yma gyfeiriad at y rhai a waeddent, 'Croeshoelier, croeshoelier ef!'

Adn. 9. *Dywedais hefyd, Ni phorthaf chwi*] Ni fydd i mi mwyach geisio eich addysgu na'ch achub. *A fyddo farw*—neu a fyno farw yn ei bechodau; *bydded farw*—gadawer iddo gael ei ffordd ei hun. *Ac y sydd i'w dori ymaith*—trwy haint, newyn, neu gleddyf y gelynion; *torer ef ymaith*—rhodder ef i fyny iddynt hwy. *A'r gweddill*—y rhai a ddiangant rhag y drygau uchod, *ysant bob un gnawd eu gilydd*—trwy fwyta cnawd y meirw, neu ladd eu plant i ymborthi arnynt: yr hyn a gyflawnwyd yn llythyrenol yn amser dau warchaead Jerusalem: gwel ar Deut. xxviii. 56, 57.

Adn. 10. *A chymerais fy ffon Hyfrydwch*] Gwel ar adn. 7; *a thorais hi*—i arwyddo diddymiad y cyfammod gwladwriaethol a ammodasai efe â'r holl bobl. Yr oedd yr Iuddewon wedi ei dori ef eisioes o'u tu hwy; ac ni wnai Duw eu cadw hwy mwyach yn yr anrhydedd a'r diogelwch a sicrheid iddynt trwy y cyfammod hwnw.

Adn. 11. *A'r dydd hwnw y torwyd hi*] Sef pan y gwrthodasant ac y croeshoeliasant hwy yr Arglwydd Iesu, fel y mae rhai yn ei ddeall. *Ac felly y gwybu trueiniaid y praidd, y rhai oedd yn dysgwyl wrthyf fi*—y rhai a gredent yn Nghrist, ac a ufyddhaent i'w eiriau ef; *mai gair yr Arglwydd oedd hyn*—yr hyn a ddeallasant oddiwrth gyflawniad hynod y bygythiad. Felly, pan welodd y Cristionogion fyddinoedd y Rhufeiniaid yn dechreu gwarchae ar Jerusalem, hwy a ymneillduasant oddi wrth yr Iuddewon ereill, ac a achubasant eu heinioes.

Adn. 12. *A dywedais wrthynt*] Wrth ymadael â hwynt; hyny yw, dywedodd y proffwyd wrth yr Iuddewon, gan gynrychioli yn hyny yr Arglwydd Iesu. *Os gwelwch yn dda, dygwch fy ngwerth*—neu 'fy nghyflog,' fel yr arwydda y wreiddiol, am eich addysgu cyhyd, a'ch gwasanaethu fel bugail da; *ac onidê, peidiwch*—gwnewch a fynoch, ai talu i mi neu beidio. Fel pe dywedasai, Os gollyngwch fi ymaith heb fy nghyflog, ni rwgnachaf. *A'm gwerth a bwysasant yn ddeg ar hugain o arian*—neu o siclau arian, yr hyn, yn ol 2*s*. 6*c*. yr un, a gyrhaeddai i £3 15*s*. o'n harian ni, yr hyn oedd gwerth y caethwas distadlaf. Yr oedd hyn yn rhaggysgodi y swm a roddwyd i Judas am fradychu ein Gwaredwr: gwel ar Mat. xxvi. 15.

Adn. 13. *A dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Bwrw ef i'r crochenydd*] Yn elusen i ryw grochenydd tylawd a wnai lestri pridd at wasanaeth y deml fe allai, neu ynte i brynu âg ef faes y crochenydd: gwel ar Mat. xxvii. 7. *Pris têg â'r hwn y'm prisiwyd ganddynt*—yma y mae y proffwyd, fel cysgod o Grist, yn sylwi yn wawdlyd ar yr isel fri a roddid arno ef a'i wasanaeth gan y gwŷr hyn! *A chymerais y deg ar hugain arian*—o'u dwylaw hwynt; *a bwriais hwynt i dŷ yr Arglwydd i'r crochenydd*—tybia rhai mai yn weledigaethol y cymerodd hyn oll le, tra y tybia ereill iddo gymeryd lle yn wirioneddol. Modd bynag, y mae yn eglur fod hyn oll yn cael ei fwriadu i arddangos y pris a roddid i Judas am fradychu ein Gwaredwr, a'r defnydd a wneid wedi hyny o'r arian, fel y dysgwn oddi wrth Mat. xxvii. 7—10: gwel y sylwadau yno.

Adn. 14. *Yna*] Pan welais y bri isel a roddent arnaf fi a'm gwasanaeth; *mi a dorais fy ail ffon, sef Rhwymau*—yr hyn a wnaed gan y proffwyd yn gysgodol, a chan Grist yn wirioneddol: gwel ar adn. 7. *I dori y brawdoliaeth rhwng Juda ac Israel*—i ragarwyddo dattodiad yr undeb a fodolai rhwng y ddau. Casgla *Newcome* oddiyma fod brenhiniaeth *Israel* yn bodoli pryd yr ysgrifenwyd hyn; a bod yma gyfeiriad at y rhyfel a gymerodd le rhwng Israel a Juda, 2 Bren. xvi. 5, neu ynte at gaethgludiad y deg llwyth, pryd y torwyd

*sef* Rhwymau, i dori y brawdoliaeth
rhwng Juda ac Israel.
15 ¶ A'r Arglwydd a ddywed-
odd wrthyf, Cymer eto it' offer bu-
gail ffol.
16 Canys wele fi yn codi bugail
yn y tir, *yr hwn* ni ofwya y cudd-
iedig, ni chais yr ieuainc, ni feddyg-
iniaetha y briwedig, a fyddo yn sef-
yll ni phortha; ond bwyty gig y
bras, ac a ddryllia eu hewinedd
hwynt.
17 Gwae yr eilun bugail, yn gad-
ael y praidd: y cleddyf *fydd* ar ei
fraich, ac ar ei lygad deau: ei
fraich gan wywo a wywa, a'i lygad
deau gan dywyllu a dywylla.

## PENNOD XII.

BAICH gair yr Arglwydd i Israel,
medd yr Arglwydd, yr hwn sydd
yn estyn allan y nefoedd, ac yn syl-
faenu y ddaear, ac yn llunio ysbryd
dyn ynddo.
2 Wele fi yn gwneuthur Jerusa-
lem yn phiol gwsg i'r bobloedd oll
o amgylch, pan fyddont yn y gwar-
chae yn erbyn Juda, *ac* yn erbyn
Jerusalem.

---

yr undeb brawdol rhwng y ddwy deyrnas hyn. Eithr gellir dywedyd i hyn gael ei wneuthur yn ninystr diweddaf *Jerusalem*, yr hon oedd rhwymyn undeb yr holl lwythau, trwy ei bod yn eisteddle a chanolbwynt eu gwladwriaeth a'u crefydd; canys trwy hyny syrthiodd yr holl lwythau i'r fath annhrefn a dyryswch, a chollasant eu cofrestrau achawl, fel nas gallodd y teuluoedd mwyach gael eu gwahaniaethu. Ond tybia *Calmet* fod 'Israel' yma yn dynodi yr Iuddewon annghrediniol, y rhai a wrthodasant Grist; a bod 'Juda' yn gosod allan yr Iuddewon ffyddlon, y rhai a gredasant ynddo ef.

Adn. 15. *Cymer eto it' offer bugail ffol*] Ar ol i'r proffwyd fod yn cynrychioli Crist, 'y bugail da,' gorchymynir iddo yma bersonoli bugail ffol a niweidiol, trwy gymeryd *offer* y cyfryw un; megys ysgrepan heb fara ynddi, a ffon heb fod yn ben-gam, neu y fath ag ydoedd o wneuthuriad chwithig, ac yn annghymhwys i'w defnyddio; a hyny i'r dyben i osod allan y bugeiliaid Iuddewig, y rhai ni ofalent am y praidd, ond a'u llywodraethent hwy gyda thrais a chreulondeb.

Adn. 16. *Canys wele fi yn codi bugail yn y tir*] Yn ngwlad Canaan. Gan i'r Iuddewon wrthod neu ddibrisio Crist, 'y bugail da,' y mae Duw yma yn bygwth eu cospi hwynt â bugeiliaid esgeulus, gorthrymus, a chreulon. Y mae *Newcome*, gan dybied i'r geiriau hyn gael eu hysgrifenu cyn caethgludiad y deg llwyth, yn meddwl mai at Hosea, brenin olaf Israel, y cyfeirir yma, 2 Bren. xvii. 1, 2. Tybia ereill eu bod yn cyfeirio at y gau-gristiau a godent ar ol dyddiau ein Hiachawdwr, Mat. xxiv. 5; neu at ryw lywodraethwyr esgeulus a diofal mewn gwlad neu eglwys. *Yr hwn ni ofwya y cuddiedig*—neu ni ymwel â'r crwydredig; *ni chais yr ieuainc*—ni ddwg yr ŵyn yn ei fynwes, fel y gwnai Crist, y bugail da; *ni feddyginiaetha y briwedig*—trwy olchi a rhwymo eu briwiau; *a fyddo yn sefyll*—gan fethu dylyn y praidd, *ni phortha*—'ni chynal,' neu 'ni ddwg,' fel ei darllenir ar ymyl y ddalen: *ond bwyty gig y bras*—yn lle gofalu am borthi y praidd, efe a'i portha ei hun ar eu traul hwy, neu a ymgyfoethoga trwy eu gorthrymu hwy; *ac a ddryllia eu hewinedd*—wrth eu gyru ar hyd ffyrdd geirwon; neu efe a'u hanalluoga hwynt i'w wrthwynebu ef.

Adn. 17. *Gwae yr eilun bugail*] Yr hwn sydd fugail mewn enw a swydd, ond nid mewn gwaith; neu 'y bugail diddim,' fel yr arwydda y wreiddiol, Job xiii. 4; *yn gadael y praidd*—i fyned ar grwydr, neu i drengu trwy esgeulusdra. *Y cleddyf fydd ar ei fraich, ac ar ei lygad deau*—i dori ymaith y naill, ac i dywyllu y llall. *Ei fraich gan wywo a wywa*—am na ddefnyddiodd efe hi i amddiffyn ei braidd; *a'i lygad deau gan dywyllu a dywylla*—o herwydd ei esgeulusdra yn gwylio dros ei braidd. Ond y mae rhai yn cymhwyso hyn at gorff yr Iuddewon, gan sylwi y byddai i'w *braich* hwy wywo, sef eu gallu milwrol, yr hwn oedd gynt ganddynt i'w hamddiffyn eu hunain; ac y byddai i'w *llygad* dywyllu gyda golwg ar wir wybodaeth o'r ysgrythyrau, y rhai a ddarllenant hwy megys â gorchudd dros eu llygaid.—Yn briodol iawn y sylwa *Clarke* yma: 'Y mae amrai bethau yn y bennod hon ag sydd yn dra *thywyll*, a braidd y gallwn ddywedyd pa dyb sydd iawn; ac nid yw mewn un modd yn eglur pa un ai at gyfnod tra bore ynte hwyr o'r hanesiaeth Iuddewig y cyfeiriant.'

PEN. XII. Adn. 1. *Baich gair yr Arglwydd i Israel*] Neu 'broffwydoliaeth,' yn ol *Newcome*, yn cynwys gair yr Arglwydd o berthynas i Israel a Juda, adn. 4, 6; *medd yr Arglwydd, yr hwn sydd yn estyn allan y nefoedd*—fel pabell o amgylch y ddaear, Esay xlii 5; *ac yn sylfaenu y ddaear*—sef yn rhoddi iddi ei lle penodol yn y bydysawd, neu yn llywodraethu ei symudiadau trwy ddeddfau sefydlog, y rhai nas gall un bôd meidrol eu cyfnewid; *ac yn llunio ysbryd dyn ynddo*—i breswylio ynddo, fel sylwedd gwahanol i'r corff. Crybwyllir y pethau hyn fel prawf o hollalluogrwydd Duw, i'r dyben i ennill dynion i ymddibynu ar ei air am gyflawniad o'r pethau a addewir yma.

Adn. 2. *Wele fi yn gwneuthur Jerusalem yn phiol gwsg i'r bobloedd oll o amgylch*] Neu yn ddiod syfrdanol a meddwol, i ddyfetha eu nerth a'u deall hwy; *pan fyddont*

3 ¶ A bydd y dwthwn hwnw
im' wneuthur Jerusalem yn faen
trwm i'r holl bobloedd: pawb a
ymlwytho âg ef, *yn ddiau* a rwygir,
er ymgasglu o holl genhedloedd y
ddaear yn ei erbyn ef.
4 Y diwrnod hwnw, medd yr Ar-
glwydd, y tarawaf bob march â syn-
dra, a'i farchog âg ynfydrwydd; ac
agoraf fy llygaid ar dŷ Juda, a thar-
awaf holl feirch y bobl â dallineb.
5 A thywysogion Juda a ddy-
wedant yn eu calon, Nerth i mi
*fydd* preswylwyr Jerusalem yn Ar-
glwydd y lluoedd eu Duw hwynt.
6 ¶ Y dydd hwnw y gwnaf dy-
wysogion Juda fel aelwyd o dân yn
y coed, ac fel ffagl dân mewn ysgub
o wellt, ac ysant ar y llaw ddeau ac
ar yr aswy, yr holl bobloedd o am-
gylch: a Jerusalem a gyfaneddir
drachefn yn ei lle ei hun, yn Jeru-
salem.
7 Yr Arglwydd a geidw bebyll
Juda yn gyntaf, megys nad *ym-
fawrygo* gogoniant tŷ Dafydd a
gogoniant preswylwyr Jerusalem,
yn erbyn Juda.
8 Y dydd hwnw yr amddiffyn yr
Arglwydd breswylwyr Jerusalem:
a bydd y llesgaf o honynt y dydd
hwnw fel Dafydd; a thŷ Dafydd
*fydd* fel Duw, fel angel yr Arglwydd
o'u blaen hwynt.

---

*yn y gwarchae yn erbyn Juda ac yn erbyn Jerusalem*—tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at yr amseroedd diatreg cyn caethgludiad yr Iuddewon i Babilon, neu yn fuan ar ol eu dychweliad oddiyno; a barna ereill ei fod i'w ddeall am amseroedd yr efengyl, a'i fod yn cyfeirio at ryw ymosodiad ar eglwys Crist, megys yr un a grybwyllir Dat. xx. 9. Byddai i holl ymosodiadau gelynion yr eglwys derfynu yn eu dinystr hwy eu hunain; amddifedid hwy o'u deall a'u gallu, fel dynion dan effeithiau diodydd meddwol.

Adn. 3. *A bydd y dwthwn hwnw im' wneuthur Jerusalem yn faen trwm i'r holl bobloedd*] A ymgodant i'w herbyn hi: *pawb a ymlwytho âg ef, yn ddiau a rwygir*—tybia *Jerome* fod yma gyfeiriad at arferiad gwŷr ieuainc o godi maen trwm am yr uwchaf, i brofi eu nerth; a phan yn ceisio codi maen trwm yn uwch na'u penau, byddent mewn perygl o syrthio dano, a chael eu llethu ganddo. Felly y byddai i bawb a geisient niweidio Jerusalem; hwy a ddinystrid eu hunain, er lluosoced fyddent.

Adn. 4. *Y diwrnod hwnw, medd yr Arglwydd*] Sef yn ystod eu hymosodiad, bydded ddiwrnod, mis, neu flwyddyn; *y tarawaf bob march â syndra, a'i farchog âg ynfydrwydd*—cyfeirir yma ond odid at feirch-filwyr y gelynion: *ac agoraf fy llygaid ar dŷ Juda*—i wylio drostynt, a'u hamddiffyn; *a tharawaf holl feirch y bobl â dallineb*—y mae rhai yn deall hyn am fuddugoliaethau y Maccabeaid ar fyddinoedd Antiochus, y rhai yr oedd eu prif nerth yn eu gwŷr meirch; ac ereill a'i deallant am fuddugoliaethau pobl yr Arglwydd ar Gog a Magog, Ezec. xxxviii. 2, &c.

Adn. 5. *A thywysogion Juda a ddywedant yn eu calon*] Gan ei gredu yn eu calon; *Nerth i mi fydd preswylwyr Jerusalem yn Arglwydd y lluoedd eu Duw hwynt*—heb geisio cymhorth neb arall; neu, fel y mae *Newcome* yn ei gyfieithu, 'Y mae nerth i breswylwyr Jerusalem yn Arglwydd y lluoedd, eu Duw hwynt:' gwel ar Joel iii. 16.

Adn. 6. *Y dydd hwnw y gwnaf dywysogion Juda fel aelwyd o dân yn y coed*] Neu fel marworyn o dân wedi ei gymeryd oddiar yr aelwyd; *ac fel ffagl dân mewn ysgub o wellt*—i ysu eu gelynion yn llwyr a chyflym ar y ddeau a'r aswy: *a Jerusalem a gyfaneddir drachefn yn ei lle ei hun, yn Jerusalem*—neu 'mewn heddwch.' Tybia rhai fod hyn yn cyfeirio at ddychweliad yr Iuddewon i'w gwlad eu hunain yn y dyddiau diweddaf, neu at adferiad Jerusalem i'w henwogrwydd blaenorol; ond y mae yn debycach mai at gyflwr heddychol a dedwydd eglwys Crist yn y milflwyddiant y cyfeirir yma.

Adn. 7. *Yr Arglwydd a geidw bebyll Juda yn gyntaf*] O flaen y rhai a breswyliant yn y ddinas; neu efe a bair i'r tylodion gofleidio yr efengyl o flaen y cyfoethogion: *megys nad ymfawrygo gogoniant tŷ Dafydd, &c.*—hyny yw, fel na byddo i'r rhai penaf o deulu Dafydd, a thrigolion galluocaf y brifddinas, ymffrostio yn erbyn eu brodyr yn y wlad, a dywedyd mai hwynt-hwy a enillodd waredigaeth iddynt. Fel hyn y mae Duw, yn ei holl weinyddiadau grasol, yn gweithredu yn y fath fodd fel na orfoleddo un cnawd ger ei fron ef.

Adn. 8. *Y dydd hwnw yr amddiffyn yr Arglwydd breswylwyr Jerusalem*] Ar ol i'r Arglwydd ddechreu gyda phreswylwyr y wlad, efe a â rhagddo i gynorthwyo neu achub preswylwyr Jerusalem. *A bydd y llesgaf o honynt y dydd hwnw fel Dafydd*—yn gryf, gwrol, a buddugol fel Dafydd, pan yn myned yn erbyn Goliath; neu yn enwog fel Dafydd mewn gras: *a thŷ Dafydd fydd fel Duw*—sef 'fel angel yr Arglwydd,' fel ei heglurir yn y geiriau nesaf, yr hwn oedd yn myned allan yn fuddugoliaethus o flaen Israel yn yr anialwch. Dywedwyd am Dafydd ei fod ef 'fel angel Duw,' i wahaniaethu rhwng y da a'r drwg, 2 Sam. xiv. 17; ac felly yn awr y byddai holl dŷ Dafydd, neu bobl yr Arglwydd. Byddai i Dduw chwanegu grasau a galluoedd pob un yn gyfatebol i'r wasanaeth a ddysgwyliai efe oddiwrthynt.

Adn. 9. *Y dydd hwnw y bydd im' geisio dyfetha*] Neu ddyfetha yn effeithiol a gwir-

9 ¶ Y dydd hwnw y bydd im' geisio dyfetha yr holl genhedloedd y sydd yn dyfod yn erbyn Jerusalem.
10 A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem, ysbryd gras a gweddiau; a hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wânasant, galarant hefyd am dano fel un yn galaru am *ei* uniganedig, ac ymofidiant am dano ef megys un yn gofidio am *ei* gyntafanedig.
11 Y dwthwn hwnw y bydd galar mawr yn Jerusalem, megys galar Hadadrimmon yn nyffryn Megidon.
12 A'r wlad a alara, pob teulu wrtho ei hun; teulu tŷ Dafydd wrtho ei hun, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Nathan wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain;
13 Teulu tŷ Lefi wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain; teulu tŷ Simei wrtho ei hunan, a'u gwragedd wrthynt eu hunain;
14 Yr holl deuluoedd eraill, pob teulu wrtho ei hun, a'u gwragedd wrthynt eu hunain.

---

ioneddol; *yr holl genhedloedd y sydd yn dyfod yn erbyn Jerusalem*— sef gelynion eglwys Crist.

Adn. 10. *A thywalltaf ar dŷ Dafydd, ac ar breswylwyr Jerusalem*] Sef ar holl gorff y genedl Iuddewig, yr uwchaf a'r isaf o honynt, yn holl leoedd eu gwasgariad. Gelwir yr Iuddewon yn 'breswylwyr Jerusalem,' am eu bod yn preswylio yno pan draddodwyd y broffwydoliaeth hon, neu pan groeshoeliwyd Crist. *Ysbryd gras a gweddiau*—neu ras helaeth yr Ysbryd, yn cynyrchu gweddiau edifeiriol, taerion, a diffuant. *A hwy a edrychant arnaf fi yr hwn a wânasant*—gwelwn yma Dduwdod a dyndod y Messia yn cael eu hawgrymu. Fel *dyn*, efe a wânwyd; ac fel *Duw*, efe a dywalltai yr Ysbryd ar yr Iuddewon y rhai a'i gwânasant. Neu sonia Duw am dano ei hun fel yn cael ei wânu yn ngwâniad ei Fab, yr hwn oedd yn un â'r Tad. Ond y mae dros ddeugain o'r ysgrifLyfrau Hebreig yn ei ddarllen, 'Edrychant arno *ef* yr hwn a wânasant;' hyny yw, edrychant ar Grist gyda galar a phryder dwys, a chyda ffydd ddiysgog. *Galarant hefyd am dano*—sef am iddynt ei wrthod a'i groeshoelio ef; canys er mai effaith creulondeb eu tadau oedd y weithred hono, eto yr oedd eu pechodau hwythau, fel pawb ereill o ddynolryw, yn achos o'i farwolaeth ef. *Fel un yn galaru am ei uniganedig, &c.*—gyda galar dwys, gwirioneddol, a hir-barhaol, fel galar a gofid tad ar farwolaeth ei unig blentyn. Cyflawnwyd hyn mewn rhan ar ddydd y pentecost, Act. ii. 17, 33, 37; ond ar ddychweliad cyffredinol y genedl i eglwys Crist y llwyr cyflawnir yr addewid hon.

Adn. 11. *Y dwthwn hwnw y bydd galar mawr yn Jerusalem*] Yn gystal ag yn mhob man arall lle y ceir Iuddewon; neu yn eglwys Crist, o'r hon yr oedd Jerusalem yn gysgod. Bydd i'r derbyniad croesawus a gânt hwy i'r eglwys ar eu ffydd yn Nghrist, ddyfnhau eu galar am wrthod o honynt eu Gwaredwr cyhyd, ac yn enwedig am iddynt fod yn achos o'i groeshoeliad ef. *Megys galar Hadadrimmon*—sef galar yr Iuddewon gynt am y brenin duwiol Josiah, yr hwn a laddwyd yn Hadadrimmon yn nyffryn Megido: gwel ar 2 Cron. xxxv. 24, 25.

Adn. 12. *A'r wlad a alara*] Sef yr holl genedl yn gyffredinol; *pob teulu wrtho ei hun*—fel yr oeddynt yn galaru, yn ol eu teuluoedd, ar farwolaeth Josiah; neu galarant yn eu tai gartref, ac yn ddirgel, yn gystal ag yn eu cynulliadau cyhoeddus. *Teulu tŷ Dafydd wrtho ei hun*—meddylir yn gyffredin fod y gwahanol deuluoedd a enwir yma yn dynodi gwahanol raddau yn mhlith yr Iuddewon. Nid yw yn angenrheidiol i ni dybied y bydd y gwahanol deuluoedd yn cael eu hadnabod y pryd hyny yn ol eu hachau; eithr bydd i bob teulu gael eu cynwys, gan y bydd i'r holl genedl alaru. Neu fe allai mai yn y drefn hon yr oeddid yn galaru ar farwolaeth Josiah, gan ddechreu gyda'r teulu brenhinol; ac mai mewn cyfeiriad at hyny yr enwir y teuluoedd yma. *A'u gwragedd wrthynt eu hunain*—fel yr oeddynt ond odid yn yr orymdaith wrth gladdu Josiah. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, y byddai i'r gwŷr a'r gwragedd ymneillduo oddiwrth eu gilydd yn amser y galar dwys hwn, fel yr arferent wneuthur ar achlysuron pwysig ereill: gwel ar Exod. xix. 15, 1 Cor. vii. 5. *Teulu tŷ Nathan wrtho ei hunan*—yr hwn ond odid a ddynodai y proffwydi yn anghladd Josiah.

Adn. 13. *Teulu tŷ Lefi wrtho ei hunan*] Sef yr offeiriaid y pryd hyny, y rhai wedi hyny a fuont erlidwyr gwaethaf Crist. *Teulu tŷ Simei wrtho ei hunan*—neu 'deulu tŷ *Simeon*,' fel y mae yn y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r LXX, oddiwrth yr hwn yr hanodd llawer o'r ysgrifenyddion a'r Phariseaid, gelynion greddfol Crist. Neu, gan fod Dafydd, Nathan, Simeon, a Lefi yn cael eu rhestru yn mhlith *henafiaid* Crist, Luc iii. 29—31, dichon fod eu teuluoedd hwy yn cael eu henwi yma fel rhai ag yr oedd eu *heuogrwydd* yn fwy, ac o ganlyniad eu *galar* yn ddwysach, am iddynt wrthod Crist: 'canys nid oedd ei *frodyr* yn credu ynddo!' Ioan vii. 5.

Adn. 14. *Yr holl deuluoedd ereill*] A'r na enwyd uchod; *pob teulu wrtho ei hun*—sef gwrywod pob teulu; *a'u gwragedd wrthynt eu hunain*—gwel ar adn. 12. Ond tybia *Henderson* ac ereill fod gwaith y *gwragedd* yn galaru wrthynt eu hunain, yn cyfeirio at yr arferiad Iuddewig, yn ol pa un yr oedd y gwragedd yn trigo mewn ystafelloedd ar wa-

## PENNOD XIII.

Y DYDD hwnw y bydd ffynnon
wedi ei hagoryd i dŷ Dafydd, ac
i breswylwyr Jerusalem, i bechod
ac aflendid.
2 ¶ A bydd y dwthwn hwnw,
medd Arglwydd y lluoedd, im'
dori enwau yr eilunod allan o'r tir,
ac nis cofir hwynt mwyach; a gyr-
af hefyd y proffwydi ac ysbryd aflen-
did allan o'r tir.
3 A bydd pan broffwydo un mwy-
ach, y dywed ei dad a'i fam a'i cen-
hedlasant ef wrtho, Ni chei fyw;
canys dywedaist gelwydd yn enw yr
Arglwydd: ei dad a'i fam a'i cen-
hedlasant ef a'i gwânant ef pan
fydd yn proffwydo.
4 A bydd y dydd hwnw, i'r proff-
wydi gywilyddio bob un am ei wel-
edigaeth, wedi iddo broffwydo; ac
ni wisgant grys o rawn i dwyllo.
5 Ond efe a ddywed, Nid proff-
wyd *ydwyf* fi; llafurwr y ddaear
*ydwyf* fi: canys dyn a'm dysgodd i
gadw anifeiliaid o'm hieuenctid.
6 A dywed *un* wrtho, Beth a *wna*
y gwelïau hyn yn dy ddwylaw? Yna

---

han oddiwrth eu gwŷr, ac yn addoli ar wahan; ac felly eu bod yma i alaru hefyd wrthynt eu hunain: gwel ar Gen. xxiv. 67, Rhuf. xvi. 16.

PEN. XIII. Adn. 1. *Y dydd hwnw*] Sef dydd galar yr Iuddewon, a'u dychweliad i gredu yn Nghrist, pen. xii. 10; *y bydd ffynnon wedi ei hagoryd*—sef gwerthfawr waed Crist, yr hwn 'sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob pechod,' 1 Ioan i. 7. Agorwyd y ffynnon hon y dydd y gwânwyd neu y croeshoeliwyd Crist; ond ar ddychweliad yr Iuddewon ato ef y bydd y ffynnon hon yn effeithiol er eu glanhad hwy. *I dŷ Dafydd, ac i breswylwyr Jerusalem*—sef i'r holl genedl Iuddewig, am y rhai y soniwyd yn yr adnodau blaenorol. Nid yw hyn yn cau allan y Cenhedloedd, canys y mae Crist yn 'iawn dros bechodau yr holl fyd,' 1 Ioan ii. 2. *I bechod*—i olchi ymaith EUOGRWYDD pechod; *ac aflendid*—sef HALOGRWYDD pechod, yr hwn sydd yn neillduo neu yn ysgaru dyn oddiwrth Dduw a'i bobl, neu oddiwrth freintiau yr iachawdwriaeth. Crybwyllir hyn er calondid i'r Iuddewon galarus a gofidus ag y cyfeiriwyd atynt yn niwedd y bennod flaenorol. Yn ngwyneb eu galar dwys am eu pechodau, ni raid iddynt dristâu megys rhai heb obaith: canys danghosir iddynt yma ffynnon i'w golchi, ac i droi eu galar yn llawenydd.

Adn. 2. *A bydd y dwthwn hwnw*] Ar ol i'r holl Iuddewon gael eu dychwelyd i eglwys Crist, ac i 'gyflawnder y Cenhedloedd ddyfod i mewn;' *im' dori enwau yr eilunod allan o'r tir*—fel na fydd i neb mwyach gofio eu henwau, na meddwl am danynt, chwaithach eu haddoli. Casgla rhai oddiyma ddarfod ysgrifenu y geiriau hyn cyn caethiwed Babilon, sef pryd yr oedd eilunaddoliaeth yn ffynu yn mhlith yr Iuddewon: gwel ar pen. ix. 1. Tybia ereill y bydd i'r Iuddewon syrthio eto i eilunaddoliaeth cyn eu dychweliad cyffredinol. Neu gall mai at eilunaddoliaeth y Cenhedloedd y cyfeirir yma yn benaf, neu yr eilunaddoliaeth ag sydd yn y dyddiau hyn wedi ymlusgo i'r eglwysi dwyreiniol a gorllewinol. *A gyraf hefyd y proffwydi*—sef y gau-broffwydi, *ac ysbryd aflendid*—sef pob math o swyn-gyfaredd a dewiniaeth, *allan o'r tir*—neu oddiar y ddaear; yr hyn a gyflawnir yn llythyrenol yn ystod y milflwyddiant.

Adn. 3. *A bydd pan broffwydo un mwyach*] Pan gymero un arno ei fod yn proffwydo; *y dywed ei dad a'i fam*—sef ei berthynasau neu ei gyfeillion agosaf; *Ni chei fyw*—fforffetiaist dy fywyd yn ol y gyfraith, Deut. xiii. 5, &c.; *canys dywedaist gelwydd yn enw yr Arglwydd*—trwy haeru yn gelwyddog fod yr Arglwydd yn llefaru trwyot ti. *A'i dad a'i fam*—wrth orchymyn y swyddogion; *a'i gwânant ef pan fyddo yn proffwydo*—sef am iddo broffwydo, neu draethu ei hòniadau celwyddog.

Adn. 4. *A bydd y dydd hwnw i'r proffwydi gywilyddio bob un am ei weledigaeth*] Yr hon y gŵyr efe mai ffug a thwyll ydoedd; neu efe a gywilyddiai o herwydd y gosp a'r gwarth a ddygai hi arno: *ac ni wisgant grys o rawn i dwyllo*—yr oedd y gwir broffwydi gynt yn gwisgo gwisgoedd blewog, 2 Bren. i. 8; ac ymddengys fod y gau-broffwydi yn gwneyd yr un peth, i'r dyben i gael gwell derbyniad: eithr ni wnaent hyny mwyach.

Adn. 5. *Ond efe a ddywed, Nid proffwyd ydwyf fi*] Yn lle gwisgo dillad blewog i ymddangos fel proffwyd, efe a gywilyddia arddel y swydd, ac a wada ei berthynas â hi. *Llafurwr y ddaear ydwyf fi*—ac nid proffwyd; *canys dyn a'm dysgodd*—yr wyf wedi cael fy nwyn i fyny i lafurio y ddaear, a thrin anifeiliaid, o'm hieuenctid.

Adn. 6. *A dywed un wrtho*] Wrth ei glywed yn gwadu ei fod yn broffwyd; *Beth a wna y gwelïau hyn yn dy ddwylaw?*—fel pe dywedasai, Onid yw yr archollion hyn yn dy ddwylaw yn brawf mai proffwyd ydwyt, a darfod i ti, fel proffwydi Baal gynt, dy dori dy hun â chyllyll wrth geisio ffafr gan dy dduwiau, neu ddatguddiad oddiwrth ellyllon? 1 Bren. xviii. 28. *Yna efe a ddywed*—i'w gyfiawnhau ei hun, neu fel rheswm dros ei glwyfau; *Dyma y rhai y'm clwyfwyd â hwynt yn nhŷ fy ngharedigion*—nid yw y rhai hyn ddim ond clwyfau a dorais arnaf fy hun wrth alaru ar farwolaeth rhai o'm cyfeillion; yr hyn oedd yn arferiad cyffredin gynt, fel y dysgwn oddiwrth Lef. xix. 28, Jer. xvi.

efe a ddywed, *Dyma* y rhai y'm
clwyfwyd â hwynt yn nhŷ fy nghar-
edigion.
7 ¶ Deffro, gleddyf, yn erbyn fy
mugail, ac yn erbyn y gŵr *sydd*
gyfaill i mi, medd Arglwydd y
lluoedd: taro y bugail, a'r praidd
a wasgerir; a dychwelaf fy llaw ar
y rhai bychain.
8 A bydd yn yr holl dir, medd yr
Arglwydd, y torir ymaith, *ac* y bydd
marw dwy ran ynddo; a'r drydedd
a adewir ynddo.
9 A dygaf y drydedd ran trwy y
tân, a phuraf hwynt fel puro arian,
a choethaf hwynt fel coethi aur:
hwy a alwant ar fy enw, a minau a'u
gwrandawaf: dywedaf, Fy mhobl
*yw* efe; ac yntau a ddywed, Yr
Arglwydd *yw* fy Nuw.

## PENNOD XIV.

WELE ddydd yr Arglwydd yn
dyfod, a rhenir dy yspail yn
dy ganol di.
2 Canys mi a gasglaf yr holl
genhedloedd i ryfel yn erbyn Jeru-
salem: a'r ddinas a oresgynir, y tai
a anrheithir, a'r gwragedd a dreisir;

---

6, a xlviii. 37. Arferid hefyd nodi llaw un, neu ranau ereill o'i gorff, wrth ei gyflwyno i'r duwiau, Dat. iii. 16, 17, a xiv. 9, a xx. 4. Nid oes yma un cyfeiriad at ôl yr hoelion yn nwylaw Crist, er i rai feddwl hyny.

Adn. 7. *Deffro, gleddyf, yn erbyn fy mugail*] Y mae y proffwyd yma yn dechreu ar destyn newydd, neu yn ail ymaflyd yn y mater a fu ganddo dan sylw yn pen. xi. 4—14. Geiriau y Tad yw y rhai hyn gyda golwg ar ei Fab, yr hwn a eilw efe ei *fugail*, am ddarfod iddo ei osod ef i fugeilio a llywodraethu ei bobl, yn gystal a'u hachub. Yr oedd cleddyf cyfiawnder wedi bod yn hir yn ei wain, neu fel yn cysgu; ond yn awr gorchymynir iddo ddeffro, i daro y bugail yn lle y praidd. *Ac yn erbyn y gŵr sydd gyfaill i mi*—yr hwn sydd anwyl genyf, neu sydd o'r un natur a mi fy hun; fy hunan arall, neu fy 'nghyf-ail.' *Taro y bugail*—neu, yn ol yr Arabaeg, '*tarawaf* y bugail;' *a'r praidd a wasgerir*—dyfynir hyn gan ein Harglwydd gyda golwg ar ei ddysgyblion, y rhai a wasgarwyd pan y daliwyd ef, Mat. xxvi. 31, 56; ac felly rhaid mai proffwydoliaeth am ddyoddefiadau ein Prynwr bendigedig yw y geiriau hyn. *A dychwelaf fy llaw ar y rhai bychain*—ar ei 'braidd bychain,' i'w diogelu hwy rhag cynddaredd eu herlidwyr, neu rhag y farn a ddisgynai ar yr Iuddewon annghrediniol; neu ynte, efe a ddychwelai ei law ar y 'drydedd ran,' i'w dwyn hwythau trwy y tân, adn. 9.

Adn. 8. *A bydd yn yr holl dir*] Sef tir Judea; *y torir ymaith, ac y bydd marw dwy ran ynddo*—trwy ddwylaw y Rhufeiniaid; *a'r drydedd a adewir ynddo*—heb eu lladd. Cyfeirir yma ond odid at amser dinystr Jerusalem; a'r meddwl yw, fe allai, y byddai i un ran o dair o'r Iuddewon ddianc rhag y dinystr hwnw, trwy iddynt gofleidio Cristionogaeth; canys diamau i lawer o honynt gredu yn Nghrist yn yr yspaid o 36 mlynedd ag oedd rhwng croeshoeliad ein Harglwydd a dinystr Jerusalem, fel y gwelwn yn llyfr yr Actau.

Adn. 9. *A dygaf y drydedd ran trwy y tân*] Trwy ddyoddefiadau a phrofedigaethau tanllyd; *a phuraf hwynt fel puro arian, a choethaf hwynt fel coethi aur*—trwy yr hyn y bydd i lawer o'r rhai a elwir yn Gristionogion syrthio ymaith, fel y gwna y sothach oddi wrth y mettel pur. Ond bydd i ereill sefyll y prawf hwn, at y rhai y cyfeirir yn y geiriau nesaf. *Hwy a alwant ar fy enw*—bydd iddynt barhau i alw ar fy enw, yma a thraw, fel gwir Gristionogion; *a minau a'u gwrandawaf*—a atebaf eu gweddiau, ac a dderbyniaf eu mawl. *Dywedaf*—gyda golwg ar y rhai hyn, *Fy mhobl yw efe*—y rhai a dderbyniais i rwymyn fy nghyfammod yn lle yr Iuddewon annghrediniol; *ac yntau a ddywed*—Saes., 'a hwythau a ddywedant,' *Yr Arglwydd yw fy Nuw*—yr hwn a wasanaethaf yn ufydd a ffyddlon fel fy Nuw cyfammodol.

PEN. XIV. Adn. 1. *Wele ddydd yr Arglwydd yn dyfod*] Sef dydd digofaint yr Arglwydd, pryd y cospa efe Jerusalem trwy law y Rhufeiniaid, fel y bernir yn gyffredin: ond gwel ar adn. 2. *A rhenir dy yspail yn dy ganol di*—rhwng eu milwyr hwy. Er i lawer o drysorau Jerusalem gael eu llosgi y pryd hyny, eto yr oedd yr yspail a gafodd y Rhufeiniaid mor fawr, fel y gostyngodd yr aur yn Syria i hanner ei bris blaenorol.

Adn. 2. *Canys mi a gasglaf yr holl genhedloedd*] Sef milwyr o blith yr holl genhedloedd a'r teyrnasoedd ag oeddynt ddarostyngedig i amherawdwr Rhufain; *i ryfel yn erbyn Jerusalem*—i'w chospi hi am ei phechodau. *A'r ddinas a oresgynir*—a gymerir ac a orchfygir ganddynt; *y tai a anrheithir*—neu a yspeilir o'u trysorau; *a'r gwragedd a dreisir*—gan y milwyr didosturi; *a hanner y ddinas a â allan i gaethiwed*—neu '*ran* o'r ddinas,' fel y mae rhai yn ei gyfieithu; *a'r rhan arall o'r bobl nis torir ymaith o'r ddinas*—dywed Josephus i'r Rhufeiniaid arbed y rhai enwocaf a chryfaf o'r Iuddewon; eithr dedfrydwyd y rhai hyny naill ai i weithio yn mŵn-gloddiau yr Aifft, neu i gael eu gwerthu yn gaethweision, neu i ymladd âg anifeiliaid gwylltion yn y chwareudai ar hyd y gwledydd, er difyrwch i'r trigolion. Heblaw hyn, bu feirw dros filiwn o'r Iuddewon yn y ddinas: gwel ar Deut. xxviii. 62, Mat. xxiv. 22. Dylid cofio mai am y ddinas yn unig y sonir yma, tra yr

a hanner y ddinas a â allan i gaeth-
iwed, a'r rhan arall o'r bobl nis
torir ymaith o'r ddinas.
3 A'r Arglwydd a â allan, ac a
ryfela yn erbyn y cenhedloedd
hyny, megys y dydd y rhyfelodd
efe yn nydd y gâd.
4 ¶ A'i draed a safant y dydd
hwnw ar fynydd yr Olewwydd, yr
hwn *sydd* ar gyfer Jerusalem, o du
y dwyrain; a mynydd yr Olewwydd
a hyllt ar draws ei hanner tua'r
dwyrain a thua'r gorllewin, *a bydd*
dyffryn mawr iawn: a hanner y
mynydd a symud tua'r gogledd, a'i
hanner tua'r deau.
5 A chwi a ffowch *i* ddyffryn y
mynyddoedd; canys dyffryn y myn-
yddoedd a gyraedd hyd Azal: a
ffowch fel y ffoisoch rhag y ddaear-
gryn yn nyddiau Uzziah brenin Ju-
da: a daw yr Arglwydd fy Nuw, *a'r*
holl saint gyda thi.
6 A'r dydd hwnw y daw i ben, na
byddo goleuni dysglaer na thywyll:
7 Ond bydd un diwrnod, hwnw

---

oedd y 'ddwy ran' ag y cyfeiriwyd atynt yn pen. xiii. 8, yn perthyn i holl wlad Judea. Modd bynag, tybia *Grotius*, *Houbigant*, ac amrai ereill, mai nid at ddinystr Jerusalem gan y *Rhufeiniaid* y cyfeirir yma, eithr at ryw ymosodiad arall ag sydd i gymeryd lle eto, neu a gymerodd le yn amser *Antiochus Epiphanes*, 1 Mac. i. 20, &c.

Adn. 3. *A'r Arglwydd a â allan*] Ar ol cospi Jerusalem yn ddigonol; *ac a ryfela yn erbyn y cenhedloedd hyny*—y rhai a faeddasant Jerusalem, ac a orthrymasant ei bobl ef tuhwnt i'w terfynau; *megys y dydd y rhyfelodd efe yn nydd y gâd*—sef yn erbyn yr Aifftiaid wrth y môr coch, neu yn erbyn y Canaaneaid wrth eu darostwng hwy o flaen Israel. Ar ol i'r Rhufeiniaid faeddu yr Iuddewon ac anrheithio Jerusalem, dadymchwelwyd cyn hir eu dinasoedd gwychaf hwythau, ac anrheithiwyd eu holl daleithiau gan y cenhedloedd gogleddol, megys y Gothiaid a'r Vandaliaid.

Adn. 4, 5. *A'i draed a safant y dydd hwnw ar fynydd yr Olewwydd, &c.*] Y mae y rhan hon o'r broffwydoliaeth yma wedi peri llawer o ddyryswch i'r holl esbonwyr, a'u deongliadau arni sydd dra amrywiol. Tybia rhai fod y geiriau hyn i'w deall yn *llythyrenol;* eithr tybia ereill eu bod i'w deall yn *ffugyrol;* hyny yw, (1) Mai wrth waith yr Arglwydd yn *sefyll ar fynydd yr Olewwydd*, yr hwn sydd ar gyfer Jerusalem o du y dwyrain, y meddylir ei nesâd ef at ei eglwys a'i bobl; ac y byddai ef wrth law i'w hamddiffyn hwy, ac i lwyddo yr efengyl a bregēthid gan yr apostolion, y rhai a dderbyniasant eu hawdurdod ar y mynydd hwnw cyn esgyniad Crist, Luc xxiv. 50, Act. i. 12. (2) Mai wrth *holltiad mynydd yr Olewwydd ar draws ei hanner*, fel ag i wneuthur *dyffryn mawr iawn*, y meddylir dilead y ddeddf seremonïol, yr hon oedd fel mynydd uchel rhwng yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, ac yn rhwystr i'r rhai olaf ddyfod i eglwys Dduw. (3) Mai wrth *ddyffryn y mynyddoedd*, adn. 5, y meddylir yr eglwys Gristionogol, i'r hon, fel noddfa, y byddai i lawer o'r Iuddewon ffoi, megys y ffôdd dynion rhag y ddaeargryn yn nyddiau Uzziah, Amos i. 1. (4) Mai wrth ddyffryn y mynyddoedd *yn cyraedd hyd Azal*, y meddylir, na fyddai i freintiau yr eglwys gael eu cyfyngu mwyach i ryw un genedl neu bobl neillduol, ond y byddai iddynt gael eu hestyn i bawb a gredent yn Nghrist, ac a ymgyflwynent i'w wasanaeth ef. Ac, (5) Mai wrth *ddyfodiad yr Arglwydd, a'i holl saint gydag ef*, y meddylir ei ddyfodiad ysbrydol ef, ac eangiad ei deyrnas, trwy yr hyn y gwneid lluoedd o Iuddewon a Chenhedloedd yn wir santaidd. Nis gall hyn, modd bynag, fod yn cyfeirio at ddyfodiad yr Arglwydd i farnu y byd yn y dydd diweddaf, gan y sonir am gyflwr yr eglwys efengylaidd ar y ddaear ar ol hyn. Rhoddir ystyron ereill i'r geiriau hyn gan *Lowth*, *Henderson*, ac ereill; ond ymddengys i mi fod y golygiad uchod, yr hwn a dderbynir gan *Henry* ac ereill, mor naturiol ag un o honynt.

Adn. 6. *A'r dydd hwnw y daw i ben*] Sef yn nydd goruchwyliaeth yr efengyl; *na byddo goleuni dysglaer na thywyll*—eithr rhyw gymysgedd o oleuni a thywyllwch, fel a geir yn y cyfnos, neu ar doriad y dydd. Tybia *Scott* ac ereill fod y geiriau hyn yn broffwydoliaeth am gyflwr yr eglwys Gristionogol o ddyddiau yr apostolion hyd wawriad y milflwyddiant. Ni byddai yn *oleuni dysglaer*, heb lawer o anwybodaeth, cyfeiliornad, rhagrith, trallod, a phechod yn gymysg âg ef; ac ni byddai chwaith mor *dywyll*, fel na byddai llawer o wybodaeth, rhinwedd, santeiddrwydd, a dedwyddwch i'w canfod ar yr un pryd. Gwelsom yn fynych fod *goleuni* a *thywyllwch* yn arwyddo y pethau hyn yn yr ysgrythyrau:

Adn. 7. *Ond bydd un diwrnod*] Neu un dydd parhaus, heb gael ei derfynu gan hollol dywyllwch, er mor gymysglyd y byddo. *Hwnw a adwaenir gan yr Arglwydd*—a gymeradwyir ganddo ef fel 'amser cymeradwy, a dydd yr iachawdwriaeth;' neu, bydd y dydd hwnw dan sylw a gwyliadwriaeth yr Arglwydd yn barhaus. *Nid dydd*—digymysg â thywyllwch; *ac nid nos*—ddigymysg â goleuni; eithr gellir ei ystyried fel rhyw gymysgedd o'r ddau, sef o wirionedd a chyfeiliornad, purdeb a llygredd, dedwyddwch a gofid. *Ond bydd goleuni yn yr hwyr*—o'r diwedd, tua phrydnawn y byd, bydd i 'Haul cyfiawnder' dori allan, a llewyrchu gyda dysgleirdeb digwmwl, gan wasgaru tywyllwch anwybodaeth, heresi, eilunaddoliaeth, a gau-grefydd; a goleuo yr eglwys a'r byd â gwybodaeth, cyfiawnder, heddwch, a dedwyddwch.

Adn. 8. *A bydd y dwthwn hwnw*] Yn

a adwaenir gan yr Arglwydd, nid
dydd, ac nid nos; ond bydd goleu-
ni yn yr hwyr.
8 A bydd y dwthwn hwnw y daw
allan o Jerusalem ddyfroedd byw-
iol; eu hanner hwynt tua môr y
dwyrain, a'u hanner tua'r môr eith-
af: haf a gauaf y bydd *hyn*.
9 ¶ A'r Arglwydd a fydd yn
Frenin ar yr holl ddaear: y dydd
hwnw y bydd un Arglwydd, a'i enw
yn un.
10 Troir yr holl dir megys yn
wastad o Geba hyd Rimmon, o'r tu
deau i Jerusalem: hi a ddyrchefir,
ac a gyfaneddir yn ei lle, o borth
Benjamin hyd le y porth cyntaf,
hyd borth y gongl, ac *o* dŵr Hanan-
eel hyd winwrŷfau y brenin.
11 Yno y trigant ynddi, ac ni
bydd yn ddifrod mwyach: ond Je-
rusalem a gyfaneddir yn ddienbyd.
12 ¶ A hyn fydd y bla â'r hon y
tery yr Arglwydd yr holl bobloedd
a ryfelant yn erbyn Jerusalem; Eu
cnawd a dderfydd, er eu bod yn sef-
yll ar eu traed, a'u llygaid a ddar-
fyddant yn eu tyllau, a'u tafod a
dderfydd yn eu safn.
13 (Y dydd hwnw y bydd mawr
derfysg oddiwrth yr Arglwydd yn
eu plith hwynt: a phob un a ymaf-
ael yn llaw ei gymydog, a'i law a
gyfyd yn erbyn llaw ei gymydog.
14 A Juda hefyd a ryfela yn Je-
rusalem: a chesglir golud yr holl
genhedloedd o amgylch, aur ac ar-
ian, a gwisgoedd lawer iawn.)
15 Ac felly y bydd pla y march,
y mul, y camel, yr asyn, a phob an-

---

nyddiau yr efengyl, neu yn nechread y milflwyddiant: *y daw allan o Jerusalem ddyfroedd bywiol*—neu 'ddyfroedd rhedegog;' hyny yw, bydd i wirioneddau bywiol ac achubol yr efengyl, gan gael eu dylyn â nerth yr Ysbryd Glân, darddu allan y pryd hyny o eglwys Crist, y wir Jerusalem ysbrydol. *Eu hanner hwynt tua môr y dwyrain*—sef y môr marw, neu fôr Persia; *a'u hanner tua'r môr eithaf*—neu Fôr-y-canoldir yn y gorllewin. Gan fod y parthau pwysicaf o'r byd y pryd hyny yn gorwedd i'r dwyrain a'r gorllewin o Jerusalem, yr oedd y ddau gyfeiriad hyn yn gosod allan yr holl ddaear. *Haf a gauaf y bydd hyn*—ni rwystrid ffrydiad y dyfroedd bywiol hyn gan sychder yr haf na rhew y gauaf, nes i'r ddaear gael ei 'llenwi â gwybodaeth gogoniant yr Arglwydd, fel y toa y dyfroedd y môr,' Hab. ii. 14.

Adn. 9. *A'r Arglwydd a fydd yn Frenin ar yr holl ddaear*] Nid yn unig mewn hawl, ond hefyd yn weithredol, trwy y bydd teyrnas Satan ac Annghrist wedi eu diddymu, a holl frenhinoedd a breninesau y ddaear wedi dyfod yn ddeiliaid ei deyrnas ef, Esay xlix. 23. *Y dydd hwnw y bydd un Arglwydd*—ac nid 'duwiau lawer, ac arglwyddi lawer,' fel yn ein dyddiau ni, 1 Cor. viii. 5; *a'i enw yn un*—sef 'YR ARGLWYDD EIN CYFIAWNDER,' Jer. xxiii. 6. 'Ni bydd yn y dyddiau dedwydd hyny ond *un grefydd*, ac *un ffurf o grefydd*, gan holl ddynolryw.'—*Clarke.* 'Yna bydd holl drigolion y ddaear yn cytuno am yr un Gwrthddrych addoliad, ac am yr un ffordd i'w addoli; ac ni fyddant, dybygid, yn rhanedig mewn nifer o bleidiau a sectau.'—*Esboniad y Parch. James Hughes.*

Adn. 10. *Troir yr holl dir megys yn wastad o Geba hyd Rimmon*] Fel na fydd un rhwystr i'r 'dyfroedd bywiol' ddylifo o Jerusalem i bob parth. *Hi a ddyrchefir, ac a gyfaneddir yn ei lle*—yma arddanghosir y Jerusalem newydd fel yn cael ei hadeiladu a'i chyfaneddu ar yr un seiliau a'r Jerusalem gyntaf; yr hyn a all fod yn arddangos, na fydd i eglwys Crist fod yn ol mewn dim i'r eglwys Iuddewig. *O borth Benjamin, &c.*—cyfeirir yma at bedair congl y Jerusalem gyntaf, y rhai a osodant allan yn gyfriniol bedwar chwarter y byd, y rhai yw terfynau y Jerusalem newydd.

Adn. 11. *Yno y trigant ynddi*] Mewn heddwch a diogelwch; *ac ni bydd yn ddifrod mwyach*—fel y bu y Jerusalem gynt yn amser y Caldeaid a'r Rhufeiniaid: *ond Jerusalem*—sef y Jerusalem newydd, *a gyfaneddir yn ddienbyd*—neu yn ddiberygl: gwel ar pen. viii. 8, Jer. xxiii. 6.

Adn. 12. *A hyn fydd y bla â'r hon y tery yr Arglwydd yr holl bobloedd a ryfelant yn erbyn Jerusalem*] Sef gelynion yr eglwys yn y dyddiau diweddaf. *Eu cnawd a dderfydd*—a ddihoena ymaith, ond odid trwy newyn, *er eu bod yn sefyll ar eu traed*—neu tra yn sefyll yn erbyn pobl yr Arglwydd: *a'u llygaid a ddarfyddant yn eu tyllau*—tarewir hwynt â dallineb; *a'u tafod a dderfydd yn eu safn*—â'r hwn y cablasant Dduw a'i bobl. Tybia *Gill* ac ereill fod hyn yn cyfeirio at rai neu yr oll o'r saith bla neu y saith phiol a dywelltir ar y taleithiau annghristaidd a grybwyllir yn Dat. xv a xvi.

Adn. 13. *Y dydd hwnw y bydd mawr derfysg oddiwrth yr Arglwydd yn eu plith hwynt*] Fel cosp am eu gelyniaeth yn erbyn ei bobl ef: *a phob un a ymafael yn llaw ei gymydog*—i geisio cynorthwy ganddo; *a'i law a gyfyd yn erbyn llaw ei gymydog*—i'w ladd ef, yn lle ei gynorthwyo. Y meddwl yw, y bydd i fradwriaethau cartrefol gael eu chwanegu at y barnedigaethau dwyfol uchod.

Adn. 14. *A Juda hefyd a ryfela yn Jerusalem*] Neu '*dros* Jerusalem,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; *a chesglir golud yr holl genhedloedd*—i'w dwylaw hwy, sef eu haur, eu harian, a'u gwisgoedd gwerthfawr.

ifel a fyddo yn y gwersylloedd hyn,
fel y pla hwn.
16 ¶ A bydd i bob un a adawer
o'r holl genhedloedd a ddaethant yn
erbyn Jerusalem, fyned i fyny o
flwyddyn i flwyddyn, i addoli y
Brenin, Arglwydd y lluoedd, ac i
gadw gŵyl y pebyll.
17 A phwy bynag nid êl i fyny o
deuluoedd y ddaear i Jerusalem, i
addoli y Brenin, Arglwydd y llu-
oedd, ni bydd gwlaw arnynt.
18 Ac os teulu yr Aifft nid â i
fyny, ac ni ddaw, y rhai nid oes
*gwlaw* arnynt; yno y bydd y bla
â'r hon y tery yr Arglwydd y cen-
hedloedd y rhai nid esgynant i gadw
gŵyl y pebyll.
19 Hyn a fydd cosp yr Aifft, a
chosp yr holl genhedloedd nid el-
ont i fyny i gadw gŵyl y pebyll.
20 ¶ Y dydd hwnw y bydd ar
ffrwynau y meirch, SANTEIDD-
RWYDD I'R ARGLWYDD; a
bydd y crochanau yn nhŷ yr Ar-
glwydd fel meiliau gerbron yr all-
or.
21 Bydd pob crochan yn Jerusa-

---

Adn. 15. *Ac felly y bydd pla y march, y mul, &c.*] Bydd i'w holl anifeiliaid gyfranogi o'r barnedigaethau trwy y rhai y torir ymaith elynion eglwys Dduw, fel y dygwyddodd yn amser pläau yr Aifft, Exod. ix. 9, 19.

Adn. 16. *A bydd i bob un a adawer*] Heb eu difa gan y barnedigaethau uchod; *o'r holl genhedloedd a ddaethant yn erbyn Jerusalem*—sef y rhai a welsant eu ffolineb o wneuthur hyny, ac a edifarhasant am eu gelyniaeth yn erbyn eglwys Dduw; *fyned i fyny o flwyddyn i flwyddyn, &c.*—hyny yw, bydd iddynt gael eu dychwelyd, a chymeryd rhan wirioneddol yn yr addoliad Cristionogol. Gwelsom yn fynych fod y proffwydi yn darlunio gwasanaeth grefyddol yr oruchwyliaeth newydd yn iaith addoliad yr hen oruchwyliaeth, heb yr hyn ni fuasai yr Iuddewon yn gallu deall eu meddwl hwy: gwel ar adn. 21, Esay lvi. 7, Mal. i. 11. *Ac i gadw gŵyl y pebyll*—tybia *Henderson* fod gŵyl y pebyll i gael ei chadw yn llythyrenol gan yr Iuddewon y pryd hyn, i adgofio iddynt eu crwydriadau yn amser eu hir wasgariad presenol: ond y mae yn debycach fod yr ŵyl hòno yn cael ei henwi yma yn ffugyrol, am yr holl ddyddiau a benodwyd i addoli Duw yn gyhoeddus; a hyny yn briodol, am y ddau reswm mawr a arwyddid ac a ofynid ar yr ŵyl hòno, sef marweiddiad i'r byd, a llawenydd yn Nuw, Neh. viii. 17. Y mae bywyd pob gwir Gristion yn *ŵyl y pebyll* yn wastadol; canys y mae efe yn encilio oddi wrth y byd, ac yn llawenychu yn yr Arglwydd, fel y gwnai y duwiolion gynt ar yr ŵyl hòno.

Adn. 17. *A phwy bynag nid êl i fyny o deuluoedd y ddaear i Jerusalem*] Neu nid ymuna yn addoliad cyhoeddus yr eglwys Gristionogol; *i addoli y Brenin, Arglwydd y lluoedd*—sef yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn yw Brenin Seion, yn gystal a Brenin yr holl ddaear, adn. 9; *ni bydd gwlaw arnynt*—yr hyn a fygythid yn llythyrenol dan yr hen oruchwyliaeth, Deut. xi. 17; ond a arwydda yma, na chaent fendithion grasol ac achubol yr Ysbryd Glân, y rhai a osodir allan yn fynych dan y gyffelybiaeth o ddwfr, neu wlaw, neu fendithion tymhorol.

Adn. 18. *Ac os teulu yr Aifft nid â i fyny, ac ni ddaw*] I addoli Brenin Seion yn ei eglwys; *y rhai nid oes gwlaw arnynt*—tir y rhai a ddyfrheir trwy orlifiad y Nilus, yr hyn a wna i fyny y diffyg naturiol o wlaw yn yr Aifft: *yno y bydd y bla â'r hon y tery yr Arglwydd y cenhedloedd*—y rhai y cyfeiriwyd atynt yn adn. 12. Y meddwl yw, er na chospid hwy â diffyg gwlaw fel y lleill, adn. 17, yr hyn ynddo ei hun ni fuasai yn gosp i'r Aifftiaid, trwy eu bod hwy eisioes heb wlaw; eto, byddai i'w cnawd a'u llygaid hwythau ddarfod gan newyn fel y lleill, yr hwn a ddygid arnynt trwy attal i'r Nilus orlifo; neu, mewn geiriau eglur, amddifedid hwythau o fendithion ysbrydol yr iachawdwriaeth. Ond tybia *Clarke* mai cyfeiriad sydd yma at yr Iuddewon a ffoisent i'r Aifft rhag erledigaeth Antiochus Epiphanes, ac a adeiladasent deml yn *Heliopolis* dan gyfarwyddyd Onïas, mab yr archoffeiriad: gwel *Josephus.* Os na fyddai i'r rhai hyn ddyfod i addoli yn yr eglwys Gristionogol gyda'u brodyr, ni chaent ran yn ffafr Duw.

Adn. 19. *Hyn a fydd cosp yr Aifft, a chosp yr holl genhedloedd, &c.*] Bydd i bawb nad ymunant yn addoliad Crist, neu a wrthodant ordinhadau eglwys Dduw dan yr efengyl, gael eu cau allan oddiwrth fendithion y cyfammod newydd.

Adn. 20. *Y dydd hwnw*] Pan ddychweler yr holl Iuddewon a'r Cenhedloedd i gredu yn Nghrist; *y bydd ar ffrwynau y meirch*—Saes., 'ar *glychau* y meirch,' y rhai a osodid i dinciau ar yddfau meirch, mulod, a chamelod, i'w difyru a'u calonogi hwy yn eu gwaith. Yr oedd hyn yn arferiad cyffredin mewn rhai gwledydd, a gwelsom y cyffelyb ar fulod boneddwr yn Meirion. *Santeiddrwydd i'r Arglwydd*—hwn oedd yr arwyddair cysegredig a osodid ar feitr yr archoffeiriad, Exod. xxviii. 36, 37; ac yn awr, ar ddychweliad Iuddewon a Chenhedloedd i eglwys Crist, bydd yr un arwyddair yn gerfiedig ar ffrwynau neu addurniadau y meirch, i arddangos fod y gorchwylion mwyaf cyffredin yn dyfod yn gyflawniadau santaidd, pan yn cael eu gwneuthur er gogoniant i Dduw. Tybia rhai mai meirch rhyfel a olygir yma, a bod addurniadau y rhai hyny yn cael eu troi yn santeiddrwydd i'r Arglwydd, pan 'na ddysgir rhyfel mwyach.' *A bydd y crochanau yn*

lem ac yn Juda yn santeiddrwydd i Arglwydd y lluoedd: a daw pob aberthwr, ac a gymerant o honynt, ac a ferwant ynddynt: ac ni bydd Canaanead mwyach yn nhŷ Arglwydd y lluoedd y dydd hwnw.

---

*nhŷ yr Arglwydd*—y pethau distadlaf a ddefnyddir yn ei wasanaeth ef; *fel meiliau gerbron yr allor*—mor santaidd a'r llestri aur ac arian a ddefnyddid gynt wrth aberthu.

Adn. 21. *Bydd pob crochan yn Jerusalem ac yn Juda*] Nid yn unig y rhai a ddefnyddid yn ngwasanaeth y cysegr, ond hefyd y rhai a ddefnyddient yn eu tai eu hunain trwy yr holl wlad; *yn santeiddrwydd i Arglwydd y lluoedd*—o'r rhai y bwyteir ac yr yfir er gogoniant i Dduw, nes y bydd pob pryd o fwyd yn ymddangos fel aberth, neu wledd aberthol. *A daw pob aberthwr*—felly, yn iaith yr hen oruchwyliaeth, y gelwir pob addolwr yn yr eglwys Gristionogol, (gwel ar adn. 16,) y rhai a wnaed yn 'offeiriaid i Dduw,' Dat. i. 6; *ac a gymerant o honynt, ac a ferwant ynddynt*—sef yn y crochanau hyny. Y meddwl yw, y bydd i ddynion ymddwyn yn eu gorchwylion cyffredin oddiar yr un egwyddor santaidd ag a'u llywodraetha hwynt yn eu hordinhadau crefyddol. *Ac ni bydd Canaanead mwyach yn nhŷ Arglwydd y lluoedd*—hyny yw, ni bydd yno ddynion paganaidd, bydol, a halogedig fel yr hen Ganaaneaid gynt, eithr bydd pob un yn 'Israeliad yn wir.' Bydd fel hyn i raddau helaeth yn y Jerusalem newydd yn ystod y milflwyddiant, a bydd felly yn hollol yn y Jerusalem nefol, yr hon 'nid â i mewn iddi ddim aflan, nac yn gwneuthur ffieidd-dra na chelwydd,' Dat. xxi. 27.

---

# LLYFR Y PROFFWYD MALACHI.

---

Malachi oedd yr olaf o broffwydi yr Hen Destament, gyda'r hwn y diffoddodd canwyll proffwydoliaeth, nes i Haul cyfiawnder gyfodi. Dechreuodd ar ei swydd broffwydol yn nghylch oddeutu 120 o flynyddoedd ar ol dychweliad yr Iuddewon o Babilon, ac oddeutu 420 mlynedd cyn Crist. Yr oedd ef yn blodeuo ar ol *Haggai* a *Zechariah*; canys yr oedd y deml a ddechreuwyd yn eu hamser hwy, wedi ei gorphen yn amser *Malachi*, ac addoliad Duw wedi ei sefydlu ynddi, pen. i. 7, 8, a iii. 10.—Ni wyddom ddim gyda sicrwydd am ei rieni na'i wlad, ychwaneg na bod traddodiad yn mhlith yr Iuddewon mai o lwyth Zabulon yr hanasai, ac iddo farw yn ieuanc. Ystyr ei enw yw *fy angel*, neu *ei angel*, neu *angel Jehofa*; yr hyn a barodd i rai feddwl mai *angel o'r nef* ydoedd, ac nid *dyn*.—Y mae y llyfr hwn yn cynwys, (1) Cerydd i'r bobl a'r offeiriaid am eu hamrywiol lygredigaethau a'u hesgeulusdod, a galwad arnynt i edifarhau, pen. i, ii. (2) Proffwydoliaeth am ddyfodiad disymwth yr Arglwydd i'w deml; bygythion yn erbyn yr anufyddion; ac addewidion gwerthfawr i'r rhai a ofnent yr Arglwydd, pen. iii. (3) Rhagfynegiad am ddyfodiad y Messia, dan yr enw 'Haul cyfiawnder;' ac am ei ragflaenor, Ioan Fedyddiwr, dan yr enw 'Elias,' pen. iv. Fel hyn, tra yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl am efengyl Crist, y mae Duw yn eu cynghori hwynt i fyw mewn ufydd-dod i gyfraith Moses, pen. iv. 4.

---

## PENNOD I.

Baich gair yr Arglwydd at Israel trwy law Malachi.
2 Hoffais chwi, medd yr Arglwydd: a chwi a ddywedwch, Yn mha beth yr hoffaist ni? Onid brawd *oedd* Esau i Jacob; medd yr Arglwydd: eto Jacob a hoffais,

---

PEN. I. Adn. 1. *Baich gair yr Arglwydd*] Neu 'ddatguddiad oddiwrth yr Arglwydd,' fel y mae yn y Syriaeg a'r Arabaeg; *at Israel*—sef at gynifer o'r deuddeg llwyth ag a oeddynt yn awr yn Judea: *trwy law Malachi*—neu trwy weinidogaeth Malachi, yr hwn oedd y proffwyd olaf a anfonodd Duw atynt hwy.

Adn. 2. *Hoffais chwi, medd yr Arglwydd*] Mewn modd neillduol, neu i raddau anghyffredinol. *A chwi a ddywedwch, Yn mha beth yr hoffaist ni?*—yn mha beth y mae dy hoffder neillduol tuag atom ni yn gynwysedig? neu pa brawf a roddaist i ni o hono? A ganlyn sydd atebiad i'r gofyniad hwn: *Onid brawd oedd Esau i Jacob*—o'r un fam a thad, y rhai hefyd oeddynt efeilliaid? *Eto Jacob a hoffais*—yn fwy nag Esau: hyny yw, codais *Israel*, ei hiliogaeth ef, i uwch breintiau na'r *Edomiaid*, hiliogaeth Esau, trwy roddi iddynt wlad Canaan yn etifeddiaeth, a thrwy sefydlu fy eglwys yn eu plith, a pheri i'r Messia ddeilliaw oddiwrthynt hwy yn ol y cnawd.

Adn. 3. *Ac Esau a gaseais*] Neu 'a gerais yn *llai*,' fel yr arwydda y gair, trwy beidio

3 Ac Esau a gaseais, ac a osodais
ei fynyddoedd yn ddiffaethwch, a'i
etifeddiaeth i ddreigiau yr anial-
wch.
4 Lle y dywed Edom, Tylodwyd
ni, eto dychwelwn, ac adeiladwn yr
annghyfanedd-leoedd; fel hyn y
dywed Arglwydd y lluoedd; Hwy
a adeiladant, ond minau a fwriaf i
lawr; a galwant hwynt yn ardal
drygioni, a'r bobl *wrth* y rhai y
llidiodd yr Arglwydd yn dragy-
wydd.
5 Eich llygaid hefyd a welant, a
chwithau a ddywedwch, Mawrygir
yr Arglwydd oddiar derfyn Israel.
6 ¶ Mab a anrhydedda *ei* dad, a
gweinidog ei feistr: ac os *ydwyf* fi
dad, pa le *y mae* fy anrhydedd? ac os
*ydwyf* fi feistr, pa le *y mae* fy ofn?
medd Arglwydd y lluoedd wrthych
chwi yr offeiriaid, y rhai ydych yn
dirmygu fy enw: a chwi a ddywed-
wch, Yn mha beth y dirmygasom
dy enw di?
7 Offrymu yr ydych ar fy allor
fara halogedig; a chwi a ddywed-
wch, Yn mha beth yr halogasom
di? Am i chwi ddywedyd, Dirmyg-
us *yw* bwrdd yr Arglwydd.
8 Ac os offrymu yr ydych y dall
yn aberth, onid drwg *hyny?* ac os
offrymwch y cloff a'r clwyfus, onid
drwg *hyny?* cynyg ef yr awrhon

---

rhodli i'w hiliogaeth ef yr un breintiau mawrion. Ond nid yw hyn yn cyfeirio at gyflwr tragwyddol yr un o'r pleidiau hyn. Deisyfir i'r darllenydd droi at Rhuf. ix. 12, 13, lle y mae y mater hwn wedi ei brofi yn helaeth a digonol. *Ac a osodais ei fynyddoedd yn ddiffaethwch*—dengys y geiriau hyn yn mhellach yn mha ystyr y casaodd Duw hiliogaeth Esau: efe a roddodd iddynt wlad lai ffrwythlon nag a roddodd efe i hiliogaeth Jacob: gwel ar Gen. xxvii. 28, 39, 40. *A'i etifeddiaeth i ddreigiau yr anialwch*—anrheithiodd byddin Nebuchodonosor wlad yr Edomiaid yn mhen pum mlynedd ar ol iddynt anrheithio Judea; eithr tra y cafodd hiliogaeth Jacob eu hadfer i'w gwlad eu hun, lle yr ail adeiladasant eu dinasoedd a'u teml, ni chafodd hiliogaeth Esau byth eu hadfer; a daeth eu tir yn anialwch nad oedd gymhwys i ddim ond i fod yn llochesau i seirff a bwystfilod: gwel ar Esay xxxiv. 5—15.

Adn. 4. *Lle y dywed Edom, Tylodwyd ni*] Trwy i'r Caldeaid anrheithio ein dinasoedd a'n gwlad; *eto dychwelwn, ac adeiladwn yr annghyfanedd-leoedd*—fel y gwnaethai yr Iuddewon: *fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd*—yr hwn a fynai ddangos gwahaniaeth fyth rhwng yr Iuddewon a'r Edomiaid; *Hwy a adeiladant, ond minau a fwriaf i lawr*—yr hyn a wnaed trwy i Dduw yn gyntaf lwyddo arfau Judas Maccabeus, (1 Mac. v. 65,) ac wedi hyny arfau Hyrcanus, (Jos. Henaf. llyfr xiii. pen. 9,) gan y rhai yr anrheithiwyd Edom drachefn. *A galwant hwynt*—geilw pawb eu gwlad hwynt, *yn ardal drygioni*—yn wlad ag y mae ei thrigolion yn ddrygionus, creulon, ac anfeddyginiaethol; *a'r bobl wrth y rhai y llidiodd yr Arglwydd yn dragywydd*—am eu creulondeb a'u drygioni gwirfoddol, fel y danghosir yn Ezec. xxxv. 1—15, Obad. adn. 2—18.

Adn. 5. *Eich llygaid hefyd*] O Israeliaid, *a welant*—yr hyn a wna yr Arglwydd i'r Edomiaid; *a chwithau a ddywedwch*—yn yr olwg ar hyny, *Mawrygir yr Arglwydd oddi ar derfyn Israel*—trwy ei diriondeb i Israel, a'i farnau ar eu gelynion hwy: neu, '*mawryger* yr Arglwydd,' &c., fel y mae rhai yn ei ddaillen.

Adn. 6. *Mab a anrhydedda ei dad, a gweinidog ei feistr*] Yr hyn y gellid ei ddysgwyl yn naturiol, ac a gyflawnir bron gan bawb. *Ac os ydwyf fi dad*—i chwi, a thad hoffus, fel y danghoswyd uchod; *pa le y mae fy anrhydedd*—sef yr ufydd-dod a'r serch mabaidd ag sydd ddyledus i mi oddiwrthych chwi? *Ac os ydwyf fi feistr*—i chwi, fel yr addefwch fy mod; *pa le y mae fy ofn*—neu y parch a'r ymostyngiad ag y gallwn ei ddysgwyl oddiwrthych? Hyn a ddywed yr Arglwydd wrth yr *offeiriaid*, y rhai oeddynt yn *dirmygu* ei enw ef, yn lle ei barchu a'i anrhydeddu. *A chwi a ddywedwch*—yn eich anwybodaeth, neu yn nghaledrwydd eich calonau; *Yn mha beth y dirmygasom dy enw di?*—ceir atebiad i hyn yn yr adnodau canlynol.

Adn. 7. *Offrymu yr ydych ar fy allor fara halogedig*] Wedi ei wneuthur o wehilion y gwenith, neu wedi esgeuluso rhoddi olew a thus arno, yn ol gofyniad y gyfraith, Lef. ii. 1, &c. *A chwi a ddywedwch, Yn mha beth yr halogasom di*—neu y darfu i ni dy ddirmygu a'th ddianrhydeddu? Y mae yr atebiad yn barod: *Am i chwi ddywedyd*—mewn ymddygiad o leiaf. *Dirmygus yw bwrdd yr Arglwydd*—canys wrth ddirmygu fy mwrdd, yr oeddych yn fy nirmygu i. Ystyrient fod rhyw fath ar fara yn ddigon da i fwrdd yr Arglwydd.

Adn. 8. *Ac os offrymu yr ydych y dall yn aberth*] Yr hyn a waherddid yn benodol gan y gyfraith, Lef. xxii. 22; *onid drwg hyny?*—onid ydych yn tori y gyfraith, ac yn digio Duw, wrth wneuthur hyny? *Ac os offrymwch y cloff a'r clwyfus*—y rhai nad ydynt dda i ddim, ac na roddai neb bris arnynt; *onid drwg hyny*—gan ei fod yn drosedd o'r un gyfraith, ac yn anmharch i Dduw? *Cynyg ef yr awrhon i'th dywysog*—fel anrheg i ennill ei ffafr ef, neu i ddyhuddo ei ddigofaint; *a fydd efe boddlon it'*—gyda'r fath anrheg ddiwerth? *neu a dderbyn efe dy wyneb*—fel ag i ymheddychu â thi? Yr oedd yn arferiad

i'th dywysog, a fydd efe boddlon it'?
neu a dderbyn efe dy wyneb ? medd
Arglwydd y lluoedd.
9 Ac yn awr gweddiwch, atolwg,
gerbron Duw, fel y trugarhao
wrthym : o'ch llaw chwi y bu hyn:
a dderbyn efe wyneb *un* o honoch ?
medd Arglwydd y lluoedd.
10 A phwy hefyd o honoch a gau-
ai y dorau, neu a oleuai fy allor yn
rhad ? Nid *oes* genyf foddlonrwydd
ynoch chwi, medd Arglwydd y llu-
oedd, ac ni dderbyniaf offrwm o'ch
llaw.
11 Canys o gyfodiad haul hyd ei
fachludiad hefyd, mawr *fydd* fy
enw yn mysg y cenhedloedd : ac yn
mhob lle arogl-darth a offrymir i'm
henw, ac offrwm pur : canys mawr
*fydd* fy enw yn mhlith y cenhedl-
oedd, medd Arglwydd y lluoedd.
12 ¶ Ond chwi a'i halogasoch ef,
pan ddywedasoch, Bwrdd yr Ar-
glwydd *sydd* halogedig; a'i ffrwyth,
*sef* ei fwyd, sydd ddirmygus.
13 Chwi hefyd a ddywedasoch,
Wele, pa flinder *yw !* a ffroenasoch
arno, medd Arglwydd y lluoedd : a
dygasoch yr hyn a ysglyfaethwyd,
a'r cloff, a'r clwyfus ; fel hyn y
dygasoch offrwm : a fyddaf fi fodd-
lon i hyny o'ch llaw chwi? medd yr
Arglwydd.
14 Ond melldigedig *yw* y twyll-
odrus, yr hwn y mae yn ei ddeadell
wryw, ac a adduna, ac a abertha *un*
llygredig i'r Arglwydd: canys
Brenin mawr *ydwyf* fi, medd Ar-
glwydd y lluoedd, a'm henw *sydd*
ofnadwy yn mhlith y cenhedloedd.

---

yn y dwyrain i'r tylodion ddwyn anrhegion i'w penaethiaid o ŵyn a defaid, fel iawn am droseddau ; ac os na fyddai y rhai hyny yn ddianaf, hwy a wrthodid : gwel *Harmer.*

Adn. 9. *Ac yn awr gweddiwch, atolwg, gerbron Duw*] Yr hwn a ddirmygasoch felly ; *fel y trugarhao wrthym*—fel cenedl. *O'ch llaw chwi y bu hyn*—arnoch chwi, O offeiriaid esgeulus, y gorphwys y bai hwn, sef offrymu y dall a'r cloff, trwy na waharddasoch i'r bobl eu dwyn hwy i'w hoffrymu. *A dderbyn efe wyneb un o honoch ?*—a gymeradwya efe chwi tra yr ydych yn euog o hyn?

Adn. 10. *A phwy hefyd o honoch a gauai y dorau, neu a oleuai fy allor yn rhad ?*] Yma y gwelwn mai *cybydd-dod* yr offeiriaid, yn gystal a'r bobl, oedd y prif achos o ddwyn yr anifeiliaid gwael hyn at allor Duw; canys ni wnai yr un o honynt y gwaith a berthynai iddo yn y deml, megys cau y dorau neu gyneu y tân, heb gael rhyw elw mawr oddiwrth hyny, yn chwanegol at y gynaliaeth a roddid iddynt yn ol y gyfraith. *Nid oes genyf foddlonrwydd ynoch chwi*—o herwydd y pethau hyn : ac yn nyddiau yr efengyl rhoddid terfyn ar eu hoffeiriadaeth a'u haberthau hwy, fel yr awgrymir yn yr adnod nesaf.

Adn. 11. *Canys o gyfodiad haul hyd ei fachludiad*] Sef dros wyneb yr holl ddaear; *mawr fydd fy enw yn mysg y Cenhedloedd*—o blith y rhai y codai im' offeiriaid yn eich lle chwi. *Ac yn mhob lle arogl-darth a offrymir i'm henw*—sef gweddiau a mawl yr eglwys Gristionogol, y rhai a dderbynir genyf fel arogl-darth; *ac offrwm pur*—sef addoliad ysbrydol o'r galon, gyda ffydd, cariad, ac ufydd-dod diffuant; neu offryma dynion eu cyrff a'u heneidiau yn 'aberth byw, santaidd, a chymeradwy genyf,' Rhuf. xii. 1. Yma hefyd darlunir yr addoliad Cristionogol yn iaith yr addoliad Iuddewig, fel y nodwyd ar Zech. xiv. 16, 21. *Canys mawr fydd fy enw, &c.*—yr hyn a ailddywedir, i ddangos ei sicrwydd a'i bwys.

Adn. 12. *Ond chwi a'i halogasoch ef*] Sef fy enw mawr, *pan ddywedasoch, Bwrdd yr Arglwydd sydd halogedig*—heb fod yn deilwng o barch ; *a'i ffrwyth, sef ei fwyd, sydd ddirmygus*—sef yr hyn a ddisgynai i ran yr offeiriaid fe allai. Neu yr oeddynt yn ystyried unrhyw beth yn ddigon da i'w ddodi ar fwrdd yr Arglwydd, tra yn diystyru yr hyn a symudid oddiarno i'w roddi iddynt hwy i'w fwyta.

Adn. 13. *Chwi hefyd a ddywedasoch*] Gyda golwg ar wasanaeth yr allor ; *Wele, pa flinder yw !*—y fath boen a thrafferth y mae yn ei beri i ni yn barhaus! *A ffroenasoch arno*—fel y ffroena anifel yn ddirmygus ar borthiant na fyddo yn ei hoffi. *A dygasoch yr hyn a ysglyfaethwyd*—neu a rwygwyd gan twystfilod, yn gystal a'r cloff a'r clwyfus, i fod yn offrwm i mi. *A fyddaf fi foddlon i hyny o'ch llaw chwi?*—na fyddaf yn sier; canys gorchymynais daflu y cyfryw 'i'r ci,' Exod. xxii. 31.

Adn. 14. *Ond melldigedig yw y twyllodrus*] O'r bobl, yn gystal ag o'r offeiriaid ; *yr hwn y mae yn ei ddeadell wryw*—sef 'gwryw perffeith-gwbl,' y fath ag yr oedd y gyfraith yn ei ofyn, Lef. i. 3, 10 ; *ac a adduna ac a abertha un llygredig i'r Arglwydd*—fel ei offrwm gwirfodd, yr hwn y tystiasai yr Arglwydd na byddai efe 'gymeradwy drostynt,' Lef. xxii. 18—20. *Canys Brenin mawr ydwyf fi*—a mynaf gael fy anrhydeddu gan bawb yn gyfatebol i'm mawredd ; *a'm henw sydd ofnadwy yn mhlith y cenhedloedd*—y rhai a glywsant gymaint eisoes am fy enw fel ag i beri iddynt grynu; neu bydd i'r cenhedloedd ofni fy enw ar ol hyn, adn. 11.

PEN. II. Adn. 1. *Ac yr awr hon, chwi offeiriaid*] Y rhai a droseddwch fy nghyfammod ; *i chwi y mae y gorchymyn hwn*—y 'rhybydd' neu y 'bygythiad' hwn.

Adn. 2. *Oni wrandewch, ac oni ystyriwch*] Fy ngeiriau ; *i roddi anrhydedd i'm henw i*

## PENNOD II.

AC yr awr hon, chwi offeiriaid, i
chwi *y mae* y gorchymyn hwn.
2 Oni wrandewch ac oni ystyr-
iwch, i roddi anrhydedd i'm henw
i, medd Arglwydd y lluoedd; yna
mi a anfonaf felldith arnoch chwi,
ac a felldithiaf eich bendithion
chwi: ïe, myfi a'u melldithiais eis-
ioes, am nad ydych yn ystyried.
3 Wele fi yn llygru eich had
chwi, a thaenaf dom ar eich wyneb-
au, *sef* tom eich uchel-ŵyliau; ac
*un* a'ch cymer chwi ato ef.
4 Hefyd cewch wybod mai myfi
a anfonais atoch y gorchymyn hwn,
fel y byddai fy nghyfammod â Lefi,
medd Arglwydd y lluoedd.
5 Fy nghyfammod âg ef oedd am
fywyd a heddwch; a mi a'u rhodd-
ais hwynt iddo *am* yr ofn â'r hwn
y'm hofnodd, ac yr arswydodd o
flaen fy enw.
6 Cyfraith gwirionedd oedd yn ei
enau ef, ac anwiredd ni chafwyd yn
ei wefusau: mewn hedd ac union-
deb y rhodiodd gyda mi, a llawer-
oedd a dródd efe oddiwrth anwir-
edd.
7 Canys gwefusau yr offeiriad a
gadwant wybodaeth, a'r gyfraith a
geisiant o'i enau ef: o herwydd
cenad Arglwydd y lluoedd *yw* efe.
8 Ond chwi a giliasoch allan o'r
ffordd, ac a barasoch i laweroedd
dramgwyddo wrth y gyfraith;
llygrasoch gyfammod Lefi, medd
Arglwydd y lluoedd.
9 Am hyny minau hefyd a'ch
gwnaethym chwi yn ddirmygus ac

---

—yr hwn a ddianrhydeddasoch trwy eich cyflawniad dirmygus o'm gwasanaeth, pen. i. 6—8; *yna mi a anfonaf felldith arnoch chwi*—sef trallod, tylodi, ac aflwyddiant; *ac a felldithiaf eich bendithion chwi*—trwy droi eich bendithion yn felldithion; neu trwy dynu ymaith eich bendithion, ac anfon melldithion yn eu lle: *ïe, myfi a'u melldithiais eisioes*—trwy anfon sychder, diffrwythder, a newyn i'ch gwlad.

Adn. 3. *Wele fi yn llygru eich had chwi*] Trwy beri iddo sychu neu bydru yn y ddaear; *a thaenaf dom ar eich wynebau*—gwnaf chwi mor ffiaidd yn ngolwg pawb a phe byddai dom ar eich wynebau; *sef tom eich uchel-ŵyliau*—y budreddi a ddeuai oddiwrth amledd eu haberthau; neu, 'bydd eich aberthau goraf mor ffiaidd yn fy ngolwg i a dom.' *Ac un a'ch cymer chwi ato ef*—a'ch cymer chwi allan o'r deml, i'ch taflu i'r domen. Geiriau ffugyrol cryfion, i ddangos eu ffieidd-dra hwy yn ngolwg Duw a dynion.

Adn. 4. *Hefyd cewch wybod*] Trwy brofiad chwerw, *mai myfi a anfonais atoch y gorchymyn hwn*—neu y 'rhybydd' hwn, adn. 1; *fel y byddai fy nghyfammod â Lefi*—'yn aros;' neu fel y byddai i chwi ddiwygio, a chael eich arbed: gwel *Newcome.* Ond ereill a'i darllenant: 'Canys fy nghyfammod oedd â Lefi,' am doriad yr hwn yr ydych chwi yn gyfrifol: gwel *Benson*.

Adn. 5. *Fy nghyfammod âg ef oedd am fywyd a heddwch*] I wneuthur daioni iddo, ac nid drwg. Cyfeirir yma, dan yr enw *Lefi*, at yr olyniad o offeiriaid santaidd gynt, megys Aaron, Eleazar, Phinees, &c. Yr oedd y cyfammod a wnaed â hwy wedi ei fwriadu i gynal crefydd, yr hon a ddyg *fywyd* a *heddwch* i ddynion. *A mi a'u rhoddais hwynt iddo*—sef bendithion y cyfammod hwnw; *am yr ofn â'r hwn y'm hofnodd, ac yr arswydodd o flaen fy enw*—meddylir fod yma gyfeiriad at Num. xxv. 12, 13, lle y dywedir am *Phinees*, 'Wele fi yn rhoddi iddo fy nghyfammod o heddwch; a bydd iddo ef, ac i'w had ar ei ol ef, ammod o offeiriadaeth dragwyddol, am iddo eiddigeddu dros ei Dduw, a gwneuthur cymod dros feibion Israel.' Yma dengys Duw ar ba sail y gwnaethai efe y cyfammod hwn â Phinees a'i olynwyr yn yr offeiriadaeth; sef am ei barchedig ofn o hono ef, a'i sel dros ei anrhydedd a'i wasanaeth.

Adn. 6. *Cyfraith gwirionedd oedd yn ei enau ef*] Yr hon a ddysgai Phinees a'i olynwyr duwiol i'r holl bobl; *ac anwiredd ni chafwyd yn ei wefusau*—ni chymysgai efe draddodiadau dynol â phur air Duw. *Mewn hedd ac uniondeb y rhodiodd gyda mi*—gan wneyd fy ngair i yn rheol ei fywyd, a'm gogoniant yn ddyben ei holl weinyddiadau, yr hyn a barhäai yr heddwch rhyngom. *A laweroedd a drôdd efe oddiwrth anwiredd*—trwy ei addysgiadau a'i siamplau duwiol.

Adn. 7. *Canys gwefusau yr offeiriad a gadwant wybodaeth*] Neu 'a drysorant wybodaeth,' i'r dyben i'w chyfrannu i ereill; *a'r gyfraith a geisiant o'i enau ef*—a geisia y bobl, neu a ddylent geisio: *o herwydd cenad Arglwydd y lluoedd yw efe*—at y bobl, i'w cymhell i ufydd-dod a duwioldeb.

Adn. 8. *Ond chwi*] Yr offeiriaid presenol, *a giliasoch allan o'r ffordd*—yn yr hon y rhodiai Aaron, Eleazar, a Phinees; *ac a barasoch i laweroedd dramgwyddo wrth y gyfraith*—trwy eu camarwain gyda golwg ar ei hystyr hi, neu eu gyru i'w chasâu hi; *llygrasoch gyfammod Lefi*—trwy ei dori ef: neu gwnaethoch ef yn ddirym trwy eich arferion drygionus.

Adn. 9. *Am hyny minau hefyd a'ch gwnaethym chwi*] Neu 'a'ch *gwnaf* chwi,' fel y mae rhai yn ei ddarllen; *yn ddirmygus ac yn ddiystyr gan yr holl bobl*—meddylir mai at y dirmyg a ddanghosid i'r offeiriaid yn

yn ddiystyr gan yr holl bobl;
megys na chadwasoch fy ffyrdd i,
ond bod yn derbyn wynebau yn y
gyfraith.
10 Onid un tad *sydd* i ni oll?
onid un Duw a'n creodd ni? paham
y gwnawn yn anffyddlon bob un yn
erbyn ei frawd, gan halogi cyfam-
mod ein tadau?
11 ¶ Juda a wnaeth yn anffydd-
lon, a ffieidd-dra a wnaethpwyd yn
Israel ac yn Jerusalem: canys Ju-
da a halogodd santeiddrwydd yr
Arglwydd yr hwn a hoffasai, ac a
briododd ferch duw dyeithr.
12 Yr Arglwydd a dyr ymaith y
gŵr a wnel hyn; yr athraw a'r dysg-
ybl o bebyll Jacob, ac offrymydd
offrwm i Arglwydd y lluoedd.
13 Hyn hefyd eilwaith a wnaeth-
och, gan orchuddio â dagrau allor
yr Arglwydd trwy ŵylofain a
gwaeddi: fel nad edrych efe mwy-
ach ar yr offrwm, ac na chymer *ef*
yn foddlon o'ch llaw chwi.
14 ¶ Er hyny chwi a ddywedwch,
Pa herwydd? O herwydd mai yr
Arglwydd a fu dyst rhyngot ti a
rhwng gwraig dy ieuenctid, yr hon
y buost anffyddlon iddi; er ei *bod*
yn gymhar it', ac yn wraig dy gyf-
ammod.
15 Onid un a wnaeth efe? a'r ys-
bryd yn weddill ganddo: a pha-

---

amser Antiochus y cyfeirir yma; *megys na chadwasoch fy ffyrdd i*—trwy rodio ynddynt; *ond bod yn derbyn wynebau yn y gyfraith*—neu yn rhoddi camystyr iddi i foddhau y mawrion. Rhoddent un esboniad ar y gyfraith i'r tylawd, ac esboniad arall i'r cyfoethog, er mwyn elw iddynt eu hunain.

Adn. 10. *Onid un tad sydd i ni oll*] Sef Abraham neu Jacob, tad y genedl? *onid un Duw a'n creodd ni*—yn bobl neillduol iddo ei hun? ac felly yr ydym yn *frodyr* i'n gilydd mewn ystyr naturiol ac ysbrydol. Heb i ni wneuthur y gwahaniaeth hwn, byddai y berthynas rhyngddynt a'r Cenhedloedd yr un mor agos; canys efe yw Tad a Chreawdwr pawb oll. *Paham y gwnawn yn anffyddlon bob un yn erbyn ei frawd*—trwy briodi merched o'n cenedl ein hunain, ac yna eu hysgaru, i'r dyben i briodi merched y Cenhedloedd? *gan halogi cyfammod ein tadau*—yr hwn a wnaed â'n tadau, ac a waharddа y cyfryw weithredoedd, Deut. vii. 3. Oddiyma hyd ddiwedd y bennod y mae y proffwyd yn ceryddu yr offeiriaid a'r bobl o herwydd y priodasau hyn; ac ni a ddysgwn oddiwrth Ezra ix. 1, 2, a Neh. xiii. 23—29, eu bod yn dra aml.

Adn. 11. *Juda a wnaeth yn anffyddlon*] Trwy y gweithredoedd hyn; *a ffieidd-dra a wnaethpwyd yn Israel ac yn Jerusalem*—yn y ddinas santaidd, a thrwy yr holl wlad. *Canys Juda a halogodd santeiddrwydd yr Arglwydd yr hwn a hoffasai*—sef yr hwn yr oedd yr Arglwydd yn ei garu yn fawr. Yr oedd y pechod hwn yn halogiad, (1) Ar y santeiddrwydd hwnw a roddasai Duw ar *genedl Israel*, trwy eu neillduo o blith holl bobloedd y ddaear i'w wasanaeth ei hun; (2) Ar y *deml*, pan yr oedd yr offeiriaid a weinyddent ynddi yn euog o'r un trosedd, adn. 12; (3) Ac ar y *cyfammod* a wnaethai Duw â'u tadau hwynt, adn. 10. *Ac a briododd ferch duw dyeithr*—yr hon a addolai dduw dyeithr. Fel yr oedd yr eilunaddolwyr yn galw eu duwiau yn *dad* iddynt, Jer. ii. 27, felly y mae y proffwyd yn eu galw hwythau yn *blant* iddynt.

Adn. 12. *Yr Arglwydd a dyr ymaith y gŵr a wnel hyn*] Trwy farn ddychrynllyd; *yr athraw a'r dysgybl o babell Jacob*—sef yr offeiriaid neu ereill, y rhai a ddysgent i ereill wneuthur hyny; a'r bobl, y rhai a wrandawent arnynt: *ac offrymydd offrwm i Arglwydd y lluoedd*—sef naill ai yr offeiriaid, neu ynte y cyfoethogion, y rhai a roddent offrymau helaeth at wasanaeth y deml.

Adn. 13. *Hyn hefyd eilwaith a wnaethoch*] Yn chwanegol at y pechod arall: *gan orchuddio â dagrau allor yr Arglwydd trwy ŵylofain a gwaeddi*—meddylir fod yma gyfeiriad at ddagrau y gwragedd *ysgaredig*, y rhai a ddeuent i ŵylo gerbron yr allor am y cam a gawsent; neu a ŵylent yno am i'w gwŷr nid yn unig eu hysgar hwy, ond hefyd briodi gwragedd ereill 'yn eu byw hwy,' Lef. xviii. 18: ac yr oedd yr offeiriaid mor bell o gydymdeimlo â hwy, nes yr oeddynt eu hunain yn cyflawni yr un pechodau. *Fel nad edrych efe mwyach ar yr offrwm*—sef ar wasanaeth grefyddol yr offeiriaid na'r bobl, y rhai a ymddygent mor warthus: *ac na chymer ef yn foddlon o'ch llaw chwi*—sef unrhyw offrwm na gwasanaeth a gynygier iddo.

Adn. 14. *Er hyny chwi a ddywedwch, Pa herwydd?*] Paham yr annghymeradwya yr Arglwydd ein hoffrymau a'n gwasanaeth ni? Y mae yr ateb yn barod: *O herwydd mai yr Arglwydd a fu dyst rhyngot ti a rhwng gwraig dy ieuenctid*—neu 'rhyngot ti a gwraig dy ieuenctid,' yr hon a briodaist pan yn *ieuanc*, ac a roddaist ymaith pan yr aeth yn *hen*. Yr oedd eu priodasau cyfreithlon wedi cael eu gweinyddu gydag apeliad at Dduw fel *tyst* o'r addewidion o ffyddlondeb a wnaent i'w gwragedd; ond yn awr torasant yr addewidion difrifol a wnaethent yn ngŵydd Duw! *Er ei bod yn gymhar it'*—o'th ddewisiad dy hun; neu er ei bod yn *parhau* felly yn ngolwg Duw; *ac yn wraig dy gyfammod*—â'r hon y gwnaethost gyfammod i fod yn ffyddlon iddi.

Adn. 15. *Onid un a wnaeth efe*] Ar y cyntaf, sef un wraig i Adda? *a'r ysbryd yn weddill ganddo*—hyny yw, ni wnaeth efe ond un, er fod ganddo ddigon o allu creadigol i wneyd mwy nag un, ïe, i wneyd mil o wrag-

ham un? I geisio had duwiol: am
hyny gwyliwch ar eich ysbryd, ac
na fydded *neb* anffyddlon yn erbyn
gwraig ei ieuenctid.
16 Pan gasäech di *hi*, gollwng *hi*
ymaith, medd yr Arglwydd, Duw
Israel: canys gorchuddio y mae efe
drais â'i wisg, medd Arglwydd y
lluoedd: gan hyny gwyliwch ar
eich ysbryd, na fyddoch anffyddlon.
17 ¶ Blinasoch yr Arglwydd â'ch
geiriau: a chwi a ddywedwch, Yn
mha beth y blinasom *ef?* Am
iwch' ddywedyd, Pob gwneuthurwr
drwg *sydd* dda yn ngolwg yr Ar-
glwydd, ac iddynt y mae efe yn
foddlon; neu, Pa le *y mae* Duw y
farn?

## PENNOD III.

WELE fi yn anfon fy nghenad, ac
efe a arloesa y ffordd o'm blaen
i: yn ddisymwth y daw yr Ar-
glwydd, yr hwn yr ydych yn ei
geisio, i'w deml; sef angel y cyf-

---

edd iddo. *A phaham un*—yn unig, ac nid ychwaneg? Wele dyma paham: *I geisio had duwiol*—fel y byddai eu plant yn dduwiol; canys y mae y plant yn debycach o gael eu dwyn i fyny yn grefyddol a rhinweddol lle na byddo aml-wreicaeth yn ffynu. *Am hyny gwyliwch ar eich ysbryd*—rhag lletya nwydau a chwantau aflywodraethus; *ac na fydded neb anffyddlon yn erbyn gwraig ei ieuenctid*—fel ag i'w hysgaru hi, neu chwennych arall yn ei lle hi. Ond tybia rhai mai yr ystyr yw, mai *un genedl* a wnaethai Duw i fod yn bobl neillduol iddo ei hun, pan y gallasai wneuthur *llawer* o genhedloedd felly, trwy fod ganddo ddigon o nerth yn weddill; ac iddo ddewis un, fel y gallent drosglwyddo y wir grefydd o genhedlaeth i genhedlaeth yn eu plith eu hunain. A thybia ereill mai wrth yr *had duwiol* y golygir y MESSIA, yr hwn oedd i ddeillaw oddiwrth *un pâr*, fel y gallai brofi marwolaeth dros *bob dyn;* canys pe buasai gwahanol *benau teuluoedd* wedi eu creu yn y dechre, buasai raid iddo, meddent hwy, ymgnawdoli oddiwrth *bob un* o'r penau teuluoedd hyny, amgen ni allasai ei farwolaeth lesâu neb ond y teulu o'r hwn yr hanasai: gwel *Clarke.* Eithr ymddengys i mi mai yr ystyr blaenaf yw y mwyaf naturiol: gwel ar Gen. ii. 23, 24. Mat. xix. 4, &c.

Adn. 16. *Pan gasäech di hi, gollwng hi ymaith, medd yr Arglwydd, Duw Israel*] Gellid meddwl oddiwrth y cyfieithiad hwn, fod Duw yn cefnogi ysgariaeth; eithr y *Saesonaeg* yw, 'Canys yr Arglwydd, Duw Israel, a ddywed ei fod ef yn casâu gollyngiad ymaith,' neu ysgariaeth; ac y mae y darlleniad hwn yn cynwys rheswm am y gorchymyn a roddwyd yn niwedd yr adnod flaenorol, sef, 'ac na fydded neb anffyddlon yn erbyn gwraig ei ieuenctid.' *Canys gorchuddio y mae efe drais â'i wisg*—neu 'â'i *wraig*,' sef ei ail wraig; neu, fel y dywed *Boothroyd*, 'y mae ei ail briodas yn weithred o drais i'w wraig gyntaf.' Profodd *Dr. Pococke*, oddiwrth amrai ysgrifenwyr dwyreiniol, eu bod hwy yn arferol o alw gwraig ar yr enw 'gwisg.' Neu yr oedd y bobl hyn yn ceisio gorchuddio eu trais a'u creulondeb tuag at wragedd eu hieuenctid trwy eu hesgusodion gwag, yr un modd ag y ceisia dyn fwrw ei fantell dros eiddo a ladratasai efe, neu dros gelan a lofruddiasai. *Gan hyny gwyliwch ar eich ysbryd, na fydd-och anffyddlon*—i'ch gwraig gyntaf: gwel ar adn. 15. Y mae un cyfieithiad tramor yn darllen adn. 15, 16, fel hyn: 'A wnaeth efe di yn un cnawd ac ysbryd â hi? A pha beth a gais efe ond had duwiol, ac i chwi gadw eich ysbryd o bob ochr, ac nad ymddygoch yn dwyllodrus? Oblegid pwy bynag a ddyd ymaith ei wraig trwy gasineb, medd yr Arglwydd, Duw Israel, sydd yn gorchuddio trais yn ei wisg,' &c.

Adn. 17. *Blinasoch yr Arglwydd â'ch geiriau*] Sef â'ch cableddau yn erbyn ei reoluniaeth a'i gyfiawnder ef. *A chwi a ddywedwch, Yn mha beth y blinasom ef?*—mewn trwy ba eiriau? *Am iwch' ddywedyd*—mewn ymddygiad o leiaf, *Pob gwneuthurwr drwg sydd dda yn ngolwg yr Arglwydd*—gan nad yw efe yn eu cospi hwy am eu gweithredoedd drwg; *ac iddynt y mae efe yn foddlon*—gan ei fod yn eu llwyddo hwy yn holl waith eu dwylaw: *neu, Pa le y mae Duw y farn*—yr hwn a fygythiodd dywallt ei farnedigaethau ar ddrwgweithredwyr, ac nis cyflawna? Yr apostol a etyb: 'Wele, y mae y Barnwr yn sefyll wrth y drws!' Iago v. 9; ac os yw efe yn oedi taro, hyny sydd am ei fod yn 'hirymarhous tuag atom ni, heb ewyllysio bod neb yn golledig, ond dyfod o bawb i edifeirwch,' 2 Pedr iii. 9.

PEN. III. Adn. 1. *Wele fi yn anfon fy nghenad*] Hyn a ddywedir am Ioan Fedyddiwr gan y Messia, yr hwn a elwir yn niwedd yr adnod yn 'Arglwydd y lluoedd.' *Ac efe a arloesa y ffordd o'm blaen i*—trwy alw dynion i edifeirwch a diwygiad buchedd. Y mae yma gyfeiriad at arferiad breninoedd y dwyrain, o anfon dynion i dori ffyrdd trwy greigiau a lleoedd geirwon, fel y gallai eu byddinoedd dramwy yn rhwydd i wledydd ereill: gwel ar Esay xl. 3, 4. Mat. iii. 3, Marc i. 2. Yn niwedd y bennod flaenorol gofynai y gwatwarwyr, 'Pa le y mae Duw y *farn?*' ac yma atebir ei fod ef yn dyfod, a bod parotoadau ar gael eu gwneuthur gogyfer â'i ddyfodiad ef. Yn unol â hyn y dywed ein Harglwydd, 'I *farn* y daethym i'r byd hwn,' Ioan ix. 39: gwel ar adn. 5. *Yn ddisymwth y daw yr Arglwydd*—sef yn ebrwydd ar ol y Bedyddiwr, neu yn sydyn a diarwybod; *yr hwn yr ydych yn ei geisio*—cyfeiria hyn naill ai at ofyniad y gwatwarwyr yn yr adnod flaenorol,

ammod yr hwn yr ydych yn ei
chwennych: welê efe yn dyfod,
medd Arglwydd y lluoedd.
2 Ond pwy a oddef ddydd ei
ddyfodiad ef? a phwy a saif pan
ymddanghoso efe? canys *y mae* efe
fel tân y toddydd, ac fel sebon y
golchyddion.
3 Ac efe a eistedd *fel* purwr a
glanhäwr arian: ac efe a bura feib-
ion Lefi, ac a'u coetha hwynt fel
aur ac fel arian, fel y byddont yn
offrymu i'r Arglwydd offrwm mewn
cyfiawnder.
4 Yna y bydd melys gan yr Ar-
glwydd offrwm Juda a Jerusalem,
megys yn y dyddiau gynt, ac fel y
blynyddoedd gynt.
5 A mi a nesâf atoch chwi i farn;
a byddaf dyst cyflym yn erbyn yr
hudolion, ac yn erbyn y godineb-
wyr, ac yn erbyn yr anudonwyr, ac
yn erbyn cam-attalwyr cyflog y cyf-
logedig, a'r rhai sydd yn gorthrymu
y weddw, a'r amddifad, a'r dyeithr,
ac heb fy ofni i, medd Arglwydd y
lluoedd.
6 Canys myfi yr Arglwydd ni'm
newidir; am hyny ni ddyfethwyd
chwi, meibion Jacob.

---

neu ynte at ddysgwyliad a dymuniad cyffredinol yr Iuddewon am y Messia, Hag. ii. 7; *i'w deml*—sef yr ail deml, yr hon oedd newydd gael ei hadeiladu gan Zorobabel a Josua, a'r hon a elwir yma 'ei deml *ef*,' am ei fod yn Arglwydd a Llywodraethwr arni. Efe a ddeuai iddi i gael ei gyflwyno i'r Arglwydd, ac i ymddyddan â'r doctoriaid ynddi, Luc ii. 27, 46; i'w glanhau hi oddiwrth ei llygredigaethau, Ioan ii. 14; ac i'w llenwi â'i addysgiadau a'i ogoniant, Ioan viii. 2, &c. *Sef angel y cyfammod*—yr hwn a sefydla gyfammod o ras rhwng Duw a dynion, y rhai a dorasant y cyfammod gweithredoedd: *yr hwn yr ydych yn ei chwennych*—fel eich Gwaredwr tymhorol o ddwylaw eich gelynion. *Wele efê yn dyfod*—y mae eisioes megys wrth y drws. Efe yw yr hwn a ddaw atoch nesaf ar ol ei ragredegwr, yr hwn fydd y nesaf fel proffwyd ar ol Malachi, Mat. xi. 9—13.

Adn. 2. *Ond pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad ef?*] Awgrymir yma y byddai dydd ei ddyfodiad ef yn dra gwahanol i'r hyn a ddysgwylient hwy fel Iuddewon cnawdol. *A phwy a saif pan ymddanghoso efe?*—hyny yw, pwy fydd yn alluog i sefyll y prawf a wneir y pryd hyny ar eu gweithredoedd a'u hegwyddorion? Bydd i'r duwiolion oddef erledigaethau poethion oddiwrth eu gelynion gwaedlyd; a bydd i'r Iuddewon annuwiol a gwrthnysig gael eu hamddifadu o'u dinas a'u gwladwriaeth, a llawer o honynt o'u bywydau hefyd; canys y mae y 'dydd' hwn yn cynwys yr holl yspaid rhwng bedydd Crist a dinystr Jerusalem. Fel hyn daeth Crist 'i fwrw *tân* ar y ddaear,' ac hefyd '*amrafael*,' a '*chleddyf*,' Mat. x. 34, 35, Luc xiii. 49, 51. *Canys y mae efe fel tân y toddydd*—yr hwn a ysgara y sothach oddiwrth y mettel pur; *ac fel sebon y golchyddion*—yr hwn a symud bob aflendid oddiwrth y dilledyn.

Adn. 3. *Ac efe a eistedd fel purwr a glanhäwr arian*] Efe a garia ei waith yn mlaen gyda gofal a diwydrwydd, fel purwr arian yn eistedd wrth ei bair, i wylio y tân a'r mettel yn y weithred o doddi. *Ac efe a bura feibion Lefi*—naill ai yr offeiriaid Iuddewig yn llythyrenol, 'tyrfa fawr o ba rai a ufyddhasant i'r ffydd,' Act. vi. 7; neu ynte yr apostolion a gweinidogion yr efengyl, y rhai a weinyddent yn lle y Lefiaid dan yr oruchwyliaeth newydd. *Ac a'u coetha hwynt fel aur ac fel arian*—oddiwrth bob sothach; *fel y byddont yn offrymu i'r Arglwydd offrwm mewn cyfiawnder*—neu wasanaeth santaidd, gymeradwy ganddo ef. Cawn yma siampl arall o'r addoliad Cristionogol yn cael ei osod allan mewn iaith berthynol i'r addoliad Iuddewig: gwel ar Zech. xiv. 16, 21.

Adn. 4. *Yna y bydd melys gan yr Arglwydd offrwm Juda a Jerusalem*] Sef gweinidogaeth ac addoliad yr eglwys Gristionogol; *megys yn y dyddiau gynt, &c.*—pan oedd gwasanaeth ac addoliad yr eglwys Iuddewig buraf.

Adn. 5. *A mi a nesâf atoch chwi i farn*] Sef at bob un a ofynai mewn gwawd, 'Pa le y mae Duw y farn?' pen. ii. 17; neu at bob un nad edifarhäai, ac nad ufyddhäai i efengyl Crist. *A byddaf dyst cyflym*—yn gystal a barnwr cyfiawn, *yn erbyn yr hudolion*—sef yr holl swynwyr a'r dewiniaid; *y godinebwyr*—y rhai a dorant briodas, neu a ysgarant eu gwragedd i'r dyben i ymbriodi âg ereill; *yr anudonwyr*—y rhai a dyngant ar gam, neu a dorant y cytundeb a wnaethent âg ereill trwy lw; *cam-attalwyr cyflog y cyflogedig*—y rhai ni roddant i'w gweision a'u morwynion y cyflog a addawsent, ac a ennillwyd ganddynt yn dêg; *a'r rhai sydd yn gorthrymu*—mewn unrhyw fodd, *y weddw, a'r amddifad, a'r dyeithr*—y rhai na feddant neb i'w hamddiffyn; *ac heb fy ofni i*—heb ofni fy mygythion i i'w herbyn, neu heb ufyddhau i'm gorchymynion i â pharchedig ofn. Yr oedd llawer o'r cyfryw yn Judea yn amser Malachi, fel y dysgwn oddiwrth lyfrau Nehemiah a Zechariah; ac yr oeddynt yn llenwi y wlad yn amser Crist a'i apostolion, fel y dywedir i ni gan Josephus ac ereill; a chyflawnwyd y bygythiad hwn yn llawn i'w herbyn yn ninystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid.

Adn. 6. *Canys myfi yr Arglwydd ni'm newidir*] Neu, 'o herwydd mai myfi yw y Jehofa digyfnewid;' *am hyny ni ddyfethwyd chwi, meibion Jacob*—fel pe dywedasai, Fy annghyfnewidioldeb i, neu fy ffyddlondeb i gyflawni fy mwriadau grasol a addewais i'ch tadau, ac i ddwyn y MESSIA o had Jacob, yw y rheswm eich bod chwi fel cenedl heb eich

¶ 7 Er dyddiau eich tadau y
ciliasoch oddiwrth fy neddfau, ac
ni chadwasoch *hwynt:* dychwelwch
ataf fi, a mi a ddychwelaf atoch
chwithau, medd Arglwydd y lluoedd:
ond chwi a ddywedwch, Yn mha
beth y dychwelwn?
8 ¶ A yspeilia dyn Dduw? eto
chwi a'm hyspeiliasoch i; ond chwi
a ddywedwch, Yn mha beth y'th ys-
peiliasom? Yn y degwm a'r offrwm.
9 Melldigedig *ydych* trwy fell-
dith; canys chwi a'm hyspeiliasoch
i, *sef* yr holl genedl hon.
10 Dygwch yr holl ddegwm i'r
trysordy, fel y byddo bwyd yn fy
nhŷ; a phrofwch fi yr awr hon yn
hyn, medd Arglwydd y lluoedd,
onid agoraf i chwi ffenestri y nef-
oedd, a thywallt i chwi fendith, fel
na *bo* digon *o le i'w derbyn.*
11 Myfi hefyd a argyhoeddaf er
eich mwyn chwi yr ormes, ac ni
ddifwyna i chwi ffrwyth y ddaear;
a'r winwydden yn y maes ni fwrw
ei ffrwyth cyn yr amser i chwi,
medd Arglwydd y lluoedd.
12 A'r holl genhedloedd a'ch
galwant chwi yn wynfydedig: canys
byddwch yn wlad hyfryd, medd
Arglwydd y lluoedd.
13 ¶ Eich geiriau chwi a ymgryf-
haodd i'm herbyn, medd yr Ar-
glwydd: eto chwi a ddywedwch,
Pa beth a ddywedasom ni yn dy er-
byn di?
14 Dywedasoch, Oferedd *yw*
gwasanaethu Duw: a pha lesiant

---

dyfetha yn ol haeddiant eich gweithredoedd, Rhuf. xi. 29.

Adn. 7. *Er dyddiau eich tadau*] Y rhai a gaethgludwyd i Babilon; *y ciliasoch oddiwrth fy neddfau*—heb eu cadw hwynt. *Dychwelwch ataf fi*—trwy edifeirwch a diwygiad buchedd; *a mi a ddychwelaf atoch chwithau*—mewn trugaredd, maddeuant, a gras. *Ond chwi a ddywedwch*—yn nghaledrwydd eich calonau, *Yn mha beth y dychwelwn?*—pa ddrwg a wnaethom ni i edifarhau am dano? Cawn atebiad i hyn yn y geiriau canlynol.

Adn. 8. *A yspeilia dyn Dduw?*] A ellid meddwl fod rhyw ddyn ar y ddaear yn ddigon caled a drygionus i gynyg ar y fath weithred! *Eto chwi a'm hyspeiliasoch i*—yn y modd mwyaf hyf, cyhoeddus, a digywilydd: ac os ydych yn gofyn yn mha beth yr yspeiliasoch fi, yr ateb yw, *Yn y degwm a'r offrwm*—y rhai yr ydych yn eu cadw i chwi eich hunain, yn lle eu dwyn i'r offeiriaid a'r Lefiaid i gynal gwasanaeth fy nhŷ. Y mae yn wir fod yr offeiriaid yn ddynion halogedig iawn y pryd hyny, fel y gwelsom yn y bennod flaenorol; er hyny yr oedd y bobl, wrth eu hyspeilio hwy o'r degwm a'r offrwm, mewn effaith yn yspeilio Duw, yr hwn a drefnasai y gynaliaeth hon iddynt: gwel ar Lef. xxvii. 30—32, Deut. xviii. 4.

Adn. 9. *Melldigedig ydych trwy felldith*] Y mae melldith Duw yn gorphwys arnoch yn drwm, yr hon oedd gynwysedig i raddau mewn prinder ymborth, pen. ii. 2, 3: *canys chwi a'm hyspeiliasoch i*—o'r degwm a'r offrwm, yr hyn a barodd i minau eich amddifadu chwithau o gynyrch eich maesydd; *sef yr holl genedl hon*—felly yr oeddynt oll yn euog o gysegr-ladrad.

Adn. 10. *Dygwch yr holl ddegwm i'r trysordy*] I'r ystafelloedd gerllaw y deml, y rhai a adeiladwyd i'w dderbyn ef; *fel y byddo bwyd yn fy nhŷ*—neu ddarpariaeth gogyfer â'r ebyrth dyddiol, ac er cynaliaeth i'm gweinidogion, y rhai a wasanaethant yn fy nheml i. Yr oedd pechod y bobl o gymaint a hyny yn fwy, trwy eu bod wedi ymrwymo trwy raith a llw i wneuthur hyn, Neh. x. 29—33. *A phrofwch fi yr awr hon yn hyn*—i edrych a fydd i mi gyflawni fy addewidion i chwi, neu droi ymaith y farn a ddisgynodd arnoch am y pechod hwn. *Onid agoraf i chwi ffenestri y nefoedd*—y rhai a gauesid fel na wlawiai arnynt; *a thywallt i chwi fendith*—yn lle y felldith hon, adn. 9; *fel na bo digon o le i'w derbyn*—gan mor helaeth y bydd cnwd eich maesydd.

Adn. 11. *Myfi hefyd a argyhoeddaf er eich mwyn chwi yr ormes*] Saes., 'mi a geryddaf er eich mwyn chwi y *difrodydd*,' sef y locust, y lindys, a'r ceiliog rhedyn; *ac ni ddifwyna i chwi ffrwyth y ddaear*—fel y gwnaethai yn fynych o'r blaen: *a'r winwydden yn y maes ni fwrw ei ffrwyth cyn yr amser*—trwy iddynt gael eu hysgwyd ymaith gan wyntoedd cryfion cyn addfedu.

Adn. 12. *A'r holl genhedloedd a'ch galwant chwi yn wynfydedig*] Yn bobl ddedwydd a llwyddiannus; *canys byddwch yn wlad hyfryd*—bydd eich gwlad yn hyfryd a dymunol fel gynt, ar gyfrif ei ffrwythlondeb a'i chrefydd: gwel ar Deut. viii. 7—10, Dan. viii. 9.

Adn. 13. *Eich geiriau chwi a ymgryfhaodd i'm herbyn*] Llefarasoch yn gableddus yn fy erbyn i, gan fy niystyru i a'm crefydd. Felly ymddengys nad oedd llawer o'r bobl y pryd hyn nemawr gwell nag anffyddwyr, y rhai a wawdient gyfraith a gosodiadau Duw. *Eto chwi a ddywedwch*—i'r dyben i'ch cyfiawnhau eich hunain, *Pa beth a ddywedasom ni yn dy erbyn di*—i'th ddiystyru a'th ddianrhydeddu?

Adn. 14. *Dywedasoch*] Yn eich calonau, os nid mewn geiriau, *Oferedd yw gwasanaethu Duw*—trwy offrymu ebyrth iddo, a gweddio arno: *a pha lesiant sydd er i ni gadw ei orchymynion ef*—yn foesol a seremoniol; *ac er i ni rodio yn alarus gerbron Arglwydd y lluoedd*—trwy ymprydio, a gwisgo

*sydd* er i ni gadw ei orchymynion
ef, ac er i ni rodio yn alarus ger
bron Arglwydd y lluoedd ?
15 Ac yr awr hon yr ydym yn
galw y beilchion yn wynfydedig :
ïe, gweithredwyr drygioni a adeil-
adwyd ; ïe, *y rhai* a demtiant Dduw,
a waredwyd.
16 ¶ Yna y rhai oedd yn ofni yr
Arglwydd a lefarasant bob un wrth
ei gymydog : a'r Arglwydd a wr-
andawodd, ac a glybu ; ac ysgrif-
enwyd llyfr coffadwriaeth ger ei
fron ef i'r rhai oedd yn ofni yr Ar-
glwydd, ac i'r rhai oedd yn meddwl
am ei enw ef.

17 A byddant eiddof fi, medd Ar-
glwydd y lluoedd, y dydd y gwnel-
wyf briodoledd ; arbedaf hwynt
hefyd fel yr arbed gŵr ei fab sydd
yn ei wasanaethu.
18 Yna y dychwelwch, ac y gwel-
wch *ragor* rhwng y cyfiawn a'r
drygionus, rhwng yr hwn a wasan-
aetho Dduw a'r hwn nis gwasan-
aetho ef.

## PENNOD IV.

CANYS wele y dydd yn dyfod yn llosgi megys ffwrn ; a'r holl feilchion, a holl weithredwyr an-

---

sach-lian a lludw, o herwydd peidio eu cadw? Wrth weled llwyddiant yr annuwiolion, casglent nad oedd o ddim lles iddynt hwy rodio yn ol gorchymynion Duw, na chyffesu eu beiau, na galaru o'u herwydd.

Adn. 15. *Ac yr awr hon*] Meddent yn mhellach : *yr ydym yn galw y beilchion yn wynfydedig*—sef y cenhedloedd beilchion o'u hamgylch, y rhai nid ofnent Dduw ac na pharchent ddyn : *ïe, gweithredwyr drygioni a adeiladwyd*—a godwyd i fyny yn llwyddiannus ac anrhydeddus yn y byd : *ïe, y rhai a demtiant Dduw*—trwy herio ei allu, dirmygu ei awdurdod, neu wadu ei fodaeth ; *a waredwyd*—oddiwrth y gofidiau a'r trallodau ag sydd yn ein poeni ni. Fel hyn tybient y dylasai gwobrwyon a chospau gael eu gweinyddu yn y byd hwn ; a chan nad oedd felly, barnent mai ofered oedd gwasanaethu Duw! Y mae llawer o'r rhai hyn i'w cael hyd heddyw.

Adn. 16. *Yna*] Pan yr oedd diystyrwch o Dduw a'i grefydd wedi ymddyrchafu i'r fath raddau ; *y rhai oedd yn ofni yr Arglwydd*—sef yr ychydig o wir dduwiolion ag oeddynt yn y wlad, y rhai a barhâent i ofni a gwasanaethu yr Arglwydd, er fod ei farnau ef yn anchwiliadwy, a'i ffyrdd yn y môr ; *a lefarasant bob un wrth ei gymydog*—i'w hargyhoeddi hwy o'u hanffyddiaeth a'u cabledd : neu, yn ol y Saesonaeg, 'wrth eu *gilydd*,' i annog y naill y llall i ymlynu wrth ffyrdd crefydd, i ymostwng i drefniadau rhagluniaeth Duw, ac i weddïo arno ef am ei ras yn yr amser tywyll hwnw. *A'r Arglwydd a wrandawodd, ac a glybu*—eu gweddiau, eu cynghorion, a'u hannogaethau duwiol. *Ac ysgrifenwyd llyfr coffadwriaeth ger ei fron ef*—trysorodd Duw hyn yn ei gof mor fanwl a phe buasai wedi ei ysgrifenu mewn cofllyfr : *i'r rhai*—neu 'am y rhai,' *oedd yn ofni yr Arglwydd*—a pharchedig ofn, neu yn ofni ei ddigio ef ; *ac i'r*—(neu *am y*) *rhai oedd yn meddwl am ei enw ef*—gyda pharch iddo, a [illegible] ef a'i wasanaeth. Cyfeirir yma at [illegible] yn llys Persia, o roddi i lawr mewn llyfr [illegible] y rhai a wnaethent ryw wasanaeth [illegible] i'r brenin, i'r dyben i'w gwobrwyo. [illegible] Esther vi. 1.

Adn. 17. *A byddant eiddof fi, medd Arglwydd y lluoedd*] Mi a'u harddelaf hwynt fel fy eiddo a'm perlau gwerthfawr : *y dydd y gwnelwyf briodoledd*—Saes., 'y dydd y gwnelwyf i fyny fy nhlysau :' sef yn nydd y farn, pryd y casgla efe ei emau a'i berlau i'w goron ogoneddus. *Arbedaf hwynt hefyd*—rhag y dinystr a ddisgyn y pryd hyny ar yr holl annuwiolion ; *fel yr arbed gŵr ei fab sydd yn ei wasanaethu*—sef gyda'r un tynerwch, gofal, a serchogrwydd ag a ddangosai tad tirion tuag at ei fab ufydd a da. Tybia rhai mai at waredigaeth y Cristionogion yn amser dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid y cyfeiria hyn, Mat. xxiv. 13, 16 ; ond y mae yn debycach mai at yr hyn a wneir i'r duwiolion ddydd y farn ddiweddaf y cyfeirir yma.

Adn 18. *Yna y dychwelwch*] I'ch pwyll, neu y newidiwch eich barn. O chwychwi ddirmygwyr Duw a chrefydd ; *ac y gwelwch ragor rhwng y cyfiawn a'r drygionus*—er na fedrwch weled dim rhagor rhyngddynt yn awr, adn. 14, 15 : *rhwng yr hwn a wasanaetho Dduw*—yn gydwybodol a ffyddlon ar y ddaear ; *a'r hwn nis gwasanaetho ef*—ond, yn hytrach, a ddirmyga ei wasanaeth a'i grefydd. Yn mysg pethau ereill, ymddengys y gwahaniaeth rhyngddynt yn eglur yn y pethau canlynol : (1) Hwy a ddeuant allan o'u beddau : 'y rhai a wnaethant dda, i adgyfodiad bywyd ; ond y rhai a wnaethant ddrwg, i adgyfodiad barn,' Ioan v. 29. (2) Didola y Barnwr hwynt oddi wrth eu gilydd, 'megys y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr ; ac a esyd y defaid ar ei ddeheulaw, ond y geifr ar yr aswy,' Mat. xxv. 32, 33. (3) Gwahodda y Barnwr y cyfiawnion 'i etifeddu y deyrnas a barotowyd iddynt er seiliad y byd ;' ond efe a yr y rhai drygionus, dan ei felldith, 'i'r tân tragwyddol, yr hwn a barotowyd i ddiafol ac i'w angylion,' Mat. xxv. 34, 41.

PEN. IV. Adn. 1. *Canys wele y dydd yn dyfod*] Addefir yn cyffredin fod yma gyfeiriad at ddydd dinystr Jerusalem gan y Rhufeiniaid, yr hwn oedd yn gysgod nodedig o ddydd y farn ddiweddaf, am yr hwn y soniwyd uchod ; *yn llosgi megys ffwrn*—danllyd a di-

wiredd a fyddant soff: a'r dydd
sydd yn dyfod a'u llysg hwynt,
medd Arglwydd y lluoedd, fel nas
gadawo iddynt na gwreiddyn na
changen.
2 ¶ Ond Haul cyfiawnder a gyfyd
i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw,
â meddyginiaeth yn ei esgyll; a
chwi a ewch allan ac a gynyddwch
megys lloi pasgedig.
3 A chwi a fethrwch yr annuw-
iolion; canys byddant yn lludw
dan wadnau eich traed chwi, yn y
dydd y gwnelwyf *hyn*, medd Ar-
glwydd y lluoedd.
4 ¶ Cofiwch gyfraith Moses fy
ngwas, yr hon a orchymynais iddo
ef yn Horeb i holl Israel, y deddfau
a'r barnedigaethau.
5 ¶ Wele, mi a anfonaf i chwi
Elias y proffwyd, cyn dyfod dydd
mawr ac ofnadwy yr Arglwydd:
6 Ac efe a dry galon y tadau at y
plant, a chalon y plant at eu tadau;
rhag i mi ddyfod a tharo y ddaear â
melldith.

---

faol: *a'r holl feilchion, a holl weithredwyr anwiredd*—megys y rhai ag y cyfeiriwyd atynt yn pen. iii. 15; sef yr holl Iuddewon cyndyn ac anedifeiriol, y rhai nad ymostyngant i dderbyn Crist yn Waredwr iddynt oddiwrth eu pechodau; *a fyddant soff*—neu a ysir fel soff yn y dydd tanllyd hwnw. *A'r dydd sydd yn dyfod a'u llysg hwynt*—yn hollol ac anadferol; *fel nas gadawo iddynt na gwreiddyn na changen*—ymadrodd diarebol, yn arwyddo llwyr ddinystr yr holl deuluoedd, yn rhieni a phlant.

Adn. 2. *Ond Haul cyfiawnder*] Y *Messia* addawedig, sef yr Arglwydd Iesu Grist. Gelwir ef yn 'HAUL,' am mai efe yw y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r y sydd yn dyfod i'r byd,' Ioan i. 9; ac yn 'Haul CYFIAWNDER,' nid yn unig am ei fod yn gyfiawn yn ei natur a'i weithredoedd, ond hefyd am mai efe yw 'yr Arglwydd ein cyfiawnder,' Jer. xxiii. 6, a'i fod yn 'ddiwedd y ddeddf, er cyfiawnder i bob un a'r y sydd yn credu,' Rhuf. x. 4. *A gyfyd i chwi y rhai ydych yn ofni fy enw*—megys y gwnai y rhai ag y cyfeiriwyd atynt yn pen. iii. 16; *â meddyginiaeth yn ei esgyll*—neu yn ei *belydr* adfywiol. Y pelydr hyn yw ei Ysbryd, ei ras, ac athrawiaethau bywhaol ei efengyl, y rhai sydd yn bywhau, yn goleuo, yn gwresogi, yn meddyginiaethu, ac yn achub pob enaid a gredo ynddo. *A chwi a ewch allan, ac a gynyddwch megys lloi pasgedig*—neu loi yn cael eu pesgi yn y cut. Tybia rhai fod y 'myned-iad allan' hwn yn cyfeirio at waith y Cristionogion yn ffoi i *Pella* yn amser dinystr Jerusalem, fel y nodwyd ar Mat. xxiv. 13, 16; a thybia ereill ei fod yn cyfeirio at eu gwaith yn myned allan o gaethiwed pechod a Satan, ac odditan iau y ddeddf seremoniol, i gynyddu mewn gras, gwybodaeth, a santeiddrwydd dan yr oruchwyliaeth newydd, a hyny gyda'r un cyflymdra ag y cynydda lloi a borthir yn dda.

Adn. 3. *A chwi a fethrwch yr annuwiolion*] Cewch fuddugoliaeth lawn ar eich holl elynion annuwiol; *canys byddant yn lludw dan wadnau eich traed chwi*—tybia rhai fod hyn i'w ddeall yn llythyrenol am y Cristionogion, y rhai a ddychwelasant i Jerusalem ar ol ei llosgi, ac felly a sathrasant ar ludw yr annuwiolion, y rhai a fuont yn eu herlid hwynt. Dywed *Eusebius* i dref a elwid *Ælia* gael ei hadeiladu ar adfeilion Jerusalem, lle y bu cynifer a thriarddeg o esgobion, o rieni Iuddewig, yn arolygu yr eglwys Gristionogol yno; ac felly darfu i'r ffyddloniaid o blith y genedl Iuddewig sathru yn llythyrenol ar ludw yr annuwiolion.

Adn. 4. *Cofiwch gyfraith Moses fy ngwas*] Fel ag i ufyddhau iddi yn ei holl ranau; *yr hon a orchymynais iddo ef yn Horeb*—sef ar fynydd Sinai, Deut. iv. 10; *i holl Israel*—dros ystod yr holl oruchwyliaeth Foesenaidd; *y deddfau a'r barnedigaethau*—sef yr holl orchymynion hyny, yn foesol a seremonïol. Fel pe dywedasai, Ymgedwch yn fanwl at holl osodiadau yr hen oruchwyliaeth, hyd onid ymddanghoso rhagflaenor y Messia, pryd y dechreuir rhoddi terfyn ar y gyfundrefn Iuddewig, ac y sefydlir goruchwyliaeth newydd ragorach yn ei lle. Y mae y LXX, yr *Arabaeg*, a'r *Coptæg*, yn gosod yr adnod hon yr olaf yn y llyfr.

Adn. 5. *Wele, mi a anfonaf i chwi Elias y proffwyd*] Sef *Ioan Fedyddiwr*, yr hwn a ddeuai chwe mis o flaen Crist 'yn ysbryd a nerth Elias,' Luc i. 17; canys, fel y dywed ein Harglwydd ei hun am Ioan, 'efe yw Elias, yr hwn oedd ar ddyfod,' Mat. xi. 14, a xvii. 12, 13. *Cyn dyfod dydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd*—gwel ar pen. iii. 2. Er fod dydd dyfodiad Crist yn ddydd o *lawenydd* i'r rhai a'i derbyniasant ef; canys 'cynifer ag a'i derbyniasant efe, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i Dduw,' Ioan i. 12: eto yr oedd yn 'ddydd mawr ac *ofnadwy*' i'r Iuddewon anghrediniol; 'canys y pryd hwnw y bu gorthrymder mawr, y fath ni bu o ddechre y byd hyd yr awr hon, ac ni bydd chwaith:' gwel ar Mat. xxiv. 21.

Adn. 6. *Ac efe a dry galon y tadau at y plant*] Gwel ar Luc i. 17; *a chalon y plant at eu tadau*—o herwydd darostyngiad yr Iuddewon dan iau y Rhufeiniaid, yr oedd ymrysonau teuluaidd yn bethau cyffredin iawn yn eu mysg yn amser Ioan, trwy fod y plant yn fynych yn pleidio y Rhufeiniaid, er mwyn cael swyddau danynt, a'r tadau yn eu gwrthwynebu hwynt; ac yr oeddynt hefyd wedi ymranu yn wahanol sectau crefyddol, gwrthwynebol i'w gilydd: ond trwy i Ioan fod yn offeryn i droi calonau y bobl at Dduw, efe a'u troai hefyd i garu eu gilydd. Eithr y mae rhai yn darllen y geiriau, 'Ac efe a dry galon y tadau *gyda'r* plant, a chalon y plant *gyda'u* tadau;'

hyny yw, efe a ddiwygia ddynion o bob oedran, hen ac ieuanc. *Rhag i mi ddyfod, a tharo y ddaear*—sef gwlad Judea a'i thrigolion, *â melldith*—Hebr., *cherem*, 'llwyr ddinystr.' Fel hyn bu pregethiad Ioan Fedyddiwr yn foddion i achub gwlad Judea am dro, Mat. iii. 5, &c.; ond trwy i'r Iuddewon wrthod yr Iachawdwr a ddanghosai efe iddynt, daeth cwpan eu hanwiredd hwy yn llawn, a 'digofaint Duw a ddaeth arnynt hyd yr eithaf,' 1 Thes. ii. 16. Fel hyn, tra y mae yr Hen Destament yn terfynu gyda *melldith*, y mae y Testament Newydd yn terfynu gyda *bendith:* 'Gras ein Harglwydd ni Iesu Grist fyddo gyda chwi oll. Amen.'—Yn awr dyma fi yn rhoddi fy ysgrifell heibio, ar ol *naw mlynedd* o lafur dwys; a pha les bynag a gaiff y darllenydd oddiwrth y cyfrolau hyn, rhodded yr holl ogoniant i Dduw, trwy Iesu Grist ein Harglwydd.

DIWEDD YR HEN DESTAMENT.

---

# LLYFRAU YR APOCRYPHA.

Y RHAI hyn yw dau lyfr *Esdras*, *Tobit*, *Judeth*, y rhan arall o lyfr *Esther*, *Doethineb Solomon*, *Ecclesiasticus*, *Baruch*, *Cân y Tri Llanc*, *Ystori Susanna*, *Ystori Bel a'r Ddraig*, *Gweddi Manasses*, a dau lyfr y *Maccabeaid*. Y mae y llyfrau hyn yn cael eu gwrthod gan y Protestaniaid yn gyffredin, am na chawsant erioed eu derbyn i Ganon yr Ysgrythyrau gan yr eglwys Iuddewig, na'u cydnabod gan Grist na'i apostolion, na chan y tadau yn y pedwar canrif cyntaf: 'ac er fod yr Eglwys,' fel y dywed *Jerome*, 'yn eu darllen fel siampl buchedd, ac er addysg moesau; eto nid yw yn eu gosod i sicrhau un athrawiaeth.' Ysgrifenwyd hwynt ar ol i broffwydoliaeth beidio yn yr eglwys, a chyn i'r efengyl ddechreu; ac ni cheir hwynt mewn unrhyw Feibl Hebreig. Y mae rhai rhanau o honynt yn annghyson â rhanau ereill, ac yn cynwys athrawiaethau croes i'r Ysgrythyrau, a llawer o chwedlau gweigion, ffol, a disail. Eto addefir yn gyffredin fod rhanau ereill o honynt yn wir werthfawr, ar gyfrif yr hanes a roddant am yr Iuddewon yn y cyfwng rhwng y ddau Destament: y mae rhanau ereill o honynt yn llawn o addysgiadau defnyddiol tuag at iawn reoleiddiad bywyd a moesau; a chynwysa ereill eglurhad ar arferion a defodau yr hen amseroedd. Gan nad yw y llyfrau hyn yn *ysbrydoledig*, neu gan mai gwaith *dynion* yn unig ydynt, paham nad ellid eu talfyru, a'u puro oddiwrth bob cyfeiliornad a sothach, a'u rhoddi i'r byd mewn ffurf *ddiwygiedig?* Yna derbynid hwy yn ddiamau fel trysor gwerthfawr, ac ni fyddai gan neb wrthwynebiad iddynt.

---

# TAFLEN AMSERYDDOL O'R PRIF DDYGWYDDIADAU

A GYMERASANT LE

YN Y CYFWNG RHWNG Y DDAU DESTAMENT, NEU RHWNG AMSER MALACHI A GENEDIGAETH CRIST.

| O. B. | | C.C. |
|---|---|---|
| 3584 | TUA'R amser hwn y blodeuai *Malachi*, yr olaf o'r proffwydi, yr hwn oedd yn gydoeswr â *Nehemiah*, yr olaf o lywodraethwyr yr Iuddewon yn Judea. | 420 |
| 3591 | Tua'r pryd hyn y disgynodd y llywodraeth i ddwylaw yr archoffeiriaid, dan awdurdod y *Persiaid;* yn dechreu gyda Joiada, Johanan, Jadua, &c. | 413 |
| 3645 | Artaxerxes Mnemon yn marw o ofid o herwydd creulondeb ei fab Ochus, yr hwn a ddaeth i'r orsedd yn lle ei dad; ac ar ol iddo deyrnasu un mlynedd ar hugain, gwenwynwyd yntau i farwolaeth gan ei gyfaill Bagoas, i'r dyben i gael y llywodraeth i'w law ei hun. | 359 |
| 3648 | Yn y drydedd flwyddyn i Ochus, ganed Alexander Fawr yn Pella, yn Macedonia, yr hwn a ddaeth i orsedd Macedon yn lle ei dad Philip, ac a fu farw ar ol bod yn teyrnasu o gylch deuddeng mlynedd. | 356 |
| 3663 | Tua'r pryd hyn yr oedd Jadua yn archoffeiriad, yr hwn y parhaodd y swydd yn ei feddiant ef a'i olynwyr am oddeutu 249 o flynyddau. Yn amser y Jadua hwn yr aeth Alexander Fawr i Asia gyda 35,000 o'r Groegiaid, a gwarchaeodd | 341 |

ar Tyrus; a chan na chafodd efe y derbyniad a roddid i frenhinoedd *Persia*, efe a aeth i fyny yn erbyn Jerusalem, gan benderfynu cospi yr Iuddewon yn drwm. Cymhellodd Jadua y bobl i offrwm i fyny at Dduw weddiau taerion, ac aberthau. Y noson hòno ymddanghosodd Duw iddo ef mewn breuddwyd, gan ei gefnogi i fyned i gyfarfod Alexander yn ei wisgoedd offeiriadol, a'r holl offeiriaid gydag ef yn eu gwisgoedd swyddol, a'r holl bobl hefyd mewn dillad gwỳnion; parodd iddo hefyd daenu blodau ar hyd yr heolydd, ac agor yr holl byrth, heb ofni dim drwg oddiwrth y brenin, gan y byddai iddo ef eu gwaredu hwynt. Dranoeth ufyddhasant i hyn oll, ac aethant allan o'r ddinas i fryn a elwid *Sapha*, o ba le y gallent weled yr holl wastadedd, yn nghyda'r deml, a dinas Jerusalem. Cyn gynted ag y canfu Alexander yr archoffeiriad, ar ben yr hwn yr oedd coron, a dalen o aur arni, ar yr hon yr oedd enw JEHOFA yn gerfiedig, effeithiwyd yn fawr arno gan yr olygfa; a nesaodd ato yn y modd gostyngeiddiaf, gan ymgrymu i'r enw goruchel ag ydoedd ar ei dalcen. Pan ofynodd Parmenio, un o'i gadfridogion, ei reswm am hyn, atebodd Alexander, 'Pan yr oeddwn yn Dia, yn Macedonia, yn myfyrio yn ddwys ar yr ymgyrch hwn yn erbyn y Persiaid, darfu i'r dyn hwn, wedi ei wisgo yn yr un dillad, ymddangos i mi mewn breuddwyd, gan fy nghynghori i beidio ofni dyfod drosodd, a sicrhau i mi y byddai i Dduw fod wrth ben fy myddin, a rhoddi i mi fuddugoliaeth ar y Persiaid.' A chwanegodd, 'Cyn gynted ag y gwelais yr offeiriad hwn, adwaenais ef oddiwrth ei wedd, ei faintioli, ei ymddygiad, a'i wyneb, mai yr un gŵr ydoedd ag a welswn yn Dia; a chredais mai trwy orchymyn a than arweiniad y nefoedd yr oeddwn wedi ymgymeryd â'r rhyfel hon, ac y byddwn yn sicr o orchfygu Darïus, a dinystrio amherodraeth y Persiaid; a dyna y rheswm paham yr addolais i y Duw hwn yn mherson ei offeiriad.' Yna efe a gofleidiodd yr archoffeiriad a'i holl frodyr, ac a aeth gyda hwynt i Jerusalem, lle yr offrymodd efe aberthau i Dduw yn y deml, yn ol cyfarwyddyd yr archoffeiriad; yr hwn wedi hyny a ddanghosodd iddo yr adnodau hyny yn mhroffwydoliaeth *Daniel*, y rhai a gyfeirient ato ef. Yn ganlynol i hyn caniataodd Alexander i'r Iuddewon yn mhob man gael byw yn ol eu cyfreithiau a'u crefydd eu hunain: gwel *Josephus*, *Rollin*, *&c.*

3683 Llywodraethiad y genedl yn dyfod i law y *Syriaid*, dan yr archoffeiriaid Onïas, 321
Simon y Cyfiawn, Eleazar, &c.

3704 Y genedl yn syrthio i law yr *Aifftiaid* yn amser Ptolemy Soter. Yn y bummed 300
flwyddyn o deyrnasiad hwn, bu farw yr archoffeiriad Onïas I, yr hwn a ganlynwyd gan ei fab Simon y Cyfiawn, yr hwn a fu yn archoffeiriad naw mlynedd. Efe oedd yr olaf o wŷr y synagog fawr, yr hon a gynwysai 120 o bersonau, y rhai a benodasid gan Ezra i berffeithio adferiad yr eglwys Iuddewig. Meddylir mai efe a orphenodd gasglu canon yr Hen Destament, trwy chwanegu llyfrau y *Croniclau*, a llyfrau *Ezra*, *Nehemiah*, *Esther*, a *Malachi*, at y lleill.

3719 Dylynwyd Ptolemy Soter ar yr orsedd gan ei fab Ptolemy Philadelphus, yr hwn 285
a orphenodd lyfrgell *Alexandria* yn yr Aifft, yr hon a ddechreuasid gan ei dad, ac a gynwysai 700,000 o gyfrolau; a gosododd yn y llyfrgell hòno gyfieithiad enwog o'r Ysgrythyrau i'r *Roeg*, sef eiddo y LXX, a elwir y *Septuagint*. Gorphenwyd y cyfieithiad hwn dan arolygiad Eleazar yr archoffeiriad, cyn Crist 254.

3757 Ptolemy Philadelphus yn marw yn 63 mlwydd oed, ar ol bod yn teyrnasu 39 o 247
flynyddau; a'i fab Ptolemy Euergetes yn ei ddylyn ef ar orsedd yr Aifft. Y pryd hyn yr oedd Onïas II, mab Simon y Cyfiawn, yn archoffeiriad yn Jerusalem, yr hwn a gadwasai y deyrnged flynyddol am lawer o flynyddau oddiwrth frenhinoedd yr Aifft.

3783 Philopater, mab Ptolemy Euergetes, yn dylyn ei dad yn yr Aifft, ac yn gorchfygu 221
Antiochus Fawr, ac yn myned i Jerusalem yn y bummed flwyddyn o'i deyrnasiad. Ar ddydd y cymod efe a fynai fyned i'r cysegr santeiddiolaf, lle nad oedd neb ond yr archoffeiriad i gael myned iddo. Ond trwy i'r bobl ei wrthwynebu ef trwy felldithion a galarnadau, efe a ddychrynodd i'r fath raddau, fel ag y bu raid ei gario ef allan yn hanner marw. Yn ganlynol i hyny, ar ol iddo ddychwelyd i Alexandria, efe a ddialodd ar yr Iuddewon trwy eu hamddifadu o'u breintiau; a gorchymynodd eu serio â llosg, ar lun deilen eiddew, er anrhydedd i'w dduw *Bacchus;* ac alltudiodd o'i olwg bawb nad aberthent i'w dduwiau ef. Yna gorchymynodd ddal yr holl Iuddewon yn yr Aifft, a'u dwyn i'r *Hippodrome*, (sef gyrfa y meirch yn Alexandria,) i'w dyfetha gan gawrfilod. Eithr Duw a drefnodd fod i'r bwystfilod hyny droi yn erbyn yr edrychwyr creulon, a lladd llawer o honynt; yr hyn a ddychrynodd y brenin a'i ddeiliad i'r fath raddau, fel y gollyngasant yr Iuddewon yn rhyddion, ac yr adferasant iddynt eu breintiau; a'r Iuddewon hyny a wrthgiliasent oddiwrth eu crefydd rhag ofn erledigaeth, a roddasant i farwolaeth.

3800 Philopater yn cael ei ddylyn gan ei fab Ptolemy Epiphanes, yr hwn nad oedd 204
uwchlaw pum mlwydd oed. Antiochus Fawr yn cymeryd achlysur oddiwrth hyny i adennill Cœlesyria a Palestina. Yr Iuddewon yn dangos llawer o barch

| | | |
|---|---|---|
| | i Antiochus; ac yntau yn caniatau iddynt gael byw yn ol eu deddfau a'u crefydd eu hunain, ac yn gwahardd i estroniaid fyned i mewn i'r deml. Oed cyn gynted ag y daeth Ptolemy mewn oed i briodi, ymheddychodd Antiochus ag ef, a rhoddodd ei ferch iddo yn wraig, a Cœlesyria a Palestina yn gynysgaeth gyda hi. | |
| 3817 | Hyrcanus, ar ol geni mab i Ptolemy, yn cael ei anfon gan Joseph ei dad â rhoddion i'r brenin a'r frenhines. Yntau yn benthyca mil o dalentau yn Alexandria, â'r rhai y prynodd efe gant o fechgyn a chant o lodesi heirdd am dalent yr un; ac ar ol rhoddi talent arall yn llaw pob un, efe a anfonodd y bechgyn felly yn anrheg i'r brenin, a'r merched yn anrheg i'r frenhines: a chan rannu y gweddill o'r talentau rhwng swyddogion y llys, efe a ennillodd eu ffafr hwy, fel ag i gael awdurdod i gasglu y cyllid brenhinol tuhwnt i'r Iorddonen. | 17[illegible] |
| 3829 | Antiochus Epiphanes, mab Antiochus Fawr, yn teyrnasu ar *Syria*. Jason yn prynu yr archoffeiriadaeth ganddo ef: ond ar ei fynediad i Jerusalem, lle y derbyniwyd ef gydag anrhydedd mawr, rhoddodd y swydd i Menelaus yn lle i Jason, trwy i hwnw roddi iddo 800 o dalentau arian yn fwy am dani. Deisyfir i'r darllenydd droi i ddechre llyfr cyntaf y *Maccabeaid*, lle y caiff efe hanes fanol am fynediad *Antiochus Epiphanes* i Jerusalem ac am y dinystr a wnaeth efe yno ar yr Iuddewon, a'r ddinas, a'r deml: gwel hefyd ar Dan. xi. | 175 |
| 3836 | Mattathias a'i feibion yn gwrthsefyll Antiochus, ac yn sefydlu annibyniaeth yr Iuddewon. Yr oedd ef, yn ol Josephus, yn orŵyr i *Asmoneus*, oddiwrth yr hwn y galwyd y Maccabeaid yn *Asmoneaid*: gwel ar 1 Mac. ii—viii. | 168 |
| 3840 | Tua'r pryd hyn bu Antiochus farw yn Syria; a Judas, gyda'i frodyr Jonathan a Simon, a amddiffynasant eu cenedl am 36 o flynyddau, gan lywodraethu eu heglwys a'u gwlad dan y Groegiaid Syriaidd. | 164 |
| 3844 | Oddeutu y pryd hyn bu farw Alcimus, yr archoffeiriad drygionus, o'r parlys: a rhoddwyd gorchymyn i Demetrius, oddiwrth Senedd Rhufain, i beidio aflonyddu yr Iuddewon. | 161 |
| 3860 | Jonathan yn fradwrus yn lladd Tryphon, yr hwn a draws-feddiannasai orsedd *Syria*. Simon yn ei ddylyn ef, yr hwn a ddiwygiodd Jerusalem, ac a wnaeth yr Iuddewon yn annibynol ar yr holl genhedloedd cymydogaethol. | 144 |
| 3874 | John Hyrcanus yn cymeryd meddiant o'r llywodraeth a'r offeiriadaeth, ac yn dinystrio teml y Samariaid ar fynydd Gerizim, ar ol iddi fod yn sefyll am 200 o flynyddau. | 130 |
| 3877 | Alexander Zabina, mab honedig Alexander Balas, yn ceisio ymwthio i'r orsedd, ac yn cael ei ladd yn Tyrus. | 1[illegible] |
| 3897 | Aristobulus, mab John Hyrcanus, yn dylyn ei dad ar yr orsedd; yn dyrchafu Judea drachefn yn deyrnas, ac yn cymeryd teitl brenin. | 107 |
| 3925 | Alexander Janneus, mab Aristobulus, yn marw, ar ol cael teyrnasiad llwyddiannus. Ei wraig Alexandra yn dal y llywodraeth, gyda mawr gallineb, dros naw mlynedd. Ar ei marwolaeth hi, daeth ei mab diog Hyrcanus i'r orsedd, yr hwn ni lywodraethodd uwchlaw tri mis, trwy iddo gael ei ddiorseddu gan ei frawd ieuangaf Aristobulus. | 79 |
| 3941 | Hyrcanus, trwy gymhorth y Rhufeiniaid, yn cael ei adferu: ond gorfu iddo ddyosg ei goron; ac felly daeth Judea dan deyrnged i'r *Rhufeiniaid*. | 63 |
| 3950 | Pompey, y cadfridog Rhufeinig, yn myned gyda rhai o'i swyddogion i'r cysegr santeiddiolaf; a Crassus, rhaglaw Syria, yn yspeilio y deml o ddeng mil o dalentau arian. | 54 |
| 3957 | Antipater, tad Herod Fawr, Edomiad cyfrwys, yn cael ei wneyd yn llywodraethwr ar Judea; a Hyrcanus yn gorfod boddloni ar swydd yr archoffeiriad. | 47 |
| 3964 | Herod Fawr yn dylyn ei dad, yr hwn, ar ol llawer o dywallt gwaed, a derbyniodd yr urddas brenhinol, yr hwn a gadarnhawyd iddo gan Augustus Cesar, cyn Crist, 30. Efe a adeiladodd rai dinasoedd, ac a adgyweiriodd y deml, trwy yr hyn y daeth i ffafr gyda'r Iuddewon, er ei fod yn ddyn tra creulon. Efe oedd yr hwn a laddodd blant Bethlehem, wrth geisio lladd yr Iesu. | 41 |
| 3998 | Archelaus yn cael ei ddiorseddu gan Augustus yn fuan wedi hyn, am ryw gamlywodraeth; Judea yn cael ei ffurfio yn dalaeth; ac fel hyn 'ymadawodd y deyrnwialen o Juda:' gwel ar Gen. xlix. 10. | 6 |
| 4000 | Genedigaeth CRIST, yr hyn oedd bedair blynedd cyn y cyfrif cyffredin. | 4 |

LLANDYSILIO, *Tachwedd* 2, 1865.

MACHYNLLETH: ARGRAFFWYD GAN J. WILLIAMS.

